# Y DRYSORFA;

YN CYNNWYS

AMRYWIAETH O BETHAU AR AMCAN CREFYDDOL, YN ATHRAWIAETHOL, ANNOGAETHOL, A HANESIOL;

YNGHYD A

HANESIAETH CENADOL A GWLADWRIAETHOL,

AC AMRYWIOL GYFANSODDIADAU

MEWN

BARDDONIAETH A PHERORIAETH.

A GYHOEDDWYD

DAN OLYGIAD Y TREFNYDDION CALFINAIDD,

GAN JOHN PARRY.

LLYFR X.

CAERLLEON:

ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY.

MDCCCXL.

# RHAGYMADRODD,

NEU

## LLYTHYR Y CYHOEDDWR AT EI GYDWLADWYR Y CYMRY.

---

ANWYL GYDWLADWYR,

Y DDEGFED waith hon, wele ni yn cael y fraint o hyrwyddaw Cyfrol flynyddol o'n Cyhoeddiad Cylchynol i'ch dwylaw. A hyny a wnawn gyda mawr hyfrydwch, yn enwedigol am ein bod yn gallu tystiolaethu ein bod wedi derbyn llawer iawn mwy o gynnorthwy ein Gohebwyr i'w llenwi â thrysorau dewisedig nag a gawsom mewn un flwyddyn o'r blaen er dechreuad y gwaith.

A'r hyn sydd yn chwanegu ein hyfrydwch a'n boddhad yn y cyflawniad o'n gorchwyl, ydyw, fod ychwaneg o alwad am, a derbyniad o'r Drysorfa eleni, nag a fu er dechreuad y cyhoeddiad o honi; yr hyn sydd yn dangos fod cynnydd ar ysbryd darllen ac athrylith ein cenedl. Etto, y mae profion diamheuol fod anwybodaeth mawr yn aros, îe, hyd yn nod yn Nghymru fawr ei breintiau. Am hyny nyni a ddylem barhau yn ein diwydrwydd i arfer moddion tuag at daenu gwybodaeth fuddiol, ac ymlid y tywyllwch o'n mysg. Un o'r moddion arbenig at gyflawni hyn yw Cyhoeddiadau misol, buddiol a da, cyflawn o foddion addysg yn yr 'athrawiaeth iachus,' a'r pethau a berthynant iddi.

Mae yn ofidus genym fod ysbryd ymgynhenu, ac ymddadleu, yn cael cymmaint o le ymhlith ein cenedl yn yr oes bresennol. Bu gorfod arnom ddigio rhai ysgrifenwyr eleni, drwy naccâu dodi eu hysgrifau yn y Drysorfa, yr hyn a wnaethom, yn unig oddiar ymgais am attal cynen, oherwydd ein bod yn barnu eu bod yn tueddu yn drwm at wneud mwy o niwed nag o lesâd: ac yr ydym yn cael ein cablu am hyny mewn ysgrif ac argraff yn barhaus. Yr ydym yn meddwl y gwel bob dyn diragfarn, na chyhoeddasom ddim yn y gyfrol hon ag sydd yn ymddangos i rai megis yn tueddu at bleidgarwch, ond yn unig mewn ffordd o amddiffyniad.

Nid ydym yn beio ar ymddiffyniad nodweddiad, canys yr ydym wedi gorfod gwneud hyny ein hunain yn y Gyfrol hon; ac nid ydym chwaith yn beiddio dywedyd dim yn erbyn amddiffyniad cadarn dros y gwirionedd, pan fyddo mewn perygl o gael ei ŵyrdroi a'i gam gyhuddo, canys pe gwnaem hyny nyni a feiem ar yr Apostolion, a'r ysgrifenwyr sanctaidd ereill, y rhai a arferent wneud hyny yn fynych. Mewn amgylchiadau o'r fath hyn y mae amddiffyniad yn dyfod yn ddyledswydd, ac nid yn gamwedd.

Bob blwyddyn o'r blaen cyfrifem yn ddyledswydd arnom i daer erfyn ar ein Gohebwyr i ymroddi i ddefnyddio eu talentau i anfon atom drysorau buddiol at lenwi ein tu dalenau; ac yn awr talwn ein diolchgarwch iddynt am wrando ar ein llais, ac ufuddhau i'n harchiad. Yn unig eleni, nyni a erfyniwn arnynt barhau yn eu ffyddlondeb. Na fydded iddynt gymmeryd yn angharedig arnom am adael rhai o'r Gohebiaethau buddiol heb eu cyhoeddi, canys yr ydym yn ymrwymo na wnawn mo hyny byth ond oherwydd eisiau lle. Da genym yn wastad weled digon o ddefnyddiau wrth law.

Byddem yn fwy diolchgar fyth i'n Gohebwyr caredig pe baent yn crynhoi Cofiaint am bersonau anghyhoedd, ac am wragedd, i lai cylch o lawer iawn. Byddai yn dda i lawer un o'n Gohebwyr, yn gystal ac yn dda gan ddarllenwyr ein Cyhoediad yn gyffredinol, pe baent yn dysgu yr hyn a fedrai y diweddar Barch. Christmas Evans, pan unwaith yn dechreu llefaru oddiar ei destyn wrth y bobl, efe a ddywedodd, 'Yn awr frodyr, mi ymdrechaf i ddweyd llawer mewn ychydig eiriau.'

Dymunwn etto ar ein Gohebwyr ganiattau i ni ryddid i gyhoeddi ein dewisol bethau o'r pentwr mawr o'r ysgrifeniadau sydd genym, heb eu cyfrif yn bwrw anfri arnynt hwy drwy esgeuluso argraffu eu hysgrifau yn ddioed. Meithder y Gohebiaethau, a bychandra lle, yw yr unig achosion na bai llawer mwy o lafurwaith buddiol ein cyfeillion yn dyfod allan ar g'oedd y byd: rhaid wrth amynedd a goddefgarwch mewn amgylchiadau fel hyn.

Ar fod y cyfan yn tueddu i ogoniant Duw, a lleshad ein cenedl,

Yw gwir ddymuniad,

Eich Cyfaill Diffuant,

JOHN PARRY.

*Caerlleon, Rhag.* 7, 1840.

# Y DDANGOSEG.

## GWELLIANT GWALL.

Rhif. 119. tu dal. 325, col. 1. 5 llin. yn lle *ac feddwi* y gelyn, darllener *ar feddwl* y gelyn.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CIX.] IONAWR, 1840. [LLYFR X.

## COFIANT MR. WALTER MORRIS.

MR. Walter Morris ydoedd fab i'r diweddar Barch. Ebenezer Morris, enw yr hwn fel gweinidog yr efengyl sydd yn eithaf adnabyddus trwy Gymru oll. Gwrthddrych y Cofiant hwn a anwyd Ionawr 24ain, 1803. Yr ydoedd pan yn blentyn yn dangos ei fod wedi ei gynnysgaeddu â chynneddfau naturiol cryfion. Cafodd ei ddwyn i fynu o'i febyd yn Eglwys Dduw. Pan oedd oddeutu 14 oed, anfonwyd ef i'r ysgol i Hwlffordd: ac yn y flwyddyn 1819, aeth at y diweddar Mrs. Foulkes, Machynlleth, i'w ddysgu yn fasnachydd; ac arhosodd yno am 6 mlynedd yn was ffyddlon a defnyddiol. Yn yr amser hwnw bu yn dra gweithgar a diwyd gyda'r Ysgol Sabbathol.

Yn y flwyddyn 1825, symudodd i Manchester, ac a arhosodd yno ddeuddeng mis. Wedi hyny, bu am dair blynedd yn teithio dros dŷ Masnachol yn Barnsley, yn Swydd York. Yn y flwyddyn 1830, sefydlodd yn Liverpool, ac arhosodd yno cyhyd ag y parhaodd ei iechyd, yn dilyn masnach helaeth a llwyddiannus. Fel masnachydd yr ydoedd yn gywir, yn fanwl, yn ofalus, yn llygeidiog, ac yn ddiwyd. Nid oedd yspryd y byd yn ei rwystro i fod yn haelionus gydag achosion crefyddol; canys byddai yn wastad gyda'r blaenaf gyda phob math o gasgliadau a fyddai yn y gynnulleidfa yr oedd yn perthyn iddi; ond y mae i'w ofni fod gofalon masnach helaeth wedi tynu gormod o'i sylw, fel yr ydoedd efe ei hun yn cyfaddef yn ei ddyddiau diweddaf. Yr oedd ei iechyd wedi dechreu adfeilio er ys tair blynedd. Treuliodd yr haf diweddaf yn Cheltenham, Bath, a Llandrindod. Yn yr Hydref, ei gynghorwyr meddygol a'i hannogasant yn daer i fyned i ynys Madeira, mewn gobaith o adgyweirio ei iechyd; ond er iddo fyned, nid oedd dim yn tycio, yr hen ddarfodedigaeth a'i canlynai dros donau y Môr Werydd, ac er ymdrechu i ymysgwyd oddiwrtho, ni ollyngai y clefyd mo'i afael, ond efe a'i 'hamgylchai fel coler ei bais.' Job 30. 18. Pe buasai gwroldeb ysprydoedd yn gwasanaethu, efe a fuasai y dyn a orchfygasai, ymdrechodd ymdrech deg âg angeu; dadleuodd bob modfedd o dir âg ef yn Liverpool, yn Cheltenham, yn Bath, yn Llandrindod, yn Madeira, yn Cadiz, yn Lisbon, ar fwrdd y *packet*, ac yn Falmouth, ond 'nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwnw.'

Wedi aros yn Madeira dros y gauaf, tua diwedd y gwanwyn cychwynodd tuag adref, a chyrhaeddodd borthladd Falmouth, ar du gorllewin Lloegr yn mis Mai, 1839. Wedi iddo lanio yno, aeth ei frawd, Mr. T. Morris, yr hwn oedd mewn cyfranogaeth âg ef yn Liverpool, i ymweled âg ef yn ddioed. Erbyn hyn yr oedd pob gobaith iachau wedi darfod. Adroddodd wrth ei frawd lawer o hanes y tywydd a fu ar ei feddwl er pan welsant eu gilydd o'r blaen. Adroddodd, iddo ar ol myned i Madeira, gyflwyno ei amser i ddarllen y Bibl, a gweddio; darllenodd y Testament Newydd drosodd mewn ychydig amser. Dywedai i'r diafol lawer gwaith geisio gwneyd athrawiaeth etholedigaeth gras yn fagl iddo, yn enwedig pan y clywai ryw ddull annoeth o'i phregethu weithiau yn ei yru i ddiofalwch, gan ddywedyd, Os etholwyd fi, cadwedig a fyddaf, pa un bynag a wnelwyf ai gwylied ai cysgu; bryd arall, byddai yn ei lwfrhau, ac yn ei ddigaloni, gan feddwl oni etholwyd ef, nad ydoedd o un dyben iddo ymarfer â moddion gras, mai ofer oedd ymdrechu â thyngedfen. Ond yn Madeira, cyfarfu yn ddamweiniol â Chyfrol o Bregethau, o waith J. P.

Sumners, Esgob Caer, a'r bregeth ar Mat. 11. 28. a fu yn dra bendithiol iddo; llewyrchodd gyda grym i'w feddwl fod bendithion yr efengyl yn cael eu cynnyg yn rhad ac yn ddiammodol, heb yr attaliad na'r cyfyngiad lleiaf i bwy bynag a dderbynio y telerau; ac yr oedd yn dweyd iddo fwynhau dirfawr gysur oddiwrth y bregeth hono.

Derbyniodd lythyr oddiwrth ei gyfaill hoff, y Parch. H. Rees, yr hwn oedd yn cyd-daro â'i deimladau ar y pryd, ac a fu o fendith fawr i'w enaid. Wedi ei ddyfod i Falmouth, yr oedd Mr. Wildbore, Gweinidog yr Annibynwyr, a Mr. Burchell, Gweinidog y Bedyddwyr, yn ymweled âg ef bob dydd; wrth y rhai y byddai yn adrodd llawer am ddaioni yr Arglwydd tuag ato; yr oedd yn awyddus iawn am i'w frawd ddarllen y Bibl, a llyfrau da ereill iddo, pan fyddai yn cael ychydig o seibiant.

Mehefin 1, dywedodd wrth ei frawd, Dyma fi Thomas bach bron a myned i fyd arall, ond yr ydwyf yn hollol barod, yn hollol barod; nid oes genyf un cysondeb crefyddol i ymffrostio o hono; nid oes genyf ond taflu fy hun fel y gwaelaf o bechaduriaid wrth draed Iesu. Yna adroddodd y penill hwnw o eiddo Dr. Watts,

'Tra dalio'r lamp i losgi ma's,
Yr adyn gwaethaf all gael gras.'

Ac yn mhen ychydig oriau drachefn, dywedodd,

'Gad i'r wawr fod o fy wyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd.'

Gan adrodd y llinell olaf drosodd amryw weithiau.

Yr wythnos ganlynol, y peswch a beidiodd i raddau mawr, ac yr oedd yn teimlo ei hun yn cryfhau ychydig, a byddai yn cael hyfrydwch mawr wrth glywed ei frawd yn darllen y Bibl iddo, ac yn nghyfeillach y Gweinidogion duwiol oedd yn ymweled âg ef yn feunyddiol.

Dydd Sadwrn, Mehefin 8, cynnyddodd ei glefyd, erbyn hyn yr oedd angeu yn gwneuthur rhuthriadau ffyrnig ar ei gyfansoddiad gwan, ac amser ei ymddattodiad yn cyflym neshau. Pan ddaeth Mr. W. i ymweled âg ef, dywedodd wrtho, 'O! mor rhyfedd y mae yr Arglwydd yn ymddwyn tuag ataf, y mae y drugaredd ydwyf yn ei fwynhau yn ymddangos yn rhy fawr i'r cyfryw ddiffrwythwr y tir ag ydwyf fi; y mae y cwbl o ras, y cwbl o ras; y mae pob peth yn dra gwahanol i'r hyn oeddynt yn arferol o fod, yr ydwyf yn teimlo y Gair yn ei felysder a'i nerth, a gweddi hefyd.' Bu y geiriau 'Ni ddryllia gorsen ysig,' o annhraethol gysur i mi er pan y bûm yn ymddyddan â chwi ddoe. Wrth ymadael, dywedodd Mr. Wildbore, 'Wel, anwyl gyfaill, yr ydych yn awr yn hollol foddlawn i fyned.' Atebodd yntau, 'Yn hollol foddlawn, yn hollol foddlawn.' Yn mhen ychydig drachefn, dywedodd â llais isel wrth ei frawd, 'Yr ydwyf yn teimlo yn ofidus na wnaethum ddim dros yr Arglwydd yn fy nydd; dymunaswn gael ychydig amser yn ychwaneg i ymdrechu byw i'w ogoniant, ond nid oes genyf ddim ymddiried i'm calon dwyllodrus, ac fe allai, mai gwell i mi gael fy nghymmeryd ymaith yn awr.

Mehefin 9, yr ydoedd yn lled farwaidd a swrth, fel mai ychydig oedd yn allu siarad. Yn yr hwyr, ar ol i'w frawd ddarllen iddo ychydig Psalmau, dymunodd gael darllen iddo Gofiant ei anwyl dad o'r *Evangelical Magazine*, yr hyn a wnaeth effaith neillduol ar ei deimladau. Byddai yn fynych yn dywedyd y buasai yn llawen iawn ganddo weled ei anwyl fam, ond fod hyny yn rhy anhawdd, a'i fod yn foddlawn marw yn y lle hwnw. Y noson hono efe a gysgodd ychydig, deffrodd yn nghylch pump o'r gloch boreu ddydd Llun, a chydag anhawsdra mawr yr ydoedd yn anadlu, fel y tybiwyd ei fod yn marw, ond adfywiodd ychydig drachefn, a dywedodd ei fod wedi myfyrio llawer yn y nos ar y geiriau, 'A gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod.' Y mae yn ddigon i minnau, ys truan o ddyn wyf fi.

Oddeutu saith o'r gloch, daeth Mr. B. i ymweled âg ef, ond nis gallai siarad. Galwodd Mr. Burchell drachefn, oddeutu deg o'r gloch, a gofynodd iddo, os oedd yn nghanol adfeiliad cynnyddol nâtur, yn cael ei loni a'i gynnal gan obaith yr efengyl. Atebodd gyda'i ochelgarwch arferol, 'Ydwyf, ond nid gyda'r cyflawn foddlonrwydd a ddymunwn; yr ydwyf yn rhoddi fy hun i Grist yn gyfangwbl, gorph ac enaid; os achubir fi, bechadur gwael a thruenus, bydd yn rhyfeddod fwyaf yn yr holl fyd; ac os colledig, hyn yr ydwyf yn ei gyfiawn haeddu, yr ydwyf yn gadael fy hu yn hollol yn ei ddwylaw ef.' Wedi

hyny adroddodd yn araf y penill canlynol,

'O Dduw rho im' dy hedd
A golwg ar dy wedd,
A maddeu 'nawr, fy meiau mawr,
Cyn 'r elwy' lawr i'r bedd, &c

Yna dywedodd, 'Bu fy nhad farw ar ddydd Llun; bydd yn beth rhyfedd os ceir fi gydag ef cyn y byddo y dydd hwn drosodd, caniataed Duw, mai felly y byddo, nid wyf yn dymuno gwell lle.

Oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch galwodd y meddyg, Dr. Borse, i ymweled âg ef; efe a ysgydwodd ei law yn gyfeillgar, ac a ofynodd, 'Wel, Dr. pa faint yw y pellder i làn yr afon?' A phan oedd y meddyg yn ymddangos fel pe buasai heb ddeall ei feddwl, dywedodd, 'Yr Iorddonen! Yr Iorddonen.' Atebodd y meddyg, fod ein bywydau yn llaw Duw. Atebodd yntau, 'Wel, gobeithio nad yw yn mhell, yr ydwyf yn hollol barod, a goreu po gyntaf.' Wedi hyny, dywedodd wrth ei frawd â llais gwanaidd, 'Nis gallaf lai na rhyfeddu wrth feddwl am ddaioni yr Arglwydd tuag ataf, yn fy nwyn yn ol i Loegr; meddyliwch, pe buaswn yn aros wythnos yn hwy yn Lisbon, aethwn yn rhy wan i'm symud; pe buaswn yn marw ar fwrdd yr agerddlong, ni buasai fy nghyfeillion yn gwybod beth a ddaeth o honwyf; ond fe'm dygwyd i'r lle hyfryd hwn, a chefais y driniaeth oreu a allasai medr meddygol ei roddi, a Gweinidogion rhagorol a duwiol i ymweled â mi bob dydd, a chefais chwithau gyda mi, yr hyn sydd yn annhraethol gysur i mi, a gobeithio na bydd y pymthegnos olaf heb fendith i chwithau, fy anwyl frawd, a chyflwynwch fwy o'ch amser at yr un peth angenrheidiol. Yn fuan wedi hyny aeth ei wendid mor fawr fel nas gellid ei ddeall, ond deallwyd ef yn dywedyd, 'Arglwydd Iesu, derbyn fy yspryd.' Parhaodd i anadlu gyda dirfawr anhawsdra am yn nghylch awr drachefn, ac yna bu farw am hanner awr wedi tri o'r gloch prydnawn ddydd Llun, Mehefin 10, 1839, yn Selley's Hotel, Green Bank, Falmouth. Prydnawn ddydd Mercher canlynol, dygwyd ei gorph mewn elor-gerbyd i gladdfa Ponsarden, hanner y ffordd rhwng Falmouth a Penrhyn, oddeutu milltir o bob un.

Os bydd i ti ddarllenydd ddygwydd myned y ffordd hono, tro i mewn, a chei weled yr englyn canlynol yn gerfiedig ar ei gareg fedd:—

Yn mhell o wlad fy nhadau,—clöedig
Mewn cleidir yw'm fferau;
Ond tŷr Ion etto yr iau,
A dringaf o dir angau.

---

Y mae yn beth nodedig a rhyfedd fod pedwar mab i'r Parch. Ebenezer Morris wedi marw ag na chafodd eu mam fod yn bresennol gydag un o honynt yn eu momentau diweddaf.

Mr. David Morris, yr hwn oedd y pryd hwnw gyda Mrs. Foulkes, Machynlleth, a foddodd wrth ymdrochi yn afonDyfi, Awst 18, 1819, yn 28 oed, ac a gladdwyd yn Troed-yr-aur.

Eleazer a fu farw o dwymyn boeth yn Casnewydd, Tachwedd 14, 1826, yn 21 oed, ac a gladdwyd yno.

Ebenezer a fu farw yn ddisymwth mewn cloddfa trwy i'r ddaear syrthio arno, Tachwedd 19, 1828, yn 28 oed, ac a gladdwyd yn Troed-yr-aur. Yr ydoedd hwn yn ddyn ieuangc rhagorol mewn duwioldeb a defnyddioldeb.

Dwy ferch hefyd yn yr un teulu a fuont feirw wedi ychydig ddyddiau o glefyd. Anne a fu farw Hydref 15, 1805, yn saith mlwydd oed. Ac Anne arall a fu farw Mehefin, 1823, yn 16 oed, a chladdwyd y ddwy yn Troed-yr-aur.

Wrth weled yr annuwiol yn byw, yn heneiddio, ac yn cryfhau mewn cyfoeth, eu had yn safadwy o'u blaen gyda hwynt, a'u hiliogaeth yn eu golwg; a chlywed llawer o rai rhagorol y ddaear yn llefain gyda Jacob, 'Diblantasoch fi, Joseph nid yw fyw; Simeon yntau nid yw fyw, a Benjamin a ddygech ymaith,' a'u penwyni yn disgyn mewn tristwch i fedd. Yr ydym yn casglu oddiar y seiliau cadarnaf, fod byd ar ol hwn, lle y bydd Lazarus i gael ei ddyddanu, a Dives i gael ei boeni; canys diau na wna Duw yn annuwiol, ac na wyra yr Hollalluog gyfiawnder; ond o'r diwedd efe a ddial ei etholedigion, y rhai sydd yn llefain arno ddydd a nos, er ei fod yn hir oedi drostynt.

JENKYN DAVIES.

---

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### EPISTOL I IOAN.

NID yw enw Ioan wedi ei flaen-ddodi, na'i ol-ddodi wrth yr epistol hwn, etto, o'r amseroedd boreuaf, priodolid ef yn wastadol iddo ef. Mae priodol ddull ac ysgrifeniad yn ei ddangos i fod yn waith Ioan. Mae yn dechreu heb gyfarchiad, ac yn diweddu heb fendith, ac am hyny, ambeuodd rhai y priodoldeb

o'i alw yn epistol. 'Mae yn wir, yn ymddyddan addysgiadol ar egwyddorion Cristionogaeth, mewn athrawiaeth ac ymarferiad; a pha un bynag a wnawn ai ystyried arddunaint ei ddechreuad, gyda'r testynau sylfaenol o berffeithiau Duw, llygredigaeth dyn, ac Iawn Crist; yr eglurdeb gyda'r hwn mae yn gosod allan ddirgeledigaethau dyfnaf ein ffydd sanctaidd, ac amlygrwydd y prawf mae yn ei ddwyn i'w cadarnhau: pa un bynag a ystyriwn sancteiddrwydd ei orchymynion, grym y rhesymiad, â pha un mae yn eu cymmell; symledd urddasol yr iaith yn mha un y traddodir yr athrawiaethau a'r gorchymynion: pa un bynag a ystyriwn bwysfawrogrwydd y mater, priodoldeb yr iaith, neu yspryd cyffredinol duwioldeb, gwresog a thwym ewyllys da, yn unedig âg aidd tanbaid, yr hwn sydd yn anadlu trwyddo oll—ni a'i cawn yn mhob golygiad, yn deilwng o'r awdwr sanctaidd, i'r hwn mae cyson draddodiad yr Eglwys yn ei briodoli, y disgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu.'—*Esgob Horsley.*

Yr epistol hwn a ysgrifenwyd oddeutu A.D. 68; ei amcan ydoedd i gadw y Cristionogion rhag athrawiaethau hereticiaidd neillduol, neu anghristiau, y rhai, fel y tybir gan wyr dysgedig, oeddynt y Cerinthiaid a'r Gnosticiaid, i annog pawb a broffesent adnabod Duw a Iesu Grist i rodio yn ngoleuni sancteiddrwydd a chariad, ac nid yn y tywyllwch o bechod ac annuwioldeb; i fyw mewn cymmundeb sanctaidd gyda'u gilydd, a chyda'r Tad a'i Fab ef Iesu Grist, ac i orfoleddu mewn gobaith o dragywyddol ddedwyddwch yn y nef.

Yn yr epistol hwn mae pump o bennodau, yn cynnwys un-ar-ddeg o ddosparthiadau.

Dosparthiad I.—Sydd yn mynegi priodoldeb Duwdod a dyndod yr Iachawdwr, i'r dyben o ddwyn yn mlaen gymmundeb Cristionogol, a chymdeithas gyda'r Tad, a chyda'i Fab ef, Iesu Grist, pen. i. 1—4.

Dos. II.—Sydd yn dangos fod y rhai hyny mae iddynt gymdeithas â Duw, yn rhodio yn ngoleuni sancteiddrwydd; a bod Duw mewn ffyddlondeb a chyfiawnder, yn ymrwymedig i faddeu a glanhau pechaduriaid; tra mae y rhai hyny sydd yn dywedyd nad oes ganddynt bechod, wedi eu twyllo neu yn dwyllwyr, pen. i. 5—10.

Dos. III.—Sydd yn rhybuddio credinwyr i beidio a phechu, etto, yn cyfarwyddo at Grist fel ein Heiriolwr yn y nefoedd, yr Iawn cyffredinol dros ein pechodau, pen. ii. 1, 2.

Dos. IV.—Sydd yn dangos fod yn rhaid i wybodaeth o Grist, ac undeb âg ef, gael ei amlygu trwy ufudd-dod i'w orchymynion, trwy ddilyn ei esiampl, a thrwy gariad at y brodyr, pen. ii. 3.—11.

Dos. V.—Sydd yn rhybuddio credinwyr rhag ymlyniad wrth bethau darfodedig y byd, oddiwrth yr ystyriaeth fod eu pechodau wedi eu maddeu, a'u gwybodaeth aeddfed, a'u ffydd fuddugoliaethus, pen. ii. 12—17.

Dos. VI.—Sydd yn rhoddi gocheliadau rhag gwrthgilwyr oddiwrth eu proffes, gan wadu mai yr Iesu yw y Crist, y rhai oeddynt gynnifer o anghristiau, ac mae yn mynegi am eneiniad yr Yspryd Glân, fel yr unig gadwedydd effeithiol, pen. ii. 18—23.

Dos. VII.—Sydd yn annog i feithrin dylanwadau yr Yspryd Glân, fel mae yn effeithiol i addysgu y meddwl, ac i gadw yn ffyrdd sancteiddrwydd, trwy yr hyn y profir adenedigaeth, pen. ii. 24—29.

Dos. VIII.—Sydd yn datgan rhyfeddod wrth gariad arbenig Duw yn mabwysiadu pechaduriaid, y rhai, gan wybod eu rhagorfreintiau, ydynt yn rhag-brofi tragywyddol ogoniant, ac yn llafurio am sancteiddrwydd mewn calon a buchedd, pen. iii. 1—3.

Dos. IX.—Sydd yn dangos y modd y gellir gwahaniaethau dynion fel y maent yn blant Duw, neu yn blant diafol, pen. iii. 4—10.

Dos. X.—Sydd yn annog i feithrin cariad brawdol, fel y moddion i amlygu ein hadenedigaeth, ac i fwynhau hyder tuag at Dduw, pen. iii. 11---24.

Dos. XI.---Sydd yn rhybuddio rhag gau athrawon, y rhai a wadent i Grist ddyfod yn y cnawd, ac yn addysgu pa fodd i wahaniaethu rhwng yspryd y gwirionedd ac yspryd cyfeiliorni, pen. iv. 1---6.

Dos. XII.---Sydd yn annog yn mhellach i gariad brawdol, oddiwrth y siampl o Dduw yn rhoddi ei Fab yn Iawn dros bechaduriaid, oddiwrth ei fod yn rhoddi hyder yn y rhag-olwg ar ddydd y farn, ac oddiwrth ei ddylanwad dedwydd ar y meddwl, pen. iv. 7---21.

Dos. XIII ---Sydd yn dangos y cysylltiad rhwng adenedigaeth, cariad at Dduw, ufudd-dod cyffredinol, a buddugoliaeth ar y byd, pen. v. 1---5.

Dos. XIV.---Sydd yn adrodd yr am-

rywiol dystiolaethau, trwy ba rai y profir athrawiaeth Crist, gan ddatgan yr undeb anwahanol rhwng gwir ffydd a bywyd tragywyddol, pen. v. 6---13.

Dos. XV.---Sydd yn mynegi parodrwydd yr Arglwydd i wrandaw gweddi, a bod pechod i farwolaeth, pen. v. 14---17.

Dos. XVI.---Sydd yn diweddu yr epistol, gan ddynodi yn gadarn y gwahaniaeth rhwng yr adenedig a ddysgir gan Dduw, â'r byd sydd yn gorwedd mewn drygioni, pen. v. 18---21.

CYFEIRIADAU YN 1 IOAN.

| | |
|---|---|
| Pen. i. 8. | 1 Bren. viii. 46. Preg. vii. 20. |
| i. 9. | Esa. lv. 7. |
| ii. 2. | Rhuf. iii. 25. |
| ii. 19. | Deut. xiii. 13. Ps. xli. 9. |
| ii. 27. | Esa. lxi. 1. Jer. xxxi. 33, 34. |
| iii. 1. | Esa. lvi. 5. |
| iii. 2. | Job xix. 26. Ps. xvi. 11 |
| iii. 5. | Esa. liii. |
| iii 12. | Gen. iv. 4—8. |
| iii. 22. | Jer. xxix. 12, 13. |
| v. 3. | Mic. vi. 8. |
| v. 16. | Job xii. 8. |
| v. 20. | Esa. ix. 6. liv. 5. |

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR,

### YN CYNNWYS TAFLEN HANESYDDOL O FYWYD, MARWOLAETH, AC ADGYFODIAD EIN HARGLWYDD IESU GRIST, WEDI EI DDOSPARTHU I 337 O RANAU.

*O ddechreuad yr hanesiaeth gan yr Efengylwyr hyd ddiwedd y flwyddyn gyntaf o Weinidogaeth gyhoeddus Iesu Grist.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. pen. adn. | MARC. pen. adn. | LUC. pen. adn. | IOAN. pen. adn. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Rhagymadrodd Luc | — | — | 1. 1-4 | — | Jerusalem |
| 2 | Rhagddywedyd genedigaeth Ioan | — | — | 1. 5-23 | — | Etto |
| 3 | Cenhedliad Ioan | — | — | 1. 24, 25 | — | Etto |
| 4 | Rhagddywedyd genedigaeth Crist | — | — | 1. 26-28 | — | Nazareth |
| 5 | Mair yn ymweled âg Elizabeth | — | — | 1. 39-55 | — | Jerusalem |
| 6 | Mair yn dychwelyd adref | — | — | 1. 56 | — | Nazareth |
| 7 | Genedigaeth Ioan Fedyddiwr | — | — | 1. 57-79 | — | Jerusalem |
| 8 | Y gweddill o fywyd anghyhoedd Ioan Fedyddiwr | — | — | 1. 80 | — | Yr anialwch i'r dwyrain o Jersalem |
| 9 | Genedigaeth Crist | — | — | 2. 1-7 | — | Bethlehem |
| 10 | Pregethu genedigaeth Crist i'r bugeiliaid | — | — | 2. 8- 15 | — | Etto |
| 11 | Y bugeiliaid yn ei addoli ef | — | — | 2. 16-20 | — | Etto |
| 12 | Enwaedu Crist, a'i enwi ef | 1. 25 | — | 2. 21 | — | Jerusalem |
| 13 | Achau Crist | 1. 1-17 | — | 3. 23 38 | — | Etto |
| 14 | Dwyn Crist i'r deml | — | — | 2. 22-38 | — | Etto |
| 15 | Y doethion yn addoli Crist | 2. 1-12 | — | — | — | Bethlehem. |
| 16 | Diangc i'r Aipht | 2. 13-15 | — | — | — | O Bethlehem |
| 17 | Lladd plant Bethlehem | 2. 16-18 | — | — | — | Rhwng Rama a Beth'lem |
| 18 | Dychwelyd o'r Aipht | 2. 19-23 | — | — | — | I Nazareth |
| 19 | Y gweddill o fywyd anghyoedd Iesu Grist | — | — | 2. 40-52 | — | Jerusalem |
| 20 | Mynediad i mewn i Efengyl Ioan | — | — | — | 1. 1 18 | Etto |
| 21 | Ioan Fedyddiwr yn dechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus | 3. 1-4 | 1. 1-4, 6 | 3. 1-6 | — | Yr anialwch o du dwyrain i Judea, gerllaw Bethabara |
| 22 | Ioan yn bedyddio | 3 5-10 | 1. 5 | 3. 7-14 | — | Yn Bethabara |
| 23 | Tystiolaeth gyntaf Ioan am Grist | 3. 11, 12 | 1. 7, 8 | 3. 15-16 | — | Gerllaw Bethlehem |

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 24 | Gweddill o Weinidogaeth gyhoeddus Ioan........ ................ | — | — | 3. 18 20 | — | Gerllaw Bethlehem |
| 25 | Crist yn cael ei fedyddio.......... | 3. 13-17 | 1. 9.11 | 3. 21-23 | — | Yn yr Iorddonen |
| 26 | Crist yn cael ei arwain i'r anialwch | 4. 1, 2 | 1. 12,13 | 4. 1,2 | — | Oddiwrth yr Iorddonen |
| 27 | Y demtasiwn gyntaf.............. | 4. 3, 4 | — | 4. 3,4 | — | Yn yr anialwch tu dwyrain i Jerusalem |
| 28 | Yr ail demtasiwn ................ | 4. 5 7 | — | 4. 9-12 | — | Jerusalem |
| 29 | Y drydedd demtasiwn ............ | 4. 8 11 | — | 4.5,8,13 | — | O du y Gogledd i Jerico |
| 30 | Ail dystiolaeth Ioan am Grist...... | — | — | — | 1. 19,28 | Rhydau ar gyfer Schythapolis |
| 31 | Wele Oen Duw, &c. ............... | — | — | — | 1. 29-34 | Etto |
| 32 | Wele Oen Duw y dydd canlynol.... | — | — | — | 1. 35,36 | Etto |
| 33 | Andreas a Simon yn dilyn yr Iesu.. | — | — | — | 1. 37-42 | Etto |
| 34 | Yr Iesu yn cael Philip.... ....... | — | — | — | 1. 43,44 | Yn Galilea |
| 35 | Philip yn cael Nathanael......... | — | — | — | 1. 45,46 | Ar y ffordd i Cana |

*(I'w barhau.)*

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

Parhad o tu dal. 362.

### V. Y BRODYR BOHEMAIDD.

Derbyniodd Bohemia ei haddysg efengylaidd o dir Groeg, a hyny yn y nawfed ganrif. Dau fonach duwiol, Cyril a Methodius, brodorion o Thessalonica, a ddanfonwyd yn y flwyddyn 863, o Gaer Cystenyn (*Constantinople*) i bregethu efengyl Crist yn Bulgaria. Pan ydoedd chwaer brenin Bulgaria yn Nghaer Cystenyn, daeth yn adnabyddus o rai Cristionogion a Christionogaeth; ac ar ei dychweliad yn ol i'w gwlad ei hun, deisyfodd yn daer ar i'w brawd wahodd Cenhadon yno o'r ddinas hono. Yn unol a galwad y brenin hwy a ddaethant; a chawsant gyflawn dderbyniad i'r teulu breninol.

Dywedir fod Methodius yn gywrain iawn yn y gelfyddyd o arliwio, yr hyn a'i gwnaeth ef yn fwy derbyniol fyth gan y brenin, yr hwn a ddeisyfodd arno arliwio lluniau mor hagr byth ag y gallai. Defnyddiodd Methodius y cyfle hwn i luniaw y dydd olaf, neu y farn fawr, yr hyn a wnaeth mor gelfyddgar, fel y dygodd hyny y brenin (neu yn hytrach a fu yn foddion i hyny) i feddwl am ei sefyllfa dragywyddol, a'r canlyniad fu iddo gael ei fedyddio.

Dilynwyd ei esiampl yn fuan gan ei ddeiliaid; ac fel hyn y lledaenwyd Cristionogaeth dros yr holl wlad, a chafai y ddau Genhadwr bob rhwyddineb i ddwyn eu gwaith pwysig yn mlaen.

Wedi hyny hwy a droisant eu hwynebau tua Bohemia a Moravia, yn y manau hyny hefyd y buont yr un mor llwyddiannus, fel yn y flwyddyn 867, y bedyddiwyd Bergwag, dug Bohemia; a lluaws o sefydliadau Cristionogol a ffurfiwyd yn dra buan yn y gwledydd hyny.

Fel aelodau o Eglwys Groeg ni addefent Uchraddiaeth y Pab, na dim o gyfeiliornadau a defodau yr Eglwys Rufeinig. Ond yn y ganrif nesaf, defnyddiodd Pabyddiaeth bob gallu a dichell i roi ei throed i lawr yn Bohemia. Sefydlwyd Esgob Pabyddol yno, a Chymdeithasau Eglwysig Groegaidd y wlad, er eu bod o hyd yn mwynhau eu rhyddid crefyddol, a ddygwyd i berygl ysprydol mawr iawn, trwy hudoliaeth ar un amser, ac erledigaeth bryd arall, yn gymmaint ag i beri iddynt fod yn effro ac yn llafurus iawn.

Fel yr oedd Rhagluniaeth oruchel y nef yn gweithredu o'u hochr, bu y Waldensiaid hyny, ag y soniasom am danynt yn ein Rhifynau diweddaf, ag oedd wedi cael eu gyru o Ffraingc, tua diwedd y ddeuddegfed ganrif, yn ddefnyddiol iawn i'w cadw ar eu gwyliadwriaeth ac yn effro. Y rhai hyny oeddynt wedi sefydlu yn Bohemia yn lluosog iawn, ac wedi sylfaenu yno Eglwysi, y rhai, hyd yn nod yn y bedwerydd ganrif-ar-ddeg ydoedd ganddynt eu rheolau eu hunain,

a'u gweinidogion eu hunain, a dalient gyfundeb â'u brodyr yn yr Eidal *(Italy)*. Trwy offerynoliaeth y Cristionogion bywiog a zelog hyn, y nerthwyd ac y cefnogwyd y Brodyr Bohemaidd i sefyll yn gadarn yn eu ffydd, ac yn y rhyddid Cristionogol a fwynhaent. Ac yr oedd y cefnogaeth hwn fel gair yn ei bryd; o herwydd yn fuan wedi hyny, oddeutu canol y bedwaredd ganrif ar-ddeg, ni chaniateid un ymarferiad cyhoeddus o grefydd yn Bohemia, oddigerth y grefydd Babaidd, a chwpan yr Arglwydd yn y Sacrament sanctaidd a waharddwyd yn hollol i'r werinos.

O'r amser hyny, nis gallai y Bohemiaid gynnal eu cyfarfodydd crefyddol yn un man ond mewn tai a chastellydd, neu yn y llwyni tew-frigog, neu yn yr ogofeydd tan-ddaearol, ac nis gallent yn y cyfryw leoedd a hyn ychwaith heb beryglu eu rhyddid a'u bywyd yn fawr. Ymosodwyd ar lawer o honynt yn yr heolydd, ac yn y prif-ffyrdd, curwyd hwynt yn dost---yspeiliwyd hwy hefyd, a dedfrydwyd hwy i weithio yn galed yn y mwngloddiau, &c. Ie, gosodwyd rhai o honynt i farwolaeth: a chymmaint ydoedd yr erledigaeth fel na feiddient fyned allan i gynnal eu cyfarfodydd crefyddol heb fod yn finteioedd gyda'u gilydd, neu yn arfog. Safodd rhai Gweinidogion duwiol o'r eiddynt o bryd i bryd yn dystion o'r gwirionedd, a thrwy hyny a enynent yn fflam y marwor bychan oedd yn adawol o'r cymdeithasau hyn.

O'r rhai hyn yr oedd Conrad Stickna o Prague, John Mielecz o Moravia, a Matthias von Janowsky. Y Matthias hwn, (pa un a fu farw yn y flwyddyn 1394) a brophwydodd i Wenzel, brenin Bohemia, yn ngwyddfod ei holl bendefigion, pa ryfeloedd a ddygid yn mlaen yn Bohemia, ar achosion crefyddol, a pha anhawsderau a gaffai ei ddilynydd Sigismund i dori drostynt; yn nghyda marwolaeth gynamserol ei fab; a theyrnasiad fer a llwyddiannus teulu Kunslad. 'Yn nyddiau brenin o'r teulu hwn,' efe a ychwanegai, 'cyfyd pobl weiniaid ac anarfog, y rhai a ddangosant zel fawr dros y wir grefydd, a pho mwyaf y gorthrymir, ac yr erlidir hwynt, ni wnant ond cynnyddu a lluosogi mwy yn feunyddiol. Ond o'r rhai oll ag yr wyf yn sefyll yn eu gwyddfod nid oes ond un yn unig a fydd byw i weled hyny.' Yr un hwnw oedd Wenceslaus, yr hwn wedi hyny a adroddai y brophwydoliaeth hon i'w frodyr, pan yr ymunodd â'r cyfundeb yn ei hen ddyddiau. Janowsky hefyd, ychydig cyn ei farwolaeth, a ysgrifenai brophwydoliaeth gyffelyb yn ei lyfr yn erbyn Anghrist.

Ond yr oedd John Huss yn gampwr mwy zelog ac aiddgar na'r rhai a enwyd eisoes, Gweinidog duwiol a Chadeirdraw yn Athrofa Prague oedd, ac yn ddyn o ddoniau hylithr a duwioldeb mawr, ac wrth bregethu ennillodd boblogrwydd rhyfeddol. Ond wrth ddyfal chwilio yr Ysgrythyrau sanctaidd, efe a gafodd allan lawer o bethau croes iawn i athrawiaethau Eglwys Rhufain; a phan y daeth yn gydnabyddus âg ysgrifeniadau Wickliff, ei lygaid a agorwyd yn gwbl.

(*I'w barhau.*)

## Y DRYCH.

Un digyffelyb yw y *Drych* yn ei ffyddlondeb.

Os bydd ar neb o honom eisieu Cyfaill, ymofyned am un tebyg i'r *Drych*. Un yw hwn a ddywed y gwir, a dim ond y gwir; ac a draetha yr hyn oll sydd ganddo i'w draethu am bob un yn ei wyneb, ac ni yngan air am neb byth yn ei gefn.

Os glân fydd dy wyneb ger bron y *Drych*, felly y dywed efe am dano, ac os budr ac aflan a fyddi, ni chela efe hyny ychwaith. Os gwyneb prydferth fydd genyt, dywed y *Drych* hyny yn groew wrthyt ti, a phob un arall a wrandawo ar ei lais *tra fyddot ti yn bresennol*, a gad y canlyniad arnat ti, balchio neu beidio; ac os hagr a gwrthun y dygwydd fod dy wyneb, ni rusa y *Drych* ddywedyd hyny *wrthyt*, digia di neu baid: ond unwaith yr elot ti o'i olwg ef, ni raid i ti ofni na phetruso y mynega efe ddim a welodd wrth neb arall.

Mor annhebyg i'r *Drych* yw llawer un sydd yn ewyllysio cael ei alw yn gyfaill!

Pwy, gan hyny, na werthai ei grys oddiam ei gefn i brynu *Drych*, a gwneuthur cyfaill penaf o hono?

Ond er mor ragorol yw y *Drych* naturiol, y mae Drych Ysprydol y Bibl, yn rhagori arno yn mhell. Heblaw fod hwn yn un *ffyddlon* a *diabsen*, y mae ynddo ddwy ddelw, neu ddau ddarlun bob amser--un a ddengys pa fath *ydwyt*, a'r llall a ddengys pa fath a *ddylit* ti fod.

Y mae y *Drych* naturiol yn dangos yn gywir pa fath *ydwyt*, ond bid rhyngot ti a'r mater o farnu pa fath un a *ddylit* ti fod; ond am *Ddrych* yr Ysgrythyrau, y mae yn hwn ddau ddarlun cywir yn

ymddangos o flaen pob edrychydd cyd-wybodol---un yn cywir ddangos pa fath ydyw, a'r llall yn cywir ddangos pa fath a *ddylai* fod.

Pwy, gan hyny, na werthai gymmaint oll ag a feddai i brynu y *Drych* hwn, a gwneyd cyfaill penaf o hono?

Pwy bynag sydd yn meddu y *Drych* hwn, bydded iddo edrych ynddo nes canfod pa fath *ydyw*, ac hefyd pa fath a *ddylai* fod, a chael ei gyfnewid i'r un-rhyw ddelw.

*Porth Dinorwig.* M. H.

## GWERTH YR ENAID.

Y mae yr enaid o fwy gwerth nag a all neb ei amgyffred. Nid yw y corph ond rhyw babell frau iddo breswylio ynddo am ychydig o amser; fe fydd y corph yn fuan iawn yn pydru yn y bedd tywyll, ond y mae yr enaid i ehedeg i fyd arall i fod byth un ai mewn trueni neu mewn dedwyddwch. Y mae meddwl am yr hwn a roes yr enaid yn taflu rhyw werth annrhaethol arno, er ei fod gyda golwg ar ei gyflwr moesol yn wrthddrych o dosturi a thrugaredd. Nid oes ond ychydig o flynyddoedd er pan ddaeth yr hynaf o honom i fod, ac ni threulir, fe allai, ond ychydig o flynyddoedd etto, cyn i'r enaid gymmeryd ei ehedfen i fyd lle y bydd byth, un ai yn hofran mewn dysgleirdeb gogoneddus yn mhlith Seraphiaid y goleuni, neu yn ymboeni byth yn nhywyll leni nos uffernol!

Pe baem ni yn codi ein golygon i fynu, ac edrych ar y sêr a'r planedau, y bydoedd mawrion sydd yn hofran yn yr eangder diderfyn, byddwn yn aml yn barod i waeddi, Rhyfedd ac ofnadwy ydynt, rhyfedd, rhyfedd, Jehofa! Ond trown ein meddyliau atom ni ein hunain, y mae yr enaid sydd ynom yn fwy o werth na'r cwbl oll. Ie, y mae yr enaid gymmaint ei werth, fel yr atebai ddyben gogoneddus, pe bai y bydoedd ysplenydd uwchben yn gwibio yn eu cylchdröadau rheolaidd am ddeuddeng mil o oesoedd yn unig er mwyn gwneyd un enaid yn gymmwys i ororau paradwys; ac nid diwerth fyddai llafur mil o ddynion ac angylion, tuag at hylwybro un enaid at Iachawdwr y byd. Nid ydyw y bydoedd oll, er amled eu rhif, er mor ddysglaer eu gwawr, ac er mor uthrol ac anferth eu maint, ond megis ôl bysedd y Jehofa, ond y mae yr enaid yn anadl ei enau!

Y mae anfarwoldeb yr enaid yn rhoddi gwerth annrhaethol arno. Pan dreulir ychydig o amser etto, (ac nis gwyr neb pa mor lleied) fe fydd y corph yn cael ei gludo i'r bedd, ond fe fydd yr enaid wedi ei sefydlu yn y man lle bydd byth, ac ni bydd diwedd arno drwy oesoedd tragywyddoldeb. Y mae cyrph miloedd yn awr wedi ymgymmysgu â'r pridd er's oesoedd, a cherig beddau cannoedd wedi eu malurio gan amser, er hyny, y mae eu heneidiau yn bod etto yn nofio tragywyddoldeb. Y mae cyrph miloedd o genedlaethau o hil Adda, wedi ymgymmysgu â'r clai, nad oes wybod pa le maent, ond y mae eneidiau pob un o honynt yn dyoddef poenau, neu lawenydd diddarfod. Buan, buan y gelwir am ein heneidiau, pryd y gorfydd arnom roddi i fynu ymgyfeillachu â dyn, a myned yn gyfeillion i angelion y goleuni, neu ynte, ellyllon y tywyllwch! Pwy, gan hyny, a all ddarlunio gwerth enaid anfarwol, yr hwn a all fyned i nefoedd y goleuni mor ddysglaer a'r angelion sanctaidd, neu wedi ei orchuddio â thywyllwch, i fyned yn gythraul mewn llyn o dân, yr hwn na ddiffoddir byth!

Y mae y gofal ag sydd gan drigolion bendigaid y nef am eneidiau dynion, yn eglur ddangos eu bod o werth annrhaethadwy. Nid yw yr angelion, yr ysprydion sanctaidd hyny, i'w gydmaru a pha rai, nid yw y byd a'i holl ogoniant ond megis breuddwyd dielwig; nid yw y rhai hyn, meddaf, yn ddifater yn ngylch yr enaid. Fe ddywedir i ni yn y gair dwyfol fod 'llawenydd yn ngwydd angelion Duw am un pechadur a edifarhao.' A chan eu bod yn llawenhau o herwydd edifeirwch un enaid; diammeu eu bod yn gwylio ei gamrau gyda hyfrydwch, tra ar ei bererindod yn y byd, gan sibrwd wrth eu gilydd '*fe fydd hwn yn un o'n cyfeillion yn fuan.*' Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth? Heb. 1. 14.

Ond y mae un peth etto a ddengys werth enaid yn fwy na'r cwbl oll. Duw o'i gariad anfeidrol a ddanfonodd ei unig anedig Fab i ddyoddef tros eneidiau colledig! Rhown ein meddyliau ar waith, edrychwn o'n hamgylch ar y greadigaeth fireinwych, cyfodwn ein golygon tua'r maith eangder, gwelwn yr haul a'r lleuad, y planedau a'r sêr sefydlog, sydd yn fil ac yn fyrdd, a holl ryfeddodau y ffurfafen eurfrithog, ac ystyriwn, fe ddaeth Creawdydd y cwbl oll i gyd yn wr gofidus, a chyn-

nefin â dolur, er mwyn eneidiau colledig! O, dysgwn weled gwerth enaid yn yr hyn a wnawd drosto ar Galfaria. Duw y gogoniant yn danfon ei anwyl Fab i ddyoddef cynddaredd dynion, arteithiau y groes, y waewffon waedlyd, a'r bedd tywyll, er mwyn eneidiau dynion! Gwelwn ynte, mor amyneddgar y dylem fod yn nghanol gelynion trahaus a chreulon; a dysgwn weled gwerth eneidiau, yn achos pa rai y dyoddefodd Crist gymmaint.

Gan fod yr enaid mor annrhaethol ei werth, onid ydyw yn gofyn i ni fod yn effro, ac yn fwy effro na chyda dim arall, yn chwilio am drysor i'r enaid rhag iddo fod yn golledig yn y diwedd. Y mae enaid wedi ei golli yn fwy peth na byd wedi ei ddinystrio. 'Pa lesbad i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun.' Nid yw ein hoes ar yr hwyaf, ond bèr, a hono mor ansicr, fel nas gall neb ddywedyd yr hwyr, y caiff weled y boreu; gan hyny, dylem wneyd ein goraf yn yr adeg bresennol tuag at gael diogelwch i'r enaid erbyn dydd marw, yr hwn a'n cyferfydd yn fuan iawn. Wrth feddwl am y dydd y bydd yr enaid yn ymadael â'r corph, ni's gallaf lai na dywedyd,

Ofnadwy ydyw meddwl am
  Wynebu 'r oesawl fyd,
Heb hedd â Christ, yr Oen dinam
  A'n cuddiaw yn ei glwyfau drud.

'Rol gadaw dy ddaearol dŷ,
  F'enaid tlawd! p'le bydd dy nyth?
Ai'n llawen yn y nefoedd fry?
  Neu'n uffern ddofn yn ochain byth?

I'r enaid, buan daw yr awr
  I adaw'r byd, a'i bethau ffol;
Rhaid iddo 'hedeg uwch y llawr,
  Draw drwy'r eangder maith di-ôl.

I fynu'n mhell, uwch cell y gwlaw,
  Lle rhüa y taranau certh,
Ac esgyn ar y wybren draw,
  Ac heibio'r dysglaer fydoedd serth.

Gadaw'r haul a'r lloer is-law,
  A'r brithawg fydoedd oll i gyd;
Chwim 'hedeg drwy'r eangder draw
  Nes myned i'r anfarwol fyd!

Pell, pell o gyrhaedd dwndwr byd
  A'i holl bleserau gwyw—
Yn noeth o dan gyfiawnaf lid,
  Neu heddwch pur fy Nuw.

Rho im' dy ras, bydd i mi'n Dad,
  O Arglwydd Ion ar hyd fy oes;
Cymmwysa fi i'r nefawl wlad,
  I ganu byth am angeu'r groes.

*Bala.* DEWI GLAN TEGID.

## LLOFFION O DDWY BREGETH

*A bregethwyd gan y Parchedig Thomas Richards, Abergwaun, yn Nghymanfa y Bala,* 1827.—*Am* 10 *a* 6 *o'r gloch.*

'Yr awron gan hyny, O, feibion, gwrandewch arnaf; canys gwyn eu byd a gadwant fy ffyrdd i.' DIAR. viii. 32.

Y MAE yr adnod hon yn cynnwys cymmwysiad o'r athrawiaeth a lefarir yn y bennod. Gellir galw dyn i ufuddhau i'r efengyl, er mwyn ei happusrwydd ei hun. Yr efengyl yn unig sydd yn cynnyg digon i happusrwydd dyn.

1. Dwyfol darddiad yw grym yr efengyl. 'Yr awron gan hyny, O feibion, gwrandewch.' Pennodir yr amser, 'yr awron;' amser goruchwyliaeth bur yr efengyl. Yr oedd yr oruchwyliaeth gyntaf yn gyfyng, fe fu mor gyfyng a bod Eglwys Dduw mewn un teulu, wedi hyny mewn un genedl; ond yn awr y mae wedi helaethu i bob llwyth, iaith, a phobl, a chenedl. Dyma yr oruchwyliaeth bura a goleua. 'Yr awron gan hyny, gwrandewch.' Ni bydd gwell goruchwyliaeth, ond fe allai bod gwell amser tani. 'Yr awron.' Amser iachawdwriaeth, amser cymmodi â Duw; gan hyny, 'O feibion, gwrandewch arnaf i.' Awr fawr yw yr awr hon; awr angeu i lawer. Yr annogaeth i wrando, 'Gan hyny.' Adn. 22. 'Yr Arglwydd a'm meddiannodd i yn nechreuad ei ffordd,' &c. Y mae grym pob peth perthynol i iachawdwriaeth dyn o ddwyfol darddiad. Grym yr Arglwydd Iesu yw ei fod o osodiad, anfoniad, a seliad y Tad. Ffrwyth cyfammod yw yr iachawdwriaeth, grym yr efengyl yw ei bod o Dduw.

2. Dwyfol dystiolaeth yw cynnwys yr efengyl. Dyma bregethwr, efe sydd yn llefaru, na chymmerwn y meistr yn y gwas, na'r Arglwydd yn y genad. Y bregeth yw goleuni, digon i bawb, y mae yn dangos pob peth; dangos y perl, dangos y domen; dangos y cibau, dangos y trysorau; y mae yn pregethu am y greadigaeth. Adn. 25, &c. Y mae yn pregethu am ragluniaeth. 'Trwof fi y teyrnasa breninoedd,' &c. Fe bregethodd iachawdwriaeth o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb. Y neb y mae yn ei alw i wrando yw meibion, rhai cymmwys i'w dysgu a'u hyfforddi. Y mae yn dweyd yn dadol ac yn garedig, 'O, feibion.' Dyma fel yr oedd Crist, yr oedd O! ganddo yn fynych, yn achos gwerth eneidiau.

3. Sanctaidd rinwedd yw effeithiad yr efengyl. 'Gwyn eu byd a gadwont

fy ffyrdd i.' Ffordd Duw yn dumewnol, ffordd Duw yn allanol; ffordd Duw i addoli, ffordd Duw i fucheddu. 'Cadw y ffyrdd.' 'Y neb sydd yn cadw fy ngeiriau, ni ddaw i farn,' &c. Gwrandawn ei eiriau nes cadw ei lwybrau. Y mae pob peth yn eiddo y rhai sydd yn cadw ei eiriau. Cadw y ffordd, fe ofala Duw am bob peth arall; y mae yn gofalu am y brain, gan hyny, ni âd y colomenod.

---

'Gwyn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac a wylio yn ddyfal beunydd wrth fy nrysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i.' DIAR. viii. 34.

Y MAE pethau mwyaf y byd yn sefyll ar wrando. Mewn iawn gyflawniad o'n dyledswyddau y mae y ffordd i ddedwyddwch. Y ddyledswydd yw gwrando, y pregethwr yw doethineb; person wedi ei wneyd i ni gan Dduw yn ddoethineb. Doethineb yw y bregeth. Doethineb yw gwrando, a doethion yw y gwrandawyr. Gwrando.

1. Nid oes neb yn gweled y golled o'i golli, ond a welodd yr ennill o'i gael.

2. Gwaith hawdda ei *ysbario* gan lawer yw gwrando.

3. Y gwaith hawdda ei wneuthur yw gan lawer, oblegid nas gwneir, fe wneir gwaith yn ei le.

4. Y gwaith anhawddaf ei wneyd o ddim yw gwrando, oblegid y drain yn y galon, a'r adar yn cipio yr had.

5. Y gwaith prina a wneir gan lawer, y mae y canlyniad yn profi. 'Gwylio yn ddyfal beunydd.' Y mae doethineb yn cadw tŷ da, yn rhoi bob dydd; ychydig y mae yn ei roddi ar unwaith, fel ein cadwer beunydd 'wrth byst y pyrth.' Y mae yma le da, ac os yw lle i *fegio* gystal, beth fydd lle i wledda. Y mae yn well gorwedd wrth y trothwy, a marw yno, na bod yn y pebyll goreu a fedd y byd. 'Gwylia.' 'Gwylia.' A oes cenadwri atat wedi i ti gael; gwylia i gadw y bendithion. Yr hyn y mae Duw yn ei roi, rhoddwn i'w cadw, fel y byddo i ni eu cael. Y mae tir da yn dwyn ffrwyth i gyd, ond nid yr un faint; peth ar ei ganfed, arall ar ei driugeinfed, arall ei ddegfed-ar-hugain; y mae y naill cystal a'r llall, er nad yr un faint. 'Gwarchod.' Gwaith manwl yw hyn. Aroswn wrth y drws fel *begeriaid*, ac nid myned i mewn fel *Esquires*. 'Gwynfydedigrwydd y rhai hyny, y neb am caffo i, medd doethineb, a gaiff fywyd.' Y mae yn well bod wrth y drws yma yn aros y nos, na bod yn un lle arall yn y dydd goleu.

*Glan yr afon.* GWRANDAWR.

MAWREDD PECHODAU YN ERBYN CYDWYBOD.

Os ydyw yn unrhyw ychwanegiad at bechod ei fod yn cael ei gyflawni genym yn erbyn cydwybod, mae dy gamweddau di, O! bechadur, wedi eu trymhau felly! Ymgynghorwch â'i chof-lyfr, ac yna, gwadwch y gwirionedd, os gellwch. 'Y mae yspryd mewn dyn, ac ysprydoliaeth yr Hollalluog sydd yn gwneuthur iddynt hwy ddeall.' Job 32. 8. ac fe wna y deall yma weithredu; ac y mae argyhoeddiad dirgel o'n bod yn greaduriaid cyfrifol i'n Gwneuthurwr a'n Cynhaliwr yn anwahanol oddiwrth ei weithrediadau. Mae gwrthwynebu ymresymiadau dynol, a rhoddi lliw twyllodrus ar bethau yn ngwydd dynion; ond mae y galon yn fynych yn condemnio, pryd y mae y tafod yn esgeuluso. Oni ddarfu i chwi erioed ganfod hyny? Oni ddarfu cydwybod wrthwynebu hymddygiad mynedol; ac oni buont yn hynod boenus hefyd? Cefais sicrwydd gan foneddwr o eirwiredd diamheus, ei fod ef, pan yn nghanol cnawdolrwydd gwychaf ei fywyd, ac y cyfrifid ef yn un o'r dedwyddaf o ddynolryw, wedi gweled ci yn dyfod i'r ystafell lle yr oedd yn mysg ei gyfeillion llawen, ac iddo ddirgel ocheneidio, a dywedyd, 'O na bawn i y ci acw! Ac oni theimlaist, ti bechadur, ddim byd fel hyn?

A ydyw dy gydwybod di wedi ei gwneyd mor hurt, wedi ei serio â haiarn poeth i'r fath raddau, nad ydyw un amser yn gwaeddi allan yn erbyn dim o'r trais a wnawd â hi. Oni ddarfu iddi erioed dy rybuddio o'r canlyniadau anadferadwy o'r hyn a wnaethost yn wrthwyneb iddi? Y rhybuddion ydynt mewn effaith, lais Duw; cynghorion a roddodd efe i ti trwy ei raglaw yn dy fynwes ydynt. A phan fyddo ei ddedfryd am dy weithredoedd dryglonus wedi dyfod i weithrediad arnat mewn marwolaeth dragywyddol, cei glywed y llais hwnw yn llefaru wrthyt etto mewn tôn uwch, a dwysach nac o'r blaen; a thi a boenydir â'i hedliwiadau i dragywyddoldeb, am na fynit mewn amser wrandaw ar ei chyngor.

*Oundle.* *Cyf.* NIHIL.

---

PETHAU NA CHYFERFYDD Y CRISTION A HWY.

1. Cyflawnder yn y creadur.
2. Pleser mewn pechod.
3. Boddlonrwydd mewn ordinhadau heb Grist. J. F.

## DIRGELWCH FFRAETHINEB Y PULPUD.

NID oes un Cristion a wâd nad oes un cyssylltiad rhwng yr ystafell weddi a'r Pulpud. Ond y gofyniad pwysfawr yw, *Pa beth yw y cyssylltiad?* Mae yn amlwg fod yr Apostolion yn cyfrif y cyssylltiad hwn yn beth adnabyddus, ac o fawr bwys. Mewn amser ag yr oedd eu sylw yn cael ei alw mewn modd pendant at fater perthynol i achosion allanol yr Eglwys, eu penderfyniad unfrydig oedd, galw ereill at y gorchwyl hwnw, gan ddywedyd, 'Eithr nyni a barhawn mewn gweddi a gweinidogaeth y gair.' Act. 5. 1—4. Hwy a ymgadwasant yn ddiysgog at y penderfyniad hwn ar hyd eu hoes. Y mae gan weinidogion yr efengyl ym mhob oes yr un golygiadau, ac y maent yn cadw at yr un rheol.

Nid enw yn unig, fel y mae llawer yn ei gymmeryd, yw ystafell weddi; nid rhyw beth na wyddom yn mha le y mae, neu, pa beth yw. Ystafell weddi yw cartref gweinidog Duw. Pan ar un llaw y mae cyssylltiad agos rhyngddi â gorsedd Duw, ar y llaw arall y mae yn nglŷn wrth y Pulpud.

Ond yn mha beth y mae y cyssylltiad yn ymddangos? Neu mewn geiriau ereill, Pa effeithiau sydd gan yr ystafell weddi ar y Pulpud?

Mewn atebiad i'r gofyniad hwn, y mae tri pheth neillduol o bwysfawr yn dyfod dan ystyriaeth.

1. Mae yr ystafell weddi yn effeithio ar y *parotoad at y Pulpud.*

Mae agwedd dduwiol ar yspryd dyn yn angenrheidiol iawn i fyfyrio a llunio pregeth. Clywsom bregethwr enwog unwaith yn dywedyd, 'Pe na byddai genym ond dwy awr i barotoi pregeth, dylem dreulio un o'r ddwy i weddio.' Dywed y diweddar Mr. Payson, 'Er pan ddechreuais ofyn bendith gan Dduw ar fy ngwaith yn astudio pregeth, mi a wnaethum fwy mewn un wythnos, nag a wnaethum o'r blaen mewn blwyddyn.'

Mae bod yn agos at Dduw yn gynnorthwy mawr hyd yn nod i *ddewis testyn.* Mae yn effeithio hefyd ar drefniad ac ymadroddiad y bregeth. Wele y pregethwr yn awr yn ymyl y nef, yn derbyn ei genadwri, ac yn ei gosod ar bapur, neu yn ei thrysori yn ei gof gyda bywiogrwydd a chynnesrwydd. Am hyny, hi a gynnwys eglurder a nerth, ac o ran trefniad ei hadroddiad y mae yn gyfryw nad allasai ffurfio ei chyffelyb mewn un sefyllfa arall. Dichon y gallai ei bregeth fod yn *harddwych* heb nemawr o dduwiol-frydedd, ond ni byddai ond harddwch clychgiâ. Gallai ei hadroddiad fod yn ystwyth a phrydferth, ond ni byddai ond prydferthwch goleu lleuad. Byddai effeithiolaeth cynnes a bywiol *haul* yn ddiffyg.

Mae cymdeithas â Duw yn effeithio ar *yspryd y bregeth.* Mae yr hwn a fyfyrio bregeth ar ei liniau, yn gochel rhag rhoi un ymadrodd ynddi na ddymunai wrth farw ei fod yn gyfryw ag yw. Mae ei deimladau o bresennoldeb Duw a gwerth eneidiau yn peri iddo ofni dywedyd gair heb fod yn cynnwys meddwl yr Yspryd Glân, dan ddylanwad yr hwn y mae efe yn llunio ei bregeth fyfyriol.

2. Mae yr ystafell weddi yn effeithio *ar draddodiad pregethau.*

Wedi i Hume, yr anffyddiwr, glywed dau wr yn pregethu ar achlysur pennodol, efe a ddywedodd, 'Fod y cyntaf o'r ddau yn pregethu fel pe na byddai yn credu yr hyn oedd yn ei ddywedyd, a'r llall fel pe buasai yn credu fod Mab Duw wrth ei benelin.' Darluniad byr o'r ddau a eglura y dirgelwch. Gwr ieuangc gwag, ac uchelfrydig oedd un, a'r llall yn hen weinidog, nodedig o herwydd symledd ei dduwioldeb.

Mae llawer iawn o bregethu nad oes dim llai na chyflawn waith barn cariad a ddichon feddwl ei fod mewn gwirionedd, mewn sobrwydd, a difrifoldeb. Ond yn mha le y mae yr anhawsder? Diau, mai nid o herwydd nad oes pwysfawrogrwydd digonol yn y gwrthddrych a bregethir. Nid o herwydd nad yw y materion a bregethir yn cynnwys sylweddau bywiol ac ysprydol: ond o herwydd fod gwirioneddau yn cael eu pregethu fel pe baent yn ffug-chwedlau. Am nad yw y pregethwr yn teimlo grym y gwirionedd. Y bregeth a wlychwyd â dagrau y pregethwr yn y weddi ddirgel, nis gall fod yn ddifywyd yn y Pulpud. Cymmundeb â Duw a effeithia, ïe, rhaid iddo effeithio ar draddodiad pregethau. Mae yn effeithio ar yr holl ddyn—ei agwedd—ei wynebpryd, ei lais, ei ystum, a'r cyfan oll.

Mae yn wir fod llawer o'r hyn a eilw y byd yn 'Ffraethineb y Pulpud,' yn mysg dynion na wyddant nemawr am gymdeithas â Duw. Ond mae yn anhawdd dangos y gwahaniaeth sydd rhwng 'Ffraethineb y Pulpud' mewn gwirionedd, a'r hyn a elwir 'Ffraethineb y Pulpud.' Nid yr un peth yw y ddau hyn. Dichon i ddyn a fyddo yn amddifad o wir dduwioldeb fod yn 'Ffraeth yn y Pulpud,' a bod yn ol o'r cyffroad awdurdodol, a gwasgiadol ag sydd yn deilwng o'r enw 'Ffraethineb y Pulpud.' Gellir drwy gywreinrwydd celfyddyd beri i gorph marw ymsymud, cyfodi ar ei eistedd, ac agor ei lygaid; ond er hyny, ni fydd yno ddim bywyd. Dichon i bregethwr areithio yn hyawdl, a thraddodi pregeth drwsiadus a llithrig; ond yn mha le y mae y llygaid bywiog a threiddgar yn tarddu oddiar yspryd effro dyn yn annog dynion anfarwol i ddeffroi yn nghylch eu mater tragywyddol?

Dywed Cecil, iddo fod dros ddwy flynedd

wedi iddo arfer myned i'r Pulpud, cyn iddo ddysgu dirgelwch pregethu. 'Yr oeddwn i yn meddwl,' eb efe, 'nad oedd pregethu ddim ond myned i'r pulpud, a *thraddodi pregeth.*' Eithr wedi hyny efe a ddaeth i fod yn bregethwr llwyddiannus iawn; ond nid cyn dyfod yn weddiwr taer a ffyddiog.

3. Braidd y mae yn angenrheidiol dywedyd fod gweddi ddirgel yn effeithio ar *lwyddiant pregethu.*

Mae yr Ysgrythyr a phrofiad yn dangos yn amlwg y bydd i Dduw fendithio mewn modd arbenig y cyfryw genhadon a ddel ato ef yn fynych mewn erfyniadau am arweiniad, ac adnewyddiad i'w cenadwri. 'Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn wylo, gan ddwyn had gwerthfawr, gan ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ei ysgubau.' Ps. 126. 6. Mae holl addewidion Duw yn sicr. Onid oes yma gysur cryf i'r llafurwr, er mor ddigalon y mae pethau yn ymddangos yn fynych. 'Gan ddyfod a ddaw dan gludo ei ysgubau.'

Ond edrychwn am brawf o hyn i'r Bibl. Wedi esgyn o'r Arglwydd Iesu i'r nefoedd, fe aeth yr apostolion allan, ac a bregethasant ei fod ef wedi codi o feirw—pwngc ar ba un yr oedd y cwbl yn sefyll o ran ei bregethu ef yn llwyddiannus. Yn mhob man daeth lluoedd i'w gwrando, a dygwyd lluaws mawr i'w credu. Planwyd Eglwysi mewn amryw wledydd. Dygwyd gelynion caletaf i Grist yn gyfeillion cynnesaf iddo. Ond, yn mha le yr oedd dirgelwch y llwyddiant hwn yn sefyll? Gellir ateb mewn un ymadrodd byr:—'A hwy a'u hadwaenent, eu bod hwy gyda'r Iesu.' Act. 4. 13. Yr oedd yr apostolion wedi gweled yr Iesu. Buont yn ymddyddan âg ef. Gan hyny, hwy a allent brofi ei fod wedi cyfodi o feirw.

Mor wir a hyny yw fod cymdeithas bersonol â Christ yn gwneuthur pregethwyr y dyddiau hyn yn llwyddiannus. Os daw dyn Duw i lawr o'r mynydd a'i wyneb yn dysgleirio gan lewyrch o'r nef, fe effeithia hyny ar y bobl yn ddiau.

Y pregethwyr mwyaf llwyddiannus yn mhob oes oedd y rhai a fuont fwyaf 'gyda'r Iesu.' Pwy oedd y pregethwyr a fuont o fwyaf fendith yn y ganrif ddiweddaf? Y cyfryw ddynion a Breinerd, yr hwn a dreuliodd fwy nag a allwn ni feddwl o amser mewn gweddi; ac Edwards yr hwn fyddai yn astudio ei bregethau ar ei liniau; a Whitfield, yr hwn y dywedir ei fod yn treulio dwy awr, o leiaf, yn ei ystafell weddi cyn pregethu. Dywedir am Davies o America, na phregethai un amser bregeth na byddai yn offerynol i ddychwelyd rhyw un pechadur o leiaf. Fe fu rhai o'i bregethau yn foddion i ddwyn llawer at droed y groes. Er mwyn eglurhad, nid rhaid ond dywedyd, yr oedd Mr. Davies yn wr ag yr oedd ei enaid yn llawn o dân nefol. Ei hyfrydwch oedd bod yn ei ystafell weddi. Shepherd hefyd, oedd yn bregethwr nodedig o lwyddiannus. Pan oedd ef ar ei wely angeu, efe a ddywedodd wrth rai pregethwyr ieuaingc ag oedd yn bresennol, 'Mae dirgelwch fy llwyddiant i yn y weinidogaeth, yn gynnwysedig yn y tri pheth hyn:—

1. Mynych y costiodd myfyrio pregeth i mi ddagrau.

2. Cyn y pregethwn bregeth i ereill mynwn brofi lles oddiwrthi i mi fy hun.

3. Byddwn yn wastad yn myned i'r Pulpud fel pe buaswn yn uniongyrchol ar ol hyny i fyned i roi cyfrif i fy Meistr am fy ngwaith.

Gwyddai pawb a adwaenai y gwr duwiol hwnw y gellid crynhoi yr *holl ddirgelwch* i ddau air—*gweddi ddirgel.*

Gellir chwanegu siamplau aneirif i brofi y mater sydd mewn llaw. Eithr fe ddywedwyd digon i ddangos fod rhyw beth chwaneg mewn pregethu na 'thraddodi pregeth.' Y dyn a fyddo yn rhodio gyda Duw, ag sy deilwng o gael ei anfon yn genhadwr o'i lŷs ef, a anghofia ei hunan, ac a anghofia bob peth, ond pwysfawrogrwydd gwasgedig ei genadwri at ddynion ar ddarfod am danynt.

Os llwydda efe i oleuo dynion am eu gwir gyflwr colledig, ac i ddangos iddynt Grist Iesu yr Arglwydd, fel Gwaredwr cyflawn a digonol, y mae efe yn foddlawn i fod ei hunan o'r golwg.

Y gofyniad, Pa fodd y mae pregethu mor fynych yn aflwyddiannus? sy beth y ceir gweled yn y dydd mawr pan y datguddir pob dirgelion, ei fod yn gorphwys mwy wrth ddrws y pregethwyr nag y mae llawer yn ei feddwl. Pa sawl cant sydd o ddynion oerion a diyspryd, a rhai a alwant eu hunain yn weinidogion i Grist, ac ydynt yn pregethu, ac yn pregethu, ac yn pregethu, fel pe na bai nefoedd ac uffern ddim ond lluniau o ddychymyg dyn, ac angeu ddim ond tragywyddol gwsg! Oh, pa bryd y bydd i weinidogion Iesu ddysgu nad yw cysgadrwydd a difrawder byth yn fwy allan o'u lle eu hunain nag mewn pregethwr yr efengyl! Pa bryd y dysgant, mai yr unig ffordd iddynt i 'fawrhau eu swydd,' ac achub eneidiau, ydyw, drwy fod yn weddiwyr! *Os mynant wneyd y Pulpud yn orseddfaingc, mae yn rhaid iddynt wneyd yr ystafell weddi yn breswylfod.*
—REVIVALIST.

---

## COFIAINT.

### AM GRIFFITH EDWARDS, LLANLLYFNI.

Y mae bellach saith o flynyddoedd wedi treiglo ymaith er y diwygiad hynod a fu yn Swydd Gaernarfon. Y mae yr amser hwnw fel noson bwyta y Pasg yn yr Aipht, yn un i'w *gofio*, ac yn un a gofir wedi i amser ddarfod. Yn y flwyddyn hono, cafodd

Satan ei ysbeilio o gynnifer o'i ddeiliaid, a Sion y fath ychwanegiad at nifer ei meibion a'i merched, nes y mae *ol* y mynediad 'trwodd o farwolaeth i fywyd,' ar ein gwlad etto. Fel y llawnder yn yr Aipht, yr oedd yn ddarpariaeth dda erbyn y saith mlynedd o brinder (mewn ychwanegiadau at yr Eglwysi) a ganlynodd. Nid oes eisieu ymdrech i gael gan y meddwl edrych yn ol ar yr amser hynod hwnw, oblegid y mae ei effeithiau yn naturiol ddigon yn ei alw i gof. Prydferthwch rhodiad rhai, defnyddioldeb ereill, a ddwg y meddwl i adsyllu ar y nerthoedd oedd yn cydfyned â'r Gair pan y galwyd hwy, a'r blas oedd ar y cyfarfodydd Eglwysig pan y daethant i dŷ yr Arglwydd. Gresyn yw dywedyd hefyd fod gwrthgiliad ambell un yn ein dwyn i gofio yr amser y gwelwyd hwy yn 'profi y rhodd nefol, yn cael eu gwneyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, yn profi daionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw.' Ond y mae marwolaeth ereill a barhausant hyd y diwedd, yn ein dwyn i feddwl yn fywiog am eu cychwyniad gyda chrefydd: eu mynediad trwy yr Iorddonen, yn dwyn eu brodyr sydd etto yn yr anialwch i feddwl am eu dyfodiad trwy y môr, a'u cân ar ol diangc o gaeth-wasanaeth Pharaoh. Ac o'r cyfryw y mae gwrthddrych yr hanes a ganlyn yn un.

Ganwyd Griffith Edwards yn mhlwyf Llanllyfni, Swydd Arfon, yn y flwyddyn 1811. Yr oedd wedi ei fendithio â thymerau naturiol hawddgar, a chynneddfau lled gryfion. Heblaw yr Ysgol Sabbathol, yn yr hon yr ymarferodd â darllen y Bibl a'i chwilio, ychydig fanteision i gyrhaedd gwybodaeth a gafodd; er iddo trwy ei ddiwydrwydd ddysgu ysgrifenu, ac ychydig rifyddiaeth. Yr oedd hefyd yn arfer gwrandaw yr efengyl yn gyson ac astud o'i febyd, a rhagorai ar y cyffredin mewn ymgadw oddiwrth ffolineb a gwagedd mebyd ac ieuengctyd. Pan y torodd y diwygiad allan yr oedd yn gwasanaethu mewn fferm yn Bwlchderwyn. Daeth y pryd hwnw i ystyriaethau difrifol, dan effeithiau grymus y gair, (a deimlid gan gynnifer) yn nghylch ei gyflwr colledig, a'r ffordd a ddatguddir yn nhystiolaeth yr efengyl i gadw pechadur. Yn fuan daeth i ymofyn lle yn Eglwys Dduw. Pan ofynwyd iddo, pa beth a'i cymmellai i ddyfod, atebai, dan grynu, ei fod yn bechadur mawr, ac arno eisieu trugaredd, ac iddo pan gyda'i waith y boreu hwnw deimlo y fath ofn na chai byth ddyfod i dŷ yr Arglwydd i ymofyn am ei drugaredd, oni ddeuai y tro hwnw, a phe buasai un yn dywedyd felly wrtho; ac iddo oddiar y tir hwnw ufuddhau. Bu ei ymddygiad yn addas iawn i'w broffes o efengyl Crist dros y gweddill o'i oes; er ei fod mewn ofnau yn fynych nad oedd wedi cael gwir gyfnewidiad.

Megis yr oedd yn rhoddi ufudd-dod i'r efengyl yn ei ymarweddiad, felly byddai ei deimladau weithiau yn llawn o'i chysuron. Un dydd Sabbath, pan oedd ei feddwl yn dra isel, aeth gyda dau o'i gyfeillion i le neillduedig i ddarllen y Bibl a gweddio. Derbyniasant y fath dywalltiad o'r Ysbryd Glân, nes tori allan i foliannu Duw, a pharâu am oriau yn y dymmer nefolaidd hono. Cofiodd y tro hwnw tra fu byw, a digon tebyg nad aeth yn angof ganddo etto. Yr oedd bob amser yn fanwl mewn cadw y Sabbath. Codai mor foreu ag ar ddyddiau ereill, hyd yn nod yn amser y cynhauaf, pan fyddai blinder mwy na chyffredin yn esgus a roddid gan lawer dros ymddygiad gwahanol. Ei arfer oedd aros ychydig i ddarllen ei Fibl yn gyntaf, yna i encilio i le dirgel i fyfyrio a gweddio cyn myned i'r addoliad cyhoeddus. Peth nodedig ynddo hefyd oedd bod yn ddiragfarn at frodyr heb fod o'r un blaid grefyddol ag ef ei hun.

Pan y byddai mewn cyfle o fod mewn cyfarfodydd crefyddol a gynnelid gan blaid grefyddol arall, ni chlywid ef un amser yn bychanu un ran o'r gwaith, fel y mae zel bleidiol yn rhy aml yn cynhyrfu dynion crefyddol i wneyd. O'r tu arall, yr oedd tuhwnt i'w ammeu am sefydlogrwydd ei farn. Yr oedd ei ddiniweidrwydd a'i lareidddra Cristionogol (er ei fod yn naturiol yn gall a bywiog) yn deilwng o'i goffhau. Tystia rhai y bu yn gwasanaethu gyda hwy na welsant tra bu yn eu gwasanaeth arwydd o ddrwg dymmer ynddo. Cwynai brawd ieuangc wrtho yn fuan wedi eu myned at grefydd fod dyn dibroffes wedi ymddwyn mor annheilwng tuag ato, nes y teimlai awydd talu iddo yn ol ei weithred. Atebai yntau, na, gad iddo, ymdawela, â hyn heibio, byddai ymryson âg ef yn debyg o roddi mwy o ofid i ti na gadael llonydd iddo: cofia yr hen bennill,

> Ar fôr o wydr teithio 'rwyf,
> Peryglus enbyd yw;
> Lle syrthiodd myrdd, a llawer mwy,
> 'Rwyf fi trwy ras yn fyw.

Derbyniwyd ei gyngor, a thystia y brawd crybwylledig, yn nghyda chwaer a'u clywai yn ymddyddan, nad anghofiant ei ddull diniwed, ond serchog, yn ei roddi. Wrth ystyried nad oedd ond bachgen mewn oedran, a phlentyn mewn crefydd, yr oedd yma brawf fod ei feddwl o dan lywodraeth crefydd yn fwy na llawer a'i proffesai.

Bu am rai blynyddoedd o'i oes grefyddol yn gwasanaethu mewn fferm yn ardal Tremadoc; a chafodd air da am ei ffyddlondeb a'u fywiogrwydd fel crefyddwr a gwasanaethwr. Ymgadwodd yn mynwes ei frodyr tra bu yno, ac ymadawodd â hiraeth arnynt ar ei ol. Bu am ran o'r amser yr arosodd yn Nhremadoc yn athraw yn yr Ysgol Sabbathol; a phrawf o'i ffyddlondeb cydwybodol yn y swydd hono, yw yr ymddyddan a glywid rhwng ei Ddosparth ar ol clywed am ei farwolaeth:—'Wel,' meddant, 'y

mae ein meistr yn y nefoedd.' O! na allai holl ddospeirth Ysgolion Sabbathol Cymru roddi y fath dystiolaeth am eu hathrawon ar ol eu marw. Y mae perygl fod rhai yn gadael tystiolaeth wahanol iawn ar eu hol. Y goreu a ellir dywedyd am eraill yw fod yn rhy anhawdd penderfynu am eu tragywyddol gartref; a phe buasai lle canol yn y byd arall, buasai eu cyfeillion yn uufrydol yn eu rhoddi yn hwnw.

Mae Ysgolion Sabbathol ein gwlad wedi eu hegwyddori mor gywir erbyn hyn, nes y rhaid i un fod wedi rhoddi arwyddion amlwg o agosrwydd at Dduw cyn y byddo y rhai y llafuriodd gyda hwy wedi eu boddloni ei fod wedi 'myned i *dangnefedd*.' Dylid dywedyd hefyd y byddai ein cyfaill tuag at i'r pethau a hoffai gael argraff fwy arosol ar ei feddwl, yn eu hysgrifenu; cyfansoddai hefyd ambell ddarn ar ryw fater crefyddol. Ni ddylid gadael ei hanes chwaith heb grybwyll iddo fel dyn ieuangc, h. y. fel un heb fyned i'r ystad briodasol, ymddwyn dros ystod ei yrfa grefyddol, yn addas i'r efengyl. Glanhaodd ei lwybr wrth ymgadw yn ol gair Duw. Bu ei ymddygiad yn hyn yn gyfryw ag oedd yn gysur i'w frodyr crefyddol, yn gynllun i'w gydieuengctyd proffesedig, ac yn addurn i grefydd.

Ond pan y dysgwylid nad oedd ond newydd ddechreu gyrfa o hir ddefnyddioldeb gyda gwaith yr Arglwydd, daeth angeu, dinystrydd holl ragoriaethau y bywyd hwn, ac a'n siomodd; torodd ein brawd ieuangc i'r bedd cyn hanner ei ddyddiau: ïe, i'r *bedd*, lle nid oes gwaith na dychymyg, gwybodaeth na doethineb. Teimled ieuengctyd digrefydd y cymmelliad sydd yn yr hanes hwn, a rhai cyffelyb, arnynt i ymofyn am grefydd; a dysged ieuengctyd crefyddol oddiyma fod yn fwy tebyg i rai yn 'disgwyl eu Harglwydd.'

Cyn pen saith mlynedd llawn ar ol iddo ddyfod i dŷ yr Arglwydd, tarawyd ef yn lled ddisymwth gan ei glefyd angeuol. Yn nechreu ei gystudd, nid oedd, gan boethder y clefyd yn berwi ei waed, ac yn arteithio ei natur, yn cael nemawr o seibiant i feddwl nac ymddyddan. Ond yn mhen ychydig ddyddiau daeth y pleser a gai ei enaid mewn crefydd i'r amlwg, er gwaethaf cystudd ei gorph. Ymddangosai yn cael hyfrydwch mawr wrth ganu y geiriau hyn,

> 'Pan ddel angeu chwi ffowch ymaith,
> Da i mi fod genyf Dduw.'

Yn ei gystudd, dywedai wrth ei chwaer ei fod yn hoff iawn o'i gyfeillion crefyddol. 'O fy nghyfeillion anwyl,' meddai, 'y mae yn dda iawn genyf am danynt oll.' Yn fuan daeth un o honynt i ymweled âg ef, a gofynodd iddo, 'Pa fodd yr oedd o ran ei feddwl?' Atebai, 'Digalon weithiau; ond pan y byddaf yn cael golwg ar gyrau y wlad, bydd yn hyfryd iawn arnaf.' Yn un o'i ddyddiau olaf, dywedai wrth y meddyg, 'Nis gallwch wneyd dim lles i mi yn awr; y mae genyf barch i chwi fel meddyg, ond y mae genyf un gwell na chwi heddyw.' Daeth ei frawd i ymweled âg ef, ac a ddywedodd 'Ei fod yn disgwyl y gwellai etto.' 'Na,' atebai yntau, 'Nid oes arnaf eisieu gwellâu;—daw fy Nhad i'm cyfarfod i'r afon, (Ps. 23. 4.) y mae wedi addaw—caf fyned trwodd yn ddiangol.' Y dydd olaf y bu fyw, dywedai yn felys am aberth Crist, a'r Iawn anfeidrol a gaed ynddo, gan ddiolch yn y fath wresogrwydd nefolaidd am dano, nes oedd rhai celyd ac anystyriol yn methu dal heb wylo wrth ei glywed. Pan aeth yn rhy wan i dori geiriau, codai ei ddwylaw, a gwenai yn siriol iawn. Ac felly, gan roddi prawf fod ei enaid mewn llawn fwynhad o gymdeithas â Duw, efe a hunodd yn yr Iesu. O! gwyn ei fyd y bobl y mae felly iddynt.

Dydd ei gladdedigaeth hebryngwyd ei gorph i fynwent Llanllyfni gan dyrfa luosog. Canwyd pennillion priodol i'r achos ar hyd y ffordd yn gymmysg âg wylo nid bychan. Wedi canu ar lân y bedd ar ol claddu, ymadawyd, gan adael ei gorph yno i aros adgyfodiad llawen, sef, ei brynedigaeth o garchar y bedd.

Dyn duwiol mewn sefyllfa isel yn y byd, yw un o addurniadau penaf creadigaeth Duw. Dyma y darlun cywiraf o fywyd yr Arglwydd Iesu yn y byd. Yma y mae duwioldeb i'w weled yn ei ddysgleirdeb ei hun, heb ei arliwio gan wychder y byd hwn. Y mae y Saint ar y ddaear, mewn sefyllfaoedd isel, yn rhoddi y fath brawf o ymostyngiad i ewyllys Duw, ag sydd yn gryfach *i'n golwg ni* nag ymostyngiad yr angel wrth guddio ei ben a'i draed â'i adenydd. Ac oni bai fod sefyllfa yr angelion yn ddiogel, a'r eiddo y cythreuliaid yn anobeithiol, dywedem y buasai y fath esiampl o ostyngeiddrwydd sanctaidd yn gyru y naill i *eiddigeddu*, a'r lleill i *gywilyddio*.

*Eifionydd.* J. OWEN.

---

Daeth angeu'n ddiau i ddwyn,—ein Gruffydd,
Gorhoffus ac addfwyn;
Er ochi, rhyw hir achwyn,
Ni cheir er galar a chwyn.

I'r hen ddaear ddiharddwch,—dyna fu,
Dwyn i fedd, hawddgarwch;
Aeth heb nerth, na phrydferthwch,
Do, yn llangc o dan y llwch!

Ar ei ol bydd hir wylo,—poen gofid
Pan gofir am dano;
Ebrwydd ei addasrwydd o
A gyfyd i'w hir gofio.

Symlrwydd, diwydrwydd rodiad,—oedd iddo,
Addas ymarweddiad;
Dygai enw a delw ei Dad,
Dwthwn ei fyr ymdeithiad.

O! chwerw ing, a chur angau,—ehedodd,
(Gadawodd gystuddiau);
I wlad lle mae caniadau,
A bore hedd i barhau.

Ac o'r llwch, cofiwch cyfyd—ef etto
I fyw at yr yspryd;
Yn y nef, byddant hefyd
Yn lân ddiwahan o hyd.

*Treflys.* R. R—s.

---

PETER ANDREW O'R LLWYN.

PETER oedd fab i William a Mary Andrew, y rhai oeddynt yn cyfanneddu yn Rhydderchlwyd, plwyf Bellan, Swydd Ceredigion, ac yn un o un-ar-bymtheg o blant, y rhai sydd bron i gyd yn y bedd.

Ni chafodd nemawr o ddysg na manteision crefyddol, ond yr oedd fel ei gyfoedion yn gyffredin yn eithaf difeddwl am bethau ysprydol. Gadawodd dŷ ei dad yn foreu, ac aeth i wasanaethu i le yn nghymmydogaeth Llanddewibrefi; ond cyn ei fod yn ugain oed daeth adref, a dysgodd gan ei dad weithio gwaith gôf, a chyn pen ychydig o amser bu farw ei dad, yr hyn a gafodd effaith fawr ar ei feddwl, ac a ddyrysodd ei fwriadau blaenorol; ac yn fuan ar ol hyn gadawodd ei ardal enedigol, ac a aeth drosodd i Blaen'afon, yn Swydd Fynwy; ac o ddaioni yr Arglwydd yn gofalu am yr amddifad, cafodd waith yno, a hoffodd y lle; ac ar ol sefydlu yno, tueddwyd ei feddwl i wrando yr efengyl, ac yn fuan teimlodd y weinidogaeth nid fel gair dyn, ond fel gwir air Duw, ac fel hyn daeth i dywydd mawr am ei gyflwr, yr hyn oedd yn ddyeithr iddo o'r blaen, a chyn hir efe a ymunodd â'r gangen Eglwys o'r Methodistiaid Calfinaidd oedd yno, a chafodd ei ystyried fel dyn dan law yr Arglwydd. Daeth yn fuan yn uchel yn meddwl ei frodyr fel dyn sobr o feddwl, a diwyd gyda ei alwedigaeth, a digoll iawn o foddion gras. Priodol oedd dywedyd am dano ei fod yn gwarchod wrth y pyrth, ac yn gwylio yn ddyfal wrth y drysau, yr hyn a drodd yn elw mawr i laweroedd.

Ar ol i'r eglwys gael mis o brawf o Peter Andrew, cafodd ei ddewis i fod yn flaenor ynddi, yr hon swydd bwysig a gyflawnodd yn ffyddlon hyd ddydd ei farwolaeth. Yr oedd o feddwl gofalus am yr achos yn ei holl ranau allanol ac ysprydol. Byddai yn barod i gyfranogi at bob achos a fyddai yn deilwng trwy ystod ei oes grefyddol; ac yr oedd ganddo, nid yn unig ewyllys, ond gallu hefyd er gadael ei wlad yn fachgen amddifad, daeth yn berchen cannoedd o bunnau, a hyny trwy ei lafur ei hunan, yr hyn oedd o fawr gysur iddo yn ei amser diweddaf.

Ar ol marwolaeth ei frawd Dafydd, efe a symudodd o Blaen'afon i'w hen ardal enedigol, a gwnaeth ei le mewn cangen Eglwys o'r un corph yn Llanbedr, a chafodd le mawr yn ein plith; ac fel yr oedd ei feddwl yn parhau yn gynnes at yr achos Crefyddol, ystyrid nad oedd yr addoldy ddim yn addas i sefyllfa y lle, sef, mewn tref, a hono yn nghanol gwlad gymmysgedig iawn o ran golygiadau ar bethau Crefyddol; llawer yn y wlad hon sydd yn edrych yn ddirmygus ar bregethu Crist yn Dduw dyn, a digonol Geidwad i bechaduriaid Ac wrth feddwl fod y Gymdeithas Grefyddol heb fod yn lluosog iawn, ac achos y capel heb ddyfod yn y modd ag oedd yn ddymunol ar ei feddwl, rhoddodd o'i law ei hun *gant o bunnau* at ail-adeiladu yr addoldy, o'r hon weithred dda a chlodfawr mae ysgrifenydd hyn o hanes yn llygad-dyst. Hyn a wnaed yn ddioed trwy ddefnyddiad llawer o arian gyda hyny, fel mae y capel yn hardd a chysurus iawn, fel y gwelir heddyw. I'r hyn beth hefyd y dangosodd gwrthddrych ein sylw foddlonrwydd mawr hyd y pryd diweddaf y gwelais ef yn ymyl marw.

Hyderaf y gwna llawer o'n cyfeillion yn y deheudir a'r gogledd ddilyn ei ol—harddu y capeli, a thalu eu dyled, yr hyn a fydd yn glod i ni fel oes o grefyddwyr. A da iawn meddwl fod rhyw ranau o'r wlad yn codi yn enwog at hyn. Gwyn fyd na chaem gyd-ddeffroi o Gaergybi, yn Mon, i Gaerdydd, yn Morganwg.

Yr oedd Peter Andrew y blynyddoedd diweddaf o'i oes yn wanaidd ac afiach iawn, yn cael ei flino yn fawr gan ddiffyg anadl, fel nad oedd nemawr amser yn alluog i fyned i Gymdeithasfa Fisol ein Swydd; etto, byddai yn ymdrechgar iawn i ddyfod i'r moddion Crefyddol Sabbathau, ac amseroedd ereill. Byddai efe yn cadw golwg craff ar holl bethau yr achos, ac yn ymddyddan llawer â'i frodyr yn eu cylch. Byddai yn trydar, ac yn wylo llawer tan y pregethau.

Byddai Peter yn arfer dywedyd llawer yn y Cyfarfod Eglwysig, a phawb yn dderbyniol o'r pethau a ddywedai, am ei fod yn doddedig ei yspryd yn gyffredin, ac yn ymdrechu gwneyd y pethau ei hunan. Yn yr Hydref diweddaf, pan yr oedd yr Wŷl Ddirwestol fawr yn y dref hon, daeth yn aelod o'r Gymdeithas hono, er ei fod i fesur yn wrthwynebol o'r blaen, yr hon egwyddor a gefnogodd efe yn y canlyniad hyd ddiwedd ei oes.

Ond ar ol bod flynyddoedd yn wanaidd ac yn llesg, boreu Sadwrn, Mehefin 1, cafodd ei daro gan gryd trwm iawn, yr hyn oedd fel cenad angeu, a bu yn glaf neillduol hyd boreu ddydd Iau canlynol, pryd y datodwyd y cwlwm rhwng y corph a'r enaid; aeth y rhan anfarwol i'r byd ysprydol a thragywyddol, at Dduw yr hwn a roddes ef.

Boreu ddydd Sadwrn, daeth cynnulleidfa yn nghyd i gladdu ei ran farwol, pryd y traddodwyd pregeth fer oddiar Esa. 38. 10.

ac yna cychwynwyd â'i gorph i dŷ ei hir gartref, lle yr erys mwy hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf. 'Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig.'

*Llanbedr.* JOHN JONES.

---

ATEBION I OFYNIADAU YN Y GYFROL DDIWEDDAF.

*Ateb i Ofyniad* ANWYBODUS, *yn Rhif.* 106. *tu dal.* 308. Am eglurhad ar Gal. 2. 17.

YR adnod sy fel hyn: 'Ac os wrth geisio ein cyfiawnhau yn Nghrist y'n caed ninnau hefyd yn bechaduriaid, a ydyw Crist am hyny yn weinidog pechod?'

Yn ol barn Esbonwyr yn gyffredinol, yr wyf yn meddwl mai ystyr yr adnod sydd debyg i'r hyn a ganlyn:—Ac os, tra y byddom fel hyn yn ymofyn am ein cyfiawnhau drwy gyfiawnder cyfrifol Crist drwy ffydd yn unig, y byddwn yn aros dan y ddeddf fel pechaduriaid condemniedig, neu os byddwn yn byw fel dynion dan awdurdod pechod, yr ydym mewn gweithred ac arferiad yn dangos Crist a threfn iachawdwriaeth, megis yn ein gadael dan felldith a llywodraeth pechod, ac fel yn annogaethol i weithredu drygioni. Na oddefed Duw i neb feddwl na dywedyd felly am Grist, nac am drefn iachawdwriaeth.

DARLLENYDD.

---

*Ateb i Ofyniad* IORWERTH GLANDYFRDWY, *yn Rhif.* 106, *tu dal.* 308, Yn mherthynas i hawl plant Cristionogion proffesedig i aelodaeth Eglwysig, &c.

ATEB. Mi debygwn i, Mai nid bedydd sydd yn rhoddi aelodaeth Eglwysig i blant Cristionogion proffesedig. Eithr proffes eu rhieni sydd yn rhoi hawl i'w plant i aelodaeth Eglwysig, ac o herwydd hyny dylid eu bedyddio hwynt. Derbynied eich Gohebwr Iorwerth hyn hyd oni roddo rhyw un arall atebiad gwell, neu fanylach i'w Ofyniad. BEDYDDIEDIG.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Coffhad am y Parch. Daniel Rowlands, gynt o Langeitho.* GAN Y PARCH. JOHN OWEN.

*(Llythyr at yr Awdwr.)*

BARCHEDIG SYR,—Yr wyf o galon yn ddiolchgar i chwi, ac a ddymunwn fod, yn enwedig i *Dduw*, am eich llafur a'ch diwydrwydd yn casglu ac yn cyhoeddi y 'COFFHAD AM Y PARCH. DANIEL ROWLANDS.' Yr wyf yn ddiau yn meddwl y bydd o *fendith* i lawer o'n cyd-genedl, yn yr oes hon, ac mewn oesoedd i ddyfod, ïe, (gobeithiaf) dros holl oesoedd amser! Mae yn cynnwys rhai pethau a glywais gan fy mam, a chan amlrai o'r hennafiaid, ers yn agos i *hanner cân mlynedd* yn ol.

Pe gwybuaswn mewn pryd am eich bwriad o'i gyhoeddi, buasai yn dda genyf anfon i chwi hanesyn gwerthfawr a glywais gan y diweddar Barch. T. CHARLES, yn cynnwys ymholion ac attebion rhyngddo ef a rhyw foneddigion yn Llundain, yn mherthynas i'r Parch. D. Rowlands.

Dywedent wrth Mr. Charles, eu bod wedi clywed son am Mr. Rowlands fel un yn rhagori ar bawb ereill, fel Pregethwr, &c. Ond nis gallent amgyffred pa fodd y *gallai* ragori ar hwn a hwn ac ereill a glywsent hwy, (gan eu henwi, &c.) a thybient nad oedd yn *ddichonadwy* i neb dyn, er's dyddiau *Paul*, ragori ar y rhai hyny. Yn rhwydd, syml, a goleu, yr attebai Mr. C. hwynt, gan ddangos iddynt, er eu mawr syndod a boddhad, yn mha beth neu bethau yr oedd y *rhagoroldeb* yn gynnwysedig. Dywedai mai "yr *arddeliad* Dwyfol ar y Gwirioneddau a draddodai ef oedd y *rhagoriaeth mwyaf arbenig:*—y goleu a'r nerth oedd ef yn gael *i bregethu*, a'r un goleu a grym ag oedd yn cael ei gymhwyso at eneidiau y gwrandawwyr. Pan y cyhoeddai Rowlands y 'Gyfraith Sanctaidd,' byddai yr YSBRYD GLAN, yr Hwn a'i dysgai, a'i harweiniai, ac a'i nerthai ef i'w phregethu, yn *argyhoeddi* pechaduriaid o'u cyflwr collfarnedig, fel y byddai yn *anmhossibl iddynt beidio* llefain a gwaeddi allan, '*Darfu am danom! Beth a wnawn! Oh! Beth a wnawn!*' &c. &c. Ië, byddai *llawer* ar rai oedfaon, o rai a ddaethant yno '*yn feirw mewn camweddau a phechodau,*' yn cael eu gwir '*fywhau,*'—'*rhai pell yn cael eu dwyn yn agos*'—'*gelynion yn cael eu cymmodi,*' &c. Yr oedd yn debyg, i *raddau helaeth*, dan weinidogaeth Rowlands, i'r modd yr oedd ar a than fynydd Sinai,—fel y cawn yn Exod. xix. a xx.; ac nid yn anfynych yn gyffelyb, i raddau anghyffredinol, i Ddydd y Pentecost hwnw yn Jerusalem, Actau ii. Pan y pregethai efe '*Gymmod trwy waed Crist,*'—pan y cyhoeddai '*anchwiliadwy olud Crist.*' *Offeryn* a fyddai efe yn llaw '*Ysbryd Crist;*' ac *Efe, Duw Ysbryd Glân*, a *lefarai* drwy Rowlands! *Efe*, '*yr Hwn a orchymmynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, a lewyrchai y'nghalonau* y Pregethwyr a'r gwrandawwyr!

Byddai nerth ac ardderchawgrwydd Dwyfol yn amlwg yn a thrwy y 'weinidogaeth a roddwyd iddo!' Miloedd lawer a broffesant mai 'gallu Duw' oedd yr Efengyl a bregethai!' Ië, cymmaint oedd y 'rhagoriaeth' â pha un y gwnaeth Duw i Rowlands ragori ar ereill o'i weision, o ran *graddau* y cynnorthwyon a'r '*arddeliad,*' fel nas gall neb ei iawn amgyffred ond y rhai a'i clywsant ac a brofasant y nerthoedd Dwyfol drwy ei weinidogaeth!"

Yr oedd adroddiad Mr. Charles â llewyrch neillduol arno; yn rhagori yn fawr, o ran eglurder ac ysprydolrwydd, &c., ar ddim a allaf fi ei *ail*-adrodd o hono. Cymmaint oedd syndod y boneddigion hyny, a'r bodd-

had a gawsant yn yr hysbysiad a roddes Mr. Charles iddynt, fel y cynnygiodd un o honynt iddo *bum Gainea am* yr hyn a ddywedai efe wrthynt! (Ond eu *gwrthod* a wnaeth Mr. C.)

Clywais gan henwr, ag oedd yn un o'r gynulleidfa dra lliosog yn gwrandaw Mr. Rowlands rywbryd yn y Bala, fod y fath arddeliad ar y gwirionedd a gyhoeddai, y fath nerth a goleuni goruwch naturiol yn gweithredu ac yn llewyrchu,—fel ag yr oedd y Pregethwr, a nifer mawr o'r gwrandawwyr, mor debyg i rai 'allan o'r corph' ag oedd *fodd i neb fod tu yma i fyd yr ysprydoedd!* Yr wyf yn meddwl mai 'WELE OEN DUW,' &c, oedd y testun.

Gwelais a chlywais innau yn Llangeitho, yn y flwyddyn 1812, y fath orfoledd nefol, ie, (meddaf) gorfoledd *sanctaidd a nefol*, fel nas gallaf ammeu nad oedd yr angylion sanctaidd yn mawr-lawenychu wrth sylwi arno! Yn mysg cannoedd neu filoedd ereill yr oedd un Parched'g Weinidog *oed mawr* (ag oedd y pryd hyny yn *Gurad* yn ——) yn gorfoleddu ac yn moliannu yn *effeithiol iawn*,—yn neidio â'i holl egni; ei ddywediadau, ei lais, a'i wynebpryd, yn gystal a'i yspryd, wrth fodd y nefoedd; a'i ddagrau ar yr un pryd yn dyferu hyd y llawr!

Mae y Llyfr a gyhoeddasoch yn dra gwerthfawr, ac yn *hardd*, yn addas i Lyfrgelloedd holl foneddigion y Dywysogaeth. Ond, (anwyl Barchedig Syr) a gaiff yr is-raddolion, y llafurwyr, y crefftwyr tlodion, *ail argraffiad* o hono cyn bo hir, ar bapur ychydig rhatach, a llythyren ychydig llai, &c., am oddeutu 2s? Oh, na fyddai un *copi*, o leiaf, o hono y'mhob teulu, o bob enwad crefyddol, a'r a fedrant ddarllen y Gymraeg!

Gan ddymuno o'm calon fawr lwydd, a bendith 'Duw pob gras,' ar eich llafur yn mhob dosparth a rhan o'i waith sanctaidd Ef, y'ch galwyd ato. Wyf yr annheilyngaf,

DANIEL JONES.

*Gwrecsam, Mai* 30, 1839.

D. S.—Derbyniwyd atteb caredig oddiwrth yr Awdwr i'r Llythyr uchod.

---

*Catecism Cyntaf y Dr. Watts, wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg.* Gan y diweddar Barch. Thomas Evans, Caerfyrddin.—Ail argraffiad.

YR ydym eisoes wedi rhoddi ein cymmeradwyaeth i'r Llyfr defnyddiol hwn; a chan nad oes nifer fawr heb eu gwerthu, dymunem alw sylw penau teuluoedd, ac athrawon yr Ysgol Sabbathol yn gyffredinol ato yn fuan. Y mae wedi bod yn lles mawr mewn amryw leoedd. O herwydd marwolaeth y cyfieithydd duwiol a llafurus gwerthir y cwbl sydd ar law am bris isel.

Hyderwn y bydd, o fewn ychydig fisoedd, mewn defnydd yn yr holl Ysgolion Sabbathol, nid yn unig yn Nghymru, ond hefyd yn Lloegr.

M. JONES, *Caerfyrddin.*
E. WILLIAMS, *Aberystwyth.*

---

## LLYTHYRAU, &c.

### DIWYGIAD YN YSGOTLAND.

TRA mae cymmaint o son am ddiwygiadau, ac o ddymuniadau hiraethlon am adfywiadau crefyddol mewn cynnifer o Eglwysi crefydd; ni ellir llai na meddwl fod y newydd am adfywiad crefyddol mewn un fro neu wlad yn tynu sylw cyffredinol Eglwys Crist yn y gwledydd cymmydogaethawl; ac felly y bu yr adfywiadau grymus a fuant yn America y blynyddoedd a aethant heibio, yn sugno sylw cyffredinol Eglwysi Protestanaidd y byd; ac yn fwy arbenig, yn y dyddiau diweddaf hyn, mae yr adfywiad grymus a gymmerodd le yn Kilsyth, a manau ereill o'r Alban, yn destyn sylw a son, yn mhell ac yn agos, yn enwedig yn mysg Cristionogion Talaethiau Prydain Fawr; ac y mae yn dra naturiol dysgwyl i grefyddwyr Cymru, gwlad a fwynhaodd y fath adfywiadau grymus ar grefydd yn ei gwahanol lanerchau, er dyddiau rhyfedd Harris, Rowlands, a'u cyd lafurwyr zelog, yn dra awyddus am gael cymmaint o hysbysiaeth ag a fyddo modd am y fath adfywiad, mewn gwlad mor agos, ac yn mysg deiliaid o'r un Llywodraeth â hwy, fel y mae yr Albaniaid.

Wedi hir ddysgwyl gweled rhyw un arall yn cyfarfod â dwys awydd fy nghenedl yn hyn, yr ydwyf, mewn ufudd-dod yn benaf i gais taeraf fy hen frawd hybarch, Golygydd y Drysorfa, yn cynnyg gwneyd a allwyf yn hyn; gan obeithio y bydd yn foddion i adnewyddu ffydd llawer Cristion, i fod yn daerach mewn gweddi, yn ddyfalach mewn dysgwyliad, ac yn fywiocach yn yr arferiad o'r moddion a drefnodd Duw i gynnyrchu y cyfryw adfywiadau.

Y darluniad canlynol o'r Adfywiad yn Kilsyth,* a ysgrifenid gan y Parch. Mr. Burns,† Gweinidog y plwyf, ar ddymuniad ei frodyr o Henaduriaeth Glasgow. 'Yr oedd amryfal barotoadau i'r diwygiad, ac arwyddion agoshad adfywiad, i'w canfod yn ein plith yn enwedig er's tua dwy neu dair blynedd a aethant heibio; etto, wedi y cwbl,

---

*Kilsyth sydd dref fechan, mewn plwyf o'r un enw, yn Swydd Stirling; deng milldir i'r de-dde-orllewin o Stirling, a thair milldir ar-ddeg i'r dwyrain o Glasgow. Poblogaeth y plwyf sydd oddeutu pedair mil a hanner. Mae yn y plwyf hwn amryw weithfeydd glo a haiarn.

† Yn Eglwys Sefydledig Ysgotland, y dechreuodd yr adfywiad hwn; ond y mae amryw Enwadau Ymneillduol wedi cyfranogi yn helaeth o honaw ar ol hyny.

nyni a allwn ddywedyd yn briodol am yr olygfa ryfeddol a gawsom, ag ydym yn dystion beunyddiol o honi, 'Pan ddychwelodd yr Arglwydd ein caethiwed, yr oeddym fel rhai yn breuddwydio.' Yr oeddym fel pe buasem newydd ddeffroi o gwsg, dan yr hwn y buasem yn gorwedd dros agos i gan mlynedd! Nid yw yn hawdd genyf olrhain yn fanol yr holl amgylchiadau rhagarweiniol i'r tro rhyfedd hwn yn ein plwyf, rhag y priodoler pwysfawredd anmhriodol i'r amgylchiadau *rhag-arweiniol* hyn; ac etto, ni's beiddiaf eu celu, rhag nad amlygid felly y llwybr trwy ba un y mae yr Arglwydd wedi gweled yn dda ymweled â ni.

Fe'm derbyniwyd i fod yn weinidog yn y plwyf hwn, ar y 19eg o Ebrill, 1821, ar yr hon y dechreuais "*mewn gwendid, ac ofn, a dychryn mawr.' Gwelwn ddyffryn teg o'm blaen, cyffelyb i ddyffryn Sodoma, yn fras a dyfradwy; ond, Och! yr oedd yn rhy debyg iddo hefyd mewn ystyr ysprydol a moesol. Etto, yr oedd yno lawer Lot a Jacob yn eu mysg, y rhai a weddient, ac a ymdrechent am ddychweliad amser adfywiad. Cyfeirid at hyn yn aml yn ngweddiau fy rhagflaenor, ac yr oedd hyn yn ddigon cyffredin i glustiau ein pobl; y rhai oeddynt fel rhai a'i cyfrifent yn anrhydedd i barchu enwau, ac adeiladu beddau eu tadau hybarch, tra yr oeddynt hwy, ysywaeth, yn llwyr esgeulus o ddilyn eu hesiampl.

Mae ymweliad gweinidog â phob teulu mewn plwyf, ar ol ei bennodiad yn weinidog iddo, yn amgylchiad tra phwysig yn ei hanesiaeth. Nid oedd fodd i neb gael derbyniad mwy caredig nag a gefais i oddiwrth bob graddau, ac enwadau y pryd hyny, ac ar fy ymweliadau blyneddol er y pryd hyny hyd yn awr. Yr ymddangosiad cyffredinol yn yr Eglwys, a'r olygfa ddifrif-ddwys a geid arnynt dan wrandawiad gweddiau ar y claddedigaethau, a dynent fy sylw fel yn arwyddocäol o fwy o yspryd crefyddol nag a ddysgwylaswn; ond gor-bwysid yr arwyddion daionus hyn gan y nifer mawr oeddynt lwyr esgeulus o bob moddion crefyddol, a chan ffyniant arswydus anghymmedroldeb, a'r olwg ysgafn oedd gan y trigolion ar bechod, yn ol pob ymddangosiad: ïe, hyd yn nod y proffeswyr crefydd. Effeithiai geiriau y Gwaredwr yn nodedig ar fy meddwl, 'Oblegid yr amlha anwiredd, fe oera cariad llawer.'

Yr oedd pedwar neu bump o gyfarfodydd gweddio yn cael eu cynnal yn wythnosol drwy yr *holl* blwyf y pryd hyny. Yn 1823, sefydlais gyfarfodydd neillduol ar nosweithiau o'r wythnos, i feibion a merched ieuaingc o bedair-ar-ddeg hyd ugain mlwydd oed, (sefydlasid Ysgolion Sabbathawl yma er y flwyddyn 1809). Yr oedd pedwar o'r henuriaid, y rhai ydynt mor fywiog gyda'r diwygiad presennol, yn aelodau o gymdeithas y gwŷr ieuaingc, a grybwyllir uchod.

Yn y flwyddyn 1826, cymmerodd gwelliant tra phwysig le yn y dull o gyfranu addysg plwyfol, yr hyn a ddygid yn mlaen yn dra zelog gan y naill a'r llall o'r cynnorthwywyr tra buddiol hyn i lafur y gweinidog. Cymmwysid yn feunyddiol at y *meddwl a'r galon* addysgiadau *ncfol*, cystal a *doethineb fydol*. Er hyny, yn 1829, ymdorai dylif o ddrygau arnom, yr hyn a achlysurid yn benaf trwy ymrafaelion dynion meddwon; ac yn Ionawr, 1830, neillduwyd diwrnod i ymprydio a gweddio yn herwydd hyn yn neillduol; o'r hyn y cyhoeddid rhag-hysbysiad, yn nghyda'r rhesymau dros hyny. Cedwid y dydd hwn gyda dwysder mawr, a dylynid ef â bendith amlwg.

Yn y flwyddyn 1832, ymwelodd y Geri Marwol â'r wlad hon. Gwelem gwmwl du yn ymdori ar dref gymmydogawl Kirkintulloch; ac yr oedd ein pobl fel pe buasent yn ymresymu yn eu plith eu hunain, gan ddywedyd, 'Pa un bynag ai o'r dwyrain ai o'r gorllewin y daw hyn; pa un ai oddiar achosion naturiol, ynte oddiar achosion moesol y deillia, yr ydym ni yn siwr o gael ymweliad gan yr anhwyldeb arswydlawn yma.' (Etto, ni ddaeth i'n plith ni o gwbl!) Yr oedd genym gyfarfodydd gweddio wythnosol yn y dref a'r ddwy dreflan, i'r rhai yr ymgynnullai llnaws dan ddylanwad ofn marw yn anmharod; ac aml oeddynt yr ymholiadau dwysion am y moddion gorau i'w harfer er gochelyd y plâ.

Ond, treuliodd y braw ymaith yn fuan, a theneuwyd y cyfarfodydd gweddio. Gwelaf ei fod wedi ei nodi yn fy nydd-lyfr, Mai 13, 1832. 'Cyhoeddi cyfarfod i weddio am *adfywiad crefyddol*.' Traddodid amryw ddarlithoedd ar y testyn; ac ar yr un pryd dechreuid ar ddosparthiad misol o draethodau, ac arfer ymdrechiadau i attal llifeiriant anghymmedroldeb, a chladdu y meirw heb arfer unrhyw wasanaeth ond gweddi ar yr achlysur. Yn mis Mawrth, 1836, cynnelid cyfarfod gweddio yn yr Eglwys ar ol y cymmundeb,* i weddio yn neillduol am adfywiad, (traddodwyd pregeth ar y testyn y dydd Iau blaenorol) ac ar ol hyn, llnosogid y cyfarfodydd gweddio a gynnelid mewn tai anned yn fawr, yn nghyda nifer y gwrandawyr hefyd,—oll mewn cyssylltiad â'r Eglwys. Yr oedd y Trefnyddion wedi bod yn llafurio yn fywiog er's rhai blyneddoedd, yn y dref, a'r dreflan ddwyreiniol, ac wedi bod yn offerynol i

* 1 Cor. 2. 3. Fy nhestyn cyntaf yn y lle, ar Sabbath, yr 21ain o Ebrill.

* Mr. Walker o Muth-hill, a gyfarchai y gwrandawyr oddiar y geiriau yn Zec. 10. 12. 'Nerthaf hwynt hefyd yn yr Arglwydd; ac yn ei enw ef yr ymrodiant, medd yr Arglwydd.'

gyffroi nid ychydig o rai tra diofal; ac aelodau yr Eglwys Gynnorthwyol hefyd a sefydlasent gyfarfodydd cyffelyb. Buasid yn arfer traddodi darlithoedd, neu bregethau hynod o eglur a hawdd eu deall, ar brydnawniau Sabbathau, er's tri thymor yn rheolaidd; i'r rhai y dygai amryw eu tystiolaeth, eu bod wedi bod yn foddion i ddeffroi eu hystyriaethau yn gyntaf oll at bethau crefyddol. Deuai cryn nifer o bobl dlodion i'r pregethau hwyrol hyn, y rhai ni's gallesid eu cael i'r gwasanaeth arferol. Tystiodd llawer hefyd fod y cyfarfodydd gweddio wedi bod yn foddion cyntaf i ddwys ddeffroi eu hystyriaethau hwy; a mynych y crybwyllwyd y pregethau a draddodwyd yn y fynwent yr haf diweddaf, gan Mr. Somerville, o Anderston, fel moddion a fendithiwyd mewn modd arbenig er deffroad a bywiocad llyweroedd. Etto, er yr holl arwyddion dymunol hyn, o ddaioni yn, ac ar gael ei wneuthur, ni's cymmerodd adfywiad crefyddol, diamheuol a phenderfynol, le hyd ddydd Mawrth, y 23ain o Orphenaf.

Gweinyddasid yr ordinhad o Swper yr Arglwydd fel arferol, ar y trydydd Sabbath, sef yr 21ain o'r mis. Rhoisid rhybudd ar y dydd Sadwrn blaenorol, y dymunai y gweinidog gael ymddyddan â'r cyfryw oeddynt dan deimladau crefyddol; gan fod dau neu dri wedi galw ar y neges hono o'r blaen. Y canlyniad fu, i lawer ereill hefyd ddyfod i ymddyddan â'r gweinidog.

Prydnawn ddydd Llun yr oedd cyfarfod hanner blyneddol ein Cymdeithas Genhadol i gael ei gynnal, pan draddodid pregeth gan Dr. Burns, o Paisley, oddiwrth Esa. 52. 1. 'Deffro, deffro, gwisg dy nerth Sion; gwisg wisgoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem, &c. Cyhoeddid hefyd, y byddai i Mr. W. C. Burns, yr hwn a bregethasai lawer gwaith yma dan arddelwad grymus, gyfarch pobl Kilsyth drannoeth allan, os byddai yr hin yn gyfaddas i hyny, yr amcan o'r hyn ydoedd, cael rhai i wrandaw y gair na's gellid eu cael yn y ffordd arferol. Yr oedd yn hysbys hefyd fod Mr. W. Burns ar fin ymadael oddiyma i Dundee; a'i fod yn debyg o ymafael yn y gwaith Cenhadol mewn gwlad estronol yn fuan. Yr oedd y diwrnod yn gymylog a gwlawog; ond yr oedd cynnulleidfa fawr iawn wedi ymgynnull yn y Farchnadfa; a phan y'u gwahoddwyd i ddyfod i'r Eglwys, gorlanwyd hono yn fuan. Y grisiau, y mynedfaau, y drysau, a phob cwr, oedd wedi eu tynlenwi â chynnulleidfa fawr o bobl o bob gradd, yn eu dillad gwaith cyffredin. Yr oedd y weddi yn ddifrifol a serchawg; y bennod a ddarllenwyd, heb unrhyw esponiad, oedd Act. 2. Traddodid y bregeth oddiwrth Ps. 110. 3. 'Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth,' &c. Yr oedd difrifoldeb a thynerwch mwy na chyffredin yn amlygedig yn agweddau y gwrandawyr ar hyd y bregeth: ond tua'r diwedd, pan oedd y llefarwr yn darlunio yr olygfa nodedig a gymmerodd le yn Eglwys Shotts, ar ddydd Llun wedi y cymmundeb yno, yn y flwyddyn 1630, pan dan bregethiad Mr. John Livingstone, brodor o Kilsyth, y dychwelodd pum cant, y gwelid teimladau y gynnulleidfa wedi dyfod yn rhy rymus i'w hattal yn hwy. Yr oedd llygaid y rhan fwyaf o'r gwrandawyr wedi eu llenwi o ddagrau; ac yr oedd y sawl a allent graffu yn fanol ar wynebau y gwrandawyr yn dysgwyl yr hyn a gymmerodd le,o leiaf, hanner awr cyn i hyny dori allan.

Wedi i'r llefarwr adrodd testyn Mr. Livington, Ezec. 36. 26. 'A rhoddaf i chwi galon newydd,' &c. a phan oedd efe yn gwasgu ar ei wrandawyr y pwysfawrogrwydd mawr o ymofyn am iachawdwriaeth, gyda thynerwch a dwysder anarferol; gan wasgu arnynt i dderbyn Crist bob un yn bersonol, yn ddioed—pan grybwyllai y cyflwr ofnadwy, yn yr hwn yr arswydai y meddwl am adael cynnifer o honynt, y rhai a welai y pryd hwn am y tro olaf, yn ol pob tebygolrwydd—pan, wrth weled ei eiriau yn effeithio ar y gwrandawyr, yr annogai bechaduriaid, hen ac ieuaingc, drachefn a thrachefn, i gofleidio Crist fel y byddent gadwedig—pan oedd efe yn gwasgu yr appeliad yma gyda gwresawgrwydd mawr, gan ddywedyd, '*Dim croes, dim coron;*' yna yr oedd teimladau y gynnulleidfa wedi eu gorlethu, nes oeddynt yn gorfod gwaeddi allan. Yna cymmerodd golygfa annarluniadwy o'r braidd le.

Wrth ystyried yr effeithiau a ddilynodd, a'r mynych grybwylliadau a wneid at wasanaeth y dydd hwn, gan laweroedd, fel y moddion a fendithiwyd er y cyfnewidiad rhyfeddol a wnaed ar eu calonau a'u bucheddau, nid oes genyf un amheuaeth nad oedd yr Yspryd Glân yn cynnyrchu yr argyhoeddiadau a'r cyfnewidiadau hyn mewn modd anarferol y pryd hwn. Boddid llais y pregethwr yn hollawl dros yspaid; a chenid Salm yn grynedig gan y blaenor canu, a rhan o'r gynnulleidfa, y rhan fwyaf o ba rai oeddynt mewn dagrau. Fe'm gelwid gan un o'r henuriaid i ddyfod at wraig, yr hon oedd yn gweddio mewn cyfyngder mawr; symudid llaweroedd i'r tŷ perthynol i'r Eglwys, lle y dechreuid cynnal cyfarfod gweddio yn y fan. Yn y cyfamser, cyfarchai Dr. Burns, o Paisley y bobl oeddynt yn yr Eglwys, mewn ffordd o rybudd, ac o gyfarwyddyd, fel y byddai i waith gwirioneddol, dwys, a thufewnol yr Yspryd Glân fyned rhagddo; ond na's cefnogant ryw gyffroadau anifeilaidd, ac ymorwedd arnynt.

Gollyngid y gynnulleidfa ymaith, wedi i mi eu hysbysu, ein bod yn barod i ymddyddan â'r rhai oll oeddynt yn drallodedig a phryderus eu meddyliau, ac y byddai cyfarfod drachefn i addoli am chwech o'r gloch yn yr hwyr. Yna, nyni a ymneill-

duasom i'r *vestry*, a'r tŷ gerllaw, y rhai a dŷn-lenwid gan rai cystuddiedig o ysbryd, a threuliwyd amser maith i ymddyddan â hwy. Cafodd amryw o'r rhai oeddynt gyfyng arnynt waredigaeth cyn ymadael o honom; y rhai hyn a gyfrifid yn Gristionogion da gan eu cydnabod cyn hyn, ond na's galluogasid i lawenhau mewn gobaith o'r blaen. Ereill a barhausant mewn pryder dwys amryw ddyddiau, ac a ddeuent drachefn a thrachefn; ond ydynt yn bresennol, gan mwyaf, mewn mwynhad o heddwch a gobaith da drwy ras, ac yr ydys wedi bod yn ymddyddan â hwy gyda golwg ar eu derbyn at fwrdd yr Arglwydd.

(*I'w barhau.*)

---

## HANES

*Am ryfedd waith Duw yn nhroedigaeth eneidiau yn Kilsyth, Funnerton, a Cumbernauld, a'r bywhad sydd hefyd yn Kilsyth, a Paisley.*

Y SACRAMENT YN KILSYTH, HYD. 22, 1839.

Syr,—Fe allai mae nid anfuddiol fyddai hysbysu pa fodd y mae hyn yn cael ei ddwyn yn mlaen yn Scotland, yn yr Eglwys Sefydledig, ac hefyd gyda'r *Seceders*, &c. Dwy waith yn y flwyddyn y maent yn cyfranu; y mae dydd Iau o flaen y Sabbath yn ddydd gŵyl drwy y dref, neu y plwyf, lle bydd y Sacrament, a phregethu trwy y dydd, a gweinidogion dyeithr yn ymgynnull i gynnorthwyo gweinidogion y lle y dygwydd hyny fod; ac am un o'r gloch dydd Sadwrn y mae pob gwaith a masnach yn cael ei roddi i fynu, i wrando pregethu ar yr achos pwysig sydd i gymmeryd lle y Sabbath.

Boreu y Sabbath, traddodir pregeth neu ddwy cyn cyfranu. Dywed yr hanesydd, 'Pan ddaethom i Kilsyth boreu Sabbath, tua hanner awr wedi deg, canfuasom Mr. Rose, o Glasgow, yn cyfarch tyrfa o 7,000 i 15,000. Yr oedd y dydd yn deg a thawel, a'r lle yn hynod o gyfleus, sef *Park* a chryn godiad yn y tir, nes oedd y bobl fel pe buasent ar uwchlawr, (neu *galleries*) ei destyn oedd, 'A âi di gyda'r gwr hwn.' Dywedai gyda theimladau bywiog, 'O, na chlywn rai yn gwaeddi allan, Af,' &c.

Yn yr Eglwys, cyn cyfranu, pregethodd Mr. Burns, gweinidog y lle, ar y geiriau 'Myfi yw bara y bywyd,' &c. Y pregethwyr oedd yn gweinyddu ar yr achos oedd y Parch. Mr. Brown, Mr. Burns, Mr. Martin, Mr. Dempeter, Mr. Sommerville. Mr. Duncan, Mr. Rose, a'r *Professor* Dewar, o Aberdeen.—Cymmunwyr tua 1300. Traddodwyd pregethau gan amryw—un yma, ac un acw, ar hyd y maes; a phregethodd Mr. Burns, (mab y gweinidog) wrth oleu y lleuad. Y gwr ieuangc hwn oedd yn tynu sylw mwyaf y dorf. Ei destyn ar y maes y boreu a'r nos oedd Esa. 54. 5.

Wrth iddo bregethu y nos, gwelsom ferch ieuangc yn syrthio ar ei gliniau ar y maes, ac yn dechreu gweddio yn uchel. Dywedodd y pregethwr, os oedd yno ryw un yn pregethu, ar iddynt fyned yn mhellach oddiwrtho. Atebodd rhyw un, merch sydd yma mewn cyfyngder ysbryd. Dymunodd yntau ar iddynt ei symud. Ar ol iddo ddiweddu y bregeth, a dyfod i lawr o'r areithfa, rhuthrodd llawer ato, i gael ymddyddan âg ef am eu cyflwr; yntau a'u hannogodd i fyned i'r tŷ perthynol i'r Kirk; erbyn hyn yr oedd yn 9 o'r gloch y nos. Am 11eg o'r gloch, Mr. Sommerville a Mr. Brown a ddaethant ato i'r Eglwys. Dechreuasant gadw cyfarfod gweddi; aeth rhai o'r bobl allan i alw eu cymmydogion, a chanwyd cloch trwy y dref, ac yn fuan yr oedd yr Eglwys bron yn llawn, ac nid aethant oddi yno hyd 5 y boreu; aeth rhai o'r Eglwys i'r tŷ, ac yno y buont yn ymddyddan hyd 9 o'r gloch.

Boreu ddydd Llun, gwelsom dyrfa fawr ar gae yn cael eu cyfarch ar Ddirwest, (neu Lwyr-ymattaliad) gan un Mr. Mason, mewn gair, yr oedd yr holl dref fel pe buasai mewn hinsawdd grefyddol—i bob tŷ yr aem, ymddyddan crefyddol oedd yn myned yn mlaen. Ar ol y bregeth, nos dydd Llun, clywsom beth rhyfedd yn cael ei gyhoeddi o bulpud *Presbyteriaidd*. Dywedodd Mr. Burns ieuangc, pob un ar sydd yn y gynulleidfa hon, sydd yn gwybod eu bod yn anedifeiriol, deuant yn mlaen i'r chwech *seat* yma, o flaen y pulpud, fel y gallo y gynnulleidfa weddio am eu dychweliad; daeth llawer yn hen, ac yn ieuangc, yn mlaen i'r lle oedd wedi ei nodi iddynt, a mawr oedd y sobrwydd. Canwyd y Salm

'O'r dyfnder gelwais arnat Ior,' &c.

Tra yr oedd un yn gweddio, gwaeddodd merch allan am ei bywyd, a llawer a'i canlynodd dan wylo a gwaeddi; aeth llawer atynt i'w cysuro. Felly y bu am oddeutu ugain mynyd; cariwyd hwy i'r tŷ i gael ymddyddan â hwy, torodd y ferch ieuangc allan i ganu,

'Arise my soul, arise,
 Shake off thy guilty fears;
The bleeding sacrifice,
 In my behalf appears,' &c.

Yn Gymraeg yn debyg i hyn—

O cwyd, fy enaid, cwyd yn awr,
 Ymysgwyd o dy ofnau mawr;
Ac aberth gwaedlyd Calfari,
 Yn awr ymddengys drosot ti, &c.

Canodd gyda llais gorfoleddus, gan ysgwyd llaw â phawb o'i hamgylch.

Byddai yn rhy faith i mi ddechreu ysgrifenu am y bywhad yn yr amrywiol leoedd uchod. Cefais y fraint o fod yn Anderston; nid oes yno ddim gwaeddi allan fel yn Kilsyth, ond y mae y pregethu yn llym, ac yn argyhoeddiadol iawn, a'r canu

yn nefolaidd iawn; mae yno bregethu nos Lun, a nos Fercher, a nos Wener, heblaw y Sabbath, yr hyn oedd yn peri syndod mawr i mi, o herwydd, er pan wyf yn gydnabyddus â'r Ysgotiaid, fe fyddai dwy bregeth ar y Sabbath yn llawn ddigon o foddion gras ganddynt; ond yn awr, yr Eglwys yn llawn dair gwaith yn yr wythnos heblaw y Sabbath.

Pymthegnos i'r Sabbath diweddaf, yr oedd cenhadwr o'r India, i bregethu mewn Eglwys yn Glasgow. Aethym yn mhell cyn yr amser at y Llan; ond erbyn myned, nid oedd modd i fyned yn agos i'r drws, ac mi feddyliwn fod yno filoedd o honom yn gorfod myned i chwilio am bregeth i ryw le arall. Felly, chwi a welwch fod rhyw syched mawr am wrando yn Glasgow.

Wythnos i nos Sabbath diweddaf, dygwyddodd i mi fod mewn porthladd, sef Salcoats; ar ol y bregeth, cyhoeddwyd cyfarfod gweddi, ac hefyd, fod yno gyfarfod gweddi bob nos trwy yr wythnos am lwyddiant yr efengyl yn y dref, a'r byd yn gyffredinol.

Yn y flwyddyn 1742, y torodd bywhad allan yn Klisyth a Cumbernauld o'r blaen, yn yr Eglwys Sefydledig, fel yn bresennol; ac onid tua'r un amser yr ymwelodd yr Arglwydd â'r America trwy J. Edwards, a Dafydd Brainard ddawiol yn mhlith yr Indiaid; hefyd â Lloegr trwy Whitfield a Wesley; a Chymru dlawd trwy Harris a Rowlands, a'r gwyr hyn bron oll yn yr Eglwys Sefydledig. Fe allai y byddai yn ddoethineb i drigolion Prydain beidio ei sathru yn ormodol rhag i wr y tŷ ddigio.

Clywais ddywedyd fod rhyw gynhwrf mawr yn mhlith llawer o'i haelodau yn Swydd Aberteifi; fod addoliad teuluaidd mewn cannoedd o dai mewn un plwyf, nad oedd y blynyddoedd a aeth heibio.—Deled dy deyrnas. Amen.

EVAN LLWYD, *Morwr.*

*Bwrdd Llong, Dublin, Tach.* 4, 1839.

---

## LLYTHYR O'R AMERICA

### *At y Parchedigion Henry Rees a Moses Parry.*

MR. CYHOEDDWR,—Yr ydym yn bwriadu, fel y gwyddoch, gyhoeddi ychydig o hanes ein taith yn yr America, mewn rhyw ddull neu gilydd: ond am nad yw hwnw yn barod etto, bydd yn dda genym, os caniatewch i ni gyhoeddi, trwy gyfrwng y Drysorfa, yr ychydig hanes a ganlyn, yr hwn a dderbyniasom mewn llythyr oddiwrth ein cyfaill hoffusaf, James Owen.

Bydd yn dda gan ein cyfeillion yn Nghymru ddeall na bu ein taith i'r America yn hollol *ofer*; a gobeithiwn y byddant hwy a ninnau yn cyd ddychwelyd y gogoniant i'r hwn y mae yn deilwng. Yr ydym yn hyderu fod ein cyfeillion yn America wedi derbyn llythyr oddiwrthym ni, tua'r un amser ag y daeth hwn i'n dwylaw ni oddiwrthynt hwy. Ydym yr eiddoch,

MOSES PARRY.
HENRY REES.

TRENTON, *Hydref* 28ain, 1839.

Barchedig Frodyr Parry a Rees.—

DERBYNIWCH y llinellau hyn oddiwrth un nas gall ymddyddan â chwi wyneb yn wyneb, o herwydd pellder y ffordd sydd heddyw rhyngom â'n gilydd. Fy nyben yn eu hysgrifenu, ydyw hysbysu i chwi ddarfod i ni dderbyn llythyr oddiwrth yr Eglwys yn Moria, yn cynnwys y rhesymau oedd ganddynt hwy, nas gallent mewn modd yn y byd ymadael â Mr. ——— yn bresennol, o herwydd y mawr angen am dano yn eu plith hwy: gan fod ganddynt dri o leoedd i bregethu ynddynt yn gyson bob Sabbath, a thri ereill ag y byddis yn pregethu ynddynt yn achlysurol, a hyny bron bob yn ail Sabbath; ac hefyd, o herwydd nad oes ganddynt neb ond efe i weinyddu yr Ordinhadau iddynt. Ac yn mhellach, y mae y brawd ieuangc ag oedd mewn bwriad o fyned at waith y weinidogaeth fawr, wedi marw Awst 24, ar ol bŷr gystudd, cyn iddo ddechreu llefaru.

O herwydd y pethau hyn, dywedai Mr. ——— nad allai efe o gydwybod eu gadael hwy, heb olwg ar ryw un i ddyfod yno yn ei le. Dywedant hefyd fod yr achos crefyddol yn fwy llewyrchus, a'r Eglwys wedi cael ei hymgeleddu, ac arwyddion fod pechaduriaid rai wedi eu hachub, gobeithio i fywyd tragywyddol, trwy eich gweinidogaeth chwi yn yr ymweliad diweddar. Gallwn ninnau gyd-dystio â'n brodyr yn Ohio, fod llawer o son yn ein cangenau Eglwysi am y pregethau hyd heddyw; ac y mae arwyddion amlwg na ddisgynodd yr had i gyd i'r tir dreiniog a chreiglyd, ond i lawer o hono gael dyfnder daear yn ngalonau ugeiniau, ac y cofir yn y nef byth am y pregethau rhagorol a blasus a gawsom. Nid i ni, nid i ni, neb o honom, ond iddo ef y byddo yr holl glod byth.

Yn awr, anwyl frodyr, beth a wnawn? chwi a wyddoch am ein tlodi mawr am weithwyr; byddwn yn ceisio attolygu ar Arglwydd y cynhauaf am anfon gweithwyr yma; ond yr ydym yn aml yn ofni nad ydym yn gofyn dn iawn, onide, cawsem ein gwrando cyn hyn. O! mor anhawdd yw i ni sefyll ac edrych ar iachawdwriaeth yr Arglwydd. Dyna yr adnod a ddaeth i'm meddwl pan dderbyniais y llythyr. Clywsom nos Sadwrn diweddaf, fod y gair wedi dyfod i New York gyda'r Liverpool, eich bod wedi cyrhaeddyd adref yn iach. Gobeithiwn mai gwir yw hyny. Byddai yn hyfrydwch mawr, ac yn gysur nid bychan, gan yr holl Eglwysi, a chan laweroedd ereill, gael sicrwydd am eich mynediad adref yn ddiogel at eich teuluoedd.

Anwyl frodyr, nac oedwch anfon llythyr atom, ac at yr Eglwysi yn gyffredinol; y mae yn ddiammeu y byddai hyny o fawr les a budd i ni sydd yma megis plant amddifaid. Bu eich ymweliad â ni o les mawr i'r achos crefyddol yn ein plith; cafodd yr Eglwysi eu huno a'u sefydlu trwy y tro, ar ol y rhuthr dychrynllyd a fu yn ein mysg, ac fe chwanegwyd hefyd amryw at yr Eglwysi, y rhai, gobeithio, a fyddant gadwedig byth.

Yn Floyd y mae peth rhyfedd iawn, fel pe bai llaw yr Arglwydd yn gweithio yn ddirgelaidd wyrthiol, megis heb offerynau yn eu plith hwy. Prin y cawsant neb i bregethu idlynt unwaith yn y mis er pan y buoch chwi yn ymweled â hwynt. Daeth yno o ddeg i un-ar-ddeg i'r Eglwys ar ol hyny; ac yr wyf yn meddwl fod yno yn awr un-ar-ddeg-ar-hugain yn perthyn i'r Gymdeithas neillduol, ac yn nghylch triugain yn yr Ysgol Sabbathol. Y mae y capel ag y buoch chwi a ninnau yn cydymgynghori â hwy yn ei gylch, wedi ei orphen yn awr; adeiladwyd ef ar y pedair croes ffordd, ac y mae pob undeb a sirioldeb yn parhau, er ein bod wedi symud ei le fel y gwyddoch chwi.

Y mae'r brodyr sydd yma yn llefaru yn parhau yn ffyddlon o hyd, ac y mae yn siomedigaeth fawr i'w meddyliau hwy, fel ninnau, na ddaeth y brawd ag oeddym yn ei ddysgwyl atom. Mae pob peth yn siriol iawn yn ein mysg, heb ddim gofidus yn un gangen. Y mae yr Ysgol Sabbathol yn fwy ei rhif, a chwedi bod yn fwy llafurus nag mewn un tymmor o'r blaen. Ond, etto, chwi a wyddoch ein hamgylchiadau yn hollol, yr ydym yn rhy eiddil i feddwl am Gyfarfod Chwarterol, nac unrhyw gyfarfod cyhoeddus heb gynnorthwy o ryw le. Anfonasom at ein brawd Mr. Rowlands, New York, ond ni's gall ef ddyfod cyn y gwanwyn. Beth a wnawn ni? O, cofiwch am achos Duw, a'r wir athrawiaeth yn mysg eich cig a'ch gwaed eich hun, yn eangdir y gorllewin bell. Eiriolwch yn ffyddlon drosom gyda'n tadau a'n brodyr anwyl, am iddynt anfon yma ychain i weithio yn ffyddlon. Yr wyf fi yn tybied na chauem ni eu safnau hwy; chwi a wyddoch, trwy brawf, ond i'n pobl ni yma gael rhai i'w porthi â phethau ysprydol, fod yn hawdd iawn ganddynt roddi o'u pethau cnawdol i'w helpio. Mae'n hysbys i chwi nad oes yma neb cyfoethog iawn o honom ni, ond y maent yn gyffredin yn lled ffyddlon. Hyderaf nad ydych wedi anghofio am y cyflym ddymuniad, drwy arwydd, a fu yn Eglwys Ramsen, am gael pregethwyr oddiyna i'n cynnorthwyo ni yma yn ein gwendid mawr.

Mae yn gysur ambell dro i'm meddwl gwan i gofio ar ysgwydd pwy y mae, ac y bydd y llywodraeth. A chofio hefyd, fod genym ddau lythyr mor addas i osod ein hachos ger bron ein brodyr yn Nghymru. —'Ein llythyr ni ydych chwi yn ysgrifenedig yn ein calonau, yr hwn a ddeallir ac a ddarllenir gan bob dyn.' Y mae yr hin wedi bod yn hynod o gysurus yma er pan ymadawsoch â'r wlad. Yr oedd yr haul mor wresog ddoe, fel yr oedd y dynion yn tynu eu *cotiau* wrth ddyfod i'r capel. Cawsom yr hin hyfrydaf erioed i gasglu yr holl gnydau i ddiogelwch, a llawnder o bob peth; ond y mae y prisiau tuag un rhan o bedair yn llai am bron i bob peth; ac y mae rhyw ddyryswch ar y Banciau, ac am arian yn y wlad: ond, er y cwbl, yr ydym ni am geisio lleihau dyled ein capelydd, ac yn bwriadu casglu a allom at y Gymdeithas Genhadol hefyd, yn y ddau fis nesaf. Mae y brawd a fu gyda chwi trwy Ohio, a'i deulu yn iach, ac yn dymuno cofio atoch, felly hefyd, y mae y brodyr a'r chwiorydd oll, a hyny gyda mawr serch atoch.

Mae fy ngwraig wedi gofidio a chwyno llawer i chwi pan y clywodd am eich hafiechyd ar eich taith bell mewn gwlad ddyeithr; ac yn cofio atoch chwi, eich gwragedd, a'ch plant; ac yn teimlo yn dra diolchgar iddynt am eich gollwng i daith mor bell; heb anghofio Anne Rees fach, yr hon a ddywedai, fod ei thad wedi myned i'r America, i ddarllen y Bibl i'r bobl. O frodyr, gweddiwch drosom; diolchwch drosom i'r Gymmanfa am eich hanfon yma, a chofiwch ni atynt oll.

Y brodyr a'm hannogodd i ysgrifenu atoch, fel y gwybyddech ychydig o'n helynt.

Ydwyf eich brawd,

JAMES OWEN.

---

## 'Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR,' A MR. JOHN ROBERTS.

### LLYTHYR II.

MR. CYHOEDDWR,—Pan mae Ffwleriaid yn honi mai rhyw *valuable consideration* ydyw yr Iawn, fel y gellid achub heb beryglu y llywodraeth foesol, yr unig adnodau a ddygant yn gyffredin i brofi y pwngc ydyw, Rhuf. iii. 25, 26. 'Yr hwn a osododd Duw yn Iawn,' &c. a dyma yr Ysgrythyr sydd gan Mr. Roberts, yn destyn i'w ddarlith yn y *Dysgedydd*, *Rhif.* 215—6, 7.

Yr wyf finnau yn foddlon i'r testyn gweithfawr hwn gylafareddu rhyngom er penderfynu y ddadl bresennol. Sylwer yn fanwl,

1af. Crist ei hun, trwy ddyoddef y wir gospedigaeth am bechodau ei bobl, yw yr Iawn, medd y Pregethwr.—Dyoddefaint Crist, medd y Ffwleriaid, sydd yn Iawn, h. y. yn *valuable consideration* yn lle y gospedigaeth.—Pa beth, attolwg, a ddywaid testyn Mr. R. '*Hwn* (Crist Iesu) a osododd Duw yn Iawn.'

2il. Dywaid Mr. Jenkyn, mai rhyw ddyfais *(expedient) yn lle* y gospedigaeth gyfiawn am bechod, yw yr Iawn, fel y gellid yn ddiogel wneyd cymmwynasau i'r troseddwr.—Dywaid y Pregethwr fod nid yn

unig *cymmwynasgarwch,* ond cyfiawnder hefyd yn cael ei ddangos mewn maddeu trwy yr Iawn, am fod cosp gyfiawn y sawl y maddeuir iddynt wedi ei dwyn gan eu Meichiau.—A dywaid testyn Mr. R. mai 'Hwn a osododd Duw yn Iawn—i ddangos (ei *gymmwynasgarwch* ef? Y mae hyny yn *wir,* ond nid y gwir yn yr adnod dan sylw, eithr i ddangos) ei *gyfiawnder* ef trwy faddeuant,' &c.

3ydd. Myntumia y Ffwleriaid mai rhyw ymddangosiad o gosp ydyw yr Iawn, tebyg i ryw beth a weinydda Ysgolfeistri a rhieni, ar ryw drydydd person yn lle ceryddu plentyn am ei drosedd.—Dywaid y Calfinistiaid, fod Crist wedi dyoddef yn llawn y gospedigaeth ag oedd yn gyfiawn i bob un a gyfiawnheir.—'Fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau,' medd testyn Mr. R.—Nid fel yr *ymddangosai* yn gyfiawn, ac nid yn unig 'i ddangos ei gyfiawnder,' ond '*fel y byddai* efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau.' Tebyg fod Paul yn golygu, nid yn unig na buasai *ddiogel,* ond hefyd na buasai *gyfiawn* cyfiawnhau heb Iawn, ond gan fod Iawn wedi ei gael, y gospedigaeth wedi ei dyoddef, mai cyfiawnder yw cyfiawnhau yr holl wrthddrychau. Yn wir, y mae yn ymddangos i mi nad oes ond y farn Galfinistaidd a gydwedda â thestyn Mr. Roberts.

Wel, wrth weled Ysgrythyr mor werthfawr yn cael ei gosod ger bron, gan y gwr, *Hist,* meddwn i ynof fy hun, y mae y rhyferthwy drosodd, y 'storm wedi tawelu: ond gyda ei fod yn dechreu trin ei benau, 'y mae cwmwl (chwedl y diweddar Barch. E. Richard) yn derbyn y testyn o'n golwg,' ac nid ydym yn ei weled mwy oddiyno hyd ddiwedd y traethawd. Ond, gan droi megis ar ei sawdl, y mae yn dychwelyd i gamliwio y Pregethwr, a chamddyfynu ei ysgrifau, fel y caf ddangos rhagllaw. 'Da mhobl i,' meddai un gweinidog, 'peidiwch a gwneyd drwg, yn enwedig, os gwyddoch eich bod;' ond efallai na chlywodd Mr. R. mo'r bregeth hono.

Y mae yn debyg Mr. C. eich bod yn cofio ddarfod i mi hanner addaw ail lythyr, os gwelwn ryw beth o bwys yn sylwadau Mr. R. ar dueddiadau y ddwy *system,* ac nad ystyriwyd yn deg gan y Pregethwr a'r Gwrandawr. Ond wrth sylwi ar y chwech drwg-dueddiadau a briodola Mr. R. i *system* y Pregethwr, ni welaf gymmaint ag un, ond a gynnygiwyd fel gwrthddadleuon gan y Gwrandawr, (er o bosibl, nad yn yr un geiriau) ac a atebwyd gan y Pregethwr: ai yn deg, ai yn annheg,—barned y darllenwyr.

Wedi i Mr. R. gystal a dywedyd mai cysgod y Pregethwr yw gwrthddadleuon y Gwrandawr; onid digrifol braidd yw fod y gwr yn codi yr un gwrthddadleuon drachefn i gynnal ei gyfundraith? Pa beth, a oes un *prop* i'w gael i gynnal *system* Mr. R. heblaw cysgod y Pregethwr? Tlawd iawn, yn wir! Neu a ydyw y Pregethwr yn un ag y mae ei gysgod o gymmaint o ddefnydd i Mr. R. a'i gyfundraith? Diolch iddo am y *compliment,* ond gobeithio ar yr un pryd, y paid y Pregethwr ag ymfalchio.

Bellach, gan mai yr un ydyw gwrthddadleuon Mr. R. a'r eiddo y Gwrandawr, ac nad yw Mr. R. yn gwneuthur dim tebyg i'w hateb, heblaw crogi a chamddarlunio ymadroddion, a phriodoli i'r Pregethwr eiriau na ddywedodd erioed; gallaswn gadw fy ngair heb wneuthur un sylw ar y rhan hon o'i ysgrif: ac nid wyf yn bwriadu cynnyg ateb y gwrthddadleuon hyn bob yn un ac un, nes a dangosir ffalsedd yr atebion a roddwyd iddynt gan y Pregethwr Ond etto, yr wyf yn canfod gan Mr. R. rai ymadroddion, ac y byddai eu pasio yn ddisylw, yn anfrawdol, ac annghefnderaidd.

Am y Penillion a gondemnia Mr. R. nid wyf yn awr yn cofio yn mha le y clywais eu canu, heblaw yn nghapel Dissenters Llanbrynmair, yn amser fy ewythr, y Parch. John Roberts, tad y ddau Roberts presennol.

Paham y mae Mr. R. yn myntumio eilwaith ac eilwaith 'fod y Pregethwr yn dal fod Iesu wedi dyoddef cosp pechod?' Y Bibl, ac nid y Pregethwr, sydd yn dal yr athrawiaeth. 'Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef.' Esa. 53. 5. Yn awr, os oes canlyniadau chwithig i'r athrawiaeth hon, megis 'mai cellwair yw son am edifeirwch, a gwaith yr Yspryd Glân;' ac mai 'chwareu plant yw yr Ysgol Sabbathol, pregethiad yr efengyl,' &c. rhaid i Mr. R. eu rhoddi yn siars y Bibl, ac nid yn siars y Pregethwr.

Drachefn, 'Pan y mae rhai yn amcanu profi yn wylaidd a gostyngedig mai denu y meddwl trwy foddion y mae (yr Yspryd Glân), cyhuddir hwy o wadu ei waith, &c. *Dysg. Rhif.* 216, *tu dal.* 332. Pa beth, ai galw pobl yn *gleps,* a *phedleriaid,* fel y gwneir yn Rhagdraith y bregeth a gyhoeddwyd yn ddiweddar ar 'Yr Yspryd a'r Briodferch;' ai hyn, meddaf, a cilw Mr. R. yn wylder a gostyngeiddrwydd?

'Yr wyf yn gwybod (medd Mr. R. drachefn) fod y Pregethwr—yn dywedyd fod Iesu wedi prynu y moddion,' &c. Pa bryd, ac yn mha le y dywedodd y Pregethwr hyny? Nid yw y Pregethwr ei hun yn gwybod ddarfod iddo ddywedyd y fath beth erioed; felly rhaid fod Mr. R. naill ai yn rhyfygu dywedyd peth nas gwyr, neu ei fod yn adnabod y Pregethwr yn well nag y mae y Pregethwr yn adnabod ei hun.

'Paham y rhoddwyd moddion moesol, mewn cyfundraith sydd oll yn dreisiol, ac anianyddol?' Cynghorwn i y gwr i fyned â'i gwestiwn at y sawl sydd yn dal y fath gyfundraith, os oes y fath bobl i'w cael.

'Nid yw y duwiol na'r annuwiol, ïe, na Duw ei hun yn rhydd-ewyllysiwr, yn ol yr athrawiaeth hon' (Calfinistiaeth).—*Dysg. Rhif.* 216, *tu dal.* 332. Fod dynion yn abl ewyllysio yn groes i'w hanian lywodraethol.'

neu fod Duw yn rhydd i ewyllysio yn groes i'w gyfammod a'i addewid, sydd athrawiaeth na chydnabyddir yn yr Ysgrythyrau. Yr un peth yw dywedyd y gall Duw ewyllysio yn groes i'w addewid, a dywedyd y gall ewyllysio yn groes i'w ewyllys, canys ewyllys Duw yw ei addewid.

Ar yr un tu dal. etto. 'Dengys (yr athrawiaeth a bleidir gan y Pregethwr) Dduw fel un ag a fyddai yn ymhoffi mewn creulondeb yn nygiad i fodolaeth y rhai na ddyoddefodd Crist y gospedigaeth gyfiawn am eu pechodau.' Yn ol golygiadau y Dr. Williams, yr oedd y dyn cyntaf yn gystal a'r angelion a syrthiasant, yn sicr o syrthio i bechod a damnedigaeth y foment y peidiai ei Greawdwr a'i gynnal mewn *stat* o sancteiddrwydd. Yn awr, os nad ydyw greulon dwyn creadur i fod, a'i adael mewn sefyllfa ag y byddai yn siwr o syrthio i bechod a thrueni, (fel, yn ol y Dr. W. y gwnaed ag Adda, ac â'r angelion syrthiedig,) ni's gwn pa greulondeb yw dwyn i fod y rhai na bu Crist farw drostynt.

Drachefn, dywedai yr hen Barch. J. Roberts, o Lanbrynmair, 'fod yn anmhossibl i Dduw achub un pechadur ond yn ol ei arfaeth dragywyddol.' *Galwad Difrifol, tu dal.* 32. Ac os nad ydyw yn greulon i ddwyn dyn i fod, heb ei ethol yn yr arfaeth, nid ydyw yn greulon chwaith ei ddwyn i fod, heb i Grist ddyoddef y gospedigaeth am ei bechodau; canys y mae'r naill mor rheidiol i'w achubiaeth ag ydyw y llall.

Eilwaith etto, y mae y myrddiynau o Baganiaid yn cael eu dwyn i fod a'u damnio heb glywed erioed son am yr Iawn. Ond, pe byddai yn greulon dwyn dyn i fod, heb fod Iawn wedi ei wneyd dros ei bechodau; oni byddai yn greulon hefyd i ddwyn dynion i fod a'u damnio, heb glywed son am yr Iawn; oblegid y mae clywed am yr Iawn mor angenrheidiol er iachawdwriaeth rhai mewn oedran, ag oedd cael Iawn: 'Pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano?' 'A'r hwn ni chredo, a gondemnir.' Pe bai grym yn yr wrthddadl hon o eiddo Mr. R. byddai raid i'r Ffwleriaid deimlo ei min yn gystal a'r Calfinistiaid, nes y gwadont etholedigaeth gras, ac yr haeront fod pob peth angenrheidiol i iachawdwriaeth yn cael ei roddi i bawb yn ddiwahaniaeth. Yn wir, pe buasai y bai o dynu dynion i bechod a thrueni ar y Creawdwr, neu pe buasai arno ddyled i achub, buasai pwys yn yr wrthddadl, fod yn greulon dwyn dynion i fod, a'u cospi o herwydd eu pechodau. Ond y gwirionedd yw, nad oedd arno ddyled i achub neb, dynion mwy na chythreuliaid. Y mae holl drefn achub i gyd o ras penarglwyddol; gan hyny, nid creulondeb a fuasai gadael dynion fel y cythreuliaid, heb arfaethu na Iawn, nac arall, er eu gwaredigaeth; ond anfeidrol ddaioni oedd i Dduw fwriadu achub neb, a rhoddi ei Fab i fod yn Iawn drostynt. Os gofynir, Pa'm rhai mwy nag ereill? nid oes i'w ddywedyd, ond 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!'

Y mae Mr. R. yn gofyn, 'A oes rhyw reswm yn y dywediad, y bydd cosp gwrandawyr yr efengyl yn drymach nag eiddo y Paganiaid;' os yr oll a wnaeth Crist oedd prynu personau ei bobl? A oes gan anetholedigion gwlad efengyl—obaith am eu bywyd, mwy nag anetholedigion Siberia?' Dysg. Rhif. 216. tu dal. 333.

Yr wyf yn ateb, Oes; oblegid y mae gobaith yn cael ei osod o'u blaen yn yr efengyl; gelwir arnynt i gredu, ac ni chollir pwy bynag a gredo. Ond pa fodd y cred y Siberiaid, yn yr hwn ni chlywsant am dano? Drygioni trigolion gwlad efengyl yw anghredu, ni's gellir dywedyd hyny am y Paganiaid, obegid na chlywsant erioed son am wrthddrych credu. Os gofynir, beth fyddai dyn well er credu, os na wnaed Iawn drosto? Atebaf, Pe bai dim daioni yn dyfod i ddyn trwy gredu; etto, pan y mae Duw yn llefaru, ei ddyledswydd ef yw credu; ac yn gymmaint ag y bydd yr anghredadyn wedi esgeuluso dyledswydd bwysig, ac na esgeulusodd y Pagan, bydd ei drueni yn fwy na'r eiddo y Pagan. Ond, gan na choller pwy bynag a gredo, ond caffael o hono fywyd; y mae hyn yn annogaeth annhraethol fawr i gredu,—yn gwneyd y bai o esgeuluso y ddyledswydd yn annhraethol fwy,—a'r gospedigaeth am hyny yn annhraethol drymach. Trymach, meddaf, ar y Cymry nag ar y Siberiaid, am iddynt esgeuluso dyledswydd nad esgeulusodd y Siberiaid; a thrymach drachefn o gymmaint a bod bywyd yn gysylltiedig â chredu, na phe buasai credu yn ddyledswydd, heb un fantais adnabyddus yn dilyn ei chyflawni.

Os gofyn Mr. R. Pa fodd y buasai bywyd yn dilyn gwaith dyn yn credu, os na wnaed Iawn drosto? Minnau a ofynaf, Pa fodd hefyd, os nad etholwyd ef? Felly, nid yw yr wrthddadl hon etto werth dim i'r Ffwleriaid, nes y byddont barod i wadu etholedigaeth: a phan y gwnelont hyny, ceir siarad â hwy ar y tir hyny, megis âg Arminiaid ereill. Os yw y Bibl yn dangos mai y sawl a gedwir, a etholwyd, ac a brynwyd, a bod pawb sydd yn clywed efengyl mewn sefyllfa o obaith, ein dyledswydd yw credu y ddau beth, er na fedrem amgyffred eu cysondeb â'u gilydd.

Ar yr un tu dal. cawn gydmariaeth gan Mr. R. i ddangos anferthwch *system* y Pregethwr fel hyn, 'Tybiwn am ddau blentyn yn rhwym o groesi yr afon wrth fyned adref. Yr oedd cwch yn myned drosodd ar y pryd, ond y lle i gyd wedi ei gymmeryd. Boddodd un o honynt o fewn deng milltir, allan o'r golwg, ac allan o'r sŵn; boddodd y llall wrth ochr y cwch yn

nghlyw y *passengers;* ac yr oedd amrai o honynt yn llefain, Tyred yma; ond gwawdiaith oedd hyn, oblegid yr oedd y lle i gyd wedi ei gymmeryd. A oedd yr agosaf at y cwch yn cael rhyw fraint mwy na'r pellaf? Onid llai? Onid oeddid yn ymddwyn yn greulonach tuag ato? Ond tybiwn fod yn bosibl i'w tad gael gafael arnynt drachefn, i'w ceryddu am foddi; a cheryddodd yr agosaf at y llestr yn llawer llymach, am ei fod wedi gwrando rhith-wahoddiadau y rhai oedd ar y bwrdd Rhyw olwg fel hyn a rydd yr athrawiaeth hon ar Dduw.' Nage, fy nghefnder, nid oes dim tebyg i Galfinistiaeth yn y gyd-mariaeth; oblegid, 1af. Nid oedd dim lle i'r plant yn y cwch pe daethent ato; ond 'Etto, mae lle' (medd y Pregethwr) i bwy bynag a ddel. 2il. Y mae y *passengers* yn gwaeddi pan y gwyddant na etyb eu gweiddi un dyben, ond y mae y Calfinistiaid yn pregethu, gan obeithio ar seiliau gair Duw, y llwyddant; ac yn wir, y maent yn llwyddo hefyd. 3ydd. Anffawd y nesaf at y cwch, yn gystal a'r pellaf oddiwrtho, oedd boddi; ond bai, medd y Calfinistiaid, ydyw i ddyn selio ei ddamnedigaeth drwy wrthod credu. Cynnygiaf gydmariaeth arall yn lle yr eiddo Mr. R. a barned y darllenydd pa un o'r ddwy a rydd fwyaf o eglurhad ar y pwnc dan sylw.

Yn amser chwyldroad Ffrainge, suddwyd y llong Sans Culotte, wrth frwydro â'r Prydeiniaid. Gwrthododd y dynion dderbyn ymwared, er ei fod yn cael ei gynnyg iddynt gan y Prydeiniaid; ond sodd-asant yn yr eigion dan floeddio '*Vive la republique!*' Ni buasai ond ynfydrwydd anfon cwch allan i'w hachub; canys yr oedd yn amlwg fod eu gelyniaeth y fath, fel yr oedd yn well ganddynt foddi na derbyn un ffafr gan eu gelynion. Ond tybiwch y gallasai y Llyngesydd Prydeinig, trwy ryw ddylanwad dirgelaidd, ddarostwng gelyniaeth y bobl hyn: nid oes dim rhwymau arno i wneyd hyny, ond y mae rhai wedi cael ffafr yn ei olwg ef, fel y mae yn penderfynu eu hachub, costied a gostio; ac i'r dyben hyn y mae yn parotoi y *long boat*, ac yn ei ddanfon i ganol y trueiniaid, gan orchymyn i'r dwylo wahodd pawb i ddyfod i mewn, heb wrthod pwy bynag a ddelai; ond y mae yn gwybod ar yr un pryd na ddeuai neb, ond y sawl a dynai efe trwy y dylanwad dirgelaidd hwnw. Wel, dacw gwch y bywyd yn cael ei rwyfo i ganol y bobl oedd ar ddarfod am danynt, a'r dynion yn gwaeddi, Byddwch fyw. Dewch i'r diogelwch. 'Paham y byddwch feirw,' &c. *Vive la republique!* meddai llawer o honynt hwythau, ac yn ymsuddo i'r dyfnder mawr. Ond dyma weddill yn dyfod i mewn drwy rinwedd y dylanwad a grybwyllwyd, ac yn cael eu bywyd.

Sylwer. Yr oedd y cynnygiad yn ddidwyll i bawb, a'r cwch yn ddigon o faint, fel nad oedd perygl i ormod ddyfod iddo, a dim ond eu gelyniaeth yn rhwystr i neb ddyfod. Buasai pawb yn ystyried bai y sawl a foddodd yn ddwbl, nid yn unig dewis boddi yn hytrach na derbyn nawdd y Llyngesydd yn y dechreu, ond hefyd gwrthod dyfod i'r cwch yn y diwedd. Yr oedd eu gelyniaeth yn ymddangos yn gref yn y dechreu, ond yn grefach fyth yn y diwedd. Ond etto, nid oedd y cwch wedi ei ddarparu i bawb; canys y mae yn amlwg, na buasai y Llyngesydd ddim yn anfon y cwch allan oll, oni bai ei fod yn bwriadu arfer ei ddylanwad ddirgelaidd i achub y sawl a gawsant ffafr yn ei olwg: cadwedigaeth y rheiny oedd dyben darpariad y cwch, o ganlyniad, rhaid mai y rhai hyny oedd gwrthddrychau y ddarpariaeth. Pe buasai un o'r rhai a foddwyd yn dyfod i mewn, buasai hyny yn brawf ei fod yn un o'r sawl a gawsent ffafr yn ngolwg y Llyngesydd, a bod y cwch wedi ei ddarparu ar ei fedr. Ac er mai eu gelyniaeth oedd yr unig beth a rwystrodd i'r lleill ddyfod i'r cwch; etto, yr oedd darfod iddynt foddi, yn brawf nad oeddynt yn wrthddrychau o ffafr, a darpariaeth achubol y Llyngesydd.

Ond i gymhwyso y peth. Y mae yr holl ddynolryw ar suddo mewn môr o wae; a'u gelyniaeth mor fawr, fel na dderbyniant ymwared, ond suddo i'r eigion dan weiddi, 'Ni fynwn ni mo hwn i deyrnasu arnom.' Yn awr, a ydyw yn debyg y buasai Brenin y nefoedd yn 'rhoddi ei Fab i fod yn Iawn,' i wneyd dynion yn fwy diesgus, pe buasai yn gwybod na wnaethai neb o honynt dderbyniad o hono? Os na buasai, mae yn rhaid addef fod *life boat* yr Iawn wedi ei ddarparu, am fod Duw wedi penderfynu achub rhai, ac arfer dylanwadau ei Yspryd i hyny; yna y canlyn, mai er mwyn y rhein'y y gwnaed Iawn; canys pe na buasai y fath wrthddrychau i fod, ni buasai Iawn. Pe na buasai neb i gael eu cadw, ni buasai Iawn yn cael ei ddarparu; gan hyny, cadwedigaeth yw dyben yr Iawn, a'r cadwedigion yw ei wrthddrychau. Ond etto, yn gymmaint a bod yr Iachawdwriaeth trwy yr Iawn yn anfeidrol ddigonol, fel na chollir pwy bynag a gredo; yn gymmaint ag mai dyledswydd dynion yw credu, ac mai eu drygioni yw peidio credu—y mae galwad yr efengyl ar bawb a'i clywo, yn berffaith ddidwyll. Os gofynir, Beth pe buasai y rhai sydd yn uffern yn credu? Atebaf, y buasai eu crediniaeth yn brawf o'u hetholiad gan y Tad, a'u pryniad gan y Mab; ond y mae eu mynediad yno, yn brawf nad oeddynt yn wrthddrychau o'r naill na'r llall. *Gwelir sylwadau ar hyn yn Ymddyddan y 'Pregethwr a'r Gwrandawr,' am Sefyllfa Prawf, ac am yr Iawn yn ei berthynas â galwad yr efengyl.*

Eilwaith etto, clywais Mr. Price, Pen-y-bont yn cyhoeddi, 'Fod lluoedd yn uffern a allasent fod yn y nef.' Mae y Pregethwr yn dywedyd yr un peth. Wele ei eiriau, 'Mae tu draw i'r gagendor fyrddiynau o rai nad aethent yno, oni buasai iddynt ddiystyru yr efengyl.'—*Dysg. Rhif.* 216, *tu dal.* 333. Pa beth sydd yn dallu y gwr? Ai yr un peth, attolwg, yw dywedyd 'fod rhai yn y trueni na buasent yno oni bai diystyru yr efengyl,' a dyweyd 'fod lluoedd yno a *allasent* fod yn y nef?' Y mae y Pregethwr yn meddwl 'na all y rhai sydd yn y cnawd ryngu bodd Duw,' 'na all dyn anianol wybod y pethau sydd o Yspryd Duw;' ac o ganlyniad, na all fyned i'r nef. Ond y mae yn ymddangos wrth yr ymadroddion uchod, fod Mr. Price, o Ben-y-bont, yn barnu y gallai dyn anianol wybod y pethau sydd o Yspryd Duw, rhyngu bodd Duw, a myned i'r nef. Y mae y ddau ddywediad yn ymddangos i mi yn mhell iawn oddiwrth eu gilydd; beth debygech chwi, Mr. C. onid yw y cyntaf yn gystal a dywedyd y *gallasai* y dyn gredu, pan nad yw yr olaf yn myned dim pellach na dywedyd, na chollasid mo hono pe y credasai? Y mae yr olaf yn Ysgrythyrol, 'Ni chollir pwy bynag a gredo.' Ioan iii. 15, 16. Ond y mae y cyntaf yn wrth-Ysgrythyrol, 'Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad, ei dynu ef.' Ioan vi. 44.

Drachefn, 'Dengys (golygiad Mr. R. ar yr Iawn) y Tri yn Un yn cydweithredu yn ogoneddus yn nhrefn achub.'—*Rhif.* 216, *tu dal.* 364. Pa un sydd yn dangos mwyaf o gydweithrediad rhwng y Tri yn Un, ai yr athrawiaeth sydd yn myntumio i'r Mab roddi Iawn er achubiaeth y rhai na etholwyd gan y Tad i'w hachub, ac na weithredir yn achubol arnynt gan yr Yspryd Glân; ai ynte, yr athrawiaeth sydd yn cynnwys mai yr un rhai yw gwrthddrychau etholiad y Tad, pryniad y Mab, a sancteiddiad yr Yspryd; barned y diduedd.

'Tybiwyf' (medd Mr. R.) 'weled y Brenin mawr yn gofyn i'r llywodraeth, Pa beth a wna dy foddloni am attal y ddedfryd? Crochfloeddiai hòno, Dim ond darostyngiad dy gydradd. Atebai Iesu, Yr wyf yn foddlon i'r ammodau,' tu dal. 364.—Purion, dyma gyfammod, ynte, rhwng Iesu â'r Llywodraeth. Ammod Iesu oedd ymddarostwng, ac ammod y Llywodraeth oedd atal y ddedfryd. Yn awr, gan fod yr Iesu wedi cyflawni ei ammod, cyfiawnder tuag ato ef, ydyw i'r Llywodraeth gyflawni ei hammod hithau, sef 'atal y ddedfryd' ar y troseddwyr yr ymddarostyngodd Crist yn eu hachos. Os nad wyf yn camgymmeryd, y mae Mr. R. yn yr ymresymiad uchod, yn tynu yr holl *fuilding* Ffwleriaidd am ei ben.

Etto, 'Nid wyf yn meddwl fod genym un engraifft (un dystiolaeth?) fod Duw yn cospi er mwyn dial, yn holl hanes ei ymddygiadau tuag at ei greaduriaid yn y byd hwn, na'r hwn a ddaw,—cospi er mwyn dial yn amcan annheilwng o Dduw yn moddiad y cynddilnwiaid,—llosgiad y Sodomiaid,—colledigaeth yr uffernolion,' tu dal. 364. Ai nid ydyw 'Sodoma a Gomorra—wedi eu gosod yn esiampl gan ddyoddef *dialedd* tân tragywyddol?' Onid ymddengys yr Arglwydd yn y dydd hwnw, 'â thân fflamllyd i roddi dial,' &c. Nid yw y Pregethwr, mwy na Mr. R. yn golygu mai rhyw beth oddiar nwydau tebyg i'r eiddo dynion, ydyw gwaith Duw yn dial, ond Cyfiawnder a sancteiddrwydd yn ymweled âg anwiredd, yn ol eithaf ei haeddiant. *Gwel Drys. Rhif.* 102. *tu dal.* 176.

Y mae y golygiad hwn ar gysylltiad pechod â chospedigaeth yn cynnwys, 1af. Fod cyfiawnder Duw yn annghyfnewidiol, fel efe ei hun. 2il. Fod pechod yn rhyw anferth ddrwg, fel nad oedd bosibl i Dduw edrych arno, na'i oddef iddo ddiangc heb eithaf cosp. 3ydd. Fod doethineb Duw yn 'fawr amryw,' yn darganfod ffordd i gospi pechod, ac arbed y pechadur. 4ydd. Fod cariad Crist yn annghydmarol fawr, yn myned o dan y fath ddialedd, yn dyoddef y fath gosp dros y fath rai. 5ed. Tra y dengys achubiaeth pechadur yn beth o benarglwyddol ras Tad, Mab, ac Yspryd Glân, fel y mae yn sefyll rhwng Duw a ninnau; etto, fel y mae y peth yn sefyll rhwng y Tad a Christ yn ol trefn y cyfammod, y mae achub y sawl y bu Crist farw drostynt yn beth o gyfiawnder iddo ef; oblegid, os yw cyfiawnder yn peri na ellir peidio cospi pechod, y mae hefyd yn gwneyd na ellir peidio achub y sawl y dyoddefwyd eu cospedigaeth.

Dywaid Mr. R. fod cyfundraith y Pregethwr 'yn gosod y Jehofah dan rwymau i'w greadur.'—Dysg. Rhif. 216. tu dal. 332. Os oes un o'r ddwy *system* yn gosod y Creawdwr yn rhwym i'w greadur, Ffwleriaeth sydd felly. Pan y mae cyfammod yn cael ei wneyd rhwng pleidiau, ac un blaid wedi cyflawni ei hammod; y mae y blaid arall yn rhwym i'r blaid hono, nes y cyflawno hithau ei hammod. Dywaid y Calfinistiaid fod Crist wedi cyflawni ammod iachawdwriaeth ei Eglwys; ac o ganlyniad, fod ei gyfammod ei hun megis yn gosod y Tad o dan rwymau i Grist, nes y byddo yr holl Eglwys wedi ei dwyn i afael iachawdwriaeth. Ond dywaid y Ffwleriaid fod credu, yn ammod iachawdwriaeth; a dywaid Mr. R. 'fod cyfaddef y bai ac edifeirwch yn ammodau maddeuant,' tu dal. 364. Os felly, pan y mae dyn yn cyfaddef ei fai, ac yn edifarhau; y mae Duw yn ddyledwr iddo am faddeuant, canys y mae y dyn wedi cyflawni ammod y peth. Dyma beth hynod, debyg i osod creadur ar dir uwch na'i Greawdwr. Y gwahaniaeth yn y fan yma ydyw, fod y

Pregethwr yn dywedyd fod maddeuant pechodau yr holl Eglwys yn ddyledus i Grist, am ei fod wedi cyflawni ammod y peth, wrth farw ar y groes. A Mr. R. yn dywedyd yn gystal a bod maddeuant yn ddyledus i'r pechadur edifeiriol, am fod y dyn ei hun wedi cyflawni ammod y peth wrth edifarhau. Os yw y gofynwr bob amser yn sefyll ar uwch tir na'r addawr, fel yr awgryma Mr. R. (tu dal. 332, a 365.) y mae y Ffwleriaeth yn gosod y pechadur edifeiriol ar dir uwch na'r Hwn a'i gwnaeth!

'Llawer' (medd Mr. R.) 'a floeddiant *Arminiaeth*, er eu bod mor anfedrus i roddi darluniad o'r gwr hwnw, (Arminius) a'i egwyddorion, ag ydynt i roddi rheswm am eu cred eu hunain,' tu dal. 365. A ydyw Mr. R. ei hun ddim mor anfedrus i roddi darluniad o Armin, a'i egwyddorion, ag ydyw i roddi rheswm am ei gred ei hun? Neu, a ydyw yn fwy anfedrus i roddi rheswm am ei gred ei hun, nag ydyw i roddi darluniad o Armin a'i egwyddorion? Os nad ydyw, yna rhaid ei fod yn llawn mor adnabyddus o Arminius a'i egwyddorion, ag ydyw o'i egwyddorion ei hun: ond os yw, yna y mae ef ei hun yn un o'r llawer, ac y mae am eu condemnio.

Etto, 'Os gweithia' y rhai sydd yn meddwl fod y *fargen* wedi ei tharo, y dyled wedi ei dalu, ac iachawdwriaeth y prynedigion wedi ei gorphen ar Galfaria,—a gysgwn ni?' &c. tu dal. 366. Os nad ydwyf yn camddeall, y mae Mr. R. yn y *paragraff* hwn yn awgrymu fod y Calfinistiaid wedi bod, hyd yma, yn fwy gweithgar gydag achos yr efengyl na'r Ffwleriaid. Wel, os ydyw hyna yn ffaith, y mae yn llefaru mwy o lawer o blaid Calfinistiaeth, ac yn erbyn Ffwleriaeth, na'r *chwech* pen sydd gan Mr. R. i ddangos drwg-duedd y gyntaf; ie, na'r *saith* sydd ganddo i ddangos daioni yr olaf.

Ond y mae yn dda genyf weled fy nghefnder yn llarieiddio tipyn at ddiwedd ei ddarlith. Go lew, onite Mr. C. yw gweled rhyw beth yn gwella at ei ddiwedd. Yr wyf yn hollol gydweled âg ef am y perygl o fedru dadlu am yr Iawn heb ei ddefnyddio. Gobeithiaf gan Dduw, na chaiff Mr. R. na minnau mo'n gadael yn ymddifaid o rinwedd yr athrawiaeth, tra yn ceisio ei chymhell ar ereill. Na chawn, 'wedi pregethu i ereill fod ein hunain yn anghymmeradwy;' ond 'y'n ceir ynddo Ef.'

Yr wyf yn hollol gyd-gredu âg ef, y dylai y rhai sydd yn gwahaniaethu mewn barn, fod yn ofalus i beidio gwneuthur dim a dueddo i oeri cariad eu gilydd, i iselu cymmeriad y naill y llall, a thrwy hyny, leihau eu defnyddioldeb; er fy mod yn meddwl y dylid dangos cyfeiliornwyr a chyfeiliornadau, fel yr adnabydder hwynt, a thrwy hyny, y lleihaer eu niwed. Ac er fy mod yn y llythyrau hyn wedi nodi rhai pethau, a ymddangosant i mi yn anghyson, ac anngharedig yn ysgrif Mr. R. etto, os dywedais ddim i'w iselu fel dyn, fel Cristion, neu fel pregethwr, (neu ddim sydd yn perthyn iddo, heblaw pyngciau y ddadl sydd rhyngom, pa rai yr wyf o gybwybod yn eu gwrthwynebu) erfyniaf ei faddeuant. Pe cyfarfyddwn âg ef unrhyw ddiwrnod, os cytunai, ysgydwem ddwylo hyd at y pen-elin. Pe ddeuai i'm tŷ, cai 'fara a chaws, a chroeso.'

Ac os na allai gyduno â hen *Ddisenters* Llanbrynmair i ganu,

'Ar groesbren brydnawn,
Cyfiawnder ga's Iawn,' &c.

Neu,

'Cariad Crist a phechod Sïon,
Bwyswyd yn y glorian fawr,' &c.

O bosibl y gallai gyduno â mi i ganu,

'Yr Iawn a dalwyd ar y groes,
Yw sylfaen fy enaid gwan;
Wrth bwyso arno ddydd a nos,
'Rwy'n dysgwyl dod i'r lân.'

Os deil eich hamynedd, Mr. Cyhoeddwr, i ddarllain fy llythyr hyd yma, gwn y byddwch yn barod i ddywedyd, '*Maith iawn ydyw.*' Ond nid oes genyf un ymesgusodiad, heblaw mai dyma yr olaf a fwriadaf ei ysgrifenu ar y ddadl bresenol, oddieithr cael rhyw ail-gynhyrfiad.

R. WILLIAMS.

*Liverpool*, *Rhag.* 6*fed*, 1839.

---

## NEWYDDION DA AM DDIRWEST O'R IWERDDON.

'A ddichon dim da ddyfod o Nazareth,' ydoedd y cwestiwn a ofynwyd unwaith yn nghylch y lle y magesid Iachawdwr y byd. Y mae llawer yn barod i ofyn yn gyffelyb am yr Iwerddon, sef ynys yn ein hymyl, yn ddiarhebol am ei choelgrefydd, ei hannuwioldeb, ei thlodi, a'i hanghymmedroldeb dirfawr. Yn mysg ereill gwestiynau, gellir gofyn, A ddichon dim da Dirwestol ddyfod oddi yno? Fe fydd yn ddywenydd, nid bychan, i bleidwyr Cymdeithas Ddirwest drwy yr holl Dywysogaeth, gael clywed bod newyddion o'r fath rhagoraf wedi dyfod i'n clustiau, mewn perthynas i ffyniant egwyddorion Dirwest, hyd yn nod yn yr Iwerddon.

Hysbysir i ni mai Eglwyswr, ac un o'r Crynwyr, a ddechreuasant gyntaf lafurio o blaid y Gymdeithas yn Cork, Tipperary, Limerick, Dunganon, a dinasoedd ereill, a hyny yn 'ngwyneb llawer o wrthwynebiad a digalondid. Tebygid na wnaethant hwy ond hau yr hâd, a hyny, efallai, â dagrau, ond ereill sydd yn medi o ffrwyth eu llafur, a hyny mewn llawenydd a gorfoledd mawr. Dywedir fod y Parch. Theobald Matthew, Offeiriad Pabaidd yn Cork, gwedi rhestru *triugain* mil o aelodau ei hunan! A bod gwyr a gwragedd, wrth yr ugeiniau a chan-

noedd yn dyfod mewn mèni, a phethau ereill, ddeuddeg milltir o ffordd ac ychwaneg i'r dyben i arwyddo yr ardystiad Dirwestol. Ac er fod cynnifer o filoedd wedi ymrestru, ni chafwyd fod cymmaint ag un wedi tori ei ymrwymiad.

Y mae newyddion diweddarach wedi dyfod i law, yn hysbysu fod Offeiriad Pabaidd arall, o'r enw y Parch. John Foley, wedi hynodi ei hunan, braidd, yn fwy na'r llall, drwy ei fod wedi llwyddo i gofrestru mewn dau ddiwrnod yn unig, gynnifer a naw *mil* o aelodau!! Nid yw y gwaith mawr o adferu meddwon truenus yr Iwerddon debygwn i ond megis dechreu; ac y mae lle cryf i farnu y bydd y diwygiad mawr hwn yn myned yn mlaen, nes ymlid meddwdod ac anghymmedroldeb allan o'r Ynys yn llwyr. Y mae effeithiau y Gymdeithas yn barod yn lloni pob meddwl dyngarol; canys y mae y dinasoedd a fuont unwaith yn nodedig am bobl feddwon, yn awr, nas gwelir braidd un gwedi yfed i ormodedd o'u mewn drwy y dydd.

Y mae hyn mor amlwg yn Limerick, fel yr ysgrifenodd Maer y ddinas lythyr o ddiolchgarwch a chefnogaeth at Mr. Matthew; yn mha un y dywedai, Nad oes dim a sefydlwyd erioed yn eu mysg wedi bod o gymmaint budd a lleshad. Pwy na theimla ei galon yn gwresogi o herwydd y newyddion hyn, a mawrygu Duw am arddelwi y Gymdeithas, hyd yn nod yn mysg Pabyddion Iwerddon.

Oni allwn ni obeithio hefyd mai rhyw rag-redegfeydd iddynt yw hyn o bethau gwell. Pwy wyr nad y datguddiad nesaf a gânt oddiwrth yr Arglwydd fydd, yn nghylch twyll eu crefydd, a'u hofergoelion, ac y daw newyddion cyn hir i'n clustiau, bod miloedd o honynt wedi eu dychwelyd i'r ffydd, a chofleidio yr athrawiaeth iachus. O leiaf, ni a ddylem bawb gymmeryd hyn yn fater gweddi ger bron Duw, ac nac anghofiwn mewn un modd (fel y crybwyllodd un hen frawd wrthyf) y ddau Offeiriad sydd wedi bod mor aiddgar ac amlwg yn y gorchwyl.

Da genyf gael cyfle cyn darfod i hysbysu i'm cyd-wladwyr, fod y Traethawd buddugol ar Ddirwest yn yr Iaith Saesoneg, wedi newydd ddyfod allan o'r wasg, ei enw yw 'BACHUS.' Ac yr ydwyf yn hyderus y gwelir ei effeithiau daionus, nid yn unig yn yr Iwerddon, a manau ereill o'n teyrnas ni, ond yn mhob man lle y darllenir yr iaith trwy y byd. J. W.

*Llynlleifiad, Rhagfyr* 12eg, 1839.

CAIS AM GAEL HANES CENHADON.

MR. GOLYGYDD,—Byddai yn dra dymunol genyf, ac ereill, gael gwybod, trwy y Drysorfa, Pa beth a ddaeth o Isaac Hughes, y Cenhadwr, a ddanfonwyd o Manchester i Affrica flynyddoedd yn ol? Derbyniwyd Llythyrau yr amser hwnw, pa rai a ymddangosasant yn y Goleuad, yn rhoddi hanes manwl am ei daith o Loegr i Affrica, yn nghyda'i lafur a'i ddefnyddioldeb yn y wlad hono; ond yn awr, er's blynyddau, ni welwyd, ac ni chlywyd dim hysbysiad am dano yn y Drysorfa; am hyny, byddai yn dda genyf wybod rhywbeth yn ei gylch gan ryw un sydd yn alluog i wneyd hyny.

Byddai yn hyfryd genyf hefyd glywed yn amlach am y Parch. Josiah Hughes, o Lle'rpwll, a mwy o hanes ei Genhadaeth yntau yn y rhan bellenig hono o'r ddaear yr anfonwyd ef yn Genhadwr yr efengyl iddi.—Yr eiddoch, Syr,

C. LL. Y DRYSORFA.

*Glan y Ffrwd, Hyd.* 26, 1839.

# BARDDONIAETH.

## EMYNAU.

*Erfyniad am dywalltiad o'r Yspryd Glân, a llwyddiant yr efengyl; priodol i'w canu ar y chweched o Ionawr,* 1840.

EMYN I.—8, 7.

YN ol d'addewidion grasol,
  Arglwydd nefol dyro 'nawr
Dy lân Yspryd mewn grymusdra,
  I ail-eni tyrfa fawr:
Ef yn unig all gyfodi
  Dyn o'i holl drueni i gyd;
Ef â'i sanctaidd ddylanwadau
  Biau argyhoeddi'r byd.

EMYN II.—7. 6.

TYWALLTER ar y sychdir
  Sydd yn yr anial cras
I lawr y dyfroedd bywiol,
  Pereiddiol yw eu blâs,
Mal byddo ffrwyth i'r Iesu,
  Yn gwiw gynnyrchu'n fawr,
A'i deyrnas, tra bo dyddiau,
  Yn llenwi conglau'r llawr.

Uwchben yr esgyrn sychion,
  Mae gweinidogion Duw,
Yn traethu'r genadwri,
  Am fodd i'w cadw'n fyw;
Ti, Yspryd y Jehofa,
  Anadla ar y glyn,
Nes delo'n fyw i Sion
  Y lladdedigion hyn.

EMYN III.—8. 7. 4.

GWEITHREDIADAU pur yr Yspryd
  Fo'n rhoi bywyd i bob un,
Mal trwy'r ddaear mewn cyfiawnder
  Y dyrchafer Mab y dyn:

Nertboedd dwyfol, &c.
Anorchfygol ydynt hwy.

Yn y dyddiau'r pryd diweddaf,
'Y tywalltaf,' meddai Duw,
Yn ehelaeth o fy Yspryd,
Er adferyd dynolryw:
Ceisiwn ninnan, &c.
Dyma'r dyddiau wedi d'od.

EMYN IV.—M. H.

I'w bobl addawodd Iesu mawr,
Y d'ai'r Dyddanydd pur i lawr,
I roddi iddynt is y nef,
Ddatguddiad o'i ogoniant ef.

Fe ddwg ar gof o'r trysor fry,
I'w meddwl hwy ei eiriau cu;
Arweinydd anffaeledig yw
Trwy'r anial dir i deulu Duw.

EMYN V.—M. C.

AED peraidd sain efengyl wén,
I blith pob llwyth ac iaith;
Ac enw'r Iesu fyddo'n ben,
Dros wyneb daear faith.

Bod son am rin ei angeu drud
O dan arddeliad mawr;
A'i Yspryd yn goleuo'r byd,
I wel'd ei hyfryd wawr.
D. JONES, *Nantglyn.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

*Hanes Cyfarfod Ysgolion Birmingham, Wallsall, a Bilstone.*

CYNNALIWYD y Cyfarfod hwn yn Birmingham, yn ei gylchdro ddefodol, dydd Sabbath, 1af o fis Tachwedd. Yn y bore, am 7 o'r gloch, cynnaliwyd Cyfarfod Gweddi.

Am 10, daeth Ysgolion Bilstone a Wallsall yn nghyd, a dechreuwyd y Cyfarfod gan Mr. Evans, Annibynwr, a Myfyriwr yn Athrofa Springhill, Birmingham; a holwyd y rhan gyntaf o'r Sedwerydd Bennod o'r Hyfforddwr, gan Mr. E. Price, a phregethodd y Parch. Richard Jones, Llanfair, oddiwrth Heb. 12. 4.

Yn y prydnawn, dechreuodd Mr. Price, a phregethodd Mr. Jones, o Wallsall, oddiwrth Heb. 2. 3. ac ar ei ol, y Parch. Richard Jones, oddiwrth Heb. 7. 8. a gweinyddy Parch. R. Jones yr ordinhad sanctaidd o Swper yr Arglwydd i aelodau proffesedig y lleoedd crybwylledig.

Yn yr hwyr, dechreuodd Mr. Edward Price, a holodd y rhan olaf o'r Bedwerydd Bennod o'r Hyfforddwr, a phregethodd y Parch. R. Jones, oddiwrth 1 Cor. 2. 2. Ar ol iddo ddarfod, aeth pawb i'w ffordd yn llawen, gydag arwyddion helaeth mai da oedd i ni fod yma.

Gwerthfawr gan bawb yw gweled ei hun yn llwyddo yn yr hyn y bydd yn llafurio, felly ninnau. Y mae yn dda genym hysbysu i'n brodyr yn Nghymru, nad yw ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Ond tebyg etto ydym i hedyn mwstard bach, neu gorsen ysig, neu lin yn mygu; ond er ein gwaeledd, yr ydym yn penderfynu myned rhagom, gan fod addewid y digelwyddog Dduw o'n hochr, Na bydd i'r gorsen ysig byth dori, na'r llin yn mygu byth ddiffodd. A gobeithio y cawn ran yn eich gweddiau; ac yna, fe fyddwch chwi a ninnau yn cyd dynu yn rhaffau yr addewidion. A phwy a wyr na welir yr hedyn bach hwn wedi tyfu yn bren mawr, ac y bydd llawer Cymro â'i enaid yn nythu yn dawel yn ei ganghenau, trwy dderbyn bendith gan yr Arglwydd, a chyfiawnder gan Dduw ei iachawdwriaeth. A phrysured yr amser y gwelir 'Y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref.' T. R.

## ATHROFA Y METHODISTIAID CALFINAIDD.

Y rheolau canlynol a gytunwyd arnynt gan Gyfeisteddfod y Siroedd, yn Ngymdeithasfa Caernarfon, y 4ydd o Fedi, 1839.

1. Fod y lle y bydd yr Athrofa, a'r Athrawon, i gael ei benderfynu, a than olygiad y Gymdeithasfa Chwarterol.

*Cyfeisteddfodydd y Siroedd.*

2. Fod Cyfarfod Misol pob Sir i ddewis yn flynyddol bump o'i haelodau i fod yn Gyfeisteddfod, i arolygu pob achos yn y Sir a fyddo yn dwyn perthynas â'r Athrofa.

3. Fod un o'r Cyfeisteddfod i fod yn Ysgrifenydd, ac un yn Drysorydd.

4. Fod pob aelod Eglwysig mewn undeb â'r Methodistiaid Calfinaidd ag a gyfrano £5. yn y flwyddyn at yr Athrofa ganddo hawl i fod yn un o'r Cyfeisteddfod, a phob un a gyfrano £25. ar unwaith i fod yn aelod dros ei fywyd, os bydd yn aelod Eglwysig.

5. Fod yn ofynol i dri fod yn ymgynnulledig, cyn y gallont weithredu.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol.*

6. Fod Cyfeisteddfod Cyffredinol i gael ei gynnal y diwrnod o flaen y Gymdeithasfa yn mis Mehefin, bob blwyddyn, pryd y dysgwylir i holl Gyfeisteddwyr y Siroedd fod yn nghyd, i edrych i mewn i ansawdd yr Athrofa, ac i ffurfio unrhyw reolau a farnont yn angenrheidiol.

7. Fod y Cyfeisteddfod Cyffredinol i dderbyn oddiwrth yr Athrawon Adroddiad manwl am lafur a chynnydd yr Efrydwyr; a chyfrif oddiwrth y Trysorydd am bob traul a derbyniadau; a bod cymmaint o'r

Adroddiad ag a farno y Cyfeisteddfod yn addas, i gael ei argraffu, a'i anfon i bob Tanysgrifiwr o £5. ac uchod.

8. Fod i'r Cyfeisteddfod Cyffredinol roi hysbysiad byr o'i gweithrediadau yn Nghymdeithasfa mis Mehefin.

*Casgliad tuag at gynnal yr Athrofa.*

9. Fod Casgliad Cyffredinol i gael ei wneyd tuag at sefydlu Trysorfa i sicrhau parhad yr Athrofa, ac er mwyn rhoddi mantais i holl feibion y sefydliad i gyd-weithredu o'i phlaid.

10. Fod Cyfeisteddfod y Siroedd i bennodi ar bersonau addas yn y prif drefydd, a'u hardaloedd, i fod yn Ysgrifenwyr a Chasglyddion.

11. Fod yr arian a gesglir i gael eu diogelu ar dir, neu ryw ddiogelfa arall a farno Ymddiriedolwyr a bennodir i hyny yn oreu.

*Derbyniad i'r Ysgol.*

12. Na byddo neb i gael ei anfon i'r Athrofa heb ei holi yn fanwl, a'i gymmeradwyo, gan Gyfeisteddfod y Sir y perthyn iddo; a bod ganddynt hawl i alw y neb a fynont o aelodau y Cyfarfod Misol i'w cynnorthwyo i hyny.

13. Na byddo i neb gael ei anfon i'r Athrofa heb fedru ysgrifenu yn ddealladwy yn ei iaith enedigol.

14. Fod pob Sir a fyddo yn talu y cwbl a roddir arni gan y Gymdeithasfa bob blwyddyn, yn meddu hawl i gadw un yn yr Ysgol am bob £7. 10s. o daliad blynyddol.

15. Fod casgliad o £150. yn yr un Sir yn rhoddi hawl i'r Sir hono yr un fath a thaliad blynyddol o £7. 10.

16. Pob un a roddo £100. ar unwaith a gaiff yr hawl o anfon un yno heb dalu dim drosto.

17. Pob un a roddo £50. a gaiff anfon un yno am £3. y flwyddyn.

18. Pob un a roddo £25. a gaiff anfon un yno am £6. y flwyddyn.

*⁂* Derbynir Tanysgrifiadau gan Mr. W. Williams, Benar, Dolgellau; a Mr. J. Jones, Tremynfa, Bala.

## PRIODAS Y FRENINES.

Anfonodd ei Mawrhydi air at bob un o Aelodau y Cyfrin-Gynghor i ddyfod yn nghyd ar ddiwrnod pennodol, gan fynegi fod ganddi genadwri neillduol i'w hysbysu iddynt.

Ar ddydd Sadwrn, Tachwedd 23, hwy a ymgyfarfuont yn nghyntedd Llys Buckingham. A'r Frenines a'u cyfarchodd oll gan ddarllen papuryn oedd yn ei llaw, yn cynnwys yr hyn a ganlyn:—

"Myfi a'ch gwahoddais yn nghyd yn bresennol, i'r dyben o hysbysu i chwi fy mhenderfyniad ar achlysur sydd o fawr bwys, er llesiant fy mhobl, ac er fy nghysur innau rhagllaw.

"Yr wyf yn bwriadu ymuno mewn priodas â'r Tywysog Albert, o Saxe Coburg a Gotha.

"Gan ddwys ystyried pwysfawrogrwydd yr ymrwymiad, yr hwn yr wyf am ymrwymo ynddo, ni ddaethum i'r penderfyniad hwn heb gymmeryd mawr bwyll, nac heb deimlo sicrwydd cryf, gyda bendith yr Hollalluog Dduw, y bydd hyn, nid yn unig yn sicrhau happusrwydd teuluaidd i mi fy hun, ond hefyd y bydd yn tueddu er lesâd i'm gwlad.

"Mi a farnais yn addas wneyd fy mhenderfyniad hwn yn hysbys i chwi cyn gynted ag y byddo modd, fel y byddo i chwi gael gwybodaeth gyflawn o fater ag sydd o gymmaint pwys i fy nheyrnas, fel yr wyf yn barnu a fydd yn dra chymmeradwy gan fy holl ddeiliaid anwyl a hoff."

Wedi hyn, gofynodd y boneddwyr ganiatad ei Mawrhydi i wneuthur hyn yn gyhoeddus; a hi a roddodd ganiatad.

Yr oedd y Frenines yn edrych yn dda iawn; a hi a ddarllenodd y Cyfarchiad gyda mawr bwyll.

Ganwyd y Frenines, Mai 24, 1819, a ganwyd y Tywysog Albert, Awst 26, 1819, ac felly y mae y Frenines yn hynach nag ef o dri mis.

Ail fab yw y Tywysog Albert, i Ernest, Duc Llywodraethol Saxe Coburg a Gotha, yn Germany. Mae efe, nid yn unig yn Brotestant, ond hefyd yn enedig o hil âch o Brotestaniaid, i un o ba rai y bu Luther yn rhwymedig am ei amddiffyniad. Canys, ar ol Eisteddfod Tywysogion yr Ellmyn yn Worms, er's llawer blwyddyn yn ol, darfu i'r Pab o Rufain ddefnyddio ei awdurdod eang, gyda Thywysogion Ewrop, i ymgais am ddyfetha y Diwygiwr enwog Luther oddiar y ddaear, ac un o henafiaid y Tywysog Albert a'i hamddiffynodd ef, ac a fu yn offerynol o'i gadw rhag disgyn o hono i ddwylaw gwaedlyd y Pab a'i offerynau didrugaredd.

### AMRYWIAETHAU.

*Chwareudy yn cael ei droi yn Addoldy!*— 'Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd, yn lle mieri y cyfyd myrtwydd,' &c. Esa. 55. 13.

Ar y Sabbath, y 10fed o Dachwedd diweddaf, neillduwyd Chwareudy yn Oldham, (tref fawr oddeutu chwe milltir o Manchester) i addoli yr Arglwydd, gan y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig.

Yn y bore, am 10 o'r gloch, pregethodd y Parch. John Jones, Runcorn, am 'Hyfrydwch mynydd Sion.'

Am 2 y prydnawn, dechreuwyd y gwasanaeth yn Saesoneg, gan Mr. J. Jones, Manchester, a phregethodd y Parch. J. Jones, yn Saesoneg, am 'The power of the law of the Lord to convert the soul;' ar ei ol pregethodd y Parch. William Williams, Manchester, am y 'Llawenydd sydd yn

deilliaw i'r Cristion wrth weled cynnydd teyrnas Crist.'

Am 6 y nos, dechreuwyd y gwasanaeth drachefn yn Saesoneg, gan Mr. J. Jones, Manchester, a phregethodd y Parch. W. Williams, yn Saesoneg, 'On the effects of the peace of God, on the life and conduct of man;' ar ei ol y Parch. J. Jones, 'am ogoneddu Duw yn mhob peth.'

Taenwyd papurau hyd y dref yn hysbysu yn mlaen llaw agoriad y capel: daeth amryw o'r Saeson i wrando; gwnaed casgliad da ar ol yr odfaon.

Y mae yma ugeiniau o deuluoedd Cymreig yn eistedd yn mro a chysgod angeu. Y mae yma rai o honynt yn ymofyn y ffordd tua Sion, a'u hwynebau tuag yno. Cynnwysa y dref oddeutu 30,000 o drigolion; y rhan fwyaf o honynt yn annuwiol iawn, a lliaws mawr yn anffyddiaid caled. Dymunem i'n hanwyl frodyr gofio am danom o flaen gorsedd gras, am i'r boreu wawrio, 'y bydd y fechan yn fil, &c.

GOMER, yn mhell o'i wlad.

*Oldham, Tach.* 8fed, 1839.

---

*Celain ymchwiliad.*—Rhag. 18, cynnaliwyd cyfarfod Rhaith-chwiliad ger bron y Swyddog Peter Parry, Ysw. yn Nhreffynon, ar gorph John Jones, Miner, yr hwn a laddwyd yn mhwll glo Greenfield. Fel yr oedd y dyn a laddwyd gyda dyn arall yn gweithio pwll glo, rhoddodd J. Jones ddarn o blanc tew oddeutu pedwar ugain pwys o bwysau mewn cadwyn i'w dynu i fynu o waelod y pwll i'r lan. Ac wedi ei dynu yn agos i wyneb y pwll, llithrodd y pren allan o'r gadwyn, ac a syrthiodd ar ben J. Jones yn ngwaelod y pwll, oddeutu pum llath ar hugain o ddyfnder, ac ni bu efe byw ond tair awr a hanner ar ol hyny. Y rheithfarn oedd, 'Marwolaeth ddamweiniol.'

*Y dramwyfa o Lundain tua'r Iwerddon.*—Gwyr ein darllenwyr, bellach, am y ffordd haiarn sydd yn mwriad y Llywodraeth i'w gwneuthur o Lundain tua Dublin. Bwriedir yn fuan benderfynu pa un o'r pedair cynllun a ddewisir. Pa un ai trwy yr Amwythig a Sir Feirionydd i Borthdinllaen; a'i trwy Gaerlleon i Borthdinllaen; ai trwy Gaerlleon i St. George's Harbour, ger trwyn y Fuwch Foel *(Orm's Head;)* ai trwy Gaerlleon i Gaergybi.

Dydd Llun, Rhag. 16, cyrhaeddodd yr Agerddlong Arolygawl, a elwir Affrica, Cadpen Beachy, o King's Town i Gaergybi, a'r Mor Lywydd Syr James Gordon ar ei bwrdd hi. Syr James a'r Cadpen Beachy ydynt yr Arolygwyr a appwyntiwyd gan y Llywodraeth i arolygu y Porthladdoedd Caergybi, a Phorthdinllaen, a Phorth St. Sior, ac i bennodi pa un o'r tri hyn fydd y goreu i fod yn Borthladd Agerddlongau y Llywodraeth, a'r mwyaf hwylus i ddwyn pen eithaf y ffordd haiarn o Lundain tua'r Iwerddon. Ac wedi cymmeryd digon o ystôr i mewn, hwyliodd Affrica a'r Arolygwyr ar ei bwrdd, yn foreu ddydd Mawrth, tua Phorthdinllaen. Ac wedi bod yn golygu y Porthladd hyd y prydnawn, hwyliodd yr Agerddlong i ymgysgodi am y nos yn angorfa Beaumaris. Dydd Gwener canlynol, hwyliasant tua Chaergybi, lle y cyfarfu Dirprwywyr y Llywodraeth â'r gwyr uchod, ac aethant yn mlaen â'u gorchwyl i geisio dyfod a'r achos i benderfyniad. Diau y bydd i'r gwyr dysgedig, medrus, a phrofiadol hyn chwilio allan i fanylrwydd yr achos sydd ganddynt mewn llaw. Ac wedi iddynt orphen eu gwaith, hwy a gyhoeddant eu barn a'u penderfyniad mewn Adroddiad helaeth a manwl, yn ddioed.

*Y Senedd Ymerodrol.*—Penderfynai y Llywodraeth y bydd i'r Senedd Ymerodrol ymgyfarfod ar ddydd Iau, Ionawr 16eg, i ymaflyd yn ngorchwylion pwysfawr yr ymerodraeth.

*Brenin Hanover.*—Dywedir fod Brenin a Breninen Hanover yn llwyr fwriadu dyfod drosodd i Frydain yn gynnar yn mis Chwefror, fel y byddo iddynt fod yn bresennol yn mhriodas y Frenines â'r Tywysog Alberd.

*Ysgolion y Llywodraeth.*—Ar ddydd Llun, Rhagfyr 16eg, darfu i'r Frenines appwyntio y Parch. John Allen, M.A. Caplain King's College, Llundain, a Mr. Seymour Tremenhere, Cydraddwr o'r Athrofa Newydd, Rhydychain, i Arolygu Ysgolion Newydd, cynnaliedig gan y Llywodraeth, yn ol y gyfraith y penderfynwyd arni yn nghyfarfod diweddar y Senedd. Ac mae y gwyr hyn wedi ymrwymo i fyned i ymweled â'r Ysgolion bob hyn neu hyn o amser, o dan olygiad Cyfeisteddfod yr Ysgolion, a chyhoeddi eu Hadroddiad o'u golygiadau ar y ddysgeidiaeth a weinyddir ynddynt, sef i blant pawb o ddeiliaid ei Mawrhydi yn ddiwahan.

*Masnach Prydain Fawr.*—Mae Brydain mewn 'Cydundeb cyfammodol' â'r teyrnasoedd a'r gwledydd tramor canlynol, i gyd-fasnachu mewn gwahanol gyfoeth a nwyfau yn ol cynnyrch y gwahanol a'r amrywiol genhedloedd preswyliedig ynddynt.—Unol Daleithiau America—Prwssia —Denmark—Unol Daleithiau Rio De la Plata — Llywodraeth Columbia — Senedd Dinas rydd Hancastle o Lubeck—a Senedd Dinas rydd Hancastle o Bremen—a Senedd Dinas rydd Hancastle o Hamburgh — Teyrnas Ffrainge—Teyrnasoedd Sweden a Norway—Unol Daleithiau Mexico—Ymerodraeth fawr Brazil—Dinas rydd Ffrankfort — Talaeth Venezuela — Cyngreiriaeth Peru a Bolivian—Gwlad Groeg—Y Netherlands — Ymerodraeth Awstria — Hanover—Ac Ymerodraeth y Twrc.

*Y dramwyfa dan afon Lundain.*—Mae y dramwyfa gostus a rhyfeddol hon yn tynu

yn agos i'w gorpheniad. Y mae hi yn cael ei gweithio gyda'r fath gyffymdra a brys, fel y mae hi yn myned yn ei blaen oddeutu wyth troedfedd yn yr wythnos.

*Meddwdod.*—Yn Adroddiad Senedd Ymerodrol Brydain Fawr ar Feddwdod, fe ddywedir fod nifer y personau a ganfuwyd yn myned i bedair-ar-ddeg o siopau Gwirodydd mewn un wythnos, fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| O feibion mewn oed ........ | 142,453 |
| O ferched mewn oed ........ | 180,593 |
| O blant .................. | 8,391 |

*Ympryd a Gweddi.*—Pennodwyd dydd Llun, Ionawr 6ed, i fod yn ddiwrnod i ymostwng ger bron Duw, ac i erfyn arno am gyflawniad o'i addewid rasol o 'dywallt ei Yspryd ar bob cnawd,' er achubiaeth pechaduriaid, ac adfywiad ei Eglwys.

## HANESION TRAMOR.

CHINA FAWR.—Mae masnach â China wedi cael ei attal, am ryw hyd, fodd bynag.

YSPAEN.—Er fod tywallt gwaed wedi ei attal yn nyfnder y gauaf yn y wlad hon; etto, nid yw plaid Don Carlos ddim wedi rhoi i fynu eu hachos yn hollol, nac wedi rhoi eu harfau i lawr; ond y mae yn debygol os na fydd hyny yn fuan, y clywir am chwaneg o frwydrau gwaedlyd yno etto pan estyno y dydd ac y tymhoro yr hin.

TWRCI A'R AIPHT.—Nid yw yr anghytundeb rhwng y ddwy wlad eang hyn ddim wedi ei benderfynu, er nad oes yno ddim rhyfel yn myned yn mlaen yn bresennol.

YR INDIA DDWYREINIOL.—Mae y goruchafiaethau a ennillodd Brydain yn yr India Ddwyreiniol, wedi dyfod a Brenin Persia ato ei hun, gan iddo gael ei siomi yn ddirfawr yn ei amcan maleisddrwg yn cytuno â rhai o lywodraethau yr India i ddrygu Brydain a dyfetha ei masnach yn ngwledydd y Dwyrain. Yn lle hyny, trodd mantol Rhagluniaeth fawr o ochr Brydain, er ei hennill, ac er mawr chwanegiad cyfnerthoedd yn y gwledydd pellenig hyny.

TANAU MAWRION A DINYSTROL YN AMERICA.—Bu tân difäol dychrynllyd mewn amryw ddinasoedd a threfydd yn yr Unol Daleithiau, America, yn ystod mis Hydref diweddaf; sef yn New York, Philadelphia, Orleans Newydd, a Mobile. Bu tân mawr iawn yn New York yn ddiweddar o'r blaen, ond yr oedd y tân yn mis Hydref yn llawer mwy. Barna rhai fod y golled yn 1,600,000 o ddollars.

Mae y newyddion o Mobile o'r fath fwyaf torgalonus a glywsom erioed. Yr oedd y trigolion wedi eu lleihau yn ddychrynadwy trwy y dwymyn felen (*yellow fever*;) a thra yr oedd hono yn medi yr ugeiniau a'r cannoedd i fyd tragywyddol, ymosodwyd ar y ddinas gan dân dinystriol; llosgwyd o leiaf 600 o dai! hanner pa rai a breswylid gan ddynion tlodion. A gwaeth na'r cwbl, credir mai rhyw gythraul o ddyn, (canys ni's gellir ei alw yn ddyn) a gynneuodd y tân ofnadwy hwn. Mae y ddinas hon, a dinasoedd ereill yn casglu yn haelfrydig at gynnorthwyo y dyoddefwyr.

*Y dwymyn felen.*—Nid ydyw yr hanesion am ddifrod y dwymyn yn y parthau deheuol yn gwellhau nemawr. Parheir i rybuddio dyeithriaid rhag dyfod i Orleans Newydd, a manau ereill lle y mae y dwymyn hon yn parhau i fedi y trigolion.

CANADA.—Mae y Llywydd newydd, yr Anrhydeddus C. P. Thomson wedi cyrhaeddyd Canada, a'i ragflaenorydd Syr John Colbourne, wedi cychwyn ar ei ddychweliad i Frydain.

---

## Priodasau.

TACHWEDD 13eg, yn Eglwys Amlwch, gan y Parch. Mr. Johnson, Mr. William Hughes, Maesoglen, â Mary, merch ieuangaf Mr. William Thomas, Plas caudryll gerllaw Amlwch.

— 28, yn Eglwys Gadeiriol, Bangor, gan y Parch. John Hamer, y Rhaglyngesydd Lloyd, Tregaian, Mon, âg Ellen, merch ieuangaf y diweddar Thomas Roberts, Ysw. Meddyg, Garth View, Bangor.

Rhagfyr 6, yn Eglwys Llanfihangel Esgeifiog, Mon, gan y Parch. Evan Williams, Person Llangefni, Mr. Owen Prytherch, Llosg-yr-odyn, Llanidan, â Mary, merch hynaf Mr. Owen Jones, Ty mawr, yn y plwyf uchod.

## Marwolaeth.

RHAGFYR 1af, bu farw, er mawr dristwch i'w deulu, yr Eglwys, a'r gymmydogaeth, y Parch. Hugh Charles, Capel y ty mawr, Mon, (gynt o Walchmai). Bu yn ei daith yn y Waunfawr, &c. Arfon, y 24ain o Dachwedd (Sabbath), a dychwelodd y prydnawn Llun canlynol yn iach; ond cyn boreu ddydd Mawrth, cymmerwyd ef yn glaf, ac ni wellhaodd mwyach; ac ar nos Sabbath, Rhag. 1af, ehedodd ei enaid anfarwol i'r gororau nefol, lle ni ddaw na haint nag angeu byth i'w gythryblu mwy, ac na ddywed yr un o'r preswylwyr, 'Claf ydwyf.' Bu yn bregethwr effro, defnyddiol, efengylaidd, a pharchus yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd, am un mlynedd ar ddeg. Fel Crist'on, gellir dywedyd ei fod yn was i Grist mewn gwirionedd; ac fel dyn, gallaf ddywedyd nad oedd un yn ngwlad Fon yn rhagori arno. Ei oed oedd 33 mlwydd. Yn ei wylnos, pregethai y Parch. William Roberts, Amlwch, oddiwrth Luc 2. 29, 30. i dyrfa luosog o wrandawyr.

Y tro yna, trueni——mawr ydyw,
Ymrodiad caledi;
Rwy'n gweled niwed i ni,
O gallaf wr ei golli.——O. P.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CX.] CHWEFROR, 1810. [LLYFR X.

## GORPHENWYD.

### PREGETH A BREGETHWYD GAN Y PARCH. W. THORPE, YN Y TABERNACL, YN LLUNDAIN, BOREU SUL, MAWRTH 21, 1824.

"YNA pan gymmerodd yr Iesu y finegr, efe a ddywedodd, Gorphenwyd: a chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr yspryd."—IOAN xix. 30.

DYODDEFIADAU chwerwon a buddugoliaethus Mab Duw ydynt y dygwyddiadau mwyaf pwysig a ddygwyddodd er creadigaeth dyn, neu er pan osodwyd sylfeini y byd i lawr; y rhai hyn oeddynt y pethau mwyaf pwysig o'r holl bethau a wnaed unwaith, ac nad anghofid hwy byth. Dylai pob diwrnod, fel y mae yn cylymu dros ein penau, alw nyn i gof pob Cristion zelog a phrofiadol; yr hwn, gyda'r apostol, ni fyn farnu iddo wybod dim yn mhlith dynion ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio; dylai pob peth bychan ag a fo yn dwyn perthynas â'r dygwyddiad mawr hwn gael ei gadw mewn cof tragywyddol; ond am y boreu heddyw chwennychwn eich sylw ar y geiriau olaf, a'r rhai mwyaf pwysig a lefarodd erioed, a hyny ar ddiwedd y weithred ryfeddaf a gwblhaodd, pan y crymodd ei ben, ac y rhoddes i fynu yr yspryd.

I. Ar *Berson* yr hwn a roddes i fynu yr yspryd.

II. Beth yw *ystyr* y gair diweddaf 'Gorphenwyd.'

III. I egluro y *dull* yn mha un y llefarwyd Ef.

I. Wrth sefyll ar fynydd Calfaria, ac edrych i fynu ar y Gwaredwr yn marw, y gwrthddrych cyntaf a deilynga ein sylw yw y dioddefydd ei hunan, ac yma ni a sylwn mewn perthynas iddo,

1. Ei fod ef yn *Dduw*, y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol. Yn yr Hen Destament gelwir ef y Duw Hollalluog, IEHOFA. Arglwydd y lluoedd, Duw cyfiawn, y Gwaredwr, &c. ac yn y Newydd gelwir ef y Gair ag oedd yn y dechreuad gyda Duw, a Duw oedd y Gair; heb yr hwn, ni wnaed dim ar a wnaethpwyd; Duw bendigedig yn oes oesoedd; y Brenin tragywyddol, anfarwol ac anweledig; yr hwn oedd cyn pob peth, a'r hwn sydd yn cynnal pob peth â gair ei nerth; gwir ddysgleirdeb y gogoniant anghreadigol; yr Alpha a'r Omega, y cyntaf a'r diweddaf, yr hwn sydd, yr hwn oedd, a'r hwn sydd ar ddyfod, yr Hollalluog. Yn nyddiau ei ymgnawdoliad, pan y cymmerodd dynion gerig i'w ladd ef, 'Llawer o weithredoedd da a ddangosais i chwi,' ebe fe, 'am ba un o'r gweithredoedd hyny yr ydych yn fy llabyddio i.' Hwythau a atebasant, 'Nid am weithred dda yr ydym yn dy labyddio, ond am gabledd, ac am dy fod di, a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw.' Ond er y cwbl, efe a afaelodd yn ei hawl i fod yn Dduw, ac a ddywedodd, 'Mi a'r Tad un ydym—mae y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau—yn wir, yn wir, meddaf i chwi, cyn bod Abraham yr wyf fi.' Yn awr, y mae rheswm dynol, os na bydd wedi ei dywyllu gan ragfarn, yn barod i ddywedyd fod ei hawl i fod yn Dduw ar dir teg. O dan ddylanwad rhyw uchel-fryd hunanol, gall dynion hòni teitlau ac anrhydedd na bydd ganddynt un hawl iddynt; ond ni thrigodd na balchder na hunan erioed yn ei galon *Ef*, ac nid ellid ei gyhuddo ef yn euog o yspeilio, na chablu, pan oedd yn dywedyd ei fod ef yn ogyfuwch â Duw, ac yn un â'r Tad. Frodyr sanctaidd, cyfranogion o'r un alwedigaeth nefol, na fydded arnoch ofn na chywilydd addef dwyfoldeb ein Hiachawdwr Iesu Grist. Hyn sydd yn rhoddi grym ac effeith-

ioldeb yn ei ddyoddefiadau, yn ei ufudd-dod, ac yn ei farwolaeth; ac yn eangu eu gwerth uwch dyoddefiadau a gweithredoedd dynion, ac a wnaeth i fynu Iawn dros lawer—hyn sydd yn peri fod ei waed ef yn ddigon gwerthfawr i wneuthur Iawn a chymmod dros bechodau y bobl; a hyn, yn wir, sydd yn llenwi iechydwriaeth â'r gogoniant, a'r mawredd, a'r pwys anfeidrol sydd ynddi. Bydded i ni, gan hyny, dori dros bob rhwystrau, dyoddef unrhyw golled, ïe, colli bywyd ei hun, yn hytrach na gwadu yr Arglwydd yr hwn a'n prynodd, a gwneuthur llongddrylliad ar ein ffydd a'n cydwybod dda; ond

2. Yr oedd efe yn ddyn, yn wir ddyn. Y mae ei natur ddynol yn cael ei gosod allan yr un mor gadarn gan yr ysgrifenwyr sanctaidd ag ydyw ei ddwyfoldeb. 'Had y wraig—Had Dafydd—Mab Dafydd'—ydynt ymadroddion ag sydd yn dangos ei fod yn wir ddyn, ac yn dynodi hefyd lin ei achau yn ol y cnawd. Efe a 'wnaethpwyd yn gnawd—wedi ei wneuthur o wraig—ïe, wedi ei wneuthur yn mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr.' Yr oedd pob rhan o'r natur ddynol yn perthyn iddo ef; *enaid* ein Harchoffeiriad o wnaed yn offrwm dros bechod; a thra yr oedd yr aberth dynol yn llosgi ar yr allor, yr oedd ei *enaid* yn drist iawn hyd angeu. Parotowyd *corph* iddo ef; a dygodd ein 'pechodau ni yn ei gorph ar y pren.' Dysgrifir rhagoroldeb ei ddynoliaeth ef yn aml gan yr ysgrifenwyr sanctaidd; efe a wnaed ar ddelw Duw, fel yr oedd Adda, yn ei greadigaeth, ac efe a gadwodd hon yn ei holl harddwch a'i phuredd. Nid ellir dychymygu am yr un angel yn y nefoedd yn fwy pur, yn fwy sanctaidd, ac yn fwy cyfiawn, na'r dyn Crist Iesu. Y fath gyfiawnder a gwirionedd, y fath ymostyngiad ac hynawsedd, y fath amynedd dan sarhad, ymosodiad, a gwrthwynebrwydd, y fath ymroddiad i ewyllys ei Dad, y fath zel dros ei ogoniant, y fath danbeidrwydd cariad, ysprydolrwydd meddwl, a ddangosodd Efe! y fath gariad anghydmarol at ddynion, pan oeddynt wedi amgylchu ei groes ef, ac yn ei wawdio yn nghyfyngder marwolaeth! hyd yn nod yn hyn yr oedd efe yn decach na meibion dynion—yn rhagori ar ddeng mil—oll yn hawddgar.

3. Yr oedd efe yn berson yn mha un yr oedd y *natur ddynol a'r natur ddwyfol wedi* eu huno. Yr oedd yr undeb hwn yn gwbl newydd, rhyfedd, ac anghydmarol; yn holl weithredoedd Duw, ac yn holl orchwylion y nefoedd, nid oes gyffelyb i hwn. 'Yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd.' Pan gyfranogodd efe o gig a gwaed, o'r hyn y mae y plant hefyd yn gyfranogion, ni ddaeth efe i fod yn berson arall o herwydd hyny. Mae ei berson ef yn dragywyddol ogoneddus, ac yn ddirgelwch mawr. Ynddo ef y mae y natur ddwyfol a'r natur ddynol wedi eu huno â'u gilydd, ac etto yn wahanol oddiwrth eu gilydd; o herwydd hyny, dywedir i ni fod Mab Duw wedi marw, a'i gladdu, a chyfodi drachefn; fod Arglwydd y bywyd wedi ei ladd, fod Tywysog y gogoniant wedi ei groeshoelio; fod y Tad, fel amddiffynydd anrhydedd Barnwr cyfiawn, yn gwaeddi, 'Deffro, gleddyf, yn erbyn y bugail; taro y gwr sy gyfaill i mi:' fod Arglwydd y lluoedd yn dywedyd, 'Hwy a edrychant arno ef yr hwn a wânasant, ac a alarant;' a bod Duw hefyd wedi prynu ei Eglwys â'i waed ei hun. Dyma ymadroddion a ddefnyddir ac a awdurdodir gan Ysbryd datguddiad ei hun i osod allan y dirgelwch mawr hwn; ac er y dichon iddynt swnio yn rhyfedd yn nghlustiau dyn heb ei oleuo, y mae eu hystyr yn amlwg yn neall pob un a oleuwyd gan Ysbryd y gwirionedd.

4. Efe oedd Feichiau pechaduriaid, ac un wedi ei osod, dros, neu yn lle, y rhai a roddwyd iddo gan y Tad. Wedi iddo gymmeryd eu hachos, a gwneuthur ei hunan yn gyfrifol dros eu heuogrwydd yn y cyngor tragywyddol, efe a ymddangosodd yn nghyflawnder yr amser, i gwblhau ei waith mawr. Yn awr, ni a allwn, gan hyny, eglurhau meddwl ei eiriau diweddaf; o herwydd pan y dolefodd efe, yr oedd yn hoeliedig fel drwg-weithredwr ar y pren, wedi ei groeshoelio gan ddynion annuwiol, ac wedi ei wrthod gan y Duw cyfiawn, ond wedi ymrwymo mewn anturiaeth dros ddyn, yr hwn oedd i ogoneddu holl berffeithderau y Duwdod yn ei achubiaeth. O'i ddyfodiad cyntaf i'r byd hyd yr amser yr hoeliwyd ef gan ddwylaw anwir ar y pren yr oedd yn barhaus yn yr ymdrech hwn; ac yn awr, nid oedd ond y weithred olaf o osod ei fywyd i lawr yn aros; a chyn cyflawni y weithred anghydmarol hono o gariad a gras, efe a ddyrchafodd ei lais, ac a waeddodd allan, 'Gorphenwyd.' 'Nid oes dim yn aros yn awr o'r gwaith mawr a roddwyd i mi gan y Tad, ond crymu fy mhen, a rhoddi

fy mywyd i lawr!' Yma, gan hyny, y mae gofyniad yn tarddu yn naturiol, Beth a *orphenwyd* yn yr amser rhyfedd hwn? Yr haul yn tywyllu ar ganol dydd—llen y deml yn rhwygo oddi fynu hyd i waered,—a'r beddau yn agoryd—y cwbl fel pe buasent yn dangos fod awr ddiweddaf y byd wedi dyfod; ond yr oedd gwaith llawer mwy pwysig na digorphoriad anian yn cael ei gwblhau pan oedd Iesu yn marw ar y groes.

II. Beth yw ystyr y gair diweddaf 'Gorphenwyd.'

1. Yr oedd rhag-ddywediadau hen brophwydi mewn perthynas i waith a dyoddefiadau y Messiah yn hir cyn ei ddyfodiad, yn awr yn cael eu cyflawni. Mewn tri-ar-ddeg ar-hugain o fanau y mae yr Efengylwr Matthew yn unig, wedi coffhau rhai dygwyddiadau yn mywyd ei feistr nefol, yn dywedyd yn niwedd pob gweithred hynod, 'Yr holl bethau hyn a wnaethpwyd fel y cyflawnid yr Ysgrythyr; ac y mae yr efengylwyr ereill yn coffhau llawer mwy; ond ni nodaf fi ond y rhagddywediadau hyny a berthynant i'w ddyoddefiadau. Mae nodweddiad Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, yn llyfr y Salmau yn cael ei nodi fel cyfaill iddo, 'Yr hwn a gyfododd ei sawdl i'm herbyn;' ac y mae y pris y gwerthid ef am dano wedi cael ei roddi i lawr gan y Prophwyd Zecharia. Gan y Prophwyd Esaiah, desgrifir ef fel y 'diystyraf o'r gwyr;' 'ac efe a ddaeth at yr eiddo ei hun, a'r eiddo ei hun, ni's derbyniasant ef.' Yn ei gyfyngder olaf, ei ddisgyblion a'i gadawsant, ac a ddiangasant—gau-dystion a gyfodasant yn ei erbyn ef—hwy a hoeliasant ei draed a'i ddwylaw ar bren—ond ni thorwyd asgwrn o hono. Yn ei farwolaeth efe a eiriolai dros droseddwyr, gan ddywedyd, 'O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant hwy pa beth y maent yn ei wneuthur,' 'Hwy a ranasant ei ddillad, ac ar ei bais y bwriasant goelbren.' Ac hyd yn nod y geiriau diweddaf a ynganodd yn ei boenau olaf a lefarwyd o'r blaen, oesoedd cyn hyny, yn iaith y brophwydoliaeth, 'Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist.' Rhoddes ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yw testyn a phrif bwngc yr Hen Destament, anrhydedd a gogoniant mawr arno yn ei farwolaeth; efe a gadwodd ei fywyd hyd oni chwblhawyd yr Ysgrythyr; ac yn gwybod mal llymaid o winegr oedd y peth olaf yn gyssylltiedig â'i farwolaeth yn llyfr y Salmau, efe a edrychodd i lawr ar ei lofruddion, ac a ddyrchafodd ei lais, ac a ddeisyfodd gael hyn, fel y prawf olaf mai efe oedd y Messiah, am ba un yr oedd y prophwydi a'r Salmydd yn llefaru.

2. Atebwyd *holl ddybenion a dangosiadau y ddeddf seremonïol.* Yr oedd yr holl ddeddf seremonïol, a gweithredoedd rhagluniaeth dani, wedi eu cyfleu i fod yn gysgod o hono ef a'i ddyoddefiadau; os byddai anifeiliaid yn cael eu lladd, neu aberthau yn cael eu difa, yr oeddynt yn gysgodau o hono ef a'i gyfryngdod; ond pan osodwyd y groes i fynu ar Galfaria, ac yr hoeliwyd y Gwaredwr arni, diflanodd holl gysgodau y gwrthddrych mawr hwn o'r golwg, gan adael yr holl ogoniant arno ef, 'yr hwn yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu.' Yr Urim a'r Thummim, y rhai a arwyddent oleuni a pherffeithrwydd, a orphenasant eu gyrfa, ac a atebasant eu dyben, ac a ddychwelasant oddiwrth yr Offeiriad Iuddewig i fod mwy gyda'r Arglwydd Iesu, yr hwn yw gwir ogoniant y Tad, a gwir lun ei berson ef. Y tân, a fu oesoedd lawer yn llosgi ar yr allor, a ddiffoddwyd, fel nad rhaid ei enyn mwy; cymylau tewion o arogldarth a chwalwyd ymaith yn llwyr; ac nid oedd yr holl gyfnewidiadau hyn ar y ddeddf a'r offeiriadaeth, ond esponiad cywir ar yr adnod hono, 'Y gyfraith a roddwyd drwy Moses, ond y gras a'r gwirionedd drwy Iesu Grist;' o herwydd pan ddilynodd yr holl gysgodau hyn ein Iesu bendigedig at bren y groes, a'i glywed ef yn gwaeddi 'Gorphenwyd,' hwy, yn y fan, a ddiflanasant, ac a roddasant le i oruchwyliaeth arall, llawer rhagorach.

3. *Cyfiawnder y gyfraith hefyd a gwblhawyd.* 'Canys yr hyn ni allai y ddeddf o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd.' Yr oedd efe beunydd, o'i enedigaeth yn Bethlehem, i'w groeshoeliad ar Galfaria, yn cyflawni cyfraith Duw pan yn cynhyrfu y nefoedd, yn siglo y ddaear, ac yn codi cyrph y seintiau o'u beddau. Tystiai y Deddfroddwr ei hun ei fod wedi ei lwyr foddloni yn aberth ei anwyl Fab, yr hwn a fawrhaodd y gyfraith, ac a'i gwnaeth hi yn anrhydeddus.

4. *Dyben mawr holl aberthau y gyfraith a gwblhawyd,* 'Canys nid âg arian ac aur, a phethau llygredig y'n prynwyd ni,' medd St. Petr: y mae yr

holl bethau hyn, er eu bod yn tanbaid ddysgleirio yn llygaid dyn, islaw y gwerth, ac heb argraff a delw y nefoedd arnynt. Yr oedd y ddeddf yn gofyn tywallt gwaed; ac yr oedd pechadurusrwydd dyn, ac anrhydedd y perffeithderau Dwyfol, yn gofyn i'r gwaed hwn fod o werth anfeidrol; heb yr hyn ni allai foddloni cyfiawnder Duw, na gollwng yr euog yn rhydd; y cyfryw ydoedd gwaed Mab Duw. Llawer swm a dalodd ef i'r trysor tra yr oedd yma ar y ddaear; llawer gweithred o gariad ac ewyllys da a wnaeth efe, yr oll o ba rai a ysgrifenid gan y ddeddf yn y cyfrif; ond cyn iddo grymu ei ben, a rhoddi i fynu yr yspryd, yr oedd eisieu gwaed, ac o herwydd hyny fe roddes i fynu ei fywyd, ac wrth wneuthur hyny, holl ofyniadau y ddeddf, a chyfiawnder a foddlonwyd.

5. *Yr holl waith a roddwyd iddo gan y Tad a orphenwyd.* Yn y gorchwyl mawr hwn yr oedd ein Hiachawdwr bendigedig yn ddiwyd iawn holl ddyddiau ei ddarostyngiad; yr oedd pob diwrnod iddo ef yn ddiwrnod o lafur egniol a pharhaus: 'Rhaid i mi,' medd efe, 'weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd i, tra yw hi yn ddydd.' Pan y dywedodd ei fam wrtho, 'Paham y gwnaethost felly â ni? wele dy dad a minnau yn ofidus a'th geisiasom di;' efe a atebodd, 'Paham y ceisiech fi? oni wyddech fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthyn i'm Tad.' Ar y noson y bradychwyd ef hefyd, gan ddyrchafu ei olygon i fynu dywedai, Y Tad cyfiawn, 'Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear; mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur.' Y cwbl oll a orphenwyd, ac ni chafwyd bai ynddo. A'r gwaith gorphenawl hwn yw gorphwysdra, ac adnewyddiad nerth y pererin lluddiedig; hwn yw noddfa ac ymguddfa pechadur euog; bydded i ni, gan hyny, ymorphwys arno; ac ymffrostio ynddo fel nerth ein calonau, a chraig ein hiachawdwriaeth, a chanu yr un gân orfoleddu â'r côr nefolaidd fry, am gwblhad gwaith ein prynedigaeth, a bod Duw wedi ymddangos yn y cnawd.—'Gogoniant yn y Goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, ac i ddynion ewyllys da.'

(*I'w pharhau.*)

---

BYW AR DDUW.—Na fydd fyw cymmaint ar ddyddanwch Duw ag ar Dduw y dyddanwch. Salm lxiii. 3.

MASON.

## ARFERION DYNION YN ESPONIAW YR YSGRYTHYRAU.

### RHIF. I.

MATTHEW vii. 26, 27.—*Adeiladu ar y tywod.*—Pysgodwyr Bengal a adeiladant eu bythod, ar amserau sychion, ar y gwelyau tywodlyd oddiar ba rai y dychwelasai yr afon i'w rhedle cyssefin. Pan y dechreua y gwlawogydd ddisgyn (yr hyn yn wir a wnant yn ddigon dirybydd) ac y dilynir hwynt gan wyntoedd chwyrn y gogledd orllewin, y dyfroedd a redant yn wyllt-ffrydiau llifogawl o'r mynyddoedd. Mewn un noswaith ysgubir llawer o'r bythod hyn ymaith, a'r lle y safent arno gynt ni adwaenir mwy. Dywed un ymdeithydd:—

"Digwyddodd i ni fod yn dystion o un o'r trallodion mwyaf a ddigwyddodd yn nghof neb yn nhir yr Aipht. Cyfodai y Nilus y tymhor hwn dair troedfedd a hanner yn uwch na'r nod a osodid ar godiad y llifogydd blaenorol, a chyda gwyllt-rediad anghyffredinol ysgubodd ymaith laweroedd o bentrefi a rhai cannoedd o'r trigolion. Ni welais un darlun o'r diluw a barai i neb ffurfio gwell a chywirach dychymmyg am y dinystr mawr hwnw na dyffryn y Nilus yn y dyddiau hyn. Yr Arabiaid a ddysgwylient ryferthwy anarferol y flwyddyn hon, a hyny o herwydd prinder dwfr y flwyddyn flaenorol; ond ni thybiasant y cyfodasai mor uched ag y darfu. Hwy a adeiladant yn gyffredin amddiffynfeydd o ddaear a chyrs o amgylch eu pentrefi, i gadw y dwfr draw oddiwrth eu tai, ond nerth y rhyferthwy a ddyrysodd eu holl gais. Eu tai a adeiledid o bridd, ni allent sefyll un tarawiad amrant o flaen y cenllif, a chyn gynted ag y cyrhaeddodd y dwfr hwynt gwnaeth hwy yn gydwastad â'r llawr. Ysgubai y ffrwd orwyllt y cyfan ag oedd o'i blaen, yn wyr, yn wragedd, ac yn blant, yn wartheg, ac yn ŷd, ac yn bob peth gwerthfawr: a gadawyd y lle y safai y pentrefi arno gynt heb gymmaint a murddyn i arwyddo fod tŷ erioed wedi sefyll ar y fan." "A'u cwymp hwy a fu fawr."

IOAN xiii. 10.—*Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed, &c.*—Ni ddeallais y geiriau hyn yn iawn o eiddo ein Hiachawdwr hyd oni welais y rhai anrhydeddusaf o frodorion yr India ddwyreiniol yn dychwelyd adref ar ol cyflawni eu hymolchiadau arferol. Gan y dychwelant yn ol i'w cartrefleoedd yn droednoeth, y mae, o angenrheidrwydd, beth llaid yn glynu wrth eu traed, pa mor agosed bynag y byddo eu tai i fin yr afon. Am hyny, y cyntaf peth a wnant pan ddychwelant fydd eistedd ar ystol isel, a thywallt dwfr o ysten fechan ar eu traed i'w llwyr lanhau oddiwrth yr hyn a ddichon fod wedi glynu wrth eu traed ar eu taith adref; ac os byddant o sefyllfa uchel y gweision a wna hyn iddynt, ac yna

byddant "yn lân oll." Onid yw hyn yn rhyw ddarluniad bychan o'r llygredd a ddichon lynu wrth y Cristion er iddo gael ei lanhau trwy ffydd yn y Gwaredwr croeshoeliedig, a'r angenrheidrwydd mawr sydd am gael cymmwysiad gwastadol o werthfawr waed y cymmod at y gydwybod fel ag y dyger yr enaid i fod "yn lân oll."—*Statham.*

Pregethwr xi. 1.—*Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd*, &c.—Rice sydd un o nwyddau marchnadyddol yr India, a phan y byddo yn tyfu y mae yn debyg ryfeddol i haidd ein broydd ni. Mae llawer math o'r grawn hwn yn cael ei drin, rhai yn fawr ac ereill yn eirwon. Y grawn bychan a ddefnyddir yn gyffredin ar fyrddau yr Ewropiaid, a'r garwaf gan wehilion y trefedigion. Y cnydau mwyaf ffrwythlawn o'r rhai hyn a heuir pan y byddo y meusydd wedi eu gorchuddio gan ddwfr, yr hyn a rydd, i'm tyb i, ryw ychydig o eglurhad ar yr adnod hon; canys pan dreia y dwfr gwelir yr eginyn yn dechreu cynnyddu mewn maint, ac yn fuan yn dyfod i aeddfedrwydd. Y ffordd fwyaf anffaeledig a manteisiol i gael cnwd toreithiog ydyw, ei hau yn dew ar ddernyn o dir wedi ei wrteithiaw yn dda, a phan dyfo y planhigion ychydig fodfeddi eu tynu hwy i fynu yn ofalus, a gwneuthur pelen fechan o bridd o amgylch pob gwreiddyn, a'u gosod yn y dwfr yn rheolaidd; a hyn a sicrha eu disgynfa i'r pridd, a'u twf hefyd yn ddilynol i hyny.—*Statham.*

TEGIDON.

---

## CYNGOR I WEINIDOG IEUANGC.

Mr. Brewer, hen weinidog parchedig, wrth gyfarch gweinidog ieuangc ar ei ordeiniad, a ddywedodd, 'Nid allaf ddybenu heb gyflwyno i'ch sylw y pethau canlynol:—

1. Pregethwch Grist wedi ei groeshoelio, yn nghyda'r bendithion a ddeuant trwy ei Iawn, ei gyfiawnder, a'i eiriolaeth.

2. Ymgedwch rhag dadleuon anfuddiol yn y pulpud, oddieithr pan fyddo angenrheidrwydd am danynt, neu pan fyddo eich dystawrwydd yn debyg o beri fod y gwirionedd yn dyoddef.

3. Pan esgynoch i'r pulpud, gadewch eich dysgeidiaeth o'r neilldu; ymdrechwch i lefaru mwy wrth galonau y bobl nac wrth eu penau.

4. Na chwennychwch araethyddiaeth yn ormod; ymdrechwch fwy am fod yn ddefnyddiol, nac am fod yn gymmeradwy.

J. F.

---

## CYFAMMOD Y BEDYDD.

Y Parch. Philip Henry a dynai Gyfammod y Bedydd i'r ffurf ganlynol, at wasanaeth ei blant:—

'Yr ydwyf yn cymmeryd Duw y Tad i fod fy nuioni penaf, a'm dyben uchaf,—yr wyf yn cymmeryd y Mab i fod fy Nhywysog a'm Gwaredwr—yr Yspryd Glân yn Ddysgawdwr—Sancteiddydd — Arweinydd a Dyddanydd—Gair Duw yn rheol fy holl ymddygiadau—ei bobl yn bobl i mi yn mhob amgylchiad. Yr ydwyf hefyd yn cyflwyno fy hunan oll yn hollol oll, a feddaf, ac oll a allaf, a hyny yn ddiball—ewyllysgar—ac am byth i fod yn eiddo Duw.' Adroddai ei blant y ffurf uchod bob Sabbath, a dywedai yntau 'Amen.' Pob tad a wnelo yn gyffelyb.

J. F.

---

## LLE I WEDDIO.

Mam plentyn chwe oed a aeth i chwilio am dŷ, a chymmerodd un nad oedd ynddo ond un ystafell. Ar eu ffordd adref, wylai y plentyn yn dost. Gofynodd ei fam iddo, 'Pa'm yr wylai?' Atebodd yntau, 'Am i chwi gymmeryd y tŷ yna.' 'Pa'm hwn,' meddai y fam, 'y mae yn llawn gwell tŷ na hwn sydd genym.' 'Ydyw,' ebe yntau, a'i ddagrau yn llif, 'ond nid oes yn hwn yr un *closet* i weddio.' Oh, na byddai pawb yn debyg iddo.

J. F.

---

## WHITFIELD A PHABYDDIAETH.

Can mlynedd i'r pummed o Fawrth, 1838, fel yr oedd y Parchedig George Whitfield ar ei daith yn dilyn siampl ei Arglwydd, drwy "fyned oddi amgylch i wneuthur daioni," efe a gyrhaeddodd i Gibraltar ar gwr tir yr Hispaen. Yn y boreu efe a bregethodd yn yr Eglwys Brotestanaidd i'r Saeson. Yn y prydnawn, efe a aeth i edrych addoliad y Pabyddion, a'r Sabbath oedd hi, a'r gwasanaeth a elwid Uchel Wasanaeth yr Offeren (*High Mass*) yn cael ei chyflawni. Wrth ddyfod oddi yno tu a'r llety efe a ddywedodd fel hyn wrth gyfaill ag oedd gydag ef, "Nid yw yn angenrheidiol wrth un rheswm arall yn erbyn Pabyddiaeth ond yn unig gweled coeg-wychder, coel-grefydd, ac eilun-addoliaeth eu haddoliadau.—*Autobiography*, Vol. VI. p. 60.

C.

---

## PLENTYN YN FODDION I ARGYHOEDDI EI DAD.

Mewn Cyfarfod Ysgolion yn Lloegr yn ddiweddar cyfodai dyn ar ei draed ac anerchai y gwyddfodolion fel hyn, "Yr wyf yn ddiolchgar i chwi ac i Dduw am yr Ysgol Sabbathol; fy mab, yr hwn sydd yma yn eistedd wrth fy ochr, yw fy nhad ysbrydol. Clywodd fi yn rhegi pan yn feddw a dywedai wrthyf 'O! fy nhad, yr oedd fy meistr yn dweyd wrthyf yn yr Ysgol Sul fod y Bibl yn dywedyd na chaiff na meddwon na thyngwyr byth fyned i'r nefoedd.' Effeithiodd y dywediad gymmaint ar fy meddwl fel y gellais, trwy ras Duw, fwrw yr arferion hyn heibio yn llwyr, ac yn awr yr ydym ill dau yn broffeswyr cyhoeddus o Iesu Grist:" ac wedi'n dywedai, 'Fy mab, O! fy mab, yw fy nhad ysbrydol!"

J.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR,—(Parhad o dal. 6.)

**YN CYNNWYS TAFLEN HANESYDDOL O FYWYD, MARWOLAETH, AC ADGYFODIAD EIN HARGLWYDD IESU GRIST, YN 337 O RANAU.**

*O ddechreuad yr hanesiaeth gan yr Efengylwyr hyd ddiwedd y flwyddyn gyntaf o Weinidogaeth gyhoeddus Iesu Grist.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 36. | Tystiolaeth yr Iesu am Nathanael | .... | .... | .... | i. 47, 51. | Ar y ffordd i Cana. |
| 37. | Troi y dwfr yn win | .... | .... | .... | ii. 1—11. | Yn Cana. |
| 38. | Myned i Capernaum | .... | .... | .... | ii. 12. | O Cana. |
| 39. | Yr Iesu yn myned i gadw y Pasc y tro cyntaf i Jerusalem yn ei weinidogaeth gyhoeddus | .... | .... | .... | ii. 13. | O Capernaum. |
| 40. | Yn glanhau y Deml | .... | .... | .... | ii. 13—22. | Yn Jerusalem. |
| 41. | Yn gwneuthur gwyrthiau | .... | .... | .... | ii. 23—25. | Etto. |
| 42. | Nicodemus yn dyfod ato | .... | .... | .... | iii. 1—21. | Etto. |
| 43. | Yr Iesu yn ymadael o Judea | .... | .... | .... | iii. 22—24. | I Bethel. |
| 44. | Trydedd dystiolaeth Ioan | .... | .... | .... | iii. 25—36. | Einon a Salim. |
| 45. | Yr Iesu yn myned o Bethel i Galilea | .... | .... | ... | iv. 1—3. | Ar y ffordd i Sicar. |
| 46. | Yn myned trwy Samaria | .... | .... | .... | iv. 4. 5. | Etto. |
| 47. | Gwraig wrth y ffynnon | .... | .... | .... | iv. 6—42. | Yn Sicar. |
| 48. | Ymadael i Galilea | .... | .... | .... | iv. 43—46. | I Cana. |
| 49. | Yn iachau mab pendefig | .... | .... | .... | iv. 47—54. | Yn Cana. |
| 50. | Yn dyfod i Nazareth | .... | .... | iv. 14—16. | .... | I Nazareth. |
| 51. | Bygwth ei ddyfetha ef | .... | .... | iv. 16—30. | .... | Yn Nazareth. |
| 52. | Penderfynu trigo yn Capernaum | iv. 12—17. | i. 14, 15. | iv. 31. | .... | Ar y ffordd o Nazareth i Capernaum. |
| 53. | Yn galw pedwar disgybl | iv. 18—22. | i. 16, 20. | .... | .... | Môr Galilea. |
| 54. | Pregethu y tro cyntaf yn y synagog | .... | i. 21—28. | iv 31—37. | .... | Capernaum. |
| 55. | Iachau mam gwraig Pedr | viii. 14, 15. | i. 29—31. | iv. 38, 39. | .... | Etto. |
| 56. | Iachau cleifion | viii. 16, 17. | i. 32—34. | iv. 40. 41. | .... | Etto. |
| 57. | Ei daith gyntaf trwy Galilea | iv. 23—25. | i. 35—39. | iv. 42—44. | .... | O Capernaum tu a'r gogledd. |
| 58. | Ei bregeth gyntaf | Pen. v, vi, vii | .... | .... | .... | Mynydd o du gogledd i Capernaum. |
| 59. | Dalfa fawr o bysgod | .... | .... | v. 1, 11. | .... | Llyn Genesaret. |
| 60. | Iachau un gwahanglwyfus | viii. 2—4. | i. 40—44. | v. 12—14. | .... | Gerllaw Corazin. |
| 61. | Yn ymneillduo i le anial | .... | i. 45. | v. 15, 16. | .... | O du y gogledd i Corazin. |
| 62. | Iachau y claf o'r parlys | ix. 2—8. | ii. 1—12. | v. 17—26. | .... | Capernaum. |
| 63. | Galw Lefi | ix. 9. | ii. 13, 14. | v. 27, 28. | .... | Wrth Lyn Genezareth, |
| 64. | Swpera gyda Lefi | .... | ii. 15—22. | v. 28—39. | .... | Yn Capernaum. |

Diwedd y Flwyddyn Gyntaf o Weinidogaeth Gyhoeddus yr Arglwydd Iesu.

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### II Epistol Ioan.

Yr etholedig arglwyddes, neu yn ol rhai, arglwyddes Electa, at yr hon yr anfonwyd yr epistol hwn, a ymddengys i fod yn henafwraig Gristionogol, anrhydeddus, tebygol yn weddw, yr hon ydoedd yn adnabyddus i'r Eglwysi, ond pa le yr ydoedd yn preswylio, nid oes genym wybodaeth sicr. Er nad yw yr epistol hwn yn dwyn enw ei awdwr, mae yn amlwg iddo gael ei ysgrifenu gan yr apostol Ioan, ac oddeutu A.D. 69, i'r dyben o gysuro yr arglwyddes hon a'i theulu, ac i'w sefydlu hwy yn ngwir athrawiaeth Crist. Mae yn rhanedig i dair-ar-ddeg o adnodau, yn cynnwys pum Dosparthiad.

Dosparthiad I.—Sydd yn cyfarch yr arglwyddes a'i phlant, gydag anerchiad apostolaidd yn canmol eu cariad yn y gwirionedd, adn. 1—3.

Dos. II.—Sydd yn llawen gyfarch y teulu ar eu dianwadalwch yn y gwirionedd, ac yn eu hannog i barhad mewn ffydd a chariad, adn. 4—6.

Dos. III.—Sydd yn mynegi cyfodiad llawer o anghristiau, ac am hyny, diwydrwydd gwyliadwrus, ac ymlyniad wrth athrawiaeth Crist oeddynt anhepgorol i'r derbyniad o lawn wobr, adn. 7—9.

Dos. IV.—Sydd yn cyngori i beidio dal cymdeithas gyda'r rhai a ledaenent gau-athrawiaethau, adn. 10, 11.

Dos. V.—Sydd yn diweddu yr epistol, adn. 12, 13. Yn anwybodus, fel ag ydym, o breswylfa a hanes yr arglwyddes glodwiw hon, ni's gallwn ond llawenhau fod ei phlant wedi derbyn yr unrhyw werthfawr ffydd â'u mam trwy gyfiawnder ein Duw, a'n Hiachawdwr Iesu Grist; a thrwy eu rhodiad yn y gwirionedd eu bod yn profi diffuantrwydd eu crefydd bersonol, tra yr oeddynt yn llawenhau enaid caruaidd yr apostol Ioan. Y darlun hawddgar o grefydd deuluaidd a dynir yn yr epistol byr hwn, a rydd galonogiad mawr i famau Cristionogol yn ceisio iachawdwriaeth eu plant; ac ni's dichon fethu bod yn dra addysgiadol i'r rhai ieuaingc, gan eu denu i dderbyn gwirionedd Crist, yn y cariad o hono, ac i ddilyn esiampl eu rhieni duwiol.

### III Epistol Ioan.

Gaius, o Macedonia, a grybwyllir, Act. 19. 29. Gaius, o Derbe, Act. 20. 4. a Gaius, o Corinth, Rhuf. 16. 23. 1 Cor. 1. 14. Yr olaf o'r rhai hyn ydoedd y person rhagorol at yr hwn, mewn cyflwr adfeiliedig o iechyd, y tybir i'r epistol hwn gael ei gyfeirio. Mae yn ymddangos ei fod yn aelod cyfoethog o'r Eglwys yn Corinth, a chyfaill gwerthfawr i'r cenhadaethau Cristionogol, trwy y gynnaliaeth haelionus ydoedd yn ei gweinyddu i weinidogion llafurus yr efengyl, adn. 6—8.

Amcan yr epistol hwn at Gaius, oedd i'w galonogi, gan ganmol dianwadalwch ei ffydd a'i groesawiad caredig, yn enwedigol i genhadon Crist; i roddi gochelliad iddo rhag afreolaeth uchelfrydig un Diotrephes; i ganmol Demetrius i'w gyfeillgarwch, ac i grybwyll ymweliad bwriedig yr apostol.

Yr epistol hwn a ysgrifenwyd oddeutu yr un amser â'r ail: mae yn rhanedig i bymtheg o adnodau, yn cynnwys pum Dosparthiad.

Dosparthiad I.—Sydd yn mynegi serch at Gaius yn rhwymau yr efengyl, ac yn dymuno iechyd yn gyfartal i lwyddiant ei enaid, adn. 1, 2.

Dos. II.—Sydd yn ei lawen gyfarch ar y dystiolaeth a ddygid gan y brodyr am ei ddianwadalwch yn y ffydd, adn. 3. 4.

Dos. III.—Sydd yn canmol ei letygarwch haelionnus i'r cenhadon, yr hyn ydoedd mor angenrheidiol i'r dynion hunanymwadol hyny, y rhai a gyssegrent eu holl alluoedd i weinidogaeth yr efengyl yn mhlith y cenedloedd, adn. 5—8.

Dos. IV.—Sydd yn achwyn oblegid Diotrephes, gormes uchelfrydig yr hwn ydoedd yn anrheithio yr Eglwys, ac yn rhoddi gochelliad rhag y cyfryw ddrwg esiampl, adn. 9—11.

Dos. V.—Sydd yn canmol Demetrius yn addaw ymweliad, ac yn diweddu gydag anerchiadau, adn. 12—15.

---

## DUWDOD CRIST.

Y mae y pwngc hwn yn teilyngu ein hystyriaeth benaf a'n sylw manylaf; yn gymmaint a bod ein crediniaeth ynddo yn anhepgorol angenrheidiol er iachawdwriaeth. Gan fod yr holl Ysgrythyr wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw, ac yn fuddiol i athrawiaethu; dilys yw, mai nid anfuddiol a fyddai chwilio yr Ysgrythyrau, fel y caffom wybod meddwl yr Arglwydd ar y mater, gobeithio na wna fy nhrwsglni i ei dywyllu.

Nid yw bod yr athrawiaeth fod Crist yn Dduw yn anamgyffredadwy i ni yn un rheswm yn erbyn y pwngc, ond yn hytrach yn tueddu i gadarnhau fy meddwl i yn y rhan hon o'r athrawiaeth. Yn gymmaint ag nas gellir dysgwyl y gall creadur meidrol gynnwys dirnadaeth am anfeidroldeb. Pa beth am Dduw, a allwn ni ei ddirnad? A allwn ni amgyffred pa fodd y mae Duw yn ddiddechreu, neu yn Hollbresennol? Onid oes dirgeledigaethau mewn llawer o bethau daearol, creedig? Pa ryfedd, gan hyny, fod gwirioneddau am y Creawdwr mawr yn rhy ryfedd i ni? Fod pethau nefol, ysprydol, yn anamgyffredadwy? Fod dirgelwch mawr mewn

duwioldeb? Ni saif yr wrthddadl 'na ellir uno dwy natur, hollol wahanol, megis Duwdod a dyndod.' Onid oes gwahaniaeth hollol rhwng enaid a chorph yn eu natur? ac etto, y mae undeb rhyngddynt. Ond pe na bai genym un gydmariaeth, 'Na osodwn derfyn ar Sanct yr Israel;' 'y peth sydd anmhosibl gyda dynion, sydd bosibl gyda Duw;' na'r wrthddadl, 'mai anmhosibl bod prynedigaeth ddirprwyol,' *(vicarious redemption)* o herwydd *na's gallai y Duwdod ddyoddef;* a chan hyny, na allai fod anfeidrol rinwedd yn aberth Crist, er ei *fod* yn Dduw-ddyn.' I hyn atebwn, fod y fath undeb agos rhwng y Ddwyfol natur a'r ddynol, yn y Cyfryngwr, nad yw yr Yspryd Glân yn gweled yn anmhriodol alw *ei* waed yn waed Duw: gwel Act. 20. 28. 'Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd *â'i briod waed.*'

Y mae enwau Dwyfol yn cael eu priodoli i'r Messiah. Y mae Esaiah yn prophwydo am dano fel y canlyn: 'Canys bachgen a aned i ni, Mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef; a gelwir ei enw ef, Rhyfeddol, Cynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangnefedd.' Esa. 9. 6. Gelwir Crist yn 'Fab y Goruchaf,' Luc 1. 32. ac yn 'Fab Duw,' Luc 1. 35. Mat. 8. 29. a 14. 33. a 16. 16, &c. Yr oedd yr Iuddewon yn ceisio ei ladd am iddo ddywedyd mai Mab Duw ydoedd; 'O herwydd,' meddent hwy, 'ei fod trwy hyny yn ei wneuthur ei hun yn *gystal* a Duw;' (*'equal with God;'* 'yn gydradd â Duw,' yn ol y Saesoneg). Er hyn, nid yw un amser yn dywedyd wrthynt fod y dyb hono yn anghywir; yr hyn, pe buasai anghywir, a fuasai yn bechod, o herwydd y mae peidio dywedyd y gwir, pan y mae hyny yn angenrheidiol i roi golygiad priodol ar unrhyw beth yn meddwl arall, yn dywedyd celwydd. Ond cabledd a fyddai meddwl hyny am Grist, oblegid y Cyfiawn o'i enedigaeth ydoedd ef, 'yr hwn ni wnaeth gam, ac ni chaed twyll yn ei enau.'

Cawn hanes yn y bedwerydd bennod o Efengyl Matthew, fod Crist yn cael ei arwain i'r anialwch i'w demtio gan ddiafol; a bod y temtiwr yn ceisio ganddo ei fwrw ei hun o ben pinacl y deml, a bod Crist yn dywedyd wrtho, 'Na themtia yr Arglwydd dy Dduw.' Oni bai fod Crist yn Dduw, anmhriodol a fuasai y cerydd. 'Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair.' Ioan 1. 1. Y mae yn eglur oddiwrth y 14 adnod, mai at y Cyfryngwr y mae y cyfeiriad. 'A'r Gair *a wnaethpwyd yn gnawd,* ac a drigodd yn ein plith ni.' Cawn hanes yn Ioan 16. 15. fod Crist yn dywedyd, 'Pob peth sydd eiddo y Tad, sydd eiddo fi.' Rhuf. 9. 5. Gelwir Crist hefyd, 'Yr hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd.' Act. 20. 28. 'I fugeilio Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd *efe a'i briod waed.*' Y mae yn Heb. 1. yn cael ei alw 'yn wir lun ei berson ef,' sef Duw Dad, yr hyn sydd yn ddiammeu yn arwyddo, bod yn gydradd: yn ol y Saesoneg, '*the express image of his person.*' Dywedir hefyd ei fod 'yn cynnal pob peth trwy air ei nerth.' Yn yr un bennod dywedir fod y Tad yn dywedyd 'wrth y Mab, Dy orseddfainge di, O Dduw, sydd yn oesoedd.' Medd Paul yn ei epistol cyntaf at Tim. 3. 16. 'Mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y *cnawd.*' Yn 1 Ioan 5. 10. y mae yr apostol yn dywedyd am Grist, 'Hwn yw y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol.' Y mae yr Iesu hefyd yn gorchymyn bedyddio yn enw 'y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân.'

Fe briodolir Addoliad Dwyfol iddo, 'Pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd, y mae y Tad yn dywedyd, Ac addoled holl angylion Duw *ef.*' Yr un ag a ddywedodd 'A'm gogoniant ni roddaf i arall,' a ddywed y gorchymyn hwn, 'Gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chysgod troedigaeth.' Cawn hanes yn Mat. 28. 9. fod 'Mair Magdalen, a'r Fair arall,' yn addoli y gostyngedig Iesu; ond nid oes hanes ei fod yn eu ceryddu am hyny. Yn y datguddiad a gafodd Ioan, gwelai *angel,* ac fe syrthiodd Ioan ar lawr i'w addoli, ond yn union fe geryddodd yr *angel ef,* gan ddywedyd, 'Addola Dduw'—'cydwas ydwyf â thi,' &c. Dat. 19. 10. a 22. 9. Fe addolodd yr apostolion yr Iesu. 24. 52. Gwelwch ond cyfeirio at Mat. 8. 2. a 9. 18. Marc 5. 6. Ioan 9. 38. bod ereill hefyd wedi ei addoli ef; ond ni chawn hanes iddo unwaith geryddu y rhai a'i haddolent ef, ond *ni a gawn hanes fod Pedr* pan oedd Cornelius yn cynnyg addoliad iddo *ef,* yn ei gyfodi, gan ddywedyd, 'Cyfod, dyn wyf finnau hefyd.' Gan hyny, onid oedd Crist yn Dduw, rhaid bod Pedr yn ddyn gostyngeiddiach, a mwy zelog dros ogoniant Duw nag ef.

Y mae Priodoliaethau Dwyfol yn cael eu priodoli iddo, megis tragywyddoldeb diddechreu. 'Er tragywyddoldeb y'm heneiniwyd.' Diar. 8. 22—31. Gwel hefyd Col. 1. 17. Esa. 9. 6. Ioan 17. 5. Anghyfnewidoldeb 'Iesu Grist, ddoe ac heddyw yr un, ac yn dragywydd.' Heb. 13. 8. Hollbresennoldeb, 'Wele yr *ydwyf fi* gyda chwi bob amser, hyd ddiwedd y byd.' Hunanymddibyniad, 'Am fy mod *yn dodi* fy einioes i lawr, fel y *cymmerwyf* hi drachefn.' Ioan 10. 17. a 19. 11. Hollwybodaeth 'Yr oedd yn gwybod beth oedd mewn dyn.' Ioan 2. 25. Mat. 12. 25. Rhaid iddo fod yn hollwybodol i allu barnu meddyliau a bwriadau y galon yn y farn. Hefyd fe briodolir gweithredoedd iddo ef, nad cymmwys eu priodoli i ddyn yn unig. Creu, 'A'r byd a wnaethpwyd ganddo ef, (yn ol y Saesoneg) 'trwyddo ef.' Ioan 1. 10 a 1. 13. Col. 1. 16. Duw yw, 'Yr hwn a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain, ei bobl

ef ydym, a defaid ei borfa.' Rhaid wrth hyn, bod Crist yn Dduw. 'Os trwyddo ef y crewyd *pob* peth, rhaid ei fod yn ddigreedig ei hun, oblegid os creedig yw ef, ni's gellir dywedyd i *bob* peth gael eu creu trwyddo ef: creuwyd ef ei hun, y penaf, gan, neu, drwy, ryw un arall!'—J. HUGHES, *Llundain*. Yr oedd ef yn adgyfodi y meirw, nid trwy ddoniau gwyrthiol, ond 'megis y mae y Tad yn cyfodi y meirw, ac yn eu bywhau, felly hefyd y mae y Mab yn bywhau y rhai a fyno.' Ioan 5. 21. Pa fodd y mae y Tad yn bywhau y meirw? Onid o'i ewyllys annibynol ei hun? 'Felly hefyd y mae y Mab.' Ai o'i hollalluogrwydd ei hun, ac nid rhyw nerth yn darddedig (*derived*)? Felly hefyd y mae y Mab, ac o'i ras penarglwyddiaethol ei hun hefyd: 'Efe yw yr adgyfodiad a'r bywyd. Barnu y byd yn y dydd olaf. 'Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynag a fyddo ai da ai drwg.' Preg. 12. 14. Medd Crist, Ioan 5. 22. 'Canys y *Tad nid* yw yn barnu neb, eithr efe a roddes bob barn i'r *Mab*.' Gan hyny, y mae y Mab yn Dduw. Yn enw Crist yr ydoedd y dysgyblion yn gwneuthur gwyrthiau, ond nid ydoedd ef yn defnyddio un enw arall, ond yr ydoedd yn gwneuthur y gwyrthiau oll fel un âg awdurdod ar y gwyntoedd a'r môr, y cythreuliaid, a phob afiechyd yn weision iddo. Yr oedd yn dywedyd wrth hwn, 'Tyred, ac efe a ddeuai, ac wrth y llall, gwna, ac efe a'i gwnai.'

Y mae yn bur eglur i ni fod Duw wedi myned i gyfammod âg Adda, fel cynnrychiolydd dynolryw, ammod pa un ydoedd 'peidio a bwyta o ffrwyth y pren gwybodaeth da a drwg:' a'r canlyniad o fwyta, medd Duw wrtho, oedd 'Yn y dydd y bwytai, gan farw y byddi farw.' Ond yn ei falchder, anghredu Duw a ddarfu y dyn, fe ddygodd y farn ar ei holl hiliogaeth. 'A'r rhai hyn, fel dynion, a dorasant y Cyfammod,' medd Duw trwy Hosea.' 'Megis y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol.' 1 Cor. 15. 47—49. 'Megis trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymmaint a phechu o bawb.' 'Trwy gamwedd un (sef Adda) y daeth barn ar bob dyn i gondemniad.' 'Trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid.' '*Pawb* a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw.' Rhuf. 5. Gan fod *pawb* wedi pechu, a phawb yn ol am ogoniant Duw; pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw? pa fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn lân? Y mae y Duw y pechwyd yn ei erbyn yn Dduw cyfiawn, 'Yn lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg.' Ac y mae y gosp am bechod, yn dragywyddol mewn parhad. Judas 7. Job 27. 8. Dan. 12. 2. Luc 16. 23, a 26. Mat. 25. 46. 2 Thes. 1. 9. Gan fod Duw cyfiawn, yn gysson â'i natur yn gweinyddu tragywyddol gosp ar ddynion ac angylion am bechodau pob un yn bersonol; a chan nad oes modd cael bywyd trwy weithredoedd y ddeddf, 'Yn gwybod,' medd Paul yn ei epistol at y Galatiaid, yr 2 a'r 16 adnodau, 'nad ydys yn cyfiawnhau dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist; ninnau hefyd a gredasom yn Nghrist Iesu, fel y'n cyfiawnheir trwy ffydd Crist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf; oblegid ni chyfiawnheir un enaid trwy weithredoedd y ddeddf.' Gwel hefyd Eph. 2. 9. 2 Tim. 1. 9. Titus 3. 5. Ac ni all trugaredd Duw weithredu â'r gyfraith heb ei boddloni. 'Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.' Heb. 9. 22.

Pa fodd y mae yn bosibl cyssoni hyn hob athrawiaeth y prynedigaeth trwy Grist? A chan fod Crist wedi marw yn lle ei Eglwys, a'i Eglwys yn cynnwys 'tyrfa na ellir ei rhifo o *bob* llwyth, o *bob* iaith, ac o *bob* cenedl;' y mae yn rhaid fod y Prynwr yn Dduw, yn gymmaint ag mai 'ein hanwiredd ni i gyd a roddes yr Arglwydd arno ef.' Esa. 53. 6. Ond nid rhyw '*doctrine of inference*' yw athrawiaeth y prynedigaeth. Heb. 10. 5. Eph. 5. 2. a 5. 25. Esa. 53. 10. Ioan 15. Act. 20. 28. 1 Pedr 3. 18. Eglur yw oddiwrth hyn ei fod yn Dduw, gan hyny, gwyliwn ei anmharchu trwy gadw oddiwrtho yr anrhydedd teilwng i fawredd ei Berson; a rhyfeddwn y cariad a achosodd y fath ymddarostyngiad ar ei ran ef yn cymmeryd plaid y fath greaduriaid truenus a ni; gwyliwn hefyd ei wrthod ef, 'yr hwn a osododd Duw yn Iawn,' 'nid oes enw arall dan y nef wedi ei roddi yn mhlith dynion, drwy yr hwn y mae y nrhaid i ni fod yn gadwedig;' gan gofio y byddwn yn cael ein barnu ganddo yn y dydd diweddaf, ac y bydd cywilydd ganddo ef *rhyw rai* y dydd hwnw, rhag mae ni a fydd yn mysg y teulu annedwydd hyny. R. B.

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

Parhad o tu dal. 7.

### V. Y BRODYR BOHEMAIDD.

YR ydoedd Wickliff hefyd, yr hwn a anwyd yn Lloegr, yn y flwyddyn 1324, yn ddyn duwiol a dysgedig iawn; a chyda dewrdra rhyfeddol y gwrthwynebodd efe y mynachod a aent oddi amgylch i gardota, uchel honiadau y Pab, a holl gyfeiliornadau ffiaidd Eglwys Rhufain. Cyfieithodd yr Ysgrythyrau i'r Iaith Saesoneg, ac a annogodd yn daer ar iddynt gael rhediad cyffredinol, gan ddadleu yn gadarn mai Gair Duw oedd unig brawfreol athrawiaeth a buchedd.

Er cymmaint a wrthwynebid arno gan yr offeiriaid, bu yn foddion i wneuthur llawer iawn o ddaioni, gartref ac oddi cartref, trwy fod bendith Dwyfol wedi dilyn ei ysgrifeniadau, ei ddarlithoedd, ei ddadl.

euon, ei bregethau, a'i fywyd sanctaidd. Efe a fu farw mewn heddwch yn y flwyddyn 1384; ond yn mhen yr wyth mlynedd ar hugain wedi ei farwolaeth, condemniwyd ef yn heretic, a thrwy orchymyn pendant oddiwrth y Pab, codwyd ei esgyrn ef o'r wlad ddystaw lonydd hono, sef y bedd, a llosgwyd hwy yn lludw.

Er ei farw ef, ac er i'r Pabyddion yn eu cynddaredd roi esgyrn y sanct i angerdd y tân, yr oedd y gwirioneddau a addysgodd yn fyw o hyd, yn y rhai a chwennychent ddilyn ei ol ef, ac o herwydd hyny a elwid yn Wickliffiaid neu Lolardiaid,—ac yr oedd hefyd fel tân y goddaith ar y mynydd, ag awel erledigaeth, yn lle ei ddiffodd yn peri iddo enyn yn fwy.

Lledaenwyd ysgrifeniadau Wickliff yn eang iawn yn Bohemia, a gwnaed hwy yn fendithiol hefyd yno; o herwydd yr oedd rhyw yspryd parod iawn i dderbyn y gwirionedd yn ddilwgr yn y wlad hono o hyd. Oddiwrth yr ysgrifeniadau hyn y derbyniodd Huss yn neillduol gefnogrwydd a chadernid; ac amddiffynodd hwynt yn zelog yn erbyn Ibeneck, archesgob Prague, yr hwn a orchymynodd iddynt gael eu llosgi. Yr oedd yr archesgob hwn mor anwybodus fel nas gallai ddarllen gair pan y pennodwyd ef gyntaf i'w swydd; oddiwrth yr hyn y mae yn hawdd i ni benderfynu mai er mwyn ymlusgo i gymmeriad y Pab y condemniodd efe ysgrifeniadau o ba rai yr oedd yn rhaid ei fod yn gwbl anadnabyddus.

Nid oedd Ibineck ychwaith yn anwyl nac yn barchus gan y bobl; o'r hyn y cawn brawf amlwg o'r pennill bychan canlynol, yr hwn a arferid fel diareb gyffredinol yn iaith Bohemia, ac o ba un y rhoddwn ryw efelychiad rhydd yn iaith ein darllenwyr,—

Ibineck farna hereticiaid
 I ddu boenau uffern lawn,
Er nas medr ef er hyny,
 Byth sillebu'u henwau'n iawn;
Ac fe orch'myna luchio'u llyfrau
 I gael eu llosgi yn y tân,
O ba rai nis medr ddarllen
 Un llythyren fawr na mân.

Trwy ei wrthwynebiad i'r archesgob, a thrwy ei gerydd llym i'r offeiriaid, a'i feio gorfawr ar y llygriad Eglwysig, achosodd Huss i rai o'r personau mwyaf mewn gallu ac awdurdod fod yn elynion ffyrnig iddo. Ysgymunwyd ef gan y Pab, a phob man y preswyliai ynddo a roddwyd dan felldith a gwaharddiad Pabawl.

Er hyn oll aeth Huss mor ddewr a gwadu awdurdod honiadawl y Pab i felldithio gweinidogion yr Arglwydd Iesu Grist, ac wedi ymadael o Prague, efe a aeth ac a bregethodd mewn trefydd a phentrefydd, coedydd a chaeau, a'i lafur a fu yn llwyddiannus iawn.

Yn y cyfamser yr oedd Cynghor Cyffredinol wedi dechreu eistedd yn Constance, er diwygio yr Eglwys, meddynt hwy, ag oedd wedi cael ei gorlenwi â llygredd o bob natur, ac i sychu ymaith y gwarthruddiad ag oedd mor gyfiawn yn cael ei daflu ar gyssegr-lywodraeth eglwys Rhufain. Ond yr oedd yr eglwys ei hunan wedi myned fel corph clwyfus, i ba un yr oedd ymadrodd y prophwyd Esay (Pen. 1. 5, 6.) yn briodol iawn, 'Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg; o wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo; ond archollion, a chleisiau, a gweliau crawnllyd, ni wasgwyd hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd âg olew.'

Am lawer o flynyddoedd meithion rhwygwyd hi gan ymryson aml rhwng y Pabau a'r Gwrth-babau, ac un o'u nifer, y Pab Ioan xxiii, oedd ddyn o'r nodweddiad mwyaf atgas a ffiaidd, er hyny, llwyddwyd i gael ganddo alw y Cyngor hwn yn Constance yn y flwyddyn 1415, yn mha un yr oedd yn bresennol 34 o gardinaliaid, 20 o archesgobion, 160 o esgobion, 250 o abadau, 4 o dywysogion etholyddawl, 20 o ddugiaid, 80 o ieirll neu *Counts*, a mwy na 700 o farchogion, a boneddigion urddasol ereill. Efe a gydsyniodd, er yn anfoddlawn iawn, i fod yno ei hunan, er bod ganddo le cyfiawn i ofni na byddai iddo ei adael yn yr un sefyllfa ag y byddai yn myned i mewn iddo. Wrth groesi mynyddoedd y Tyrolese, ar ei ffordd yno, trodd ei gerbyd; ac yna y gwr hwn a alwai ei hun yn Vicar Crist ar y ddaear, a glywid yn dywedyd, 'Dyma lle y gorweddaf yn enw y cythraul; pa'm nad arosais yn Bologna!' A phan y daeth i olwg Constance efe a ddywedodd, 'Wele y *trap* i ddala llwynogod.' Yn mhen enyd wedi hyny cyhuddwyd ef o flaen y cyngor o res hir o'r troseddau aflanaf; ac o'r diwedd llwyddwyd gydag ef i roddi i fynu yr urdd Babawl.

Yr Ymerawdwr a'r Cyngor wedi eu llenwi â llawenydd mawr am hyn a ddechreuasant ganu, 'Ti Dduw a folwn,' neu y '*Te Deum*.' Ond nid oedd gan y Pab un meddwl am gadw ei gytundeb, ac er bod golwg graff arno, efe a lwyddodd i ddianc i Schaffhausen, mewn diwyg certwynwr. O Schaffhausen efe a ddiangodd yn gyntaf i Laffenburg, ac yna i Freiburg yn Breisgau, lle y lluddiwyd ef i fyned yn mlaen, a dygwyd ef yn ol i Constance, a charcharwyd ef yn Nghastell Gottleben, yr unig le y carcharodd efe yn fradwraidd y duwiol John Huss, yr hwn oedd y pryd hyn yn garcharor; ac yma y gwelid un cyflawniad llythyrenol o Dat. 13. 10. 'Os yw neb yn tywys i gaethiwed, efe a â i gaethiwed' ei hunan.

(*I'w barhau.*)

---

## MYFYRDOD AR Y CYNHAUAF DIWEDDAF.

Wrth fyfyrio mor fawr yw trugareddau yr Arglwydd tuag atom, gallwn ddywedyd gyda'r Salmydd, 'Llygaid pob peth a ddys-

gwyliant wrthynt, gan agoryd dy law a digwallu pob peth byw â'th ewyllys da.' Y neb sydd yn hoffi myfyrio ar weithredoedd yr Arglwydd, pa un bynag ai gweithredoedd y greadigaeth, rhagluniaeth, neu waith y prynedigaeth, y maent yn ymddangos yn fawrion a rhyfedd; a'u myfyrdod sydd yn enyn eu calonau i'w foliannu ef am danynt. Er nad oedd y Cynhauaf diweddaf mor ffrwythlawn a thoreithiog a'r blynyddoedd a aeth heibio, na'r hin mor dymmoraidd i'w gasglu; etto, rhoes yr Arglwydd brofiad o'i ffyddlondeb a'i ofal tirion trosom trwy 'roddi a chadw er ein lles amserol ffrwythau y ddaear, fel y caffom ninnau mewn amser dyledus eu mwynhau.' 'Yn ei lid fe gofiodd am drugaredd.' Bydded i ninnau dderbyn y rhodd gyda theimladau bywiog o ddiolchgarwch.

Dylem gofio, mai rhoddion Duw ydyw ffrwythau y tir. Nid oes gan y goreu o honom un hawl ynom ein hunain i'r bara yr ydym yn ei fwyta; canys pa deilyngdod sydd mewn plant digofaint? Ni fedrwn beri i un gronyn o ŷd dyfu, na'r haul dywynu arno i'w ffrwytho a'i aeddfedu; yr ydym yn hollol ymddibynol ar ddaioni Duw, ac nid oes ynom haeddiant i ddysgwyl parhad o hono. Yr un gallu, a'r un daioni dwyfol ag a roes i ni fywyd ar y cyntaf, raid roddi ymborth er cynnaliaeth y bywyd hwnw. Pob anadliad yr ydym yn ei dynu i'r genau sydd drugaredd heb ei haeddu. Yr ydym oll megis tlodion anniolchgar, yn byw bob dydd ar elusen y nef. Nid yw yr Arglwydd dan un rhwymedigaeth i roddi i ni fwyd, mwy nag oedd ar y cyntaf i roddi i ni fywyd.

Tueddol ydym i anghofio bendithion cyffredinol, megis iechyd, synwyrau, aelodau dianaf, ac ymborth iachus. Cael helaethrwydd o gnwd o'n meusydd, a hin i'w gasglu, sydd yn cael eu hystyried megis rhyw beth a ddylid ei gael. Yr ydym yn eu galw yn eiddo ein hunain, ac yn anghofio y llaw sydd yn eu hestyn atom; yn lle bod yn ddiolchgar, yn anfoddlon a grwgnachllyd. Coronodd y flwyddyn unwaith etto â'i ddaioni. Bydded i ni dderbyn a mwynhau bendithion ei ragluniaeth gyda diolchgarwch calon, a'u harferyd i'w ogoniant, a dangos hyny, nid â'n gwefusau yn unig, eithr â'n bucheddau.

Pechod sydd yn attal ffrydiau trugaredd, ac yn cymmeryd oddiwrthym y bendithion a fyddem arfer eu cael. Cymmerodd yr Arglwydd lawer o'n cysuron oddiarnom i ddwyn ar gof ein hanniolchgarwch gynt, fel yr ystyriwn eu gwerth yn y golled o honynt. Pan oedd yr Arglwydd yn rhoddi i ni ffrwythau toreithiog, a thymmorau prydlawn, nid oeddym yn 'parchu yr Arglwydd a'i ddaioni.' Yn lle parchu rhoddion Duw, yr oeddym yn eu diystyru. Gall yr Arglwydd beri i'r un peth fod yn fendith neu yn farn, yn ol y drefn a'r amser y bydd yn ei roddi. Pa offerynau bynag a arferir i'n ceryddu, gochelwn gweryla â hwynt, a 'rhoddi dim yn ynfyd yn erbyn Duw;' cwerylu yn hytrach â'n pechodau. Edryched pob dyn ar ei bechod ei hun, fel yr achos dechreuol o bob trallod.

Mae Cynhauaf mawr yn dyfod, mae gorsedd barn, o flaen yr hon y bydd raid i bob gradd ymddangos 'fel y derbynio pob un o honom y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynag ai da ai drwg.' Ac ni dderbynir dagrau yn lle gwir edifeirwch, na ffurf duwioldeb yn lle ei grym; ni chymmeradwyir yno ddim ond y ffydd hono sydd yn gorchfygu y byd, y gobaith hwnw sydd yn puro ei pherchenog, megis mae Duw yn bur, a'r cariad hwnw sydd yn ein cymmell i fyw, 'nid i ni ein hunain, ond iddo ef a fu farw drosom.

Lluosog, a rhyfedd yn ddiau
  Yw'r gwaredigaethau yn glir,
Yr Arglwydd, o'i ryfedd ddaioni
  Ymwelodd â nyni cyn hir;
Attaliodd gostrelau'r ffurfafen
  Rhag gwlychu'n ddihamdden o hyd,
Yn rhyfedd i'r annedd er ennill,
  Fe gafwyd y gweddill i gyd.

T. Jones.

---

## CANU MAWL.

Dysgu canu a ymddengys yn ddyledswydd ar bawb a arferant Ganu Mawl yn yr addoliad cyhoeddus. Fel y mae ei dymmor i bob peth yn naturiol, felly y mae ei dymmor i hyn hefyd, sef amser yr Ysgol Ganu, ac nid mewn un addoliad arall. Gellir meddwl, wrth ymddygiadau llawer, eu bod wedi ffurfio rhyw farn wahanol, gan nad ymddangosant un amser yn yr Ysgol Ganu, ond byddant yn mhob addoliad arall yn canu, neu yn dysgu canu. Yn awr, gadewch i ni gymmeryd y rhai hyn yn esiampl, fel y canlynem eu hol hwynt; gyda golwg i wneyd hyn, rhaid i ni oll fod yn ddystaw wedi y rhoddo y llefarwr yr emyn allan, tra byddo yr athraw neu yr athrawon yn gosod y cynllun; wedi y deallom y cynllun, rhaid i ni ymosod ar y gorchwyl o ddysgu canu ar gyhoedd y gynnulleidfa fawr; fel hyn y mae y rhai sydd yn esgeuluso yr Ysgol Ganu yn gwneyd, ac fel hyn y rhaid i ninnau wneyd os canlynwn hwynt.

Bachgen cellweirus, ond nid celwyddog, yn ddiweddar, a ddarluniai y Cantorion fel hyn :—'Ar ddechreu y cwrdd,' meddai, 'canwyd yr *Hen Ganfed;* yr oedd yr holl gynnulleidfa yn seinio cân a moliant. Tua chanol y cwrdd, rhoddwyd pennill arall o'r un mesur, a'r swyddog a darawodd y *Morning Hymn;* tybiais yn awr y gwnai y gynnulleidfa brydferth fawl yr Arglwydd yn ogoneddus, ond siomwyd fi yn aruthr; dim ond ychydig ieuengctyd ar ganol y capel, a thri neu bedwar yn eu hymyl yn swnio *bâs;* yr oeddynt yn canu yn gerddgar, yn son-

iarus, ac yn dra chelfydd. Wedi edrych o amgylch gan sỳn ryfeddu beth a ddaethai o'r dorf a ganent mor galonog er's ychydig fynydau yn ol; gwelwn rai o honynt yn plygu eu penau, megis wedi cywilyddio; ereill yn edrych o amgylch, gan ymagweddu yn ddifater; ereill a wrandawent yn astud. Yna rhuthrodd i fy meddwl am ryw gwestiynau yn nghylch yr achos o'r cyfnewidiad rhyfedd a disymwth hwn; a gawsant hwy ryw siomedigaeth yn ngwrthddrych eu mawl? Ai fel hyn y maent yn dangos eu hanfoddlonywydd iddo ef? neu a gawsant hwy ryw siomedigaeth ynddynt eu hunain? A ydynt yn ystyried eu hunain yn fwy aonheilwng yn awr, nac er's ychydig fynydau yn ol? neu, a oes rhyw beth yn yr emyn yn annheilwng? Ond deallais na wyddent y dôn, a bod raid iddynt ei dysgu; yna meddyliais eu bod hwy yn barnu mae yn amser canu mawl yn yr addoliad cyhoeddus y dylid dysgu y dôn, ac nid yn yr Ysgol Ganu: wrth hyn daeth i'm cof eiriau y prophwyd, 'A yspeilia dyn Dduw, etto, chwi a'm hyspeiliasoch i,' o'i fawl ar gyhoedd y gynnulleidfa. Gadawaf i'r darllenydd dynu y casgliad. Felly y maent, fel y dywed y ddiareb, 'yn sefyll yn eu goleu eu hunain,' yn ymddifadu eu hunain o'r fraint a allent ei chael, ac a ddylai fod ganddynt, sef medr i ganu mawl, ac y maent yn gollwng y gwaith a ddylent gyflawni eu hunain, i syrthio ger gwydd eu llygaid i ddwylaw plant, ac ereill a ymaflo ynddo, pwy bynag fyddont, nid gwaeth ganddynt hwy: fel hyn y maent yn gwneyd y plant yn athrawon, a'r addoliad Sabbathol ac wythnosol yn Ysgol Ganu iddynt eu hunain. Barned y darllenydd ai addas yw hyn.

Nid ydwyf, wrth ddywedyd felly, yn meddwl y dylid gwrthod y plant, oblegid gorchymynir porthi y mynod gerllaw pebyll y bugeiliaid. Os ydym yn ystyried pob rhan o'r addoliad yn ddwyfol, y mae cymmaint pwys yn hon hefyd ag sydd mewn darllen, gweddio, a phregethu ar gyhoedd; ni oddefir i neb ddarllen ar gyhoedd, oni bydd wedi dysgu yn gelfydd; ni oddefir i neb weddio ar gyhoedd, onid all gysodi geiriau addas i'r perwyl hwnw. Rhyfyg mawr yw i neb ddringo grisiau y pulpud, oni fedrai draddodi ei araeth yn drefnus a gweddus, &c. Fel hyn, debygaf, y mae yr holl gynnulleidfa yn edrych yn fanwl iawn ar fod pob gwaith arall yn cael ei ddwyn yn mlaen yn weddus ac mewn trefn. Ac oni ddylai yr un dynion sylwi gyda'r un manyldra ar y canu hefyd?

Nid anfynych y dygwydda fod mwy na hanner y gynnulleidfa heb glywed yr emyn yn cael ei rhoi allan; weithiau bydd yn hirfaith, hyd oni fethant ei gofio—weithiau yn ddyrys lyd, hyd oni fethant ei deall—weithiau bydd y dôn yn ddyeithr iddynt, o hewydd na buont erioed yn yr Ysgol Ganu yn ei dysgu. Fel hyn mae rhan fawr o'r gynnulleidfa yn anghelfydd iawn yn eu gwaith eu hunain: mynych y'u clywir yn gwneyd rhyw leisiau, ac heb wybod, efallai, na'r emyn na'r dôn. Ai fel hyn, mewn difrif, y mae gwneyd mawl yr Arglwydd yn ogoneddus?

Yn y lleoedd hyn hefyd, cyfarfyddir, nid yn unig âg esgeuluswyr, ond y rhai a ddirmygant, ac a wawdiant y rhai a ymdrechant drosto; dadleuant yn frwd o du yr hen donau—yr hen ddull o ganu; gyda'r un rheswm, gellir dadleu dros yr hen arferion, yr hen ddull o wneyd gwisgoedd, &c. ond dylai pawb oll ymegnio rhag bod yn rhy debyg i'r gwas drwg a diog, yr hwn a guddiodd ei dalent, a phan ddel ei Arglwydd, a ddywed, 'Wele yr ydwyt yn cael yr eiddot dy hun,' ond pa le y mae y llog?

Gorchymynir i ni hefyd ganu yn gerddgar, yn soniarus; y mae llawer wedi ei wneyd tuag at ddwyn hyn i weithrediad, a llawer cynnygiad da wedi ei gymmeradwyo a'i sefydlu yn y Dywysogaeth, ac ymgais egwan i gyffroi y lleoedd hyny a wrthwynebant y diwygiad yw dyben hyn.

Y mae coffhau yn bresennol am y canu oedd yn Nghymru yn yr amseroedd a aeth heibio yn annoethineb; oblegid y mae yn amlwg i bawb nad ydym yn mwynhau y tymmor hwnw yn awr; ac y mae cannoedd yn Nghymru yn bresennol yn medru canu mawl yn gelfydd, ar na welsant erioed y fath beth, heblaw y miloedd sydd yn y byd heb glywed son am dano; er hyny, myn rhai i ni osod ein llygaid ar y peth nid yw, ac mae yn amlwg, wrth gymmeryd y rhai hyn yn esiamplau, y bydd ein cynnulleidfaoedd yn ymddifad o'r fraint o ganu mawl: y rhan fynychaf o'u hamser yn debyg i'r Crynwyr, y rhai ni fynant gyffwrdd âg un rhan o'r gwaith sanctaidd, ond pan fyddont dan ddylanwadau yr yspryd; hefyd ni's gwyddom am un cynllun i ymlwybro wrtho, gan nad oes un llyfr, na darn o draethawd a wn i am dano wedi ei gyhoeddi gan neb i'n cyfarwyddo, ond rhyw beth, efallai, yn rhy debyg i'r hyn a alwyd er's dyddiau yn ol, yn benboethni crefyddol.

Ymresyma rhai yn erbyn canu rheolaidd, oblegid fod balchder ynddo; yr un fath y gellir dywedyd am bob peth yr ymaflo ieuengctyd ynddo, yn enwedig y rhai sydd heb waith gras arnynt. Onid ellir ysgrifenu balchder uwchben pob peth yr ymaflont, os gwrthodir un, rhaid gwrthod ereill o'u gweithredoedd hefyd; ond y mae cymmaint o falchder yn ymddangos yn y canu mwyaf direol hefyd; ond nid teilwng rhoi dim i lawr o herwydd drwgfoes rhai, ond ein dyled yw diwygio.

*Tredegar.* MORGAN DAVIES.

[Fe genfydd ein gohebydd M. D. fod ei Ysgrif wedi ei chyfnewid, &c. i gryn raddau, a hyny o herwydd yr yspryd pigog yr ysgrifenid hi ynddo ar y cyntaf. Yr ydym

bob amser yn barnu, fel yntau, fod eisieu ymdrech mawr mewn cynnulleidfaoedd i sefydlu a chynnal Ysgolion i ddysgu canu, fel y gellid dywedyd am danynt eu bod yn canu â'r yspryd ac *â'r deall hefyd*; ond nid ydym yn barnu mai wrth ysgrifenu mewn yspryd chwerw a phigog yr ennillir dynion i gofleidio unrhyw sefydliad—ac am na roed y Drysorfa erioed yn chwareufwrdd i ddifrio personau a phethau, yr ydym yn cymmeryd yr hyfdra i gyfnewid peth ar yr ysgrif hon. Ein hoff air bob amser yw—Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus.

Byddai dda genym pe byddai ieuengctyd Cymru, pan y byddont yn sylwadu, ac yn ysgrifenu ar ymddygiadau eu gilydd, yn dal sylw manol ar Sylwadau y Parch. L. Edwards, Bala, yn ei Draethawd rhagorol ar Natur Eglwys.—GOL.

---

## CYFOETHAWG A THYLAWD.

YN y dyddiau terfysglyd hyn, wrth fanwl chwilio i ansawdd y terfysg, ceir mai rhyw chwant anghymmedrol i ymgyfoethogi yw gwraidd y cwbl; ac yn y trachwant hwn y mae dynion yn ymgynhenu â'u gilydd mewn cenfigen, ac yn damsang cyfreithiau Ior dan eu traed, ie, yn ei wadu hefyd, ac yn chwerthin am ben y dybiaeth o'i fod ef yn Ben-Arglwydd ac yn Llywydd ar y ddaear a'i throion oll.

Wrth fyfyrio ar hyn, bernais nad annheilwng genych y Cyfieithiad canlynol o ysgrif fechan a ymddangosodd yn gyntaf yn y '*Friendly Visitor*,' ac wedi hyny yn y '*Christian Beacon*' am Ionawr diweddaf, a dilys genyf nas beïir chwi am ei gyhoeddi, gan eich darllenwyr wedi y darllenont ef.

"Mae dynion tlodion weithiau yn moddwl pa mor gysurus fyddai pe rhenid eiddo y cyfoethawg yn gyfartal rhyngddynt, ac o hyn allan na chaniateid i neb fyned yn gyfoethawg eilwaith; ond ychydig sydd yn ystyried beth fyddai canlyniad y fath drefn a hon.

Yn y lle cyntaf, rhaid iddynt ddechreu trwy yspeilio, am nas gallai neb ddysgwyl yr ymadawai y cyfoethogion â'u heiddo o wirfodd calon; ac yn y lle nesaf, buan y gwelent, wedi cyflawni yr anfadrwydd yna, ac eiddo pawb yn gyfartal, mai ychydig a bechan fyddai rhan pob dyn wedi hyny.

Byddai raid i ddyn, fel o'r blaen, lafurio am ei fywioliaeth, am na cheid bwyd a dillad heb i rywun lafurio; a rhaid fyddai iddynt weithio yn galed hefyd, o herwydd byddai raid i bob peth gael ei weithio â llaw, am y dinystrid yr holl weithfaoedd mawrion, mewn canlyniad i ddinystr y meddiannwyr; a'r hyn a brynid o'r blaen â swllt, a gostiai yn awr bum swllt, neu bum waith mwy, neu ychwaneg, ar ol distryw cyffredinol y peirianau.

Mewn ychydig fisoedd wedi hyny, y dynion cryfaf o gorpholaeth, a rhagoraf yn eu dyfais, o angenrheidrwydd, a elent yn gyfoethocach drachefn, ac yna yspeiliad newydd a gymmerai le, fel y cyfartalid y cyfoeth drachefn. Mewn gair, byddai yr holl genedl yn genedl o ladron ac yspeilwyr, ac ni byddai nac eiddo na bywyd yn ddiogel fynyd awr. Byddai gan bob dyn ryw rith hawl fel hyn i wthio ei law i logell ei gymmydog, pa adeg bynag yr ennillai chwe cheiniog yn fwy nag ef ei hun.

Meddylier hefyd am y rhai a wesgid i gyfyngder drwy afiechyd blin, neu gnydau didoraeth ar y meusydd—rhaid fyddai iddynt farw o newyn, am nas gallai neb, pa mor foddlawn bynag, eu cynnorthwyo hwy.

Ai tebyg, mewn difrif, fyddai i'r cyfryw ddynion a hyn lwyddo, ag a fyddent byw mewn rhyfel cyhoeddus yn erbyn cyfreithiau uniawn Duw a dyn? O na, anmhosibl yw; o herwydd nid oes genym engrhaifft, er dechreuad y byd, o un genedl yn llwyddo, a'i thlodion yn meddu cysuron bywyd a phob angenrhaid yn cael ei gyflenwi, na byddai meddiannau mewn cyfrif a chymmeriad.

Hefyd, os na bydd y dyn cyfoethog yn cloi ei arian mewn cistiau cedyrn (yr hyn nid yw ond anfynych yn cymmeryd lle) y mae yn eu talu ymaith i'w weision, i'w lafurwyr, a'r crefftwyr, a'r masnachwyr; y rhai eilwaith ydynt yn gwario yr un arian mewn ymborth a dillad iddynt hwy a'u teuluoedd; fel y mae, mewn gwirionedd, ranu eiddo yn cymmeryd lle yn awr yn mysg y tlodion; er, mae yn wir, nas gellir ei alw yn *ranu cyfartal*. Ond da fyddai sylwi ar hyny hefyd, y mae pob ymdrech gorfodawl at ranu eiddo wedi syrthio yn fyr o gwblhau yr amcan a fwriedid, a rhaid mai felly y parha hefyd: o herwydd y mae yn gymmaint o ddeddf natur i rai fod yn gyfoethawg, a rhai yn dylawd, ag ydyw i rai fod yn dal o gorpholaeth, a rhai yn fyrion—rhai yn gewri a rhai yn gorachod, neu rai yn afiach a rhai yn iach."

Wedi gorphen darllen y llinellau hyn, nid anghymmwys fyddai i bob un weddio gweddi Agur, o'i galon, ac yna, yn ddiammeu, y llonyddai y terfysg, ac y byddai pawb yn fwy parod i 'fwrw eu holl ofal arno ef,' O Arglwydd, 'na ddyro i mi na thylodi na chyfoeth, portha fi â'm digonedd o fara: rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd a lladrata, a chymmeryd enw fy Nuw yn ofer.' BLEDDYN.

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA RHUTHYN, HYDREF, 1838.

AM 10 o'r gloch y dydd cyntaf, galwyd arnom i ystyried pa beth ynom ni a allai fod yn attal llwyddiant y weinidogaeth. Nodwyd amryw bethau digonol i attal, megis cam-olygiadau ar natur a dybenion y weinidogaeth, yr ysgafnder a dyf ar hyny, &c. Y mae derbyn a chyflawni gweinidogaeth yn fwy peth nag a feddyliodd llawer un.

Mae yn wir fod hyawdledd yn rhyw beth, ac yn beth a foddia lawer; ond nid i foddhau yn gymmaint y trefnwyd yr efengyl, ond i achub; etto, nid yw yr achub y dyddiau hyn yn ateb i helaethrwydd y pregethu.

Tebygid fod perygl i duedd y weinidogaeth fod yn fwy am foddio nag am achub—doniau hyawdl a foddha ddynion cnawdol oreu,—fel plant bach yn y maes, blodau a'u boddia hwy, ac a ddenant eu sylw hwy fwyaf; ond ar y cnwd y bydd llygaid yr amaethwr. Nid yw doniau ond pethau a all dyn gael a byw mewn pechod, a gadael ei wrandawyr hefyd felly.

Diffydd canwyll mewn dwfr, ond ni effeithia dwfr ddim ar lun canwyll; felly, dyn ysprydol, diffydd ei ganwyll ef yn ngwlad llygredigaeth.

Y mae iawn gyflawni gweinidogaeth yn gofyn mynych gymdeithas â Duw, a hyny yn newisiad testyn, y dull, y drefn, a'r geiriau, gan ofalu yn benaf am roddi yr anrhydedd i air yr Arglwydd. Gwell, fel y dywed yr Ysgrythyr, nag fel y dywed neb arall, oblegid y mae pob gwybodaeth arall yn syrthio yn ymyl hon. Ar ol ychydig ymddyddan fel hyn, galwyd dau frawd ieuaingc yn mlaen, y rhai a gynnygiwyd i'r Gymdeithasfa i'w derbyn fel Pregethwyr; wrth ymddyddan â'r brodyr hyn, helaethwyd ychydig ar y cyfammod gweithredoedd. Sylwyd nad oes o'r cyfammod hwnw wedi ei dori, ond 'Ti a fyddi farw,' uwchben ei holl ddeiliaid. Mae y Goruchaf yn gofyn gan ddyn ufudd-dod perffaith i'w ddeddf, a hyny fel y mae yn ddeiliad ei lywodraeth gyfiawn; ond o'r cyfammod, 'Ti a fyddi farw' ydyw y llais. Nid oedd ufudd-dod ac angeu Crist yn perthyn i neb, ond deiliaid ei gyfammod ei hun; a'r rhai hyny, yn *rhai* o gyfammod Adda. Mae yn wir fod melldith y cyfammod toredig wedi disgyn ar Grist, mor belled ag y perthynai i'r rhai yr oedd Crist yn sefyll yn eu deddfle, ac nid neb arall, a chyflawniad hyny ganddo ef, yn sicrhau addewid y Tad iddo yntau, ac i'w holl had ynddo. Rhoddwyd y personau iddo, a phechodau y rhai hyny yn ei erbyn ef mewn barn, a'r gospedigaeth ddyledus iddynt arno ef, a hyny o gariad a gras anfeidrol, &c.

Am 2 o'r gloch, ymdriniwyd âg amryw bethau amgylchiadol. Crybwyllwyd fod angenrheidrwydd am reoleiddiad mewn golygiad ar Bregethiad teithiol, &c. Ystyriwyd amryw bethau perthynol i'r Ysgol a gynnelir yn y Bala. Penderfynwyd yr ymweliad â'r achos yn America.* Pennodid y Cyfarfodydd dyfodol, ac amryw bethau nad yw o bwys ymhelaethu arnynt yma.

Am 10 o'r gloch yr ail ddydd, sylwyd ychydig am undeb y Corph. Un ydyw y Corph, ac undeb hynod wedi ei gadw ynddo er's can mlynedd bellach. Y mae cyfansoddiad y Corph yn ffafriol iawn i undeb, ac y mae pob ymraniad a fu erioed ar ryw gyfrif neu gilydd yn gwreiddio mewn balchder ac anghariad. Wrth i ni edrych ar gyfansoddiad y Corph, gwelir fod person yn ddarostyngedig i gynnulleidfa, a phob cynnulleidfa yn ddarostyngedig i Gyfarfod y Sir, a Chyfarfod Misol pob Sir yn ddarostyngedig i farn a phenderfyniadau y Sassiwn Chwarterol. Y mae gan y Sassiwn hawl i lywodraethiad yr hyn oll a berthyn i'r capelydd a'r achos drwy y dalaeth yn mhob man.

Crybwyllwyd hefyd am Ddirwest; mai dymunol fyddai y parhad mwyaf dyfal ynddo, oblegid fod ei arfer, nid yn unig yn ddiniwed i ni, ond fe allai o les mawr i laweroedd. Ymddengys fod y dull hwn o fyned yn erbyn y llygredigaeth wedi bod yn fwy llwyddiannus, nag un dull a arferwyd o'i flaen. Y mae lle i ofni fod yr yspryd bywiog cyntefig gyda'r achos hwn wedi pallu i raddau mawr; o ganlyniad, y mae arfer y moddion at ei gynnal yn fwy anhawdd, a chynnydd y peth yn arafach, er fod yr egwyddor wedi ei sefydlu.

Annogwyd y rhai na allent etto gydweled fod yn ddystaw, ac na oddefid y rhai a ddywedent yn ei erbyn yn ddigerydd; oblegid eu hanfudd-dod, ac yn cefnogi llygredigaeth. Sylwyd ychydig yn mhellach ar waith yr Yspryd Glân. Y mae yr Yspryd yn gweithio y dyddiau hyn trwy foddion gras, bethau mor wirioneddol a grymus ar y rhai a gedwir ag oedd yn nyddiau yr apostolion, 'Fy ngeiriau y rhai yr ydwyf yn eu hysbysu, ni chiliant o'th enau, nag o enau dy had, nac o enau had dy had, o hyn allan byth.' Gwaith pob oes yw tynu y galon gareg, ail eni, uno â Christ. 'Mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr arhoso gyda chwi yn dragywydd.' Ioan 14. 'Nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig, ond dros y rhai a gredant trwy eu ymadrodd hwynt.' Ioan 17. 'Y mae Crist yn aros gyda'i bobl trwy ei Yspryd, hyd ddiwedd y byd.' Mat. 28. Preswylfod i Dduw trwy yr Yspryd ydyw yr Eglwys, ac y mae y saint yn demlau i'r Yspryd Glân, a pheth arosol yw hyny. Y mae arweiniaid yr Yspryd trwy gyfeiliornadau at Grist, trwy anialwch dyrys y byd yma, i fod o hyd, tra byddo Eglwys ar y ddaear. Dysgu y ffordd, ennill y meddwl i'w chymmeradwyo, ac arwain ar hyd-ddi. Ymddengys holl drefn achub yn gam iawn, ond i'r rhai a arweinir gan yr Yspryd. 'A'r cyngor y mae yn arwain, ac ar ol hyny yn cymmeryd i ogoniant.'

Bwriadiwyd ymhelaethu ar hyn yn mhellach yn y Cyfarfodydd canlynol.

J. FOULKES.

---

* Y mae yr ymweliad hwn, bellach, fel y mae yn hysbys, wedi ei gyflawni, a'r brodyr wedi dychwelyd adref yn iach, &c.

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

SYR,—Anfonais i chwi y Pennillion canlynol ar ddymuniad amryw o Weinidogion De a Gogledd Cymru, fel y cyhoeddech hwynt yn eich Trysorfa glodwiw.

Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Aberteifi, yn Neheudir Cymru, yn y flwyddyn 1796. Yr ydwyf yn deall i'r gân gael ei chyfansoddi gan hen wr parchus, ac aelod hefyd o'r Corph hwn, o'r enw John Evan, o'r Argoed, yn mhlwyf Penarth, yn Swydd Gaerfyrddin, ac ysgrifenwyd hi gan wr ieuangc wrth ei glywed yn prydyddu cyn dyfod ddwy filltir o'r dref; a diammeu genyf y bernwch hi yn werth ei thrafod ar gof a chadw, nid yn unig o herwydd ei henafiaeth, ond hefyd oblegid ei chyfansoddiad.—Ydwyf yn un o'ch derbynwyr o'r dechreuad, BENJAMIN EVANS.

*Llwyn y Grawys, Ceredigion.*

YCHYDIG O HANES

*Cymmanfa a gynnaliwyd gan y Trefnyddion Calfinaidd yn Aberteifi, yn y flwyddyn* 1796.

O brysia Tywysog llu'r Arglwydd,
  Yn ebrwydd i arddel dy air,
Ti wyddost yn hysbys yr amser,
  Dydd Mercher a Iau'n ol Gwyl Fair;
Bydd yno fawr nifer yn erfyn
  Am weled y Brenin yn d'od,
Fe godir baneran yn uchel
  Yn arwydd fod rhyfel ar dro'd.

Aflwyddiant i Satan a'i amcan,
  I guro rhai egwan i lawr,
Mab Dafydd ar gyfer Golia,
  Mi wrantaf y cwympa fe'r cawr;
Ac er mor greuloned yw'r fulain,
  Fe'i clywyd e'n ochain cyn hyn,
Fe'i maeddwyd, fe'i congcrwyd gan hwnw,
  Fu farw ar Galfari fryn.

Mae brodyr i Hur ac i Aaron,
  O'u calon am gynnal i'r lan,
Y breichiau fo yn y filwriaeth,
  Try olwyn Rhagluniaeth o'u rhan;
Yr haul gynt a safai'n Gideon,
  A'r lleuad yn Ajalon draw,
Y Cenllysg, a'r hen afon Cison,
  A ro'wa y gelynion mewn braw.

Mi deithiais i dre' Aberteifi,
  Lle gwelais gwmpeini mawr iawn;
'Roedd miloedd o'r lluoedd, 'rwy'n credu,
  Dan faner yr Iesu a'i ddawn;
A chwech o'r gwyr arfog a safodd
  Ar gyhoedd rhwng nefoedd a'r llawr,
A Roberts* o'r gogledd ddechreuodd,
  A'i ddoniau mor ddysglaer a'r wawr.

I'r ddegfed o Lyfr Datguddiad
  A'r adnod flaenorol o hon,

Lle d'wedir am angel cryf arall,
  Ddisgynodd o'r nefoedd yn llon,
A'i draed e' fel pres o gadernid,
  A'i wyneb fel haul heb un llen,
A'i enw e'n bur ogoneddus,
  Ac enfys o gwmpas ei ben.

Yr ail a'i canlynai fe'n dirion,
  Gray* addfwyn a'i chwariodd yn deg,
A'i destyn ef yn Zechariah,
  Y bennod y drydedd-ar-ddeg;
Lle d'wedir am ffynon agorwyd,
  A darddodd i wared o'r bryn,
I olchi aflendid a phechod,
  A gwneyd y du enwog yn wŷn.

A Jones† o Drefaldwyn, yn drydydd,
  Osodai'n ddiduedd i ma's,
O'r wythfed o lyfr Caniadau,
  Am hanes rhinweddau rhad ras;
D'od fi megis zel ar dy galon,
  Ac ar dy fraich hefyd 'run wedd,
Can's cariad sydd gryf megis angeu,
  Eiddigedd mor greulon a'r bedd.

A'r brawd Dafy' Parry'n‡ bedwerydd,
  A'i ddoniau oedd ddefnydd i'r gwan;
I'r pummed o Lyfr Pregethwr,
  Fe chwariodd fel milwr ei ran;
Pan byddech di'n myn'd i dŷ'r Arglwydd,
  Yn ebrwydd, O gwylia ar dy droed,
Fe chwilir yn fanol dy feddwl
  Gan un ŵyr y cwbl erioed.

Y pummed ae fynu'n galonog,
  Llwyd** enwog, a'i ddoniau oedd wych,
I'r drydedd-ar-ddeg o'r Corinthiaid,
  Lle d'wedir am weled trwy ddrych;
Mewn dammeg yn awr yr adwaenwn,
  Ond wyneb yn wyneb a fydd,
Ffydd, gobaith, a chariad sy'n aros,
  Nes trydd y tywyllnos yn ddydd.

A Rowlands†† barchedig yn chweched,
  I'r nifer o Numeri'r ai,
A'r adnod ddiweddaf o'r bennod,
  Son am y cyfammod difai;
'Ac felly gosodant fy enw
  Ar feibion yr Israel yn awr,
Ac mi a'i bendithiaf hwy gwedy'n,'
  Medd Brenin y nefoedd a'r llawr.

Y gwr a'i farch gwyn a drafaelio,
  I chwilio pob congol o'r byd,

---

*Y Parch. R. Roberts, o Glynog, Arfon, mae yn debygol.

* Y Parch. Mr. Gray, o'r Deheudir.

† Jones o Drefaldwyn.—Nis gallwn benderfynu yn iawn pa un ai y Parch. Ismael Jones, William Jones, neu Owen Jones, neu pwy a feddylir.

‡ Y Parch. David Parry, neu yn ol dull sathredig, y Deheuwysion, Dafy' Parry, Gweinidog enwog o'r Deheudir.

** Y Parch. William Llwyd, o Gaio.

†† Y Parch. Daniel Rowlnnds, Llangeitho.

I droi y Paganiaid, yr Indiaid,
A'r Mahometaniaid i gyd;
A pheri i had Abra'm sydd gwydriaid,
Yn para mor ddigred eu gwedd,
I gredu fod Iesu'n teyrnasu,
Yn rasol ar orsedd o hedd.

Os gofyn ryw Gymro o estron,
'Bryd bu'r *Sociation* yn llyn?
Mil saith gant a'u cyfri' hwy'n gywrain,
Pum ugain, ond pedwar at hyn;
Y ddwyfed-ar-bymtheg o Chwefror,
A dala'r ddeu-nawfed yn dŷn,
Gobeithio bydd canu am dani,
'Nol llosgi pob mynydd a bryn.

## HANES

*Dechreuad a Chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Nghaerlleon.*

Mr. Robert Prys, Plas Winter, Sir Flint, a bregethodd yn Gymraeg gyntaf yn Nghaerlleon, yn nhŷ un William Jones, Llifiwr, yr hwn oedd yn byw yn *Gorse Stacks*, oddeutu y flwyddyn 1789. Cadwyd rhai odfaon yn nhŷ y gwr hwnw, yr hwn, wedi hyny, a symudodd i fyw i Liverpool.

Yr oedd Mrs. Lloyd, mam y Parch. Simon Lloyd o'r Bala, yn byw gyda'i mab Mr. Hugh Lloyd yn Nghaer y pryd hyny. Yr oedd hi yn wraig grefyddol a rhinweddol cyn ei dyfod i fyw i Gaerlleon, a hi a fu yn brif achlysur o annog at ddechreu yr achos Cymraeg yn y ddinas. Yr oedd Mr. Lloyd yn y blynyddoedd cyntaf i'r achos Cymraeg, yn brif gynnaliaeth iddo, ac yn ei dŷ ef y byddai y pregethwyr yn lletya. Ac yn y Cyfarfodydd Eglwysig, byddai Mrs. Lloyd yn arferol o roi gair o gyngor ac annogaeth a chysur i'r ychydig o aelodau a fyddent yn nghyd, ac felly hi fu yn gynnorthwyol i'r achos Cymreig, pan oedd yr Eglwys yn wan iawn, a phan oedd ei blaenoriaid yn bur ddigalon, ac yn ychydig o nifer.

Bu pregethu wedi hyny yn nhŷ Mr. Lloyd; a chadwyd ambell odfa hefyd mewn ystafell yn yr hen *Manchester Hall*.

Yn mharlawr Mr. Lloyd y cadwyd y Cyfarfod Eglwysig Cymraeg gyntaf. Bu Mr. John Jones, Bodynolwyn, Mon, yno yn cadw Cyfarfod Eglwysig; yr hwn oedd un o'r cyfarfodydd cyntaf o'r fath yn Nghaer. Cynnaliwyd y cyfarfod hwn yn y flwyddyn 1791, lle yr oedd yn ymgynnullodig Mrs. Lloyd, Mr. Lloyd, Gwen Evans, Mr. Evan Jones, a Mr. Edward Griffiths, sef pump o nifer.

Yr oedd Mr. Lloyd yn wr cyfoethog ac adnabyddus iawn drwy holl Gymru; efe a agorodd ddrws ei dŷ i dderbyn a chroesawu y pregethwyr am bum mlynedd a deugain, sef o ddechreuad yr achos Cymreig yn Nghaerlleon hyd ddydd ei farwolaeth. Efe a fu farw yn mis Chwefror, 1834; a chladdwyd ef yn anrhydeddus yn mynwent Llanycil, gerllaw y Bala. Ar ei farwolaeth ef, symudodd yr arch i dŷ ei nith ef, yr hon sydd yn briod â Mr. William Roberts, un o'r Henuriaid Eglwysig; ac yn eu tŷ hwynt y mae y Pregethwyr yn lletya hyd y dydd hwn.

Wedi hyny cafwyd benthyg capel *Common Hall Street*, gan y Wesleyaid Saesonig ag oedd ynddo yn pregethu y pryd hwnw; a dyna lle bu y Cymry yn cadw ambell odfa rhwng amserau odfaon y Saeson, o'r flwyddyn 1793 hyd 1796.

Yr oedd un Edward Jones yn wr ieuangc bywiog a zelog iawn gyda'r Cymry yn nechreuad eu hachos Cymreig yn Nghaer, yr hwn yn mhen ychydig o flynyddoedd a symudodd oddi yno i fyw i Birmingham.

Yna cymmerasant Oruwch-ystafell yn *Shoemaker's Row*, ar du Gorllewinol i *Northgate Street*. Dechreuasant bregethu yno, Hydref 27ain, 1796. Yno y buont yn pregethu, ac yn cadw eu Cyfarfodydd Gweddio, a'u Cyfarfodydd Eglwysig am wyth mlynedd, sef hyd y flwyddyn 1804.

Yn y flwyddyn 1797, yn yr Ystafell, yn *Northgate Street*, y blaenoriaid Eglwysig oeddynt Mr. Edward Griffiths, a Mr. Evan Jones.

Yn y flwyddyn 1804, cymmerasant Ystabl yn *Trinity Street*, mewn *lease* o ddeugain mlynedd, gan Mr. Bramwell, a gwnaethant hi yn Gapel hardd, o ddeuddeg llath o hyd, a chwech o led; ac adeiladwyd esgynlawr (*gallery*) ar y pen dwyreiniol iddo. Yno y buont yn addoli am un-mlynedd ar-bymtheg, pryd yr aeth y Capel yn rhy fychan i'r gwrandawyr. Agorwyd y Capel hwn, ar ddydd Nadolig, Rhag. 25ain, 1804. Pregethodd Cadpen Williams o Gaer ynddo nos yn mlaen, a phregethodd Mr. Arthur Jones, Bangor, dair gwaith y dydd canlynol.

Yn y flwyddyn 1798, y dechreuodd y Cadpen Williams bregethu, ac yn yr un flwyddyn y daeth Mr. John Humphreys, Caerwys, i fyw i Gaer, yr hwn oedd yn bregethwr er's amryw flynyddoedd, ac efe a fu yma yn diwygio yr Argraffwasg Gymreig yn nghylch pedair blynedd. Yn yr un flwyddyn yr annogwyd Mr. John Williams i ddywedyd ychydig yn yr Eglwys. Ac efe a barhaodd yn Ddiacon ffyddlon hyd ddydd ei farwolaeth.

Gorphenaf 8fed, 1806, daeth John Parry, yr hwn oedd yn bregethwr, i fyw i Gaer. Y blaenoriaid y pryd hyny, oeddynt Mr. Edward Griffiths, Mr. Evan Jones, Mr. John Williams, a John Williams, *Joiner*. Nifer yr aelodau Eglwysig 30. Yn y flwyddyn hon, galwyd Thomas Jones, *Carpenter*, a John Jones, *Grocer*, yn flaenoriaid; a Mr. W. Roberts, yn y flwyddyn 1807. Yn Nghapel y *Trinity Street* yr oeddynt yn addoli y pryd hyny.

Dechreuwyd cadw Ysgol Sabbathol yn Nghapel *Trinity Street*, yn y gwanwyn, yn

y flwyddyn 1805. Yr athrawon oeddynt Edward Griffiths, William Roberts, Thomas Jones, a John Jones, *Grocer*. Ar y cyntaf, nid oedd ynddi ond deg o blant, a thri o bobl mewn oed. Arferwyd Catecism Mr. Charles. Cadwyd yr Ysgol yno am 15 mlynedd, sef hyd onid ymadawsant i fyned i'r Capel newydd, ac yn hwnw y mae yr Ysgol yn cael ei chynnal hyd y dydd hwn.

Codwyd a chynnaliwyd Ysgolion Sabbathol Saesoneg hefyd gan aelodau Cymdeithas y Cymry yn y ddinas hon. Y manau y cadwyd yr Ysgolion hyn oeddynt y Rosset, rhwng Caerlleon a Gwrecsam; Saughall a'r Two Mills, yn Sir Gaer; Doddleston, rhwng Caerlleon a Chaergwrle; Lache, rhwng Doddleston a Chaer; Bretton, rhwng Caerlleon a'r Wyddgrug; ac hefyd yn y ddinas, yn *Northgate Street*, am yr hon y cawn roddi hanes helaethach yn ein Rhifyn nesaf.

Cododd o Gymdeithas Caer bedwar o bregethwyr, sef Cadben William Williams, oddeutu y flwyddyn 1798; Mr. Robert Williams, sydd yn awr yn Dublin; Mr. John Jones, sydd yn awr yn Ngwrecsam; y ddau yn y flwyddyn 1829; a Mr. John Jones, sydd yn awr yn Nghaer, yn y flwyddyn 1837. Mr. Elias Parry, hefyd a ddygwyd i fynu o'i febyd yn Nghymdeithas Caerlleon, ac sydd yn awr yn bregethwr yn Llundain.

Yn y flwyddyn 1838, bu farw dau o'r blaenoriaid ffyddlawn a diwyd, sef Mr. J. Williams, Awst y 9fed, a Mr. Evan Jones, Rhagfyr 29ain.

Yn y flwyddyn 1819, prynasant dir â phedwar o dai arno, yn *Common Hall Street*; ar hwnw, hwy a adeiladasant Gapel hardd, ac iddo oriel helaeth. Y mae y Capel hwn yn 13½ llath o hyd, a 12 o led oddi fewn, yr hwn a agorwyd yn y flwyddyn 1820. A dyma y lle y maent yn awr yn addoli, ac yn cadw eu cyfarfodydd.

Bu Mr. Joseph Williams yn bregethwr, yn llafurio yma yn nghylch pedair blynedd, yr hwn a aeth i Liverpool i fyw yn y flwyddyn 1839.

Yn bresennol, mae yma ddau bregethwr, sef John Parry, a John Jones; tri o flaenoriaid, William Roberts, John Williams, ac Edward Peters, a 107 o aelodau, heblaw amryw o blant.

*A Ysgrifenwyd gan*
JOHN PARRY,
*Gweinidog y Gymdeithas Gymreig yn Nghaerlleon, Rhag*. 31ain, 1839.

---

## GOFYNION.

Yr ydym yn darllen yn Mat. 2. 4. fod yr holl archoffeiriaid, ysgrifenyddion y bobl yn gofyn, Pa le y genid Crist? Paham y mae yn dywedyd yr holl Archoffeiriaid, pan nad oes hanes fod mwy nag un Archoffeiriad wedi bod yn gweini yn y swydd hono ar unwaith.

Gobeithio y gwnewch chwi, Syr, neu un o'ch Gohebwyr, roddi esboniad ar yr adnod uchod trwy gyfrwng y Drysorfa.

ATHRAWES
*Yn Ysgol Sabbathol Ty Ddewi.*
*Tach.* 18ed, 1839.

---

1. BETH a feddylir wrth y Cwppan a a sonir am dani yn Mat. 26. 39?

2. MAE yma ddadl yn ein hardal ni mewn perthynas i'r hyn a gymmerodd le yn ddiweddar. Bedyddiwyd plentyn gan bregethwr heb ei ordeinio i weinyddu y Sacramentau; y gofyniad yw, A ydyw y bedydd yn safadwy yn wyneb y gyfraith wladol ai peidio? Ydwyf yr eiddoch,
S. S. JONES.
*Cerig y Druidion.*

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Bywyd y Parch. Daniel Rowlands.* Gan y Parch. JOHN OWEN.

Y mae llawer o son y dyddiau hyn am ddiwygiadau crefyddol, a llawer o gynwrf ac ymgais mewn perthynas iddynt. Diammeu fod *rhyw* fath o gyffro gyda chrefydd yn well nag yspryd marwaidd. Ond ar yr un pryd y mae perygl i ni ymfoddloni ar y sŵn heb ddim sylwedd, i ni amcanu dwyn y gwaith yn mlaen yn ein hysbryd a'n nerth ein hunain, a chadw llawer o dwrf oddiamgylch y tân, a hwnw wedi y cwbl yn dân dyeithr. Wrth ddywedyd felly, nid ydym yn cyfeirio at neb enwadau na diwygiadau neillduol; ond rhaid i bawb addef y gall fod perygl.

Yn awr, nis gwyddom am ddim sydd yn tueddu yn fwy i ddangos beth yw gwir waith yr Yspryd, ac i enyn awydd am dano yn yr Eglwysi na darllen hanes yr hen ddiwygwyr a fuont yn offerynau yn llaw yr Arglwydd i argraffu agwedd grefyddol ar eu gwlad. Nis gall neb ammeu am fynyd nad oedd yr Arglwydd yn gweithio trwyddynt hwy: a rhaid fod y dyn hwnw yn hollol amddifad o bob teimlad, os ydyw yn medru darllen eu hanes heb fod ei enaid yn sychedu am dywalltiad o'r un yspryd ag oedd ynddynt hwy.

Yn mhlith yr enwogion hyn, un o'r rhai penaf yn ddiau, oedd DANIEL ROWLANDS. Ond gofidus yw adrodd nad oedd dim coffadwriaeth teilwng o'r enw am fywyd a llafur y gwr rhyfeddol hwn wedi ymddangos hyd yn ddiweddar. Er cywilydd i'r Methodistiaid Calfinaidd yr ydym yn dywedyd hyn— nid mewn ysbryd anfrawdol, ond gyda galar oblegid y golled sydd wedi tarddu o'r esgeulusdra hwn iddynt hwy ac Eglwysi Crist yn gyffredinol. Ond felly y mae wedi bod.

Er mor anhyfryd yw meddwl am dano, dyma y gwirionedd; ac yn awr, nid oes genym ond gwneyd y goreu o'r gwaethaf. A'r hyn sydd genym i'w wneuthur yn bresennol yw rhoddi derbyniad helaeth a chroesawgar i'r Cofiant rhagorol sydd yn awr wedi ei gyhoeddi. Y mae yn lled hynod hefyd mai i weinidog o Eglwys Loegr yr ydym yn ddyledus am dano. Nid ydym yn ei adnabod yn bersonol; ond yr ydym yn dra sicr, oddiwrth ei waith, ei fod yn ddyn o feddwl diragfarn, ac yn awyddus i wneuthur daioni.

Y mae yn ysgrifenu fel un yn teimlo parch diledryw i hen ddiwygwyr Cymru: a gallwn sicrhau i'n darllenwyr nas cyfarfyddant âg un gair, hyd yr ydym yn gofio, sydd yn dangos y gradd lleiaf o gulni na diystyrwch tuag at y Methodistiaid; ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Y mae yn cynnwys hefyd ragfynegiad tra dyddorol yn nghylch cefnogwyr crefydd yn Nghymru o amser y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth hyd y flwyddyn 1800.

Ond y mae yr hanes am Rowlands yn helaeth a manwl, a'r sylwadau ar ei nodwedd fel gweinidog yn ddigon i adfywio a chynhyrfu y teimladau mwyaf cysglyd. A oes achos i ni ddywedyd ychwaneg? Onid yw enw Daniel Rowlands yn ddigon? Gan hyny, ni a obeithiwn y bydd i bawb o'n darllenwyr ei fynu, pe gorfyddai iddynt anfon am dano at y Cyhoeddwr.

## LLYTHYRAU, &c.

### DIWYGIAD YN YSGOTLAND.

*Llythyr Mr. Samuel Jones o Liverpool at ei frawd Mr. Daniel Jones.*

*Liverpool*, *Tach.* 23, 1839.

Anwyl Frawd,—Mawr yw y son sydd yma yn awr am y Diwygiad yn Ysgotland; ac yn ngrym y swn, a rhyw ychydig o awydd am weled rhyw beth cyffelyb yn ein plith ninnau, annogasom y Parch. Henry Rees i roddi llam cyn belled a Kilsyth, ac felly y bu. Y mae yn awr newydd ddychwelyd yn ol.

Yr hanes a rydd ef, a dau o frodyr oddiyma a aethant gydag ef, sydd gysurus iawn, er na welsant hwy ddim *cynnwrf* fel yr oeddynt yn dysgwyl; etto, boddlonwyd hwynt yn fawr wrth ganfod ôl rhyw ymweliad hynod âg ardal Kilsyth, &c. Buont yno am Sabbath. Clywsant y gweinidog yn llefaru, (Mr. Burns) ond fel y dywedwyd, nid oedd dim cynnwrf i'w ganfod y Sabbath hwnw. Yr oedd y cyfnewidiad cymmaint fel nad oedd dim i'w ganfod ar holl drigolion y lle ond *sobrwydd mawr*. Lletyasant mewn Gwesty mawr; ac yn hwnw yr oedd agwedd grefyddol—dyledswydd yn cael ei gynnal nos a boreu gan wr dyeithr oedd yn lletya ync. O'r blaen yr oedd y trigolion yn eithaf annuwiol ac anfoesol eu bucheddau; tori y Sabbath, a meddwdod, dibrisdod ar foddion gras,—ond yn awr, y mae y pethau gwarthus yma wedi diflanu. Y mae yr efengyl yn ei nerthoedd wedi diddymu meddwdod yn gwbl ar unwaith, yn nghyda phob anfoesgarwch. Gellir dywedyd yn awr am Kilsyth, a manau ereill cwmpasol iddo, megis Finnieston, Cumbernauld, Anderson, Paisley, &c. 'Yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth o'r newydd.'

Yn lle bod yn y tafarndai fel cynt, ar hyd y nos, y maent yn awr yn treulio nosweithiau gyda'u gilydd mewn gweddiau, canu Salmau, ac mewn ymddyddan am bethau perthynol i'w hiechydwriaeth dragywyddol. Y mae rhagfarn (y rhai sydd o uniawn gred) y pleidau crefyddol wedi bron a darfod o'r wlad—pawb yn saethu at yr un nod—gogoniant Grist, llwyddiant ei deyrnas, ac achubiaeth eneidiau anfarwol. Gallant ddywedyd yn y manau hyny o Ysgotland yn awr, 'Canys wele y gauaf a aeth heibio, y gwlaw a basiodd, ac a aeth ymaith. Gwelwyd bloden ar y ddaear, daeth amser i'r adar ganu; clywyd llais y durtur yn ein gwlad.' Y torfeydd yn heidio i wrando—pob lle addoliad yn rhy fychan i'w cynnal—pregethwyr yn tori allan i'r prif ffyrdd a'r caeau i gymmell dynion i ddyfod i mewn—yn colli eu gorphwysdra y nos, trwy gynnifer sydd yn feunyddiol yn dyfod atynt i ymofyn pa beth a wnant i fod yn gadwedig—bechgyn a genethod, o ddeg i ddeunaw oed, â phethau hynod o bwysig o waith Yspryd Duw yn eu hargyhoeddi o bechod; a rhai wedi cael y fath olwg ar Grist wedi ei groeshoelio, yn ffordd o ddiangfa iddynt, nes y maent yn yfed yn helaeth o felyswin yr efengyl, fel y mae ambell i fab hynaf o bell yn gwaeddi, 'Gormod, gormod o grefydd.'

Pan yr oedd un lodes fechan yn aros ar hyd y nos mewn Cyfarfod crefyddol, (gweddio a moliannu, &c.) aeth rhyw un ati i'w rhybuddio, 'Fod eisieu edrych ar ol angenrheidiau y corph yn gystal a'r eiddo yr enaid.' 'Byth nac ofnwch,' '*Never fear*,' meddai yr eneth bach, oedd wedi ei llenwi â'r Yspryd, 'fe ofala y corph am dano ei hun.'

Yn mhob man y mae y diwygiad wedi cyrhaedd fe gynhyrfodd Duw galonau ei bobl yn y manau hyny i ymroddi i gynnal Cyfarfodydd Gweddi; codi Ysgolion Sabbathol, a myned at y bobl ag oedd o'r blaen allan o sylw a chyrhaedd crefyddwyr, oblegid na byddent byth yn dyfod i leoedd addoliad; yr oeddynt wedi diddarbodi gan wneuthur pob aflendid yn un chwant,—yn fudron, ac heb ddim ond hen garpiau am danynt, fel ysgubion y byd! Trwy y moddion yma, fe welodd yr Yspryd Glân yn dda weithio mor effeithiol, nes y mae y rhai ag

oedd o'r blaen yn gablwyr, yn dyngwyr, yn feddwon iawn, ac wedi eu darostwng islaw dynoliaeth; yn awr yn gweddio yn daer, yn llefain am drugaredd, yn dal gafael yn ngodreu Henuriaid a Gweinidogion y Gair, ac yn erfyn arnynt am roddi gair o gyfarwyddyd iddynt. Y maent yn eu dillad a'u hiawn bwyll. Y mae yspryd dysgu darllen wedi disgyn arnynt o fach i fawr, nes y mae llawer yn dysgu braidd yn wyrthiol i ddarllen y Gair. Nid oes yno ddim son mwy am *politics*—llyfrau anffyddiaeth yn cael eu taflu i ganol eirias o dân poeth, nes eu llosgi yn ulw! Y Bibl anwyl yn cael ei gofleidio, a'i chwilio beunydd.

Dyma fyd braf, onidê, anwyl frawd? Fe allai ei fod agos yn rhy dda gan lawer gredu. Yr wyf yn hyderu y pair i'ch calon chwi lamu o lawenydd; ac os oes ychydig o'r afiechyd corphorol heb ei symud, y par y *cordial* melys yma feddyginiaeth hyd yn nod i'r corph lleeg; ond pa un bynag, diolchwn i'n Dduw, a chymmerwn gysur am glywed y newyddion gwerthfawr yma cyn ein marw.

Wedi i Henry Rees dreulio y Sabbath yn Kilsyth, aeth ef a brawd oddiyma, yn nghyda John Phillips, o Dreffynon, (yr hwn a fu gyda hwy yr holl amser y buont yn Ysgotland) yn mlaen i Edinburgh; yno y cawsant y fraint o glywed yr enwog Chalmers yn dechreu ar ei ddarlithoedd am y tymmor Gauaf (*Winter Lectures*); a thrwy fod John Phillips yn adnabyddus â Dr. Brown, ac amryw ereill o Weinidogion enwog y Presbyteriaid, cawsant eu cyflwyno i Gyfarfod Misol (neu gyfarfod tebyg i Gyfarfodydd Misol y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru); yn y cyfarfod yma yr oedd lluaws mawr o Weinidogion enwog, a Henuriaid o'r holl Eglwysi trwy y wlad. Cawsant dderbyniad hynod o groesawgar gan y rhai hyn oll ag oedd yn nghyd, a'u gosod i eistedd yn ymyl y *Moderator*. Y mater a ddigwyddodd fod dan sylw, pan ddaeth y brodyr i mewn, oedd yn nghylch yr angenrheidrwydd am adfywiad (*revival*) ar grefydd, a pha beth oeddynt hwy i'w wneyd tuag at lwyddo yn eu hymgais am ddiwygiad. Daethant i benderfyniad ar fod i un o'r rhai hynaf o'r Gweinidogion i anfon Cyfarchiad caredig a gwresog at yr holl Eglwysi, i ystyried yr angenrheidrwydd anhebgorol oedd arnynt am adfywiad, er sancteiddiad yr Eglwys, a galwad y byd, &c.

Ar ol hyn, buent mewn cyfarfod oedd gan yr Independiaid. Cyfarfod pwrpasol oedd hwn i ymgais mewn gweddiau, ac anogaethau neu bregethau yn gymmysg, am gael tywalltiad o'r Yspryd Glân, er cael yr adfywiad a nodwyd i'r wlad. Clywsant bethau hynod ar y mater yn y fan hono.

Troent at y neb a fynent o grefyddwyr, pa un bynag ai yn bersonol ai yn gynnulleidfaol, yr un peth oedd gan bawb, sef, Pa beth a wnaent am ddiwygiad ar grefydd? Felly y mae y tân sanctaidd a enynodd yn Kilsyth wedi effeithio braidd ar yr holl wlad; ac yr wyf yn deall fod rhai yn Lloegr yn dechreu ei ddal.

Ai tybed mai nyni y Cymry a fydd olaf yn y gwaith o nol y Brenin adref. Gadewch i ni ganu gyda'r prydydd,

'Cerdd yn mlaen, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân.'

Os medrwch gael rhyw berl o hwn sydd yn llawn o frychau, gellwch ei roi yn y Drysorfa, er mwyn codi awydd trwy Gymru am yr hyn sydd wedi dechreu yn Ysgotland.

SAMUEL JONES.

## LLYTHYR CYNTAF IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

FY NGHYFAILL CARIADLON A HOFF,—Yr ydwyf yn cydymdeimlo â thi heddyw, ac yn ceisio cyflwyno dy achos o flaen y Bod trugarog, gan fy mod yn llwyr gredu mai achos o bwys ar dy feddwl yw ymgymmeryd â'r swydd y'th alwyd gan yr Eglwys iddi. Ysgafn gan rai yw ymwthio i'r swyddau sanctaidd, er mwyn dangos eu hunain, heb fod nemawr o duedd ynddynt i ddyrchafu y Gwaredwr, na llesoli eu cydgreaduriaid. Ond pell ydwyf rhag credu hyny am danat ti.

Mae yr Arglwydd yn gosod dynion mewn gwahanol swyddau yn ei Eglwys. 'Efe a roddodd rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid, ac yn athrawon.' Nid peth bach mewn dynion yw adnabod eu lle, a'r gwaith sydd wedi ei ymddiried iddynt. Mynych y gwelir rhai yn ymyraeth yn nghylch pethau nad yw yn perthyn iddynt, ac yn esgeuluso y pethau hyny y bydd raid iddynt roddi cyfrif am yr esgeulusiad o honynt yn y dydd mawr.

Fy nghyfaill, y mae y pwys mwyaf yn y swydd iselaf yn Eglwys Dduw; a'r fraint uchaf i ddyn yw gwneyd y gwasanaeth gwaelaf dros Dduw. Swydd uchel oedd bod yn frenin ar orsedd Israel, ond mi debygwn fod Dafydd yn ystyried 'cadw drws yn nhŷ ei Dduw yn llawer mwy o anrhydedd. 'Amlwg yw, nad yw yr Arglwydd yn galw neb i unrhyw swydd heb ryw gymmaint o gymmwysderau a medrusrwydd ati. Fe allai y dywedi, nad ydwyt yn canfod ynot dy hun nemawr o'r cymmwysderau hyny, ond yn llwyr i'r gwrthwyneb, yr anghymmwysderau mwyaf. Wel, fe allai hyny, ac y mae yn debyg iawn pe bait ti yn gweled tegwch ac addasrwydd ynot dy hunan, na welai neb arall hyny ynot. I'r Eglwys yr ydwyt yn swyddog, nid i ti dy hun; ac os yw Duw yn dangos rhyw bethau iddynt hwy nad wyt ti yn eu gweled dy hun, pwy wyr nad yw hyny yn drugaredd, i'r dyben i'th ddarostwng yn dy feddwl dy hun, a

pheri i ti ymddiried yn yr hwn 'sydd gadarnach na thwrf dyfroedd lawer, na chedyrn donau y môr.' Ymddiriedodd llawer erioed i'w tegwch eu hunain, ac heb fod neb arall wedi canfod dim o'r natur ynddynt: nid rhyfedd gweled y cyfryw bron ar ymdori am ragor o barch, gan eu bod yn gweled fod pob parch yn eithaf dyledus iddynt. Mae eu bywyd yn fynych yn faich i'r cyfryw, nid oes ganddynt ddyben uwch wrth fyw na cheisio eu hunain.

Yr ydym yn cael hanes yn y Bibl am ryw ddynion, bod eu crefydd i gyd yn gynnwysedig yn hyn, 'fel yr ymddangosont i ddynion.' Rhyfedd mor wael, onidê? Pa faint gwell fydd i ti a minnau, pe bai yr holl fyd yn ein canmol wedi marw, a ninnau ar yr un pryd yn berwi yn y danllwyth oesol? Na fydded felly gyda thi a minnau; ond pa beth bynag a wnelom, gwnawn pob peth er gogoniant i Dduw. Bydded dy awydd i foddhau Duw, ac nid dynion. Trin dy holl achos rhyngot âg ef. Mae dawn yn sicr yn dda yn ei lle, ond nid oes dim yn gwneyd y tro yn lle crefydd bersonol rhwng yr enaid â Duw. Os blaenor, blaenor yn mhob peth; efe ddylai fod yn flaenaf gyda Duw ar bob achos. Y mae yn anhebgorol angenrheidiol i ti fod yn gyfarwydd iawn â'r nefoedd yn mhob amgylchiad. Pa fodd y gelli ddywedyd wrth yr ofnus fod Duw yn derbyn pechaduriaid, os na dderbyniwyd dy enaid di ganddo? Pa fodd y gelli sicrhau fod Duw yn maddeu anwiredd a phechod, os na chefaist brawf o hyny dy hun? Yr oedd Dafydd frenin yn flaenor, ac yn wir, efe oedd y blaenaf yn gyffredin ar bob achos gyda'r Arglwydd, fel ag yr ydoedd y brys mwyaf arno weled noson y *society* i ddywedyd wrth ei frodyr 'yr hyn a wnaeth efe i'w enaid.' Melys a gwerthfawr yw fod pethau y nefoedd yn dyfod yn frwd yn enaid y blaenor i'r Gymdeithas neillduol—y maent yn cenedlu yr un ysbryd hynaws a mwynaidd yn yr holl deulu, nes y maent yn ymglymu mewn cariad at eu gilydd, ac yn cydwledda ar y manna a ddaeth i waered o'r nef gyda hyfrydwch anghydmarol.

Mae yr yspryd sydd o Dduw, fy nghyfaill, o werth i gymmeryd trafferth nid bychan i'w feithrin a'i gadw; ac nid oes dim a feithrina yr yspryd hwn ond bywyd cydwybodol o gymdeithas â Duw, oblegid y mae pob yspryd, fel pob cnawd, yn cenedlu ei rhyw. Hawdd ydyw canfod hwn lle bynag y mae, oblegid y mae yn tori allan mewn purdeb, addfwynder, diduedd-rwydd, gostyngeiddrwydd, &c. Yr un peth ydyw a'r 'ddoethineb sydd oddiuchod; yr hon, yn gyntaf, pur ydyw, wedi hyny heddychol, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd, a diragrith.' Rhagoriaethau ydyw y rhai uchod sydd yn dra angenrheidiol i bawb eu meddiannu, yn enwedig y Blaenor. Gweddus ydyw i'r Blaenor flaenori yn hyn hefyd, fel y gallo ddangos y tir i ereill ag sydd yn dra chyfarwydd ganddo ef ei hun. Dywed yr apostol ysprydoledig am y ddoethineb hon, 'yn gyntaf, pur ydyw,' yn bur oddiwrth bob cymmysgedd aflan ac halogedig. Pur ydyw oddiwrth yspryd hunanol a balch, dan fantell o rith gostyngeiddrwydd, yr hwn sydd yn ymwneyd â phob peth crefyddol, gan waeddi, 'Wele fi.' Mae yr yspryd hwn mor bur a'r Duw a'i cenedlodd, fel nas gellir cymmysgu dim âg ef sydd o duedd gwahanol; efe a dardd i fynu o'r dyffryndir iselaf 'i fywyd tragywyddol.' Efe a hiraetha o ganol y llygredigaeth mwyaf am 'adgyfodiad y meirw.' Nid yw ffynon o'r un llygad yn rhoi dwfr melys a chwerw, ac ni ddichon pren ffigys ddwyn olifaid, na gwinwydden ffigys, ac ni ddichon un ffynon roddi dwfr hallt a chroyw.

Fy nghyfaill, dylai dy ddyben fod mor bur ag angel yn dy holl ymdriniaeth, a gwaith dy swydd, er y byddi yn deall, yr wyf yn coelio, fod cwblhau yr hyn sydd dda yn beth nad wyt yn medru arno. Purdeb, fel gwythïen euraidd, a ddylai redeg drwy dy holl ymwneyd â phethau cyssegredig. Rhydd hyn gysur i'r meddwl mewn amgylchiadau na all dim arall ei gysuro. Nid peth bach yw i ti allu dywedyd y diwrnod y'th ddiosgir o'th wisgoedd swyddol, 'puredd a gaed ynof ger ei fron ef.' O! mor ofnadwy yw ymdrin oes gyfan â phethau, ac â theulu Duw dan lywodraeth ysprydol, anianol, a chythreulig.

Y mae yr yspryd sydd o Dduw yn heddychol. Dyna y fath wrthddrych ydyw y Jehofa ei hun. Efe yw Awdwr a ffynonell heddwch, a Thywysog tangnefedd. Pan wisgodd gnawd, yn fwynaidd ac yn heddychol, fel Oen, ac nid fel blaidd yr ymddangosodd. Gwaed yr heddwch yw ei waed ef; teulu yr heddwch yw ei deulu ef; y defaid gwirion hyn, y gelwir hwynt. Os bydd rhyw un yn caru Duw a'i deulu, bydd yn caru heddwch, oblegid dyna yr yspryd sydd o Dduw. 'Yspryd addfwyn a llonydd, yr hwn sydd ger bron Duw yn werthfawr.' Byddai y Salmydd yn fawr am feithrin heddwch yn mhlith teulu Duw. 'Dymunwch heddwch Jerusalem; llwydded y rhai a'th hoffant. Heddwch fyddo o fewn dy ragfur, a ffyniant yn dy balasau. Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeillion y dywedaf yn awr, Heddwch fyddo i ti.'

Pan y bydd heddwch yn teyrnasu rhwng dy enaid dy hun â Duw, byddi yn gweled yn eglur ei fod o werth dyoddef llawer er mwyn ei gadw yn mhlith yr Eglwys hefyd. Ac yn wir, fy nghyfaill, lle y mae yspryd addfwyn a llonydd, y mae yn cenedlu ei ryw; sef, yn gweithredu yn y fath fodd ar ereill, nes argraffu tebygolrwydd ynddynt i'w gilydd. 'Megis mewn dwfr y mae gwyneb yn ateb i wyneb, felly y mae calon dyn i ddyn; ac fel y mae haiarn yn hog

haiarn, felly gwr wyneb ei gyfaill.' Y mae dynion yn hynod o dueddol i efelychu rhyw rai a fo uwchlaw iddynt. Yn fynych y clywir dywedyd, Y mae y bachgen o'r un tarawiad a'i dad, y ferch yr un archwaeth a'i mam, ac y mae delw y Blaenor ar yr Eglwys. Os balch fydd y Blaenor, pur debyg yr Eglwys; os cyndyn fydd i reolau y Corph, i'r hwn y mae yn perthyn, caiff ddigon o bleidwyr; os yn gellweirus, tebyg mai felly y bydd y rhai dan ei ofal. Nid wyf yn meddwl wrth ddywedyd felly y gall agwedd un dyn gyfnewid cyflyrau dynion, ond y gall agweddau anghrefyddol wneyd niweid i ysprydoedd a moesau crefyddwyr da, yn nghyda pheri i ddynion di-oruchwyliaeth roi mwy o raff i'w tueddiadau a'u hagweddau nag a roddent pe bai symylrwydd crefydd yn blaguro yn y Blaenoriaid; oblegid, yn fynych yr ydym yn gweled un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fynu, a thrwy hyny lygru llawer.

Fy nghyfaill, ymegnïa i gadw heddwch i mewn, beth bynag fyddo eisieu ei daflu allan. Ffynu wnaeth Eglwys Crist bob amser pan yr oedd heddwch yn y tŷ. Ni lwyddodd un offeryn a luniwyd i'w dinystrio, oblegid yr oeddynt oll yn un, ac un yn oll. Ond pan y torai rhyfel allan rhyngddynt â'u gilydd, fe fyddai yr olwg yn dra anobeithiol. Pwy all beidio ymuno i waeddi gyda'r Salmydd, 'Wele mor ddaionus, ac mor hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd: y mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron, yr hwn oedd yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef; fel gwlith Hermon, ac fel y gwlith yn disgyn ar fynyddoedd Sion: canys yno y gorchymynodd yr Arglwydd y fendith, sef bywyd yn dragywydd.'——Yr eiddot, yn rhwymyn cyfeillgarwch,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

## ORDEINIAD CENHADWR YN MYSG Y TREFNYDDION CALFINAIDD.

IONAWR 1af, 1840, yn y Bala, neillduwyd Mr. Thomas Jones, o Athrofa y Bala, gyda golwg ar ei fynediad allan fel Cenhadwr i Gymdeithas Genhadol Llundain. Yr oedd yn angenrheidiol ei ordeinio yn fuan ar ol ei dderbyn gan y Gymdeithas, gan y dysgwylir iddo hwylio allan yn un o'r misoedd nesaf; ac felly pennodwyd i hyny gymmeryd lle ar Ddydd Calan, yn Nghyfarfod Misol Sir Feirionydd, yn y Bala.

Am 7 o'r gloch y boreu, cadwyd Cyfarfod Gweddi, i ofyn cynnorthwyon y Goruchaf yn ngwasanaeth y dydd, ac i gyflwyno y Cenhadwr ieuangc i'w nawdd. Ar yr achlysur, gweddiodd y brodyr parchedig, Robert Griffith, Dolgellau; William Jones, Maethlon; Richard Roberts, Dolgellau; John Williams, Llanfachreth; David Rees, Capel Garmon, a Lewis Morris. Yr oedd arwyddion amlwg nad oedd y Goruchaf yn troi gweddiau ei bobl oddiwrtho ef, na'i drugaredd ef oddiwrthynt hwythau.

Am 10, darllenodd Mr. Richard Jones, Llanfair, Marc 16. a gweddiodd. Yna cymmerwyd y gadair lywydd gan Mr. Humphreys, Dyffryn. Mr. Hughes, Liverpool, a ofynodd yr holiadau i Mr. Jones yn nghylch ei brofiad crefyddol, ei farn athrawiaethol, a'i ymroddiad cenhadol, y rhai a atebwyd ganddo mewn modd dirodres ac effeithiol iawn. Y pregethwyr a'r blaenoriaid oedd yn bresennol, a ddangosasant eu cymmeradwyaeth iddo trwy godiad dwylaw; a Mr. Edwards, o'r Bala, a offrymodd i fynu yr urdd weddi. Mr. Jones mewn dull gostyngedig a daer erfyniodd weddiau ei frodyr drosto, gan dystio iddo, mewn Cyfarfod Gweddi gyda'i gyd-ysgoleigion yn yr Athrofa, weled y gwerth mwyaf yn ngweddiau pobl Dduw.

Dysgwylid Mr. Elias, Llangefni, i ddyfod i draddodi y *siars;* ond gan na allodd ef ddyfod, cyflawnwyd hyny gan Mr. Hughes, Liverpool. Seiliodd y cyngor oddiar 1 Tim. 6. 11. 'Tydi, gwr Duw.' Dangosodd fod yr enw 'gwr Duw,' yn egluro iddo ei swydd a'i le,—yn dynodi ei waith,—yn arddangos pa fath yspryd a ddylai fod yn ei lywodraethu,—yn rhoddi ar ddeall iddo pa le yr oedd ei gynnaliaeth,—ac yn ei sicrâu am ei lwyddiant. Yna Mr. Rees, Liverpool, a bregethodd oddiar 2 Cor. 10. 13—16. Wedi agor ei destun, sylwodd oddiwrtho ar ddyledswydd yr Eglwys gyda golwg ar yr achos Cenhadol. Nododd allan y trysor y mae y gwir genadwr yn ei ddwyn—'efengyl Crist,' gan ddarlunio angen y byd am yr efengyl, cyfaddasrwydd ei bendithion i'r byd, a'i chyflawnder gogyfer â'i angen;—y rheol wrth ba un y mae yr efengyl yn cerdded yn y byd; 'mesur y rheol a ranodd Duw;' nid oes dim o ddamwain yn dygwydd i'r efengyl;—fod yr holl ddaear wedi ei mesur allan i'r efengyl; 'nid ydym yn ymestyn allan tu hwnt i'n mesur;' mai dyledswydd y rhai a gafodd yr efengyl yw llafurio i'w hanfon i ereill; a'r yspryd yn yr hwn yr ydym i wneyd y gwaith hwn; 'atoch chwi,' a 'hwnt i chwi;' dyna ddylai fod ein harwyddair; a'r amser y deuwn yn offerynau cymmwys i Dduw wneyd rhyw beth gyda ni; 'pan gynnyddo eich ffydd chwi.' Ffydd a rydd i ni ddirnadaeth o gyflwr arswydol y byd, nes y teimlom drosto,—a wna gymmelliadau yr efengyl i'r gwaith yn nerthol yn ein calonau,—a'n gwna yn mhob peth yn gyssegredig i achos Crist, ac a ddengys sicrwydd llwyddiant yr achos nes ein gwneyd yn wrol.

Yr oedd rhyw lewyrch annarluniadwy yn cydfyned â thraddodiad y 'Cyngor,' a'r 'Bregeth,' yr Arglwydd yn rhoddi seliau ei foddlonrwydd ar y Cyfarfod yn y modd amlycaf, a'r gynnulleidfa luosog yn tystio fod Duw yn ddiau yn y lle.

Y moddion cyhoeddus ereill yn y Cyfar-

fod a gynnaliwyd fel y canlyn:—Am 2, gweddiodd Mr. Thomas Kynaston, Swydd Drefaldwyn, a phregethodd Mr. Richard Jones, oddiar Act. 7. 51, a Mr. Hughes, oddiar Rhuf. 5. 21.

Am 6, gweddiodd Mr. David Davies, Swydd Ddinbych, a phregethodd Mr. Roger Edwards, Wyddgrug, oddiar Esay 9. 6, a Mr. Rees, oddiar Rhuf. 5. 18. Yr oedd yr amddiffyn ar y gogoniant trwy yr holl od faon.

Bydd yn dda gan ddarllenwyr y Drysorfa glywed y bwriedir cyhoeddi hanes helaethach ar fyrder mewn Llyfr, yr hwn a gynnwysa Atebion Mr. Jones, y Cyngor gan Mr. Hughes, y Bregeth gan Mr. Rees, gyda Rhaglith gan Mr. L. Edwards, A. C.

Nid ydyw etto yn benderfynol yn mha le y sefydlir Mr. Jones, ai yn yr India Ddwyreiniol, neu Affrica Ddeheuol, &c. ond ceir gwybyddiaeth yn fuan am hyny. Yr Arglwydd ei Dduw a fyddo gydag ef i ba le bynag yr elo.

---

## MODD I IACHAU BRATHIAD NEIDR.

Barchus Syr,—Yr wyf ar eich dymuniad yn anfon i chwi hanesyn gwir a rhyfedd am ddygwyddiad a ganfum ar fy nhaith yn America, gan hyderu y dichon iddo fod o fawr werth i'r neb a frather gan neidr wenwynig.

Yn y flwyddyn 1833, pan oeddwn mewn pentref a elwir Nesquehoning, yn Northampton County, State of Pensylvania, yn America, yr oedd gwr ieuangc o Gymro, o'r Deheudir, yr hwn oedd yn weithiwr o dan y Cwmpeini, Holland, Barber, & Co. yn un o'm cydnabyddion. A phryd yr oedd amryw o honom gyda'n gilydd, nyni a ganfuom fath o neidr wenwynig a thra ffyrnig, a elwir Neidr Gynffondrwst (*Rattle Snake*). Nyni a'i hamgylchasom hi, â ffyn ac arfau yn ein dwylaw, a hithau yn symud yn araf yn ei blaen, gan chwythu yn arswydus tuag atom.

Ond ar y pryd, pan oedd pawb yn sefyll yn lled bell oddiwrthi rhag ei hofn, dynesodd y Cymro crybwylledig ati o'i thu ol, ac yn ei ryfyg a'i ysmaldod, efe a gyffyrddodd â'i chynffon hi. Ar darawiad amrant, hi a drodd ato, ac a'i brathodd yn ffyrnig yn ei arddwrn. Ac er na wyddai neb yn y wlad hono, nac mewn un wlad arall ar a glywais i erioed, am un feddyginiaeth rhag brathiad y neidr hon, etto, anfonwyd am feddyg ato yn ddioed; a'r meddyg a ddaeth, ac a arferodd y moddion goreu a wyddai efe am danynt. Ond dechreuodd arddwrn, a llaw, a braich y gwr ieuanc chwyddo yn arswydus iawn er pob moddion a arferwyd i'w ddarostwng.

Dygwyd y gwr ieuanc i mewn i dŷ tafarn, ac yno gosodwyd ef i orwedd ar y bwrdd mewn poen dirfawr, hyd nes aeth ei fraich cyn braffed a'i glun. Nid oedd dim ond marw yn y golwg. Dychrynodd y llangc yn ddirfawr pan ddechreuodd y chwydd gerdded o'i fraich i'w ystlys nesaf ati, a dechreu gwasgu ar ei wynt ef, fel y dechreuodd anadlu yn fŷr a mynych, a ninnau yn alarus heb ddim i'w wneyd ond edrych arno.

Yn y fan, trwy rhyfeddol drefn rhagluniaeth, daeth un o'r Isellmyn (*Dutchman*) heibio, yr hwn oedd a'i breswylfa yn y coed, ac a ofynodd beth oedd y mater. Mynegwyd iddo yn ddioed am y llangc ag oedd yn marw mewn poen ddirdynol drwy effaith brathiad y *Rattle Snake*. 'Myfi a'i iachaf ef,' (eb efe,) os ydyw heb fod yn rhy ddiweddar. Efe a aeth i mewn ar frys at y llangc, ac a orchymynodd ferwi crochanaid mawr o ddwfr yn y fynyd, a dodi dau neu dri dwsin o boteli chwart gwydr yn y dwfr i'w poethi. Gwnaeth pawb a allent i gyflawni ei orchymyn gyda brys mawr.

Yna, wedi cael y poteli yn boethion, efe a gymmerodd un o honynt, ac a ddododd ei cheg ar y briw, gan ei gwasgu yn dŷn arno, i sugno y gwaed a'r gwenwyn yn gymmysg i'w mewn. Ac wedi i'r botel gael ei dal ar y briw oddeutu mynyd a hanner, efe a gymmerth un arall, ac a wnaeth yr un modd; ac yn mhen ychydig fynydau, sef, wedi defnyddio tair neu bedair o'r poteli, dechreuodd y chwydd leihau, a'r llangc yn myned yn esmwythach, nes o'r diwedd y ciliodd y chwydd yn llwyr, ac y daeth ei fraich a'i arddwrn i'w maintioli cyffredin, yna efe a beidiodd, gan orchymyn i'r meddyg roi eli wrth y briw: felly fe'i cwbl iachawyd ef. Mi welais y briw wedi ei sugno gymmaint nes oedd yr asgwrn yn ymddangos yn wŷn yn ei waelod. Gallaf dystio gwirionedd y peth, canys mi a'i gwelais â'm llygaid fy hun.

Gwyddom fod poethi potel yn peri teneuo yr awyr a fyddo o'i mewn, ac wrth ddal ceg potel wag ar y briw, yr oedd hi yn dygn sugno y gwaed o hono. Ac mae yn amlwg pe gwneid hyn yn fuan yr iacheid brathiad neidr wenwynig yn ebrwydd iawn. Ac yma gofynaf i wyr deallus, a fyddai y moddion hyn ddim yn debyg o iachau brathiad ci cynddeiriog yn gystal a brathiad neidr? Diau ei fod yn werth rhoi prawf arno er mwyn arfer moddion i achub einioes dyn.

Manuel Jones.

*Wrexham, Tach.* 25, 1839.

---

## 'COFNODAU CYMDEITHASFAAU Y TREFNYDDION CALFINAIDD.'

*Sylw ar gynnygiad Trefniedydd ac ar Sylw Iorwerth ab Owain.*

Mr. Traysorydd,—Wrth droi dalenau eich Cyhoeddiad teledin yn ystod y flwyddyn a aeth heibio, sylwais fod rhyw Drefniedydd yn cynnyg gwellhad yn y dull o gadw Cofnodau Cymdeithasfaau a berthyna i'r Trefnyddion Calfinaidd. Nid oes neb, tebygwyf,

a all wadu nad oes gwir angenrheidrwydd am gael gwell trefn o barthed y matter dan sylw

Ond wrth sylwi yn fanylaidd ar y testyn, erfyniaf eich nodded i gyflwyno y cynnygiadau canlynol, nid fel gwrthwynebiad i dri chynnygiad Iorwerth ab Owain, ond fel gwellhad arnynt.

1. Fod i Gyfarfodydd Misol, De a Gwynedd, gymmeryd y matter hwn dan sylw, ac edrych am ddau wr ieuangc (heb fod yn bregethwyr) medrus, ac athrylith ganddynt i ysgrifenu yn gywir ac yn rheolaidd, ac yn barod i ymgyflwyno i'r gwaith, un yn y Gogledd, a'r llall yn y Deheu i gynnal Gohebiaeth barhaus â'u gilydd.

2. Bod yr Ysgrifenyddion hyn i fod yn bresennol yn mhob Cymdeithasfa Chwarterol, heb ffael; ac anfon copi o hanes y Cymmanfaoedd i'r Drysorfa; ond bod i Adroddiad manwl, (mor fanol ag y gellid ysgrifenu) i gael ei gadw mewn Llyfr at y perwyl yn unig—a bod y Llyfrau i gael eu hanfon bob blwyddyn o Ogledd a Deheubarth i Lyfrgell yr Athrofa, i ofal y Parchedigion D. Charles ac L. Edwards, ac yno y gall unrhyw gangen o Eglwys appelio am ryw wybyddiaeth fanylaidd ar unrhyw bwngc dan sylw y Cymanfaoedd.

3. Na byddo y Parch. Mr. Charles yn cael ei ddiswyddo; ond ei fod yn cael ei ystyried yn Brif Ysgrifenydd, neu Olygydd Adroddiadau Cymmanfaoedd y Trefnyddion Calfinaidd yn Neheubarth Cymru, ac yn y Gogledd hefyd.

Tebygwyf fi fod Iorwerth ab Owain yn haeddu canmoliaeth am ei Sylwadau ar y pwngc dan sylw; ond y mae yn resyni mawr fod cymmaint o hwyrfrydigrwydd yn cael ei ddangos ar ran ereill. Dylem ystyried mai oes y Diwygiadau ydyw yr oes hon, ac y bydd Diwygiadau yn cerdded pan fyddom ni wedi ein claddu. Beth a ddywed yr oes a gyfyd ar ol hon pan y darllenont ein Hadroddiadau ni o gyfarfodydd crefyddol? Yn ddilys i chwi, Syr, byddaf bron a chwerthin yn wawdus weithiau, a phryd arall yn gofidio mewn gresyni at yr hyn a gofnodir o Gymmanfaoedd a Chyfarfodydd ereill. Hanner tu dalen yn cael ei ladrata oddiar beth amgenach i gofnodi fod y Parch. hwn a hwn yn pregethu ar y fan a'r fan, a bod yr hin yn hynod o gysurus—y dyrfa yn lluosog—ac y gallem ddywedyd, 'Da oedd i ni fod yno,' neu ryw beth i'r ystyr. Mae hwn wedi myned yn niwedd pob Hanes Cyfarfod, fel gair y Person yn yr Eglwys ar ddiwedd darlleniad y Bennod o'r Hen Destament, 'Yma terfyna y llith gyntaf;' a bron na ddywedwn i, fel ereill, anfonwch i mi bapur gwyn fel yr ymddifyrwyf i ddysgu ysgrifenu neu ryw beth.'

Ond etto, Syr, nid ydwyf heb wybod i raddau am eich teimladau chwithau o barth y peth; ac nid ydwyf heb wybod hefyd am y *struggle* mawr sydd yn cymmeryd lle yn mynwesau amryw am fod yn awduron, ac yn ysgrifenwyr i'r Drysorfa. Ofni yr ydych, onidê, dderbyn pwysau dyrnau *plant y wlad*, ac heb gael rhyw lawer iawn o swcwr moes-gymhenllyd *meibion y trefydd?* ofni yr ydych, onidê, beri i ambell un ddywedyd yn ei eiddigedd, 'Ni ysgrifenaf fi byth i'r Drysorfa, P'am na buasai Mr. Parry yn rhoi Hanes y Sasiwn (neu Gyfarfod Ysgolion) i mewn, wedi i MI fyned i boen i'w ysgrifenu ef iddo?' Ac etto, ar y llaw arall, gwell cael rhyw air na dim, a chaiff yr oesau dyfodol ddifyru eu gilydd â dywedyd fod Cyfarfod Ysgolion, &c. wedi cael ei gynnal yn y fan a'r fan, a throi dalenau henafiaeth, a thaeru â'u gilydd, pwy oedd y llefarwyr, ac a oedd eu gwaith yn llesol ai peidio.

Onid gresyni ydyw fod Cyfarfod Ordeinio y Parch. T. Jones yn Genhadwr, a gymmerodd le ddydd Calan yn y Bala, heb *Report* cyflawn o hono (mae'n debyg) yn y Drysorfa.* Y Drysorfa a arddelwir fel cyhoeddiad y Corph. Y Drysorfa, y llyfr a ddarllenir gan lawer iawn yn eithafion y Deheudir a Gogledd Cymru, yn nghynhyrfus drefydd Lloegr, ac hefyd yn mhellafion y gorllewin, yr America. Y Drysorfa, y cyhoeddiad sydd â'r naill rifyn o hono ar ol y llall, fel cynnifer o feini dysgleirwych i wneyd un Drysorfa werthfawr i'r oesau dyfodol, yn cael eu hadeiladu ar sylfaen a osodwyd gan y Parch. T. Charles, o'r Bala. Wel, rhaid dywedyd gyda galar mai fel hyn y mae pob cyfarfod bron o eiddo y Methodistiaid Calfinaidd yn dybenu heb yr un gof adail formoraidd yn gof am dano, ond rhyw gareg fechan yn dywedyd fod yno Sasiwn dda ryfeddol, a dim yn rhagor.

Mae arnaf lawer o ofn, ac nid heb achos hefyd, bod i chwi, Syr, a'ch cyhoeddiad yr un modd, lawer mwy o *Feirniadwyr* nag o *Ddiwygwyr*. Mae rhai dynion nas gallant fyned ar eu ceffylau heb gareg farch; felly hefyd mae amryw nas gallant ddringo ar farch eu hanrhydedd, heb roi personau neilldnol, a Chyhoeddiadau, ac ysgrifau ereill, mewn gair, *pawb* a *phob peth* dan eu traed, a dywedyd, 'Pw! pw! sal iawn—ac y mae y Drysorfa yn wael dros ben, a'r holl gyhoeddiadau Cymreig yn wir, nid

---

* Mae yn llon genym allel hysbysu i'n cyfaill, a'n Gohebydd diffuant (hyderwn) fod Hanes cyflawn o'r Cyfarfod Ordeinio yn y Bala yn debyg o gael ei argraffu yn Llyfryn ar ben ei hun, a dilys genym y croesawir ef yn effrous gan lawer iawn o'n cydwladwyr. Ac yr ydym yn gadael ei bwngc ef wrth draed ein cyfeillion, i gael ei ystyried i bob manyldra; ond gwyr pawb fod yr amcan yn dda, ac angen am y peth, ond y cwestiwn yw, a ydyw y ffordd a gynnygir i'w geisio yn ddiogel i'w thramwy ai peidio. Barned ein brodyr.—Gol.

yw ddim yn werth rhoi amser i'w darllen,' pan ar yr un pryd y bydd mwy o synwyr mewn brawddeg nag y gallant hwy ei amgyffred, a mwy o gywreinrwydd mewn odl nag y medrant hwy ei weled; ie, mwy o fedrusrwydd mewn dwy linell nag a allant hwy ddwyn at eu gilydd trwy eu hoes; ac wrth bob un o'r rhai hyn gellwch ddywedyd yn ngeiriau y Bardd,

Addas yw dywedyd iddo,—nad ydyw
Dadwrdd coegion gwallgo',
Na thwrf can mil o'i fath o
Yn werth creuloni wrtho.

Maddeuwch i mi, Syr, os ciliais dipyn bach o yspryd eich cyhoeddiad; hwyrach nad yw yn fflangeli heb ei haeddu.

Ac yn awr, dymunwyf bob rhwydd hynt i chwi, a phob ffawd dda ar ddechreu y flwyddyn newydd; a hyderwyf y bydd i chwi wneyd eich goreu ar gael rhyw benderfyniad i'r cynnygiad presennol; a gwn y chwanega hyny lawer at fuddioldeb a gwerth eich Cyhoeddiad clodwiw.—Ydwyf yr eiddoch,

*Mynachlog C——.* ABAD.

---

## COFIAINT.

*Cofiant am* ANNE WILLIAMS, *o'r Blochdy, Llanidan, Mon.*

AR yr 22ain o Fedi diweddaf, bu farw, o'r darfodedigaeth, Anne, unig ferch Mr. Richard Williams, Blochdy, plwyf Llanidan, Mon, yn 19 oed.

Cafodd y fraint o'i dwyn i fynu yn Eglwys Dduw yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd; a'r goron hon hi a gadwodd, fel na ddygodd neb oddiarni, hyd ddiwedd ei gyrfa yn y byd. Gresyn na aller dywedyd hyn am lawer o'i chyfoedion. Pa sawl ugain a gawsant yr un manteision a hithau yn nechreu eu dyddiau, ond pa le y maent yn awr? Diau syrthiodd eu coron oddiam eu pen. O! achos wylo.

Ond y mae gweled rhai ieuaingc, megis gwrthddrych y Cofiant byr hwn, wedi glynu yn ei phroffes hyd y diwedd, yn peri llawenydd yn nghanol tristwch i rieni ysprydol, a naturiol; a pha faint mwy i'w henaid ei hun, pan yn cael ei chymmeryd ymaith o fynwes Eglwys Dduw i fynwes Iesu, yr hwn a roes ei fywyd drosti. O! anrhydedd! O! fraint! pwy a'i prisia? Dyger cannoedd o ieuengctyd ein hoes i feddiannu y 'rhan dda' hon.

*Beaumaris.* W. B.

---

*Byr goffadwriaeth am Mrs.* E. WILLIAMS, *gwraig Mr. J. Williams, Masnachydd, a merch hynaf Mr. Pritchard, Llanrwst.*

HUNODD Mrs. Williams yn yr Iesu, y 24ain o Ragfyr, 1839, yn 36 mlwydd oed, ac a gladdwyd yn y gladdfa berthynol i gapel y Trefnyddion Calfinaidd yn y dref uchod yr 28ain o'r un mis.

Gweddiwyd cyn cychwyn gan y Parch. William Jones, Rhuddlan. Traddodwyd araeth gynnwysfawr wrth y bedd gan y Parch. J. Prytherch. Dechreuwyd y moddion yn y capel gan y Parch. Daniel Jones, Llandegai, a phregethodd y Parch. Isaac Williams, Swydd Fynwy, oddiwrth Heb. 11. 13. 'Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll.' Yr oedd y bregeth yn hynod briodol i'r amgylchiad, a'r cymmwysiad o honi at y dyrfa luosog yn dra effeithiol. Canwyd hefyd amryw benillion, ac anthemau addas i'r amgylchiad yn dra syml a soniarus oddiwrth y tŷ at y gladdfa, wrth y bedd, ac yn y capel.

Yr ydoedd Mrs. Williams wedi ei dwyn i fynu o'i mebyd yn Eglwys Dduw gyda'r Trefnyddion Calfinaidd; ac yr ydoedd ei hymarweddiad yn deilwng o'i phroffes, fel y gellir dywedyd am dani, 'Ei bod yn ofni yr Arglwydd;' ac am hyny, ni chafodd yr Eglwys achos ei galw i gyfrif, na'i cheryddu am un camymddygiad yn ei hoes.

Gwelwyd arwyddion ynddi, pan yn eneth ieuangc, ei bod yn ymhyfrydu yn ngwaith yr Arglwydd, ei air, a'i ordinhadau. Dysgu pennodau, adrodd pregethau, teithio i Gyfarfodydd crefyddol, a chwmni y saint, oedd y pethau yr ymhyfrydai yn benaf ynddynt. Yr oedd ei hagwedd yn llefaru yn foreu yn debyg i Ruth gynt, 'Dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fydd fy Nuw innau, a'r lle y byddech di farw y byddaf finnau farw, ac yno y'm cleddir.'

Pan y byddai yn myned i Gymmanfaoedd, neu Gyfarfodydd pregethu, ni byddai yn ymwychu mewn gwisgiadau coegfalch, megis ag y mae arfer rhai, ond yr hyn a fai yn gweddu i rai yn proffesu duwioldeb, a mynych y gwelid hi yn ymwasgu at y rhai mwyaf ysprydol ac a fyddai yn mwynhau mwyaf o ymweliadau yr Arglwydd, pa un bynag ai tlawd ai cyfoethog a fyddent. Ac felly cafodd y fraint o wneuthur cyngor yr apostol i Timotheus, 'Ond chwantau ieuengctyd ffô oddiwrthynt, a dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, tangnefedd, gyda'r rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur.' Ac fel gwraig hefyd, gellir ei rhestru yn deilwng yn mysg y gwragedd rhinweddol, a dywedyd am dani yn debyg ag y dywedodd Solomon, 'Gwerthfawrocach ydoedd hi na'r carbwncl; calon ei gwr a ymddiriedai ynddi, fel na byddai arno eisieu anrhaith. Hi a wna iddo les ac nid drwg, holl ddyddiau ei bywyd.'

Yr oedd Mrs. Williams yn hynod fedrus, a llafurus yn ei masnach, ac er nad oedd ei phriod yn fŷr mewn gofal, na medrusrwydd i gario ei fasnach helaeth yn mlaen, etto, nid oedd yn foddlon i adael y gofal na'r llafur arno ef yn unig, ond dewisai gydymdrech, a chyd-ddarbod âg ef yn mhob peth, hyd eithaf ei gallu. Diammeu nad oedd Mrs. Williams ychwaith, er ei

llafur a'i llwyddiant bydol, yn anghofio nac yn esgeuluso achos a gwaith yr Arglwydd. Yr oedd yn dangos hyn trwy y parch a ddangosai i Weinidogion y Gair, y rhai a dderbyniai yn llawen i'w thŷ, ac a gai ymgeledd a chroesawiad cysurus ganddi. Ar amser y Gymmanfa Flynyddol hefyd, byddai yn darparu yn dra haelionus tuag at groesawu Pregethwyr, Diaconiaid, ac ereill a ddeuai i'r wŷl; ac er fod ei chystudd yn fawr, a'i nerth yn pallu, y dyddiau o flaen y Gymdeithasfa ddiweddaf, gellir dywedyd mai ei gofal penaf oedd darparu tuag ati. Ond wedi gorchymyn darpariadau angenrheidiol, boreu ddydd Mawrth o flaen y Cyfarfod, ehedodd ei rhan anfarwol i gymmanfa a chynnulleidfa y rhai a berffeithiwyd, i weled Iesu fel y mae, a bod byth yn debyg iddo yn y wlad lle na ddywed neb o'r preswylwyr *claf ydwyf.*

Yn awr, wrth adael yr ychydig hanes anmherffaith hwn am ein hanwyl chwaer grefyddol, a ymadawodd oddiyma yn yr Arglwydd, y mae fy myfyrdod yn ehedeg ymaith ar adenydd dychymyg i ymddyddan ychydig â'i phriod serchog sydd wedi ei adael gyda'i fachgen ieuangc i alaru ar ei hol.

Diangc ymaith wnaeth fy meddwl,
Bron yn gwbl bellder maith,
At ein brawd sydd mewn iselder,
A mawr drymder ar ei daith;
Pa'm yr ydych mor alarus,
A gofidus heddyw'ch gwedd,
Am eich gweddus lwys Eliza,
Aeth i Wynfa at y wledd?

Pwy a ddichon lai nac wylo,
A fai'n teimlo'm colled ddwys,
Am un gymmwys wiw ymgeledd,
Roed i orwedd dan y gwys;
Nid oes gobaith o'i dychweliad,
Na'i hadferiad i mi mwy,
Er ymchwilio ac ymofyn,
Ei lle nid edwyn mo'ni mwy.

Gwir fod galar yn naturiol,
A gobeithiol am y saint,
Sydd yn huno yn yr Iesu,
Pwy all benu gwerth eu braint?
Elw iddynt yw marwolaeth,
Buddugoliaeth ddaeth i'w rhan,
A diangfa yn dragywydd,
Draw o'r cystudd mawr i'r làn.

Minnau ydwyf wir hyderus,
A dibetrus gredu hyn,
Fod f'anwylyd heddyw'n canu
'R ochr draw ar Sion fryn;
Ond myfi ni chaf ei chwmni,
I gyd dynu ar y daith,
'Madael wnaeth, a mudo ymaith,
Draw i drag'wyddoldeb maith.

Chwi a gawsoch eich cytundeb,
Mewn gwir undeb anwyl eu;
Dyma'r ammod wrth ymuno,—
'Hyd wahano angeu du:'
Ond hyderaf fod gwir undeb
Rhwng ei henaid â Mab Duw,
Ag nas gall y bedd nac angeu
Ddatod c'lymau'r ammod gwiw.

Gwn mai benthyg oedd f'anwylyd,
Ge's dros enyd gan fy Nuw,
Ac efe a'i dygodd ymaith,
Ato eilwaith etto i fyw:
Y mae ganddo bob awdurdod,
Yn y ddaear fawr a'r nen;
Ynddo bellach ymgysuraf,
Ac a'i molaf mwy,—Amen.

E. RICHARDSON.

---

## DYDDANION.

### Y TYWYSOG SALADIN.

Y tywysog mawr Saladin, er ei fod yn Fahommed, ydoedd ddoethach na llawer o Gristionogion proffesedig. Wedi iddo oresgyn yr Aipht, myned trwy Euphrates, ac adennill Jerusalem, a gwneuthur llawer gorchestwaith arall, wrth ddybenu ei einioes, gwnaeth yr hyn a deilynga gof a chadw.

Ychydig cyn ei farw, galwai ar y gwron yr hwn oedd yn dwyn ei faner o'i flaen yn ei holl ymladdfeydd, a gorchymynai iddo osod ar flaen yr yspèr (*lance*) yr amdo yn yr hwn y cleddid ef yn fuan. 'Dos,' eb efe, 'caria yr yspêr, diblyga y faner—a phan y dyrchefi hi, gwaedda—'Hyn oll a erys o ogoniant Saladin Fawr.'' T.

### PRYDYDD FFRAETH A PHAROD.

AR ddydd gwaith, yn Swydd Gaernarfon, fel yr oedd 'Prydydd parodawl' yn teithio ar hyd y ffordd fawr sydd yn arwain o Lanllyfni i Gaernarfon, trodd i mewn i dŷ ar fin y ffordd i danio ei bibell, er difyrwch iddo ei hun ar ei daith. A chyda'i fod dros y trothwy, efe a glywai wr y tŷ yn gwneyd rhyw sŵn canu gwag heb ddim sain geiriau. Cyfrifai y prydydd ganu o'r fath hwnw yn hynod o wael ac ysgafala i wr tŷ fod yn ei sŵnio yn mysg ei blant a'i deulu oddeutu y tân. Wedi iddo ymwrando ychydig, tra yn sugno y mŵg drwy ei bibell, efe a'i tynodd o'i enau, ac yn ddiragfyfyr, efe a ddywedodd fel hyn:—

'Cân englyn, hoywddyn, heddyw,—cân fawl,
Cân foliant i'r gwir-Dduw;
Nid addas canu di-Dduw;
O ceni ddim, cân i Dduw.'

HENRY PARRY.

---

'BETH yw y sêr?' meddai un yn ddiweddar. Atebai un arall, 'Dim ond ôl penau bysedd Duw ar sidan glâs y ffurfafen. Ps. viii. 3.—T.

# BARDDONIAETH.

### BEDDAU Y GWEINIDOGION.*

RHIF. I.

*Myfyrdod hiraethlawn ar Farwolaeth y Parch.* D. CADWALADR, *Penrhiw, Bala.*

Y MAE hiraeth im' o herwydd,
  Marw Dafydd Meirion deg;
O! fy nhad i fynu 'hedodd,
  Mae'n gwywo chwim fy nheimlad
'Rwy'n wylofain am ei lafar; [chweg;
  Am ei seingar ddengar ddawn,
Ond dyma awel yn adfywio,
  Fy serchiadau oll yn llawn.

Chwythu'r lludw, cyneu'r fflamau
  Y mae'r awel hyfryd hon,
Swyno'm serch, sirioli'm henaid
  Mewn adgofion hyfryd llon,
Am odidog ehediadau,
  Ei bregethau llawn eu lles,
Iachus union a chysonol
  I agor deall, a rhoddi gwres.

Mae yn oleu fod anelwig
  Sylwedd defnydd Dafydd deg,
Wedi eu llunio gan ei Grewr
  At ei orchwyl yn ddi freg;
Ei gu ranau a gywreiniwyd
  I oddef pwys y dydd a'r gwres,
Cryf a chadarn, ac iach ydoedd,
  Mewn eithaf llun i wneuthur lles,

Da ei agwedd a diegwan
  At waith y winllan, wiwlan wr;
Cryf ei esgyrn, cadarn osgedd,
  Fe'i gwisgwyd, do, âg arfau'r Twr;
Nid anwes moethau, neu esmwythyd,
  Oedd ei fryd, na gwynfyd gwael;
Cerddai, teithiai ar bob dwthwn
  Heb fawr ddobr na gwobr i gael.

Yn ddiomedd cadwai ammod
  O ddifri, heb dori unrhyw daith;
Drwy bob hinoedd a thymhestloedd,
  Nid am wobr, ond am waith.
Bryniau Meirion sy'n ymorol,
  Am eu siriol ddoniol ddyn,
Maent yn edrych a ddaeth adref,
  Gan wylo'n hidl yn gytun.

Dan fis union, 'rwyf yn synu,
  Ydwyf, a rhyfeddu'n fawr,
Y bu Dafydd gyda'r defaid
  'N dysgu darllen y Bibl mawr;
Heb un athraw na dysgawdwr,
  Yn ddrwg ei gyflwr, ac yn gaeth,
Heb un a roddai gyfarwyddyd,
  Nac un dafn o'r didwyll laeth.

Ni fu marw o fewn Meirion
  Er ys mil o flwyddau maith,
Yr wyf yn tybio heb ormodiaith,
  Ac nid oes yn fyw ychwaith,
Un yn meddu cof càn gryfed,
  Nid oer hanes im' yw hyn,
Ni allai neb ei ddal na'i dd'rysu
  Mewn un adnod o'r Llyfr Gwyn.

O! na buasai yn peth possibl,
  Hyn o fael im' gael dy go,
Pur ddidrafferth i ddyn diog
  Fuasai hyny lawer tro;
O! ffol arw, a ffiloreg,
  Ydyw hyny, nid oes modd;
O! ddyn dwl, defnyddia'th dalent
  Gefaist gan dy Dduw yn rhodd.

O! dwl ydwyf, a dyledwr
  I fy Mhrynwr, ac i'w saint,
Am fendithion, ac am freintiau,
  Aml eu rhif, nas gwn pa faint,
Am efengyl i fy angen,
  Am arweinwyr tua'r nen,
A gwir hanes y Gwr hynod,
  Fu'n trengu'm prynu ar y pren.

Yr oedd awel ei weddiau
  Yn cyfrannogi o nerth a sawr
Yr yspryd hyfryd oedd ar Pedr,
  O fewn i ddinas Salem fawr,
Pan y galwyd pump o filoedd,
  Trwy nerth mawr yr Yspryd Glân,
A phan dröwyd mŵg y pydew
  I lawr yn ol ar ben y tân.

O dan y tawddfôr hylwydd helaeth
  Yr oedd Dafydd yma'n byw,
Sef, dyfroedd gloyw iechydwriaeth,
  Iachusol iawn eu rhin a'u rhyw,
Esboniai g'lonau dynion claear,
  A agorwyd lawer gwaith,
I groesawu Ceidwad Sïon,
  A'i hyfryd iechydwriaeth faith.

Yn wir finnau, ni w'rafunaf,
  I'm serch a'm hawen gael eu hynt,
Ni ddywedais ormod etto,
  Mi ddylaswn dd'weyd yn gynt,
Am y gras a'r doniau dinam
  D'walltodd Pen yr Eglwys lân
Ar ddyn mor dlawd, mor ddifanteisiol,
  Ag oedd testyn fy ngwael gân.

Fe allai nad oedd Lock a Newton
  O ran natur ddim yn fwy,
Ond eu diosg o'u harddunau,
  A'u dysgeidiaeth helaeth hwy;
Yn wir mi dybiaf hyny'n debyg,
  O ran nerth meddwl, diddwl, doeth,
Un o werthfawr feibion Sïon,
  Ydoedd cystal ac aur coeth.

Pump o ddegau yn ddiogel,
  Dwy ychwaneg, diau i chwi,
Y bu Dafydd yn was dyfal,
  Yn dwyn perlau'r groes i ni;
Teithiold Gymru'n gyfan drwsodd,
  De a Gwynedd lawer gwaith,

* Wedi derbyn hon oddiwrth fy nghyfaill cymmellwyd fi i anfon rhes, o dan y cyffelyb ben, i chwi i'w cyhoeddi o bryd i bryd. TEGIDON.

Hauodd hadau Gair y bywyd
  Drwy y Dywysogaeth faith.

Da ei agwedd a diwegi,
  Gostyngedig, diddig ddawn;
Ië, difalch ydoedd Dafydd,
  Nod y nef a ddygai'n llawn;
Mae'n ymddangos iddo ddiengyd
  Heibio i Arabia boeth,
Cadwa'i wisg yn wên a dysglaer,
  Ac ni rodiai byth yn noeth.

Yn beraidd hynod y barddonai
  Farwnadau, moddau mêl,
I'r duwiolion a aethant adref,
  Sydd o fewn y nef dan sêl;
Hedodd ar eu hol i orphwys,
  Ca'dd ei dywys i liw dydd,
At y dyrfa hyfryd nefol,
  Uwch y ser yn iach y sydd.

Hirfaith fwriad arfaeth foreu,
  Oedd y graig a'i gwnaeth yn gryf;
Yr oedd yn wrol fel yr eryr,
  Heb ddim braw uwchllaw y llif;
Cyfammod Trindod cyn bod bydoedd,
  Yn niwedd nod a fu ei nyth;
Cyfammod hynod ydyw hwnw,
  Ac a bery yn enwog byth.

O! dirion, dirion, eangderau,
  O! ryfeddodau mwy eu maint,
Nag a welodd sêr y boreu,
  Cariad Iesu at eu saint;
Gan yr Iesu cyn yr oesoedd,
  Seliwyd y Cyfammod llawn,
Sef Cyfammod hedd i gadw
  Myrdd myrddiynau lawer iawn.

Byddai hawddach i'r morgrugyn,
  Ddwyn yr Andes yn ei big;
Byddai haws i'r brithyll bychan
  Lyngcu môr y De mewn dig;
Byddai haws i'r llyffant hefyd,
  Yru'r Alps o'i flaen i'r môr,
Nac i ddiafol a'i angylion,
  Byth ddadymchwel arfaeth Ior.

Yr oedd ei lonaid o lawenydd,
  Yn mhorth angeu creulon cryf,
Ar oriesin Graig yr oesoedd,
  Ac union hedd y canai'n hyf;
Uwch llifeiriant y llefarai,
  Ac y safai ar ei sail;
Bloeddiai, canai iach accenion,
  Am gadernid Adda'r ail.

Yr oedd ei lestr yn hwylusdeg
  Ar y môr o wydr clir,
Llon ei helynt—llawn o hwyliau,
  Oedd yn ngolwg Salem dir;
Nef yn gwenu, clychau'n canu,
  Angylion gwynion oedd yn gu,
Iddo'n gweini'n nglàn gogoniant,
  A dwyn ei enaid at y llu.

Difeth hynod y mordwyodd,
  Ac y nofiodd tua'r ne',
Fordaith hwy na Cook na Parry,
  Nes d'od dan gaerau Salem dro';
Ac fe'i nodwyd gan rhagluniaeth,
  Fel ei chyfaill mwyaf cu,
Ni chollodd hwyl, na rhaff, nac angor,
  Yn y dyfnfor mwyaf du.

Ugeiniau a ddychwelwyd drwyddo
  O garchar aflan Satan sur,
A waredwyd, a iachawyd,
  Drwy iechydwriaeth Iesu pur;
Teg yw addef, na raid iddo,
  Fel gwed y mwynlan purlan Paul,
Gael un llythyr o ganmoliaeth,
  Gan brydydd egwan, ffwdan ffol.

Ond math arall o lythyrau,
  Sef dynion Sïon, da eu swydd,
Sydd yn seiliau, ac addurnau,
  Oll yn rhoi canmoliaeth rhwydd;
Yn wir ni ddigiwn pe bai ddegau
  O'i gyffelyb ar ei ol,
O offrymau i fy Arglwydd,
  Diana' 'u ffydd, nid dynion ffol.

Er hyny hyfryd ydyw coffa
  Ei enw'n beraidd yn y byd,
Hoff was enwog, Iesu anwyl,
  Mae ef yn erchi hyny o hyd;
Par i'n' feddwl mewn pur foddion,
  Am ei weision union ef,
Gerddasant lwybrau a ffydd yn ffyddlon,
  Nes eu myn'd i deyrnas nef.

Gan fod codi meini mynor,
  Er anrhydedd gloywedd glân,
I lywyddion enwog Brydain,
  Aethant drwy y dwr a'r tân;
Gwron Mon, a Nelson, Picton,
  A llaweroedd gyda hyn,—
Codaf finnau gof-golofnau
  Am enwogion Sïon fryn.

A yrasant drwy nerth Iesu,
  Ein gelyn ni i gilio'n ol,
Llu estronol, llawn ystrywiau,
  Drwy arfau'r ffydd y gwnaed hwy'n ffol;
Teilwng ydynt yn y nefoedd,
  Ar uchel leoedd Salem lân,
Y maent yn deilwng o eu dilyn,
  Diangasant rhag y tân.

O! lu ardderchog roed dan orchudd,
  Y bedd llonydd, ie,'n llu,
O bob cwr o'r ddaear eang,
  O weision cyfion Iesu cu;
A'r gwenith gwanaidd yn egino,
  Do, ar ol y llall o hyd,
Ar ol i'r hauwyr, ddynion hoywedd,
  Oll noswylio yn eu pryd.

O! ddiwrnod, hynod hanes,
  Pan y cano'r udgorn mawr,

Daw y lluoedd adre'n llawen,
'N dorf ddi rif o lwch y llawr,
A gynnullwyd, ac a gasglwyd
Drwy ffolineb, gwiwdeb gwaith,
Pregethu Crist a'i groes rhinweddol,
Sydd feddygol, fuddiol faeth.

Y mae'r hanes am eu rhinwedd,
Yn ymgeledd i rai gwan;
Wrth son am Dafydd, dos i olwg
Bryn Golgotha yn y man,
I olwg hyfryd pren y bywyd,
A'i iachaol ddwyfol ddail,
Sydd odidog enwog anwyl,
Sef, yr enwog Adda'r ail.

O! na ddeuai yr holl ddaear
O'i syndod byddar, glaear glwy',
Tua Salem at y Siloh,
Er eu hiechydwriaeth hwy;
Arglwydd hylwydd y Cynhauaf
A anfono weithwyr da,
I'w faes eang mawr a helaeth,
Y ddaear hon cyn diwedd ha'.

ROBERT THOMAS.
*Caerlion, gerllaw'r Bala.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYFARFOD YSGOLION.

AR ddydd Nadolig, 1839, cynnaliwyd Cyfarfod Ysgolion Sabbathol un ran o Ddosparth Llanlluan, Swydd Gaerfyrddin, yn Ebenezer, Llanedy.

Am 10 o'r gloch, dechreuwyd trwy adrodd pennod gan un o Ysgol Llandybie, gweddiodd Mr. B. Thomas, Capel Hendre; yna holwyddorodd Mr. Thomas, Ysgol Llandybie am 'Ddyledswyddau yr ieuengctyd,' ac Ysgol yr Hendre, 'Am Grist,' Rhif. 4. A phregethodd bregeth gymmwysiadol iawn ar yr achlysur, oddiwrth Ioan 5. 39. 'Chwiliwch yr Ysgrythyrau.' Sylwodd ar y dull anfuddiol y cymmera llawer arnynt chwilio yr Ysgrythyrau; y perygl o hyny; gwendid y rhesymau a ddyga rhai anwybodus o'r Ysgrythyrau yn yr oes oleu hon dros eu hanwybodaeth, megis, nad oes ganddynt amser at chwilio yr Ysgrythyrau, nas medrant ddarllen! gwendid eu dealltwriaethau, bychandra eu galluoedd eneidiol, &c. pa fodd i iawn chwilio yr Ysgrythyrau; y buddioldeb a ddeillia o hyny, bywyd tragywyddol, &c.

Yn y prydnawn, dechreuwyd trwy adrodd pennod gan un o Ysgol y Bettws, a gweddiodd un o'r athrawon; a holwyddorwyd Ysgol y Bettws, ac Ysgol y lle gan Mr. B. Thomas drachefn, y cyntaf am 'Ddyledswyddau rhieni at eu plant, a phlant at eu rhieni.' A'r olaf am 'Ddyledswyddau yr ieuengctyd.' A chyn diweddu traddododd araeth gynnwysfawr a goleu, ar yr Ysgol Sabbathol, a therfynodd trwy weddi.

Gellir dywedyd fod prydferthwch yr Arglwydd ein Duw arnom. Yr oedd gweddeidd-dra neillduol i'w weled ar yr holl gynnulleidfa, a phawb o'r bron megis wedi eu rhwymo i wrando, a'u meddiannu â sobrwydd difrifol. Cawsom le i feddwl fod Duw yn y canol, ac iddo addurno a gwisgo ei weision â nerth o'r uchelder. Codwyd yr Ysgol Sabbathol yn ngolwg y gymmydogaeth i raddau helaeth. Diolch iddo am beidio troi ein gweddiau oddiwrtho, na'i drugaredd ef oddiwrthym ninnau. Brysio wnelo yr amser i'r tywalltiad mawr ddyfod i waered, fel y gwneler deiliaid yr Ysgol Sabbathol yn ddeiliaid o deyrnas gyfryngol Crist.

JOHN FRANCIS, IEU.
*Ysgrifenydd.*
*Pencryg, Ion.* 10fed, 1839.

### CYMDEITHASFA LLANRWST, RHAG, 1839.

#### Y DRYSORFA

MEWN Cyfeisteddfod yr ail dydd, annogwyd y Llefarwyr a'r Blaenoriaid i fod yn wresog yn cefnogi yr holl wlad i gymmeryd y Drysorfa; ac ar i'r Ysgrifenwyr lafurio am bethau da a buddiol i'w danfon iddi.

Penderfynwyd hefyd i wneyd rhestr newydd o Farnwyr Ysgrifau yn mhob Sir, a threfydd Lloegr, ac am i'r Cyhoeddwr ofalu i beidio rhoddi dim i mewn ond a gefnogid ganddynt hwy.

#### Y CYMMANFAOEDD DYFODOL.

Y Gymmanfa Chwarterol nesaf i fod yn Llanfair Caereinion, Ebrill 27, 28, a 29, 1840.

Cynnelir Cymmanfa gorphoredig o'r holl Gyfundeb, yn Llanidloes, yn yr haf, a phenderfynir yr amser yn Nghymdeithasiad Aberystwyth.

Mae Cymmanfa Chwarterol Dinbych i fod Mehefin 10, 11, a 12. Cynnelir y Cyfeisteddfod am ddau o'r gloch y dydd cyntaf.

## Y SENEDD YMERODROL.

### ARAETH Y FRENINES.

AR ddydd Iau, yr 16eg o fis Ionawr diweddaf, ymgynnullodd nifer mawr o Senedd-

wyr a gwyr urddasawl y deyrnas hon yn Llundain; lle yr ympiriodd y Frenines ger eu gwydd i agor y Senedd, yr hyn a wnaeth trwy ddarllen yr Araeth ganlynol.

"*Fy Arglwyddi a Boneddigion*,

"Er pan yr ymgynnullasoch ddiweddaf, mi a hysbysais fy mwriad o ymuno mewn priodas â'r Tywysog Albert o Saxe Cobourg a Gotha. Yr wyf yn gostyngedig ddeisyf ar fod i fendith ddwyfol lwyddo yr undeb hwn, a pheri iddo fod yn llesol hefyd i amgylchiadau fy neiliaid yn gystal ag i'm dedwyddwch teuluaidd fy hunan; a bydd yn ffynonell y boddhad mwyaf i mi i gael allan fod y penderfyniad a wnaethym yn cael ei gymmeradwyo gan fy Senedd.

"Mae y profion parhaus a dderbyniwyf o'ch ymlyniad wrthyf fi a'm teulu, yn peri i mi gredu y bydd i chwi fy ngalluogi i ddarparu y cyfryw osodiad ag a ymddengys yn deilwng i urdd y Tywysog, ac anrhydedd y Goron.

"Yr wyf yn parhau i dderbyn oddiwrth y Galluoedd Tramor bob sicrwydd o'u dymuniant diball i gynnal gyda mi bob cyfeillgarwch.

"Yr wyf yn llawenhau fod y rhyfel cartrefol, yr hwn a fu mor hir yn cynhyrfu ac yn anrheithio taleithiau gogleddol yr Hispaen, wedi cael ei ddwyn i derfyn trwy fesurau boddlonus i Lywodraeth Hispaen, ac i drigolion y taleithiau; ac yr wyf yn hyderu y bydd llonyddwch, cyn pen hir, yn cael ei ail sefydlu trwy y rhelyw o'r Hispaen.

"Mae achosion y Levant yn parhau i ddwyn fy sylw mwyaf pryderus. Mae y cydgordiad ag oedd yn ffynu rhwng y Pum Galluoedd wedi rhwystro adnewyddiad y rhyfel yn y chwarter hwn, ac yr wyf yn gobeithio y bydd i'r un unfrydedd ddwyn y pethau pwysig hyn i benderfyniad, yn y cyfryw fodd ag i gynnal uniondeb ac annyddibyniaeth yr Ymerodraeth Ottomanaidd, ac i roddi sicrhad ychwanegol i heddwch Ewrop.

"Ni bum yn alluog etto i adsefydlu fy mherthynas freiniol â Llys Teheran, ond y mae y gohebiaethau a dderbyniais yn ddiweddar oddiwrth Lywodraeth Persia yn peri i mi ddysgwyl yn hyderus y bydd i'r anghytundeb a achosodd ddifuddiad dros amser o'r perthynasau hyny gael eu terfynu yn foddhaol.

"Mae yr hyn a ddygwyddodd yn China wedi achosi rhwystr i gyd-fasnach fy neiliaid â'r wlad hono. Yr wyf wedi rhoddi, a pharhaf i roddi, fy sylw dwysaf ar achos ag sydd yn effeithioli cymmaint ar elw fy neiliaid, ac anrhydedd y Goron.

"Gyda boddhad mawr yr wyf yn gallu hysbysu i chwi fod y gweithrediadau milwraidd dan Gad-lywydd India, wedi eu dilyn â llwyddiant hollawl, ac yn yr hynt i dueddau dwyreiniol yr Indus bu i'r swyddogion a'r lluoedd, Ewropaidd a brodorawl hefyd, ddangos y dewrder a'r medr mwyaf nodedig.

"Mi a orchymynais ar fod i ychwaneg o bapurau o barthed achosion Canada gael eu rhoddi o'ch blaen, ac yr wyf yn ymddiried y pwngc hwn i'ch doethineb chwi.

"Yr wyf yn cyflwyno i'ch sylw cynnaraf sefyllfa Corfforiaethau yr Iwerddon.

"Dymunol fyddai i chwi ddilyn ar y mesurau hyny ag sydd yn dwyn perthynas â'r Eglwys Sefydledig, ac a gymmeradwyir gan Ddirprwywyr Eglwysig Lloegr.

"*Foneddigion Ty y Cyffredin*,

"Mi a ochymynais ar fod i'r Cyfrifon am Wasanaeth y flwyddyn gael ei rhoddi o'ch blaen chwi. Ffurfiwyd hwy gyda phob sylw ar gynnildeb, ar ar yr un pryd gyda'r ystyriaeth ddyledus o effeithiad y sefydliadau hyny ag sydd yn angenrheidiol gan eangder a sefyllfa yr Ymerodraeth.

"Ni chollais ddim amser i ddwyn i weithrediad fwriadau y Senedd drwy ostwng y doll ar Lythyrau, ac yr wyf yn hyderu y bydd i effaith fuddiol y mesur hwn gael ei deimlo gan bob sefyllfa yn y wlad.

"*Fy Arglwyddi a Boneddigion*,

"Yr wyf yn deall gyda galar fod y dyryswch masnachol ag sydd wedi cymmeryd lle yn y wlad hon a gwledydd ereill wedi darostwng yr ardaloedd gweithfaol i gyfyngdra trwm.

"Mae genyf i hysbysu i chwi gyda theimlad dwys, fod yspryd gwrthryfel wedi tori allan i drais cyhoeddus, mewn rhai parthau o'r wlad, yr hyn yn fuan a attaliwyd drwy rym a dianwadalwch yr Ynadon, ac ymddygiad da a diysgogrwydd fy milwyr; yr wyf yn ymorphwys yn hyderus ar nerth y gyfraith, ar eich ymlyniad breiniol chwi a'ch doethineb, ac ar gallineb a theimladau fy mhobl, am gynnal trefn, ac amddiffyniad meddiannau, ac am ledaeniad, cyn belled ag y gall moddion dynol ledaenu, gwir les yr Ymerodraeth."

Yr ydym yn deall fod bonllefau o gymmeradwyaeth wedi eu rhoddi gan y dorf ar fynediad a dychweliad ei Mawrhydi o agoryd y Senedd; a gobeithiwn hefyd y bydd i'r hwn sydd yn eistedd ar y llifeiriant ostegu twrf y bobloedd, a pheri i heddwch ffynu yn ei theyrnasiad.

---

### Y SIARTIAID.

Yr ydym yn clywed yn barhaus am gynnwrf y dynion terfysglyd hyn yn ngwahanol barthau o'r deyrnas. Dywedir bod ymosodiad cynhyrfus o'r eiddynt wedi cymmeryd lle ychydig ddyddiau yn ol yn Sheffield a manau ereill, fel y bernir mai callineb ydyw cadw y milwyr yn barod at y galwad cyntaf. Mae llawer o chwedlau yn cael eu taenu, ond nis gwyddom etto i'r

manyldra a ddymunem am y cynnwrf a'r terfysg; ond deallwn fod llawer wedi eu clwyfo yn dost, ac fel y bu goreu ffawd, y Siartiaid wedi methu cyflawni eu bwriad, sef, rhoi y dref ar dân, meddynt hwy.

Yn Llundain hefyd y mae y milwyr yn barod ar yr alwad cyntaf; ond deallwn na bu yno ddim ychwaneg o debygoliaeth terfysg nag i 600 neu 700 o'r Siartiaid ymgynnull at eu gilydd ar ryw *gommon* yn agos i'r brif ddinas.

Drwg iawn genym fod egwyddorion gwenwynllyd y blaid wrthryfelgar hon wedi ymwthio i Gymru dawel; ac nid yn unig yr egwyddorion, ond yr yspryd hefyd. Prif sylw y Dywysogaeth, yn enwedig rhan helaeth o'r Deheubarth yw, Prawf John Frost a'i gymdeithion yn Mynwy, am Deyrnfradwriaeth. Dechreuodd y Prawf hwn trwy Ddirprwyaeth ar ddydd Mawrth, yr 31ain o Ragfyr; ac wedi iddo barhau am wyth niwrnod, cyhoeddodd y Rheithwyr ei fod yn *euog*, a dedfrydwyd ef yn nghyda dau ereill i ddyoddef marwolaeth ar y crogbren, ac i'w darnio yn aelodau, yn ol dedfryd y Gyfraith am Deyrnfradwriaeth.

Y mae yr yspryd niweidiol hwn, nid yn unig yn dyrysu llywodraeth wladol, ond hefyd yn yspeilio cysuron teuluaidd, fel y gwelir yn amlwg wrth yr hanesyn canlynol a gymmerasom allan o'r PROTESTANT am Ion. 16, 1840.

EFFEITHIAU SIARTIAETH.—Cynnaliwyd celain ymholiad ar gorph un Mary Davies, gwraig i amaethwr cyfrifol yn nghymmydogaeth Llangeinior, yr hon a wnaethai ben ar ei heinioes yn y dull a ganlyn:—

Ymddengys i ddyn dyeithr alw yn nhŷ yr amaethwr oddeutu mis cyn y terfysg yn Nghasnewydd. Yr oedd y tŷ mewn sefyllfa unigawl yn mysg y mynyddoedd, a'r dyeithr ddyn a ddangosodd ryw bapur i'r wraig, gan ychwanegu, 'oni wnai hi a'i theulu ei arwyddo, y byddai i'r bobl godi yn mhen y mis a'u lladd hwy bob perchen anadl.'

Aeth y dyn ymaith yn lled fuan, ac ar ol i'r gwr a'r meibion ddychwelyd adref, adroddwyd hanes yr hyn a ddygwyddodd iddynt, ac ymddangosai i'r peth gael effaith ddwys ar feddyliau y drengedig; ac ar ol dechreu y terfysg yn Nghasnewydd, mynych y dywedai fod geiriau y dyn dyeithr wedi dyfod i ben, a mynych y dymunai i'w gwr ddiangc ymaith gyda hi, a gadael pob peth cyn i'r Siartiaid ddyfod a'u lladd. Parhaodd mewn terfysg meddwl mawr hyd ddydd Iau, yr 2fed o'r mis diweddaf, pryd y galwodd un o'r merched ar ei thad, gan ddywedyd, nas gallasai gael gan ei mam ddyfod i lawr o'i hystafell wely, er galw arni amrai weithiau. Aeth y gwr i fynu, a chanfu y drengedig ar ei gliniau yn gweddio wrth erchwyn ei gwely. Canfu ei gwr waed ar y llawr, ond ni feddyliodd ei fod yn dyfod o herwydd iddi wneyd ymgais at ladd ei hun.

Cynghorodd hi i fyned i'w gwely, a'r ferch a ganfyddodd gyllell ar lawr yn y fan y penliniai ei mam; a'r pryd hwn anfonwyd am feddyg, a chanfyddwyd ei bod wedi tori ar draws ei chanol gyda'r gyllell, a bod ei rhanau tufewnol yn dyfod allan trwy y clwyf. Parhaodd heb farw hyd drannoeth, a dywedodd ychydig cyn anadlu ei hanadl olaf bod ei meddwl wedi bod yn hynod o derfysglyd yn nghylch y Siartiaid, a'i bod wedi blino ar y byd hwn, ac yn dymuno myned at Dduw.

*Marwolaeth Pendefigion yn y flwyddyn* 1839.—Yn y flwyddyn ddiweddaf bu farw pedwar-ar-ddeg o bendefigion Prydain Fawr, oll yn aelodau o Dŷ yr Arglwyddi!!! Sef, tri o Dduciaid, Duc Buckingham, Duc Bedford, a Duc Argyll; chwech o Ieirll,—Iarll Zetland, Iarll Caledon, Iarll Essex, Iarll Lauderdale, Iarll Mount Edgecumbe, a Iarll Kingston; a phump o Arglwyddi,—Arglwydd Howden, Arglwydd St. Helens, Arglwydd De Roos, Arglwydd Washingham, ac Arglwydd Bendlesham. Ac o Bendefigion yr Iwerddon, cwympodd tri o honynt i'w beddau,—sef, Iarll Carnwath, Is-Iarll Dufferin, ac Arglwydd Langford. Ni bu farw ond pump o aelodau Tŷ y Cyffredin yn y flwyddyn 1839,—sef, Arglwydd William Bentick, Is-Iarll Clements, Syr J. Dunlop, Mr. Praed; a Syr Wakin Williams Wynn, yn nechreu mis Ionawr.

*Gwisg Briodas y Frenines.*—Dywed y newyddiaduron fod y Frenines wedi datgan ei bwriad o ymwisgo, ar ddydd ei phriodas, mewn gwisgoedd o wneuthuriad Brytanaidd yn unig; ac y mae yn ddiammeu y dilynir hi yn hyn gan holl Foneddigesau y Llys, yr hyn a bar i gannoedd lawer gael gwaith a chyflogau da. Dywedir hefyd y bydd addurniadau (*trimmings*) y gown, yr hwn sydd i fod o beth a elwir *Honiton lace* yn costio mil o bunnau.

*Drylliad yr Agerddlong William Huskisson.*—Yr hanes canlynol a roddir gan y Cadben Brown, Llywydd yr Agerddlong uchod, 'Ar ddydd Sadwrn, Ionawr 11eg, am 6 o'r gloch yn y prydnawn, ymadawodd yr agerddlong â'r *New-wall* yn Dublin, ac oddeutu 120 o deithwyr ar ei bwrdd, a'r gwynt yn chwythu yn gryf o'r de-dde-orllewin. Am hanner awr wedi un o'r gloch boreu ddydd Sul, o fewn pymtheng milltir i'r gogledd-ddwyrain o Gaergybi, gollyngai y llestr ddwfr i mewn. Am ddau o'r gloch, cawsom hi o flaen y gwynt, a rhoisom yr holl sugn-beiriannau ar waith, a'r llwyth ag oedd ar y bwrdd, yn benaf o wartheg, a daflasom i'r môr. Am hanner awr wedi saith yr oedd y dyfroedd wedi cynyddu mor uchel nes diffodd y tânau, yr hyn a achosodd i'r peiriannau sefyll, ac i'r llestr fyned yn aflywodraethus. Wedi i'r peir

iannau sefyll, cynnyddodd y dyfroedd yn fwy fyth. Oddeutu ugain mynyd i wyth o'r gloch, daeth llong i'r golwg; a chan fy mod yn gweled fod achub y llong yn ansicbonadwy, mi a roddais bob dyfais mewn gweithrediad i achub y dwylaw a'r teithwyr: a thrwy ymegniadau llafurus a pheryglus y llong grybwylledig, (yr hon a elwid Huddersfield) achubwyd ni oll oddigerth oddeutu chwech o bersonau, y rhai a adawaid ar y bwrdd, gan fod y môr yn rhedeg yn uchel a'r llong yn suddo yn gyflym a gormod o berygl dynesu ati.

*Damwain Angeuol.*—Ar brydnawn Sadwrn yn ddiweddar, fel yr oedd llong fechan o Beaumaris, Mon, a elwid Mary, ar gyfer *Beaumaris Green*, canfyddai un o'r dynion, o'r enw Thomas Parry, fod y cwch ag oedd wedi ei rwymo wrth y llong yn llenwi yn gyflym o ddwfr, a bod y rhaff a'i rhwymai yn debyg o ddattod, disgynodd drwy gynnorthwy rhaff arall, i'w wneuthur, fel y tybiai, yn ddiogel; ond cyn iddo gyrhaedd ei amcan dattododd y rhaff, a gollyngodd yntau i'r dwfr, lle y suddodd, ac y boddodd yn y fan. Nid oedd ond tair ar hugain oed, a gadawodd wraig a theulu ieuaingc i alaru ar ei ol.

*Gwaredigaeth ryfedd, ac ymosodiad dyeithr.*—Yn hwyr un noson, yn ddiweddar, fel yr oedd dau ŵr boneddig yn teithio mewn cerbydau i lawr yr allt ar gyfer y prif borth i balas Kinmel, yn agos i Lanelwy, Swydd Ddinbych, neidiodd carw o'r Parc yn ffrochwyllt at y ceffyl; yr oedd y tarawiad yn drwm dros ben, ac ymddyrysodd cyrn y carw yn ffrwyni y march, a chynnwrf mawr a ddilynodd. Dechreuodd y ceffyl neidio a phrangcio, ac wrth hyny cafodd ei hunan yn rhydd, a gadawodd ei wrthwynebydd ar ei hŷd ar y ffordd, a chafodd y boneddigion gryn drafferth i ddwyn y march i drefn. Meddylir i'r carw lamu at lusern y cerbydau, yr hon oedd yn oleu ar y pryd. Pa bynag dychrynwyd y ddau ymdeithydd yn fawr, gan iddynt dybied ar y cyntaf, mai 'rhowch i fynu eich arian neu'ch bywyd' fyddai yr anerchiad cyntaf a gaent. Da genym ddywedyd iddynt ddiange heb eu hanafu.

*Cyfyngder.*—Dywedir fod y cyfyngder a'r caledi sydd yn y trefydd lle y mae gweithfaoedd mawrion yn y deyrnas hon, yn drwm dros ben. Yn nhref Leicester yn unig y mae 10,000 o wyr, gwragedd, a phlant, heb ddim modd i ennill eu cynnaliaeth.

*Llofruddiaeth ddychrynllyd.*—Cyflawnwyd llofruddiaeth ysgeler yn agos i Worcester, ar ryw ddyn dyeithr, yr hwn a wyddid oedd â llawer o arian gydag ef. Yr oedd yn teithio gyda'r cerbyd, ond cyn cyrhaedd y dref, disgynodd i gerdded, a chyn pen hir cafwyd ef ar y ffordd â phelenau llaw-ddryll yn ei ben a'i gorph, a'i holl aur a'i nodau arianol wedi eu lladrata. Amheuir mai llengcyn ieuangc ag oedd yn cyd-deithio âg ef ar y cerbyd, ac a'i gadawodd oddeutu yr un amser, sydd yn euog o'r gyflafan, ond ni chafwyd hyd iddo etto.

*Owenyddion.*—Mae y bobl yma yn hynod o brysur yn taenu eu hegwyddorion gwenwynig trwy drefydd Llynlleifiad, Birmingham, Sheffield, a threfydd mawrion ereill. Y maent yn cyflogi Cenhadon, ac yn eu danfon o amgylch i bregethu eu hathrawiaeth felldigedig; a gosodir rhyw ddosparth pennodol i bob un yn mhob ardal i hau eu hegwyddorion annfyddiawl hyd eithaf eu gallu. Mae eu traddodiadau yn gyffredin yn cynnwys yr iaith fwyaf ddychrynllyd a chableddus, ac hyd yn oed yn hollol wadu bodoliaeth Duw ei hunan, ac yn beio Cristionogaeth o achos y rhan fwyaf o'r drygau a lanwant y byd! Er hyny i gyd, dygwyd pen awdwr y gyfundraeth yma i wyddfod ein brenines ieuangc, (yr hon yn niniweidrwydd ei chalon, nid oedd yn cario meddwl drwg am neb) a pharodd hyny gryn anesmwythdra yn meddyliau llaweroedd.

---

## HANESION TRAMOR.

**Ffraingc.**—Rhifedi y milwyr sydd wedi cychwyn yn barod i Affrica o'r wlad hon yw 10,000. Mae o gylch 20,000 yn chwaneg yn barod i hwylio gydag un awr o rybydd. Llythyr o Oran a hysbysa ddarfod i ryfel ddechreu yn y dalaeth hono, a dysgwylid i'r gwarchawdlu gael ymosod arno bob dydd.

Mont Video.—Llythyrau o Mont Video Hydref y 4ydd, a sicrhant ddyfodiad y fyddin elynol yn erbyn y lle. Ar y dydd rhagddywedig yr oedd brwydr i gymmeryd lle rhwng 4000 o drigolion Mont Video, o dan arweiniad y Cadfridog Frutes, a 6000 o Entrerians o tan arweiniad Echague.

Yr oedd yr holl ddinas dan arfau, ac yn y cynnwrf mwyaf, a phryder digyffelyb yn mysg aelodau y llywodraeth, o herwydd fod llwyddiant yn y frwydr oedd yn agosau yn ymddangos yn ansicr. Yr oedd y Ffrangcod ar fin glanio ychwaneg o fyddinoedd. Yr oedd pob masnach wedi sefyll, a'r tolldŷ wedi ei gau. Llawer o longau yn gadael y lle heb ddim llwythi. Yr oedd holl daleithiau y llywodraeth mewn cyflwr o chwyldroad. Yr oedd y Ffrangcod wedi glanio o bedwar i chwe chant o wŷr i amddiffyn y dref, yn nghyda'r nwyddau a berthynent iddynt hwy yn y lle.

Algiers.—Wrth y newyddion diweddaraf o Affrica, ymddengys fod y trefedigion ar y gwastadedd yn cael eu haflonyddu yn barhaus gan yr Arabiaid, y rhai a garient ymaith eu hanifeiliaid gan rwystro iddynt adeiladu amddiffynfeydd. Aml i ffrwgwd a gymmerasai le, yn y rhai yr oedd y golled agos yn gyfartal o bob tu.

Y 26ain o Ragfyr, cafodd llong fasnachol o Ffraingc ymosod arni gan lestr arfog, pan oedd o gylch deuddeng milltir oddiwrth y làn. Aeth dwy long ryfel i'r lle, a chanfyddasant hi ar y traeth. Llosgwyd hi rhag i'r gelynion gael eu gwynfyd arni. Daeth yr Arabiaid yn mlaen i'w rhwystro, a lladdwyd pedwar o'r Ffrangcod, a chlwyfwyd tri-ar-ddeg yn yr ymdrech.

## Marwolaethau.

Ar y 19eg o Ragfyr, 1839, bu farw yr haeddglod, Mrs. Vaughan, gweddw y diweddar John Vaughan, Ysw. o Cefncamberth, plwyf Celynin, Swydd Feirionydd, yn 80 mlwydd oed.

Bu yn aelod prydferth o Eglwys Crist yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd, cynnulledig yn nghapel y Bwlch, am yspaid y 40 mlynedd diweddaf o'i hoes. Am wirionedd, harddwch, a ffrwythlondeb ei chrefydd, nid rhaid i chwi ysgrifenu o honof atoch, gan ei bod eisoes yn wybyddus i'r rhan fwyaf o'r dywysogaeth grefyddol; o herwydd Tabitha yr oes hon yn y dosbarth hwn o'r byd ydoedd yn ddiammeu, fel nas gellid cael ei *hail* mewn haelioni crefyddol, yn nghyda phob elusengarwch yn gyffredinol, a gwneid y cyfan o hyny ganddi yn wastad, yn nghyda'r oll o'i gweithredoedd ereill hefyd, yn yr agweddiad mwyaf hunanymwadol a gostyngedig. Yspryd Duw a wnelo lawer etto yn ein gwlad yn debyg iddi.

Pregethwyd yn ei hwylnos gan y brawd Mr. Hugh Jones, Towyn, oddiwrth Dat. 14. 13. A thrannoeth, sef, dydd Mawrth y 24ain, anerchodd yr un gwr mewn modd sylweddol y dyrfa luosog ag a ddaethai yn nghyd i ddangos eu caredigrwydd yn yr unig gymmwynas a allent hwy y pryd hyny weinyddu iddi; ac yna cludwyd ei gweddillion marwol at yr eiddo ei phriod gynt i fynwent Eglwys y plwyf, i aros dydd yr adgyfodiad a'r farn.

*Dolgellau.* JOHN WILLIAMS.

DYDD Nadolig diweddaf, yn 81 oed, bu farw William Evans, o Gonwy, yr hwn a fu yn aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd oddeutu 60 mlynedd. Nid oedd ei gyrhaeddiadau na'i ddoniau ond bychain; etto, gellir dywedyd am dano iddo fod yn aelod esmwyth, yr oedd yn ddiareb am ei ffyddlondeb, ei ostyngeiddrwydd, a'i ddiniweidrwydd, ac yn weddiwr mawr. Yr oedd bob amser 'yn esgud i wrando, diog i lefaru, diog i ddigofaint.'

Dydd Sadwrn canlynol, claddwyd ef yn barchus gan luaws o'i gyfeillion, a'i gymmydogion, y rhai a ganasant yn beraidd o'i flaen.

Er ei fod mewn oera fedd,
Nofio wnai i dangnefedd.

HUGH HUGHES.

Bu farw ar y 29ain o Ragfyr diweddaf y boreu Sabbath, yn blygeiniol iawn, y Parch. Hopkin Bevan, Llangyfelach, Morganwg, yn 75 oed. Cafodd gystudd hir a phoenus. Yr oedd yn un o'r rhai cyntaf a neillduwyd i waith cyflawn y weinidogaeth yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn y Deheudir.

Cafodd ei alw yn foreu at grefydd; ac hyd ddydd ei farwolaeth daliodd ac harddodd athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr yn mhob peth. Bu yn pregethu agos i 50 mlynedd. Clywais gan rai o'r hen frodyr fod nerth mawr yn cydfyned â'i weinidogaeth yn moreu ei ddiwrnod, a thrwy ei oes byddai arddeliad rhyfedd ar ei bregethau weithiau. Cafodd odfaon nad anghofir byth gan y rhai a'u clywodd. Mewn gweddi, nid yn aml y gwelwyd ei fath—parai i bawb wybod y medrai y ffordd at Dduw.

Yn ol ei ddymuniad, claddwyd ef yn nghapel Llangyfelach. Hebryngwyd ei gorph gan dyrfa fawr i'r bedd; wrth ba un y dechreuwyd y moddion trwy ddarllen a gweddio gan y brawd David Roberts, Abertawy, a phregethodd y brawd Richard Thomas, Llysyfronydd, oddiwrth Phil. 1. 21. yn Saesoneg, a'r brawd Wm. Griffiths, Browyr, yn Gymraeg, oddiwrth Heb. 13. 7. Ac wedi dodi gweddillion ein hen frawd parchus ac anwyl i orwedd yn mhriddellau y dyffryn, gweddiodd y brawd D. Howells, Abertawy: a da oedd bod yno. Yr oeddym yn barod i ddywedyd ar lán y bedd, 'Nid oes yma ond tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd.' A braidd nad aethom mewn cariad âg angeu a'r bedd, ag a ddywedasom wrth ymadael, 'Awn ninnau hefyd fel y byddom feirw gydag ef.' D. ROBERTS.

*Abertawy, Ion.* 10fed, 1840.

IONAWR 5ed, bu farw Syr W. Williams Wynne, Barwnig, rhwng dau a thri o'r gloch boreu ddydd Sul, yn ei annedd, sef Wynnstay.

Yr oedd yn 68 mlwydd oed—ganesid ef yn y flwyddyn 1772. Yn 1817, priodasai yr Arglwyddes Harriet Clive, merch hynaf y diweddar Iarll Powys, yr hon sydd yn orweddog er's amryw flynyddoedd, ac o'r hon y cafodd ddau fab ac un ferch. Dilynir yr ymadawedig yn ei deitlau a'i feddiannau gan ei fab hynaf, yr hwn a ddaw i'w oed yn Mis Mai, 1840.

Nid oes angenrheidrwydd i ni ddywedyd gyda pha alar dwys a cholled y teimlir y newydd o'i farwolaeth, nid yn ei ardal ei ei hunan yn unig, ond hefyd drwy y Dywysogaeth. I'r tlodion yr oedd yn nodedig am ei haelioni—i'w denantiaid yn feistr tir trugarog a chydwybodol; ac nid oedd un mwy aiddgar dros sefydliadau, defodau, a lles ei wlad nag ef.

RHAGFYR 13eg, bu farw Mr. R. Roberts, Cefn carrog, Llanddyfnan, Mon, yn 69 oed. Perchid ef yn fawr gan bawb a'i hadwaenai.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXI.] MAWRTH, 1840. [LLYFR X.

## GORPHENWYD.

PREGETH A BREGETHWYD GAN Y PARCH. W. THORPE, YN LLUNDAIN.

*(Parhad o tu dalen 36.)*

"YNA pan gymmerodd yr Iesu y finegr, efe a ddywedodd, Gorphenwyd: a chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr yspryd.—IOAN xix. 30.

III. Sylwn yn mhellach ar y *dull* y llefarwyd y geiriau hyn. Y mae Matthew a Marc yn dywedyd iddo lefain â llef uchel; a dywed Luc yr un modd, ond y mae yn ychwanegu iddo ddywedyd, 'O! Dad i'th ddwylaw di y gorchymynaf fy yspryd;' ond y mae Ioan yn dywedyd gair na sylwyd arno gan yr efengylwyr ereill—'Gorphenwyd.' Ond nid oedd dull yr Iachawdwr yn llefaru yr ymadrodd hwn yn gorwedd cymmaint yn sŵn y llais, neu yn nerth yr adroddiad, ag yn mhwysfawrogrwydd yr ystyr oedd iddo.

1. Yr oedd y ddolef hon yn gyhoeddiad o *wirionedd pwysfawr*. 'Y gwirionedd' oedd yr Iachawdwr ei hun; ac efe a ddaeth i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd; nid oedd ei eiriau ef yn ïe ac yn nage, ond yn ïe ac yn amen, yn gadarn ac yn safadwy, a thywalltwyd gras ar ei wefusau. Ni bu rhagrith yn perthyn iddo erioed; ni chaed twyll yn ei enau; ac am hyny nis gall fod genym un achos i ameu ond pob rheswm i'w gredu ef, gan ymorwedd yn dawel ar wirionedd ei eiriau diweddaf wrth farw; ïe, fy mrodyr, yr oedd y gwaith wedi ei orphen, a chabledd fyddai meddwl fod Mab Duw wedi ymado â'r bywyd â thwyll yn ei enau, a chelwydd yn ei ddeheulaw.

2. Yr ydoedd hefyd *yn arwydd goruchafiaeth*. Yr ydoedd ganddo frwydr i'w hymladd yn gystal â rhedfa i'w rhedeg; yr oedd tywysog y tywyllwch a'i holl gryfder ar un ochr i fynydd Calfaria; ac ar y llall yr oedd Tywysog y bywyd, wedi ei glwyfo a'i archolli—yn ddyn dyoddefus a thrist: ac yr ydoedd tynged tragywyddol miloedd lawer yn ymddibynu ar ganlyniad y frwydr. Ond bendigedig fyddo Duw ni buont yn gorwedd yn hir dan ameuaeth! Sawdl Tywysog y bywyd a ysigwyd—efe a gwympodd—ac a fu farw; ond wrth gwympo efe a orchfygodd y gelyn; ac wrth farw efe a 'ddistrywiodd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo.' Wele, gan hyny, 'Dywysog ein hiachawdwriaeth ni wedi ei berffeithio drwy ddyoddefiadau,' yn edrych i lawr yn fuddugoliaethus ar ei elynion ef ei hunan a'i bobl hefyd, pan oedd yn hoeliedig ac yn waedlyd ar bren y groes!

3. Nid dolef y clwyfus, neu y nychlyd, neu y dyn ar farw ydoedd, ond *llais gorfoleddus concwerwr hollalluog*. 'Efe a yspeiliodd dywysogaethau ac awdurdodau,' ar y groes. Mae yr apostol, yn yr ymadrodd hwn, yn cyfeirio at y gosgorddau buddugoliaethus, yn mha rai yr arweinid y caethion mewn cadwynau o flaen neu ar ol cerbydau y gorchfygwr, a thrwy hyny eu gosod yn agored i bawb sylwi arnynt, trwy ba waith yr oedd Rhufain yn dangos uchelfrydigrwydd a balchder ei llywodraeth, ac yn boddloni ucheldrem plentynaidd ei gwroniaid; ond gadewch i ni droi am fynyd oddiwrth ryw ymddangosiadau gwael fel yma, at yr olygfa o'r tu allan i byrth Jerusalem; ac yno gwelwn un wedi ei hoelio ar y pren fel drwg-weithredwr, yn cael ei ffieiddio gan ddynion, ac yn wrthodedig gan Dduw, ac yn marw fel un wedi ei orchfygu. Ond edrychwch â llygaid ffydd ar y weledigaeth fawr hon, a chwi a welwch y buddugoliaethwr yn gorfoleddu â geiriau cyffelyb i'r rhai a ddesgrifir gan y Prophwyd Esay: 'Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bosrah? hwn sydd hardd yn ei wisg, yn ymdaith

yn amlder ei rym? Myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac wyf gadarn i iachau. Paham yr ydwyt yn goch dy ddillad, a'th wisgoedd fel yr hwn a sathrai mewn gwîn-wryf? Sethrais y gwîn-wryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd un gyda mi; canys mi a'u sathraf hwynt yn fy nig, ac a'u mathraf hwynt yn fy llidiawgrwydd; a'u gwaed hwynt a daenellir ar fy nillad, a'm holl wisgoedd a lychwinaf.' Trodd dynion eu penau o'r olygfa gyda ffieidd-dra, ond yr oedd nefoedd, daear, ac uffern yn teimlo yn wahanol iawn. Agorodd y y nefoedd a gwenodd, y ddaear a ysgydwyd hyd at ei sylfeini, a beddau y meirwon a agorwyd; ac angeu ei hunan a ollyngodd y saeth farwol o'i law; ac angelion y nef a gipiasant y gân oddiar wefusau ein Hiachawdwr, a Gorphenwyd, Gorphenwyd, Gorphenwyd, a ddadseiniwyd drwy nef y nefoedd, tra yr oedd holl awdurdodau a galluoedd uffern yn cilio yn ol mewn cywilydd a gwarth.

Mae geiriau diweddaf rhyw gyfaill a fo wedi marw yn gadael argraff ddofn ar galonau y rhai fo ar ei ol: bydded i ni, gan hyny, gofio yn fynych iawn eiriau ein Gwaredwr yn marw; a gwnawn hwynt yn destyn ein myfyrdodau. A ydyw Iesu yn *Wir Dduw* ac yn fywyd tragywyddol? Yna y mae yn teilyngu ac yn gofyn ein haddoliad a'n parch. A ydyw efe yn *ddyn*, yn 'asgwrn o'n hasgwrn, ac yn gnawd o'n cnawd ni?' Pa gydymdeimlad a thosturi ynte a allwn ni ei ddysgwyl oddiwrtho ef? yr hwn hefyd a demtiwyd yr un ffunud a ninnau sydd yn abl i'n hachub ni. Gwir yw fod dyddiau ei alar yn awr wedi terfynu, ond y mae y cofio sydd am dano etto yn dwyn i'n golwg ei chwys gwaedlyd, ei groes, a'i ddyoddefaint. 'A ddiffydd efe, gan hyny, y llîn yn mygu, neu a dyr efe y gorsen ysig? O frodyr! na wna byth, mae ei ymysgaroedd yn llawn tosturi, a'i galon yn llawn cariad. Ai y Gwaredwr yw y Person mawr ag y mae natur ddwyfol a'r natur ddynol wedi uno â'u gilydd? Pa gydgyfarfyddiad rhyfedd o berffeithderau a welwn yn y Person mawr hwn. Sylwn ar un llaw ei larieidd-dra, ei ostyngeiddrwydd, a'i gariad; ac ar y llaw arall ei allu tragywyddol, a thanbeidrwydd ei santeiddrwydd, yr hyn sy'n argraffu mawredd ar ei natur ddynol, o flaen pa un y mae ardderchawgrwydd penaf dynoliaeth yn cwympo yn ddim, ac yn llai na dim.

A ydyw yr holl *brophwydoliaethau*, y rhai a gyflawnwyd yn marwolaeth Iesu, yn brawf mai efe yw y Messiah? Os felly, bwriwn ein hunain mewn ffydd a chrediniaeth ddiysgog i ddwylaw ein tragywyddol OLL YN OLL.

A ydyw *cysgodau* yr hen oruchwyliaeth wedi eu sylweddoli ynddo ef? Edrychwn i'r Hen Destament sydd yn tystiolaethu am Grist i ddyfod, a gwelwn ei gyssondeb â chyunwysiad y Newydd, yr hwn sydd yn cynnwys geiriau y bywyd tragywyddol, a gwelwn gyssondeb a gogoniant y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu.

A gyflawnodd efe ofynion y *gyfraith?* Yna, gyda'r apostol, 'cyfrifwn bob peth yn dom ac yn golled fel yr ennillom Grist, ac y'n ceir ynddo ef, heb ddim o'n cyfiawnder ein hunain, ond yr hwn sydd o Dduw trwy ffydd.'

A ydyw gwerth *prynedigaeth* wedi ei roddi? Gan hyny dysgwyliwn yn ostyngedig am gwbl waredigaeth oddiwrth ein holl euogrwydd, oddiwrth ormeslywodraeth nwydau pechadurus, ac oddiwrth ddylanwad angeuol y byd drwg presennol; ac edrychwn yn mlaen at y diwrnod pan y bydd i'r gelyn diweddaf gael ei ddinystrio, a'i lyngcu i fynu mewn buddugoliaeth; pryd y bydd gwaredigion yr Arglwydd yn cael eu gwaredu o hir garchariad y beddrod oer, ac yn esgyn i lawenydd tragywyddol, a choronau gogoniant ar eu penau.

A *berffeithiodd* Crist y gwaith a roddwyd iddo gan y Tad? Na iselwn ef trwy geisio cymmysgu ein gweithredoedd ein hunain â'i gyfiawnder ef, ac fel hyny, mewn effaith, ddwedyd i 'Grist farw yn ofer.' O! na cheisiwn ran yn moliant y nefoedd gydag ef, 'yr hwn a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun.'

A oedd y ddolef hon o eiddo ein Hiachawdwr yn *floedd* o *oruchafiaeth*, ac yn *llais buddugoliaeth*? Yna, O! Gristion gwan cofia dy fod yn orchfygwr. Drosot ti yr 'ysbeiliodd efe yr awdurdodau;' gan adael i ti gasglu yspail yr oruchafiaeth dy hunan. Ar y trydydd dydd efe a gyfododd drachefn oddiwrth y meirw, ac wedi rhoddi yr hyfforddiadau angenrheidiol i'w ddysgyblion, efe a esgynodd i'r uchelder, yn nghanol miloedd o angelion. 'O! byrth dyrchefwch eich penau; ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol, a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn.' Cofiwch hefyd mai o dan faner y groes y mae i chwi

ymladd a chael goruchafiaeth. Ac amen buddugoliaeth yw amen buddugoliaeth y Blaenor mawr eu hunan. Gallech wneuthur yr hyn fyddai anghyfreithlon i wroniaid ereill ei wneuthur—ac fel y dygwyddodd yn fynych, gallech fod yn fuddugoliaethwyr yn mhoethder y rhyfel—gallwch edrych mewn sicrwydd ar fuddugoliaeth hefyd, ac yn y dydd olaf uno gyda'r Eglwys fawr filwriaethus, i waeddi 'Gorphenwyd.'

NODIAD.

Dywed y 'Pulpit,' am Mr. Thorpe, ei fod yn bregethwr nerthol a grymus iawn; a'i holl bregethau ydynt yn gyffredin yn un gadwen ardderchog o wirioneddau athrawiaethol ac ymarferol, ac yn dra phriodol i'r amserau y'u traddodid.——Efallai y cilwga ambell un o'ch gohebwyr arnoch am argraffu yr hyn a ymddengys iddynt yn *hen* Bregeth, a'r *hen* bregeth yn *gyfieithiad* hefyd: ond nid oes genyf esgus i'w roddi amgen na darfod ei chyfieithu ar ddymuniad hen Weinidog profedig a duwiol, tra adnabyddus o Mr. Thorpe; ac wrth gael blas ei hunan yn chwennych i'w gydwladwyr gael rhan o'r un wledd ag yntau.

*Abatty, Chwefror* 4, 1840.

---

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

EPISTOL JUDAS.

EPISTOL Judas a ysgrifenwyd oddeutu A.D. 65. Ei amcan ydoedd i warchadw credinwyr rhag egwyddorion ac arferiadau gau athrawon y rhai a godasent yn yr Eglwys yn yr oes apostolaidd. Trwy ddarlunio eu nodweddiad, ac arddangos y barnedigaethau dwyfol, mae gan y cyfryw bersonau reswm i'w dysgwyl, mae yr apostol yn rhoddi gocheliadau i'r Cristionogion rhag gwrando ar eu hymweniaethiadau, a thrwy hyny eu gwyrdroi oddiwrth ffydd a phurdeb yr efengyl. Yn yr epistol hwn gwelwn y digofaint sanctaidd ag oedd wedi angerddu yn mynwes y gwr hwn i Dduw wrth ysgrifenu yn erbyn drygioni; a'r pryder caredig gyda'r hwn mae yn annog y Cristionogion 'i ymgadw yn nghariad Duw, gan ddysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol.'

Yr epistol hwn sydd yn rhanedig i bump-ar-hugain o adnodau, yn cynnwys saith Dosparthiad.

Dosparthiad I.—Ar ol cyfarchiad cyffredinol at gredinwyr, mae yr apostol yn eu hannog i ymdrech egniol a sanctaidd yn mhlaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint, yn enwedigol o herwydd cyfeiliornadau gwrthgilwyr penrydd, adn. 1—4.

Dos. II.—Sydd yn eu hadgoffhau o rai enghraifftiau arswydus o ddialedd dwyfol ar bechaduriaid; yr Israeliaid, a Sodoma, a Gomorra, adn. 5—8.

Dos. III.—Sydd yn datgan fod y gau athrawon hyn — breuddwydwyr halogedig, a diystyrwyr llywodraeth, y rhai oeddynt chwannog i elw, ac wedi suddo mewn llygredigaeth, yn ymbarotoi i niwl tywyllwch tragywyddol, adn. 9—13.

Dos. IV.—Sydd yn dangos sicrwydd y cospedigaethau hyny ar y drygionus, oddiwrth brophwydoliaeth nodedig o eiddo Enoch yn nghylch dyfodiad Crist i farn, adn. 14, 15.

Dos. V.—Sydd yn mhellach yn darlunio y llygrwyr hyny o athrawiaeth a moesau, adn. 16—19.

Dos. VI.—Sydd yn annog i geisio eu hadeiladaeth eu hunain trwy ddylanwadau grasol yr Yspryd Glân yn eu gwasanaeth crefyddol, adn. 20, 21.

Dos. VII.—Sydd yn cyfarwyddo i dosturio wrth, ac adferu y rhai mewn perygl; ac yn diweddu gyda mawl-wers i Dduw ein Hiachawdwr, adn. 22—25.

Mae yn bur debygol i'r apostol gymmeryd yr hanes yn nghylch Michael, a phrophwydoliaeth Enoch, oddiwrth hen draddodiad wedi ei gadw, a thra hysbys yn mhlith yr Iuddewon.

CYFEIRIADAU YN JUDAS.

| | |
|---|---|
| Adn. 5........ | Num. xiv. 29. xxvi. 64. |
| — 7........ | Gen. xix. 24. Deut. xxix. 23. |
| — 9........ | Dan. x. 13. Zec. iii. 2. |
| — 11........ | Gen. iv. 5. Num. xvi. 1. xxii 7—21 |
| — 14........ | Gen. v. 18. |
| — 19........ | Ezec. xiv. 7. |
| — 24........ | Zec. iii. 4, 5. |

---

DETHOLION A LOFFWYD O FAESYDD DIFINYDDION.

MYNWES esmwyth yw mynwes cariad tragywyddol i enaid lluddiedig.—*Greenwood.*

Nid oes un milwr i Iesu Grist yn cael ei alw o'r maes nes iddo ennill y fuddugoliaeth.—*Greenwood.*

Dyn ffol sydd yn treulio bob dydd â'i olwg ar y fory; ond y call a dreulia bob dydd fel y diweddaf.—*Dr. Johnson.*

Haws dadleu dros allu moesol dyn, na dadleu moesau da allan o ddyn anianol.—*Bias.*

Dedwydd yw y tylwyth ag y mae

ynddynt fwy o gariad at eu Meistr nag o ofn. —*Cleobulus.*

Y winwydden a ddwg dri math o ffrwythau; yn gyntaf, pleser; yn ail, meddwdod; yn drydydd, colyn cydwybod.—*Anacharsis.*

Dyn yn coelio pob peth sydd heb gred o un peth.—*Cambria.*

Ffydd sydd gwlwm na fedr Alexander mo'i ddatod, sydd gyfammod na fedr uffern mo'i dori.—*Feltham.*

Gadewch i lwyddiant fod fel olew i olwynion, a chystudd fel gwynt i hwylio gweddi.—*Henry.*

Cam diweddaf y credadyn a fydd ar ben yr hen sarph, efe a'i ysiga, ac a rydd lam oddiarni i ogoniant.—*Dr. Mason.*

Cariad Crist sydd ddwfn fel y bedd, yn mha un y gorweddodd; cyn uwched a'r nefoedd i'r hon yr esgynodd; cyn hyned a thragywyddoldeb, ac mor barhaus â bedd yr enaid anfarwol.—*Dr. Waugh.*

Dyn da a oddef ddrwg ac a wna dda; a dyn anianol a oddef dda ac a wna ddrwg.—*Sibbs.*

Dylem bob amser lafurio fel pe bai pob peth yn ymddibynu ar ein llafur ni; ac etto, dan argyhoeddiad na allwn wneuthur dim heb Dduw.—*Macarius*

Yr hen ddiareb 'gormod o heiyrn yn tân,' sydd anwireddus; nis gall fod genych ormod, y prociedydd, (*poker*) gefail, a'r cwbl; cedwch hwynt oll ar fyned—*Clarke.*

Gwirionedd yw sylfaen pob gwybodaeth, a rhwymyn pob cymdeithas.—*Casaubon.*

I osod y galon ar y creadur, sydd megis gosod diamond mewn plwm, neu gloi glô mewn tlys-gist, neu daflu gemau i seler. —*Esgob Reynolds.*

Nid oes dim yn dymchwelyd colofnau yr Eglwys yn fwy i gorsenau ysgwydedig gan wynt, nag yw yspryd gwagogoneddgar.—*Oecolampadices.*

Ni ddylai un dyn gywilyddio proffesu ei fod wedi bod o'i le, yr hyn, mewn geiriau ereill, nid yw ond dywedyd ei fod yn ddoethach heddyw nag yr oedd ddoe.—*Pope.*

Gan fod gwir grefydd yn llyngcu ei rhith iddi ei hun, oni ddylai gwir ddirwestiaeth lyngcu yr hyn a eilw rhai yn rhith hefyd iddi ei hun, ac nid llyngcu y gwpan a gwrthod y dwfr.—*Cambria.*

Meddwl bach am bechod, a meddwl mawr am Dduw, nis ceir yn yr un fynwes. —*Owen.*

Y nefoedd sydd le o orphwysfa, ond nid gorphwysfa careg, neu alluoedd blinedig, ond gorphwysfa yspryd bywiog.—*Crawford.*

Gellir anafu sawdl credadyn, ond ei ranau bywydol sydd tu hwnt eu cyrhaedd. —*Cole.*

Y pregethwr na rydd mo'i galon yn ei bregeth, ni rydd mo'i bregeth ychwaith yn nghalonau ei wrandawyr.—*J. Cooke.*

Holl ddynolryw yn nghyd nis gallant wynnu un bluen i'r fran; felly nis gallant ddiddymu un iot o'r gyfraith Ddwyfol.—*Dywediad Rabbiaidd.*

Yr unig ffordd i gadw eiddo llygredig mewn parhad, i gadw dodrefn rhag pryfaid, y defnyddiau goreu rhag concro, a meini gwerthfawr rhag lladron, yw eu danfon i'r nefoedd trwy weithredoedd crefyddol.—*Quesnel.*

Lladrad nid yw beth yn cyfoethogi; elusenau nid ydynt byth yn cyfoethogi; a gweddiau ni rwystrant unrhyw orchwyl.—*Diar. Isellmynaidd.*

Yn nesaf at Grist ni feddaf ond un llawenydd; canwyll llygaid fy mhleserau, sef pregethu Crist fy Arglwydd.—*Rutherford.*

Cydymaith cyntaf digofaint yw ffolineb, a'r ail yw edifeirwch.—*M. Henry.*

J. JONES.

## FFYDDLONDEB DAN EI GORON.

LLAWER o bersonau neillduol na buasem byth yn clywed am danynt, oni bai eu zel Cristionogol, a wnaethant yr hyn ag sydd yn teilyngu sylw anrhydeddus arnynt.

Adfywiad a ddygwyd oddiamgylch gan un ag sydd yn deilwng o'r enw 'Gwraig anrhydeddus.' Crefydd oedd mewn sefyllfa mor isel fel y penderfynwyd rhoddi y Cyfarfodydd Gweddio i fynu. Y prydnawn a neillduwyd i weddio a ddaeth, yr oedd yn dywyll a thymhestlog—pawb a safasant at eu penderfyniad blaenorol, oddigerth un hen wraig, yr hon oedd yn byw yn lled bell oddiwrth y Tŷ Gweddi. Hi a fethodd a rhoddi i fynu yr awr fanteisiol, ond dododd ei mantell am dani, a chymmerodd ei llusern yn ei llaw, a gwnaeth ei ffordd at allor amddifad Duw; yno treuliodd awr ei hun, ïe, ond nid ei hunan ychwaith. Ar ei ffordd adref, galwodd gyda chwaer yn yr Arglwydd, yr hon, mewn syndod, a ofynodd, 'Fy mam, pa le y buoch ar y fath noswaith ystormus a hon?' 'Myfi a fûm yn y Cyfarfod Gweddio,' ebe y fam yn Israel.' 'Deallais,' ebe hithau, 'fod y Cyfarfod wedi ei roddi i fynu.' 'Na, ac nis caiff,' ebe yr hen wraig dduwiol. 'Pwy a allasai fod yno?' ebe ei chyfeilles. Meddai hithau, 'Myfi a ddarllenais, a weddiais, ac a fyfyriais, ac yr oedd yn bresennol, Duw Dad, Duw Fab, a Duw Yspryd Glân; a ni a gawsom gyfarfod hyfryd iawn! Cedwir ef etto yr wythnos nesaf; ac yr wyf yn gobeithio y bydd y lle yn llawn.' Felly yr oedd, ei gweddi a dderbyniwyd. Y nefol sicrwydd a gofnodwyd, sef, 'o'r dydd hwnw allan y bendithiaf chwi;' 'a'r hyn a wnaeth hon hefyd a adroddir er coffa am dani.'—*Colton on American Revival.*

*Rhyl.* JOHN JONES.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—Parhad o du dal. 38.

*O ddiwedd y Flwyddyn gyntaf o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu hyd ddiwedd yr Ail Flwyddyn.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 65. | Yr Iesu yn myned i ail wyl y Pasc | .... | .... | .... | v. 1. | I Jerusalem. |
| 66. | Yn iachau y dyn claf ar lan Llyn Bethesda | .... | .... | .... | v. 1—9. | Yn Jerusalem. |
| 67. | Yr Iuddewon yn ceisio ei ladd ef am hyny | .... | .... | .... | v. 16. | Etto. |
| 68. | Y dysgyblion yn myned trwy yr ŷd, ac yn bwyta o hono ar y Sabbath | xii. 1—8. | ii. 23—28. | vi. 1—5. | .... | Gerllaw Jerusalem. |
| 69. | Yn dychwelyd i Capernaum | xii. 9. | .... | .... | .... | O Jerusalem. |
| 70. | Yn iachau y llaw wedi gwywo | xii. 9—14. | iii. 1—6. | vi. 6—11. | .... | Yn Capernaum. |
| 71. | Ei daith fer gyntaf o amgylch, yn y gymmydogaeth | xii. 15—21. | iii. 7—12. | .... | .... | O Capernaum tu a'r deheu. |
| 72. | Yn treulio noswaith ar y mynydd i weddio | .... | iii. 13. | vi. 12. | .... | O du y gogledd i Capernaum. |
| 73. | Yn ordeinio deuddeg apostol | x. 2—4. | iii. 13—19. | vi. 13—16. | .... | Etto. |
| 74. | Pregethu ar y gwastadedd, ac yn iachau cleifion | .... | .... | vi. 17—49. | .... | Etto. |
| 75. | Iachau gwas y canwriad | viii. 5—13. | .... | vii. 1—10. | .... | Yn Capernaum. |
| 76. | Yn myned i ddinas a elwid Nain | .... | .... | vii. 11. | .... | O Capernaum. |
| 77. | Cyfodi mab i wraig weddw o farw yn fyw | .... | .... | vii. 11—16. | .... | Yn Nain. |
| 78. | Yn derbyn Cenadau oddiwrth Ioan Fedyddiwr | xi. 2—6. | .... | vii. 17—23. | .... | Etto. |
| 79. | Yn pregethu i'r bobl | xi. 7—30. | .... | vii. 24—34. | .... | Etto. |
| 80. | Gwraig yn golchi traed yr Iesu â'i dagrau, ac yn eu sychu â gwallt ei phen | .... | .... | vii. 36—50. | .... | Etto. |
| 81. | Ail daith gyffredinol yr Iesu i bregethu yr efengyl, ac i iachau y cleifion | .... | iii. 19. | viii. 1—3. | .... | O Nain trwy Galilea. |
| 82. | Perthynasau yr Iesu yn myned i'w ddal ef, gan dybied ei fod allan o'i bwyll | .... | iii. 20, 21. | .... | .... | Yn Capernaum. |
| 83. | Iachau dyn dieflig, dall a mud | xii. 22, 23. | .... | .... | .... | Etto. |
| 84. | Y Phariseaid yn cablu yr Iesu | xii. 24—37. | iii. 22—30. | .... | .... | Etto. |
| 85. | Y Phariseaid yn gofyn arwydd ganddo | xii. 38—45. | .... | .... | .... | Etto. |
| 86. | Yr Iesu yn dangos pwy ydynt ei wir berthynasau ef | xii. 46—50. | iii. 31—35. | .... | .... | Etto. |
| 87. | Yn dysgu y bobl trwy ddammegion | xiii. 1—9. | iv. 1—9. | viii. 4—8. | .... | Wrth fôr Galilea. |
| 88. | Ei ddysgyblion yn gofyn iddo paham yr oedd efe yn dysgu y bobl ar ddammegion, ac yntau yn ateb | xiii. 10—17. | .... | .... | .... | Etto. |
| 89. | Ychwaneg o'r dammegion | xiii. 24—35. | iv. 26—34. | .... | .... | Etto. |
| 90. | Iesu yn eglurhau amryw o'r dammegion i'w ddysgyblion | xiii. 36—52. | iv. 10—25. | viii. 9, 18. | .... | Yn Capernaum. |

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

PARHAD O BREGETHAU A BREGETHWYD YN HARLECH.

*Rhanau o Bregeth a draddodwyd gan y Parch. John Peters, Trawsfynydd, Ionawr* 23, 1831.

2 TIMOTHEUS 3. 5. 'A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi: a'r rhai hyn gochel di.'

Sylw 1. Am rith duwioldeb. Wrth rith yn y lle hwn y meddylir ymfoddloni ar gylch crefydd yn unig. 2. Y peth yw gwir dduwioldeb, sef anian dduwiol yn yr enaid, gwreiddyn y mater, calon i garu Duw a chadw ei orchymynion, olew yn y llestr gyda'r lamp, cael peth oddifewn i lenwi gwagle y dymuniadau, &c.

---

*Y Parch. John Williams, Ieu. Dolyddelen, Chwefror* 13eg, 1831.

ESAY 45. 22. 'Trowch eich wynebau ataf fi holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber: canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall.'

Sylw 1. Am yr alwad, 'Trowch eich wynebau ataf fi:' y neb sydd yn galw yw Duw. Y mae pawb wrth natur a'u cefnau at Dduw. 2. Y fendith sydd o droi, sef achub,—achub odditan y condemniad, ac odditan arglwyddiaeth pechod, ac oddiwrth ei effeithiau, a'r bod o hono. 3. Am natur yr alwad, y mae yn alwad gadarn, gyfiawn, a chwynfanus, ac effeithiol i droi pechaduriaid.

---

*Gan yr un gwr, Mawrth* 13, 1831.

IOAN 1. 19. 'Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.'

Sylw I. Am y gair 'Wele;' y mae y gair *wele* yn galw am ein sylw ar y peth canlynol; ac felly yma, y mae yn dangos fod Crist wedi dyfod yn sylwedd y cysgodau. II. Am Oen Duw; y mae yn Oen Duw. 1. Oblegid ei fwyneidd-dra. 2. Oblegid ei osodiad gan Dduw. 3. Oblegid ei gymmeradwyaeth gan Dduw. Yr oedd yr wŷn a aberthid yn gysgodau o Grist. 1. Am eu bod o'r praidd. 2. Am eu bod yn ddianaf. 3. Am eu bod yn lân. 4. Am eu bod yn ymborth. 5. Am fod eu gwaed yn ateb dyben. Felly Crist, y mae o'r hil ddynol, yn aberth difai, yn Dduw, ac yn lân yn ei enedigaeth, ei fywyd, a'i farwolaeth; y mae yn fara y bywyd, ac y mae ei waed yn ateb dybenion annhraethol fawr.

---

*Y Parch. Dafydd Cadwalader, Bala, Ebrill* 2, 1831.

PSALM 51. 17. 'Aberthau Duw ydynt ysbryd drylliedig; calon ddrylliog gystuddiedig, O Dduw ni ddirmygi.'

Sylw I. Am aberthau y galon. Y mae pedwar peth mewn aberthu y galon, sef,
1. Rhoddi yr enaid i Dduw i'w gadw.
2. Rhoddi y corph i wasanaethu Duw.
3. Rhoddi yr holl amser i ogoneddu Duw.
4. Rhoddi yr holl feddiannau i'w ofal.

II. Y peth yw calon ddrylliog; y mae dyn a chalon ddrylliog yn debyg i ddyn wedi tori ei esgyrn, yn wân, ac yn gwynfanus, yn methu gwneyd dim heb gynnorthwy yr Arglwydd.

III. Gwaith yr Arglwydd yw dryllio y galon, am hyny ni ddirmyga efe ei waith ei hun.

---

*Gan yr un gwr, Ebrill* 3, 1831.

MARC 12. 26. 'Ond am y meirw, yr adgyfodir hwynt; oni ddarllenasoch chwi yn llyfr Moses, y modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth, gan ddywedyd, Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob?'

Sylwn ar y pethau sydd yn profi yr adgyfodir y meirw. Yn 1. Y mae pethau natur yn dangos hyny yn eglur, sef, y ddaear yn bwrw ei blagur allan, a'r haul yn cyfodi ac yn llewyrchu ar y byd, &c. 2. Y dynion a aethant i'r nefoedd heb brofi marwolaeth, sef Enoch ac Elias; yn nghyd â'r rhai oll a adgyfodasant o feirw. 3. Y mae y tystiolaethau cedyrn sydd yn yr Ysgrythyrau yn profi yn amlwg yr adgyfodir y meirw; a'r cyrph sydd genym yn awr a fydd genym yn y farn.

---

*Y Parch. Thomas Jones, Dolwynog, Swydd Drefaldwyn, Mai* 15, 1831.

2 TIMOTHEUS 2. 26. 'A bod iddynt ddyfod i'r iawn allan o fagl diafol, y rhai a ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef.'

Y mae dynion wrth natur heb fod yn iawn. Y maent wedi colli arnynt eu hunain mor bell, fel ag y maent yn dywedyd am y drwg mai da yw, ac am y da mai drwg yw. Y maent mor ffyddlon yn ngwasanaeth y diafol, fel pe bai cyflog iddynt; ond y gwir yw 'cyflog pechod yw marwolaeth.'

---

*Y Parch. John Williams, Ieu. Dolyddelen, Tachwedd* 6, 1831.

RHUFEINIAID 13. 11. 'A hyn, gan wybod yr amser, ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu,' &c.

Sylw I. Am yr agwedd, sef cysgu: wrth gysgu weithiau y meddylir cwsg naturiol y corph, bryd arall cysgu mewn camwedd a phechod, bryd arall cysgu gyda'r ordinhadau, a phethau ysprydol. Y mae tri pheth yn achos o gwsg gyda phethau ysprydol, sef 1. Colli yr olwg arno ei hun fel pechadur. 2. Colli defnyddio Crist fel ceidwad. 3. Colli mewn dyledswyddau, myfyrio a gweddio, &c.

II. Yr annogaeth, sef deffro i weithio dros Dduw. 1. Penau teuluoedd. Y mae gan ben teulu dair swydd, sef bod yn frenin

prophwyd, ac offeiriad i'w deulu. 2. Athrawon yr Ysgol Sabbathol. Y mae melldith Meroz ar bawb a esgeulusant ddyfod yn gynnorthwy i'r Ysgol Sabbathol. 3. Deffroed yr Eglwys.

III. Y rheswm paham y dylem ddeffroi: dylem ddeffroi i ddiolch i Dduw am bethau tymmorol, ac am fanteision ysprydol, ac am gael ein cadw rhag y meirch barnedigaethol. Dylem ddeffroi i weithio dros Dduw, oblegid fod y dydd wedi nesâu, a'n hiechydwriaeth yn nes na phan gredasom.

---

## PRIODI.

*Casgliad o Beveridge's "Private Thoughts."*

Er nad yw yn angenrheidiol i mi benderfynu *priodi*; etto y mae yn angenrheidiol i mi benderfynu ar *reol* i weithredu wrthi pe bawn yn priodi.

Rheol I. Trwy gymmorth gras yr wyf yn penderfynu dewis un i fod yn wraig i mi ag sydd yn gyntaf wedi dewis Crist yn briod iddi ei hun, fel na byddo un yn cael ei wneuthur yn un *cnawd* â mi, yr hon nid yw yn un *yspryd* a'r Arglwydd; yr wyf yn edrych ar ddelw Crist fel yr harddwch penaf, a gras Duw fel yr etifeddiaeth wychaf, ac er nad yw y rhagoriaethau hyn yn ddenîadol i *lygaid o gnawd*, etto y maent yn dra boddhaol i *galon ysprydol*, y mae y meddwl am briodi un hebddynt, yn peri i'm calon grynu. Pa beth! A briodaf un sydd yn briod â'i phechod? A foddlonir fi â meddiant o gorph un ag y mae y diafol yn meddiannu ei henaid? A unir fi âg un yma, yr hon a wahenir oddiwrthyf yn y byd arall am byth, ac a gondemnir i gael ei deifio byth gan y llosgfeydd tragywyddol?

Rheol II. Yr wyf yn penderfynu na chynnygiaf ar y gorchwyl o *ymofyn* am wraig, heb yn gyntaf *ymofyn* â Duw, ac erfyn ar fy Nhad nefol i fy anrhydeddu â chydmares o fysg ei anwyl blant, ac na byddo i'm serch gael ei osod ar neb, heb y seiliau cryfaf i farnu ei bod yn caru Duw, byddai cyd fyw âg un fel hyn yn bleser, byddai yn hawdd i mi ymhyfrydu yn un sydd â Duw yn Dad iddi, yr Eglwys yn fam iddi, y nef yn etifeddiaeth iddi; a thebygol nas gallwyf garu yr un arall, a chariad yw, nid yn unig dyledswydd fawr y stad briodasol, ond hefyd ei phrif ddedwyddwch.

Gwelir nad y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig yw yr *unig* rai sydd yn gwrthwynebu '*Ieuo yn anghymarus gyda'r rhai digred.*'

*Manchester.* NATHANIEL JONES.

---

## CANU MAWL.

Y MAE pob diwygiad mewn pethau daionus i'w ddymuno—i ymestyn ato—ac i lawenhau o'i blegid; yn nghyda phethau ereill, y mae y deffroad, y llafur, a'r cynnydd sydd gyda hyn, (yn enwedig mewn llaweroedd o ardaloedd) yn y dyddiau hyn yn hoffus iawn i bob meddwl sydd yn caru prydferthwch addoliad cyhoeddus.

Mae yn wir fod y rhan hon o'r gwasanaeth cyhoeddus yn fwy ar ol nag un rhan, hyd yn ddiweddar: pryd y gwelwyd trefn yr Ysgolion Sabbathol wedi esgyn i gryn brydferthwch, medrusrwydd mewn darllen wedi ei gyrhaedd i raddau helaeth, ac iawn drefn mewn pregethu wedi ei gyrhaedd i fesur mawr. Pa fodd? Trwy fod Cyfarfodydd Ysgolion, a Chyfarfodydd Athrawon, i gynghori a darllen, ac addysgu y naill a'r llall, ac ymweliadau mynych y naill ardal a'r llall. Diwydrwydd mewn Cyfarfodydd Misol a Chwarterol, i rybuddio, cynghôri, ac annog y naill y llall at weddeidd-dra a pherffeithrwydd. Magai hyn awydd am wybodaeth, am ysgol, am lyfrau, a darllen, a'r cwbl yn tueddu at, ac yn magu a chryfhau yr hyn oedd mewn golwg.

Etto yr oedd y canu yn aros yn wael, ac yn annhrefnus. Beth allasai fod yr achos o hyny? Fe allai fod rhagfarn lled gryf mewn rhai hen bobl, ac ambell i swyddog Eglwysig at y canu *wrth y notes*, (fel y dywedynt) a hyny gymmaint fel na roddent unrhyw gefnogaeth i'r llafur at ddysgu hyny, a thrwy hyny, ac amryw bethau ereill, yr oedd y rhan hon o'r gwaith yn parhau mewn gwaeledd. Achosodd y rhagfarn a'r difaterwch hwn ddrwg arall, sef gollwng y rhan yma yn ormod dan olygiad rhai dynion ymddifad o'r Yspryd.

Pa fodd bynag, erbyn hyn, y mae yn amlwg fod gwellhad mawr yn hyn. Trwy ysgrifenu i'r Misolion—y llyfrau buddiol a gyhoeddwyd yn ddiweddar i ddysgu—sefydliad Cymdeithasau Canu, y gefnogaeth a rydd yr Eglwysi at hyny, &c. Cymmaint yw y cyfnewidiad mewn llawer man, fel mai prin y credwyf lawer tro mai yr un bobl a lleisiau, &c. sydd yno yn awr, ac a welwyd, ac a glywwyd o'r blaen, yr hyn sydd yn llawenydd mawr i bob mynwes sydd yn caru diwygiadau mewn pethau da.

Rhaid cofio hefyd mai tebyg i lwybr y goleuni ydyw llwybr pob diwygiad, sef arafaidd a graddol, ac nid fel Adda yn nghyflawnder ei faintioli ar ei darawiad cyntaf allan. Gan hyny, rhaid goddef a chyd ddwyn âg anmherffeithrwydd, ac ymestyn at berffeithrwydd yn ddiwfrhau.

Mewn golygiad felly, cefais ar fy meddwl daflu yr hyn a ganlyn i sylw Cantorion ffyddlon yr oes, gan obeithio na edrychir arnynt yn angharedig, sef yn

1. Fod pentyru gormod o fesurau newyddion ar y pryd yn anfanteisiol hynod i gael canu da. Dyfod â'r dôn newydd yma, a throsti—un arall, a thros hono—a thrydydd, a thros hono. Hefyd, heb ymsefydlu mewn dysgu yr oreu a'r fwyaf angenrheidiol. Mae yn wir y caiff y Cantorion ddifyrwch iddynt eu hunain wrth hyny, ond pa adeiladaeth a gaiff y gyn-

nulleidfa mewn dysgu canu? Gwell fyddai penderfynu ar dôn, a'i dysgu ar wahanol benillion, a'i dysgu yn dda, na phentyru llawer o dônau heb ddysgu yr un o honynt.

2. Cynnyg tônau rhy fywiog i'r cynnulleidfaoedd. Tôn er mwyn difyrwch y Cantorion yn fwy nag er adeiladaeth y gynnulleidfa mewn canu; a thôn y bydd rhan fawr o'r gynnulleidfa heb ganu dim, o herwydd na allant ei dysgu. Peth gofidus ydyw clywed ambell i dôn yn yr addoliad, y gallai rhyw un oddiallan dybied mai canu efo y tànau fyddai yno, ac nid mawl i enw y Goruchaf. Mae yn wir fod tônau bywiog yn rhai hyfryd iawn, ac nid yn erbyn bywiogrwydd y cyfeiriaf, ond yn erbyn ffoledd tônau, a'u hanweddeidd-dra i gyssegr y Goruchaf.

3. Dyfod â thônau newyddion yn rhy fuan i arferiad yn yr addoliadau cyhoeddus. Fe allai y byddai yn well cymmeryd mwy o bwyll yn hyny: byddai yn well ymarfer mwy â hwy yn y Cyfarfodydd Canu, ac o flaen Odfaon am ryw dymmor, na'u taro yn rhy ebrwydd i'r gynnulleidfa, fel y dysger hwy yn dda yn gyntaf. Peth gwael a gofidus, ac annheilwng yw cynnyg ar dôn yn y gynnulleidfa, y byddo y gynnulleidfa o herwydd dim ynddi dan anfantais i ganu, yn enwedig ar ddiwedd odfa. Bu diwedd llawer odfa dda yn ddilewyrch lawer gwaith oblegid hyn.

4. Amryw yn rhuthro i ddechreu canu ar draws y neb a fyddo wedi ei osod ar hyn o orchwyl. Un a blys y naill dôn, y llall flys y dôn arall; hwn yn dechreu yn awr, arall y tro arall, fel mai prin y gellid gwybod mewn llawer man pwy fydd y dechreuwr. Gwell debygid ar les y gynnulleidfa ydyw fod rhyw un yn dechreu, a phrydferthwch hyd y byddo yn bossibl yw fod hwnw yn proffesu crefydd.

5. Na arferont ganu a'r llyfrau tônau yn eu dwylaw. I mi y mae yn edrych yn ffurfiolaeb gormodol. Gwelir hyny weithiau, dri neu bedwar yn edrych i'r un llyfr wrth ganu yn yr addoliad, fel pe canu y dôn yn gywir fyddai y pwngc penaf, ac nid *molianna* yn dda.

Nid hoffus genym ydyw darllen pregethau, a gweddiau, ac nid yw edrych i'r llyfrau tônau wrth ganu ond lled gyffelyb. Weithiau gwelir ambell un yn edrych ei lyfr tônau ar y weddi a'r bregeth,—eled hyny o'r maes am byth.

Gan obeithio yr ymestynir at weddeidddra yn hyn, fel yn mhob peth arall, y terfynaf ar hyn ytro hwn.

IOAN GLAN Y MOR.

## DYCHWELIAD YR HOLL FYD.

DYGWYDDODD yn ddiweddar i mi ddarllen y dyfyniad cynhyrfiol a ganlyn allan o'r llyfr dyddorawl hwnw, "TODD'S SUNDAY SCHOOL TEACHER." "It is by no *one* means, but by the union of *all* the means within the reach of the Church of God that this salvation of nations is to be effected, and the *press* must take its stand in the heart of every Christian nation, and give out its full tale of a thousand Bibles every day the year round, and pour out Tracts in countless quantities. The *Church* must see her labours, and prayers giving to the world a priesthood holy, self-denying, and absorbed in the one great work of saving the *world*. They must be so holy that they may stand on our beautiful walls, not dazzled, nor rendered torpid by a goodly heritage. They must pass over the mountains of the west, and beautiful shall be their feet; they shall teach the sailor to sing the songs of Zion, they shall climb the mountains of the south, they shall go through the heart of Africa, and purify her life blood; they shall go from isle to isle, over the great Pacific, and shall go still further, till they have carried the light of Heaven back to the cradle of earth's family."

Gwedi i mi ei ddarllen, myfyriais ychydig ar yr olygfa hyfrydlon a ddygwyd ger bron llygaid fy meddwl. Edrychais ar yr *Argraffwasg* yn nwylaw y Cymdeithasau Biblau a Thraethodau gydag hyfrydwch mawr yn taflu allan ei 'phylor, a'i phelenau papur' yn erbyn cestyll y cedyrn, megis peiriant mawr yn troi yn fwy chwyrn o un flwyddyn i'r llall.

Ar yr ochr arall gwelaf y Gymdeithas Genhadol yn afon allan ei byddinoedd lluosog o filwyr, oll yn gryfion i ryfel, ac yn penderfynu yn nerth eu Brenin i yru byddinoedd yr estroniaid i gilio, ac er fod llawer yn syrthio yn archolledig, ac yn cael eu galw oddiwrth eu gwaith at eu gwobr etto. '*Yn mlaen*,' ydyw arwyddnod y rhai sydd wedi eu gadael yn ol; maent fel byddin-res *(phalanx)* enwog Rhufain gynt, pan y mai un yn syrthio, aiff dau yn mlaen i lanw ei le.

Edrychais hefyd ar y Genadaeth Gartrefol; nid ydyw hon yn sefyll; mae ymdrechiadau llafurus ein brodyr gwylaidd y Cenadon yn haeddu ein sylw manylaf; a'u dymuniadau cwynfanus, 'O! frodyr gweddiwch drosom,' yn teilyngu ein cyd-ymdeimlad, a'n cyd-weithrediad. Ni allaswn lai na meddwl am y Diwygiad newydd sydd yn awr yn cynhyrfu yr holl wlad; y *sect*, yr hon y mae yn mhob man ddywedyd yn ei herbyn, ac er hyn oll, yn llwyddo mewn modd rhyfedd iawn, ac yn profi wrth fyned yn mlaen fod mwy o'i thu nag sydd yn ei herbyn.

Meddyliaf am yr achos *Dirwestawl*. Pa ddyngarwr na lamai o lawenydd wrth weled llwyddiant hon? Pa wladgarwr na ymrestrai o blaid hon? na wylai wrth weled celaneddau y gwŷr enwog a ddinystriwyd gan y gelyn *anghymmedroldeb*, ac na ddiolchai o'i galon fod gobaith ymwared i'r

genedl sydd yn codi. 'Y llinynau a syrthiodd i ni mewn lleoedd hyfryd, ïe, y mae i ni etifeddiaeth deg, am hyny, na chysgwn fel ereill, canys nid amser yw i gysgu.'

Mae agwedd ein gwlad anwyl a hoff yn galw am bob ymdrechiad—mae gwaith i bob un, am hyny pob un at ei waith. Gofyned pob un, 'Pa beth a allaf fi wneuthur er lles fy nghydwladwyr?' Ni ddylai neb o honom fyw iddo ei hun. Y mae hyn yn hollawl groes i esiampl Crist a'i apostolion, ac yn groes i natur gwir grefydd, am hyny deffrôwn.

Goddefwch, cyn terfynu, i mi ddywedyd un gair wrth fy nghydryw, sef, chwiorydd a mamau Cymru, y mae galwad neillduol arnom i ddeffroi; y mae genym ddylanwad, ac ni roddodd ein Crewr y dalent hon i ni i'w harfer er dangos ein mympwy, na'n traws-lywodraeth ar un arall, ond er daioni, a byddwn yn gyfrifol iddo am y defnydd yr ydym wedi wneyd o hyn. Er nas goddefir (ac nad yw yn gydfynedol â'r gwylder hyny a ddylai berchenogi ein rhyw) i ni ddywedyd llawer yn gyhoeddus; etto, gallwn bregethu gartref, yn ein esiamplau, a'n cynghorion; er na allwn ddringo yr areithfa, etto, gallwn ddysgu Dosparth yn yr Ysgol Sul; ac er na allwn fyned â'r 'newyddion da' i wledydd pellenig y byd —gallwn fod yn gasglyddion i'r Cymdeithasau daionus sydd yn eu hanfon allan; y mae llawer olwyn fechan yn y peiriant mawr yma, ac nis gall fyned yn mlaen yn hwylus heb y leiaf; felly pob un yn ei sefyllfa, gwnaed a allo er mwyn efengyleiddio y byd. Os na wna ystyriaethau o ddyngarwch ein cynhyrfu i fyned yn mlaen â'r gwaith yma, edrychwn yn uwch fel Cristionogion, dilynwn esiampl 'yr hwn a aeth o amgylch gan wneuthur daioni;' a byddwn yn ddilynwyr (neu efelychwyr) Duw, fel plant anwyl. MARA.

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA LLANRWST, RHAGFYR 25, 26, 27, 1839.

YN y Cyfeisteddfod y dydd cyntaf, penderfynwyd, yn mysg pethau ereill, ar y materion sydd i fod tan sylw gan y Cenhadon yn eu hymweliad â'r Eglwysi yn mhob Sir, sef, 1. Am grefydd ysprydol. 2. Yr achos Dirwestol. 3. Yr Ysgol Sabbathol. 4. Annogaeth ar i'r plant gael eu magu yn ofalus, a'u dwyn i fynu yn grefyddol. Dymunwyd hefyd ar i'r ymweliad hwn gael ei wneyd gan y brodyr sydd wedi eu pennodi yn ddioed, a'i orphen erbyn Cymdeithasfa Sir Drefaldwyn.

*Mewn Cyfeisteddiad yr ail ddydd*, annogwyd y llefarwyr a'r blaenoriaid i fod yn wresog yn cefnogi yr holl wlad i gymmeryd y Drysorfa, ac ar i ysgrifenwyr lafurio am bethau da a buddiol i'w hanfon. Penderfynwyd hefyd i wneyd rhestr newydd o Farnwyr Ysgrifau yn mhob Sir, a threfydd Lloegr, ac am i'r Cyhoeddwr ofalu i beidio rhoddi dim i mewn, ond a gefnogid ganddynt hwy.

*Am ddeg, cynnaliwyd Cyfarfod y Llefarwyr a'r Blaenoriaid,* pryd y darllenwyd Llythyr gwerthfawr a duwiolfrydig, oddiwrth y Parch. J. Elias, yn cwyno nad allai fod yn bresennol gan y tywydd; yn hyderu y bydd tywalltiad mawr o'r Yspryd Glân yn ganlyniadol i'r dyddiau a bennodwyd i weddio Duw o'r plegid; ac yn diolch i'r Arglwydd am yr amddiffyn a fu ar ein Corph yn y terfysg diweddaf yn Newport, &c. &c.

Yn nesaf. Gofynwyd am gyfrifon yr Ysgolion Sabbathol o bob Sir a threfydd Lloegr, a chafwyd y cwbl oddigerth un Sir Gaernarfon a Manchester. Penderfynwyd argraffu yr hanes yn ddioed am eleni a'r llynedd, a thaer ddymunwyd ar i bawb o hyn allan ofalu i anfon eu cyfrifon yn brydlawn, fel y gellir eu hargraffu yn fuan, er boddlonrwydd yr Ysgolion yn mhob man.

Y Gymmanfa Chwarterol nesaf i fod yn Llanfair Caereinion, Ebrill 27, 28, a 29, 1840.

Cynnelir Cymmanfa gorphoredig o'r holl Gyfundeb yn Llanidloes, yn yr haf, a phenderfynir yr amser yn Nghymdeithasiad Aberystwyth.

Mae Cymmanfa Chwarterol Dinbych i fod Mehefin 10, 11, a 12. Cynnelir y Cyfeisteddfod am ddau y dydd cyntaf.

*Am hanner awr wedi un* cynnaliwyd Cyfarfod Athrawon yr Ysgol Sabbathol. Penderfynwyd, mewn Cyfeisteddfod blaenorol i sylwi ar y pethau canlynol, sef 1. Am y Bibl, yn ei ragoroldeb fel llyfr Duw. 2. Y parch sydd ofynol oddiwrth yr Athrawon a'u Dospeirth yn eu hymdriniaeth â'r Bibl. 3. Yr angenrheidrwydd sydd ar i'r holl wlad, fel deiliaid Llywodraeth, i ymostwng i'r awdurdodau goruchel, ac i gyfreithiau y tir.

Yna sylwyd yn debyg i'r hyn a ganlyn: —Gwerthfawr iawn ydyw cael llonyddwch fel yma i gynnifer â hyn o honom i ymgynnull at ein gilydd, heb neb i'n rhwystro. Gwlad lonydd yn y cyffredin yw ein gwlad ni; ac mae yn hyfryd i bawb o honom weled cynnifer â hyn o gannoedd o Athrawon yr Ysgol Sabbathol yn nghyd, ac mae gweled y fath olwg mor fawr o *swyddogion* yn brawf fod *aelodau* yr Ysgolion yn filoedd lawer.

Yna sylwyd ar y mater cyntaf, sef, Am ragoroldeb y Bibl fel llyfr y digelwyddog Dduw. Llyfr yr Ysgol Sabbathol mewn modd neillduol ydyw y Bibl, 'ac ynddo yr ydym yn meddwl cael bywyd tragywyddol.' Mae y Bibl hefyd yn ein dysgu am bethau y buasem yn anwybodus hollawl yn eu cylch hebddo. Yr ydym hefyd yn bresennol fel cenedl gwedi cael datguddiad o bethau a fuont yn guddiedig i bawb o'r blaen. Un o'r pethau hyny ydyw yr Ysgol

Sabbathol. Er y cafodd Tyndal enwog ei gynhyrfu i gyfieithu y Bibl i'r iaith Saesoneg, a'r hen Ficar Llanymddyfri i ysgrifenu ei lyfr gwerthfawr, sef 'Canwyll y Cymry;' etto, ni feddyliodd y naill na'r llall o'r gwyr hyn am sefydlu Ysgol Sabbathol yn eu cartrefi, fel y gwneir yn ein hamser ni.

Fe allai fod rhy fychan o sylw yn cael ei wneyd ar y gair hwnw yn ein plith, 'Chwiliwch yr Ysgrythyrau,' h. y. chwiliwch yn fanwl, yn ofalus, a gwastadol. Ac i'r dyben hyny, bydded i ni gofio fod genym lyfrau yn ein mysg, nad ydynt yn fuddiol i ddim braidd, ond i'n cynnorthwyo ni gyd â'r gwaith hwn, megis y *Corcordance*, y Geiriadur, &c. a gwerthfawr iawn pe bai y genedl ieuangc yn eu darllen fwyfwy. Gelwir arnom i lafurio yn y Bibl, am ei fod yn wir air Duw: mae yn bur naturiol i ni hoffi y gwir, a chwestiwn cymmwys iawn yw hwnw, 'Beth yw gwirionedd?' Dyna ydyw y gwirionedd yn fŷr, Meddwl Duw yn ei Air. Nid ydym yn meddwl fod yr Arglwydd wedi datguddio pob peth a wyr efe yn y Bibl, ond mae yn sicr ei fod wedi datguddio cymmaint a hyny o wirionedd sydd yn angenrheidiol er ein gwneyd yn dragywyddol ddedwydd. Plentyn gwirionedd yw gras, ac fe welir ei ol ar fyrddiynau o bechaduriaid truenus, a hyny am dragywyddoldeb.

2. Am y parch sydd yn ofynol oddiwrth yr Athrawon a'u Dospeirth yn eu hymdriniaeth â'r Bibl. Mae yr ystyriaeth pa fath lyfr ydyw y Bibl, sef llyfr Duw, yn gofyn y parch mwyaf oddiwrthym. Mae gwŷr enwog wedi dysgleirio yn hynod fel Awdwyr llyfrau da a buddiol, ond Duw yn unig yw awdwr y Bibl, ac y mae yn annhraethol ragori ar holl lyfrau y byd. Mae y man hefyd lle y darllenir, ac y dysgir y Bibl yn gofyn parch yr un modd. Rhybuddir ni i 'wylio ar ein troed pan fyddom yn myned i dŷ Dduw;' a dyma y lle yr ydys yn ymgyfarfod i ymdrin â'r Bibl. Os ystyriwn hefyd fod gair Duw yn aros yn dragywydd, ac yn cael ei barhaus bregethu yn ein clywedigaeth, ni a welwn fod gwir angenrheidrwydd arnom i'w barchu yn deilwng, a'i guddio yn ein calon.

Fe ddylai yr Athrawon barchu y Gair mewn modd neillduol, am eu bod hwy yn cael y fraint o roi y plant sydd dan eu gofal yn mhen y ffordd, 'Hyfforddia blentyn (medd Solomon) yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi.' Mae un peth ar yr un pryd yn achos o ddigalondid i'r Athrawon yn eu llafur i ddysgu yr ieuengctyd, sef yr yspryd o ddi-gydnabyddiaeth sydd yn fynych i'w weled yn mysg llawer o blant yr Ysgol Sabbathol: er hyny, na ddigalonwn, pwy wyr na fydd gwirioneddau y Bibl yn effeithio yn ddaionus ar eu meddyliau, ac yn gwneyd argraff annileadwy ar lawereedd o honynt cyn bo hir? Fe ddylai cymmaint a hyny o barch at y Bibl fod yn mynwes pob Athraw nes peri cryndod aml rhag iddynt eu hunain roddi gair Duw dan eu traed, a bod felly yn euog o roddi drwg esiampl o flaen eu hysgolheigion. Byddai yn deilwng iawn hefyd i bob Athraw ymdrechu yn wastad i argraffu ar feddwl ei Ddosparth, mai gair Duw sydd ganddynt i ymdrin âg ef, ac mai dyma y gair a fydd yn ein barnu ni yn y dydd diweddaf.

Mae yr olygfa sydd i'w gweled yn y Cyfarfod mawr hwn heddyw, yn brawf fod y parch a sonir am dano yn bresennol yn feddiannol gan lawer, ac mewn bod i raddau nid bychan yn ein plith. Mae yr ystyriaeth fod yr Ysgol Sabbathol yn addoliad Duw, a'r llyfr a ddysgir ynddi, yn Fibl Duw, yn galw am barch dyledus i'r naill a'r llall. Gweddiwn lawer am i'r parch yma gynnyddu fwyfwy yn ein mysg. Mewn cyssylltiad â'r mater hwn, cymmwys iawn yw meddwl am y gair hwnw, 'Agoriad dy eiriau a rydd oleuni, pair ddeall i'r rhai annichellgar.' O, llefwn yn aml am y gwr sydd ganddo yr agoriad i ddyfod i'n Hysgolion yn barhaus. Mae llawer o'n hysgolion gwedi eu twymno, trwy air Duw, y fath, nad ânt yn oerion am dragywyddoldeb.

3. Am ymostwng i'r awdurdodau goruchel, &c. O'r Bibl y mae y rheolau goreu i'w cael er cyflawni hyn hefyd; gan hyny, y mae pob peth sydd yn angenrheidiol i'w cael ynddo. Fel y dywedwyd am gleddyf Goliath, felly y gellir dywedyd am air yr Arglwydd, 'Nid oes o fath hwnw.' Nid oes ei fath am ddysgu ofn Duw, parch i ddyn, ac ufudd-dod i'r penaethiaid yn gyffredinol. Nid ydyw darlleniad o hono er hyny yn ddigon, heb ei brofi yn ei rinweddau dwyfol; ac fe ddysg profiad o'r Bibl ni yn well na dim arall. 'Byth nid anghofiaf dy orchymynion, (medd y Salmydd) canys â hwynt y'm bywheaist.' Yr oeddynt wedi gadael argraff annilëadwy ar ei feddwl, a'i lenwi o dân cariad at Dduw y fath, nas âi yr offeryn, sef gair Duw, byth yn ddiwerth o flaen ei lygaid. Dyma y bobl sydd am aflonyddu a pheri terfysg yn y wlad,—y bobl na fynant iau gair Duw ar eu gyddfau mewn un modd; ond trwy drugaredd fe gadwyd deiliaid yr Ysgol Sabbathol yn rhyfedd rhag ymgyssylltu â'r terfysgwyr hyny fu yn peri y fath aflonyddwch mawr yn Llanidloes a Chasnewydd, &c.

Mae pob dyledswydd orphwysedig arnom i'w gweled yn eglur yn ngair Duw, o ganlyniad, ni a ddylem fwyta yr holl lyfr. Mae rhai dynion sydd yn gyfeiliornus o ran eu daliadau, ac yn derfysgwyr yn y wlad hefyd, am ddarllen a chredu rhai rhanau o'r Bibl, ond y mae melldith Duw yn cael ei gyhoeddi uwch ben y dynion sydd am ddarnio y Bibl. Mae yn resyn hefyd fod mwy o ddelw y Cyhoeddiadau Misol i'w

weled ar ddynion mewn ffair a marchnad, na delw gair Duw. O, gweddiwn am fod mwy o ddelw y gwirionedd i'w weled arnom yn gyffredinol.

Mae llawer o ddadleu yn y wlad gan bwy y mae y grefydd oreu, ond bydded i ni ddadleu â'n bucheddau, gan bwy y mae yr un oreu. Dadleuwn drwy ein hymarweddiad pwy sydd yn ofni Duw, ac yn parchu dynion fwyaf. Mae hyny yn deilwng i'w ddywedyd, Nad oes yr un genedl dan fwy o rwymedigaeth i barchu yr awdurdodau goruchel na nyni. Y mae pob brenin a brenines sydd wedi bod yn teyrnasu arnom yn ddiweddar, wedi bod yn dadmaethod, ac yn fam-maethod i'r achos rhagorol. O, mor ufudd ac ymostyngol a ddylem ni gan hyny fod; ond agwedd arall, ysywaeth, sydd i'w weled ar lawer, ac hyd yn nod yn mysg teuluoedd.

Mae cwyn mawr yn bresennol drwy Gymru fod plant yn anufudd i'w rhieni, a merched yn anufudd i'w meistresi. Os nad ymddygir atynt yn mron fel argiwyddesau, buan yr ant ymaith i edrych am le newydd. Ni ddylai y pethau hyn fod felly, a gobeithio na bydd deiliaid yr Ysgol Sabbathol yn gyfryw. Gadewch i ni fagu ein plant 'yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd,' a'u dwyn i fynu yn rhai gweithgar, ufudd, a gonest, dros eu hoes. Hyderwn y bydd bendith yr Arglwydd ar y sylwadau hyn, ac y gwelwn fawredd ein braint, ac y byddwn byw yn fwy cyson â rheol y gwirionedd rhagllaw nag erioed.

*Cyfarfod Llefarwyr a Blaenoriaid y dydd olaf.* Gofynwyd cymmeradwyaeth o'r brawd ieuangc, John Evans, o Sir Drefaldwyn, i fyned i America, a dangoswyd hyny; a da oedd gweled un Llefarwr yn gwynebu y wlad fawr hono, i lafurio ychydig yn mhlith ein cydwladwyr.

Yna hysbyswyd fod y bregeth Ddirwestol ar y testyn, 'Na ladd,' o gyfieithiad y brawd Roger Edwards yn awr yn barod, pris 2c. ac annogwyd pawb i'w phrynu.

Yna sylwyd ar y mater cyntaf sydd i fod dan sylw y Cenadon yn eu hymweliad â'r Eglwysi, sef, Am grefydd ysprydol neu brofiadol.

Nid oes modd cael crefydd brofiadol heb fywyd; y mae yn rhaid cael gwreiddyn ac achos iddi o ryw le arall. Y mae hyny i'w weled yn amlwg iawn yn mhregeth yr Arglwydd Iesu ar y mynydd. Mae yn son ynddi am lawer o bethau yr oedd y genedl y pryd hwnw hebddynt, ac y mae perygl mawr i ninnau fod hebddynt. Bod yn 'dlawd yn yr yspryd;' newynu a sychedu am gyfiawnder; bod yn halen y ddaear, &c. ydynt rai o'r pethau hanfodol i wir grefydd.

Fel y nodwyd, rhyw beth ar ein hysprydoedd ydyw crefydd brofiadol. Dyna ydyw profiad, gwybod ein hunain fod y pethau ysprydol hyn genym; gweled ein hunain yn golledig, ac Yspryd Duw yn dangos bod digon ar ein cyfer yn Nghrist. Mae yr apostol, wrth son am grefydd brofiadol, yn dywedyd fod gorthrymder yn peri dyoddefgarwch, a dyoddefgarwch brofiad; y mae rhyw beth, ni a welwn, i'w ddyoddef genym cyn y byddwn yn brofiadol. Ni a welwn hefyd fod y grefydd werthfawr hon yn ein cymwyso ni i wneyd ychydig gydâ'n brodyr gartref, er gogoniant Duw, a lleshad yr achos yn gyffredinol. Nid oedd dim yn wir werthfawr yn ein gwlad nes daeth crefydd brofiadol i'n mysg. Cofiwn, anwyl frodyr, mai enaid pob dyledswydd grefyddol ydyw crefydd brofiadol; gan hyny, hi yw enaid ein gweddio, ein pregethu, ein gwrado, a'r cwbl.

Mae geiriau ereill yn y bregeth ar y mynydd yn deilwng o'n sylw, sef, 'Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, *Na ladd;* llygad am lygad, a dant am ddant.' Dangosodd Iesu wedi hyn fod crefydd ysprydol yn cynnwys mwy o lawer, megis, 'Cerwch eich gelynion; gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt,' &c. Dangosodd hefyd dro arall, beth oedd crefydd ysprydol, drwy ddywedyd, 'Oni fwytewch gnawd Mab y dyn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes genych fywyd ynoch.' Mae lle i ofni fod y grefydd ysprydol a sonir am dani, yn brin iawn yn y wlad; a phan yr elo y Cenhadon drwy yr Eglwysi, hwyrach mai y grefydd ysprydol fydd y peth a gant leiaf oll yn eu mysg.

Mae gwir grefydd ysprydol yn weledig ac anweledig; nid ydyw yn yspryd i gyd, nac yn gorph i gyd, ond y mae rhanau ysprydol ac allanol yn perthyn iddi. Y mae y Crynwyr yn gosod crefydd allan yn yspryd i gyd yn mron; nid oes dim bedyddio na chymuno yn eu mysg hwy, canys y maent yn eu deall yn ysprydol i gyd.

Mae lle i ofni hefyd fod llawer o bobl yn y wlad yn son am grefydd ysprydol, a'r gair 'ysprydol' yn aml yn eu genenau, ond nid oes ond ychydig a wyr yn wirioneddol pa beth y mae yn ei olygu. Nid oes modd i ddangos crefydd ysprydol allan mewn un gair yn well na dywedyd, mai cariad at Dduw ydyw. Mae hi yn cynnwys hefyd nesâd yr enaid at Dduw yn y dirgel, ac yn y cyhoedd. Gellir dywedyd hefyd ei bod yn cynnwys gweithrediadau grasol yn tori allan yn y fuchedd, a chan hyny, rhaid i ni fod yn feddiannol ar radau yr Yspryd; o ganlyniad, y mae gwaith mawr i'w wneyd ar ein hysprydoedd cyn y deuwn i afael profiad gwir ysprydol. Mae y gair hwnw yn dangos natur crefydd ysprydol, 'Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystuddiedig o yspryd sydd yn crynu wrth fy ngair.' Mae yr enaid duwiol yn dal cymdeithas gyfrinachol â holl Bersonau y Drindod, yn yr oll o'r iachawdwriaeth; yn cydgaru yr un pethau, yn cyd-gasâu yr un pethau, ac yn cyd-weled am yr un pethau.

Da i ni beidio anghofio y gyffelybiaeth

yn y dechreu, sef, yspryd a chorff. Mae teyrnas nefoedd, medd Crist, yn debyg i'r wraig, yr hon a roddes ychydig lefain yn y blawd, nes lefeinio yr holl does; rhyw beth, gan hyny, yn cael ei roi o mewn ydyw gwir grefydd, ac i'w weled yn amlwg yn ei ffrwythau. Ni a ddylem, mae yn wir, ddiolch am bob gwelliant sydd i'w weled ar agwedd y corph yr ydym yn perthyn iddo, ond ni a ddylem ar yr un pryd grynu llawer rhag colli y grefydd ysprydol o'n plith, a fu mor amlwg yn mysg ein tadau. Mae y dyn sydd yn feddianol ar grefydd ysprydol yn cwyno llawer gan ei bla a'i lygredd; er hyny, y mae ei grefydd yn talu ei ffordd yn y cyfyngderau mwyaf, ac hyd yn nod yn angeu ei hun, 'Credu yn unig' fydd hi y pryd hwnw; dim ond Mab Duw a phechadur, a hyny yn ddigon o oleuni yn nyffryn cysgod angeu, nes lanio yr enaid i'r wlad well yn lân.

Yr oedd disgyblion y torthau yn dilyn Crist am dymmor, ond pan aeth efe i drin crefydd ysprydol dacw hwy yn troi eu cefnau arno yn gwbl. Pa bethau bynag a ddywedir am danom ni, ac yn ein herbyn fel Corph, os cynnydda crefydd ysprydol yn ein mysg, ni chwelir mo honom oddiwrth yr Arglwydd, nac oddiwrth ein gilydd byth. Fe fyddai yr hen bregethwyr yn arfer dywedyd fod prinder ymddyddanion ysprydol yn ein mysg, yn argoel fod crefydd ysprydol yn brin, ac os cawn ni fwy o ysprydolrwydd crefydd ar gynnydd, fe fydd mwy o siarad am bethau ysprydol yn ein plith. Mae cymdeithas ysprydol hefyd yn cael ei chario yn mlaen rhwng mynwes y Cristion a mynwes y Bibl, fel y tair mil hyny, yn cael eu dwysbigo yn eu calon wedi clywed y gair; a Lydia hefyd, yr Arglwydd yn agor ei chalon i ddal ar bethau y gwirionedd a leferid gan Paul. Ni fydd gwir grefydd ychwaith yn gadael ei pherchenog yn y fan yma, ond hi a dŷr allan yn weithredol.

Mae diogi corphorol yn ddrwg, ac yn niweid i iechyd y corph; felly y mae diogi ysprydol yn niweid i'r enaid. Ond mae y Cristion sydd wrthi yn gweithio yn y winllan, ac yn cofio glanhau ei hun, &c. yn cael adnewyddiad yn ei yspryd, a bywiogrwydd yn ei rasusau. Gellir dywedyd hefyd fod crefydd ysprydol yn gwneyd dyn yn debyg i'r Arglwydd Iesu. Mae rhai ar un llaw yn camgymmeryd, mai dwyn dyn yn lwmp o lygredd y mae rhad ras i'r nefoedd, heb ei wneyd yn debyg i'r Iesu yn gyntaf; ac y mae ereill, ar y llaw arall, yn camgymmeryd wrth feddwl y gallant ddyfod i ben o gymmwyso eu hunain o honynt eu hunain, heb gofio fod iachawdwriaeth dyn o rad ras.

JOSEPH WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

*Liverpool*, 1840.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

### Y BRODYR BOHEMAIDD.

Parhad o tu dal. 42.

WEDI i John Huss gael gwys i ymddangos o flaen y cyngor, yn mis Tachwedd, yn y flwyddyn 1414, fel yr atebai i amrai gyhuddiadau a osodid yn ei erbyn, efe a gafodd bapur ysgrifenedig gan yr Ymerawdwr Sigismund, yn cynnwys addewid am ei ddiogelwch trwy rinwedd yr hwn y gallai fyned a dychwelyd heb i neb gyffwrdd âg ef. Ond cyn gynted ag y cyrhaeddodd i Constance, taflwyd ef i ddaeargell ddofn a thywyll, dan yr esgus nad oedd na llw na dim i gael ei gadw gyda hereticiaid.

Ond nid oedd Huss mewn un modd yn anmharod i gyfarfod â'r driniaeth hon; o herwydd yr oedd wedi gwneuthur ei feddwl i fynu i ddyoddef pob triniaeth a'i cyfarfyddai er mwyn Iesu Grist; a Christ oedd ei oleuni a'i ddyddanwch yn nhywyllwch y carchardy. Cyflwynwyd nifer mawr o ddeisebau am ei ryddhad, i'r Ymerawdwr ac i'r cyngor yn Constance, oddiwrth lawer o deuluoedd urddasol yn Bohemia, ac o rai tywysogaethau yn y wlad hono, ac o Moravia. Ond wedi iddynt ei ddwyn dair gwaith o flaen y cyngor, ac erchi iddo amddiffyn ei hunan, a cheisio ganddo wadu ei holl ddaliadau yn gyhoeddus, ac yntau o hyd yn nacau, oddigerth iddynt allu ei wrth-brofi o'r Ysgrythyrau, efe yn ddifrifol iawn, a gyhoeddwyd yn heretic, ac a gondemniwyd i farw wrth yr ystanc. Rhoddwyd coron o bapur ar ei ben, wedi ei harliwio â lluniau cythreuliaid; ond efe a orfoleddodd wrth wisgo yr arwydd hwn o ddirmyg wrth gofio am yr Hwn a wisgodd drosto ef goron ddrain.

Pan oedd y barnwyr yn cyhoeddi y rhan hono o'r ddedfryd ddychrynllyd arno, 'Yr ydym yn cyflwyno dy enaid i'r cythreuliaid yn uffern,' efe a waeddai, 'I'th ddwylaw di, O Arglwydd Iesu Grist, y gorchymynaf fy yspryd! I ti y cyflwynaf fy enaid, yr hwn a brynaist!'

Wrth ei arwain o'r carchar i'r dienyddle, efe a dystiai, yn y modd difrifolaf, i'r dorf ymgynnulledig ei fod yn hollol ddiniweid o fai yn haeddu marwolaeth; a phan y daeth at yr ystanc efe a benliniodd, ac a weddiodd gyda'r fath dacrineb, fel ag y dywedodd rhai o'r edrychwyr, yn uchel hefyd,—'Beth a wnaeth y dyn hwn, nis gwyddom ni; ond y mae yn gweddio yn rhagorol. Buasai efe yn anerch y dyrfa oni buasai i swyddog yr Ymerawdwr, yr hwn a elwid '*Prince elector of the palatinate*,' orchymyn i'r dienyddiad gymmeryd lle yn y fan.

Ar hyn Huss a weddiodd â llais dyrchafedig gan ddywedyd, 'O Arglwydd Iesu! yr wyf yn dyoddef yn ostyngedig y farwolaeth greulon hon er dy fwyn di; ac yr wyf yn deisyf arnat faddeu i'm holl elyn-

ion.' Yna sicrhawyd ei wddf wrth yr ystanc â chadwen, a'i gorph â rhaffau gwlybion, tra yr amgylchid ef â gwellt a ffagodau.

Y swyddog rhag-grybwylledig a ddynesai ato unwaith yn rhagor i'w gynghori i ddad-gyffesu ei ffydd; ond Huss a'i hatebai, 'Yr hyn a ysgrifenais ac a ddysgais ydoedd i'r dyben o waredu eneidiau o feddiant Satan, ac yr wyf yn awr yn gwbl foddlawn i'w selio â fy ngwaed.' Y swyddog ar hyn a'i gadawai; y tân a enynwyd, a Huss a adroddai ran o'r Cyffes Ffydd, am ba un yr oedd mor foddlon i roddi ei einioes i lawr hefyd.

Tra yr oedd y fflamau yn sïo ac yn clecian o'i gwmpas, efe a weddiai, 'O Iesu Grist, ti Fab y Duw byw, trugarha wrthyf.' Fel yr oedd efe yn dolefain y geiriau hyn y drydedd waith, trodd y gwynt y mŵg i'w wyneb, fel nas gallai lefaru; ond yr oedd ei wefusau i'w gweled yn ysgwyd yn barhaus mewn gweddi, a'i ben yn gogwyddo mewn difrifwch a pharch am ychydig amser wedi hyny.

Fel hyn y bu i'r Arglwydd mawr fyrhau poenau ei wasanaethwr ffyddlon, a chymmeryd ei enaid ato ei hun, ar y 6ed dydd o Orphenaf, 1415, oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch yn y boreu. Taflwyd ei ludw i'r afon Rhine. Dywedir i un gwladwr o genedl y Swis, ddywedyd, wrth weled y driniaeth echryslon hon, 'Yr oedd llawer o offeiriaid yn Constance; ond hwy a losgasant y duwiolaf o honynt oll.'

Oddeutu yr un amser, yr oedd gweinidog duwiol arall yn Prague, o'r enw Jerome. Yr oedd hwn mor hoff o John Huss, fel yr aeth yr holl ffordd i Constance, i weinyddu y cysur a allai i'w gyfaill carcharorawl. Ond wrth ddychwelyd adref yn siomedigaethus, daliwyd ef ar y ffordd—dygwyd ef yn ol i Constance—sicrhawyd ef mewn cadwynau—a chauwyd ef mewn daeargell dywell yn nhŵr St. Paul, wedi ei rwymo â'i draed yn groesion, a'i ddwylaw yn groesion hefyd, a'i gorph yn grogedig mewn heiyrn wrth drawst uchel â'i wyneb i lawr. Yn yr ystum hon y parhaodd am 340 o ddyddiau! Wedi ei wanhau trwy y triniaethau creulon hyn efe a law-arwyddodd bapur o ddad-gyffesiad, ac a roddes ryw fath o gydsyniad gorfodogawl i gondemniad ei gyfaill oedd ar gael ei ferthyru. Ond gan y cedwid ef wedi hyn yn ngharchar, efe a edifarhaodd yn dost, a thystiodd hyny o flaen y cyngor pan ddygwyd ef ger eu gwydd y tro olaf. O ganlyniad, llosgwyd yntau hefyd ar yr un lanerch ag y llosgwyd Huss arni; ac efe a ymadawodd yn orfoleddus, gan ganu a moli Duw. Y gair olaf a ddywedai wrth y rhai oedd o'i amgylch oedd wrth y dienyddwr, 'Tyred â'th ffaglen, a gwna dy ddyledswydd o flaen fy llygaid; pe buasai arnaf arswyd y farwolaeth hon, hawdd fuasai i mi ei hysgoi.'

Ardderchog oedd y dystiolaeth a ddygodd Æneas Sylvius, wedi hyny y Pab Pius II. i'r ddau ferthyr hyn, 'Hwy a aethant,' meddai, 'at yr ystanc fel i ryw wledd orfoleddus; nis diangodd gair o arwydd ofn a llwfrdra dros eu gwefusau, ond hwy a ganent hymnau yn ddidor yn nghanol y fflamau hyd eu hanadliad olaf.'

Er cymmaint yw yr achos sy gan Gristionogion i fod yn ddiolchgar iawn pan y mae Duw yn cyfodi yn eu mysg y fath wŷr a Huss, bychan yw y rheswm sydd ganddynt i lwfrhau a digaloni pan y maent yn eu colli. O bawb ag y gallwn syllu arno â llygaid ein gobaith, nid oes ond un yn unig yn anghyfnewidiol—un na losgir byth yn Constance, ac na charcherir byth yn Rhufain; Efe yn unig a ddichon weithredu yn ddaionus yn a thrwy ei weision, ac nid yw yn dibynu ar yr un o honynt, ac mae yn alluog i gadw ei winllan trwy ei nerth ei hun, pan y byddo yr holl is-geidwaid wedi eu lladd a'u llosgi. Y mae efe yn gofalu er pob peth fod holl wroniaid ffyddlon yr Arglwydd Iesu Grist fel cangenau y *banyan-tree* yn India, yn disgyn i'r ddaear, nid i farw ond i dyfu drachefn; ac fel, os dygwyddai i'r hen foncyff gael ei dori i lawr, neu ei ddiwreiddo, y byddai yno luaws o foncyffion ereill yn aros i ffurfio un llwyn deiliog, a holl adar y nefoedd yn ymgysgodi ynddo.

Er fod Huss wedi marw, yr oedd yr achos y bu farw o'i herwydd yn aros yn fyw; ac wedi ei ymadawiad ef, caed gweled pa luaws o ganlynwyr a gododd ei bregethau a'i ysgrifeniadau iddo ef, neu yn hytrach i'r efengyl. Yn y flwyddyn ganlynol i hyny, sef 1416, dywedai Iago, Esgob Lodi, mewn araeth o flaen y Cyngor yn Constance, yn fuan wedi merthyrdod Jerome, fod llosgi yn gospedigaeth rhy ysgafn ar y fath ddau heretic, ag oedd wedi bod yn awdwyr mwy o ddrygau na neb a fu o'u blaenau erioed; a chyfeiliornadau ffiaidd, pa rai, meddai, oedd wedi llifo dros wledydd eang a phoblogaidd Lloegr, Ffraingc, Eidal, Hungary, Rwssia, Lithuania, gwlad y Pwyl, yr Almaen, a thrwy holl Bohemia. Ond nid oes genym achos i ryfeddu llawer fod eu hathrawiaeth yn rhedeg mor bell ac mor rwydd pan yr ystyriom fod yn mhob un o'r gwledydd hyn luaws mawr o'r rhai a broffesent ffydd y Waldensiaid, a'r rhai ni rusent dderbyn y newyddion hyn am ddiysgogrwydd Huss a Jerome fel calondid a chyfnerthiad iddynt hwythau fyned yn mlaen. A rhwng y blynyddoedd 1417 a 1458 llawer iawn o ddilynwyr Huss, a chofleidwyr ei athrawiaeth a losgwyd i farwolaeth.

Cyn gynted ag y cyrhaeddodd y newydd am ei ferthyrdod i Bohemia a Moravia, enynodd hyn ddigter mawr a chyfiawn yn monwesau ei gyfeillion. Ymgynnullasant yn nghyd, ac anfonasant lythyr llym iawn at y cyngor yn Constance, wedi ei arwyddo

gan uwchlaw cant o Farchogion urddasol, yn mha un y tystient yn eofn ddiniweidrwydd Huss, a'u parodrwydd hwythau i aberthu eu meddiannau, a'u bywydau hefyd i amddiffyn eu ffydd. Gwnaethpwyd pob dim a allesid yn Bohemia tuag at anrhydeddu ei goffadwriaeth; a neillduwyd dydd ei ferthyrdod i gael ei gadw yn wyl o ddifrifwch a galar.

Ond fel eu harwyddair, felly hefyd yr oedd yspryd Eglwys Rhufain—i ddwyn i berffeithrwydd pob peth yr ymaflai ynddo —felly hefyd y dygodd yn mlaen yn ddidor yr erlidigaeth lemaf a ffyrnicaf ar ddilynwyr Huss—gan eu hysgymuno—dwyn eu meddiannau oddiarnynt—a thaflu llawer o honynt i'r carcharau. Yr Hussiaid (fel y gelwid hwy) a gaent eu hela ar y mynyddoedd fel bwystfilod ysglyfaethgar, a'r rhai a ddelid a werthid yn gaethweision.

Mewn lle a elwir Kuttenberg, o fewn ysbaid byr o amser, taflwyd un cant-ar-bymtheg i ddyfnderoedd y mwn-gloddiau. Yn mis Tachwedd, yn y flwyddyn 1419, daliwyd un Gweinidog yn perthyn i'r Hussiaid, a thyllwyd ei ddwylaw trwodd â chleddyf llym, a rhoddwyd rhaff drwy y tyllau, a rhwymwyd ef wrth goeden, a llosgwyd ef i farwolaeth.

(*I'w barhau.*)

---

### "LLAWN SICRWYDD FFYDD."

Mae 'llawn sicrwydd ffydd' yn cynnwys profiad teimladol fy mod i yn dyfod at Grist, a fy mod yn derbyn Crist yn eiddo i mi fy hun; gan wybod, mai trwy rad rodd Duw, fod Crist yn Geidwad i mi; ac y bydd i mi yn sicr gael iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol drwyddo ef, sef bywyd o sancteiddrwydd a bywyd o ddedwyddwch; ac mai pa faint bynag a ddarfu i Grist ddyoddef er iachawdwriaeth unrhyw ddyn o hil Adda, ei fod wedi dyoddef hyny drosof fi; efe a wnaeth ac a ddyoddefodd drosof fi gymmaint ag a wnaeth, ac a ddyoddefodd ef dros un enaid o fewn creadigaeth Duw. RYLAND.

---

### TARDDIAD YSGRIF LLYTHYRENOL O DDUW.

Mae yn ymddangos, yn bur ddiamheuol, cyn rhoddiad y ddeddf ar Sinai, nad oedd Moses ddim yn adnabyddus o un math o drefn ysgrifenu ond mewn llythyrenau arwyddluniawl, yr hon a ddysgasai efe yn ngwlad yr Aipht. Ac mai mewn rhan er diddymu delw addoliaeth, ac hefyd gyda golwg am drosglwyddo datguddiad y gwirionedd Dwyfol, fe ddarfu i Dduw ei gynnysgaeddu ef ar yr achlysur hwn â chynllun pwysfawr o Ysgrythyr mewn Llythyrenau Egwyddorawl, ac a ddysgodd iddo pa fodd i ysgrifenu a chyfansoddi â hwynt y deddfau a'r ordeiniadau ereill, y rhai yr oedd efe i gael datguddiad o honynt.

Pa fodd bynag, mae yn sicr, nad oes genym ddim hanes o oesoedd boreuol y byd, fod llythyrenau egwyddorol mewn arferiad yn mysg un genedl dan y nef cyn amser Moses; ac y mae yr hen ysgrifenwyr oll yn cytuno yn eu tystiolaeth mai oddeutu y pryd hyny y dechreuwyd arferyd llythyrenau egwyddorol mewn ysgrif, yr hyn sydd yn tueddu yn gryf i beri i ni farnu eu bod o darddiad Dwyfol, neu mai Duw mewn modd arbenig a'u dysgodd hwynt i ddyn. HENDERSON.

---

## GOFYNION.

Barchedig Syr,—A oes neb o gedyrn Israel a ddaw allan at y rhan hyny o waith yr Arglwydd, sef, Cymmeryd mewn llaw y gwaith o ddiwallu angen gwyr ei wlad â'r gweddillion hyny sydd etto yn fyr i gyflawni y Bibl Teuluaidd, o waith y diweddar Barch. John Humphreys?

Dymunaf gael ateb i'r Gofyniad hwn trwy gyfrwng eich Trysorfa glodwiw, yr hyn a fawr foddha eich annheilwng was.

IAGO.

---

Mr. Golygydd,—Dymunaf gael gwybod genych chwi, neu ryw rai o'ch gohebwyr, Pa fodd y mae cysoni y ddwy adnod ganlynol, sef 1 Cron. 21. 1. lle y dywedir mai Satan a annogodd Dafydd i rifo y bobl; ac yn 2 Sam. 24. 1. y cawn, feddyliwn, fod yr Arglwydd yn ei ddigllonedd yn ei annog? Ac yn mhellach, A oedd rhifo y bobl yn bechod yn Dafydd?

*P—i—r—yd.* BACHGENYN.

---

A oedd aberthau o dan yr hên oruchwyliaeth am droseddau o'r ddeddf foesol?

*Dolyellau.* IOAN.

---

Barchedig Olygydd,—Yr wyf yn taer erfyn am i'r Gofyniad canlynol gael ymddangos yn y Drysorfa, os bernwch ef yn addas, sef, A oes modd cael gwin anfeddwol i'w arferyd yn y Sacrament Swper yr Arglwydd; ac os oes, paham nad arferid ef?

Atebiad prydlon i'r Gofyniad uchod a fawr foddlona lawer, heblaw eich cyson ddarllenydd.

*Cerig y Druidion.* J. J.

---

Syr,—Yr wyf yn meddwl mai yr adnod a gynnwys y nifer fwyaf o ryfeddnodau yn yr holl Fibl, yw yr un ganlynol:—'Am hyny, fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim fab Josiah, Brenin Juda, Ni alarant am dano, gan ddywedyd, O fy mrawd! neu O fy chwaer! ni alarant am dano ef, gan ddywedyd, O Ior! neu, O ei ogoniant ef!'

Paham y crybwyllir yma wrth alaru am fab, O fy chwaer! a phaham, wrth alaru am ddyn, O Ior! onid enw yr Hallalluog yw Ior? Jeremiah 22. 18. Eglurhad ar yr adnod hon a fawr foddha yr eiddoch

*Dinbych.* T. JONES.

---

### LLINELLAU SEISONIG I'W CYFIEITHU.

MR. CYHOEDDWR,—Erfyniaf eich hynawsedd i ofyn, trwy gyfrwng y Drysorfa, i'ch Beirdd hyfedr anfon Cyfieithiad o'r llinellau Seisonig* isod i'w cyhoeddi ynddi.

Wyf o'r meddwl fod dosparth Seisonig fel hyn i'w gyfieithu i'r iaith Gymraeg, yn fuddiol ac adeiladol i'r Cymry, mewn amryw ystyriaethau.

Nid yw hysbys i mi pwy ydyw awdwr y llinellau isod, ac nid yw hyny o bwys; y mae ei ddrychfeddyliau mor nodedig, a'i olygiadau mor ardderchog yn gosod allan wrthddrych ei destyn, yn werth i'w hargraffu etto, a'u cyfieithu i'r iaith Gymreig.

*Llynlleifiad.* IOAN MEURYN.

——"THOU only know'st
THOU, whose broad eye the *future*, and the *past*,
Joins to the *present*; making one of three
To mortal thought! THOU know'st, and THOU alone
All-knowing!—All-unknown!—And yet well-known!
Near, tho' remote! and, tho' unfathom'd, felt!
And, tho' invisible, for ever seen!
And seen in all! the *great*, and the *minute*;
Each globe above, with its gigantic race,
Each flow'r, each leaf, with its small people swarm'd,
(Those puny vouchers for OMNIPOTENCE!
To the first thought, that asks, "*From whence?*" declare
Their common source. THOU fountain running o'er
In rivers of communicated joy!
Who gav'st us speech for far, far humbler thews!
Say, by what name shall I presume to call
Him I see burning in these countless suns,
As *Moses*, in the bush? ILLUSTRIOUS MIND!
The whole creation, less, far less to thee,
Than *that* to the creation's ample round.
How shall I name THEE?—How my labouring soul
Heaves underneath the thought, too big for birth!

Great system of perfections! Mighty cause
Of causes mighty! cause uncaused! sole root
Of *Nature*, that luxuriant growth of GOD!
First Father of *effects!* that progeny
Of endless series; where the golden chain's
Last link admits a period, who can tell?
Father of all that is or heard, or hears!
Father of all that is or seen, or sees!
Father of that is, or *shall* arise!
Father of this immeasurable mass
Of *matter* multiform; or dense, or rare;
Opaque, or lucid; rapid, or at rest;
Minute, or passing bound! In each extreme
Of like amaze, and mystery, to man.

(*I'w barhau.*)

---

### CAIS AM GOFFADWRIAETH O'R GWYR ENWOG GYNT.

ANWYL FRAWD,—Byddaf weithiau, wrth feddwl am yr hen Barchedigion frodyr a gododd yr Arglwydd yn nechreu diwygiad y Trefnyddion Calfinaidd, ac a wnaed yn offerynol i chwalu y niwl a'r tywyllwch ag a oedd y pryd hyny yn gorchuddio Cymru gan ei gwneyd yn nos cysgod angeu, yn teimlo trymder hiraethlawn yn fy meddiannau wrth synio eu bod oll wedi disgyn i ddystawrwydd, ac na chaf glywed mo honynt mwy.

Cefais y fraint pan yn ieuangc o wrando y rhan fwyaf o honynt. Gwelais luniau rhai o honynt wedi cael eu tynu yn hynod o gywir a medrus, y rhai sydd yn dwyn ar gof i mi eu pryd a'u gwedd, a'u hagwedd gorphorol. Ond y mae yr hen Barchedig W. Williams wedi rhoddi i ni amgen ddarluniadau o'u hysbryd a'u llafur yn ei Farwnadau ar eu hol nag a ddichon i'r byd ei gyflwyno â phwyntil y lluniedydd cywreiniaf. Bum yn gresynu lawer gwaith na byddai i ryw un gymmeryd y gwaith mewn llaw o gasglu yn nghyd yr holl Farwnadau a gyfansoddodd y dyn anghydmarol hwnw, ac yn eu cyhoeddi gyda'u gilydd.

Byddai yn hyfrydwch gan hyd yn nod ieuengctyd a chanol oed eu darllen, ond byddai yn arlwy hynod o ddanteithiol i'r ychydig hen bobl sydd yn fyw ac yn cofio y dyddiau gynt. A fyddwch chwi cystal a dodi y cais hwn at sylw y cyffredin drwy ei gyhoeddi yn y Drysorfa? A chwi a foddhewch eich hen gyfaill.

*Trefriw.* ROBERT EVANS.

---

### ATEBIAD.

*Ateb i Ofyniad S. S. Jones, Rhif.* 110. *tu dal.* 49. Am fedyddiad plentyn gan Bregethwr heb ei ordeinio.

YR oedd bedyddio plentyn gan bregethwr heb ei ordeinio i weinyddu y Sacramentau, yn groes i reolau Eglwysig sydd yn arferedig yn mhlith Eglwysi Cristionogol yn holl wledydd Cred yn gyffredinol. Er hyny, yr oedd y Bedydd yn safadwy, hyd yn nod yn wyneb hen gyfraith ein tir, 'am ei fod yn fedydd dwfr, wedi ei weinyddu yn enw y Drindod.' Ond, yn awr, nid ydyw cyfreithiau Brydain yn ymhel dim â Bedydd mewn un modd, canys ordinhad Eglwysig yw. Genedigaeth plentyn sydd yn ofynol gan y gyfraith, ac nid Bedydd.

CYHOEDDWR.

## LLYTHYRAU, &c.

### AM NATUR EGLWYS.

*At Olygydd y Drysorfa.*

SYR,—Derbyniais yn ddiweddar Lythyr argraffedig yn cynwys Sylwadau ar Draethawd bychan a ysgrifenwyd genyf mewn perthynas i Natur Eglwys. Gan nad wyf yn bwriadu rhoddi un math o attebiad iddo yn uniongyrchol, yr wyf yn ei theimlo yn ddyledswydd arnaf hysbysu nad yw hyny yn tarddu oddiar anmharch at Awdwr y llythyr, nac at yr enwad o Gristionogion i ba un y mae yn perthyn. Pell iawn oddiwrthyf fyddo meddwl am ddirmygu neb o weinidogion yr efengyl, pa mor fyred bynag fyddo ei gyrhaeddiadau, tra na fyddo yn ceisio dangos ei hun yn rhywbeth nad yw. Ac am Awdwr y llythyr hwn, y mae yn hyfryd genyf ddywedyd ei fod yn ymddwyn ar y cyfan yn ddigon dirwysg a dirodres. Gyda golwg hefyd ar ysbryd y gwaith, os nad yw wedi llwyddo i ysgrifenu mewn dull mor foneddigaidd ag y gallesid dysgwyl, yr wyf yn hollol gredu ei fod yn ymdrechu at hyny; ac o ganlyniad y mae yn hawdd edrych heibio i rai ffaeleddau achlysurol. Nid wyf ychwaith, wrth son am rai byrion eu cyrhaeddiadau, yn amcanu rhoi ar ddeall mewn un modd fod yr Awdwr hwn yn un o honynt. Os nad oes llawer o rym ymresymiad i'w weled yn ei lythyr, yr wyf yn priodoli hyny i wendid y pwnc a amddiffynir ganddo, yn nghyda'r brys gyda pha un yr oedd yn ysgrifenu, 'gan fod achos y gwirionedd yn galw am attebiad *dioed*.' Ond yr wyf wedi dyfod i'r penderfyniad o beidio ei atteb, oblegid ei fod yn crybwyll am weinidog parchus arall yr hwn sydd yn bwriadu cyhoeddi llyfr etto ar yr un ochr i'r ddadl: ac y mae yn ymddangos mai y ffordd oreu yw gadael ein brodyr yr Annibynwyr i ddywedyd hyny sydd ar eu meddwl yn gyntaf, ac yna fe allai y tueddir fi i ysgrifio rhywbeth yn mhellach ar y *matter*, heb un olwg ar neb personau neillduol.

Ar yr un pryd, gan fod rhai darnau yn fy llyfryn wedi eu camddeall gan Awdwr y llythyr hwn, ac fe ddichon gan eraill yn yr un modd, dymunwyf genad i wneyd ychydig Sylwadau arnynt mewn ffordd o eglurhad.

1. Nid oeddwn yn meddwl fod y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghymru yn gweithredu yn mhob peth yn hollol yn yr un dull a'r Henaduriaethwyr yn Scotland a'r Eglwys ddiwygiedig ar y Cyfandir. Er enghraifft, y mae eu gweinidogion hwy gan amlaf yn pregethu mewn *gown*, a llawer o honynt yn derbyn cannoedd o bunnau bob blwyddyn am eu llafur: a diammeu ei bod yn wirionedd anwadadwy nad yw gweinidogion y Trefnyddion Calfinaidd yn cyfatteb iddynt yn yr ystyriaethau hyn. Ond os dywedir fod y gwahaniaeth hwn yn cyfnewid y ffurf-lywodraeth eglwysig, neu fod unrhyw wahaniaeth arall o bwys rhyngddynt, nid oes genyf ond atteb yn ngeiriau y llythyr, '*Nid yw yn ffaith*.' Y mae yn wirionedd hefyd fod eu gweinidogion hwy yn gyffredin yn sefydlog: ond y mae yn hysbys i bawb ag sydd yn gwybod dim am danynt nad ydynt yn dechreu pregethu heb ganiatad y Cyfarfod Misol, neu fel y galwant hwy ef, y Presbytery. Yn awr, os nad wyf yn camsynied, dyma ddull y Trefnyddion Calfinaidd. Y mae ein cyfarfodydd misol yn rhoddi caniatad i'r personau a gymeradwyir yn eu heglwysi cartrefol, ac yna y mae pob eglwys yn rhydd i'w galw mor fynych ag y byddo yn dewis. Gyda'r Trefnyddion hefyd y mae pob Eglwys a phob gweinidog yn ddarostyngedig i farn y Gymdeithasfa, ac felly y maent yn Scotland ac ar y Cyfandir.

2. Y mae yn rhaid fod y llythyr wedi ei ysgrifenu gyda brys anarferol, onidê, pan oedd yr Awdwr yn beirniadu ar 1 Tim. 5. 17. buasai yn gweled mai yn yr wrthddadl y mae yr holl anghysondeb. Y mae yn dweyd, os gwahaniaethwn yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda oddiwrth y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth, y dylem hefyd wahaniaethu y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth oddiwrth y rhai sydd yn llywodraethu yn dda, ac na ddylai y gweinidogion ymyraeth â llywodraeth eglwysig. Yn awr meddyliwch fy mod yn ceisio esbonio y geiriau hyny, 'Gwnewch dda i bawb, ond yn enwedig y rhai sydd o deulu y ffydd,' a'm bod yn casglu oddiwrthynt fod rhai dynion heb fod o deulu y ffydd, a ydyw hyny yn cynwys fod rhai o deulu y ffydd heb fod yn ddynion? Neu ynte cymerwch ddywediad fel hyn, 'Y mae gweinidogion yr Annibynwyr yn deilwng o barch dauddyblyg, yn enwedig y rhai sydd yn trigiannu yn Siroedd Fflint a Dinbych;' a golygwch fod rhyw un anwybodus fel fy hun yn myned i esbonio, ac yn tybied oddiwrth y geiriau fod rhai o weinidogion yr Annibynwyr nad ydynt yn byw yn y Siroedd a enwyd, beth feddylid am y dyn a ddywedai wrtho, 'Yr wyt yn camsynied, fy nghyfaill; y mae anghysondeb o'r mwyaf yn dy esboniad. Os oes rhai o weinidogion yr Annibynwyr nad ydynt yn byw yn Siroedd Fflint a Dinbych, yna y mae yn rhaid nad yw y rhai sydd yn byw yn Siroedd Fflint a Dinbych yn weinidogion yr Annibynwyr.' Nid oes un dyben wrth ddwyn ger bron y cymhariaethau hyn i daflu diystyrwch ar y llythyr, namyn dangos, gan nad pa un a yw y golygiad sydd yn y Traethawd yn gywir ai peidio, nad oes ynddo ddim anghysondeb. Gellid sylwi hefyd wrth fyned heibio, os yw y golygiad arall yn gywir, yna y mae gweinidogion yr efengyl yn deilwng o barch dauddyblyg er na fyddont yn *poeni*

yn y gair a'r athrawiaeth; ond os byddant yn poeni, y maent yn deilwng o barch dauddyblyg mewn modd *enwedigol*.

3. Ymdrechwyd dangos drosodd a throsodd drachefn, yn y Traethawd am Natur Eglwys, fod hawl gan bob dyn i farnu drosto ei hun, ac mai y rhai sydd yn cydfarnu a ddylent ymgorpholi i gyd-broffesu y farn hono; ac nad yw yn ddyledswydd ar y rhai hyny ond mor belled ag y byddo yn gyfleus o ran iaith a phellder lle: ond hynod mor aflwyddiannus y bum yn ceisio egluro fy meddwl, gan y dywedir y dylai pob Eglwys trwy y byd, yn ol y farn yma, fod dan lywodraeth yr un gymdeithasfa.

4. Nid wyf yn dadleu dros ddim ychwaneg nag undeb moesol, neu yn hytrach undeb crefyddol. Ond yr wyf yn methu gweled pa fodd y gall fod gwir undeb, moesol na chrefyddol, heb undeb ymddangosiadol.

5. Yr wyf yn addef, lle y mae anghydfod mewn Eglwysi, fod yno rai fynychaf yn ymrafaelio er mwyn ymrafaelio, ond onid yw yn ddyledswydd ar yr Eglwysi cymydogaethol amddiffyn y lleill? Ac os bydd y ddwy blaid yn ddarostyngedig i gyngor, onid 'yn amlder y cynghorwyr y mae diogelwch?'

6. Gellid meddwl fod rhai o'n brodyr Annibynol yn credu yn ddiysgog nad oes gan Eglwysi y Trefnyddion ddim hawl i benderfynu pwy sydd i oleuo y canwyllau, nac i ysgubo llawr y capel, heb ymgynghori â'r *Sasiwn*. Ond y gwirionedd yw eu bod yn penderfynu eu holl achosion eu hunain, os na fydd rhyw beth yn rhy ddyrys iddynt fel yr oedd yn Eglwys Antiochia. Ac y mae pob Eglwys o gymaint a hyny yn gryfach, ac yn fwy annibynol, gan fod awdurdod Cymdeithasfa o'r tu cefn iddi. Os deallir fod unrhyw Eglwys yn gwneuthur neu yn goddef dim ag sydd yn ymddangos yn groes i'r gair, y mae gweinidogion a blaenoriaid yr Eglwysi ereill yn ei galw i gyfrif. Ac yn hyn y maent yn barnu eu bod yn gweithredu *yn ol y siamplau a gawn yn y Testament Newydd*. Y mae yn wir fod yr Apostolion yn anffaeledig, ond a ydyw hyn yn galw arnom am beidio eu dilyn? Os nad ydynt yn siamplau i ni yn y matter yma, nid yw yr hanes a gawn am yr Eglwys Apostolaidd yn eu cymorth i benderfynu mewn perthynas i ffurf-lywodraeth Eglwysig. Y mae yn amlwg bellach, mi feddyliwn, fod Cymdeithasiad Eglwysi yn cadarnhau awdurdod pob un o honynt, ac nid yw profi fod rhai yn nyddiau yr Apostolion yn medru penderfynu y dull o drefnu yr addoliad cyhoeddus, cynhaliaeth y weinidogaeth, derbyn aelodau, a'r cyffelyb, yn ddim amgen na phrofi pethau nad oes neb yn eu gwadu.

7. Nid oedd, ac nid oes, yn fy meddwl y gradd lleiaf o amheuaeth fod yr angenrheidrwydd am undeb Eglwysi mewn Cymdeithasfaoedd yn cael ei ddangos yn y Testament Newydd, er fod y dull o ddwyn hyny yn mlaen wedi ei adael i gael ei benderfynu fel y byddo amgylchiadau yn gofyn. Ac heb son dim am ysgrifenwyr Henaduriaethol, megis Brown, Dick, ac ereill, y mae amryw, hyd yn nod o'r Annibynwyr eu hunain, wedi addef fod y datguddiad dwyfol o blaid yr egwyddor yma. Y mae Turnbull, athraw Athrofa Annibynol yn Wymondley, wedi ysgrifenu pregeth i'r perwyl hyny. Ond yn enwedig, dymunaf grybwyll un a gyfrifid gan Robert Hall, yr ymresymwr cadarnaf a fu yn y byd er dyddiau yr Apostol Paul, nid amgen yr enwog Jonathan Edwards. Yr oedd rhagluniaeth wedi ei osod yn weinidog ar Eglwys Annibynol yn America; ond mewn llythyr at Mr. Erskine o Scotland, y mae yn dywedyd fel y canlyn;— 'Ni fyddai un anhawsdra i mi danysgrifio i sylwedd Cyffes Westminster; ac mewn perthynas i Henaduriaeth, yr wyf ers hir amser wedi llwyr ddiflasu ar ein dull ansefydlog, annibynol, annhrefnus o lywodraeth Eglwysig yn y wlad hon: *ac y mae y drefn henaduriaethol yn ymddangos erioed i mi yn fwyaf cyd-fynedol â gair Duw, ac a rheswm a natur pethau.*'—Gwel *Edwards' Works, in* 2 *Vols. p.* 163 *of the Memoirs.*

8. Nid oes neb yn dywedyd fod y gair *Sasiwn* yn cael ei arfer yn y Bibl am y gynadledd yn Jerusalem; ond fod unrhyw wahaniaeth o bwys rhwng y cyfarfod hwnw a'n cymdeithasfaoedd ninnau 'yw yr hyn nas gellir ei brofi.' Er hyny, yr wyf yn hollol foddlon i'n cyfeillion yr Annibynwyr gael pob manteision ag y mae yn bosibl iddynt feddwl am danynt. Ond yn y diwedd, y mae yn rhaid iddynt gyfaddef nad oedd Eglwys Antiochia yn annibynol. Dywedir, yn ngwyneb hyn, fod yr Apostolion yn anffaeledig. Wel, dyma roddi y ddadl i fynu ar unwaith. Ar ol yr holl ymffrost a'r dadwrdd yn nghylch dilyn rheol y gair; pan eir at y rheol hono, a phan ddygir yn mlaen siamplau amlwg yr Eglwys Apostolaidd, dywedir nad yw y siamplau hyny yn rheol i ni yn y dyddiau hyn. A thrachefn, onid oedd yr Apostol Paul ei hun yn anffaeledig, ac os nad oedd efe yn dewis penderfynu y ddadl heb ymgynghori â'i frodyr mewn cymdeithasfa, onid yw hyn yn profi fod yr angen am gymdeithasfaoedd yn fwy yn ein dyddiau ni. Y mae yn beth sy'n fod ffaeledigaeth gweinidogion yn yr oes hon yn eu gwneuthur yn fwy cymwys i benderfynu achosion Eglwysig nag yr oedd anffaeledigaeth yr Apostol Paul.

Bellach, goddefir i mi adgoffa rhai rhesymau nad oes un math o attebiad iddynt wedi ymddangos hyd yma, nac un ymgais at hyny.

1. Yr oedd yr Eglwys yn Jerusalem yn cynwys mwy nag un gynulleidfa.—*Dim attebiad.*

2. Yr oedd yr Apostolion mewn swydd yn barhaus heb ymddibynu ar un Eglwys.—*Dim attebiad.*

3. Yr oedd yr Apostolion yn arfer awdurdod swyddol mewn Eglwysi nad oeddynt yn perthyn iddynt mewn modd neillduol.—*Dim attebiad.*

4. Y mae yr Annibynwyr eu hunain, yn eu Cymdeithasau Cenadol, &c. yn gweithredu yn ol yr egwyddor Henaduriaethol.—*Dim attebiad.*

5. Y mae gweinidogion Eglwysi Annibynol weithiau dan yr angenrheidrwydd o ddiarddel gweinidogion ac Eglwysi ereill yn yr un cyfundeb.—*Dim attebiad.*

6. Nid yw yn gyfiawn fod aelod yn gyfrifol i farn yr Eglwys heb wybod beth yw barn yr Eglwys hono.—*Dim attebiad.*

7. Y mae yr Annibynwyr eu hunain wedi cyhoeddi Cyffes Ffydd.—*Dim attebiad.*

Dim esgus, dim rhith o attebiad i'r un o honynt. Dim cymaint a *non mi recordo.*

Y mae genyf un gair etto, os cymer fy mrodyr Annibynol gyngor caredig oddiwrth ewyllysiwr da iddynt. Pe bawn yn dewis eu hafiwydd, mi a ddywedwn wrthynt am aros fel y maent. Ond gan fod achos crefydd, gobeithiaf, yn nes at fy meddwl nag achos plaid, dymunaf eu gwahodd yn ddiragrith i ddilyn siampl y Trefnyddion Calfinaidd; neu yn hytrach i ddilyn siampl yr Apostolion. Y mae amryw o'u gweinidogion goreu yn Lloegr yn gwadu Annibyniaeth, ac yn galw eu hunain yn Gynulleidfawyr. Nid wyf yn deall fod un gradd o wahaniaeth hanfodol rhwng yr *Associations* ganddynt hwy a ninnau. Y mae yn rhaid cyfaddef y bydd hyn yn gryn hunan-ymwadiad i *rai* Annibynwyr yn Nghymru, ar ol dywedyd cymaint yn erbyn Cymdeithasfaoedd a Chyffes Ffydd. Ond hyderaf na adawant i gywilydd ffol fel hyn eu hattal. Gwell hwyr na hwyrach. Ac os ydynt am wella rhwygiadau yn eu Heglwysi, am symud pob gormes a thra-arglwyddiaeth, am gadw dynion anaddas allan o'u hareithfaoedd, ac am gynyddu mewn defnyddioldeb cyffredinol, bydded iddynt nesu mwy at eu gilydd, ac ymgorpholi trwy yr holl wlad yn Gymdeithasfaoedd.—— Ydwyf, Syr, yr eiddoch,

*Bala, Chwef.* 11, 1840. L. EDWARDS.

---

## YR ACHOS CENADOL.

*Cyfarchiad at Gynnulleidfaoedd y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig yn Nghymru a Lloegr.*

ANWYL GYFEILLION,—Ai nid ydyw yn llawn bryd i ni ddeffroi o'n cwsg i anfon efengyl Crist i genedloedd tywyll y byd, sydd yn myned wrth y miloedd bob blwyddyn i fyd yr ysprydoedd yn anmharod? Beth sydd yn ein hattal i anfon Pregethwyr i'n plith ein hunain? A ydyw yr efengyl a bregethir yn ein pulpudau ddim yn un addas i bechadur colledig? A ydyw yr athrawiaeth ddim yn iachus? Ai nid y dyfroedd bywiol a welodd Ezeciel yn tarddu odditan riniog y deml ydyw yr athrawiaeth a bregethir genym? Os ie, onid ydyw yn ddigon rhinweddol i iachau dyfroedd y môr marw? Ai nid yr *efengyl* a bregethir yn ein plith? Os ie, onid ydyw yr Arglwydd Iesu yn dywedyd wrthym, 'Pregethwch yr efengyl i bob creadur.'

Pa rwystr sydd ar y ffordd? Onid ydyw efe yn dywedyd, 'Wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd.' Os ydyw y môr yn gauedig, gadewch i ni gerdded rhagom hyd at ei làn. Y mae efe yn alluog i'w agor. Os oes rhyw fynyddau uchel a chribog yn y golwg, y mae ein Zorobabel ni yn ddigon cryf i'w gwneyd 'yn wastadedd.' Nid agorwyd y môr flwyddyn, na mis, na diwrnod, nac awr, cyn i Israel gyrhaedd ato; ac nid agorwyd yr Iorddonen cyn i wadnau traed yr offeiriaid oedd yn dwyn yr arch wlychu ynddi.

Tebyg i rwystr y diog yw ein rhwystrau ninnau, gwaeddi, 'bod llew yn yr heol;' pryd nad oedd yr un mewn gwirionedd, ond yn ei ddychymyg ef ei hun. Nid oedd Paul yn dywedyd, Mi a âf, os bydd y llywydd yma, a'r swyddog draw o'm tu. Nage, 'Yn y fan nid ymgynghorais â chig a gwaed.' 'Os yw Duw trosom, pwy all fod i'n herbyn?' Pwy ond efe oedd gyda'r Diwygwyr, Luther, Calfin, ac ereill? Ai y Methodistiaid Calfinaidd fydd yn olaf yn dwyn y Brenin adref? Onid ydyw y Morafiaid, y Bedyddwyr, y Wesleyaid, yr Anymddibynwyr, a'r Eglwys Sefydledig, yn anfon eu Cenadon? Beth a all fod yn rhwystr i ni? A ydyw y diafol yn fileiniach wrthym ni? Neu a ydyw amddiffyn yr Arglwydd yn llai trosom? Yr wyf yn tybied mai dyma ydyw llais Duw atom ni y dyddiau yma, 'Dywed wrth y bobl am gerdded rhagddynt; a chyfod dithau dy wialen, ac estyn dy law ar y môr, a hollta ef.' 'Esgynwch i'r mynydd, a dygwch goed, ac adeiladwch y tŷ; yr wyf fi gyda chwi.'

Ymaflwn ninnau yn y gwaith, a nyni a gawn Dduw yn gymmorth. Parotown at anfon Cenadon; cyd benderfynwn, gweithiwn, ac erbyn y byddwn yn barod, cawn weled y ffordd yn agored o'n blaen.

Hyn yw dymuniad diragrith, eich gwasanaethwr yn yr efengyl, EIDDIGUS.

---

## Y DIWYGIAD YN YSGOTLAND.

Parhad o tu dal. 20.

YR oedd yr eglwys wedi ei thyn-lenwi yn y prydnawn drachefn. Testyn y bregeth,

yr hon a draddodid gan Mr. W: C. Burns, oedd Matth. 18. 3. "Oddieithr eich troi chwi," &c. a'r argraff a ddwysëid ar feddyliau y gwrandawwyr, ond nid oedd rhyw gyffro mawr, gan mai amcan y pregethwr oedd gweinyddu tuag at ddwyn yn mlaen waith diffuant yr Ysbryd. (Efe a'i canfuasai yn anmichonadwy iddo adael y lle dan yr amgylchiadau presennol, ac aethai Mr. Lyon, cenadwr o Barton, i Dundee, i lanw ei le ef.) Daeth llaweroedd i dŷ y gweinidog i ymddyddan yn nghylch achos eu heneidiau. Parhawyd i gynnal cyfarfodydd hwyrol yn yr eglwys yn ddiball, a chyfarfodydd boreuol yn achlysurol hefyd. Yr oedd ein dwylaw yn llawn o waith, ond yr oedd y gwaith yn werthfawr, ac yn aml yn dra difyrus. Ein henuriaid, a'r brodyr a arferent weddio yn gyhoeddus, oeddynt yn dra chynnorthwyol i ni ar yr achlysuron hyn, ac ydynt felly yn barhaus. Dyfal geisid yr hwn a anrhydeddasid fel y prif offeryn o'r adfywiad, gan y bobl, ac nid oedd ein cyfran ni yn y gorchwyl ond bach mewn cydmariaeth, hyd oni chynnyddodd y gwaith gryn lawer.

Ar ddydd Iau, y 25ain, gan fod yr hin yn deg, galwyd y cyfarfod i'w gynnal yn y Farchnadfa, lle yr oedd tyrfa fawr wedi ymgynnull erbyn hanner awr wedi chwech; a Mr. W. C. Burns a gyfarchai dros dair mil o eneidiau, oddiar ben y grisiau, oddiwrth Salm 71. 16. "Yn nghadernid yr Arglwydd Dduw y cerddaf." Yr oedd teimladau y gynnulleidfa yn dra gymus, ond ar y cyfan yr oeddynt yn lled ddystaw, oddieithr yr awr ac eilwaith yr ymdorai eu dwys deimladau allan, a gwelid yn eu gwedd arwyddion o'r difrifoldeb dwysaf. Dranoeth, denai chwech o ferched ieuainc, o bedair-ar-ddeg i un-ar-bymtheg oed, dwy o honynt yn blant amddifaid, â'u dagrau ar eu gruddiau, i ymofyn am Geidwad i'w heneidiau. Yr oedd yr olygfa yn effeithiol dros ben.

Dydd Sabbath, yr 28ain, yr oedd yr eglwys wedi ei gorlenwi, a gwelid lluaws mawr o fenywod yn y gynnulleidfa yn bennoeth, a llawer o ddynion a phlant yn eu dillad gwaith cyffredin. Pregethais i'r gynnulleidfa oddiwrth Heb. 4. 15. Yn y prydnawn, cyfarfuom yn y fynwent am dri, lle yr oedd tua phedair mil o eneidiau wedi ymgynnull. Traddodai Mr. W. C. Burns, bregeth sylweddol a thra effeithiol oddiwrth Rhuf. 8. 1. a therfynodd tua phump o'r gloch; ond wedi darfod y gwasanaeth, arosai, neu dychwelai tuag un ran o dair o'r gynulleidfa, y rhan fwyaf o honynt yn ieuengctyd, yr hyn a arweiniodd yn y dechreu i amrywiol holiadau, ac yna sylwadau, ac appeliadau bywiog, yr hyn a doddai galonau llaweroedd, ac y gynnyrchai deimladau tra chyffrous mewn amryw; a hyny i'r fath raddau, fel y parhaodd fy mab a minnau i gyfarch y gwrandawwyr, ac i ganu a gweddio drosodd a throsodd drachefn lawer gwaith, gan fod y bobl o hyd yn anewyllysgar i ymadael; galwyd ar bedwar o'n cyfeillion duwiolaf, dau o honynt yn henuriaid, i weddio ar yr achlysur, yr hyn a wnaethant mewn modd tra chyfaddas ac effeithiol. A thrwy anhawsdra mawr y cawsom derfynu y cyfarfod, hyd yn nod hanner awr wedi wyth, gan addaw cyfarfod yn yr eglwys am saith o'r gloch boreu drannoeth drachefn. Ac fel yr oeddym yn gadael y fynwent i fyned i'r persondy, ymwasgai llaweroedd o'n deutu, ac arosodd amryw gyda ni hyd un-ar-ddeg neu ddeuddeg o'r gloch y nos, i ymddyddan am waith Duw ar eu heneidiau. Aethum i'r eglwys boreu dranoeth erbyn saith, wedi galw ar y ffordd gyda gwraig oedranus, cri yr hon mewn cyfyngder a dynasai fy sylw. Ar yr awr foreu hono, yr oedd o ddau i dri chant wedi ymgynnull yn nghyd, y rhai a gydunent â mi mewn gweddi a mawl, yn y modd difrifolaf, ac a wrandawent yn dra astud ar ychydig sylwadau eglurhaol ac ymarferol ar Can. 2. 5—10.

Trwy y dydd hwn, cynnelid cyfarfodydd i ymddyddan am bethau crefyddol yn y persondy, y *vestry*, a manau ereill. Yn y prydnawn, cenid y gloch am hanner awr wedi chwech, ond gan fod yr eglwys wedi ei llenwi cyn hyny, a llawer yn ychwaneg yn ymwasgu yn mlaen, bu orfod i mi fyned oddiyno i'r farchnadfa, lle y llefarai Mr. Somerville o Anderston, i glywedigaeth cynnulleidfa fawr o'r gwrandawwyr mwyaf astud, oddiar Ioan 16. 14. Ar y diwedd, gelwid arnaf i ymddyddan ag amryw oeddynt mewn cyfyngder meddwl mawr; a chan fod y bobl yn amlygu awyddfyd mawr am gael cyfarfod gweddio wedi hyny, aed i'r eglwys, lle y deallaf fod cryn gyffröad ar y dechreu, ond yn fuan ymdawelodd pawb i'r difrifoldeb dwysaf; a Mr. W. C. Burns, a Mr. Somerville, a gyfarchasant y bobl, ac a ymunasant mewn gweddi a mawl. Dranoeth am un-ar-ddeg, cyfarchai Mr. Somerville gynnulleidfa fawr drachefn yn yr eglwys, a M. Lourd de la Place, gweinidog Protestanaidd o Ffrainc, a draddodai gyngor tra difrifol ac effeithiol iddynt, ac ymddangosai ei fod yn teimlo yn dra dwys wrth yr olygfa. Er y pryd hyny hyd yn bresennol, yr ydys yn cynnal cyfarfodydd gweddio bob prydnawn, yr hyn a ddilynir gan amlaf â phregethiad y gair.

Mae ansawdd cymdeithas wedi ei chyfnewid yn drwyadl yn ein plith; cariad yn ffynu yn dra nodedig rhwng Cristionogion o wahanol eglwysi. Llywod-ddysg heb air o son am dani, a chrefydd yn unig wrthddrych sylw arbenig.

Y rhai a aent heibio i'w gilydd o'r blaen ar yr heolydd heb wneyd unrhyw sylw y naill o'r llall, a welir yn ysgwyd dwylaw yn y modd serchocaf, ac yn ymddyddan yn gynnes am yr un peth yn awr.

Yr ydym yn cael ein profi, drwy fod rhai athrawon yn dyfod i'n plith, y rhai ydynt yn deoyg o hau ymraniadau yn ein mysg, rhai o honynt yn fwy diogel mewn athrawiaeth nac ereill. Y dyeithriaid ydynt yn dyfod i'n plith oddiar egwyddorion da, hefyd, ydynt mewn perygl i niweidio ein dychweledigion ieuainc drwy dra thiriondeb tuag atynt, a gwneud gormod sylw o honynt. Mae ein gelynion yn gwylio am achlysur i orfoleddu i'n herbyn; a phroffeswyr oeraidd crefydd, ydynt yn ameu ac yn dysgwyl yn hir cyn y gallant ymddiried fod dim da yn cael ei wneyd. Yn y cyfamser y mae y gwaith yn myned rhagddo yn ddiau, ac y mae yn cael eu hychwanegu beunydd at yr eglwys, lawer o rai a fyddant yn gadwedig. Nid yw y pregethau a draddodir yn afreolaidd, na dychymygol; ond y maent yn iachus ac ysgrythyrol; ac nid oes duedd, megis cynt, i gydmaru a dadleu dros ragoriaethau pregethwyr, ond y mae y bobl yn gwrandaw â'u holl egni, fel rhai am einioes ac angeu.

Mae bod cynnifer o bobl hen ac ieuainc yn aros yn ol ar ddiwedd pob cyfarfod, a chynnifer yn ymholi mewn dwysder, "Pa beth a wnawn fel y byddom gadwedig?" yr hyn sydd yn gwneud yr olygfa yn dra dyddorawl.—y bywiogrwydd yn y canu mawl i Dduw, y diffyg hollawl o lŵon a gwag siarad yn ein heolydd, yr iawn drefn a'r difrifoldeb a ganfyddir bob awr, y sain mawl a gweddi a glywir o bob tu o'r bron, y terfyn sydd wedi ei roddi ar derfysgiadau y bobl, llyfrau anffyddiaeth yn cael eu bwrw i'r fflamau, y cydgynnulliad mawr i addoliad dwyfol, y nifer fawr o hen bechaduriaid diofal, a chrefyddwyr ffurfiol a hunanol, sydd yn cael eu deffroi, a'u bywhau i Dduw, dychweliad lluaws o löwyr tlodion, y rhai y cefais y prawf mwyaf boddhaol wrth ymddyddan â hwy eu bod wedi eu cyfnewid drwy ras, ydynt brofion anwadadwy o fod yma un o'r adfywiadau crefyddol rhyfeddaf a mwyaf dymunol.

(I'w barhau.)

## ANRHEG SYR J. J. GUEST, A.S.

*At dalu dyled Capel y Trefnyddion Calfinaidd yn Dowlais, Deheudir Cymru.*

Mr. Golygydd,—Wrth ystyriad fod eich Cyhoeddiad clodwiw mor helaeth ei gylch yn y Dywysogaeth, ai fod bob amser yn amcanu rhoddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus, anfonaf atoch y llythyr canlynol, gan ddymuno iddo le yn mysg trysorau gwerthfawr eich Trysorfa, yr hwn a ddanfonwyd gan ein Hanrhydeddus aelod Seneddol, (Syr. J. J. Guest, M. P.) at frawd crefyddol yn y lle hwn. Eich cydsyniad â'r cais uchod a rydd foddhad i gannoedd o ddarllenwyr eich Misolyn defnyddiol, heblaw eich gostyngedig was,

*Dowlais.* Evan Harris.
*Chwef.* 12, 1840.

Y LLYTHYR SYDD FEL Y CANLYN, GWEDI EI GYFIEITHU O'R SAESONEG.

*Dowlais, Ion.* 20. 1840.

Mr. John Jones,—Gan fy mod yn deall fod y Trefnyddion Calfinaidd (o'r hon gymdeithas yr ydych chwi yn aelod) gwedi myned i'r draul o yn agos i £2000 i helaethu eu Capel yn y lle hwn, yr hwn a gynnwys yn bresennol 2500 o wrandawyr, yr wyf yn danfon *draft* am hanner can punt yn gynnorthwyol i'r casgliad at ei helaethiad uchod.

Yr ydwyf yn ymaflyd yn yr hamdden bresennol i hysbysu y boddhad neillduol a gefais wrth ddeall na fu cymmaint ag un o'r aelodau perthynol i'r gymdeithas uchod, mewn un modd yn gyfranog o'r dygwyddiad gresynol a gymmerodd le yn y gymmydogaeth hon.*——Ydwyf, eich ufudd wasanaethwr, J. J. Guest.

## LLYTHYR EFRYDYDD YN NGHYLCH PERORIAETH Y DRYSORFA.

Mr. Golygydd,—Y mae ar fy meddwl er ys llawer dydd, i anfon ychydig ofyniadau cyhoeddus buddiol o barth rhai o'r Tonau a ymddangosodd yn ddiweddar. 1af, y Dôn *Awelsain*, Rhif. Awst. 1839. Sef pa un a yw yr ail *gord*, yn yr ail far, o'r rhan olaf o'r Dôn, yn unol â rheolau manylaf Cerddoriaeth, ai nad yw? dywed rhai Cerddorion enwog, na ddylid dyblu y trydydd o'r Allwedd; gwelir y B wedi ei dyblu yn y man crybwylledig. Gofynir yr un peth hefyd am yr un *cord*, a welir yn y bar olaf ond dau. Onid gwell hefyd fuasai gosod y nod olaf o'r uchelalaw (*counter*) yn y cyfryw fan, ar E yn lle ar G; gan fod y *cord* mor llawn? gan fod fy meddwl mewn dyryswch, gobeithiaf y rhoddir i mi atebiad buan.

Yn 2il, y Dôn *Golgotha*, Rhif. Hydref, 1839. Yn y trydydd ban, yr ail *gord*, y mae B, B, D, a'r *cord* nesaf B, B, B, a B, B, C, C, yn cydsymud yn y ddau lais uchaf; hefyd B, B, D, yn y chweched ban; gofynir a yw y banau crybwylledig yn unol â rheolau *Cerddoriaeth?* Hefyd gofynir a'i rheolaidd myned drwy y pedwaredd i'r pummed, heb loni y pedwaredd, fel y gwelir yn yr ail fan o'r rhan olaf o'r Dôn, sef o C i D; ac a ellir symud o'r pummed i'r pummed drwy godi pedwar, fel y gwelir rhwng

* Mae'n dra thebygol mai at y cynnwrf diweddar a fu yn y wlad hono gan y *Chartists* y mae y gwr boneddig urddasol yn cyfeirio; ac y mae yn dda genym glywed oddiwrth ein brodyr y'Nghymru na lychwinwyd ein henwad ni â'r cyhuddiad hwn; a llefwn lawer na byddo i'r gogoniant ymadael o'n plith, ond y bydd yr Ysbryd Glan yn nerthol weithio er cadwedigaeth miloedd o newydd.—Gol.

diwedd y trydydd ban,* a dechreu y pedwerydd; ac yn neillduol dymunwn ofyn i Awdwr y Dôn hon, pa beth a'i tueddodd i gyfansoddi yn y cywair lleddf ar y fath benill a *Iachawdwr dynolryw*, *&c.*

Yn 3ydd, Salm 122. Rhif. Tach. 1839. Oni ellir dywedyd am y Dôn hon, yn debyg fel y dywedodd y Beirniaid am y Tonau *Cyfammod a Rhydyfro*, sef, *good Melody, but* (very) *bad Harmony*; oblegid fod ynddi amryw *wythau*, *pumpau*, ac *unseiniau*, dylynol, &c. Da fyddai genyf weled sylwadau buan ar y *Tonau* crybwylledig, mewn ysbryd efengylaidd, gan y bydd hyny, fe ddichon, yn foddion i oleuo meddwl llawer un tywyll, heblaw yr eiddoch,

"EFRYDYDD."

---

## AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

SYR,—Byddai yn llawer iawn o foddhad gan y cyffredin, pe byddid cystal, trwy gyfrwng eich Cyhoeddiad buddiol, a rhoddi gwybodaeth o'r pethau canlynol, mewn perthynas i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nhywysogaeth Cymru. Dewisol hefyd, y mae yn debyg, fyddai cael hysbysiad cyffelyb, o barth yr un bobl, a breswylient yn nhrefydd Lloegr, ond gosod hyny ar ei ben ei hun, fel y caffer golwg gywir ar ansawdd y corph.

1. Pa rifedi o weinidogion neillduedig sydd yn perthyn iddo? a pha nifer o bregethwyr nad ydynt wedi eu hordeinio i weinyddu yr ordinhadau?

2. Pa sawl Capel a chynnulleidfa sydd yn dwyn cysylltiad â'r Trefnyddion?

3. Pa nifer yw yr aelodau proffesedig perthynol iddynt?

4. Pa gyfartaliad y mae y gwrandawyr *gwastadol* yn ddwyn â'r aelodau? a ydynt yn gymmaint ddwywaith, dairgwaith, neu pa faint?

5. Pa nifer o Ysgolion Sabbathol, a pha faint o Ysgolheigion sydd ynddynt, gyda y Methodistiaid?

Os nad oes wybodaeth o'r pethau uchod, heb wneuthur cyfrif, ni byddai y drafferth yn fawr, pe byddai rhyw gyfaill yn cael ei bennodi yn mhob dosparth, i olrhain y matter, ac anfon hysbysiad didraul i chwi, o hyn i ben y tri mis. Gadawaf y gorchwyl hwn yn eich dwylaw chwi, gan daer ddeisyfu arnoch amcanu llwyddo yr amcan. Yr eiddoch, SYLWIEDYDD.

---

## "Y MYNEGAIR NEWYDD."

MR. GOLYGYDD,—Pan ddaeth eich Rhifyn diweddaf i'm llaw canfum, ar ei glawr, hysbysiad am Argaphiad o Fynegair Ysgrythyrol Newydd; ac wrth sylwi yn fanylach, gwelais ei fod yn Fynegair *Geiriaddawl* hefyd, &c. ac etto, rhaid i mi gyfaddef byrdra fy nghyrhaeddiadau fel nad allaf ddirnad yn iawn pa fath Fynegair ydyw i fod.

Clywais lawer gwaith, (ond ai gwir ai anwir nis gwn) fod y diweddar Barchedig T. Charles wedi dechreu Mynegair; ac mai yr achos na ddaethai o'r Wasg yn gynt oedd na wyddai ei olynwyr yn iawn pa fodd i fyned yn mlaen â'i waith, o herwydd *nad oedd ddichonadwy i neb ddeall ei gynllun*; ond er hyny y mae yr hysbysiad hwn yn dirymu y chwedl hon i raddau; etto, dymunol fyddai cael gyda'r hysbysiad gynllun hefyd o'r gwaith.

Nid ydwyf yn petruso dim nas gallai Mynegair fel hwn fod yn *fuddiol*; ond y cwestiwn yw, a ydyw efe yn *gwbl angenrheidiol?* Mae Mynegair y Parch. Peter Williams, &c. yn y wlad, a gwn fod hwnw, fel pob peth arall, heb ei berffeithio. Hefyd nid da genyf fi fyddai llenwi y wlad â Mynegair, yn enwedig argraphiad bychan, o herwydd tueddai hyny, i fesur mwy neu lai, i beri i ieuengctyd y dywysogaeth beidio ag ymdrechu i gofio yn mha le na pha fodd y byddai adnodau a rhanau o'r Bibl, am yr ymddiriedent, ond cael rhyw air o hono, y caent ef yn y Mynegair. Er dim, peidiwch a gwneyd y Mynegair yn llyfr yr Ysgol Sul, ond yn llyfr y Llyfrgell yn unig.

Yr wyf yn gobeithio na bydd i'r Awdwr Parchedig gymmeryd yn angharedig arnaf am ysgrifenu y llinellau hyn; ond yr amcan yw i sefyll enyd bach ar y pwngc, ac ystyried hyn, A oes gwir angen yn y wlad am y cyfryw lyfr a hwn? Nid wyf yn chwennych i neb feddwl fy mod yn taflu dim anfri ar y Mynegair Newydd—ar waith y Parch. T. Charles yn dechreu, na D. Charles yn ei orphen. O! na, pell ydwyf oddiwrth hyny, ie, mor bell a fy mod yn bwriadu bod yn un o'r Tanysgrifwyr, am un *copi*, *os nad ychwaneg*.

Terfynaf y waith hon, gan ofyn un gymmwynas fechan i Awdwr y llyfr dan sylw, A fydd gwiw ganddo roi i mi, ac i'ch darllenwyr, yn gyffredinol rhyw gynllun bychan o hono yn un o'ch Rhifynau dyfodol; yna, efallai y byddwn gymmwysach i farnu, ac o ganlyniad ei brynu a'i ddefnyddio.——Ydwyf yr eiddoch, ADDYSGYDD.

---

## HANES

*Dechreuad a Chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Nghaerlleon.*

Parhad o tu dal. 49.

MAE hanes dechreuad a chynnydd y Gymdeithas hon, a roddasom yn ein Rhifyn diweddaf, yn dangos yn amlwg fawr ddaioni Duw tuag at genedl y Cymry, a'i ryfeddol ras yn myned ar ol ei ddefaid

---

* Gwelir hefyd yn yr un ban, B, A, G, C yn cydsynied mewn wythau.

crwydredig, ac yn eu dwyn i'w gorlan, dan ofal y pen Bugail mawr. Mae daioni a thrugaredd yr Arglwydd yn ymddangos yn nodedig tuag atom, fel cenedl yn ddiau; canys i ba ddinas neu wlad bynag yr elom ar grwydr, mae yr efengyl yn cael ei hanfon ar ein hol, a hyny yn ein hiaith ein hun, yn yr hon y'n ganed ni. Pa un bynag ai i Lundain, Bristol, Amwythig, Manchester, Liverpool, ai Caerlleon, mae yr hen rwyd fawr yr efengyl yn cael ei thaenu yno, ac y mae yn llwyddo hefyd i ddal dynion yn mhob man lle yr elo.

Mae aml un o'r Cymry yn symud o wlad y breintiau mawr, ac yn myned i'r America bellenig ac eang. Wele, mae yr efengyl yn cael ei phregethu yno hefyd yn eu hiaith hwynt, ac yn llwyddo i'w dwyn hwynt atynt eu hun ac i dŷ eu Tad, fel y mae minteioedd o honynt yma a thraw yn ngwlad y gorllewin yn galw ar enw yr Arglwydd yn Gymraeg, ac yn ei addoli ef mewn undeb Eglwysig â'r Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru.

Mae amryw yn barnu y dylai y Calfinistiaid Cymreig yn nhrefydd Lloegr, lle y byddont yn lluosog, fod yn ddyledswydd arnynt, meddaf, i godi achos yno yn yr iaith Saesoneg. Gan ein bod ni yn credu fod y wir athrawiaeth yn ein plith, athrawiaeth drwy yr hon y mae Duw yn achub eneidiau lawer; a chan ein bod yn credu fod ein trefn, a'n llywodraeth Eglwysig, a iau ein dysgyblaeth, yn unol â gair Duw, onid yw yn ddyledswydd arnom gyhoeddi yr athrawiaeth hon i'n cymmydogion y Saeson, a gosod i fynu ein trefn a'n dysgyblaeth Eglwysig yn eu plith? Fe ddygwyd hyn i ben, i raddau, yn Nghaerlleon, a hyny yn hynod o ddiragfwriad, fel y gwelir yn yr hanesyn canlynol:—

Yn y flwyddyn 1825, fel yr oedd rhai o aelodau Cymdeithas y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig, y rhai a breswylient yn nghwr gogledd-orllewinol y ddinas, yn mynych gyrchu i'r capel Cymraeg i addoli; yn eu dyfodfa drwy Upper Northgate Street, hwy a welent lawer o blant yn chwareu ar hyd yr heol ar y Sabbath. Llanwyd eu meddwl o dosturi tuag atynt, ïe, tosturi cyffelyb ei natur, a'i effeithiau i raddau, i'r hyn a lanwodd feddyliau yr apostol Paul, pan oedd efe yn aros am ei frodyr yn Athen gynt. Crybwyllasant wrth eu gilydd, y byddai Ysgol Sabbathol yn fuddiol iawn yn y cyfryw ardal ag oedd mor bell oddiwrth bob Eglwys a Chapel.

Ar ryw Sabbath teg yn yr haf, wrth fyned trwy yr un heol, canfuont o ddeg i bymthog o blant wedi ymneillduo i gongl, neu gilfach, yn *chwareu Ysgol!* Rhai yn eistedd i lawr, ac yn agoryd eu dwylaw ar ddull llyfr, ac yn dywedyd A, B, C; a'r lleill yn sefyll uwch eu penau, yn dywedyd, Hai! dysgwch: edrychwch ar eich llyfrau! Edrychodd y brodyr arnynt am ryw enyd, gan synu, a dywedyd wrth eu gilydd, onid yw hyn yn ddigon i'n hudo i gynnyg ar Ysgol yn y lle hwn? Yna, gofynasant i'r plant a ddeuent hwy i'r Ysgol os codent Ysgol Sabbathol yn yr ardal hono; a hwy a addawsant oll ddyfod.

Ac wedi ymddyddan â'n gilydd, a chydymgynghori, nyni a gymmerasom ystafell; gwnaethom ychydig feingciau; a dechreuwyd cadw Ysgol Saesoneg yno ar y Sabbathau. Yn fuan llanwyd y lle, fel yn mhen chwe mis aeth yr ystafell yn rhy fechan. Fe fu ysgrifenydd yr hanes yma yno droiau yn holwyddori y plant, ac yn gweddio gyda hwynt. Ar y cyntaf, nid oedd yn eu plith gymmaint ag un o honynt a wyddai pwy a'u gwnaeth hwynt, a phwy a wnaeth y byd!

Wedi bod yn y fan hono flwyddyn, fe gymmerwyd beudy yr ochr ddwyreiniol i'r Upper Northgate Street, a chawsom gan y Parch. J. Thorpe i bregethu ar y Sabbath am ddau o'r gloch yn Saesoneg, yn y capel Cymreig; ac yn niwedd yr odfa, gwnaed casgliad tuag at gymmwyso y beudy, a'i wneyd yn Ysgoldy. Casglwyd £6 16s. yn yr odfa hono. Gwnaed yr Ysgoldy i fynu yn gysurus, ac agorwyd ef Rhagfyr 13eg, 1827. Cadwyd Ysgol Sabbathol, a phregethwyd yr efengyl, a chynnaliwyd Cyfarfodydd Gweddi, a chyfarfodydd i ddysgu canu yno am lawer o flynyddoedd. Yr oedd yno o ddeugain i driugain o blant haf a gauaf. Yr oedd yr holl waith dan ofal a golygiad y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig. Yr ardreth flynyddol oedd tair punt, yr hwn a ostyngwyd yn y flwyddyn 1833 i ddwy bunt a deg swllt.

Yr oedd Mrs. Panton, gwraig foneddig yn yr ardal, yn rhoi punt yn y flwyddyn, a Mrs. Griffiths, gwraig rinweddol arall, yn rhoi yr un faint. J. Fletcher, Ysw. yn rhoi glô ar y tân, a dwy bunt o rodd ar unwaith. Yn y flwyddyn 1834, derbyniasom £2 9 6 oddiwrth y Gymdeithas Genadol Gartrefol; ac yn y flwyddyn 1837, drachefn £3 18. Arferwyd diwydrwydd mawr a ffyddlondeb anghyffredin gan amryw frodyr a chwiorydd gyda'r Ysgol hon drwy y blynyddoedd. Fe ddysgwyd cannoedd o blant yno i ddarllen yr Ysgrythyr Lân; ac hefyd, fe'u hyfforddwyd hwynt yn yr athrawiaeth iachus o'r flwyddyn 1825, hyd y flwyddyn 1839, pryd yr ysgrifenwyd yr hanes.

*Caerlleon.* J. Parry.

## LLYTHYR DIRWESTWR O'R IWERDDON.

Yr hyn a ganlyn sydd ran o lythyr a dderbyniais o'r Iwerddon, oddiwrth Robert Williams, Carneddi gynt, Swydd Gaernarfon. Yr oedd y gwr ieuangc hwn yn adnabyddus i lawer yn ngogledd Cymru fel areithiwr sylweddol dros y Gymdeithas Ddirwestol; ac yr oedd yn cael ei ystyried yn nodedig o ymdrechgar yn ei fuchedd a'i ymarferiad gyda chrefydd.

Mae efe yn awr yn yr Ysgol yn Dublin, mewn bwriad o fyned yn Oruchwyliwr i ryw fonedd wr yn yr Iwerddon. Yr ydwyf yn erfyn ei faddeuant am fy hyfdra yn anfon y darnau canlynol o'i lythyr rhagorol i'r wasg; mae yn myned rhagddo, fel hyn:—

"Mae y tlodion yn yr Iwerddon yn ddrwg eu buchedd, ac yn druenus eu hamgylchiadau. Mae lluaws o honynt yn byw mewn bythod o bridd, a brwyn neu fath o fawn yn dô arnynt, heb ffenestr i'r goleu ddyfod i mewn, na simnau i'r mwg fyned allan; ond y mae y naill yn myned allan, a'r llall yn dyfod i fewn trwy le a elwir drws. Yn y fan yma y mae gwragedd a moch, gwyr a mulod, plant a chywion yn byw, yn gorwedd, ac yn cysgu yn nghyd.

Glogludwyr (*coal porters*) Dublin ydyw y gwedillion truenusaf o'r natur syrthiedig a ganfum erioed; mae y rhai hyn fel pe byddent wedi cyrhaedd i derfyn eithaf anfoesoldeb ac annhrefn. Mae y ddau ryw, yn nghyda phob gwrach, yn defnyddio y *whiskey* mor gyffredin ag awyr; ac y mae yr effeithiau o hyny ar eu moesau a'u hamgylchiadau tu hwnt i mi allu ei ddysgrifio. Dyma sydd wedi llanw eu dolydd â drain, a'u dyffrynoedd â gwaed. Y *whiskey* a phabyddiaeth sydd wedi gwneuthur yr Ynys Werdd yn deml cynnwrf, ac yn faes gwrthryfel. Mae y *Whiskey* fel pabyddiaeth wedi llywodraethu ar y Gwyddelod â gwialen haiarn, ac â llaw drom.

Ond yn bresennol, yr ydwyf yn tybied bod ei freniniaeth bron a chael ei rhifo, ac yntau, fel duwiau yr Iuddewon, 'ar gael ei ddyfetha o'r ddaear, a'i ddileu odditan y nefoedd.' Mae y sŵn oedd am Ddirwestiaeth tua Cork wedi dyfod yma mewn gweithrediad, gan daro ar y dref fel corwynt ar allt o goed. Fe ymunodd 1600 â'r Gymdeithas Ddirwestol yr wythnos ddiweddaf, ac yn eu mysg amryw o Gymry trwy ymdrechiad Mr. Williams a minnau. Mewn un heol fe roddodd *pymtheg* o dafarnau eu masnach i fynu. Perchenog y prif Weithfa *Whiskey* a droes 50 o ddynion allan, oblegid prinder gwaith; ac y mae prif awdwr y *Porter* yn y ddinas hon yn bwriadu gwneyd yr un modd, meddynt.

Dywedodd Mr. D. O'Connell, yn ei araeth ar Lywod-ddysg yr wythnos ddiweddaf, bod pum can mil (500,000) o Ddirwestwyr yn yr Iwerddon. Fel hyn, gwelwch fod yn y dê a'r dwyrain, gogledd, gorllewin, y fasnach yn tywyllu, ac olwynion y Juggernaut feddwol yn troi yn ol. Yr wyf yn dysgwyl bod y diwrnod gerllaw, pryd y gwelir y Gwyddelod, (y rhai sydd yn bresennol mor derfysglyd â'r môr) mor heddychol, llonydd, a distaw, a mynwent ar hanner nos.

Yr ydym yn dysgwyl offeiriad Pabaidd i'r dref hon yr wythnos yma i areithio ar Ddirwest, a derbyn enwau, sef yr hynod *Father Matthews*. Yr ydwyf yn hyderu y bydd dyfodiad hwn i'n mysg yn foddion i effeithio adenedigaeth Dublin, ac adferir y Gwyddelod druain i'w gradd briodol yn y greadigaeth, gan roddi iddynt ddyrchafiad bodau rhesymol. Mae gweinidogaeth y gwr hwn fel tân yn llosgi y *Whiskey* yn mhob man y cerddo. Derbyniodd yn barod oddeutu pedwar ugain mil (80,000) o enwau.

Mae y dilead feddwol, a'i holl gefnogwyr, o dan weinidogaeth hwn yn meddu o'r un llwfrdra a'r malroedd o dan ysgymunedod St. Patrick, oesoedd yn ol:—'Gwnaf, a phwy a'm lludda?' ydyw ei arwydd-air, 'o dan fendith y Llaw dragywyddol, yr wyf yn meddwl y trig barn yn yr anialwch, ac y daw Dirwest, sobrwydd, a rhinwedd yn ogoniant yr holl dir.'

Mae yr awydd oedd ynwyf am wneuthur daioni yn Nghymru, yr hwn nad oedd ond 'fel cledr llaw gwr,' yn awr wedi ymdaenu dros holl deimladau fy enaid. Byddaf yn areithio yma yn fynych, ac yn ymarfer â'r gwaith crefyddol, 'Yn y pethau hyn y mae bywyd fy yspryd i.'——Yr eiddoch, barchedig Syr, DAVID JONES.

*Bryn, Ionawr* 8, 1840.

---

GWYL DDIRWESTOL TY DDEWI, DYFED.

CYNNALIWYD Gwyl Ddirwestol yma, y 17eg o Ionawr, 1840, pryd yr ymgasglodd tyrfa luosog iawn yn nghyd.

Am 2 o'r gloch y prydnawn, cyfarfuasom yn addoldy y Trefnyddion Calfinaidd, yr hwn a orlanwyd; dechreuwyd gan y Parch. William Morris, Ty Ddewi. Galwyd ar y Parch. Thomas Richards, Abergwaun, i'r gadair, yr hwn mewn araeth ffraethlawn a'n llonodd yn fawr. Yna galwodd ar y Parchedigion canlynol i anerch y gynnulleidfa;—sef, Thomas Hughes, Enoch Lewis, Abergwaun; John Jenkins, Blaen y cefn, Ceredigion; David Bateman, Rhos y Caerau, yr hwn a ddiweddodd trwy weddi.

Yna ffurfiwyd gorymdaith, a chychwynasom yn llu banerog dan ganu yn soniarus, ac aethom i waered tua'r Ystordy eang, yr hon a roddwyd at wasanaeth y Cyfarfod gan Mr. Samuel Williams, Tŷ Ddewi, (Dirwestwr aiddgar.) Wedi myned i mewn, eisteddasom, oddeutu 400 mewn rhifedi, i yfed *tea* gyda'n gilydd. Wedi diolch i'n Creawdwr hael am ei drugareddau; esgynasom ar hyd y grisiau i ystafell uwchben, yr hon oedd wedi ei goleuo â lampau siriol, a'r holl ffenestri tywyll yn serenu gan ganwyllau: yr oedd lleni o bapur yn crogi o flaen y canwyllau, ac ar y papur yr oedd llythyrenau o wahanol liwiau, yn cyfansoddi amrywiol arwyddeiriau Dirwestol, nes yr oedd yr olygfa yn fawreddog ryfeddol.

Am 6, dechreuwyd y Cyfarfod gan y Parch. Samuel Thomas, Ty Ddewi; a chyfarchwyd y Dirwestwyr gan y Parchedig T. Richards, (ein Cadeirydd) John-

Jenkins, Samuel Thomas, William Morris; a gorphenwyd trwy weddi, a chanwyd Emynau Dirwestol: ac yna ymadawsom yn llawen ein calonau, o herwydd fod Dirwest yn llwyddo, a meddwdod yn cwympo. Wele yn canlyn dalfyriad o araeth ein cyfaill John Jenkins, Blaen y cefn, Ceredigion, yr hon a draddododd wrthym ni y Dirwestwyr.

"Mr. Cadeirydd,—Dyma ni wedi cyfarfod mewn goruwch-ystafell, wedi ei harddu â lampau, wedi ei thrwsio â lleni crogedig, yn llawn o arwydd-eiriau priodol. Y mae llangciau Dirwest wedi bod yn ddiwyd iawn wrth barotoi erbyn y Cyfarfod. Meddyliais am yr hen Israeliaid yn parotoi y Babell yn y dyddiau gynt. Y mae yma eisteddleoedd i'r gwrandawyr, a phob cyfleusdra i'r areithwyr. Wrth edrych o'm hamgylch, gwelaf lawer iawn o eiriau; a'r gair cyntaf sydd yn tynu fy sylw yw

*Moesoldeb gwiw* mewn llythyrenau cochion. Rhesymol iawn; oblegid y mae meibion a merched Dirwest yn ymgadw mewn modd gwiw, oddiwrth y drwyth borphoraidd sydd yn arwain ei ganlynwyr i dywallt gwaed coch, nes y mae yn rhaid eu dwyn o flaen y barnwr, yr hwn a gyhoedda y ddedfryd arnynt yn ei wisg goch. Moesoldeb gwiw ydyw rhyfela â'r hen ddiodydd syfrdanawl.

2. *Sobrwydd*. Croesaw iddo, Syr; mewn llythyrenau cochion. Y mae sobrwydd yn hollol gytuno â'r pedair elfen, o ba rai y mae corph dyn wedi ei gyfansoddi. Y mae yr hen ddaear goch yn sobr; y mae sobrwydd yn hollol groes i boethder tanllyd trwyth gwirfawl yr hylif celfyddydawl, sef, yr hen hudoles goch. Nid yw sobrwydd yn troi y dwfr pur (*Aquae Purae*) yn wlybwr coch. Y mae meibion a merched Dirwest â'u hanadl fel fflamau cochion (heb arogl y diodydd meddwawl) am losgi meddwdod, a chipio meddwon allan o'r ffau fawr.

3. *Iechyd*, mewn llythyrenau gwynion. Syr, y mae gan y Dirwestwr wyneb gwŷn, nid pilorog; trwynau tymerus, ac nid rhai cochion, fel marwor o dân.

4. *Crefydd*. Gwelaf y gair mewn llythyrenau glâs. Syr, y mae Dirwest yn pleidio crefydd. Y mae gwir grefydd yn arwain ei pherchen i addoli y Creawdwr mawr,—Creawdwr y ffurfafen lâs a'i goleuadau—y môr glâs yn ei wely eang—y ddaear werddlas a'i glaswellt tyner. Crefydd, ardderchawgrwydd yr hon ydyw gras—yr eginyn glâs a ddaeth o'r wlad sydd goruwch yr wybren lâs. Gwelwn nid rhyfedd fod crefydd mewn lliw glâs.

5. *Hirhoedl*. Ië, mewn llythyrenau gwynion. Y mae Dirwest yn rhoddi einioes wèn,—iechyd gwyn, corph gwyn, cymmeriad gwyn. Onid gwyn yw cael pen heb boethni? Onid gwyn yw cael ymenydd heb syfrdanu, llygaid heb ddallu, trwyn heb gochi, tafod heb floesgni, ceg heb sychu, cylla heb wlyb-losgi, dwylaw heb grynu, gliniau heb blethu, traed heb fwhwmanu, gwaed heb ferwi, cnawd heb fraenu, afu heb galedu, ysgyfaint heb bydru? Onid gwyn ydyw hi fel yma, Syr?

6. *Dirwest am byth*. Gwyn etto. O Ddirwest yr ydwyt yn wèn. Henffych i'th Nazareaeth: 'Purach yw dy Nazaread na'r eira yn Salmon—gwynach na llaeth.' Y mae gwynebau dy deulu gwynion yn ddisgleiriach na'r sêr; a gwynebau dy wrthwynebwyr yn dduach na'r tywyllwch. Dirwest am byth—byw a fyddot byth. Y mae yr Hen Destament yn bloeddio Dirwest am byth, y Testament Newydd, yr Apocrapha, Samson, y Rechabiaid, Daniel, ïe, a Dirwestwyr Tŷ Ddewi sydd yn barod i floeddio hefyd Dirwest am byth.

7. *Llawnder*. Gwyn yw dy liw. Cymdeithas gyfoethog ydyw Dirwest; ar ei bwrdd y mae digonedd o ymborth—ei haelodau yn cael bwyta o ffrwyth y gwenith ardderchog, yr haidd nodedig, y bara ceirch rhagorol, peilliaid gwyn, y mae ganddi lifeiriant o laeth gwyn; onid oedd yma heddyw luaws o rai gwynion yn gweini? Cyflawnder o deisenau gwynion. Onid oedd yma fyrddau mawrion yn dal llieiniau gwynion, ac arnynt lestri gwynion, yn dal diod mwy blasus na hen *nectar* parchus y Rhufeiniaid eu hunain.

8. *Rhinwedd*. Glâs. Hyfryd yw dy liw. Y mae Dirwest yn caniatau i'w haelodau ddefnyddio ffrwyth y ddaear lâs, fel y mae y Creawdwr yn ei roddi, Syr. Ië, rhinweddol iawn ydyw y dwfr glâs grisialaidd sydd yn dyhidlo o'r wybren lâs i gynnyddu yr egin glâs, &c.

9. *Masnach*. Gwyn, gwyn. Gyfeillion hoff, onid ydyw hi yn fyd mwy gwyn ar deithwyr, masnachwyr, a morwyr. Onid yw hi yn wynach gyda phob rhyw fasnach, Syr, wedi i Ddirwest ddechreu? Ydyw y mae.

10. *Rhyddid*. Coch yw dy liw. Nid rhyfedd, cawsom ryddid trwy ryfela yn erbyn y diodydd cochion; ac yr ydym etto heb ddiosg ein gwisgoedd cochion wrth ryfela am ryddid.

11. *Cysur teuluaidd*. Coch etto. A da iawn yn awr yn lle aelwydydd oerion yn nhai y meddwon, y mae yno dân coch; yn lle gwynebau gwelw a llwyd, y mae gan eu gwragedd a'u plant wynebau gwridcoch a hardd, a sirioldeb yn trigo ar eu gruddiau."

Dirwestwr.

---

## LLWYDDIANT DIRWEST YN MYDRIM.

Hybarch Olygydd,—Gan y gwn y bydd yn ddywenydd genych chwi, yn gystal a chan amryw o'ch darllenwyr, dderbyn newyddion am lwyddiant Dirwest, yn mha gwr bynag o'r wlad y byddo hi, ni wnaf un esgusawd dros ddanfon i chwi hanes o'r wyl a gynnelid genym ar ddydd Mawrth, Ionawr 21, 1840

Am 8 o'r gloch y boreu, cynhaliwyd cyfarfod i weddio am fendith yr Arglwydd ar ein gwaith. Am 10, gweddiodd Mr. John Davies, Cayo; anerchwyd y cyfarfod gan y Parch. Rees Phillips, a'r Parch. J. Evans, Hebron; yna pregethodd y Parch. Jenkin Davies, oddiar Diar. 22. 6.; oddiwrth yr hwn yr annogodd y gynnulleidfa i ddwyn i fynu y genedl ieuainc mewn egwyddorion dirwestiaeth, gan sicrhau eu dedwyddwch tymhorol, a'u gosod ar lwybr cyffredinol ymweliadau grasol Duw. Cafwyd yn y cyfarfod hwn flaenffrwyth o ddaioni bethau i ddyfod.

Am 2, dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. Thomas Jones, Llanddurog, ac areithiodd y Parch. Jenkin Davies, a'r Parch. J. Evans, Hebron Yr oedd y cyfarfod yn lliosog, a'r gynnulleidfa yn gwrando yn astud, ac yn ymddangos yn amlwg fod llawer yn penderfynu ddyfod allan yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn; etto ni arwyddodd ond pymtheg yr ymrwymiad y tro hwn.

Yn yr hwyr am 6, y gwasanaeth a ddechreuwyd gan Mr. Rees Phillips, a rhoddodd annogaeth fer yn ganlynol; yna areithiodd y Parch. Jenkin Davies, a'r Parch. John Evans. Yr oedd yr Addoldy yn awr yn orlawn, a'r areithiau a gawsant effaith amlwg ar lawer o'r gynnulleidfa, nes oedd y dagrau yn ffrydio o'u llygaid. Ac yn nechreuad ffrwyth y cyfarfodydd, daeth un o flaenoriaid y lle hwn ynghyd â'i holl deulu, i arwyddo yr ardystiad; hyn a effeithiodd yn ddirfawr, nid yn unig ar y dirwestwyr blaenorol, ond ar y gynnulleidfa yn gyffredinol; ac yr oedd calonau y dirwestwyr yn llawn o lawenydd. Wrth arwyddo, dywedodd ei fod yn teimlo gofid na ddaethai gyda ni yn gynt; ond o hyn allan y dymunai wneyd a allai dros y gymdeithas, yr hyn a ddechreuodd drwy annog pawb i ymuno â hi. Yn ganlynol daeth lluaws ymlaen, ac er fod yno ddau lyfr, bu anhawsdra mawr i dderbyn yr enwau, gan mor awyddus yr ymwasgent i'w rhoddi eu henwau i lawr. Y Parch. Jenkin Davies wrth eu hannog yn y bore, a ddywedodd, ond odid y ceir yma ddeg a deugain, ond llwyddasom tu hwnt i ddysgwyliad pawb.

Wrth wneyd i fynu y llyfrau, cafwyd ychwanegiad o ddim llai na 87, rhai wedi gadael y cyfarfod heb arwyddo, ni allent ddychwelyd adref, ond troisant yn eu hol drachefn; ïe, er i rai fyned adref, ni chaent lonydd i gysgu y noswaith hono nes penderfynu arwyddo y boreu canlynol. Fel hyn chwanegwyd drachefn 13 o enwau, yr hyn a wna y cyfanswm yn 100.

Tystiodd y rhan fwyaf o'r bobl ei fod yn gyfarfod rhagorol; yr oedd ysbryd dirwestol wedi perchenogi meddyliau y gwrandawyr, a gobeithiwn fod hyn yn rhagbarotoadol i dywalltiad o'r Ysbryd Glân, fel y gallom ddywedyd, yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen; canys yn lle "drain y cyfododd ffynidwydd, yn lle mieri y mae yn cyfodi myrtwydd, a hyn fydd i'r Arglwydd yn enw ac yn arwydd tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith."

J. Lloyd.

## CYLCHWYL CYMDEITHAS DDIRWESTOL BETHESDA, SWYDD ARFON.

Ar y 4ydd dydd o Ionawr, 1840, cynnaliwyd y cyfarfod hwn, pryd yr oedd yn gynnulledig yn agos i 1200 o ddirwestwyr, a llawer o edrychwyr. Cyfarfu yr aelodau yn y Carneddi, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, am hanner awr wedi un o'r gloch, yn y prydnawn; lle yr areithiodd y Parch. R. Parry, Conwy, a Capt. Lloyd, Caergybi.

Yna cychwynodd yr orymdaith i lawr i fyned trwy bentref Bethesda, ac ymunodd Cymdeithas Pen y groes â ni cyn cyraedd y pentref, gan ganu pennillion cyfaddas. Dull ein gorymdaith oedd fel y canlyn Yn mlaenaf, 12 o ddynion a fu gynt yn feddwon. ond yn awr yn sobr. Yna y faner fawr, yr hon a ddygid gan bedwar; pregethwyr a blaenoriaid eglwysig, a swyddogion y Gymdeithas; cantorion Bethesda; y meibion bychain a mawr ochr yn ochr; cantorion y Carneddi; ac yn olaf y merched, dwy mewn oed a dwy fechan ar eu hol, bob yn ail.

Aethom drwy y pentref yn syml a threfnus, a swyddogion yn golygu pob dosparth gan ddychwelyd ein mawl i'r Arglwydd, yr, hwn a wnaeth i ni bethau mawrion trwy y gymdeithas hon, am hyny yr ydym yn llawen.

Am hanner awr wedi pump yn yr hwyr, cyfarfuasom eilwaith yn Bethesda, yn Nghapel yr Annibynwyr, a'r Parch, Daniel Jones, Carneddi, a ddechreuodd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio; yna galwyd ar y Parch. Moses Jones, a'r Parch. E. Davies, Llanerchymedd, i areitho. Yna pregethodd y Parch. R. Parry, Conwy, oddiar 1 Pedr 4. 3, 4, 5. Chwanegwyd llawer at ein nifer trwy effaith y cyfarfod, a'r rhifedi yn awr sydd yn 2900.

B. Jones, R. Jones, D. Pritchard,
*Ysgrifenyddion.*

## HAU DIRWEST AR FIN Y FFORDD.

Un diwrnod, fel yr oedd Dirwestwr yn ddiweddar yn myned i rodio allan, cymmerodd gyd âg ef swp o Draethodau, ac yn eu plith un a elwir "Tŷ y Tlawd yn cael ei drwsio," a rhoddes un i hen feddwyn nodedig,—yr oedd ei dŷ yntau eisieu ei drwsio; a'r canlyniad fu iddo gredu a throi yn ddyn newydd. Ddirwestwyr! rhenwch Draethodau. A phe credai ein brodyr Dirwestol gallent wneyd fwy o ddaioni gyda'r achos fyth—os nad yw *pawb* yn Areithwyr, gall *pawb* fod yn Ddosparthwyr Traethodau.

# BARDDONIAETH.

## ENGLYNION

*Ar farwolaeth* MR. JOHN EVANS,* *Caetani, Dyffryn Ardudwy, Rhag* 16eg, 1839, *yn 88 mlwydd oed, wedi bod yn Henadur ffyddlon yn Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn yr ardal uchod uwchlaw ugain mlynedd.*

IOAN EVAN o'i ofyd—'ddiar angeu
A ddringodd i'r bywyd,
Iach ehedfan uwch adfyd,
Y mae'n fil gwell, yn bell o'r byd.

Gŵr o reddfau gwaraidd addfwyn,—a thad,
Doeth a mad, eitha' mwyn,
A ddygwyd i'r nef ddigwyn,
Ac i wydd Ior y cai'l ddwyn.

Fe lon-fwyn ddarfu ei flinfyd,—ca'dd lân
Ehedfan o'i adfyd,
A chanfu fro gwych wynfyd,
A'i thre' o goeth aur i gyd.

Ymunodd â theulu mwynion,—bro'r sant,
Diriasant dêr weision,
Yn dorf hardd yn y dref hon,
I wych leisiaw uwch loesion.

Teulu'n arwain telynoriaeth—ydynt,
Yn adwaen rheolaeth—
Tŷnion a phert dônau ffraeth,
Y bur eirian beroriaeth.

Llawn o ddawn, llon iddo Ef—a haeddodd
Eu heddwch a'u haddef;
Y cân y llu âg un llef,
Haleluiah hoyw loyw-lef.

GWERYDDON.

## ANGEU.

BETH ydyw angeu! pa beth yw?
Pwy a'i darlunia'n awr?
Fe dery hardd greadur byw,
Yn wyw i lwch y llawr!

Beth yw! *edrycha* ar y dyn,—
A gwelwa'i wridog wedd!
Anadla yn ei ffroenau sawr
Waelodion oer y bedd.

Yn nail y coed, yn nhonau'r llyn,
Dolenawg chwyth y gwynt—
Sisiala yn ei glustiau'n syn,
'I'r bedd y mae dy hynt.'

Y boreu, dyn fel deilen werdd
Tan nodded gwlith a gwres,
A dyf—a'r nawn yn fud heb gerdd,
A'i fynwes frwd fel pres!

Dychrynllyd iawn i'r duwiol yw,
Heb golyn du na phoen;
Er nad all agor clwyf na briw,
Trwy angeu'r addfwyn Oen.

Ond beth i'r adyn sydd a'i daith,
I'r ffwrn na ddiffydd byth?
Mewn nos o boenau—gofid maith,
Tra'r Duwdod ynddo chwyth!

Taran-dwrf, tragywyddoldeb yw,
Perffeithrwydd gwaeau dyn;
Sêl y diddarfod boenau byw,
A'u hoes fel Duw ei hun!!

IORWERTH GLAN ALED.

*Chwef.* 18, 1840.

## HOLLALLUOGRWYDD.

YR eang wybren faith uwch ben,
A'r holl awyraidd lasaidd len,
A'r eurfrith nefoedd ddysglaer gaer
Ddatganant oll eu cywrain Saer:
Y dillin haul o ddydd i ddydd
Yn dangos nerth ei Grewr sydd;
Cyhoedda drwy'r holl wledydd draw
Weithredoedd Hollalluog law.

Toc yn y chwedl yr ymeifl
Y lloer, tra chysgod hwyr ymdeifl
Drwy'r nos tra gwrendy'r ddaear lon,
Adrodda hanes geni hon;
A'r sêr sy'n cyneu yn eu bro,
A'r holl blanedau yn eu tro,
Gyd dystiant wrth ymdroi mewn gwawl,
Gan daenu'r gwir o bawl i bawl.

Er mai'n ddifrifol fud yr êl
Pob un o gylch ein tywyll bêl;
Er na ddaw dynol lais na sain
O blith y gloyw beli cain,
Yn nglustiau rheswm oll ar g'oedd
Rhont ogoneddus lawen floedd,
Gan ganu wrth belydru'n syw,
'Y llaw a'n lluniodd, Dwyfol yw.'

*Dyffryn Ardudwy.* *Cyf.* GWERYDDON.

## BEDD ARGRAFF

*Gwr a'i dair gwraig a gladdwyd yn yr un bedd.*

Y tair gwraig a aethant i'r gro,—a'r gŵr
I'r gell i gyd huno;
Dyma'r fan maent tan un tô
Gyrph ysig yn gorphwyso.

Ceir Dafydd, un dydd yn deg,—daw o'r gro,
A'i dair gwraig yn hardd-deg,
A chodant ar wych adeg,
Yn wiw, heb na briw na breg.

Yn y bedd heb waew na bâr,—hir enyd
Yr hunant eu pedwar;
Daw'r gwr gwiw a'i dair gwraig wâr,
Ar ddiwedd byd o'r ddaear.

*Llynlleifiad.* P. JONES.

* Bwriedir anfon bys gofiant am dano yn fuan.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### Y BIBL GYMDEITHAS.

DYWENYDD mawr genym allu rhoi yr hysbysiad canlynol o flaen ein darllenwyr, o weithrediadau y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor; copi o ba un a ddanfonwyd i ni gan ein cyfaill Parch. T. Phillips, Hay, Goruchwyliwr llafurus a defnyddiol y Gymdeithas ag sydd bellach yn adnabyddus iawn trwy y Dywysogaeth oll.

Ar y 15fed dydd o Ionawr diweddaf, anfonwyd llythyr allan o Dŷ y Bibl Gymdeithas yn Llundain, wedi ei gyfarwyddo at Gyfeisteddwyr a Swyddogion pob Cymdeithas Gynnorthwyol, a phob Cymdeithas Gangenol, a Chymdeithasiad yn perthyn i'r Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, yn cynnwys y penderfyniadau isod.

Wedi i'r Cyfeisteddiad gymmeryd dan ei sylw pa fodd i gyflenwi angenion yr Ysgolion Sabbathol yn fwy nag o'r blaen, yn nghyda ag ystyriaeth fod y Drefn newydd o addysgu wedi peri cryn gynnwrf y'mhob man, ac wrth weled ysbryd aflywodraethus yr oes, dirwasgai y peth yn drwm ar feddyliau y Cyfeisteddwyr, ac o ganlyniad daethant i'r penderfyniadau canlynol:—

I. I gynnyg, ar ran y Gymdeithas, i ddiwallu Ysgolion y Tlodion o bob gradd, â Biblau dan y prisiau canlynol:—Biblau mân (Nonpareil) y rhai a gyst i'r Gymdeithas 2s. 6ch. i gael eu gwerthu am *Ddeunaw Ceiniog*—Y Testament Newydd, yr hwn a gyst i'r Gymdeithas 1s. 1g. am *Chwe Cheiniog*.

II. I alw yn ol y gorchymyn caeth a roddid o'r blaen gyda phob rhodd o Fiblau i'r Ysgolion Sabbathol; a rhoddi caniatad i'r plant gario y llyfrau adref, a chael copiau iddynt eu hunain am y pris a nodwyd. Caiff plant y'mhob Ysgol arall hefyd fwynhau yr un manteision.

III. I ganiatau, ar ran y Cymdeithasau Cangenol, a Chynnorthwyol, a phob Cymdeithasiad, werthiad cyffredinol o'r cyfryw Fibl a Thestament a nodwyd, yn ol y prisiau a enwyd eisoes.

Ar ol y penderfyniadau hyn, dywed y Cyfeisteddwyr nad ydynt heb deimlo eu bod yn gwneuthur peth a fydd yn pwyso yn drwm ar y Gymdeithas; ond y maent am fyned ymlaen, meddynt, gyda chalonau hyderus, gan eu bod yn cael eu cynhyrfu gan y dymuniad o eangu dylanwadau crefydd yn eu hoff wlad eu hunain, yn y dyddiau terfysglyd presennol.

Maent yn hyderus iawn hefyd, os bydd i gyllidau y Gymdeithas ddyoddef oddiwrth y peth a wnaed ganddynt, na bydd eu cyfeillion yn ol o wrando ac ystyried eu llais, os gelwir arnynt i alw am egni newydd a chyfraniadau helaethach. Yr hyn, y mae yn ddiau genym, na fydd yn ofer.

Mewn cyfarfod gan y Cyfeisteddwyr, ar y 17eg o Chwefror, ychwanegwyd at y penderfyniadau uchod; ond eu swm a'u sylwedd yw hyn:—Gan mai er cyfarfod ag angenion y tlodion yn unig y tynwyd y prisiau i lawr, ac er mwyn dwyn yr Ysgrythyrau o fewn cyrhaedd plant yr Ysgolion Sabbathol trwy y deyrnas, na fwriedir awdurdodi gwerthu y Biblau a'r Testamentau fel hyn i Lyfrwerthwyr, neu ereill, a fyddo yn eu hailwerthu er ennill a llog.

Mae yn ddilys genym y bydd pawb yn hoff iawn o glywed am y newydd cysurus hwn—o fod egni yn cael ei wneuthur i daenu Gair Duw yn nghanol gwerinos sydd yn dyrysu mewn anffyddiaeth a therfysg; ac wedi iddynt gael y Bibl, pwy a feiddia ddweud na ddaw Duw y Bibl cyn pen hir i agor eu calonau i ddal ar ei gyunwysiad gwerthfawr a buddiol. Drwg genym na fuasai ein terfynau yn caniatau i ni fanylu ychwaneg ar y cyfnewidiad rhagorol hwn.

## HANESION CARTREFOL.

### PRIODAS Y FRENINES.

CYN dechreu rhoddi hanes am Briodas ein Brenines ieuangc a rhinweddol Victoria, efallai nad anfuddiol fyddai rhoddi y'mlaenaf ryw ychydig o hanes am y priodfab breninol, y Tywysog Albert a'i deulu.

#### HANES Y TYWYSOG ALBERT A'I DEULU.

Ei enw yn gyflawn yw, Albert Francis Augustus Charles Emanuel. Ail fab ydyw ef i Ernest, yr hwn sy Ddug Llywyddol Saxe Coburg a Gotha, yn Germany. Llywydd Saxe Coburg yn unig oedd y Duc hyd Tachwedd 12, 1826, pryd y daeth Duciaeth Gotha hefyd ar ei ran, ar farwolaeth Frederick IV.

Mae y Duc Ernest wedi bod yn briod ddwywaith. Y tro cyntaf, priodwyd ef â Dorothy Louisa Paulina Charlotte Frederica Augusta, merch Augustus o Saxe Gotha Altenburgh. Ac yn y flwyddyn 1832, priodwyd y Duc drachefn âg Antoinette Frederica Augusta Maria Anne, Tywysoges Wirtemberg.

O'i wraig gyntaf ganwyd iddo ddau fab, sef Ernest Augustus Charles John Leopold Alexander Edward, Tywysog Etifeddawl Saxe Coburg a Gotha, yr hwn a anwyd Awst 26, 1818, ac Albert, yr hwn sydd yn awr yn Briod â Brenines Brydain Fawr, yr hwn a anwyd Awst 21, 1819, ac felly ni fydd yn ei oed o un ar hugain hyd Awst 21, 1840. Ganwyd y Frenines Mai 24,

1819, ac felly y mae hi yn hynach na'i phriod o dri mis.

Y cangenau ereill o deulu Coburg ydynt y rhai canlynol:—1. Sophia Frederica, chwaer i'r Duc Ernest, yr hon a briododd Iarll Emanuel, o Mensdorf.

2. Juliana Heuryetta Ulrica, yr hon a briodwyd â'r Prif Dduc Constantine o Rwsia. Ac wedi marwolaeth y Tywysog barbaraidd hwnw, Constantine, yn y flwyddyn 1831, mae hi yn aros yn wraig weddw hyd y dydd hwn, yn Switzerland.

3. Ferdinand George Augustus, brawd i'r Duc, a briodwyd yn y flwyddyn 1816, â Maria Antoinette Gabriella, unig ferch ac etifeddes Tywysog Francis Joseph de Kohari, Boneddwr yn Hungary, o hen deulu cyfoethog, yn meddiannu tiriogaethau helaeth iawn yn y wlad hono. Protestaniaid digymysg oedd y teulu oll, ond yn unig y Ferdinand hwn, yr hwn a droes i broffesu y grefydd Babaidd, yn unig o awydd am gael y ferch ieuanc hon yn wraig, a'i chyfoeth mawr yn eiddo iddo: "Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch." Yr oedd y Tywysóg Francis yn Babydd, ac efe a dystiolaethodd na chai Ferdinand mo'i ferch Maria yn wraig iddo, oni throai efe at y Grefydd Babaidd, ac onid ymrwymai efe hefyd, os byddai iddynt blant, y caent oll eu dwyn i fynu yn Babyddion, ac â hyn y cytunodd Ferdinand. Ffrwyth y briodas hon fu tri mab ac un ferch, oll yn Babyddion yn ol ammod y briodas. Enw y mab hynaf, yr hwn a anwyd yn y flwyddyn 1816, yw Ferdinand Augustus Francis Antony, yr hwn sydd yn awr yn briod â Brenines ieuanc Portugal, Donna Maria de Gloria. Ac oherwydd fod mab iddo o honi hi, yr hwn a anwyd yn ddiweddar iawn, y mae efe yn ol cyfraith freninol Portugal, wedi ennill iddo eu hun y titl o Briod Brenhinol Portugal.

4. Y nesaf mewn trefn o frodyr a chwiorydd y Duc Ernest yw ei chwaer Maria Louisa Victoria, yr hon a briodwyd yn gyntaf â'r Tywysog Leinigen. Ac wedi ei farw ef, hi a briodwyd â'r Ardderchog Duc Kent o Frydain fawr, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1820; a hi yn awr yw y Dywysoges Kent, mam ein Brenines.

5. Leopold George Christian Frederick, brawd ieuengaf y Duc Ernest, ac ewythr y Tywysog Albert. Priododd Leopold y diweddar Dywysoges Charlotte, merch y Brenin George IV. yr hon oedd y pryd hyny yn etifeddes gyfrifedig Coron Brydain Fawr, a'r hon a fu farw yn 1817. Wedi hyny etholwyd Leopold i fod yn Frenin Belgium, yn Mehefin, 1831; ac fe'i priodwyd ef drachefn â'r Dywysoges Louisa Maria o Orleans, merch Louis Phillippe, yr hwn sydd yn awr yn Frenin y Ffrancod.

Mae llwyddiant a dyrchafiad teulu Saxe Coburg yn un o'r pethau rhyfeddaf o'r fath yn yr oes hon o'r byd. Nid oedd Trefedigaeth Coburg, etifeddiaeth cyntefig y Duc presennol, yr hwn yw yr hynaf o'r teulu, a brawd i'r Brenin Leopold, ond Tywysogaeth bychan, cynnyrch cyfan yr hwn nid oedd dros saith gant o bunnau yn y flwyddyn. Yr oedd yr etifeddiaeth mor fechan, fel nad hyfforddiai i neb o'r teulu i fyned mewn rhwysg a mawr draul i'r Llys yn Vienna ond y Duc yn unig, ac yntau ond anfynych. Ond fe ddarfu i'r gyfran o'r Etifeddiaeth a ddaeth iddo o Gotha Altenburg, chwanegu llawer ar ei Drefedigaeth ef, fel y mae tirgiogaeth Coburg a Gotha ynghyd yn cynnwys cant a thriugain o filoedd o drigolion. Y cyllid sydd yn awr yn gan mil o bunnau yn y flwyddyn. Ac y mae y Duciaeth dan rwymau i gadw 800 o wyr arfog tuag at amddiffyn Llywodraeth Gyngreiriol Germany.

Ar y pryd y dewisodd y Dywysoges Charlotte y Tywysog Leopold i fod yn briod iddi, nid oedd efe ond Uch-Gadpen yn Myddin arfog Awstria, a chanddo ddim at ei gynnaliaeth ond ei gyflog yn ol ei sefyllfa yn y fyddin. Ei gyfodiad ef i fod yn briod i Etifeddes gyfrifedig Coron Brydain a fu yn arweiniad i mewn i, ac yn achlysur o ddyrchafiad yr holl deulu i fri ac anrhydedd mawr. Ei chwaer a ddaeth i fod yn Dduges Kent, ac yn Fam i Frenines Brydain, gan gael ei mabwysiadu fel Leopold ei hun i mewn i'r teulu Breninol. Leopold a ddyrchafwyd i fod yn Frenin Belgium. Ac y mae un Nai iddo, sef Ferdinand yn Briod Breninol Portugal; a Nai arall yn awr yn briod â Brenines Brydain. Mae yn debygol na bu erioed o'r blaen, un teulu, mewn cyn lleied o amser, wedi cyrhaeddyd i'r fath uwchafiaeth ac awdurdod heb fod drwy rym arfau, nac un math o rwysgwaith, na gorchestwaith arall yn peri y fath ddyrchafiaethau.

---

Ar doriad y wawr boreu ddydd Llun y 10fed o Chwefror, yr oedd Llundain a phrif drefydd y deyrnas yn arwyddo fod y trigolion am fynu mwynhau dydd o lawenydd i gofio priodas eu brenines. Yn Llundain yr oedd cannoedd a miloedd yn ymsymud tua'r Palas Breninol, a baneran lawer yn chwareu yn yr awelon.

Am hanner dydd cychwynodd yr orymdaith freiniol o'r Palas, a sŵn bloeddiadau y dyrfa, a'r magnelau yn clecian, oedd yn rhwygo yr awyr, ac yn arwyddo boddlonrwydd a heddwch yr edrychwyr.

Yna cyrhaeddodd yr orymdaith i brif fynedfa palas St. Iago, ac wedi symud o ystafell i ystafell, lle yr oedd pob mawredd ysplenydd a ellid ei ddychymygu, cyrhaeddasant yr allor. Yr oedd oll wedi ei hamgylchu â felfet coch, ac ar fwrdd yr allor yr oedd felfet coch âg ymylwaith euraidd iddo; a'r colofnau oedd yn dal yr orielau (*galleries*) oeddynt wedi eu goreuro hefyd. Yr oedd ar y bwrdd lawer o lestri

aur, ac o bob tu iddo ystol i Archesgob Caergaint ac Esgob Llundain. Yr oedd y llawr oll wedi ei hulio â llawr-len lâs wedi ei goreuro.

Wedi i'r Gwasanaeth fyned drosodd, dychwelodd yr orymdaith yn ol trwy yr ystafelloedd a nodwyd, gan wenu yn foddlonus ar foullefau y dorf o'u hamgylch.

I ddiweddu y diwrnod, cynnaliwyd gwledd fawr, yn mha un yr oedd yn bresennol nifeiri lluosog iawn o benaethiaid urddasol y tir.

Y mae yn ddiamheuol genym y bydd y dydd hwn yn hir gofiadwy yn Mrydain, gan fod pob man, i fesur mwy neu lai, wedi dangos eu hymlyniad wrth y teulu breninol, ac yr ydym yn gobeithio hefyd tra yr oedd rhai yn gwledda, fod llawer yn eu dwyn ill dau—y Frenines ieuangc a'i gwr, at orsedd Duw i gael eu cymmwyso i orsedd Prydain.

Terfynwn yr hanes hwn gyda'r llythyr canlynol yn cynnwys hanes treuliad y diwrnod yn Nhremadoc, Swydd Gaernarfon.

"Garedig Syr,—Yr wyf yn anfon i chwi, i'w roddi yn y Drysorfa am y mis nesaf, y dull y darfu i ni yn nghapel y Methodistiaid Calfinaidd dreulio prydnawn dydd priodas ein Brenines, sef dydd Llun, y 10fed o'r mis hwn.

*Tremadoc, Chwef.* 12. J. Jones.

Prydnawn Sabbath o'r blaen, yn yr odfa hwyrol, cyhoeddwyd i'r gynnulleidfa fod y Frenines yn priodi ddydd Llun, ac fod gair Duw yn dangos mai ein dyledswydd oedd gweddio tros Freninoedd; a chan fod newid sefyllfa yn beth o bwys mawr iddi hi a ninnau fel deiliaid, y cyfarfyddem prydnawn ddydd Llun yn gyhoeddus yn y capel i weddio ar yr achos hwn.

Yr amser a ddaeth, a'r gynnulleidfa a ddaeth yn nghyd. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen dwy Psalm, yr 20 a'r 21, a gweddiodd pedwar o frodyr gyda chryn ddrws-agored a thaerineb, gan gadw golwg yn neillduol ar y matter, am fendith a llwyddiant ar yr amgylchiad, yn neillduol ac yn gyffredinol, a bendithion cyffredinol o hedd a chysuron, yn enwedig llwydd ar yr efengyl ac achos Mab Duw.

Yna canwyd y penillion canlynol:—

**Mesur,—'*God save the Queen.*'**

Boed i'n Brenines ni
Hir oes, a'i Phriod hi,
Duw cadw hwy.
Pen Llywydd nef a llawr,
Gorseddfaingc Prydain Fawr,
I'th ofal rho'wn yn awr,
Amddiffyn hwy.

Rhag pob bradwriaeth groes,
Yn noddfa bydd trwy'u hoes,
Tydi Dduw hedd.
Yn Dad-maeth, Mammaeth mwy
I'th Eglwys byddont hwy,
Nes treulio'u heinioes trwy,
A myn'd i'r bedd.

Bendithion nef yn awr,
A fo'n dylifo i lawr
I'r rhai'n yn rhwydd.
Trwy'r Ymerodraeth hon
I gyd, un fryd, un fron,
Ymunwn ninnau'n llon,
Amen eu llwydd.

---

Tôn,—'*Cranbrook.*'

Yn ddydd o Jubili
I Frydain, ac y'mhell;
Priodas ein Breuines ni
Fo'n ddechreu dyddiau gwell.

Boed hedd a llwyddiant mwy
Y'mhob rhyw barth o'n gwlad,
Heb ddim anghydfod ynddi'n hwy,
Gwrthryfel byth na brad.

*Eifionydd.* Ellis Owen.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

Tua diwedd mis Ionawr, gwnaeth y Senedd gyfraith o Ryddfreiniad y Tywysog Albert, fel y byddo iddo gael bod yn Frydeiniad, yr hon fraint a elwir *Naturalization.* Yna penderfynwyd ar y swm blynyddol a roddir iddo pan briodir ef â'n Brenines Victoria. Y swm a bennodwyd iddo yw deng mil ar hugain o bunnau (£30,000) yn y flwyddyn.

*Tŷ y Cyffredin*, Ionawr 28. Gwnaeth Syr John Yarde Buller gynnygiad am fwrw o'u Swyddau holl Swyddogion y Llywodraeth, y rhai ydynt, fel y gwyr pawb, yn *Whigs.* Y cynnygiad oedd ar fod i'r Tŷ ddyfod i benderfyniad "nas gallai Tŷ y Cyffredin ddim rhoddi ymddiried yn y Swyddogion er cyflawniad o'u swyddau goruchel." Ac fel y gellid dysgwyl, fe gefnogwyd y cynnygiad gan y *Tories* i gyd oll. Ac ar y pen pwysig hwn fe barhawyd i areithio o blaid ac yn erbyn am bedwar diwrnod, heb wneuthur bron ddim arall. Ac ar y pedwerydd dydd, neu yn hytrach y bedwaredd nos, sef Ionawr 31, fe ranwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn y Cynnygiad........ | 308 |
| O blaid y cynnygiad... ...... | 287 |
| Mwy o blaid y Swyddogion o .. | —21 |

Felly, terfynwyd y ddadl drwy fod y Swyddogion i aros yn eu lleoedd yn fwy sefydlog a chadarn nag oeddynt cyn hyny, yr hyn a barodd siomedigaeth ddirfawr i'r holl Toriaid yn y ddau Dŷ.

*Owenyddiaeth* (Anffyddiaeth).

Yn Nhŷ yr Arglwyddi, fe gytunwyd am anfon Archiad at y Frenines, i erfyn y

arni osod ei hwyneb yn erbyn Anffyddiaeth yr oes, yr hyn sydd yn llwyddo mor hynod dan yr enw Owenyddiaeth neu yr enw twyllodrus o Gyfeillgarwch. Ac ar y seithfed o Chwefror, dyg Iarll Errol ateb rhadlonaf y Frenines i'r Cyfarchiad pwysfawr hwn i'r Tŷ, ac a'i darllenodd yngwydd eu Harglwyddi. Atebiad ei Mawrhydi oedd fel hyn:—"Myfi a roddaf orchymyn am i'r achos pwysig sydd yn gynnwysedig yn eich Cyfarchiad i gael chwilio i mewn iddo i'r manylrwydd mwyaf, a chwi a ellwch ymddiried ynof, fy mod yn penderfynu sefyll yn erbyn pob math o athrawiaeth a fyddo yn tueddu i berygln moesoldeb a chrefydd yn y wlad." Derbyniwyd yr atebiad grasusaf hwn gyda boddlonrwydd mawr gan yr holl Dŷ.

*Tŷ y Cyffredin.* Chwefror. 9. Penderfynodd y Tŷ, o un fryd i dalu diolchgarwch gwresog a diffuant i'r Swyddogion a'r Milwyr yn yr India Ddwyreiniol am eu doethineb, eu medrusrwydd, eu gwroldeb, a'u ffyddlondeb yn y rhyfel amddiffynol diweddar yn y wlad hono.

Chwefror 11. Cynnygiodd Mr. T. Duncombe am gael caniatad i ddwyn Ysgrif i mewn i esgusodi yr Ymneillduwyr o bob enw rhag talu y Dreth Eglwys. Efe a sylfaenodd ei reswm am hyny oddiar ymddygiad yr Eglwyswyr yn cospi ac yn carcharu Mr. Thorowgood am beidio talu y dreth hono. Darfu i Mr. Hume, Mr. Hawes, Mr. W. Ellis, a Mr. Baines areithio o blaid y cynnygiad. Ac areithiodd Syr R. Inglis, a Mr. Mildmay yn erbyn. Yna dywedodd Arg. J. Russell, ei fod ef yn rhwym i amddiffyn y gyfraith tra y byddo hi yn gyfraith; a bod Mr. Thorowgood ar fai am anufuddhau i'r gyfraith. Yr oedd efe o'r farn fod yr Eglwys Wladol wedi ei sefydlu ar egwyddorion da, er ei fod yn cyfaddef fod y dreth eglwys yn hollol ddiangenrhaid, ac yn achlysur parhaus o flinder ac anghydfod. Yna efe a grybwyllodd am yr ymgais a wnaed amryw weithiau yn y Senedd am sefydlu yr achos hwn, a gwnaed gwell trefn arno, gan dystiolaethu mai yr eiddigedd sydd yn parhau rhwng yr Eglwys Wladol a'r Ymneillduwyr fu yr unig achos o rwystr i hyny gael ei wneud. Ac ar hyn, terfynwyd y ddadl, a safodd y peth hwn.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Chwefror 14. Cytunodd yr holl Dŷ yn unfryd am anfon cyfarchiad o gydlawenychiad at y Frenines ar achlysur ei phriodas; ac un arall at y Tywysog Albert, ar yr un achos; ac un o'r cyffelyb at Dduges Kent, mam ei Mawrhydi.

*Tŷ y Cyffredin.* Chwef. 14. Cytunwyd am anfon y cyffelyb Gyfarchiadau o'r Tŷ hwn, ac o'r Tŷ uchaf, a hyny a wnaed yn mhob un o'r ddau Dŷ, heb neb yn tynu yn groes. Wedi hyny yn fuan anfonwyd atebiad addas iawn i'r tri Chyfarchiad oddiwrth bob un o'r uchel bersonau a enwyd.

Ar yr un dydd, cynnygiwyd ail ddarllen Ysgrif Diwygiad Corphoriaethau Bwrdeisiol y Werddon, ac wedi cryn ddadl o blaid ac yn erbyn, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid Diwygiad y Corphoriaethau | 149 |
| Yn erbyn .................... | 14 |
| Mwy o blaid nag yn erbyn o .... | —135 |

Felly fe ddarllenwyd yr Ysgrif hon etto y leni yr ail waith yn Nhŷ y Cyffredin; ond beth a ddaw o honi yn Nhŷ yr Arglwyddi nis gwyddom.

---

*Priodas Arglwydd Dinorben.* — Dydd Mawrth, Chwefror 11eg, priodwyd Arglwydd Dinorben â Miss Gertrude Smyth, chwaer ei Huchder Breninol, y Dywysoges Capua, yn Llŷs Kensington. Ei Uchder Breninol, Duc Sussex a roddodd y foneddiges i'w phriodi, a'r Parch. Henry Jones, Caplan Arglwydd Dinorben, a'u priododd hwynt. Gwnaed gwledd fawr ar yr achlysur gan gyfeillion Arglwydd Dinorben, ac Arglwydd Mostyn oedd y Cadeirydd.

*Cyfarchiad at y Frenines, &c.*—Ar archiad amryw o brif Fasnachwyr Caerlleon, galwodd y Maer am gyfarfod y Dinasyddion yn y Llŷs Cyffredin, yr hwn a gynnaliwyd ddydd Llun, Chwefror 17eg. Yn y cyfarfod hwn, fe gytunwyd am anfon Anerchiad gostyngedig, parchus, a charuaidd at ei Mawrhydi y Frenines, a'i Breninol Briod, y Tywysog Albert, ar yr achlysur o'u priodas, gan ddymuno eu llwyddiant eu dedwyddwch, a'u hir oes. Ar yr achlysur, fe gyfododd Arglwydd Robert Grosvenor, mab Ardalydd Westminster, i fynu, ac a ddyg dystiolaeth glodwiw iawn i'r Tywysog Albert, gan ddywedyd, 'Mi a fum yn teithio ar Gyfandir Ewrop, er mwyn gwelliant iechyd, yn ddiweddar. Ac wedi i mi glywed rhyw sou fod Brenines Brydain yn tueddu at ddewis y Tywysog yn Briod iddi, myfi a gymmerais beth trafferth i ymofyn yn nghylch nodweddiad y Boneddwr hwn, yn ei wlad ei hun, ac mi a gefais sicrwydd hollol ei fod yn wr ieuangc parchus iawn, a nodedig o hardd yn ei ymddygiad; ac ni chlywais neb yn tueddu i roi un dim yn ei erbyn.'

*Ffyrdd haiarn.* — Mae cynnygiad cyhoeddus a phenderfynol yn cael ei wneyd etto am gael ffordd haiarn i redeg o Gaerlleon i Gaergybi, ac un arall o ymyl Rhiwabon i gyfarfod yr un sy bron a chael ei gorphen o Birkenhead i Gaerlleon.

Mewn perthynas i'r ffordd fawr haiarn, union af, i fyned o Lundain tua Dublin, nid ydyw y matter wedi ei benderfynu etto. Pan oedd Dirprwywyr y Llywodraeth ar ddyfod â'u barn a'u cynnygiad o flaen y Senedd, fe'u hattaliwyd rhag gwneuthur hyny, drwy hysbysu fod rhyw rai wedi dyfeisio tramwyfa newydd etto, sef i fyned o Worcester trwy y Dref Newydd tua

Phorthdinllaen. Yna, ymattaliwyd, a rhoddwyd amser i fesur a phrisio y ffordd hono, a dwyn eu darluniau o honi, yn mlaen erbyn y dydd cyntaf o Fawrth. Ar ar y dydd hwnw, neu yn hytrach yr ail dydd, gan fod y dydd cyntaf yn Sabbath, yr ydys yn bwriadu dwyn y cyfan o flaen y Senedd, ac i geisio dyfod i ryw benderfyniad.

*A'i byth y difa y cleddyf?* Ar yr wythfed ar hugain o fis Ionawr, aeth pedwar dyn o gyr Llanwenog, Swydd Aberteifi, i dref Caerfyrddin i brynu lluniaeth; ac wrth ddychwelyd adref, cyfeillachasant â'r ddiod gadarn *derfysgaidd*, a'r canlyniad fu iddynt ymgynhenu ac ymryson, nes oedd "gwelian heb achos" arnynt oll. Ac Och! yn agos i Llanfihangel, brathodd y naill gymmydog y llall i *farwolaeth*!! Wele, faint o ddefnydd y mae ychydig o'r tân meddwol hwn yn ennyn! O wlybroedd ofnadwy! pa faint a laddodd y rhai hyn? O! y rhai a'u cadwent, offer creulondeb sydd yn eu hanneddau. Ac O, tydi y gweinidog, y pregethwr, y blaenor, a'r duwiol, yr hwn wyt yn yfed y gwlybroedd gwirfawl, a thrwy hyny yn cadw yr ymarferiad o honynt, mewn bri. Mae Abel dy frawd?

PERGA.

*Tân difaol yn Liverpool.* Dydd Iau Chwefror 20, ymgymmerodd tân difaol yn Nghapel hardd a chostfawr y Dr. Raffles. Llosgwyd ef oll i'r llawr, gan adael y muriau moelion erbyn tranoeth. Cludwyd yn ddiangol o hono holl lestri y Cymun, a'r dodrefn symudol. Yr oedd wedi ei ddiogelu (*insured*) yn y swm mawr o bedair mil o bunnau; ond nid yw hyny yn agos i ddigolledu y perchenogion o'r dinystr hwn. Bernir mai trwy ormod gwres yn y pibellau poethi y gwnaed yr aarhaith hwn. Nis gellir bod yn rhy ofalus gyda thân.

*Mwyn-glawdd plwm.* Wrth agor ffos, cafodd llafurwr o hyd i wythen fawr ei gwerth, o fewn mwyn-glawdd plwm, yn gyfagos i waith plwm mawr yn Sir Amwythig, a elwir y *Bog Mine*, yr hwn sydd yn meddiant W. Cross. Esq. a J. Walker, Esq. ill dau o Gaerlleon. Rhoddasant £20 o rodd i'r llafurwr am ei ffawd; a thalasant ddyled Capel ag oedd wedi ei adeiladu er budd i'r Mwyn-gloddwyr, yr hyn oedd yn £240, heblaw rhodd fawr a wnaethent o'r blaen pan adeiladwyd ef. Clywsom ddarfod iddynt ofyn i'r gweithwyr yn y *Bog Mine*, pa un fyddai goreu ganddynt ai cael gwledd fras gan y Meistriaid, ai ynte iddynt dalu dyled y Capel; dewisasant yr olaf, a hyny a wnaed. Yn awr mae ganddynt Gapel diddyled i addoli ynddo, i wrando pregethu yr Efengyl, ac ac i dderbyn addysg iddynt hwy a'u heppil. Pwy na ddymunai lwyddiant i'r fath foneddigion a hyn, ynghyd a'u gweithwyr?

*Hysbysiad.*—Mae Cymmanfa Chwarterol nesaf y Deheudir i gael ei chynnal yn Aberystwyth, Mercher a Iau, y cyntaf a'r ail o Ebrill nesaf. JOSEPH ROBERTS.

*Aberystwyth, Chwef.* 17, 1840.

---

## Priodwyd

YN Eglwys St. Bridget, Caerlleon, gan y Parch. R. D. Thomas, T. B. Foulkes, o Queen's College, Cambridge, unig fab John Foulkes, Ysw. o Eaton Road, gynt o Fachynlleth, â Mary, merch ieuangaf F. Thomas, Ysw. Caerlleon.

## Marwolaethau.

BU farw, ar y dydd cyntaf o Chwefror, yn 28 mlwydd oed, Elizabeth, gwraig Mr. Jones, Druggist o Dremadoc, yr hon oedd yn ail ferch y diweddar T. Hughes, Ysw. Meddyg o Bwllheli.

Ar yr 17eg o Chwefror, yn Mostyn, yn chwe mis oed, Daniel, chweched mab i'r Anrhydeddus E. M. Ll. Mostyn, a'i Foneddiges Harriet Mostyn.

Ar y 12fed o Chwefror, yn Bryn Bellan, gerllaw y Wyddgrug, Mr. T. Johnson, yn ei 26ain mlwydd oed, wedi hir a phoenus glefyd.

Bu farw, ar y 25 o Ragfyr, 1839, yn ei dŷ ei hun, (ar ol ychydig o gystudd) yn agos i Bwlch y gŵs, swydd Benfro, y Parch. Josiah Evans, yn 85 mlwydd oed, pregethwr ffyddlon yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd, gwedi bod 60 mlynedd yn y weinidogaeth. Gwiriwyd y gair hwnw yn yr hen frawd 'Tirfion ac irion a fyddant.'

Pregethodd ar yr 8fed o Ragfyr mor hwylus ag y clywyd ef erioed yn Bwlch y gŵs, oddiar Ioan 6 14. Dydd Sadwrn, yr 28ain, ymgynnullodd tyrfa fawr i wneyd y caredigrwydd i'w babell bridd, lle y traddodwyd cyngor ar yr achlysur i'r gynnulleidfa gan Thomas Nathan, Pen y bedw, oddiar 2 Tim. 4. 7. 'Mi a ymdrechais ymdrech deg,' &c.

Rhoddwyd ei gorph i orwedd yn mynwent Clyday, mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad i fywyd tragywyddol.

Dywedodd un o'r blaenoriaid, (ac a wiriwyd gan amryw) bod yn perthyn i'r trengedig amryw o bethau ag y dylid eu hefelychu gan bregethwyr ieuaingc o bob enwad yn mhob gwlad.

1. Bod ei wisgiad yn addas i'w sefyllfa, a'i eiriau yn Ysgrythyrol.

2. Nad oedd yn afrwydd, etto yn bwyllog yn rhoi cyhoeddiad.

3. Ei fod yn sier, oddieithr ei fod yn analluog, o fyned i'w gyhoeddiad, ac hefyd yn brydlon bob amser.

4. Na chlywodd neb ef yn ymaflyd mewn testyn nas gallasai yn rhwydd lefaru oddiwrtho.

5. Bod ei ostyngeiddrwydd a'i hunanymwadiad yn coroni ei holl gyflawniadau.

Dywedodd un gweinidog parchus am dano lawer gwaith yn nghlywedigaeth amryw bregethwyr, 'Y mae Josia yn fwy pregethwr na neb o honom yn Swydd Benfro.'

Hefyd dywedodd y Parchedig D. Griffith am yr hen frawd yn ddiweddar, 'Nid oedd neb yn fwy parchus yn cael ei anfon i'r gogledd er's deugain mlynedd yn ol, nac yn fwy derbyniol yno. Teithiasom gyda'n gilydd, a chyfrif y cwbl, dros flwyddlyn trwy ddeau a gogledd, a llawer diwrnod y teithiasom rhwng 50 a 60 milltir y dydd. Ni phregethai byth yn hwy nag ugain mynyd; a phob amser pan y byddai yn cael cymmorth i weddio, yr oeddwn innau yn sicr o gael odfa lewyrchus iawn.' Ond nid ymhelaethaf, 'Marw a wnelwyf o farwolaethyr uniawn, a bydded fy niwedd i fel yr eiddo yntau.' PERERIN.

IONAWR 21ain, 1840, bu farw yn nhŷ ei fab, yn Ngwrecsam, Mr. Daniel Jones, gynt o Liverpool, ond yn ddiweddar o Ddinbych, yn 66 oed.

Trefnwyd iddo yn helaeth fynediad i mewn i'r deyrnas, lle 'ni ddywed y preswylydd; claf ydwyf.'—Gwyddai er's rhai wythnosau cyn ei ymadawiad, ei fod 'yn myned ffordd yr holl ddaear:' ond cynnaliwyd ei enaid ef heb ofni niwaid 'yn nglyn cysgod angeu,' gan gael ei nerthu i ymddiried yn unig ac yn gwbl yn yr Hwn a fu yn angeu i angeu, ac yn drangc i'r bedd!

Uwch galar, nych a gofyd,—Duw Iago
A'i dygodd i *wynfyd*,
I wledd fwyn, hyfwyn hefyd,
I nefol anfarwol fyd!

Ac yn mhen 11 niwrnod ar ol hyny, bu farw hefyd, (ar ol hir gystudd) ei ferch hynaf ef, Mrs. Jane Roberts, o Liverpool, yn 29 oed.

Ysgrifenai ei thad atti, ychydig wythnosau cyn ei ymadawiad, gan adgoffa iddi ddull Pedr ac Ioan yn myned at fedd yr *Arglwydd Iesu*. 'Ioan,' ebai efe, 'a gychwynodd yn mlaenaf at y bedd, ond Pedr a aeth i mewn iddo yn gyntaf. Felly, fy anwyl Jane,' meddai ef, 'ymaflodd y clefyd olaf ynoch chwi yn gyntaf, a chychwynasoch tua'r bedd o'm blaen i,—ond yn ol pob tebygolrwydd cyrhaeddaf yno yn mlaenaf!' Ac felly bu.

'Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint Ef.'

DANIEL JONES.

*Gwrecsam, Chwef.* 12fed, 1840.

IONAWR 25ain, 1840, heddyw yr hebryngwyd rhan farwol Robert Lloyd, i fynwent y Rhos ddu, i dŷ ei hir gartref.

Bu yn aelod crefyddol gyda chorph y Methodistiaid Calfinaidd yn Adwy y Clawdd dros bymtheg mlynedd ar hugain, ac yn flaenor duwiol, ffyddlon a llafurus i Eglwys Crist yn y lle am dros ddeng mlynedd ar hugain o hyny.

Trefn y claddedigaeth ydoedd fel y canlyn:—Am hanner awr wedi un o'r gloch, cynnaliwyd cyfarfod gweddio yn y capel, pryd y darllenodd Mr. Thomas Evans, blaenor y lle, y bymthegfed bennod yn yr Epistol cyntaf at y Corinthiaid, a gweddiodd dau o frodyr perthynol i'r Annibynwyr, a'r brawd hynaf perthynol i Eglwys y lle.

Pan oedd Mr. Evans yn darllen y bennod, deuwyd a'r arch, ac fe'i dodwyd ar gadeiriau yn nghanol y capel, yr hyn a effeithiodd yn rhyfeddol ar yr holl gynnulleidfa, ac yn neillduol ar yr un ag ydoedd yn darllen y bennod; tristwch a lanwodd ei galon, nes am ychydig amser y gorfu iddo ymattal.

Wedi gorphen y gwasanaeth crefyddol, safodd Mr. Evans i fynu, ac adroddodd ychydig o nodweddiad yr un, y pryd hyny, oedd yn gorwedd yn farw ger bron llygaid y gynnulleidfa. Dywedodd ei fod yn cofio yn dda y noswaith y derbyniwyd y brawd trengedig yn aelod o'r gymdeithas grefyddol yn y lle, a bod rhyw beth rhyfedd o waith yr Yspryd i'w ganfod ar ei enaid y pryd hyny, a'i fod trwy holl ystod ei fywyd crefyddol yn hynod a nodedig mewn duwioldeb. Tri o'r gloch, cychwynwyd corph yr hen bererin duwiol tua'i dŷ newydd.

O'i flaen yr oedd Cantorion a Chantoresau y lle, oll yn Ddirwestwyr, â'u *medals* yn crogi wrth *ribanau* duon am eu gyddfau, yn canu pennillion ar yr achlysur, a thorf luosog iawn ar eu hol. Pan y cyrhaeddwyd yn agos i Wrecsam, safwyd a threfnwyd y Cantorion a'r Cantoresau bob yn chwech, a hwy a gerddasant trwy y dref yn araf iawn o flaen y claddedigaeth tan ganu, a'r holl ddilynwyr ar ol yn drefnus bob yn ddau neu dri. Yr oedd yr olwg arafaidd, alarus a sobr, wedi codi lluoedd lawer o drigolion y dref i edrych ar gladdedigaeth parchus yr hen sant duwiol. Dymunwn hysbysu fod claddedigaeth yr hen dad hwn yn un *Dirwestol*, ie, yn hollol felly, nid oedd ynddo un diferyn o ddiod y meddwon, *na* diod y Dirwestwyr. Prysured y dyddiau y byddo pob marw yn cael ei osod yn ei fedd yn yr un dull teilwng a boneddigaidd.

Dywedodd lawer yn ei amser yn erbyn yr arferiad annynol ac annuwiol o ddiota mewn claddedigaethau,—ac wele ef ei hunan yn cael yr anrhydedd o gael ei gladdu heb un diferyn o honi yn agos i'r tŷ.

Teimlir galar, a hiraeth, a cholled dirfawr am hir amser, ar ol yr hen gyfaill ffyddlon a serchog. Wrth y bedd darllenwyd ychydig adnodau yn y bedwaredd bennod o Epistol cyntaf at yr Ephesiaid, a thraddodwyd araeth effeithiol gan Mr. Wm. Edwards ar yr achlysur: ac wedi gweddio a chanu, claddwyd y marw allan o'n golwg. O! hen gyfaill anwyl.

ED. FRA[illegible]



# Y DRYSORFA.

RHIF. CXII.] EBRILL, 1840. [LLYFR X.

## PREGETH

### GAN Y PARCH. DAVID ELIAS, PENTRAETH, MON.

"Yna y bydd ei marchnad a'i helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd: ni thrysorir ac ni's cedwir: canys eiddo y rhai a drigant o flaen yr Arglwydd fydd ei marsiandïaeth, i fwyta yn ddigonol, ac yn ddillad parhaus."—ESAIAH xxiii 18.

PAN fyddai cenedl Israel yn rhodio gyda Duw, byddent yn dwyn eu hoffrymau gwirfodd a'u haberthau, a'r degwm i'r deml, i gynnal yr offeiriaid, a'r Lefiaid, a holl wasanaeth yr Arglwydd; i adgyweirio y deml a'i llestri, a phob peth angenrheidiol at ei wasanaeth ef yn y deml. Ond pan aent yn wrthgiliedig oddiwrtho yr oeddynt yn dwyn y pethau crybwylledig i gynnal eilunaddoliaeth, ac i borthi eu chwantau. Gyda golwg ar Israel pan y byddent yn fywiog gyda gwaith yr Arglwydd, yn dwyn eu rhoddion gwirfoddol, ac yn eu cyflwyno i'r Arglwydd at ei wasanaeth ef mewn llawenydd a hyfrydwch calon, y llefarir y geiriau hyn; sef, y byddai y cenedloedd gystal a'r Iuddewon yn dwyn eu golud, ac yn ei gyflwyno yn wirfoddol at gynnal achos Duw yn y byd.

Yr oedd Tyrus y pryd hwnw yn brif farchnadfa y byd, a thrwy hyny yn cynnrychioli marchnadaeth yr holl ddaear; ac felly mae y geiriau yn yr ystyr helaethaf, debygid, yn cynnwys marsiandïaeth yr holl fyd. Peth newydd ydyw hyn. Trysori a chadw yr oeddynt o'r blaen, ac yn defnyddio eu helw i borthi eu chwantau, i gyflawni eu pechodau, ac i gynnal annuwioldeb. Ond yn awr, dyma dro amlwg arnynt, eu marchnad a'u helw yn 'sancteiddrwydd i'r Arglwydd;' sef, yn cael eu treulio i ddybenion sanctaidd, eu haberthu yn wirfoddol at ei waith sanctaidd ef, ac nid i gynnal glythineb, meddwdod, balchder, annuwioldeb, &c. Gwasgarwyd yr offeiriaid a'r Lefiaid o'r deml, diffoddwyd y lampau, ac aeth y tŷ yn rhwygedig lawer tro o eisieu i'r genedl ddwyn yr offrymau i'r deml. Ystyriwn,

I. Y modd nad ydyw 'marchnad ac elw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd.'

1. Nid ydynt wrth eu trysori a'u cadw, yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd. Y mae yn amlwg mai trysori a chadw ydyw nod penaf masnachwyr yr oes hon. Mae yn sicr nad ydyw syched am fyned yn gyfoethog yn gwreiddio mewn sancteiddrwydd. Un peth ydyw bod yr Arglwydd yn bendithio dynion â chyfoeth, peth arall ydyw syched am dano. 'Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch.' Y mae syched am drysori yn tarddu oddiar un o dri pheth.

(1.) Oddiar gariad at gyfoeth, yr hyn a eilw y Bibl yn 'gybydd-dod, yr hyn sydd eilunaddoliaeth,' ac yn sicr o gaead allan o deyrnas nefoedd. 'Yr hwn sydd yn ewyllysio ymgyfoethogi, sydd yn syrthio i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth.' Oddiar yr awydd yma, y mae twyll, celwyddau, anghyfiawnder gorthrymder, a lluaws o bechodau ysgeler yn tarddu, y rhai sydd yn sicr o ddamnio eu cyflawnwyr am byth. Y mae gwaedd ac ocheneidiau y gorthrymedigion yn llefain yn nglustiau yr Arglwydd bob dydd am ddial ar eu gorthrymwyr didrugaredd. Ac mae yn debyg y bydd Duw yn ateb yr holl ocheneidiau hyn yn nydd marwolaeth y cybydd, ac y byddant yn disgyn yn dân poeth yn ei cydwybod yn uffern byth.

(2.) Oddiar anghrediniaeth. Yr esgus sydd gan lawer wrth drysori a chadw ydyw, casglu ychydig erbyn henaint. Gellir meddwl bod y rhai hyn wedi colli eu golwg ar Dduw a'i holl gyfraniadau, a bod yn well ganddynt

ymddiried yn eu trysor nag ynddo ef.

(3.) Oddiar awydd myned yn uchel, yn barchus, ac yn anrhydeddus yn y byd. Ac yn wir, y rhai hyn yw y bobl *respectable* yn nghyfrif yr oes lygredig hon. Y cyfoethogion, nid y dynion duwiolaf, sydd yn cael eu cyfrif yn anrhydeddus y dyddiau hyn: ac felly y mae awydd mawr yn mysg crefyddwyr a digrefydd am drysori er mwyn cyrhaedd y sefyllfa anrhydeddus hon, ac y mae hyny yn peri nad ydyw eu marchnadaeth, na'u helw 'yn sancteiddrwydd' i'r Arglwydd.

2. Nid ydyw y gwastraff sydd yn ein gwlad ar farchnad ac elw ddim 'yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd.' Ac y mae y rhan fwyaf o lawer o elw a marchnadaeth y deyrnas hon, (oblegid hi ydyw Tyrus yr oes hon) yn cael eu treulio mewn gwastraff i gynnal gwleddoedd, dawns, a chwareuyddiaethau; neu i gynnal balchder, a dim ond ychydig bach yn cael ei gyssegru at achos Mab Duw. Dim ond y dall a'r cloff a aberthir i'r Arglwydd yn fynych. Ychydig o'r gweddill a fwrir i'r drysorfa. Am a ydwyf yn ei wybod, nid oes bron neb yn aberthu y blaenffrwyth a'r breision iddo ef yr oes hon. Y 'cyw colomen' sydd yn myned i Jerusalem yn lle yr ŷch seithmlwydd; ac aderyn y tô, yn lle yr oen blwydd; ïe, miloedd yn Nghymru heb fyned â dim! Gwerthir yr ŷch a'r oen i brydferthu y tŷ, ac i wychu y wisg, ac i ychwanegu y trysor; ac nid i adgyweirio teml yr Arglwydd. Llawer sydd yn trigo yn eu tai byrddiedig, a gadael ei dŷ ef yn anghyfanedd, sef, y tai yr addolir ef ynddynt, tan lwyth o ddyled! Ni chwynir cymmaint o herwydd tlodi wrth unrhyw beth, ag wrth ofyn cymmorth at achos Duw yn y dyddiau hyn. Y mae gwastraff yn bechod, am fod y dyn yn cymmeryd ei bleser yn lle Duw, ac yn rhoddi anrhydedd Duw iddo. Meddwdod, glythineb, balchder, chwareuyddiaethau, &c. pechodau ydynt oll, a meithle pob llygredigaeth. Felly y mae marchnad ac elw Prydain yn myned bron i gyd i gynnal teyrnas y diafol.

II. Yn gadarnhaol. Fe fydd eu marchnad a'u helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd, pan y gellir dywedyd, 'Ni thrysorant, ac nis cadwant.'

1. Bydd y marchnadwyr yn sanctaidd, wedi eu cyfnewid trwy ras. Y syched am gyfoeth, ac am wag bleserau, wedi darfod. Arwydd amlwg o ansancteiddrwydd a llygredigaeth, os nad o ddyn heb ei gyfnewid, ydyw ei weled yn awyddus am drysori. Pan y cyfnewidir yr enaid trwy ras, torir ei syched am y byd a'i holl bleserau. Gwelant y fath degwch yn ngwaith yr Arglwydd, nes y denir eu serch ato; a chant y fath hyfrydwch ynddo, nes y byddant yn aberthu eu golud yn ewyllysgar ato.

2. Bydd y farchnadaeth yn sanctaidd.

(1.) Ni farchnateir mewn un peth niweidiol i'r natur ddynol, nac chwaith mewn unrhyw beth i gynnal llygredigaeth a phechod i fynu. Y mae llawer o farchnata trwy y byd i gynnal llygredigaeth, ond bydd hyny wedi cwbl ddarfod, megis yr holl farchnata yn y diodydd meddwawl, a'r cyffelyb.

(2.) Ni bydd twyll, na hoced, na gorthrymder wrth farchnata; nac un anghyfiawnder o un math. 'Dy bobl fyddant gyfiawn oll.'

(3.) Bydd yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd yn y cyssegriad haelionus o bethau y bywyd hwn at ei wasanaeth ef.

Y mae dau neu dri o bethau yn rhwystr, hyd yn nod i grefyddwyr, aberthu o'u meddiannau at ei achos hyd yma, a'r cwbl yn gwreiddio yn eu prinder o sancteiddrwydd.

1. Eu diffyg o gariad at Dduw a'i waith, a gormod o gariad atynt eu hunain ac at y byd. Nid oedd *tri chan cheiniog* yn ormod gan Mair i roddi am enaint i eneinio corph yr Iesu. Paham? Am ei bod yn ei garu yn fawr. Er hyny, yr oedd gan Judas fantell grefyddol iawn i roddi tros ei chwant wrth feio arni. Ond mewn gwirionedd, caru yr arian yn fwy na Mab Duw yr oedd efe. Y mae llawer o frodyr iddo yn fyw y dyddiau yma, yn gweled y peth a roddir at achos Duw yn golled. Edrychwch mor ddiarbed a digwyn y mae pawb yn rhoi at y peth y maent yn ei garu.

2. Anghrediniaeth. Ac y mae llawer o ymdrech i orchuddio y pechod hwn â gwisgoedd lled grefyddol; megis, ofn myned yn warth i grefydd, ofn myned i bwyso ar ereill, &c. Mae yn debyg bod hwn yn rhwymo yr Iuddewon yn dyn ar ol eu dychweliad o'r caethiwed. Ac yr oedd ganddynt esgus oedd yn eu tawelu hwy, sef, 'Ni ddaeth yr amser.' Yr ydym ni yn rhy dlodion i adeiladu y deml. Pan ddel amser Duw, ni gawn ddigon o gyfoeth at y gwaith. Hwy a

fynent i'r Arglwydd roddi cyfoeth mawr iddynt yn gyntaf; ond fe fynai ef iddynt hwy fyned at y gwaith trwy ffydd, â'n hymddiried ynddo ef am ddigon i orphen. Myned yn dlotach, dlotach yr oeddynt tra heb ddechreu adeiladu. Yr oedd ef yn gwgu arnynt yn nhymorau y flwyddyn; yn goddef iddynt gael eu gorthrymu gan eu mawrion yn gerydd arnynt am brinder eu cyfraniadau at ei waith ef. Ond yn y fan y dechreuasant aberthu yn haelionus at deml yr Arglwydd, wele ef yn eu bendithio. Yr un modd yn nyddiau Malachi, 'Os dygwch fy offrymau, &c. i fy nhŷ, oni agoraf i chwi ffenestri y nefoedd, a gwlawio bendithion fel na byddo digon o le i'w derbyn.'

3. Diffyg gweled gogoniant yn, a chael blas ar waith yr Arglwydd, ydyw yr achos na bai pawb yn cyssegru mwy o'u golud at ei waith ef. Edrychwch ar ugeiniau, a chewch weled nad ydynt yn brin at unrhyw beth y maent yn cael blas arno. Nid yw y mawrion yn arbed traul gyda'r dawns, yr *hunts*, y rhedegfeydd, a'r chwareuyddiaethau; na'r meddwyn yn y dafarn, na'r ieuengctyd gyda'u pleserau bwythau: A fyddwn ni ar ol gyda gwaith mor dda? Ystyriwn

(1.) Ai nid yw hyn yn gwyn rhwng yr Arglwydd â ni y dyddiau hyn? sef, ein prinder yn ein cyfraniadau at ei achos ef. Ai nid oedd efe yn ein dysgu trwy y cysgodau dan yr hen oruchwyliaeth? Ni fynai yr Arglwydd na'i garedigion adeiladu y Babell yn yr anialwch, na'r deml yn Jerusalem, nac adgyweirio y deml, heb gael digon i'w gorphen. Ai peth ysgafn yn ei olwg ef ydyw bod y tai yr addolir ef ynddynt tan ddyled? a'i achos mewn tlodi a phrinder? Nagê, nagê. Cweryla âg Israel yr oedd Duw yn y cyfnwr tlota bron y darllenir am danynt, am eu bod yn esgeuluso adeiladu ei dŷ ef, a'u bod yn fwy gofalus am eu hachosion eu hunain. Wrth orchymyn dwyn yr aberthau; onid ydoedd raid iddynt aberthu yn ol eu sefyllfaoedd? Gwerth pa sawl cyw colomen oedd yr ŷch seithmlwydd? &c. Nid oes cymmaint a hyn o wahaniaeth rhwng aberth y tlawd a'r cyfoethog yn yr oes hon. Dywed llawer ei bod yn rhatach addoli yn ein dyddiau ni. Y ni sydd yn ei chymmeryd yn rhataeh. Digon gwir nad oes eisieu ŷch nac oen i'w haberthu yn awr; ond y mae eisieu eu gwerth i fyned âg achos Duw yn mlaen. Onid ydyw y capeli tan ddyled? Onid ydyw gweinidogion y cyssegr mewn tlodi? Onid ydyw y byd yn amddifad o air Duw a gweinidogaeth y cymmod? Ac oni ddylem ymdrechu â'n cyfoeth i gael teyrnas y Cyfryngwr yn mlaen?

Y mae miloedd o'r Gwyddelod tan orchudd tywyll Pabyddiaeth; a thuag un-can-mil-ar-ddeg o'n cydgenedl, yn Ffraingc, tan yr un gorchudd! heb gymmaint, mae yn debyg, ag un Cristion mewn gwirionedd yn eu plith! Y mae brodyr anwyl a hoff yn barod i fyned â'r 'Efengyl dragywyddol' idd ynt, a ninnau yn gwaeddi, 'ni ddaeth yr amser!' A gymmer yr Arglwydd hyn yn garedigrwydd oddiwrthym? Na wna. Deffro Sïon!

(2.) Pa ryfedd fod achos yr Arglwydd yn gwaelu yn ein dwylaw wrth fod cyn lleied o gyfranu ato, a'n rhoddion megis o gybydd-dod, ac nid o gariad? Os eir i gyfrif duwiollon yr oes hon wrth y nodau y mae yr Arglwydd Iesu yn ei roddi arnynt yn niwedd y 25 o Mathew, y maent yn hynod o anaml. Os yn ol yr hyn y mae Paul yn ei ddywedyd wrth ysgrifenu at y Philippiaid, y byddys yn casglu ffrwyth yn nydd y cyfrif; y mae yn rhaid y bydd ffrwyth llawer yn ychydig iawn. 'Yr hwn sydd yn hau yn brin, a fed hefyd yn brin,' &c.

(3.) Y mae yn rhaid rhoddi oddiar gariad at Dduw, ac o ufudd-dod i'w orchymynion, cyn y gellir disgwyl cymmeradwyaeth ganddo. Ni thalant yn gyfiawnder; ac ni thal i ti eu rhoi er mwyn dy ganmol gan ddynion chwaith. Etto, nid yw peidio rhoi rhag i'r bobl feddwl hyny, ddim yn esgusodi. Mae yn ddyledswydd ar bob dyn gyfranu at ei achos ef; ac y mae ei lygaid ef ar roddion pawb, ac efe a wyr yn dda dy allu a'th ddyben. Mesur dy gariad at Dduw â dy barodrwydd i gyfranu at ei achos, a hyny yn ol dy sefyllfa. Brysied yr Arglwydd y boreu i ben pan gyflawner addewid werthfawr y testyn hwn ar drigolion y byd yn gyffredinol. Amen.

*Mon.* COFIEDYDD.

---

DWYFOLDEB YR YSGRYTHYRAU.

*Sylwadau 'Cymdeithas Dduwinyddol Caergybi,' ar Ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau; dan olygiaeth* Philos Theou kai Anthropou (*William Roberts*).

Yr holl lyfrau hyd Job, yn yr hen Destament, y pedwar Efengylwr a'r Actau

yn y Testament Newydd, ydynt hanesiol. Job, y Psalmau, y Diarhebion, y Pregethwr, a'r Caniadau, ydynt farddonol. Llyfrau y Prophwydi a'r Datguddiad, ydynt brophwydoliaethol. A'r Epistolau, gan mwyaf, ydynt athrawiaethol.

Angenrheidiol yw deall yn mha ystyr y maent yn ddwyfol.

1. Nid ydym i ddeall fod yr *holl* Ysgrythyrau wedi eu llefaru yn ddigyfrwng gan Dduw; nac ychwaith wedi eu hysgrifenu â bys Duw, fel y llefarwyd ac yr ysgrifenwyd y ddeddf foesol.

2. Nid ydym i ddeall fod pob ymadrodd cynnwysedig yn yr Ysgrythyrau o Dduw o ran eu gwreiddyn, megis geiriau Jacob wrth ei dad Isaac; geiriau Gehazi wrth Naaman ac Elizeus; a geiriau Satan wrth yr Arglwydd Iesu. Yr adroddiad o honynt sydd ddwyfol, ac nid y geiriau eu hunain, pe felly, rhoddem gelwydd yn erbyn Duw y gwirionedd.

3. Nid yw y gwahanol gyfieithiadau o'r Ysgrythyrau o Dduw. Nis gallwn farnu fod y cyfieithwyr dan arweiniad anffaeledig yr Yspryd Glân; pe buasent felly, ni buasai ond un cyfieithiad awdurdodedig.

Y maent yn ddwyfol o ran eu gwreiddyn a'u tarddiad. Ni allasai dynion nac angelion drwg fod yn wreiddyn o honynt, oblegid y duedd sanctaidd sydd yn rhedeg trwy bob rhan o honynt. Ni allasai dynion nac angelion da, fod yn wreiddyn iddynt, oblegid datguddiad oeddynt i ddynion: a gwaith gwastadol yr angelion yw edrych i mewn iddynt, yr hyn ni allasai fod pe buasent yn wreiddyn iddynt. Duw yw gwreiddyn yr holl Ysgrythyrau. 'Yspryd Duw, a lefarodd wrthyf fi,' &c. 'Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw.' Y mae y dull a'r amser y llefarwyd hwynt o Dduw—y meddwl cynnwysedig ynddynt, a'r amgyffred oedd gan y rhai a'u llefarasant am y pethau a draethid ganddynt o Dduw. Er hyn i gyd, yr oedd pob un yn llefaru yn ol ei ddoniau naturiol ei hun. Nid oedd Esaiah yn llefaru fel Amos, na Jeremiah fel Solomon, na Paul fel Petr; ac etto, dan arweiniad anffaeledig yr un Yspryd.

1. Cynnwys yr Ysgrythyrau a brawf eu dwyfolder. Cynnwysant lawer o bethau na allasai goleuni natur eu datguddio. Gwir yw, fod goleuni natur yn dangos fod Duw, a bod y Duw hwnw yn ddoeth, daionus, a galluog—dengys ddyledswydd y naill greadur rhesymol at y llall—a bod yn beth tebygol fod enaid anfarwol mewn dyn; a bod lle mewn byd arall i gospi neu wobrwyo dynion yn ol eu hymddygiadau yn y byd hwn. Yr oedd *Ovid*, *Cicero*, *Socrates*, ac ereill wedi dyfod i benderfyniad am y pethau hyny, heb gynnorthwy datguddiad dwyfol. Ond yr Ysgrythyrau a amlygant beth a fu yn nhragywyddoldeb diddechreu, megis y Cyfammod a'r Arfaeth, &c. Dangosant fod tri Pherson yn y Duwdod, a'r tri hyny yn Un. Dygant y pethau a fu yn nechreuad amser i'r golwg, megis creadigaeth y byd, creadigaeth dyn, &c.

Ie, pwy a allasai fynegi y buasai Tad tragywyddoldeb yn fachgen wedi ei eni i ni; Tywysog y bywyd yn cael ei ladd, a hyny gannoedd o flynyddoedd cyn cymmeryd lle, ond yr Hollwybodol ei hunan.

Y sancteiddrwydd, y purdeb, a'r rhinweddau hefyd, a orchymyn yr Ysgrythyrau i ddynion eu cyflawni a'u hymarfer, a ddengys eu dwyfol wreiddyn.

Amlyga yr Ysgrythyrau drachefn adgyfodiad y meirw, y farn dragywyddol, dedwyddwch y duwiol, ac annedwyddwch yr annuwiol yn y byd tu draw i'r bedd. Nid oedd gan y Philosophyddion Paganaidd ond dychymygion ar y goreu am y pethau hyn; eithr yn yr Ysgrythyrau y mae 'bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni.'

2. Henafiaeth a chadwraeth yr Ysgrythyrau yn ngwyneb cymmaint o wrthwynebiadau a ddengys eu dwyfoldeb. Y mae llawer o lyfrau yn hen, ond dyma yr hynaf.

Ysgrifenwyd barddoniaeth *Homer* a *Hesiod* yn amser Esaiah, ond yr oedd rhanau helaeth o'r Ysgrythyrau wedi eu hysgrifenu gannoedd o flynyddoedd cyn hyny. Y Bibl ydyw: Llyfr y llyfrau, a thad pob llyfrau da ereill.

Er cymmaint o wrthwynebiadau fu iddynt gan yr ymerawdwyr cryfaf yn y byd, etto nis diddymwyd. Er i *Antiochus Epiphanes* losgi pob *copi* o'r ddeddf a gaffai afael arno; a *Dioclesian*, yr ymerawdwr Rhufeinig, ymdrechu i ddifetha pob rhan o'r Ysgrythyrau, a dyddymu enw Crist o fod; etto, y maent yn aros hyd y dydd hwn. Yr oedd gallu, crefydd, dysgeidiaeth, ac ymerodraethau y byd yn eu herbyn, etto y maent yn blaguro, ac yn ffrwytho. Pe buasent o ddynion, buasent wedi eu diddymu er's talm, ond gan eu bod o Dduw, y maent yn aros hyd heddyw.

3. Effeithiau grymus y gair a'r gyf-

lyrau a bucheddau dynion, yn nghyda rhagoriaeth y wlad a'r genedl a anrhydeddwyd â'r Ysgrythyrau, ar y gwledydd a'r cenedloedd amddifad o honynt a brawf eu dwyfolder. 'Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid.' 'Yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau.' 'Y mae 'yn fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, ac i hyfforddi mewn cyfiawnder.' 'Efe a wna yr hyn a fynwyf, ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i blegid.' Yn ol ordeiniad y cyfammod tragywyddol, trefnwyd i'r gair fod yn foddion anffaeledig yn llaw Yspryd Duw i ail-eni pechadur, a chydnabyddiaeth yr Yspryd o hono fel y cyfryw a ddengys ei ddwyfolder; oblegid na arddela un moddion arall, ond sydd yn dwyn ei ddelw ei hun. Nid yw yr Yspryd yn yr oes hon yn cael ei dywallt ar ddynion heb y gair, pe felly, *ail-enid* hwy heb y gair. Nid yw ychwaith yn cael ei dywallt ar y gair, pe felly, ni byddai yn air perffaith; ond y mae yn cael ei dywallt, ac yn gweithredu ar ddynion trwy y gair. 'Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw.' 'A phan ddel, efe a argyhoedda.' Petr yn pregethu, a'r Yspryd yn argyhoeddi trwy hyny. Nid yw y gair yn ddigonol ynddo ei hun i argyhoeddi pechadur, ac ni fyn yr Yspryd wneyd heb y gair. Tân ydyw, ond ni ddifa lygredd y pechadur, ac ni wresoga ei galon mewn cariad at Dduw, heb ei gymmwyso ato gan yr Yspryd. Cleddyf ydyw, a chleddyf llymach nag un cleddyf dau-finiog, ond ni ddwysbiga galon galed y pechadur heb i'r Yspryd ymaflyd ynddo. Gordd ydyw, a gordd gymmwys i ddryllio, ond ni ddryllia un galon byth heb i'r Yspryd ymaflyd ynddi. Trwy foddion y gweithredodd Crist iachawdwriaeth, sef, trwy ei ddynoliaeth. Nid oedd y ddynoliaeth yn ddigonol ynddi ei hun i wneyd iachawdwriaeth, ond yr oedd y Duwdod yn gweithredu trwyddi, ac felly, gorphenwyd iachawdwriaeth i bechadur. Felly y gair yw y moddion yn llaw yr Yspryd i gymmwyso yr iachawdwriaeth hono at y pechadur.

4. Cyssondeb a chyd-gordiad y naill ran o'r Ysgrythyrau a'r llall, a ddengys eu dwyfolder. Er iddynt gael eu llefaru gan wahanol bersonau, mewn gwahanol wledydd, tan wahanol oruchwyliaethau, ac mewn gwahanol amgylchiadau, etto yr holl athrawiaethau, hanesion, tystiolaethau, addewidion a bygythion, yn berffaith gysson â'u gilydd. Hyn a brawf fod yr ysgrifenwyr dan arweiniad anffaeledig yr Yspryd Glân.

5. Y cyflawniad manwl o'r amrywiol brophwydoliaethau cynnwysedig ynddynt a brawf eu dwyfolder. Ni allasai neb ragddywedyd pethau i ddyfod gannoedd o flynyddoedd cyn eu cyflawniad ond Duw; eithr efe a wyr y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed etto.

Meddyliwn am y brophwydoliaeth a'r cyflawniad yn nghylch y Messiah.—Y'nghylch ei ymddangosiad yn y cnawd. 'Ai gwir yw y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear,' ebe y brophwydoliaeth. 'Gwir yw y gair—ddyfod Crist Iesu i'r byd.' 'Y gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni.' 'Ac yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd,' ebe y cyflawniad.—Yn nghylch y llwyth o ba un y codai. 'Nid ymedy y deyrnwialen o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddelo y Shiloh,' medd y brophwydoliaeth. 'Amlwg yw, mai o lwyth Judah y cododd ein Harglwydd ni,' medd y cyflawniad!—Yn nghylch y teulu o ba un y deuai. 'Daw allan wialen o gyff Jesse, a blaguryn a dyf o'i wraidd ef,' ebe y brophwydoliaeth. 'Yr hwn a wnaethpwyd o had Dafydd o ran y cnawd,' ebe y cyflawniad.

Yn nghylch mam yr Arglwydd Iesu. 'Am hyny yr Arglwydd a ddyry i chwi arwydd, Wele, morwyn a fydd feichiog, a hi a esgor ar Fab; a thi a elwi ei enw ef Emmanuel,' medd y brophwydoliaeth. 'A hi a esgorodd ar ei Mab cyntafanedig,' medd y cyflawniad.—Yn nghylch lle ei enedigaeth. 'A thithau Bethlehem, tir Juda, nid lleiaf wyt yn mhlith miloedd Juda, oblegid o honot ti y daw y Tywysog, yr hwn a fugeilia fy mhobl Israel,' ebe y brophwydoliaeth. 'Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd.' 'Awn hyd Bethlehem, fel y gwelwn y peth hwn a wnaethpwyd,' ebe y cyflawniad.

Yn nghylch y derbyniad a gai ar ei ddyfodiad. 'Dirmygedig yw, a diystyraf o'r gwyr; gwr gofidus, a chynefin â dolur,' medd y brophwydoliaeth. 'At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef,' medd y cyflawniad.—Yn nghylch ei fynediad i Jerusalem. 'Wele, dy Frenin yn dyfod atat, cyfiawn a llariaidd yw efe, yn eistedd ar ebol asyn,' ebe y brophwydoliaeth. 'Bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd,' ebe y

cyflawniad.—Yn nghylch ei ddiniweidrwydd. 'Y Messiah a leddir, ond nid o'i achos ei hun,' medd y brophwydoliaeth. 'Nid wyf fi yn cael dim bai yn y dyn hwn,' 'Hwn ni wnaeth ddim o'i le,' ebe y cyflawniad.

Yn nghylch ei agwedd a'i ddull dan ei ddyoddefiadau. 'Fel oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa,' medd y brophwydoliaeth. 'A'r Iesu a dawodd—ac nid atebodd efe iddynt un gair,' medd y cyflawniad.—Yn nghylch claddedigaeth yr Arglwydd Iesu, 'Efe a wnaeth ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda y cyfoethog yn ei farwolaeth,' ebe y brophwydoliaeth. 'A daeth gwr goludog o Arimathea, a'i enw Joseph; a Joseph wedi cymmeryd y corph, a'i hamdôdd â lliain main, ac a'i gosododd ef yn ei fedd newydd ei hun,' ebe y cyflawniad.—Yn nghylch ei adgyfodiad, 'Ni adewi fy enaid yn uffern, ac ni oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth,' medd y brophwydoliaeth. 'Yr hwn a gyfododd Duw y trydydd dydd,' medd y cyflawniad.—Yn nghylch ei esgyniad, 'Dyrchafodd Duw â llawen floedd, yr Arglwydd â sain udgorn,' medd y brophwydoliaeth. 'Efe a gymmerwyd i fynu i'r nef.' 'Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i, a'ch Tad chwithau; at fy Nuw i, a'ch Duw chwithau,' medd y cyflawniad.

At hyn gellid ychwanegu y brophwydoliaeth, a'r cyflawniad yn nghylch caethgludiad yr Iuddewon i Babilon, a'u dychweliad yn mhen 70 o flynyddau. Y brophwydoliaeth a'r cyflawniad yn nghylch eu gwasgariad a'r hyd y byd, yn ninystriad Jerusalem; ac y byddent yn watwargerdd, ac yn gân yn mhlith yr holl genhedloedd, a brofant ddwyfolder yr Ysgrythyrau.

6. Sancteiddrwydd, ffyddlondeb, a hunanymwadiad yr ysgrifenwyr a ddengys ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau. Dynion a ymwrthodent â mwyniant a chyfoeth bydol oeddynt, fel Moses. Nodent eu beiau eu hunain, a llefarent yn ddidderbyn wyneb yn erbyn arferion llygredig yr oes yr oeddynt yn byw ynddi, a thrwy hyny tynent arnynt eu hunain warth a dirmyg eu cyd-ddynion.

7. Gellid hefyd nodi y gwyrthiau, yr arwyddion, a'r rhyfeddodau a gyflawnwyd gan y rhai a'u llefarasant, fel prawf ychwanegol o'u dwyfolder. Megis y gwyrthiau a gyflawnwyd trwy Moses, Elias, Eliseus, Crist ei hun, a'r Apostolion. Fel hyn yr oedd Duw yn dwyn tystiolaeth i'w dwyfolder trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd a doniau yr Yspryd Glan.

Ped ystyriem yn ddifrifol mai gair Duw yw y Bibl, ufuddhaem yn fwy ewyllysgar i'w orchymynion—credem yn fwy diysgog ei dystiolaethau—gorfoleddem yn fwy parod yn ei addewidion—crynem yn fwy difrifol wrth ei fygythion,—ac arswydem yn fwy gwastadol rhag cyflawni dim yn wrthwyneb iddo. Yr Arglwydd a argraffo ei ddwyfolder ar ein meddyliau!!

YSGRIFENYDD.

---

## YNFYDRWYDD AC AFRESYMOLDEB ANNUWIAETH.

(*Allano waith Barker.*)

GWADU y bod o DDUW sydd, nid yn unig yn annuwiol, ond hefyd yn afresymol. Mae ei wadu yn gwrthdaro rheswm dyn. Y mae y Salmydd yn galw y dyn hyny yn ynfyd, yr hwn a ddywed yn ei galon, 'Nid *oes* un DUW.' Salm 14. 1. Os ydyw eilunaddolwyr yn cael eu cyhuddo o ynfydrwydd am addoli duwiau gau, (Jer. 10. 14. 18.) 'pa faint mwy yr annuw, yr hwn sydd yn gwadu DUW?' Ac os dywed yr apostol am danynt hwy fod eu 'calon anneallus wedi tywyllu,' (Rhuf. 1. 21.) pan yr oeddynt yn ei ddiradduEF gydâ'u defodau gwâg o addoli, pa faint mwy y tywyllwyd âg ynfydrwydd y rhai a wadant ei fod a'i hanfod? Er mai uffern yw eisteddle perffaith ddrygioni, etto, nid ydyw yr annuwiaeth proffesedig hwn ddim i'w weled yno. Y mae y cythreuliaid eu hunain 'yn credu ac yn crynu.' Y fath beth anifeilaidd, ynte, ydyw i'w gael ar y ddaear! Ac yn enwedig yn y rhan hono o'r ddaear ag y mae gan ddynion, nid yn unig llyfr y greadigaeth, ond hefyd gair ysgrifenedig DUW y Creawdwr, fel eglurâd ar ei weithredoedd. Pa mor afresymol yw i ddynion feddwl mai synwyr yw bod, i'w tyb eu hunain, yn alluog i ymddadleu yn erbyn bod Duw, ac mai gwroldeb ydyw byw uwchlaw ofn eu Gwneuthurwr?

*Mon.* *Cyf.* CAIAN.

---

## ARWIRAIR.

Fe fydd ein tueddiadau yn gydweddawl a'r hyn y byddwn yn meddwl amlaf yn ei gylch; oblegid y mae'r enaid fel pe byddai wedi ei liwio â lliw a gwedd ei feddyliau ei hun.—*Marcus Antonius.*

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—Parhad o du dal. 60.

*O ddiwedd y Flwyddyn gyntaf o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu hyd ddiwedd yr Ail Flwyddyn.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 91 | Yr Iesu drachefn yn dangos pwy yw ei berthynasau .... | .... | .... | viii. 2--21. | .... | Capernaum. |
| 92 | Ar y ffordd tua Môr Galilea ........................ | xiii. 53.<br>viii. 18--22. | iv. 35. | .... | .... | O Capernaum. |
| 93 | Efe a aeth i'r llong........................ | viii. 23. | iv. 36. | viii. 22. | ... | Ar y môr. |
| 94 | Yn gostegu yr ystorm ........................ | viii. 24--27. | iv. 37---41. | viii. 23---25. | .... | Etto. |
| 95 | Gyru cythreuliaid allan o ddau ddieflig ............... | viii. 28--33. | v. 1---14. | viii. 26--34. | .... | Yn Gadara, o du y dwyr. i fôr Galilea. |
| 96 | Y trigolion yn dymuno arno fyned allan o'r wlad ...... | viii. 34. | v. 14---20. | viii. 35---39. | .... | Etto. |
| 97 | Yn myned yn ei ol dros y môr ........................ | ix. 1. | v. 21. | viii. 40. | .... | I Capernaum. |
| 98 | Y Phariseaid yn grwgnach ........................ | ix. 10--17. | .... | .... | .... | Yn Capernaum. |
| 99 | Jairus yn dyfod at yr Iesu ........................ | ix. 18, 19. | v. 22, 23. | viii. 41, 42. | .... | Etto. |
| 100 | Iachau gwraig o'r diferlif gwaed........................ | ix. 19--22. | v. 24---34. | viii. 42---48. | .... | Etto. |
| 101 | Cyfodi merch Jairus o farw yn fyw .... ........ | ix. 23--26. | v. 35---43. | viii. 49---56. | .... | Etto. |
| 102 | Agoryd llygaid dau ddeillion ........................ | ix. 27--31. | .... | .... | .... | Etto. |
| 103 | Iachau un mud cythreulig ........................ | ix. 32--34. | .... | .... | .... | Etto. |
| 104 | Yr Iesu yn myned i Nazareth........................ ... | xiii. 54. | vi. 1. | .... | .... | O Capernaum. |
| 105 | Anghrediniaeth yr Iuddewon yn parhau ............... | xiii. 54--58. | vi. 1---6. | .... | .... | Yn Nazareth. |
| 106 | Y drydedd daith gyffredinol ........................ | ix. 35. | vi. 6. | .... | .... | O Nazareth tu a'r de orllewin. |
| 107 | Anfon allan y deuddeg apostol ........................ | ix. 36--38.<br>x. 1, 5<br>xi. 1. | vi. 7---13. | ix. 1---6. | .... | O Capernaum. |
| 108 | Ail daith fer oddi amgylch........................ | ix. 1. | .... | .... | .... | Etto. |
| 109 | Hanes marwolaeth Ioan ........................ | xiv. 1--12. | vi. 14---29. | ix. 7---9. | .... | Yn Capernaum. |
| 110 | Yn croesi Bethsaida........................ | xiv. 13. | vi. 30--32. | ix. 10. | vi. 1. | O Capernaum. |
| 111 | Yn porthi pum mil o bobl ........................ | xiv. 13--21. | vi. 30--44. | ix. 10---17. | vi. 1---13. | Anialwch Bethsaida yn Decapolis. |
| 112 | Yn anfon ei ddysgyblion ymaith ........................ | xiv. 22, 23. | vi. 45---47. | .... | vi. 14---17. | Ar y ffordd o Decapolis. |
| 113 | Yn rhodio ar y môr .... .. ........................ | xiv. 24--33. | vi. 48---52. | .... | vi. 18---21. | Mor Galilea. |
| 114 | Yn dychwelyd i Capernaum ........................ | xiv. 34--36. | vi. 53---56. | .... | vi. 22---24. | O Bethsaida. |
| 115 | Yn rhagddywedyd bradwriaeth Judas ............ ... | .... | .... | .... | vi. 25---71. | Yn Capernaum. |

*Diwedd yr Ail Flwyddyn o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu.*

## HANESIAETH EGLWYSIG.

### V. Y BRODYR BOHEMAIDD.

Parhad o tu dal. 78.

Y CREULONDERAU a nodwyd, yn y Rhifynau blaenorol, a'r aml fygythion y difodid hwy, a barodd i ddilynwyr Huss o'r diwedd benderfynu sefyll yn ngwyneb eu gelynion. Yn y fl. 1419, rhuthrodd nifer mawr o offeiriaid Pabaidd arfog i'w heglwysi, a throisant hwy allan o honynt. Parodd hyn i offeiriaid yr Hussiaid gynnull eu gwrandawwyr ar ben mynydd uchel, ar gopa pa un yr oedd gwastad-dir eang; ac yn y fan hon cyfodasant babell ar ddull capel, ac yma y cyflawnent eu defodau crefyddol, ac y cymdeithasent a'u gilydd. Galwasant y lle Mynydd Tabor, ac oddiwrth hyn galwyd yr ymneillduwyr yma ar yr enw Taboriaid. Pan aeth hyn yn lled hysbys yn y gymmydogaeth, ymgynnullodd llawer o frodyr a chwiorydd o'r un golygiadau yno atynt. Erbyn hyn yr oedd ganddynt yno amrai bebyll; a ffurfient eu hunain yn wahanol gynnulleidfaoedd bychain i wrando pregethau, ac i weinyddu yr ordinhadau.

Ar un dydd gwyl yr oedd nifer y cymmunwyr, yn feibion ac yn ferched uwchlaw 42,000, i gyd yn Hussiaid bywiog a zelog, yn mawr ffieiddio trefn a dysgyblaeth yr Eglwys Babaidd.

Ar y mynydd hwn ymunasant â'r Taboriaid, ac wedi i holl Waldensiaid Bohemia ddyfod yno hefyd, dewisasant yn flaenor John Zisca, gwr boneddig o Bohemia, yn hollol ddall; yr oedd wedi colli un o'i lygaid pan oedd yn fachgen, a'r llall yn ngwarchae Raby, yn y fl. 1420; ond ni rwystrodd hyn iddo fod yn flaenor buddugoliaethus i'r Taboriaid. Yr oedd yn filwr dewr a galluog, er nad bob amser yr ymddygodd yn Gristionogaidd.

Yn y fl. 1421, arweiniodd yr Ymerawdwr Sigismund fyddin fawr arfog, o 150,000 o wyr, yn ei erbyn i Bohemia, y rhai a floeddient enw Huss a'r hereticiaid bob dydd ar eu taith, i'r dyben, mae'n debyg, o wneuthur yn hysbys i bawb beth oedd nod eu hymgyrch, gan wenieithio yn ddiammeu iddynt eu hunain y difodent hwy yn llwyr oddiar y ddaear. Cymmaint oedd y creulondeb at y Bohemiaid druain, fel pa bryd bynag y cymmerid un o'r genedl hòno yn garcharor, gyrid ef y'mlaen heb ddim cydymdeimlad na thrugaredd, heb unwaith holi a fyddent yn ddilynwyr Huss a'i peidio.

Oddeutu y pryd hwn, ymosododd oddeutu triugain o wyr ceffylau, yn fradwraidd, ar Wenceslaus, gwr duwiol iawn, a gweinidog plwyf Arndostowicz; ac efe, ynghyda'i Curad, a ddygwyd at y fyddin, ac a gyhuddwyd o fod yn ddilynwyr i Huss. Y llywydd milwraidd a'u danfones hwy at yr Esgob; a'r Esgob wedi hyny a'u hanfones at y milwyr; ac wedi dyoddef llawer o driniaeth galed oddiar law y naill a'r llall o honynt, gorchymynwyd iddynt yn gaeth i roddi i fynu heresi John Huss, ac onidê llosgid hwy yn lludw.

Ar hyn atebodd Wenceslaus hwy gyda llarieidd-dra efengylaidd, 'Hyn,' ebe fe, gan gyfeirio at roddi y cwpan i'r cymmunwyr yn Swper yr Arglwydd, yr hyn sydd yn drosedd o osodiad Eglwys Rhufain, 'Hyn sydd ran o'r ordinhad efengylaidd, ac a arferid gan y Cristionogion boreuol, ac a gymmeradwyir yn llyfr yr offeren hefyd. Diléwch ef gan hyny o lyfr yr offeren, a thynwch ef allan o'r efengyl!' Gyda'i fod yn llefaru y geiriau hyn un o'r milwyr a'i tarawodd ef yn ei wyneb â'i ddwrn, yr hyn a'i hanafodd yn dost.

Y diwrnod canlynol, dygwyd allan yr offeiriad duwiol a'i Gurad, tri gwladwr mewn gwth o oedran, a phedwar o blant bychain—un yn saith, a'r llall yn wyth, a'r ddau ereill yn un mlwydd ar ddeg oed, y rhai oeddynt oll wedi dangos cryn ymlyniad wrth y wir athrawiaeth, a diysgogrwydd hefyd, a gosodwyd hwy ar uchaf swp mawr o ffagodau. Cynghorai yr edrychwyr hwy unwaith yn rhagor i roddi i fynu eu 'hopiniynau cyfeiliornus,' fel yr achubent eu bywydau; ond Wenceslaus, fel bugail ffyddlon, a'u hatebagan ddywedyd, 'Pell oddiwrthym nii fyddo cydsynio â'ch cyngor. Yr ydym yn barod i ddyoddef nid un farwolaeth, ond cant pe byddai bosibl, yn hytrach na gwadu gwirioneddau yr Efengyl, y rhai sydd mor oleu â'r haul yn y ffurfafen.' Y dienyddwyr ar hyn a ddaethant y'mlaen, ac a roddasant dân yn y ffagodau, a Wenceslaus a gymmerodd y plant yn ei freichiau, fel y cymmerai bugail gofalus ei wyn, ac a'u gwasgai at ei fynwes, ac a gydganai Emyn orfoleddus gyda hwy yn nghanol y fflamau cynhyrfus difaol. Yr oedd y plant wedi mygu yn fuan; a Wenceslaus hefyd a roddes i fynu yr yspryd, fel gwas ffyddlon hyd angeu, ag ydoedd yn myned i dderbyn coron y bywyd yn wobr am ei waith.

Ni cheisiwn ddarlunio yn awr yr holl ryfefoedd a fu rhwng y Taboriaid hyn a'u gelynion, o dan lywyddiaeth Zisca. Wrth ddarllen eu hanes llenwir y darllenydd â syndod a rhyfeddod fawr wrth ganfod y buddugoliaethau rhyfedd, trwy Dduw, a ennillasant, ag â pha ddychryn hefyd y llanwodd Efe eu gwrthwynebwyr. Yr oedd yr ysgrifenwyr Pabaidd eu hunain yn methu ymattal heb ddatgan eu syndod pa fodd yr oedd y fath fyddinoedd lluosog, a'r rhai hyny yn cynnwys blodau gwroniaid yr Almaen yn cael eu gyru i gilio ac i ddiangc, cyn bod yn ngolwg un o'u gelynion. Dywed un o honynt, 'Mae y Bohemiaid wedi profi eu hunain yn ddewrion iawn: o herwydd er i'r Ymerawdwr Sigismund arwain agos i hanner Ewrop o dan arfau yn eu herbyn, ni bu yn alluog i leihau dim arnynt.'

Felly hefyd pe baem yn sefyll mynyd uwch ben yr hanes hwn ein hunain, a dychymygu am y lluoedd galluog a lluosog a arweinid gan yr Ymerawdwr i Bohemia, nis gallwn ddyfod i ben a rhyfeddu pa fodd y bu i ddyrnaid bychain o Fohemiaid eu gyru hwy i gilio, rhwystro iddynt ddyfod unwaith yn feistriaid ac yn feddiannwyr ar ddinas Pragne; ac yn enwedig pan ystyriom nad oedd y Bohemiaid ar y cyntaf wedi eu harfogi âg arfau o un math, ond ymgyfarfyddent â'u gelynion, ag offer dyrnu, a rhyw bethau cyffelyb; a hyn a barodd i'r Ymerawdwr, yn watworus, eu galw hwy yn ddyrnwyr; ond buan y gwelodd ef a'i wyr eu bod yn cael nerth i ddyrnu oddiwrth un a allai beri 'iddynt ddyrnu mynyddoedd,' oblegid yr oeddynt yn anafu ac yn briwio eu gelynion yn drwm â'u dyrnodiau celyd.

Yr oedd y Cardinal Julian, un o Swyddogion y Pab, yn bresennol yno ddwywaith ei hun, a gwelodd y tywysogion glewaf, a'r Cadfridogion dewraf yn ffoi heb neb yn eu hymlid; ac nis gellid cael ganddynt, mewn modd yn y byd, edrych unwaith yn ol i weled nad oedd yr un gelyn yn eu herlid. Ar un tro neillduol, â'r Cardinal hwn yn bresennol, wedi iddynt sefyll mewn man pennodol, edrychasant o'u hamgylch, ond pan glywsant fod y gelyn yn dyfod, llanwyd hwy âg ofn yn y fan, fel y taflasant eu harfau i lawr, ac y diangasant ymaith. Yna Julian a ddyrchafodd ei lef ac a wylodd, ac a ddywedodd, 'Ow! Ow! nid y gelyn sydd yn peri i ni ddiangc, ond ein pechodau!' Addefai cymanfa eglwysig Basle hefyd yr un peth, ac ychwanegai, fod yn rhaid mai oddiwrth rhyw farnau dirgelaidd o eiddo yr Arglwydd yr oedd y Bohemiaid yn sefyll heb eu handwyo o flaen y fath fyddinoedd lluosog o dan ymosodiadau mor aml. Yr oedd rhai ereill, ychydig mwy dichellddrwg, yn priodoli mynych fuddugoliaethau y Taboriaid i swyngyfaredd. Ond Philip Melancthon, un o ddiwygwyr y ganrif nesaf at hyny, a ddywedai ei fod yn credu mai angelion Duw oedd yn eu dilyn, ac yn dychrynu, ac yn chwalu eu gelynion.

Ar ol marwolaeth Zisca, dewisodd y Taboriaid un o'r enw Procopius yn flaenor, yr hwn, er ei holl ymegniadau a'i ddewrder, a fethodd ennill i'r Taboriaid wir ryddid i addoli. Un achos o hyn, mae'n rhaid addef, ydoedd yr ymraniad a gymmerodd le y'mhlith yr Hussiaid eu hunain. Yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn deisyf ar i'w gelynion ganiatau ychydig ychwaneg na chenad i'r gwyr lleyg gael y gwpan yn Swper yr Arglwydd, yr hon am beth amser ni chaniateid i neb ond i'r offeiriaid yn unig; ac wedi i'r hyn a ddeisyfent gael ei ganiatau iddynt, yr oeddynt yn foddlon wedi hyny. Caniatawyd hyn iddynt gan y Cyngor yn Bâsle, rhwng y blynyddoedd 1431 a 1443. Gelwid hwy ar yr enw Calixtines, neu Gristionogion y gwpan.

Ond cyn pen hir iawn, hwy a gawsant allan trwy brofiad, nad oedd y rhyddid hwn ond gau, a'r holl addewidion ond twyllodrus. Ond cafodd y Pab ei amcan i ben, sef gwanhau dilynwyr Huss trwy beri ymraniad ynddynt.

Wedi i'r Calixtines gael eu perswadio i ymadael a'r Taboriaid, ymosodwyd ar y rhai olaf hyn gan eu gelynion, a dyoddefasant lawer ymgyrch dost. O'r diwedd, yn y flwyddyn 1453, hwy a gawsant gyflawn ryddid i addoli yn ol eu cywybod gan George Podiebrad —adeiladasant eglwysi—a phenasant olynwyr—a chynnaliasant gymanfaoedd i ystyried eu hathrawiaeth, eu buchedd, a'u trefniadau eglwysig yn fwy unol a gair Duw—ac ymegniasant adferu pob peth i symledd a phuredd yr eglwys apostolaidd foreuol.

Ond wedi agor eu llygaid, dychweliodd lawer o'r Calixtines yn ol i'w cyfundeb cyntaf; a'r pryd hyny y dechreuwyd eu galw a'u hadnabod wrth yr enw y **Brodyr Bohemaidd.**

## MOSES YN GYSGOD O GRIST.

*(Allan o'r "Pulpit.")*

Moses, y gwas nodedig hwnw i Dduw, oedd mewn amryw olygiadau yn gysgod o'n Hiachawdwr bendigedig.

Yn y lle cyntaf, yr oedd Moses yn Hebrëwr o dylwyth Abraham: felly Crist o ach olynol uniongyrchol.

Moses a ddygwyd i fynu o'i febyd yn holl orwychedd brenindŷ daearol. Iesu oedd yn bod er tragywyddoldeb yn nysgleer balasau y nef, yn mynwes ei Dad nefol.

Moses yn wirfoddol a adawodd yr holl gysuron a'r manteision a fwynhäai; rhoddodd ymaith ei holl obeithion gwenieithïawl, rhwysg ac anrhydedd y palas ardderchog, ei gyfoeth, a'i fawr-wychedd fel mab mabwysiadol merch Pharao, er mwyn ei bobl gystuddiol, i gyfranogi o'u dyoddefiadau, ac i gymmeryd rhan yn eu helbulon. Iesu, o'i ewyllys ei hun, a adawodd ei orsedd ysplenydd fry, a holl ogoniant y Duwdod nefol, er mwyn byd caethiwus a marwol, i "gymmeryd eu gwendid, ac i ddwyn eu doluriau."

Moses oedd yr offeryn a ddefnyddiwyd er gwaredigaeth yr Israeliaid. Crist oedd prynwr a gwaredwr dynolryw.

Moses a wnaeth arwyddion a rhyfeddodau ger bron Pharao a'r Aiphtiaid, i'w hargyhoeddi o'i genadaeth ddwyfol. Iesu a wnaeth wyrthiau o'r rhyfeddaf er diffyniad ei un yntau.

Moses, gyda llawer o anhawsder, a ddygodd ei frodyr o wlad yr Aipht: ac O! 'r fath ymgyrch oedd gan Grist i'w wynebu er prynu dynolryw oddiwrth Satan a marwolaeth.

Moses a orchymynodd daenellu gwaed anifeiliaid er achub yr Israeliaid oddiwrth yr angel dinystriol. Iesu, fel oen pasg, a dywalltodd ei waed ei hun er achub ei bobl oddiwrth farwolaeth dragywyddol.

Moses a drefnodd swper y pasg er coffadwriaeth am waredigaeth yr Israeliaid. Iesu, yr ordinhad sanctaidd o Swper yr Arglwydd fel coffadwriaeth o'i farwolaeth a'i goncwest.

Moses, trwy nerth Duw, a dywysodd y bobl o gaethiwed trwy'r dyfroedd, ac a'u cadwodd oddiwrth farwolaeth dymorol. Iesu a agorodd y ffordd i bechadur i ddiangc oddiwrth gaethiwed ysprydol, ac a'u prynodd oddiwrth farwolaeth dragywyddol.

Moses oedd flaenor y llwythau breiniol. Iesu brenin ei saint prynedig.

Moses a ddyoddefodd wrthnysigrwydd, dirmyg, a gwrthwynebiadau ei bobl gwargaled ac anghrediniol. Iesu gwrthwynebiad a dirmyg diymattal Iuddew a Chenedlddyn

Moses a holltodd y graig galed yn ddwy, i gael dwfr i'r bobl. Iesu a holltwyd yn ei ochr sanctaidd ei hun, allan o ba un y llifodd dwfr bywiol er achubiaeth i'r enaid.

Moses a ddiwallodd y bobl â manna yn yr anialwch. Iesu sy'n rhoddi i'r credadyn fara'r bywyd tragywyddol.

Moses a ymprydiodd ddeugain niwrnod wrth Sinai yn yr anialwch. Iesu, ddeugain niwrnod yr un modd yn anialwch Jerusalem.

Moses yn unig a allai ddadleu gyda Duw a llwyddo. Felly yn unig trwy eiriolaeth Crist y gall dyn gael ei achub rhag distryw, a'i ddwyn yn ol i ffafr Duw.

Moses a roddodd i'r Israeliaid gyfraith gweithredoedd. Felly Crist i'r byd y cyfammod gras.

Moses a gyfododd i fynu y sarph yn yr anialwch, er mwyn i'r sawl a'i gwelent gael eu hiachau a byw. Iesu, yn yr un modd, a gyfodwyd i fynu ar y groes, fel "na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

Moses oedd yn esiampl o amynedd, ymroddiad, gostyngeiddrwydd, ac eiddigedd dros ogoniant Duw, ac ufudd-dod i'w orchymynion. Ac mor serchog yr oedd y rhinweddau hyn yn dysgleirio yn Iachawdwr bendigaid y byd.

Moses oedd yn ffyddlon i'r oll a roddwyd i'w ofal. Crist, yn y weinidogaeth sanctaidd a ymddiriedwyd iddo.

Moses a dorwyd ymaith am gyndynrwydd y bobl. Iesu am bechodau y byd.

Rhaid oedd i Moses farw cyn iddynt feddiannu gwlad Canaan. Crist, cyn rhoi hawl i ddyn i etifeddiaeth o'r nefoedd.

Moses a fu farw ar ben mynydd Nebo, tu allan i'r wlad addawedig. Iesu ar goppa bryn Calfaria, tu allan i byrth Seion a Jerusalem.

Trwy ddisgyniad y bobl i ganol y môr, y dangoswyd marwolaeth i bechod. A thrwy ymddangos fel hyn yn yr ochr draw, yr adenedigaeth, neu fywyd i gyfiawnder.

Yn olaf, trwy'r golofn a'r cwmwl, yr arwyddir Crist fel goleuni ac arweinydd y byd; a'i bresennoldeb beunyddiol gyda ei bobl ddewisedig ac etholedig.

*Bala.* D. GLAN TEGID.

---

## DIWYGIAD! DIWYGIAD! DIWYGIAD!

Y diwygiwr mawr ydyw yr Ysbryd Glan; mae y gwaith achubol yn sefyll yn hollol os na bydd efe yn gweithio. Gall addurniadau allanol gwaith yr Arglwydd gynnyddu, a'r gwaith achubol ar ol. Wele, beth a wnawn ni? beth a wnawn am ddiwygiad? Mae lliaws mawr o grefyddwyr Cymru, pan yr ystyriom yr hyn a ddylent fod, yn ymfoddloni yn dawel mewn syrthni ysbrydol, heb lafurio am feddu crefydd ysbrydol a phrofiadol; a'r holl fyd yn gorwedd yn dawel yn eu llygredigaethau, ac achub mewn modd hynod yn beth anaml iawn.

Wele, "Deffro, deffro, gwisg dy nerth, (gweddi'r ffydd,) Seion, ymysgwyd o'r llwch, cyfod (o'th wrthgiliadau), eistedd (ar uchel-

feydd gweddi, ac ymegniad.) Ymddattod oddiwrth rwymau (dy ddirywiadau), ti gaethferch Seion. Y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd na ddistewch (yn eich gweddiau,) ac na adewch ddistawrwydd iddo hyd oni osodo Jerusalem yn ben moliant ar y ddaear. Canys fel hyn y dywed yr ysgrythyr, wele, ni fyrhawyd llaw yr Arglwydd fel na allo achub (yn awr mwy nac yn amser ein tadau,) ac ni thrymhaodd ei glust fel na allo glywed (eich gweddiau chwi yn gystal a gweddiau eich tadau;) eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd rhyngoch chwi â'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb ef oddiwrthych, fel na chlywo. Ymolchwch, (gan hyny,) ymlanhewch, bwriwch oddiwrthych ddrygioni eich gweithredoedd, peidiwch a gwneuthur drwg."

Mae Duw wedi dychwelyd i'w le, a chuddio ei wyneb a'i ddylanwadau achubol oddiwrthym i raddau go fawr, ac felly yr erys efe 'hyd oni chydnabyddom ein bai, a cheisio ei wyneb.' Ystyria a deall, gan hyny, O Seion, mai dy geryddu am dy feiau y mae Duw wrth guddio ei wyneb rhagot. Dychwel dithau wrth ei gerydd. Canys wele, ebe fe, mi a dywalltaf o'm Hysbryd i chwi. Dychwelwn, dychwelwn ato ef â'n holl galon, âg ympryd hefyd, ac âg wylofain, ac â galar am ein pechodau; rhwygwn ein calonau celyd mewn edifeirwch gwirioneddol, ac nid mewn ymddangosiad allanol yn unig, megis rhwygo dillad, a'r cyffelyb.

Cymmerwn eiriau gyda ni, a dychwelwn at yr Arglwydd, a dywedwn wrtho, 'Maddeu ein holl anwireddau, a derbyn ni yn ddaionus i'th ffafr yn ol, wedi i ti guddio dy wyneb rhagom yn dy gyfiawnder, ac yna nyni a dalwn i ti aberthau o foliant â'n gwefusau, ac â'n calonau hefyd. Canys yr ydym yn gweled nas gall ein gweinidogion ffyddlonaf ein hachub ni; ac ni farchogwn mewn ymddiried ar ein dyledswyddau; ac ni ddywedwn mwyach am ein cyflawniadau crefyddol; O! ein difyrwch, oddieithr i ni gael dy bresennoldeb di ynddynt. O herwydd ynot ti, ïe, yn dy bresennoldeb di, a'th ddylanwadau achubol, y caiff yr ymddifad o bob gras a rhinweddau moesol, drugaredd. Yna mae Duw wedi addaw meddyginiaethu ein gwrthgiliadau, a'n caru yn rhad; a throi ei lid yn ei attaliad o'i bresennoldeb oddiwrthym. Ac efe a fydd fel gwlith i ni, a ni a flodeuwn mewn adfywiadau crefyddol fel y lili, ac ni a wreiddiwn i waered mewn gwirionedd a diysgogrwydd mewn crefydd fel gwreiddiau plethedig Libanus, a ni a wasgarwn ein grasusau fel ceingciau y coed, ac fe fydd tegwch ar ein holl gyflawniadau, ac arogl esmwyth ar ein buchedddau. A'r byd annuwiol a ddaw i waeddi, beth sydd i mi mwyach a wnelwyf a gwasanaeth pechod? a Duw a wrendy, ac a edrych yn dosturiol arno, ac a'i gesyd yn ei wasanaeth ei hun, ac a'i dug i ffrwytho er ei ogoniant ei hun.

O Seion, edrych ac ystyria, mae 'yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni,' yn cael ei ddal yn maglau'r diafol wrth ei ewyllys; hwnw yn dallu eu meddyliau fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist. Mae y Jehofah anfeidrol ogoneddus yn cael ei anmharchu ganddynt: mae egwyddor uniondeb a threfn yn cael ei mathru ganddynt, a hwythau eu hunain o ganlyniad yn y fath gyflwr ofnadwy echrydus nas gellir ei ddesgrifio. Deddf doredig fel cwmwl ofnadwy yn ymgroni uwch eu penau; llid yr Oen, mellt a tharanau a lleisiau, maglau tân a brwmstan; corwyntoedd poethion a dinystriol, a'r cyfan yn un gronfa gregedig a chynnyddol, a dim ond amynedd noeth y Jehofah yn attal iddo ollwng ei gynnwysiad ofnadwy ar eu gwarthaf. Er hyny, ceir eu gweled yn dangos eu dannedd mewn gwawd—yn croch leisio yn grechwenaidd mewn chwerthiniadau ynfyd, fel pe na bai perygl yn y byd! yn gwneud eu byd yn ddifyr fel pe na bai rwymau yn eu marwolaeth! yn cyflawni pob anwiredd yn un chwant heb ystyried y rhaid iddo esgor ar farwolaeth!

O! Gristion, edrych a gwel, ystyr ac ymdrecha, rhwyga dy galon mewn edifeirwch, a thywallt dy enaid ger bron Duw mewn gweddiau ar ran achubiaeth y byd.

O! Seion, clyw; yr ydwyt ti wedi cael ymweliad unwaith, neu yr wyt yn proffesu hyny o'r hyn lleiaf, wedi dy ddwyn o afaelion llywodraethol llygredigaeth, a maglau'r diafol—wedi agoryd dy lygaid a'th droi o dywyllwch i oleuni, a'th adnewyddu drwy ras. Wel, ymnewidiwch gan hyny, o'r agwedd wrthgiliedig, marwaidd, dilafur, a diwasgfa am achubiaeth pechaduriaid. Ië, ymnewidiwch trwy yr adnewyddiad sydd yn eich meddwl eisoes; ail-ennynwch y peth sydd ynoch. Af a dychwelaf i'm lle, medd Duw, hyd oni chydnabyddont eu bai a cheisio fy wyneb.

Mae gan Grist beth yn dy erbyn di, Seion, yn y dyddiau hyn; ïe, yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd, 'am i ti ymadael â'th gariad cyntaf,' oedd genyt yn amser y diwygiadau dan Rowlands a Harris, a llawer o ddiwygiadau grymus diweddarach. Pa le mae pregethwyr o ysbryd Rowlands yn awr, a'r Cristionogion gwresog eu calonau, a gafaelgar eu gweddiau fel y rhai hyny gynt? 'Edrych, gan hyny, o ba le y syrthiaist, ac edifarha, a gwna y gweithredoedd cyntaf;' ac onidê, mae diwygiad mor bell oddiwrthyt ag y bydd raid dy ysgymuno allan o gael dy olygu yn eglwys i Grist.

Na feddyliwch ymffrostio ynoch eich hunain, a dywedyd, 'Mae Rowlands a degau o hen weinidogion enwog tanbaid ac ardderchog yn eu gweinidogaeth yn dadau i ni. Ac na ddywedwch eich bod yn perthyn i blaid y Methodistiaid Calfinaidd, y rhai

ydynt wedi bod yn enwog a llwyddiannus hyd yn hyn. Mae y cyfryw ymffrost yn ddrewdod yn ffroenau Duw, ac yn ei bellâu oddiwrth ei gyssegr. Nid oes derbyn wyneb gyda Duw. Ond yn mhob cenedl ac yn mhlith yr holl bleidiau crefyddol uniongred, y rhai hyny sydd yn ymgyffro o'u cysgadrwydd, yn ymroddi i weddïau, ac yn ymegnio gyda eu dyledswyddau, sydd gymmeradwy ganddo ef, ac yn cael diwygiadau yn eu plith. Canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y bydd o blith y Protestaniaid, Presbyteriaid, a'r Annibynwyr, rai yn eistedd gyda Rowlands, a Harris, a Charles, yn nheyrnas nefoedd, a chwithau sydd yn ymffrostio yn anianol â zel-bleidiol ynddynt wedi eich cau allan.

Ac yn wir, pe gwir ddisgyblion Rowlands a fyddech, gweithredoedd Rowlands a wnaech. Pe bai yr ysbryd dwysedig hwnw am achub eneidiau ynoch, arddeliad Duw i hwnw a fyddai arnoch. Pe bai gweddïau, zel, ac ymdrechiadau saint yr amseroedd hyny yn saint yr amseroedd hyn, caent y diwygiadau grymus ag oeddynt hwythau yn eu cael. Yn lle beio Duw, beiwn ein hunain. Sicr yw na wneir trefn ar y byd 'hyd oni thywallter yr Ysbryd o'r uchelder;' ac mor sicr a hyny, mai mewn atebiad i weddiau Seion y tywelltir ef, a rhaid i'r gweddïau hyny fod yn rhyw beth amgen na geiriau oeraidd a difywyd. Gweddïau deffrous a ffyddiog yr hen enwogion oedd yn tynu y nefoedd i lawr i'r ddaear, a diffyg o'r gweddïau hyny sydd yn achosi diffyg o'r dylanwadau hyny.

Mae lluoedd o grefyddwyr yr oes hon, yn lle ymofyn am ysbryd yr hen dadau yn ymffrostio yn eu perthynas â hwy. Braidd na thybia llawer yr edrych Duw yn fwy ffafriol arnynt hwy na neb oherwydd hyn. Ond na thwyller chwi, canys dichon Duw godi plant i Rowlands a'i gyd-oeswyr, a'i olynwyr zelog o'r Eglwys Sefydledig etto, neu o'r pleidiau ag yr ydwyt ti, broffeswr anianol a phleidgar, yn cario meddyliau digon cul am danynt. Gwell gan Dduw Gristion gwirioneddol yn mhlith rhai o honynt na mil o'dy fath di, broffeswr claiar a hunanol, er dy fod gyda y Methodistiaid. Tân a yso ein sothach, canys yr ydym yn ceulo ar ein sorod, a'r tân a brawf ein gwaith; canys yr ydym, lawer o honom, 'yn adeiladu coed, gwair, a sofl.'

Braidd y peidia llawer ag awgrymu mai ar Dduw y mae y bai, na byddai diwygiadau yn ein plith. O! Och! echrydus ryfyg! meilltened Duw ei saethau argyhoeddiadol i fynwesau y cyfryw, nes codi y fath fraw ynddynt nas gallant gynnwys y radd leiaf o'r fath dybiau ofnadwy am un tarawiad amrant yn eu calonau. Y Duw digelwyddog sydd wedi myned ar ei lw 'nad yw yn ymhoffi yn marwolaeth yr annuwiol, ond dychwelyd o hono a byw;' 'heb ewyllysio bod neb yn golledig ond dyfod o bawb i edifeirwch—y Duw digelwyddog sydd yn tystio mai arnom ni mae y bai, a rhaid i ni gydnabod ein bai a cheisio ei wyneb cyn y cawn ef:—yr hwn a dystia yn ein hwynebau mai ein pechodau a'n hanwireddau sydd yn rhwystro iddo achub. A phwy wyt ti, adyn rhyfygus, a ddadleui yn erbyn Duw?

(I'w barhau.)

---

## HANES

### *Dechreuad a chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd yn Manchester.*

Gall y bobl hyn gyfrif y flwyddyn 1838 yn flwyddyn y Jubilee, os mynant; oblegid yn 1788 y dechreuodd eu hachos yn Manchester, sef, yw hyny, er's 50 o flynyddoedd yn ol.

Nid oedd Manchester ond bechan y pryd hyny, mewn cydmariaeth i'r peth ydyw hi yn awr, o ran maintioli y dref, ac ond llai mewn pethau crefyddol. Nid oedd yn y dref boblogaidd hon, yn y flwyddyn 1788, ond pedwar-ar-ddeg o dai addoliad, o bob enw o grefyddwyr, ond yn bresennol mae ynddi yn agos i gant o addoldai helaeth. Ond, beth yw hyny rhwng cynnifer a dau can mil o drigolion?

Yr oedd y pryd hyn, sef yn 1788, ychydig o Gymry wedi eu harwain yma gan ragluniaeth, yn nghyda'u teulu, fel, megis i wlad y Philistiaid. Ond fe ofalodd yr Arglwydd am danynt yn y wlad hon yn fore iawn.

William Davies, o'r lle a enwir y Golch, gerllaw Treffynon, oedd y genad gyntaf a anfonwyd ar eu hol i bregethu iddynt yn iaith eu gwlad; a'r lle y pregethodd ynddo oedd tŷ un Edward Jones, tad ein diweddar flaenor, Evan Jones.

Gwr o Sir Fôn oedd Edward Jones, yr hwn a breswyliai y pryd hyny yn Rhif. 1, Duke Street, George's Road. Testyn Wm. Davies oedd, Ps. 33. 9. 'Canys efe a ddywedodd, ac felly y bu,' &c. Yr ail bregethwr, oedd Robert Prys, Plas Winter, Sir Fflint. Ymgasglodd tua 12 neu 15 i wrando arno, mewn *Garret*, yn Rhif. 1, Tickle Street, Dean's Gate. Yn drydydd, daeth Mr. Robert Ellis, o'r Wyddgrug yma i ymweled â'r Cymry.

Ac fel hyn y buont yn cyfarfod ar y Sabbathau o dŷ i dŷ, ac o *garret* i *garret*, yn dlawd, ac yn isel eu hamgylchiadau; ac yn cael eu gwawdio a'u herlid gan y Saeson am y pum mlynedd cyntaf, a bron a rhoi i fyny lawer gwaith. Byddent weithiau yn hir heb gael neb i bregethu iddynt. Am rai troiau, hwy gawsant fenthyg capel bychan y Cold House, gan y Bedyddwyr Saesoneg.

Yn y flwyddyn 1793, cymmerasant ystafell mewn Warehouse, gan Gymro, sef, Mr. Hugh Williams, Oil Cloth Manufacturer, yn Garden Street, Back Piccadilly. Ond lle go anghysurus oedd hwn, o herwydd drygsawr yr *oil cloth*. Buont yn y fan hon

tua thair blynedd. Yr oedd Mr. Williams yn rhoi benthyg ei ystafell yn rhad ar y Sabbathau.

Yn y flwyddyn 1794, y daeth ysgrifenydd hyn o hanes i'r dref; ac ar yr amser hwnw, byddai yr hen bobl yn cyfarfod i gynnal moddion canu a gweddio ar nos Lun, yn nhŷ Owen Griffith, Rhif. 4, Bury Street, Salford; ac ar y Sabbathau yn Warehouse Mr. Williams, i ganu a gweddio pryd nas gallent gael pregeth.

Byddent weithiau fis, neu ddau, neu dri, ïe, chwe mis yn methu cael pregethwr, na neb i ddywedyd gair wrthynt; ac o herwydd hyny, byddent yn colli y bobl ieuaingc. Byddai y rhai oedd yn caru eu hiaith, a'u gwlad, a'u pobl, yn ymgyfarfod i rodiana ar y Sabbathau, ac i'r tafarndai ar y nosweithiau; a rhai yn myned at y Saeson, ac y mae eu plant gyda y rhai hyny etto.

Ond yr oedd yr hen bobl yn dal ati hi o hyd; ïe, rhai o hen wrthgilwyr o Gymru, a rhai wedi gwrando doniau D. Rowlands, David Morris, Jones, Langan, P. Williams, a William Williams, Pant y celyn, &c. Y mae yn gof genyf eu clywed yn son am eu pregethau hwynt lawer gwaith. Nis gallaf lai na meddwl nad oedd trefn ddoeth rhagluniaeth wedi arwain y rhai hyn yma erbyn amser i ddyfod.

Hwy a fyddent yn cadw y Gymdeithas Neillduol bob yn ail nos Sabbath, yn nhŷ David Jones, yn Jersey Street, a thŷ Robert Owen, Newbury Street, y pen arall i'r dref. Byddai y bobl ieuaingc yn rhodiana ar y Sabbathau, fel y soniwyd, â phigiadau yn eu cydwybodau, yr wyf fi yn un tyst; ond pan glywid fod pregeth yn y Warehouse, ymgasglai bron hyny o Gymry oedd yn y dref i wrando, a byddai y pregethwr yn cael rhwyddineb neillduol i lefaru. Er mai dyben llawer o'r bobl oedd dyfod i weled eu gilydd; etto, byddai saethau yn glynu yn nghalonau rhai. Er gwaeled oedd yr olwg ar y proffeswyr, ac er mor ddrwg oedd sawyr yr *oil cloth*, ac er anamled oedd y pregethau, fe fyddai yr Arglwydd megis yn talu am y cwbl, pan ddeuai pregethwr i'n plith, pwy bynag fyddai.

Mae yn gof genyf glywed Robert Roberts, Clynog, yn yr hen Warehouse, y Nadolig, 1794, yn llefain allan fel hyn, 'Oh! bobl, A oedd yn rhaid i mi ddyfod yma o Gymru i'ch gwneyd chwi yn fwy addfed i dân uffern?' nes oedd y bobl bron yn meddwl fod uffern yn agor ei safn am danynt. Ond rhy faith fyddai i mi adrodd yr hyn a allwyf gofio o'r pregethau yn y blynyddoedd hyny. Weithiau, braidd na buasech yn meddwl fod amser cyflawniad prophwydoliaeth y 35 o Esaiah wedi dyfod i ben, gan fel y byddai y cloff yn llamu fel hydd, a thafod y mudan yn canu; ïe, bron na ddychymygwn glywed eu sŵn yn fy nghlustiau heddyw.

Nis gallaf, ac nid buddiol fyddai i mi enwi y pregethwyr o nesaf i nesaf, olynol, y rhai a fuont yma yn y blynyddoedd 1794, 1795, 1796. a 1797. Ond heblaw a enwyd, dyma rai o honynt, Mr. T. Charles, Bala; Mr. Evan Richards, Caernarfon; Mr. John Ellis, Abermaw; Mr. John Jones, Caergwrle gynt; Mr. William Lewis, Adwy'r Clawdd; David Cadwaladr, Ebenezer Williams, Edward Watkin, Ismael Jones, John Elias, &c. a llawer ereill. Fe fu rhai o honynt yma lawer gwaith cyn i ni fyned i Warehouse York Street, yn 1796.

Pan oedd Mr. Charles yma yn Mehefin, 1795, annogodd y cyfeillion i ddechreu cadw Ysgol Sabbathol i'r ieuengctyd; ac felly y gwnaethant; a dyma a fu yr ysgol gyntaf erioed yn y dref hon. Dechreuwyd hi mewn *garret* yn Jersey Street, yn nhŷ John Richard, gwr o Ddolgellau, ac Evan Jones, gwr sydd yn awr yn Germany, oedd yr athraw cyntaf yn yr Ysgol Sabbathol Gymraeg yn y dref hon; a John Ellis, o'r Abermaw oedd yn holi y plant y tro cyntaf. Ymgasglodd tuag wyth neu ddeg o blant yn nghyd y tro cyntaf; gwn fod dau o honynt yn fyw etto.

Er dechreu fel hyn yn lled galonog, ni bu fawr o lewyrch arni am bedair neu bum mlynedd, a hyny yn benaf o herwydd fod yr hen bobl yn methu gweled fawr o briodoldeb o'i chadw ar y Sabbathau. Ië, nid oeddynt yn ei gweled yn fawr, os dim gwell, na thori y pedwerydd gorchymyn. Ac ni chaniatäent golli un odfa, nac un cyfarfod gweddi er ei mwyn, fel y byddai yn rhaid ei chadw rhwng yr odfaon ar y Sabbathau. Gwael iawn oedd yr Ysgol yn parhau hyd nes aeth y bobl ieuaingc yn drechaf, yr hyn a fu tua'r flwyddyn 1800. Ac o hyny hyd yn awr, mae hi wedi ennill tir yn rhyfedd.

Gan fy mod wedi dechreu son am yr Ysgol, dywedaf ychydig yn ychwaneg am dani.

Yn y flwyddyn 1817, gofynodd un o enethod yr Ysgol i un o'r athrawon, beth oedd yr achos na chaent hwy yr un peth ag oedd gan y Saeson yn wythnos y Sulgwyn? sef myned allan yn un corph gyda'u gilydd, a chael *tea*, a myned ychydig i'r wlad. Caniatawyd iddynt gael hyny; ac o hyny hyd yn awr y mae yr Ysgol bob Sulgwyn yn cael myned yn un corph, o fychan i fawr, yn lanwaith a hardd trwy rai o heolydd penaf y dref i'r wlad i faes neu ardd; ac yna dychwelyd yn ol rhwng 4 a 5 o'r gloch i'r capel, i gael eu gwala o fara a *tea*. Wedi hyny mae rhyw un o'r gweinidogion yn eu cyfarch, ac yn olaf, cedwir Cyfarfod Cenadol yr ieuengctyd.

Mae sefydliad fel hyn yn y dref hon yn peri sirioldeb mawr i'r plant ac i'r ieuengctyd, ac yn foddion drwy yr holl dref i attal uwchlaw ugain mil o ddeiliaid yr Ysgol Sabbathol rhag myned bob blwyddyn i redegfa meirch a gynnelir yma yn ngwyl

iau y Sulgwyn. Gallech weled miloedd o honynt ar un olwg (rhwng pob enwad crefyddol) yn tramwyo trwy brif heolydd y dref i gyrau y wlad, â'u hathrawon gyda hwynt. Maent yn llawenhau calon pawb a'u gwelo, ac a'u clywo yn canu, ond yn unig y cythraul a'i blant. Ar yr un oriau ag mae y trueiniaid hyny yn cadw eu *Horse Races*, dair milltir oddiwrthynt, yn un pentwr cymmysglyd, fel wedi eu melldithio i wneyd pob drwg, yn cam-dreulio trugareddau Duw, ac yn distrywio eu cyrph a'u heneidiau.

Erbyn diwedd y flwyddyn 1795, yr oedd tua 40 o aelodau yn y Gymdeithas Neillduol. Ac yn y flwyddyn hon y cafodd yr ysgrifenydd y fraint o gael ei dderbyn i'r Gymdeithas Neillduol. Yn Mehefin 1796, y chwanegwyd amryw o bobl ieuaingc at y Corph. Daeth llawer o Gymry yma wrth glywed fod gwaith a breintiau yr efengyl i'w cael yma.

Yn 1790 y dechreuwyd son gyntaf am Gapel; a'r achlysur a fu fel y canlyn.

Yr oedd Mr. Evan Richardson, Caernarfon, yn pregethu mewn *garret*, yr hon oedd yn llawn iawn o bobl, ac wrth bwysau y dorf, torodd llawr y llofft, nes oedd pawb yn meddwl fod y llofft ar ymollwng, ond sefyll a wnaeth, a chaed gorphen yr odfa yn dawel. Wedi dyfod i lawr, dywedai Mr. Richardson, 'Nid oedd modd i'r llofft dori, yr oedd yno angel Duw â'i law dani hi.' Ac, meddai efe yn mhellach, 'Beth debygech chwi am gael Capel Cymraeg yn Manchester? pe bai yr ieuengctyd hyn yn rhoi heibio ychydig yn wythnosol, nid hir y byddech heb Gapel; minnau a awn â'ch achos i'r Sassiwn.' Ac felly dechreuwyd yn ddioed; rhoes rhai 1s. rhai 8c. 6c. 3c, &c. pawb yn ol eu gallu, yn wythnosol, at y casgliad, sef yr holl wrandawyr yn ddiwahan. Ac fe aed â'n hachos i Sassiwn y Bala; a chasglwyd trwy Ogledd Cymru a rhan o'r Deheudir. Bu ein brodyr o Gymru yn haelionus iaag atom; a pharhawyd i gasglu yma hefyd, nes cael Capel hardd a thalu am dano. Agorwyd y Capel yn 1799, fel y sonir etto.

Ond am dair blynedd cyn agor y Capel hwn, tra yr oeddym yn casglu at gael Capel, yr oedd Mr. Williams, a bioedd y Warehouse, yn cwyno fod rhyw bobl yn niweidio yr *oil cloth*, a ninnau yn myned yn fwy boneddigaidd ein ffroenau, yn cwyno o herwydd arogl drwg yr *oil*, a'r gynnulleidfa yn lluosogi ac yn methu cael digon o le. Felly aethom i chwilio am le mwy cyfleus; a bu arnom lawer o drafferth yn cael lle. Canys er cymmaint fyddai ganddynt o le yn eu Warehouses, pan glywent i ba beth y byddai arnom ei eisieu, '*No*,' fyddai yr atebiad yn wastad; ac weithiau dywedent, 'Mae arnom ni ofn i chwi roi y Warehouses ar dân!' '*No*,' medd y llall, '*you are making such a damnable noise!*'

Ond yn mis Hydref, 1796, cafwyd ystafell gyfleus a helaeth yn York Street; ac ar yr 16eg o Hydref, agorwyd hono. Fel hyn estynwyd cortynau y Babell, a chwanegwyd at ein rhifedi, mwyhawyd ein breintiau, cawsom amrywiol o'r pregethwyr mwyaf doniol o ogledd a de i bregethu i ni; ac yr oedd yr Arglwydd yn agoryd eu geneuau yn hyf i hysbysu i ni ddirgelwch yr efengyl, ac i ddyddanu ein calonau.

Ac am y tair blynedd y buom yn y Warehouse hono, cawsom lawer o odfaon gwlithog, a chymmaint o foddlonrwydd yr Arglwydd yn y gwaith nes cynhyrfu uffern a'i hofferynau i'n herbyn, nes y bu raid i ni, rai gweithiau, ofyn nawdd y gyfraith wladol. Ond er uffern a'i phyrth, cynnyddu yr oedd y gwaith, a chwanegwyd amryw at y Corph. Llawer gwaith y ceisiodd y diafol ni i'n nithio; ond ni chafodd ond yr ûs a'r efrau am ei waith. Byddai y Warehouse hono yn aml yn rhy fechan i gynnal y gwrandawyr.

Ond rhag gormod meithder, ni enwaf ond un tro.

Pan oedd Mr. John Evans, New Inn, yma, gofynodd Mr. Evans i'r bobl fyned allan i'r heol, a safodd yntau ar y grisiau, a dechreuodd bregethu yn Gymraeg: ac wrth weled y Saeson yn sefyll i wrando, troes i'r Saesoneg, a gwrandawodd pawb yn dawel wedi deall beth oedd yn cael ei ddywedyd; a rhoes Mr. Evans hymn Saesoneg allan i ganu; cydganodd y Saeson â'r Cymry, a'r Saeson oedd y trechaf o lawer; felly aeth y dorf yn dawel wedi cael eu boddloni. Amryw o droion go gyffelyb a welsom, rhy faith i mi eu hadrodd.

Yn gynar yn y flwyddyn 1799, daeth y Parchedig T. Charles, a Mr. John Evans, Bala, yma i sylfaenu Capel *Oak Street*; a chyn ei lawn orphen yn mis Tachwedd, daeth amryw o bregethwyr o Gymru yma i'w agor, a Mr. Robert Roberts, o Glynog, oedd y cyntaf a bregethodd oddiar Heb. 12. 28. Felly buom am bum mlynedd ar hugain yn *Oak Street*, sef o Tachwedd 1799, hyd 1824.

(*I'w barhau.*

---

HYNODRWYDD Y PARCH. JOHN DOWNE.

SYLWA Hanesydd ei fywyd ar hynodrwydd talentau a llafur y Parch. J. Downe, iddo yn moreuddydd ei lafur fyfyrio yn egniol ar holl gorph yr Ysgrythyrau; yn ei waith yn addysgu, yr oedd ef yn astud, a diysgog, ei ddull yn traddodi oedd eglur, gwrol, a nerthol trwy Dduw er bwrw cestyll i'r llawr. Dwfn, etto, eglur, rhesymol, er hyny dawiol; craffus, etto cywir; celfydd, etto buddiol; pwyllog, etto treiddgar; difrifol, etto cyfeillgar. Yr oedd ef bob amser y fath, ac y gallai y dylaf o'i wrandawyr ei ddeall, ond er hyny yn gofalu am fod y cyfryw ag y gallai y doethaf o honynt gael ei ddysgu ganddo. —*Oddiwrth Olchebydd.*

## GOFYNIAD.

Syr,—A oes dim modd cael y Llyfr gwerthfawr a defnyddiol hwnw a elwid 'Y PREGETHWR,' i adgyfodi ac ailymddangos yn ein plith etto? ac os oes modd, a fydd rhyw un, neu rai galluog at y fath waith ei gymmeryd mewn llaw; diameu y bydd o fudd a lleshad mawr i laweroedd etto fel o'r blaen. Atebiad i'r Gofyniad hwn a rydd foddlonrwydd i lawer, ond yn enwedig i

DEWI.

## ATEBION.

*Ateb i Ofyniad S. S. Jones, Rhifyn* 110. *tu dal.* 49. *sef* 'A ydyw y Bedydd a weinyddwyd gan Bregethwr heb ei neillduo i weinyddu yr Ordinhad yn safadwy yn wyneb y gyfraith wladol?'

Mewn perthynas i bob rhagorfreintiau gwladol, megys etifeddu meddiannau, bod yn ddinasydd rhydd, &c. yr unig man i gyfeirio ato am dystiolaeth o oedran un yn awr (gwedi y gyfraith diweddar a elwir Deddf yr Ysgrifiadau (*Registration Act*) yw llyfr Ysgrifenydd yr Undeb (*Registrar of the Union*) lle y mae genedigaethau, (nid bedyddiadau) a marwolaethau, (nid angladdau) wedi ei cofnodi. Mewn perthynas i hawl offeiriad o'r Eglwys Sefydledig i ommedd claddu y cyfryw ag a fyddo wedi cael ei fedyddio yn y modd a sonir gan S. S. Jones, yr wyf yn barnu wrth y rhesymau a roddir gan y Barnwr Eglwysig enwog hwnw, y diweddar Syr J. Nicholl (*Dean of the Arches*) dros ei benderfyniad yn y blaid-achos rhwng Kemp a Weeks, nis gall offeiriad ommedd claddu y cyfryw. Yr wyf yn addef nad yw yr achos hwnw yn uniongyrchol yr un a'r hwn sydd dan ein sylw. Ond yn ei araeth y mae y Barnwr yn ymdrin yn dra helaeth ag achos Bedydd, ac yn profi oddiwrth arferion yr Eglwys Gristionogol yn mhob oes fod bedydd a weinyddir â dwfr yn Enw y Drindod yn fedydd safadwy, pwy bynag a'i gweinyddo. Fe farnwyd mae yn debyg gynt fod bedydd a weinyddwyd gan fenywod ag oedd yn gweini'r Fam (*Midwives or Nurses*) yn gyfreithlon. Ond er yr hyn oll a ddywedwyd am effeithiau y gweinyddiad tuag at y bedyddiedig, mi feddyliwn fod ymddygiad y Pregethwr hwnw yn galw am sylw eglwysig y Corph â pha un y mae yn dwyn perthynas.

E. B.

*Ateb i Ofyniad Athrawes, Rhifyn* 110 *tu dal.* 49. *ynghylch Mat.* 2. 4. *lle y crybwyllir am 'yr holl archoffeiriaid.' A'r Gofyniad yw,* "Paham y dywedir 'yr holl archoffeiriaid,' pan nad oes hanes fod mwy nag un Archoffeiriad wedi bod yn gweini yn y swydd hono ar unwaith?"

Er nad oedd ond un Archoffeiriad yn gweini yn y swydd ar unwaith, yr oedd amryw Archoffeiriaid yn fyw ar unwaith, y rhai a fuasent yn gweini y swydd yn eu cylch. Fe fu Annas yn gweini fel Archoffeiriad, ac ar ei ol ef bu ei fab ynghyfraith Caiaphas yn gweini y swydd oruchel hono. Ac fe elwir y ddau hyn yn Archoffeiriaid. 'Dan yr Archoffeiriaid Annas a Caiaphas, y daeth gair Duw at Ioan fab Zacharias, yn y diffeithwch,' Luc 3. 2. A dywedir am Caiaphas, 'yr hwn oedd Archoffeiriad y flwyddyn hono.' Ioan 11. 49. 'A hwy a ddygasant yr Iesu at Annas yn gyntaf: canys chwegrwn (tad ynghyfraith) Caiaphas, yr hwn oedd Archoffeiriad y flwyddyn hono, ydoedd efe.' Ioan 18. 13.

Dywed un gwr dysgedig am yr Archoffeiriadaeth yn nyddiau Crist, fel hyn: 'Yr oedd achosion eglwysig yr Iuddewon yn y dyddiau hyny, wedi syrthio i annhrefn mawr, ac yr oedd yr Archoffeiriadaeth yn cael ei chyfleu a'i threfnu yn hollol yn ol ewyllys y llywodraeth wladol, oddiar ddybenion bydol, heb un golygiad ar olyniaeth rheolaidd. A mynych y troid Archoffeiriad o'i swydd, ac y dodid un arall yn ei le; yn gymmaint, fel ar rai achlysuron, yr oedd yr Archoffeiriadaeth yn ymddangos megis swydd flynyddol yn hytrach na swydd i'w gweinyddu am oes.

Nis gellir meddwl fod dau Archoffeiriad yn bod ar unwaith; ond yn y Testament Newydd, mae yr un gair ag a gyfieithir *Archoffeiriaid*, yn arwyddo *Offeiriaid penaf*, y rhai oeddynt benau y pedwar cylch ar hugain, neu y Pedwar Dosparth ar hugain y sonir am danynt yn 1 Cron. 24. Pan arferir y gair yn y rhif unigol, yr Archoffeiriad a feddylir; ond pan fyddo y gair yn y rhif liosog, fe feddylir yr Offeiriaid penaf. Gan hyny, wrth y gair *Archoffeiriaid* yn hanesiaeth y Testament Newydd, y meddylir y ddau wr y rhai a fyddai Llywodraeth Rhufain yn eu hystyried fel penaethiaid yr Offeiriaid; a'r rhai y byddai eu henwau yn sefyll yn eu Cofrestr gwladol hwynt. Ac er amser y Maccabeaid yr oedd y Swydd Archoffeiriadol yn cael ei gweinyddu gan y cyfryw bersonau y rhai hefyd oeddynt yn meddu awdurdod wladol. Ac wedi i'r genedl Iuddewig gael ei darostwng dan lywodraeth Rhufain, 'Penaeth y bobl,' (Act. 23 5.) a chadeirydd y Sanhedrim, oedd yr Archoffeiriad, neu y Prif Offeiriad.

Yn awr, yr oedd Annas yn Archoffeiriad yn ol gwir ystyr y gair, ond fe'i bwriwyd ef o'i swydd gan lywodraeth Rhufain; er

hyny, mae yn ymddangos ei fod ef yn parhau i fod yn 'Benaeth y bobl,' ac yn Gadeirydd y Sanhedrim; pan wedi amryw gyfnewidiadau ereill, fe appwyntiodd Pilat Caiaphas, ei fab ynghyfraith ef, i weinyddu yn y swydd yn y Deml. Felly yn afreoleidd-dra yr amseroedd fe gododd annhrefn mawr; fel weithiau, fe fyddai penaeth neu dywysog o dan y Rhufeiniaid, er ei fod yn Offeiriad penaf, etto yr oedd yn berson gwahanol oddiwrth yr Archoffeiriad; yr oedd Annas yn un, a Caiaphas y llall. Fel hyn y mae Ioan yn adrodd, 'i'r swyddogion a ddaliasent Grist, ei ddwyn ef yn gyntaf at Annas, megis at y Swyddog ag oedd yn meddu yr awdurdod benaf yn eu mysg; yr hwn a'i hanfonodd ef yn rhwym at Caiaphas, yr hwn oedd Archoffeiriad y flwyddyn hono.' Ioan 18. 13. 24. Act. 4. 6. Ac felly y parhaodd pethau dros holl amser rhaglawiaeth Pilat. Felly, mi dybygwn i fod hyn yn ddigon i eglurhau yr anhawsder sydd yn ymddangos wrth fod dau wr yn cael eu hystyried fel dau Archoffeiriad neu ddau Offeiriad penaf; un yn cael ei alw felly am ei fod yn 'Benaeth y bobl;' a'r llall am ei fod yn cyflawni swydd 'Archoffeiriad yn y Deml.'

A chan fod y pethau hyn felly, yr wyf yn barod i roi yr Ateb canlynol i Ofyniad, Athrawes, 'Mai wrth yr Archoffeiriaid, yn Saesoneg *(Chief Priests,)* Prif Offeiriaid yn Mat. 2. 4. y meddylir, Prif Offeiriaid y Pedwar Dosparth ar hugain yn 1 Cron. 24. ynghyd â'r Archoffeiriad ei hun, fel Blaenor sefydledig arnynt.

CYHOEDDWR.

---

*Ateb i Ofyniad Ioan, Rhif.* 3. *tu dalen* 78.
Y Gofyniad yw, 'A oedd aberthau o dan yr hen oruchwyliaeth am droseddau o'r ddeddf foesol?'

Ateb. Oedd. Heb. 5. 1. 'Canys pob Archoffeiriad wedi ei gymmeryd o blith dynion, a osodir dros ddynion yn y pethau sy tuag at Dduw, fel yr offrymo roddion ac aberthau dros bechodau.' Ac nid oes bechod nad ydyw yn drosedd o'r ddeddf foesol. 'Ni chyfrifir pechod pryd nad oes deddf.' Rhuf. 5. 13. "Lle nid oes deddf, nid oes gamwedd, Rhuf. 4. 15. 'Canys drwy y ddeddf y mae adnabod pechod.' Rhuf. 3. 20.

CYHOEDDWR.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Drych yr Amseroedd, a Gwaith y* PARCH. GRIFFITH JONES, Llanddowror.

ANWYL FRAWD,—Yr ydwyf yn deall bod y Llyfr rhagorol hwnw, o waith y gwr duwiol, rhagorol yn ei oes, Mr. Robert Jones, Tŷ bwlcyn, a elwir *Drych yr Amseroedd*, yn cael ei ail Argraphu; y mae yn dda genyf hyny. Os gwelwch yn addas roddi yr ychydig linellau hyn yn y Drysorfa, er annogaeth i bobl yr oes hon i ddarllen y Llyfr buddiol hwnw, byddaf ddiolchgar i chwi.

Un arwydd fod yspryd y Diwygiad oedd yn Nghymru yn oes ein tadau wedi colli i raddau mawr yn y dyddiau hyn, yw bod mor ychydig o awydd darllen am y Diwygiad hynod hwnw, o'r ychydig lyfrau sydd i'w cael o waith y rhai a fu yn offerynau hynod yn y Diwygiad hwnw. Y mae y Parch. E. Morgan wedi casglu yn nghyd, trwy lafur mawr, holl waith y Parchedig a'r enwog iawn, Griffith Jones, Llanddowror, seren foreu y diwygiad yn Nghymru. Er i Mr. Morgan fod mor dirion a chynnyg cyhoeddi ei holl waith ef, y mae diffyg sel yn y Cymry am Lyfrau da, yn debyg o'i attal i gyflawni y gwaith.* Anhawdd cael Llyfr o waith dyn rhagorach, na gwaith y Parch. G. Jones.

Diffyg mawr yn Nghymru ydyw na buasai mwy o hanes y Diwygiad rhyfedd a fu yma yn y can mlynedd diweddaf. Y pethau rhyfedd a wnaeth Duw yn ein gwlad! Yr oedd y dynion enwocaf, yr offerynau penaf yn y diwygiad yn Nghymru, mor hunan-ymwadol, fel nad oeddynt yn caru rhoddi eu hanes eu hunain, eu llafur, eu trallodau, a'u dyoddefiadau yn y gwaith. Nid oeddynt yn amcanu gwneuthur *sect*, na phlaid: ond eu holl ymdrech oedd gwneuthur lles i bechaduriaid, eu cael i weled drwg pechod, a'u colledigaeth, a'u cael at Grist, i gael eu gwared oddiwrth bechod, a digofaint; hyny oedd eu cais yn eu llafur oll. Cymmerodd yr Arglwydd hwy yn ei law yn offerynau llwyddiannus i hyny.

Nid oedd y pregethwyr borenol yn ymgyrhaedd llawer am areithiau gwychion; ond dangos mawr ddrwg pechod, a chyflwr truenus a cholledig pechadur, a gogoniant Crist fel Gwaredwr cyflawn i'r pechadur mwyaf, a'r angenrheidrwydd am Ail-enedigaeth, a Sancteiddiad gan yr Yspryd Glân, &c. Yr oeddynt yn llefaru oddiar gredu, a phrofi y pethau eu hunain, ac yn eiddigeddus dros ogoniant Duw, ac awydd sanctaidd am achub dynion, yr hyn oedd yn eu gwneuthur weithiau yn hyawdl iawn; ïe, yn meddu y fath hyawdledd na fedr dysg dynol debygu iddo.

Yr oedd hynodrwydd mawr yn y goleu, a'r nerth fyddai yn cael ei roddi gan Dduw i ganlyn eu gweinidogaeth, a'r gwaith rhyfedd fyddai yn cael ei wneuthur ar bechaduriaid dan eu pregethau! Yr oedd eu golygiadau yn moreu y Diwygiad, ar athrawiaeth yr efengyl yn gywir a goleu iawn, fel y mae ysgrifeniadau y Parch. Griffith Jones yn dangos. Yr oedd rhai o honynt â'u dawn yn anghydmarol i bregethu yr efengyl, megis y Parch. Daniel Rowlands, ac ereill.

---

* Mae y Gyfrol gyntaf allan o'r Wasg.—GOL.

Cyfododd yr Arglwydd amryw ereill, heb lawer o ddysgeidiaeth ddynol, etto, yn ddynion duwiol a llafurus; cymmerodd hwy yn offerynau defnyddiol yn ei law yn y Diwygiad hwn.

Yr oedd y rhai a ddefnyddiodd Duw yn nechreu y Diwygiad hwn, yn rhai rhagorol mewn hunan-ymwadiad: gellir meddwl nad oeddynt yn ceisio yr eiddynt eu hunain, oblegid nid oedd parch, elw, nac esmwythdra i'w ddysgwyl i rai yn pregethu yr efengyl yn y dyddiau hyny. Gorfod myned âg ychydig fara, &c. yn eu llogell, (*pocket*) a myned at ffynon, neu afon, i gael ychydig dwfr i'w disychedu. Weithiau pan yn pregethu yn cael eu baeddu gan erlidwyr â thom, &c. a'u harcholli â cherig; gorfod ffoi i gael eu bywyd; ac ar ol teithiau meithion, llafur mawr, a dirmyg lawer, da fyddai os caent orphwys ar wely gwellt, mewn bwthyn tlawd; etto, yr oedd yr Arglwydd gyda hwy, yn eu harddel yn rhyfedd, yn gwneuthur pethau mawrion trwyddynt, yn 'dwyn tystiolaeth i air ei ras,' ac yn achub pechaduriaid lawer.

Pan y byddai eu cylla yn wag o ymborth, a'u cyrph yn anwydog mewn oerfel, a diffyg ymgeledd, &c. byddai eu heneidiau yn *llawn* o gariad Crist, ac awydd achub pechaduriaid. Yr oedd gair Crist fel tân sanctaidd yn eu heneidiau. Byddent yn myned i wely caled, llwm, â'u cydwybod yn dawel bod eu dyben yn gywir, a'u hachos yn dda; ac yn fynych yn cael profi cymdeithas felys â Duw! Ymdrechasant ymdrech deg — gorphenasant eu gyrfa — cadwasant y ffydd; erbyn cyrhaedd adref o'u taith drallodus, yr oedd coron cyfiawnder yn nghadw iddynt.

Ychydig o barch, esmwythdra, na gwobr ddaearol a gawsant, ond fe 'Delir iddynt yn adgyfodiad y rhai cyfiawn:' pan y bydd 'y rhai a droawdd lawer i gyfiawnder, fel y sêr byth, yn dragywydd.'

Y mae yn gweddu i ni, sydd yn pregethu yr efengyl yn awr, y rhai a ddaeth i mewn i'w llafur hwynt, holi ein hunain, A ydym ni yn gyfranog o'r yspryd rhagorol ag a oedd ynddynt hwy? A ydyw ein zel dros ogoniant Duw, as am achub pechaduriaid yn gyffelyb? A ydym yn debyg iddynt mewn hunan-ymwadiad? Pe newidiai yr amgylchiadau, fel y byddai yn rhaid i bregethwyr etto fyned allan at eu gorchwyl, a'u tamaid yn eu llogell, a dyoddef eu harcholli wrth bregethu, a gorwedd yn niwedd eu diwrnod ar wely gwellt, &c. Pa faint o honom a barhäai?

Wrth ddarllen *Drych yr Amseroedd* cawn weled ychydig o lawer, o hanes, llafur, a llwyddiant amryw o'r enwogion gynt yn Nghymru. Achubodd y diweddar Mr. Robert Jones hwy rhag myned i dir angof; yr oedd cymmwysder mawr ynddo ef i wneuthur hyny. Yr oedd efe yn cofio y diwygiad er yn foreu iawn; ac wedi gweled, a gwrando rhai o'r offerynau enwocaf a ddefnyddiodd Duw i ddechreu a dwyn yn mlaen y Diwygiad hwn, megis Mr. Howel Harris, a'r Parch. Daniel Rowlands, &c. &c. &c. Yr oedd côf Mr. Robert Jones yn rhagorol, a'i fedrusrwydd i osod ei feddwl allan mewn ysgrifen yn rhagorach na llawer.

Yr ydwyf yn edrych ar y Llyfr hwn yn rhodd rhagluniaeth i'r Cymry; bod yr awdwr, yn ei hen ddyddiau, ac mewn gwaeledd o ran iechyd, wedi cael ei dueddu i gyhoeddi hyny a allai gofio am y pethau rhyfedd a wnaed yn Nghymru yn ei oes ef. Nid oes neb yn fyw yn awr a all roddi y fath hanes. Parotowyd yr Argraphiad hwn i'r Argraphwasg, gan fab yr Awdwr, y diweddar Mr. Daniel Jones, o Ddinbych, ond galwyd ef i'r breswylfa lonydd cyn i'r Llyfr ddyfod allan o'r Wasg.

*Y Fron.* JOHN ELIAS.

---

## BYWYD Y PARCH. EBENEZER RICHARD.

Y mae llawer o lafur yn cael ei gymmeryd y dyddiau hyn i olrhain hanes y ddaear yr ydym yn byw arni, a'r cyfnewidiadau a ddygwyddasant yn agwedd ac ansawdd y mynyddoedd a'r creigiau sydd ar ei gwyneb. Y mae yn ddiau fod y pyngciau hyn yn llawn difyrwch a dyddordeb i'r meddwl myfyrgar. Er hyny, nid ydynt yn harddu eu cymharu â'r hanes am y trigolion sydd wedi bod yma am ychydig amser yn preswylio. Y mae mwy o addysg fil o weithiau i'w gael yn hanes y meddwl dynol nag wrth fyfyrio ar holl gyfnewidiadau y ddaear, yn nghyda chwyldroadau y bydoedd dirifedi uwch ben. Y mae y wybodaeth yn llawer uwch ei natur ac ehangach mewn defnyddioldeb. Wrth ddarllen hanes dynolryw, yr ydym yn gweled gweithrediadau deddfau ysprydol a thragywyddol; cawn olwg ar ragluniaeth a llywodraeth Duw ar greaduriaid rhesymol, yn nghyda'r rhyfel dibaid sydd yn cael ei ddwyn yn mlaen rhwng pechod a sancteiddrwydd.

Cydunir yn gyffredin mai y ffordd oreu i ddeall hanes y cyfnewidiadau sydd wedi dygwydd yn mhlith dynion yw darllen bywydau y rhai a fuant yn offerynol i'w dwyn yn mlaen Nis gellir cael gwybodaeth o helyntion gwladol unrhyw deyrnas yn well na thrwy hanes y personau enwocaf sydd wedi bod yn perthyn iddi. Ac os yw o bwys i ni fod yn gyfarwydd yn hanes yr enwogion a adawsant argraff eu bywyd ar y byd mewn ystyr wladol ac amserol, mwy o lawer y dylem dderbyn, a chadw, a mawrhau pob coffadwriaeth am y ffyddloniaid hyny a fuant o ddefnydd yn llaw yr Arglwydd i droi pechaduriaid o gyfeiliorni eu ffyrdd, ac i helaethu terfynau llywodraeth y Gwaredwr. Nid yn unig y mae hyn yn eithaf priodol os tueddir rhyw rai i wneuthur hyny; ond y mae yn ddyledswydd

arbenig ar holl Eglwysi y saint. Er nad yw yn chwanegu at eu dedwyddwch hwy yn y nef; etto, nis gallwn deimlo y parch sydd yn deilwng iddynt heb ymdrechu, hyd y mae ynom, i gadw eu henwau a'u hanes mewn coffadwriaeth. Ac heblaw hyny, pe na bai dim yn ein cymhell ond llesâd y rhai sydd yn awr yn fyw, ac adeiladaeth oesoedd etto i ddyfod, nis gwyddom pa effeithiau daionus y mae hanes bywydau rhai hynod mewn duwioldeb yn gael ar feddyliau eu holynwyr. Hanes yw y rhan fwyaf o'r llyfr dwyfol, a thrwy hanes yr ydym yn sicr ei fod wedi ei draddodi i'n dwylaw ni yn bur a digymysg, heb chwanegu ato na thynu oddiwrtho.

Y mae yn ofidus meddwl mor ddibris a disylw y mae crefyddwyr Cymru wedi bod o goffadwriaeth eu henafiaid. Anwyl frodyr, nid yw yn un dyben i ni geisio ymesgusodi. Nid anffawd yw hyn yn unig; y mae yn farweidd-dra ysprydol, y mae yn gam â'n cenedl, ac â chrefydd, y mae yn bechod yn ngolwg Duw. Beth a wnawn i'r Ysgrythyr hono, 'Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw?' Y mae yn anhawdd credu ein bod yn meddwl yn deilwng am danynt os na fydd hyny yn ymddangos mewn gweithred; ac hefyd ni fydd y genedl sydd yn codi yn gallu meddwl ond ychydig mewn unrhyw ddull am lawer o hen ddiwygwyr Cymru, gan y bydd y coffadwriaeth am danynt yn mron wedi hollol ddarfod oddiar wyneb y ddaear. Pa fodd bynag, y mae rhyw arwyddion y dyddiau presennol fod y musgrellni hwn, mewn rhan o leiaf, yn cael ei ysgwyd ymaith. Y mae llawer o fywgraffiadau wedi eu hysgrifenu yn barod mewn modd helaeth a doniol. Ond nis gall ysgrifenwyr wneyd ond ychydig heb yspryd cyfatebol yn eu cyd-genedl. Yr hyn sydd yn angenrheidiol bellach, yw deffro y wlad i weled eu gwerth, a rhoddi derbyniad a chefnogaeth iddynt. Y mae pob Cristion yn rhwym o lawenhau wrth weled hanes mor gyflawn am Rowlands o Langeitho, Roberts o Lanbrynmair, a Christmas Evans; a diammeu yr addefa pob dyn diragfarn fod y diweddar Ebenezer Richard yn deilwng o gael ei restru yn eu plith.

Ond cyn myned i son am y gwrthddrych, dymunem ddywedyd ychydig mewn perthynas i'r gwaith. Ac yn y lle cyntaf, gellid sylwi ei fod wedi ei ysgrifenu mewn iaith rwydd a dirodres. Yr ydym yn cydweled yn hollol âg awdwyr y Cofiant hwn, nad yw dulliau dyeithr o ymadroddi yn dangos dim yn gyffredin ond diffyg synwyr. Ar yr un pryd, y mae y rheol hon, fel pob rheol, yn agored i eithriadau. Gall fod rhai fel y diweddar Dr. Pugh, wedi ymgynefino cymmaint â hen Awdwyr, fel y mae yn naturiol iddynt eu dilyn yn eu dull o ysgrifenu. Ond os ydym am daenu gwybodaeth yn mhlith ein cenedl, nid oes dim yn fwy amlwg na bod yn rhaid i ni gymmeryd yr iaith Gymraeg fel y mae yn arferedig yn ein dyddiau ni. Os ydym am ddwyn i mewn unrhyw welliant, rhaid ymfoddloni i wneuthur hyny yn raddol, a gochelyd hyd yn nod yr hyn a feddyliom ni yn ddiwygiad os bydd yn annealladwy i'r cyffredin.

Y mae yn destun hyfrydwch hefyd fod yr hanes wedi ei ysgrifenu gyda chryn lawer o fanyldra. Digon tebyg y dywed rhai ei fod yn rhy fanwl. Ond dylid ystyried nad oes dau ddarllenydd yn meddu yn hollol yr un fath archwaeth; a'r hyn sydd yn afreidiol yn ngolwg un a all fod yn dderbyniol i'r llall. Beth bynag, am hyny, y mae yn rhaid i bawb addef nad oes dim yn fwy angenrheidiol mewn bywgraffiad na gosod allan nodwedd y gwrthddrych, a'i bortreiadu yn eglur o flaen meddwl y darllenydd. Y mae llawer cofiant wedi ei ysgrifenu mewn dull mor arwynebol fel y byddai hanes y naill yn ateb i wrthddrych y llall yn llawn cystal â'r eiddo ef ei hun, pe newidid yr enwau a'r amserau; megis na ellir gwybod wrth edrych ar ddarlun anghelfydd pa un ai dyn ai anifail a fwriedir ei bortreiadu, os na fydd yr enw yn gysylltiedig wrtho. Y mae yn wir am y darlun goreu, nad yw holl linellau y wynebpryd dynol yn cael eu dangos gyda'r un eglurdeb. Cedwir rhai yn y cysgod, a dygir y lleill yn fwy i'r goleu. Felly mewn bywgraffiad nid yw yn fuddiol ymhelaethu i'r un graddau ar bob rhan o fywyd y gwrthddrych: er hyny, fe ddylai y person hwnw gael ei ddangos mor amlwg o ran ei feddwl, ei dymher, ei ddull, a'i nodwedd ef ei hun, a'r cwbl yn eu lle priodol, a chyda'r manylrwydd sydd yn gweddu iddynt, fel y byddo pawb yn gweled y dyn wrth ddarllen ei hanes.

Yr ydym yn deall fod rhyw ychydig wedi bod yn siarad yn lled anfrawdol am y Cofiant hwn o herwydd un neu ddwy o frawddegau sydd ynddo mewn perthynas i gadwedigaeth babanod. Yr ydym yn credu nad yw y personau hyny ond ychydig, ac etto, gan y gallant wneyd llawer o swn, yr ydym dan angenrheidrwydd o wneyd rhai sylwadau ar y matter. Y mae yn gweddu i'r cyfryw ystyried nad yw yn deg nac yn gyflawn penderfynu beth yw barn neb oddiwrth un ymadrodd achlysurol o'r fath hyn. Nad oedd Mr. Richard yn gwahaniaethu mewn dim o bwys oddiwrth ei frodyr Calfinaidd trwy ystod ei oes sydd ddiamheuol. Pe caniateid fod yr ymadrodd dan sylw yn gyfeiliornus, ni fyddai hyny yn profi dim, ond ei fod yr amser hwnw heb ystyried y matter. Ond nis gellir profi ei fod, hyd yn nod y pryd hyny, yn *bwriadu* dywedyd dim yn groes i farn y Calfiniaid yn gyffredinol. Nis gellir gwadu nad yw wedi ei eirio yn

dywyll, ond dylem gymmeryd ei holl bregethau a'i ymddyddanion trwy ei oes yn esboniad arno. Y mae arnom braidd gywilydd ein bod yn ymdroi cymmaint gyda pheth mor fychan; ond yr oedd cyfiawnder i goffadwriaeth un oedd mor barchus, ac mor anwyl genym, yn galw arnom am beidio myned heibio iddo yn ddisylw.

Wrth ddarllen y sylw sydd yn y Cofiant hwn ar drefn, neu yn hytrach ar ddiffyg trefn y Trefnyddion, gyda golwg ar gynhaliaeth eu gweinidogion, os dywedwn yr holl wir, yr oeddem ar y cyntaf yn teimlo gradd o eiddigedd o herwydd fod gwendidau yr hen Fethodistiaid yn cael eu dynoethi. Ond yn y fan, daeth geiriau Dafydd i'n cof, 'Onid oes achos?' Gobeithiwn nad oes neb o honom wedi myned mor berffaith yn ein golwg ein hunain, fel na wrandawn ar ddim ond gweniaith. A fedr rhyw un ddywedyd yn gydwybodol nad oes eisiau diwygiad yn y peth hyn? Ac os oes, onid yw yn ddyledswydd gysegredig ar bawb i ddefnyddio pob moddion i ddwyn y diwygiad hwnw yn mlaen? Nid oedd neb â mwy o hawl ganddynt i lefaru ar y matter na theulu y Parch. Ebenezer Richard; a dylem fod yn ddiolchgar iddynt am ei ddwyn dan sylw, ac am wneuthur hyny mewn modd mor dyner a thirion. A oes dim a lwydda, anwyl frodyr, i'n cael i iawn ystyried yr hyn sydd yn ddyledswydd mor bwysig, ac mor amlwg? I ba ddyben y prophwydir gweniaith i ni, pan y mae ein cydwybodau yn rhwym o dystiolaethu fod ein dull presennol o ymddwyn tuag at y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth yn *anghyfiawn ac anysgrythyrol*.

Fel y dywedwyd o'r blaen, nis gellir dysgwyl y bydd pob rhan o'r llyfr hwn yr un mor dderbyniol i bob darllenydd. Ond y mae ynddo fwy na gwerth yr arian a ddylai fod yn dra chymmeradwy gan bawb fel eu gilydd. Yn y lle cyntaf, dyma ddarlun hardd o wrthddrych y Cofiant. Yn ail, y mae yn cynnwys nifer mawr o'i lythyrau ef ei hun. Yn nesaf, y mae yn cynnwys amryw lythyrau ato ef oddiwrth ei frodyr. Ac yn olaf, y mae ynddo gasgliad lled helaeth o'i ddywediadau, a phob un o honynt yn llawn sylwedd. Y mae yn anhawdd meddwl na chawsid dwy fil, beth bynag, yn Nghymru a gyfranai bum swllt bob un, pe na buasai dim mewn golwg ond lles y teulu; ond pan nad oes dim yn cael ei ofyn ond prynu llyfr mor werthfawr, yr hwn sydd yn cynnyg i'r darllenydd yr holl fanteision a enwyd, y mae son am ei gymhell yn ymddangos yn hollol afreidiol. Fod coffadwriaeth un fu mor llafurus, mor ddefnyddiol, ac mor dderbyniol yn ei fywyd yn cael ei ddiystyru wedi iddo farw sydd anghredadwy, oblegid y mae yn anmhosibl.

(*I'w barhau.*)

## LLYTHYRAU, &c.

### AIL LYTHYR IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

Fy Nghyfaill anwyl a hoff,—Dy ddiolchgarwch gwresog am y llythyr o'r blaen, yn nghyd a'th ddymuniad taer am i mi barhau i ddal i fynu gyfeillgarwch, sydd wedi creu ynof yr eondra i anfon atat fy ail lythyr hwn; oblegid pa bethau gwell a gawn, i ymddyddan am danynt yn ein cyfeillachau, a thrwy ein llythyrau, na'r pethau hyny yr ydym yn proffesu ein hyfrydwch penaf ynddynt yn awr, a'n gobaith am fod mewn tragywyddol fwynhâd o honynt mewn byd ar ol hwn.

Am dy fod yn ddiweddar wedi dy neillduo i swydd yn Eglwys Ddaw, yr wyf yn tybied mai nid hollol anmhriodol yw cymmeryd hyny yn destyn ymddyddan. Y mae llawer o gymmwysderau anhebgorol angenrheidiol i ti eu meddiannu i'th wneud yn ddyn defnyddiol yn ngwinllan dy Arglwydd, â'th ddyledswydd yn gystal a'th fraint yw ymestyn ac ymgyrhaedd hyd y mae ynot, heb arbed un drafferth a llafur, i'th wneud dy hun yn ddyn cymmwys i flaenori yn mhlith dy frodyr.

Llawer o ddynion a feddyliant mai henaint a phenllwydni sydd yn gwneud, neu yn cyfansoddi Henadur: pell iawn ydwyf rhag diystyru henaint mewn modd yn y byd, etto yr wyf yn meddwl fod llawer yn ddigon hen mewn dyddiau ac mewn crefydd, ac heb fod dim ynddynt gyda golwg ar ddoethineb na phrofiad, sydd yn eu haddasu i fod yn flaeneriaid Eglwysig. 'Na ddiystyred neb dy ieuengctyd di:' oblegid fe ddichon Duw arwain dy feddwl di drwy gymmaint o anialwch mewn blwyddyn, nes peri i ti ddeall a phrofi mwy na llawer mewn deg o flynyddau. Yr ydwyt yn adnabod yn yr Eglwys y perthyni iddi rhai yn ddigon hen i fod yn gall, pe gwnelai hyny y tro, ac etto yn blant mewn gwybodaeth. Y maent yn ddigon oedranus i fod yn brofiadol, eithr y maent fel rhai yn breuddwydio.

Diammeu genyf i'r Apostol Paul gael mwy o dywydd mewn ychydig ddyddiau yn ei argyhoeddiad nag y mae llawer yn ei gael mewn oes o grefydd. A phe bait yn gofyn beth oedd yr achos o'i daraw mor ddisymwth a'i osod yn y fath ddygn boenau, ni fyddai genyf ddim gwell atebiad na hyn, 'Oherwydd fod y gwaith yn galw am ei ddyfodiad buan ato, rhoddwyd llawer o dân i dymheru ei lestr, a dygn dywyllwch i'w dwyn oddiyno i oleuni buan, fel y byddai yn Apostol mawr y Cenedloedd.'

Mae henaint a phenllwydni, os bydd mewn ffordd cyfiawnder, yn goron anrhydeddus, ond dywedyd yr wyf nad yw yn hanfodol i gyfansoddiad Henadur.

Y mae Paul yn ei lythyr at Timotheus

mewn byr eiriau yn dangos pa bethau sydd wir angenrheidiol i gyfansoddi Diacon. Rhaid iddo 'fod yn onest, nid yn ddau eiriog, nid yn ymroi i win lawer, nid yn budr elwa, yn dal dirgelwch y ffydd mewn cyd wybod bur,' &c. Yr ymadroddion uchod sydd yn gyfan gorph o gymmwysderau Diaconiaid; ac os bydd i ti wneud manwl sylw arnynt, canfyddi ynddynt reolau i drafaelu wrthynt braidd yn mhob amgylchiad. Y mae Jethro wrth gynghori Moses i ddewis rhai o blith ei frodyr i'w gynnorthwyo i flaenori, yn ei gyfeirio at y dynion oedd yn feddiannol ar y cymmwysderau canlynol. 'Gwyr nerthol, yn ofni Duw; gwyr geirwir, yn casau cybydd-dod.' Gwyr nerthol, yr oedd y gwaith gymmaint gyda chynnulleidfa mor fawr a chynnifer o wahanol achosion i ymdrin â hwynt, fel yr oedd Jethro yn golygu bod eisiau 'gwyr nerthol' o ran cyfansoddiad naturiol i sefyll uwch ben matterion o gymmaint pwys, a chyhyd o amser ag y byddai gorfod arnynt yn fynych. 'Ti a lwyr ddiffygi,' eba Jethro, 'a'r bobl yma hefyd y rhai sydd gyda thi, canys rhy drwm yw y peth i ti; ni elli ei wneuthur ef dy hun.' Ond y nerth penaf sydd yn angenrheidiol yw nerth meddwl galluog o ran y dyn oddi mewn.

Dywedir fod Moses yn 'nerthol mewn geiriau a gweithredoedd'—yr hyn oedd effeithiau alluawgrwydd ei gynneddfau enaidiol. Mae yn wir nad yw llawer o wybodaeth am bethau natur yn angenrheidiol i Flaenor, ond mae gwybodaeth brofiadol o bethau teyrnas Crist yn llwyr angenrheidiol. Mae yr Apostol yn son am 'ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd,'—'a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth.' 'Mi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw.' 'Mi a wn i bwy y credais,' &c.

Mae gwybodaeth hanesiol o bethau'r Bibl yn hanfodol i grefydd. 'Pa fodd y credent yn yr hwn ni chlywsant am dano?' Pa fodd y gall ffydd gredu am, ac ymorphwys ar, wrthddrychau anadnabyddus? Pa fodd y cofleidia cariad wrthddrychau dieithr ac estronol? A pha fodd, ac oddiar ba sail y disgwyl gobaith am ddaioni oddiwrth fodau nad oes dim sicrwydd o ddaioni eu natur? Onid i'r graddau y bydd dyn yn deall am y gwrthddrych y bydd ffydd yn gweithredu? Onid i'r helaethrwydd y bydd dyn yn canfod o ddaioni a pherffeithrwydd unrhyw wrthddrych y bydd cariad yn cynhesu ato a'i gofleidio? Ac onid yn ol y deall a fyddo genym o sicrwydd a daioni yr addewid y bydd gobaith yn disgwyl?

Yr wyf yn coelio yn sicr mae dy ddyledswydd arbenig yw porthi y rhai sydd dan dy ofal 'â gwybodaeth ac â deall:' Canys ni ellir profi dim ond mor belled ag y deallir am danynt. Beth ydyw profiad? Onid dylanwad ar y meddwl oddiwrth y gwrthddrychau y deallir am danynt? Ofni Duw—profiad yw hyny. Ond pa fodd y dichon i ni ofni gwrthddrych na wyddom ddim am dano? Onid i'r helaethrwydd y byddwn yn ei adnabod yn mawredd ei hanfod, manylrwydd ei wybodaeth, purdeb ei natur, y byddwn yn ei ofni? Bendithiwyd Solomon â doethineb helaethach na neb, 'Duw a roddodd ddoethineb i Solomon a deall mawr iawn, a helaethdra calon, fel y tywod sydd ar fin y môr,' ac am a wn i yr oedd yn ddyn mwy profiadol na neb hefyd. Gwelaf ef yn awr yn cyhoeddi ei wagedd yn nghanol ei lawnder; yn sathru ar ei ogoniant penaf, ac yno yn curo ei adenydd, fel pe bai am gymmeryd adain i fynwes Abraham. Yr ydwyf wedi bod yn hwy gyda hyn nag yr oeddwn yn bwriadu, ond gâd iddo, os gweli rhyw beth ynddo, pob peth yn dda.

Gobeithio, fy nghyfaill, y byddi yn ymarfer pob diwydrwydd i'r dyben o'th wneud yn 'wr nerthol' yn yr Ysgrythyrau. Dyma fôr i dy fyfyrdodau nofio drwy dy oes, a pha bellaf yr ai iddo, bydd ei ddyfroedd yn ymchwyddo, a'i drysorau yn dyfnhau ger gwydd dy olygon, nes peri i'th enaid ddolefain am ei ryddhau o'i long briddlyd, i forio meithion a thawel foroedd tragywyddoldeb, heb ofni cael glan i oesoedd dirifedi. Y Bibl—O! y fath lyfr addurnedig a gogoneddus! Os bydd eisieu cyngor a chyfarwyddyd, y mae i'w gael yma; os bydd eisiau arfau i ryfela, arfdy a phob peth yn barod ydyw, os bydd eisiau ymborth i'r newynog—ystordy lawn ydyw yn wastadol. Pan y bydd hi wedi pallu yn dy fynwes, ac heb ddim genyt i gyfranu, tro dy olwg i faesydd yr Ysgrythyrau, mae yma fodd i dy lanw. Cyfarfyddi â thywydd ac amgylchiadau, y bydd yn dda it fod yn gyfarwydd yn y llyfr bendigedig hwn. Pan y bydd pob gobaith am fod yn gadwedig wedi darfod yn ngolwg pob ymddangosiad dynol, ti a elli godi dy ben, ac er dy gysur canfod gwaredigaeth yn rhedeg i'th gyfarfod ar faesydd iachawdwriaeth, gan waeddi, 'Na ddigalona, wele fi yn dyfod.' Fe fydd canfyddiad o'r llaw gadarn a ddygodd feibion Israel o wlad yr Aipht, y rhyfeddodau yn nhir Ham, a'r pethau ofnadwy wrth y Môr Coch yn peri it 'gofio blynyddoedd deheulaw y Goruchaf.' Cofio gweithredoedd yr Arglwydd; ie, cofio ei wyrthiau gynt; y modd y gwaredodd â'i fraich ei bobl, meibion Jacob a Joseph,' yn rhoi lle i ti obeithio yn ei drugaredd ef, pan ystyri mae yr un ydyw etto mewn addewid i'w bobl ag yr ydoedd y pryd hyny.

Yr Apostol a eilw y Cyfryngwr yn Dywysog iachawdwriaeth. Is-dywysog ydwyt tithau. Onid peth chwithig fyddai gweled un yn arwain byddin i ryfel yn ddieithr i reolau ac ymarferiadau milwraidd, nis gellid edrych am ddim ond dinystr anocheladwy iddo a'i fyddin. Tywysog llu yr Arglwydd sydd eithaf cyfarwydd, ac y mae angen arnat i dderbyn cyfarwyddiadau

beunyddiol oddiwrtho, onite yr wyt yn sicr o ymddyrysu. 'Efe sydd yn dysgu fy nwylaw i ymladd, a'm bysedd i ryfela.'

Geilw yr Arglwydd Iesu yr ysgrifenydd-ion yn Dywysogion deillion, y rhai sydd yn hidlo gwybedyn ac yn llyngcu camel, ac yn cau teyrnas nefoedd o flaen dynion. Mor amlwg yw'r dinystr y mae anwybodaeth yn achosi. Pan y mae y dall yn tywys y dall, pa rhyfeddod yw gweled y ddau yn syrthio i'r ffos?

Fy nghyfaill, mae llawer yn coelio eu bod yn dywysogion i'r deillion, ac heb lafurio nemawr am gymmorth i'w goleuo. Gochel eu segurdod, ac ymdrecha beunydd, fel Jacob, âg Angel mawr y Cyfammod am y fendith ag fydd yn dy gymmwyso i ryw ra idau at dy swydd oruchel. Yr wyf wedi bod yn hynod o annyben a hir-faith, ond ti weli mai amcan y cwbl yw gwasgu at dy ystyriaeth yr angenrheidrwydd o i ti fod yn gadarn yn yr Ysgrythyrau, ac yn gyfar-wydd â thywydd Sion——Ydwyf, dy gyfaill diffuant,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

## SYLWADAU

*Ar hanes Cymmanfa Aberteifi, yn y fl.* 1796.

ANWYL SYR,—Nid wyf yn golygu y 'camgymmeriadau y soniais am danynt,' yn bethau o ganlyniad pwysg; etto, tybiais y gallai ragflaenu dyryswch yn meddyliau darllenwyr meddylgar, &c. drwy wneyd y 'sylwadau' canlynol.

Yn tu dal. 47 o'r Drysorfa am Chwefror diweddaf, mae 'ychydig o hanes' (gwir ddifyrus a gwerthfawr) 'Cymmanfa Aberteifi, yn y flwyddyn 1796.' Yn y sylw-nod ar 'Jones o Drefaldwyn,' dywedir nas gellid 'penderfynu yn iawn, pwy a feddylir.'

Sylwaf finnau mai *nid* y Parch. *Owen Jones* a feddylir, gan nad oedd efe ddim wedi dechreu pregethu *cyn* y flwyddyn 1808. (Hefyd, clywais y Parch. Ismael Jones, yn pregethu ar y testyn a grybwyllir, sef Can. 8. 6. yn fuan ar ol amser y Gymmanfa uchod.) Ac yn y sylw-nod ar 'Rowlands barchedig,' dywedir mai 'y Parch. Daniel Rowlands' a feddylir. Ond yr oedd y gwr gwir Apostolaidd hwnw gwedi marw er's y flwyddyn 1790: gan hyny, y Parch. *Nathaniel* Rowlands a feddylir.

Da iawn genyf fod 'derbyniad ychwanegol i'r Drysorfa.' Felly y byddo; canys felly y dylai fod. Yr eiddoch, &c.

*G—m, Mawrth* 9, 1840. D. JONES.

## 'Y MYNEGAIR YSGRYTHYROL NEWYDD.'

*At Olygydd y Drysorfa.*

SYR,—Darllenais lythyr yn eich Rhifyn diweddaf, gan ryw un a gyfenwa ei hun 'Addysgydd,' mewn perthynas i'r 'Mynegair Ysgrythyrol Newydd,' yr ydys yn bwriadu ei argraphu. Mae y gwr yn amheu er yr hysbysiad a roddwyd, 'fod y diweddar Barch. T. Charles wedi dechreu Mynegair.' Os daw ef un amser trwy y Bala, ac os bydd cystal a galw, bydd yn dda genyf ddangos iddo y *Manuscript* a ysgrifenodd Awdwr y 'Geiriadur;' a bod 'yn ddichonadwy hefyd deall ei gynllun.'

Gofyna, A ydyw y Mynegair a gynygir ei gyhoeddi yn *gwbl angenrheidiol?* I fy meddwl i y mae; ac fe allai yr argyhoeddid yntau o'r un peth, pe crybwyllwn ond un esiampl o anmherffeithrwydd yr un sydd yn awr o flaen y wlad. Cymerwn yr 47 benod o Genesis fel un, yn mhlith ugeiniau a ellid eu nodi, a ni a gawn fod ynddi 336 o eiriau, a ddylent fod i lawr yn y Mynegair. Ond pa faint a gawn ni wedi ei chwilio o'i ddechreu hyd i'w ddiwedd? Ni sŷna y rhai sydd yn arfer y Mynegair presenol ddim, fe allai, pan y dywedir wrthynt nad oes ond 29 o eiriau yn yr holl benod, â chrybwylliad am danynt ynddo; o herwydd gwyddant yn dda pa beth yw troi am y naill air ar ol y llall, a *phob* gair mewn llawer adnod, a methu a'i chael hi allan wedi y cwbl.

Gan ei fod yn gofyn am gynllun o'r gwaith a fwriedir ei gyhoeddi, mi a ufuddhaf i'w ddymuniad, (mewn gair bydd rywbeth yn debyg i '*Cruden's Concordance*,' yn Saesoneg) a dywedyd nad wyf yn meddwl y bydd hwn yn rhydd oddiwrth lawer o anmherffeithrwydd, ond y bydd ef yn rhagori cymaint ar y gwaith presenol, fel y cyrhaedda y nifer o Ysgrythyrau, mae yn debyg, i gymaint arall.

## AARON.

[*Uchel, mynydd, cadarn, neu Athraw.*]

EFE oedd yr arch-offeiriad Iuddewig cyntaf ac yn gysgod arbenig o Grist, gan ei fod yn 1, Wedi ei ddewis a'i alw gan Dduw o blith ei frodyr i weini yn y swydd offeiriadol. Exod. 28. 1. Ps. 89. 19. Heb. 5. 4.—2. Yr oedd yn medru llefaru yn groyw, ac wedi ei addasu i'w swydd. Ex. 4. 14. Esa. 50. 4. Ps. 45. 2. Col. 2. 3.—3. Yr oedd yn drugarog. Heb 4. 15. a 5. 2.—4. Eneiniwyd ef i'r swydd, ac felly Crist. Ex. 29. 21, 35. a 30. 30. Ps. 45. 7. a 133. 2. Esa. 61. 1. Ioan 3. 34.—5. Yr oedd yn dwyn enwau llwythau Israel ar ei ddwyfroneg. Ex. 28. 12. Esa. 9. 6. a 49. 16. Heb. 12. 23.—6. Yr oedd wedi ei wisgo â gwisgoedd cywrain, er gogoniant a harddwch. Ex. 28. 2. Ps. 45. 8. Dat. 1. 13.—7. Offrymodd offrymau dros bechod. Ex. 29. 38. Lef. 16. 21. Heb. 9. 14. a 10. 14.—8. Yr oedd yn arogl-darthu bob boreu, ac yn myned i'r cyssegr sancteiddiolaf un dydd yn y flwyddyn. Ex. 30. 7. Rhuf. 8. 34. Heb. 7. 25. a 9. 12. Dat. 8. 3.—9. Yr oedd yn goleuaw y canhwyllbren. Ex. 30. 8. Ps. 68. 18. Eph. 4. 8, 11. —10. Blagurodd ei wialen. Num. 17. 8

Esa. 59. 21. Ioan 15. 16. Heb. 9. 4.—11. Aaron a fendithiai y bobl. Num. 6. 23. Act. 3. 26. Eph. 1. 3.

Exod. 4. 14. Onid dy frawd yw A.
6. 23. A. a gymerodd Eliseba.
7. 1. A. a fydd yn brophwyd.
&c. &c. &c.

AARONIAID.

1 Cron. 12. 27. a 27. 17. Oedd dywysog ar yr A.

ABADON, [*Dinystrydd.*]

Dat. 9. 11. Ai enw ef yw Ab.

Abagtha, *tad y gwinwryf*, Est. 1. 10.
Abana, *caregog*, 2 Bren. 5. 12.
Abarim, *mynediad trosodd, mynydd*, *&c.*
Abba, *tad*, *&c.*
Abda, *gwas*, *&c.*
Abdi, *fy ngwas*, *&c.*
Abdiel, *gwas, Duw*, *&c.*
Abdon, *gwas barn*, *&c.*
Abednego, *gwas goleuni*, *&c.*
Abel, *gwagedd, tarth, galar*, *&c.*
Abel, *enw dinas, a maen*
Abel-beth-maacha, *galar i dŷ Maaca*, *&c.*
Abel-maim, *galar y dyfroedd*, *&c.*
Abel-meholah, *galar ymendid*, *&c.*
Abel-misraim, *galar yr Aiphtiaid*, *&c.*
Aber---oedd, &c.

[Ac ar ol pob gair y dilyn yr Ysgrythyrau yn eu lleoedd priodol.]

ABERTH---AU,

Yw y peth a aberthid ar allor i Dduw trwy law offeiriad, i ddangos ymddibyniad arno, diolchgarwchi ddo, neu er mwyn cymod. Yr oeddent yn aberthu cyn rhoddiad deddf Moses, ac yr oedd eu haberthau o anifeiliaid, adar, bara, peilliaid, olew, &c. Gellir eu gwahaniaethu 1. Aberthau cysgodol. Ex. 12. 27.—2. Aberth perffaith cyflawn a digonol Crist, trwy yr hwn y tynodd ymaith bechodau ei bobl, ac y cymododd hwynt â Duw. Heb. 9. 26. Col. 1. 21, 22.—3. Aberthau ysprydol. Ps. 51. 17. Rhuf. 12. 1. a 15. 16. Phil. 2. 17. a 4. 18. Heb. 13. 15, 16. 1 Petr 2. 5.—4. Cythreulig. Ex. 34. 15. 2 Bren. 5. 17. Ps. 106. 37, 38. Act. 7. 41.

[Yna yr adnodau cyfeiriadawl.]

ABERTHA.

Exod. 20. 24. A. arni dy boeth ebyrth.
&c. &c. &c.

ABERTHAF.

2 Cron. 28. 23. Minnau a *a.* iddynt, [ac felly yn mlaen.]

* * * *

Aberthu, &c.
Aberthwr, &c.
Abes, *wy neu lleidiog*, *&c.*
Abi, *fy nhad*, *&c.*
Abiah, *Duw yw fy nhad*, *&c.*
Absen—u, *enllib, enllibiaw*, *&c.*
Absen—nol, *anmhresenol*, allan o olwg.

Y mae llawer o eiriau yn wallus, megis yn y gair *absen*, a llawer na cheir mo honynt yn gwbl yn yr hên argraphiad, megis, paen, Job 39. 13, &c. pall, Esa. 30. 22. pellen, Barn. 8. 26. pen-bugail, prid-werth, priddgist, sych-dir, tamaid, talm, torlan, treiaw, treiddiaw, Hebre-was, pumnyn, &c. &c. &c. yn nghydag enwau priodol heb rif.

Bellach, Syr, yr wyf yn gobeithiaw y bydd y cynllun hwn yn ddigonol i roddi i 'Addysgydd' rhyw ddrych-ddychymyg o'r gwaith a gyhoeddir. Gan fy mod hefyd yn bwriadu rhoddi yn niwedd y gwaith amryw Daflenau Amseryddawl (*Chronological Tables*), a Thablau buddiol ereill nis gallaf warantu i 'Addysgydd,' na neb sydd yn chwennychu gwybod, pa sawl Rhifyn a fydd, ond meddyliwyf yn bresennol na fydd *uwchlaw* pedwar-ar-hugain o Rifynau Chwe Cheiniog yr un; pa bynag, amcenir ei wneuthur yn Llyfr teilwng o'i feddu, a buddiol i'w chwilio.

Terfynaf ar hyn, gan ddymuno na bydd fy llafur yn ofer, ond yr etyb i enill llawer o ieuengctyd anwyl Cymru i chwilio yr Ysgrythyrau, er eu gwneuthur yn hyddysg yn ngeiriau Duw.

D. Charles.

*Bala*, *Mawrth* 15fed, 1840.

'Y MYNEGAIR NEWYDD.'

Syr,—Yr oedd yn foddhäus rhyfeddol genyf weled cyhoeddiad ar glawr un o'ch Rhifynau diweddaf am argraphiad newydd o Fynegair Ysgrythyrol; ond cyn i'r lloer hono newid, wele ryw Addysgydd yn neidio i holi ac ymofyn pa beth oedd, ac oedd ar y wlad ei eisieu? Wedi darllen ei lythyr, daeth i'm cof chwedl fechan a glywais pan oeddwn yn fachgen, am hen wr gwenwynllyd, y byddai llwyddiant pawb, a chais pawb at ddiwygio rhyw bethau yn aflwyddiant ac yn chwerwder ysbryd iddo. Os elai i'r tŷ ar nos auaf, a gweled y tân yn goleuo yr aelwyd, a'r plant a phawb yn mwynhau eu hunain o'i ddeutu, tuthiai at yr ysten a'r dwfr, a thaflai ychydig o hono am ben y tân, 'rhag (meddai) i'r fflamau ddifa y glô yn gynt na'i amser—rhaid i chwi ddysgu byw yn gynnil a pheidio difrodi,' pan mewn gwirionedd nad oedd dim yn ei gynhyrfu ond cenfigen wrth weled pawb yn cael eu boddhau. Ai felly y mae yr Addysgydd?

Yn un man mae yn gofyn beth ydyw, a pha fath ydyw? Ow! Mr. Addysgydd, ac a ydych chwi yn Addysgydd, ac mor ddwl a hyna, onid Mynegair yw, a Mynegair *Ysgrythyrol*. Help llaw i chwi i gael adnod i ddyfod allan o'r dyrysni y bydd pwngc y plant yn yr Ysgol Sul wedi eich taflu iddo weithiau; ac a dywedyd y gwir i chwi yn

ddystaw, help i chwi gael hyd i'r testyn wedi i chwi ei anghofio o'r capel i'r tŷ.

'Pa fath ydyw?' Tebygol genyf yr etyb yr Awdwr parchedig hwn ei hunan.

'A oes ar y wlad ei eisieu?' Ow! Ow! a ydych chwi yn Addysgydd yn Nghymru, ac heb wybod y pethau hyn. Pob parch i'r Parch. P. Williams, a'i Fynegair hefyd, ond fe wyr pawb, a fyn wybod, bod mynych cynniweiriad esgeulus yr Argraphiad hwnw trwy yr argraph-wasg, wedi anmherffeithio yr hyn oedd gan yr awdwr ei hunan. Mae rhagor, Mr. Addysgydd, rhwng y llyfrau a argrephir ar frys er mwyn y geiniog, a'r llyfrau a gyfansoddir er llesâd a buddioldeb dynion.

Yr wyf yn mawr obeithio nad ydyw difrawder fy nghenedl am lyfrau da wedi cymmeryd gafael yn holl *Addysgwyr* Cymru, fel yr ysgrifenydd hwn, ac onidê erys y gwarth heb ei ddileu am oesoedd etto.

Er, ar yr un pryd, nad wyf yn dysgwyl i Fynegair Mr. Charles fod yn *berffaith*, ond os caf fy helpu i fyned lathen yn nes at berffeithrwydd, yr wyf yn foddlon, hyd oni chaf fy nwyn lathen yn mlaen wedi hyny, ac felly o hyd.

Fel Mr. Addysgydd, sydd yn cwestiyno a oes ar y wlad ei eisieu, etto, yn foesgall ddigon yn dangos fod arno ef ei hun ei eisieu yn fawr trwy ddywedyd y bydd yn Danysgrifiwr am un *os nad ychwaneg*, felly y byddaf finnau. Ac wrth yr Awdwr parchedig y dywedaf, 'Duw yn rhwydd' i chwi a phob calonogiad i fyned yn mlaen, canys hyderwyf y bydd fy nghydgenedl yn dderbyniol o hono, ac yn awyddus am dano.—Ydwyf yr eiddoch

*Caer*——*n*. T——.

---

## YCHYDIG HANESION

*Er coffadwriaeth am ryw bethau hynod yn mywyd* Mr. Rowlands *o Langeitho, a* Mr. Jones *o Langan, wedi eu codi allan o gof Cyhoeddwr y Drysorfa.*

Dywedodd Robert Jones o Leyn wrthyf (nid Robert Jones, Rhoslan), ei fod ef, yn mhlith ereill, yn arfer myned o Sir Gaernarfon i Langeitho ar Sul y Cwrdd mawr i wrando ar Mr. Rowlands. Ac iddo ei wrando yn pregethu un tro ar y geiriau hyny, 'Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd,' &c.

Efe a ddarluniodd dragywyddol gariad Duw at golledig ddyn, ac a osododd allan fawredd anfeidrol y Person a anfonwyd; dyfnderoedd ei ddyoddefiadau, ac annhraethol werth ei aberth; nes iddo, wrth ei wrando, gael ei gipio, a'i lwyr [illegible] i fynu i'r rhyfeddodau, ac anghofio o hono yn hollol yn mha le yr oedd yn sefyll, a cholli o hono bob teimlad corphorol, fel na wyddai am enyd o amser pa un ai yn y corph ai allan o hono yr oedd efe! Yna llefodd y pregethwr, gan ddywedyd, 'Diolch i Dduw byth! am na chredodd yr Iuddewon yn Nghrist cyn ei roi i farwolaeth!' Yna safodd yn sŷn am enyd, ac a dorodd allan drachefn i eglurhau y peth, gan ddywedyd gyda syndod rhyfedd, 'Canys pes adwaenasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd, y gogoniant!' Pe gwybuasent pwy oedd dan eu dwylaw, ni fuasai neb byth yn beiddio ei hoelio ar bren; a pha beth a ddaethai o'n hiechydwriaeth ni? 'O ddyfnder golud doethineb a chariad Duw!'

Dywedodd Robert Jones hefyd, ei fod ef amryw weithiau, er ei fod yn lluddiedig iawn gan ei daith i Langeitho, wedi cael llawn tâl am ei lafur yn cerdded yno, cyn pen deng mynyd wedi i Mr. Rowlands gymmeryd ei destyn.

Pan oeddwn i yn fachgen, mi a glywais Mr. R. Roberts, Clynog, yn dywedyd wrth fy nhad, iddo ef, y tro cyntaf y bu yn pregethu yn y Deheudir, pan yn llange ieuangc, fyned ar ei gylch i Langeitho i bregethu. Ei fod yn crynu gan ofn Mr. Rowlands. A phan oedd efe yn pregethu, ni welodd mo hono mewn un man. Yr oedd efe yn llechu mewn rhyw eisteddle yno yn gwrando.

Wedi darfod yr odfa, aeth R. R. i'r tŷ; ac yn mhen ychydig, galwodd Mr. Rowlands arno ato i'r parlawr. Ac yn mhen enyd bach, dywedodd fel hyn wrtho, 'Wel, fy machgen i, yr oeddwn i yn dy wrando pan oeddit yn pregethu; ac yr wyf yn deall fod dy Feistr mawr wedi dy gymmeryd yn *brentis* bach iddo yn ngwaith mawr y weinidogaeth. Cofia di roi holl arian dy Feistr i gyd yn y *drawer;* dyro yr holl ogoniant i dy Feistr, bob iota o hono.' Dywedodd R. R. nad anghofiodd ef byth ei ymadrodd.

Yr oedd Mr. Rowlands wedi clywed droiau fod ar bregethwyr ieuaingc ei ofn ef. Ac yn wyneb hyny, yr oedd yn ymddwyn yn ddoeth iawn. Ymlechai mewn eisteddle bob amser wrth wrando ar ddyn ieuangc y tro cyntaf, fel na chai ei weled, o leiaf hyd oni chai y pregethwr ei draed dano, a chael cynnorthwy i bregethu yn lled ëon, yna ymsythai Mr. Rowlands i'w wydd ef.

Hefyd, pan fyddai rhyw bregethwr yn isel a digalon wrth fyned yn mlaen yn ei bregeth, efe a ddywedai yn uchel yn lled aml, 'Amen. Amen. Amen byth.' Ac efe a wnai hyn er mwyn cynnal dwylaw y gwan, a nerthu fferau y crynedig i fyned yn mlaen. Ac wedi cael o'r pregethwr ei anadl ato, ni chlywid byth mo'i Amen ef wedi hyny; ond gadawai i ereill i ddywedyd Amen faint a fynent.

Wedi cael y Pregethwr i'r tŷ ato, ar ol darfod yr odfa: os byddai efe yn ym-

ddangos yn isel, a digalon, ac yn bwrw ambell ochenaid drom allan o'i ddwyfron, dywedai Mr. Rowlands wrtho, 'Yn wir yr oedd y matter ag oedd genych chwi heno yn y pulpud yn deilwng iawn o sylw gwrandawyr yr oes hon. Fe fyddai yn dda pe pregethech y pwngc yna drwy yr holl wlad.' Codai hyny galon y truan i'r lan. Ond pan fyddai y pregethwr yn ymddangos yn glamp o ddyn hyf, a sychlyd, a hunanol, nid ynganai Mr. Rowlands un gair am bregeth y gwr hwnw, rhag iddo ymchwyddo, a syrthio i fagl diafol.

Yr oedd yn meddu ar ddoethineb rhyfedd, a medrusrwydd hefyd i arfer modd ion i adnabod ysprydoedd dynion. Mi glywais am un tro, pan oedd efe yn cadw cyfarfod Eglwysig mewn un man, yr oedd yno wr yn cynnyg ei hun yn aelod y tro cyntaf erioed. Wedi dechreu y cyfarfod drwy ddarllen a gweddio, gofynodd y blaenoriaid i Mr. Rowlands a wnai efe ymddyddan â'r gwr? Na, eb efe, dechreuwch chwi, ac ewch yn mlaen fel arferol, ac os daw dim ar fy meddwl i, mi a'i dywedaf. Gofynasant amryw gwestiynau i'r dyn; ond ei atebion ef oeddynt yn hynod o ledchwith a gwyrgam. Gofynodd y blaenoriaid drachefn i Mr. Rowlands ymaflyd yn y gwaith. Ac, eb yntau, 'Nis gwn i ddim yn iawn beth sy genych chwi yna dan eich dwylaw. Pa un ai dafad ai ci yw? sathrwch ei droed ef, i gael gweled beth yw.' Yna cododd y gwr ei ben, a'i wyneb yn brochi, a'i yspryd yn chwerwi, ac a ddywedodd, 'O, Mr. Rowlands, nid Ysgrythyr mo hona!' Ar hyn cododd Mr. Rowlands ar ei draed, ac a ddywedodd, 'Ci, ci, ci! ni wnewch chwi ddim o hono, heb iddo gael newid ei anian; oddiallan y mae y cwn.' Troes y dyn allan yn ei fuchedd i brofi wedi hyny yn amlwg i bawb nad un o ddefaid Crist oedd ef.

*Arall am y Parch.* D. JONES, *Llangan; yn yr hwn y gwelir ffyddlondeb gwraig at ei gwr, a'i amynedd, a'i ostyngeiddrwydd yntau, yn wyneb ei hymddygiad hi.*

PAN oeddwn ar fy nhaith, er's llawer dydd, drwy y Deheudir yn pregethu, daethum i Abergwaun am y Sabbath. Pregethodd fy nghyfaill Richard Morris a minnau yno yn y boreu, a chyfranodd Mr. Jones o Langan y Cymmun sanctaidd i'r aelodau Eglwysig. Am ddau o'r gloch pregethasom yn mhalas Mr. Jones. Pan oedd Richard Morris yn pregethu yn y gegin fawr yn y palas, yr oedd Mr. Jones a'i wraig, ac amryw o foneddigion a boneddesau yn eistedd ar gadeiriau yn y parlawr yn gwrando arno, ac yn eu plith yr oeddwn innau.

Yr oedd Mr. Jones newydd ddyfod adref o Langan y dydd o'r blaen, ac felly yn teimlo yn bur lluddedig. Yn yr amgylchiad hwn, gwelem ef yn pendwmpian cysgu ar ei gadair. Pan welodd ei wraig ef, hi a gododd, ac a aeth ato ar frys, ac a'i hysgytiodd ef nes ei ddeffroi. Cododd Mr. Jones ar ei draed, ac a gwympodd ar ei liniau i ofyn am faddeuant gan Dduw yn ein gwydd ni oll!

Gwyddai Mrs. Jones yn dda am dymmer addfwyn ac yspryd efengylaidd ei gwr, y byddai yn llawer gwell ganddo iddi ei ddeffroi o'i gwsg, na'i adael i gysgu yn yr odfa. Profwyd hyny yn fuan, canys yr oedd y ddau yn siriol iawn yn yfed *te* gyda ni ar ol yr odfa.

---

# BARDDONIAETH.

## GALARNAD

### AR FARWOLAETH Y PARCH. GRIFFITH SOLOMON, LLANBEDROG, ARFON.

Pa newydd trydaraidd a glywaf o'r Gogledd?
  Pa ddwys ocheneidiau grudd fanawl o draw?
A ydyw'n ddiachos y fath alar gorbruddaidd?
  A syrthiodd rhyw wron cadarn-ddoeth gerllaw;
Neu ynte rhyw *Phantom* dych'mygawl hedédog
  Ymrwygodd yn ffromwyllt er terfysg i'r byd?
Neu, brudd-der ar ol rhyw Genadon gedidog,
  Sy'n peri'r fath gynnwrf trwy Gymru i gyd?

Pwy, pwy ydyw gwrthddrych y sibrwd a glywaf,
  Ai Selyf* Llanbedrog was enwog y ne'?
A syrthiodd y seren lewyrchog oleuaf
  Wasgarodd belydron dysgleirwych drwy'r lle?
Och, Och, mae fy nghalon yn teimlo dwys alar,
  Ai rhaid oedd i'r eulfedd ei lyngcu i lawr?
Ei feddwl mawr goleu—ei eiriau athrawgar,
  Ei anchwith gyngorion gollasom yn awr.

Fel eryr llygadgraff y treiddiai i'r dirgelion,
  Eglurai yn hylon efengyl yr Iôr,
Ei eiriau oent gryfion fel diliau melysion,
  Ei feddwl cynnwysfawr oedd lawn fel y môr.

---

* Ffugenw a arferai.

Mewn dwysgall fyfyrdod fel angel ymlwybr-
ai
Drwy holl athrawiaethau datguddiol ei
Ner;
Pan gyda marwolion, drwy ffydd yr an-
neddai
Mewn teml sancteiddiol sydd bell uwch y
ser.

'Roedd ef megis Enoch neu Noah yn rhodio
Yn gynes ac anwyl yn mynwes ei Dduw;
'Roedd ef megis Moses yn fedrus yn llywio
Yn ol y portreiad tra yma yn byw;
Fel Dafydd mewn duwiol feddylfryd ym-
lwybrai,
Ei frwydrau ymladdai trwy ffydd yn ei
Dad;
Fel Solomon ddoethaf yn wastad ymdrechai,
Er heddwch a llwyddiant ei genedl a'i
wlad.

Ei benaf ymdrechion oedd dysgu'r gwir-
ionedd
Mewn purdeb a symledd yn unol â'r
gair,
Er cael pob rhyw dd'rysni i gyflawn eg-
luredd,
Yn cloddio 'n ddiduedd yn wastad y'i cai.
Nid coegni hedegog, neu uchel gywrein-
rwydd,
Ond medrus ddoethineb a gafwyd yn
hwn;
Ei enw ddyrchefid gan ereill yn benaf,
Yn wir ostyngedig canfyddwyd ef, gwn.

Athronawl draethodau hen Solomon ddi-
ddig,*
Ail Selyf fyfyriodd—eglurodd i ni;
Esboniodd a thraethodd feddyliau cuddiedig,
Mewn oesau dyfodol arddelir mewn bri.
Darllenai, a gwelid dirgelion yn eglur,†
Ei drefen bwysleisiol gynhyrfai y fron
Ei bwyllgar ymadrodd oedd fedrus—a
chredir
Yn Nghymru y pery ei goffa yn llon.

Treiddgarwch eryraidd mewn deall a gafodd,
Mewn dewrder mawreddig oedd hyf
megis llew;
Yn addfwyn a llariaidd, fel dyn ymddang-
osodd,
Fel ych yn ei lafur oedd ddiflin a glew:
Un gwrol a chraffus i gadw'r athrawiaeth
Rhag dylaith anialog cymmysglyd oedd
ef.
Mewn symledd ymdeithiodd—gwrthodai
bob coegraeth,
Ei ddoniau rhededog, oent roddion y nef.

Mewn dwfwn wybodau yr oedd ei gymeriad
Yn uchel yn wastad gan ddoethion ei wlad,
A phwyllgar gallineb ei eiriau wych drefn-
iad;
Pawb roddai wrandawiad a'i profai yn
wr mâd.
Fel Ethan, a Herman, a Chalcol, a Darda,
A'r doethion henafol enwocaf fu byw,
Yr un wythen a redodd i'n Selyf enwoca',
Cymeriad sydd deilwng i'w fywyd ef
yw.

Pan fyddai yr ofnus yn d'rysu'n betrusawl
Dan d'wyllni rhyw destyn, â'i feddwl yn
llwrf,
Cyhoeddai*—a Selyf eglurai yn ddoniawl
Nes byddai 'i atebion rhwng doethion yn
dwrf:
Ei glod fydd safadwy tra pery Cymreigiaeth
Ei hoff 'sgrifeniadau a'i ceidw tra'r byd,
Tra ninnau'n galaru mewn dwfwn amheu-
aeth
Ei enaid a noffa mewn gwynfyd o hyd.

O! Arfon, ti gollaist un cadarn o'th feibion
Un gwrol ddewr fegaist a gwympodd
yn awr
Er cymmaint dy golled na fydd rŷ ddi-
galon,
Nid haul—eithr seren a syrthiodd i lawr.
Yn aros mewn llewyrch mae'r haulwen
ddysglaergar,
Goleuo, gwresogi, a meithrin wna hon,
Daw Seion yn ffrwythlawn, yn brydferth, a
hawddgar,
Er colli ei gwylwyr a'u rhoi dan y don.

Pan ddelo Duw Israel i'r maes i gyfloni,
Gwna'r pethau nad ydynt yn ddoethion
a chry',
Y gwael a'r rhai distadl, mae'r byd yn
ddirmygu,
Gant addas ddoethineb i arwain y llu.
Y llestri pridd dryllliawg, nad ydynt ond
breuawl,
Ddefnyddir uwch engyl yn nwylaw yr
Iôr,
Cyhoeddant, cyfrwyddant, cyfranant, cyng-
horant,
O'r hyn dderbyniasant gan Iesu o'i ystor.

O! Seion drymfrydig, rho heibio'th alar-
nad
Er cymmaint y rhwygiad a gefaist yn
awr,
Os collaist ddoeth genad, mae'r Iesu yn
wastad
Yn eiriol yn ddibaid â'i lygaid i lawr;
Dy sylfaen osodwyd—dy feini etholwyd—
Dy lun bortreiadwyd—darparwyd it fod
Yn enwog a hawddgar—prydferthwch y
ddaear,
A'th wylwyr ymdrechgar, yn fwy nac
erioed.

G. Wyllt Gwent.

* Cyfeiriad at yr Esboniad a gyhoeddodd ar Lyfr y Pregethwr.

† Eglurai y newydau a berthynent i ddygwyddiadau ei draethawd yn y fath fodd rhyfedd wrth ddarllen, fel y byddai pobl ddeallus yn myned bellder mawr i wrando arno yn aml.

* Byddai yn aml yn ateb gofyniadau a gyhoeddid yn y Drysorfa.

# CYMDEITHAS GENHADOL.

AT GYHOEDDWR Y DRYSORFA.

ANWYL GYFAILL.—Dymunwyf alw sylw eich darllenwyr lluosog at yr angenrheidrwydd a'r priodoldeb fod genym Gymdeithas Genhadol yn perthynu i ni fel Corph crefyddol.

1. Dylai pob *Cristion* yn ei gylch ei hun amcanu at helaethu terfynau teyrnas y Cyfryngwr, ac ennill deiliaid ychwanegol iddo, yr hyn beth, tebygaf, yw priodol amcan Cenhadaeth. Mae cariad at Dduw a dynion yn ei rwymo i hyn yma. Ac yn ol, neu i'r graddau, y byddo bywyd crefydd yn y galon, y bydd ymestyniad at hyn. Dylai pob *cangen Eglwys*, yn ei bro hithau, ymgyrhaedd at yr un peth; trwy ymosodiad mwy *corphoredig*, ac o gymmaint a hyny mwy grymus ac egniol. Mae yr un ddyledswydd yn gorwedd yn ei phwysigrwydd mawreddig ar *luaws* o gangenau eglwysig unedig yn un *corph crefyddol*. 'Ewch i'r holl fyd," yw y *charge* a roddwyd gan yr Iesu, wedi derbyn o hono bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear. Nid oes un esgus nac amgylchiad, a ddichon gyfiawnhau esgeulusdra ac anufudd-dod i'r gorchymyn hwn. Digon i roi taw tragywyddol ar bob gwag esgusodion ydyw yr addewid gyssylltiedig "Wele yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." A theilwng iawn o sylw arbenig ydyw yr addewir ei bresenoldeb tra y byddys yn ufuddhau i'r gorchymyn. Y llwybr gan hyny i bechu ei bresennoldeb ymaith ydyw esgeuluso yr amcan mawr o fyned i'r holl fyd—bod yn ddiofal am helaethu ei deyrnas, a pheidio ymosod yn egniol ar gyffiniau y gelyn ar bob llaw. Ysbryd priodol i'r gwaith mawr hwn, sef, llafur, ymdrech, haelioni, a gweddi yn yr achos Cenadol, a sicrhâ iachusrwydd yn yr athrawiaeth, manylrwydd yn y ddysgyblaeth, a heddwch a chysur yn yr Eglwysi; mewn gair, a sicrhâ bresennoldeb Crist ei hun gyda'i ddysgyblion, yr hyn yw bywyd cysur, a defnyddioldeb yr holl Eglwys.

2. Dylai fod yr ymgyrch Cenadol yn *ddiderfyn*, sef yn gyfryw na chyfyngir gan na iaith, Cenedl, na gwlad—nid oes terfyn i fod ond yr un a osodwyd gan yr Iesu ei hun, 'yr holl fyd.' Nid yn wastad y cedwir hyn mewn golwg. Cyfyngir gweithrediadau cenadol weithiau i derfynau *iaith*. Weithiau gwahaniaethir y maes yn *gartrefol*, neu *dramor*. O'm rhan i yr wyf yn teimlo gwrthdarawiad i'r gwahaniaethiad hwn. Na chamddealled neb fi—nid yn erbyn gweithrediadau cartrefol neu dramor yr wyf yn dywedyd fy mod, ond yn erbyn cymdeithas a *gyfyngo* ei gweithrediadau i'r naill neu y llall, dim pellach nag y byddo *amgylchiadau* pethau yn cyfyngu ei gweithrediadau.

Cymmwyser hyn at ein hamgylchiad presennol ni, y Trefnyddion Calfinaidd. Mŷn rhai Gymdeithas Dramor yn unig, ereill un Gartrefol yn unig; mŷn ereill *ddwy* Gymdeithas, un Dramor ac un Gartrefol. Yr wyf fi, ac amryw gyda minnau, yn methu deall, paham y rhaid gwneuthur y gwahaniaethiad uchod ato? Oni fyddai Cymdeithas Genadol yn fwy unplyg, ac yn fwy *effeithiol?* Onid *un* yw y dyben bod y gweithrediadau yn mhell neu yn agos? Ai digon o reswm i rannu egni yr un bobl, ac i rannu cyfraniadau gyda *dwy* Gymdeithas, fod llain o fôr yn gwahanu maes y llafur? Mae perygl i sefydliadau *gwahanol* fyned yn *wrthwynebol;* o'r hyn lleiaf yn eiddigeddus y naill wrth y llall. Tybia rhai mae y byd *Paganaidd* yw unig faes *priodol* Cenadaeth: fod son am *genadaeth gartrefol* yn anfri ar ein gwlad ein hunain.

Addefaf yn rhwydd ei bod yn anfri arni, etto, pa beth a wneir tra bydd yr achwyniad yn gywir? Pa beth, attolwg, oedd Gogledd Cymru gan mlynedd yn ol; pan ddechreuodd y Trefnyddion Calfinaidd eu gweithrediadau? Ai Paganiaid? Ië, mewn gwirionedd, er bod yn Gristionogion mewn enw. Gallasai y trigolion glywed darllen y Bibl yn mhob plwyf, yr un modd ag y gallant yn awr, drwy holl barthau gwledig Lloegr; etto, boddlonent mewn anwybodaeth o air Duw cystal a phe na buasai Bibl yn y wlad; ac felly gwna myrdd myrddiynau yn Brydain Fawr a'r Iwerddon. Mae eisieu Cenadon yn Ffrainge yn mysg y Cymry yno, cystal ag un wlad; er, mae yn wir, yr enwir Crist yn eu mysg. Pa faint well ydynt na Phaganiaid? Ar gyfandir Ewrop, bron yn mhob man, er y proffesir rhyw fath o Gristionogaeth, etto, nid yw nemawr well na Phaganiaeth. A ddylai fod un nod îs yn ngolwg un Gymdeithas Genadol na lledaenu *gwir* Gristionogaeth—nid mewn enw, ond mewn gwirionedd, i *bob man* pell ac agos.

Chwi a wyddoch, anwyl gyfaill, fod genym eisoes yn Ngogledd Cymru, Gymdeithas Gartrefol, yr hon sydd weithian yn 30 mlwydd oed bron. Gelwir hi yn *Gymdeithas;* ond nid yw felly ond mewn *enw*—ni chyfansoddwyd hi erioed fel Cymdeithas, ond yn anmherffaith iawn—ni bu ei gweithrediadau ond cyfyng—ni chymmerwyd ei hachos gan y Corph gyda chyssondeb a grym hyd heddyw—ni ddarparwyd erioed Genadau iddi—gadawyd ei llywyddiad yn nwylaw ychydig o bersonau yma ac acw, a gyfaneddant y cyffiniau.

Gwir y gwneid ychydig gasgliadau iddi rhag suddo i gywilydd wrth geisio ei chynnal; etto, am bob cant a roddwyd i Gymdeithas Llundain, ni roddwyd deg i hon.

Mewn gair, rhaid gwneuthur egni mwy, a rhoi sylw manylach ar ei hachosion, neu beidio a'i galw yn gymdeithas oll. Mae llawer o'i gorsafoedd yn bresennol yn dyoddef oblegid diffyg moddion gras, er i'r rhai sydd yn gofalu am y gwahanol ranau o'r maes, wneyd eu goreu i'w cyflenwi. Mae yr Eglwysi ieuaingc sydd newydd eu planu yn dyhoeni o ddiffyg rhyw rai henach a mwy profiadol i'w noddi. Mae lluaws o barthau poblogaidd a helaeth gerllaw y maes a lafurir yn awr, yn llefain ar ein hol—yn crefu am Ysgol Sabbathol, a phregethu yr efengyl, heb fodd genym i'w hanrhegu â hwy.

Nid wyf fi fy hun ond amheus pa beth a allwn ni wneyd mewn gwledydd pellenig, megis India 'r Dwyrain, neu Affrica, &c. Dylai fod *steamer fawr* i groesi y weilgi faith. A ydyw yr anturiaeth yn ddoeth neu beidio, nis gwn. Yr wyf yn ddigon boddlawn i wneyd cais ar hyny; er fy mod yn dra anfoddlawn i ffurfio cymdeithas newydd a *gyfyngo* ei gweithrediadau i wledydd Tramor. Ffurfier cymdeithas i *ddybenion Cenadol*, a chymmered yr holl fyd fel ei *motto*,—aed rhagddi yn helaethiad ei therfynau, fel y byddo Rhagluniaeth yn agoryd drysau, a'i chyllidau hithau yn caniatau.

Taer erfyniaf sylw pwyllog fy mrodyr crefyddol oll, at yr ysgogiad pwysig hwn: ac o wir awyddfryd cyrhaedd hyd *Illyricum*, na anghofier *Samaria*.

Na thybied neb fy mod yn bwriadu y sylwiadau uchod i rwystro gweithrediadau Tramor, os bernir yn ddoeth i'w cychwyn, ond i ochel esgeuluso gweithrediadau Cartrefol. Atebir yn rhwydd, mi wn, 'Nid oes dim o'r fath beth mewn golwg—edrychir hefyd ar ol cartref.' Os *cywir* ydyw y broffes deg hon, dangoser hyny—rhodder *gwystl* o hyny, trwy gorphori yr *holl* weithrediadau Cenadol i *un* Gymdeithas,* fel y *dylent* fod—un corph ydym—un ydyw yr amcan Cenadol; a pham y byddai raid fod dwy Gymdeithas? Heb y gwystl hwn, dysgwyliaf yr un esgeulusdra cymhariaethol tuag at froydd cyfagos i ni, ag a welwyd am fwy na phum mlynedd-ar-hugain a aethant heibio.

Gadewch i ni ddechreu mewn manau agos, lle mae drysau yn agor, lle y gellir ar unwaith ymosod at y gwaith; ac fel y bydd yr Arglwydd yn ein llwyddo, ymestynwn drosodd i'r Iwerddon, ac i Ffraingc, ie, hyd eithaf y ddaear. Gan eich bod chwi eich hun, fy anwyl frawd, wedi bod flynyddau yn llafurio yn mröydd Clawdd Offa dlawd, byddai gair oddiwrthych ar hyn o bryd, yn fantais i ereill sydd yn preswylio yn mhell, ffurfio barn gywirach (am yr angenrheidrwydd o egni a ffyddlondeb yn y dosparth hwn o waith yr Arglwydd.

——Wyf eich cyfaill anwiw,

JOHN HUGHES.

*Liverpool, Mawrth* 14eg, 1840.

* A galewr hi 'Cymdeithas Genadol y Trefnyddion Calfinaidd.'—Cy.

---

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYMDEITHAS GERDDORAWL BANGOR, &c.

DYDD Nadolig diweddaf, cynnaliwyd Cyfarfod Blynyddol y Gymdeithas uchod yn y Tabernacl, Bangor, yn y drefn a ganlyn:—

Am 7 o'r gloch y bore, Cyfarfod i weddio am lwyddiant ar y gwaith, ac am bresenoldeb yr Arglwydd ar hyd y dydd. 10 o'r gloch, Cyfarfod i Swyddogion, &c. y gwahanol ganghenau, lle yr ymdriniwyd am amryw bethau yn dal perthynas â'r Gymdeithas yn ei phethau allanol. Yn mhlith pethau ereill, penderfynwyd fod Cyfarfod Blynyddol y Gymdeithas i gael ei gynnal yn Bangor, Dydd Nadolig bob blwyddyn, a dymunwyd ar gymmaint a allai o'r holl Gymdeithasau fod yn bresenol ynddo.

Penderfynwyd hefyd fod Cyfarfod Cynnorthwyol i gael ei gynnal ddydd Llun y Sulgwyn, yn flynyddol, yn y gwahanol ganghenau yn eu cylch, y cyntaf i fod yn Pentir, ddydd Llun y Sulgwyn nesaf.

Ymdriniwyd hefyd am yr angenrheidrwydd o ddysgu Egwyddorion Canu, a phenderfynwyd sefydlu rhyw drefn i ymweled â'r gwahanol Gymdeithasau i'r perwyl hwn yn fisol.

2 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan David Roberts. Wedi hyny canwyd y tônau canlynol:—"Virginia, Naples, Evening Shade, Monmouth, Penfro, Gwaredigaeth, Pen Calfaria, Ffynnon loyw, Arabia, Adoram, a'r Anthem o'r 25 Salm, (Par imi wybod dy ffyrdd, &c.)gan Dafydd Harris.' Yr oedd 7 o Gymdeithasau yn cyd-ganu yn y Cyfarfod hwn, sef Bangor, Gatehouse, Pen-y-groes, Pentir, Caerhun, Llanfair, ac Aber.

Gosodwyd y cantorion yn drefnus yn y *Gallery*, yr oedd yr olwg arnynt yn syml a sobr. (fel yr oedd yn gweddu wrth foli yr Arglwydd ein Creawdwr) a'r canu yn nerthol a phwysig trwyddo oll, a llawer yn dweyd na welsant ac na chlywsant y cyffelyb erioed o'r blaen. Anerchwyd y dorf ar bwysigrwydd y gwaith, &c. gan David Roberts; a dybenwyd trwy weddi.

5 o'r gloch, ymgynnullodd lluaws o'r Cantorion at eu gilydd i ganu.

6 o'r gloch, traddodwyd pregeth raggrol gan y Parch. David Jones, Caernarfon, ar

Salm 100. 1. 'Canwch yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaear.' i dyrfa luosog iawn. Canwyd amryw donau yn yr hwyr. Ymadawodd pawb yn siriol a llawen, gan ddymuno yn fawr cael y cyffelyb gyfarfod etto.

Tystiodd rhai eu bod yn hiraethu am y lle y 'cânt ganu byth mewn llawenydd pur dilyth, i Grist yr Arglwydd Iôr.'

Yr oedd arwyddion amlwg o bresennoldeb a boddlonrwydd yr Arglwydd ar y Cyfarfod, ac iddo arogli arogl esmwyth arno. Gallwn ddweud yn ddibetrus mai, 'Da oedd i ni fod yno.' O! na ddeuai yr holl wledydd fel un gwr i godi y bylchau sydd yn y rhan yma o addoliad yr Arglwydd, ac i ymdrechu canu â'r ysbryd ac a'r deall, yn gerddgar a soniarus. O! na ddeuai ein holl gynnulleidfaoedd i ystyried ei bod yn ddyledswydd arbenig arnynt ganu i Dduw. 'Pob perchen anadl, molianned yr Arglwydd.' Gan mai Efe sydd yn rhoi anadl yn ein ffroenau, y mae yn ddyled arnom, y mae yn deyrnged ddyledus oddiwrthym, ganu ei fawl. Y mae yr Arglwydd wedi dangos 'Ei foddlonrwydd i'r ordinhad hon lawer gwaith, a phwy a wyr na wna etto? Pan yr oeddynt yn canu daeth cwmwl ei bresennoldeb i lenwi y Deml, er's llawer dydd. Pwy a wyr nad mewn Cyfarfod Canu y tywelltir yr Yspryd? Pwy a wyr nad ar y bwrdd hwn y daw y Brenin, fel y bo y nardus yn arogli. Amen.

SAMUEL ROBERTS.
*Bangor* Ysgrifenydd,

## CYFARFOD DIRWESTOL Y RHYL.

SYR,—Chwefror 6 a 7, cadwasom Gyfarfod Dirwestol yn Rhyl etto, yn y dull canlynol:—

Nos Iau am 6 o'r gloch, cyfarchwyd y gynnulleidfa gan y Parchedigion S. S. Davies, Rhyl, a William Rees, Dinbych, yn nghyda Mr. Edward Williams, Dreffynon. Dydd Gwener am 7 o'r gloch y boreu, cadwyd cyfarfod i weddio am arddeliad yr Yspryd Glan ar y gwaith, yr hwn nis ceiswyd yn ofer, oblegid cawsom arwyddion lled amlwg o'i bresennoldeb, ei gymmorth, a'i arddeliad hefyd. Am 10 o'r gloch, gweddiodd y Parch. Evan Hughes, Wyddgrug, a phregethodd y Parch. William Rees, Dinbych, oddiar 1 Cor. 10. 15. Am 2 o'r gloch areithiodd y Parchedigion Evan Hughes, Wyddgrug, John Evans, Llanrhaiadr, a Mr. Thomas Parry, Llanelwy. Am 6, cyfarchwyd y gwyddfodolion gan ysgrifenydd hyn o hanes, ynghyd â'r Parchedigion S. S. Davies Rhyl, Evan Hughes, Wyddgrug, a Mr. Edward Williams, Dreffynon. Cyfarfod rhagorol oedd hwn, a chawsom yn ychwanegol at ein byddin y tro hwn etto y nifer o 33.

Dydd Llun, y 10fed o'r mis hwn, sef dydd priodas ein hardderchoccaf Freuines, cadwasom gyfarfod yn y dull canlynol:—

Am 10 o'r gloch y boreu, ymgyfarfu y dirwestwyr i weddio am i'r Arglwydd ei chadw a'i hamddiffyn yn ei pherson a'i swydd, yn nghyd â'i choroni â myrdd o fendithion; a'i phriod hefyd a'i gadw rhag pob drwg, yn enwedig rhag meibion estron. Am 2 o'r gloch, pregethodd y Parch. Evan Hughes, Wyddgrug, bregeth hynod o gymmwys i'r perwyl, oddiwrth 1 Tim. 2. 1, 2, 3. Am 6 yn yr hwyr, cadwyd Cyfarfod Dirwestol gan Mr. Richard Hughes, Merllyn, Mr. Williams, y Rhyl, y Parch. S. S. Davies, Rhyl, ac ysgrifenydd hyn o hanes, a chaed 11 o enwau at y Gymdeithas. Cafwyd amryw i ymuno na ddarfu iddynt erioed ymuno o'r blaen, a'r rhai hyny wedi bod yn feddwon iawn, ac hefyd rhai brodyr crefyddol oedd heb weled yr achos yn deilwng hyd yn hyn.

Y mae yr achos yn hynod o siriol yma âg arwyddion amlwg bod yr Arglwydd yn foddlawn i ni. Ein nifer yn bresennol sydd oddeutu 600, yn mysg pa rai y mae amryw o ugeiniau o hen feddwon, nid yn unig wedi eu sobri, ond gwedi eu dwyn i broffesu crefydd Crist O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yn ein golwg ni.

Clywsom am lygredigaethau mawrion mewn rhai manau ar ddydd priodas y Freuines, ond yn Rhyl ni chlywsom am ddim; gresyn na ddeuai pawb, crefyddwyr ac anghrefyddwyr, i roi nerth braich ac ysgwydd yn erbyn Bacchus a'i ffiaidd ordinhadau, yn lle eistedd mewn diofalwch a gadael i'r byd fadroni mewn llygredigaeth. Pa fath gyfrif a roddwn i farnwr byw a meirw, holed pawb ei hunan.

*Rhyl.* JOHN JONES.

## AGWEDD CREFYDDOL CYMRU.

HAWDD genym ydyw cwyno am farweidddra a diofalwch o waith pethau crefyddol —ond ai nid mor briodol fyddai bod mor awyddus i gofrestru pob deffroad ag ydym i gwyno am gysgadrwydd? Dywenydd mawr oedd genyf glywed fod cwmwl bychan fel cledr llaw gwr wedi codi yn yr Ysgotland, a pheth gwlaw wedi disgyn; a dywenydd mawr oedd genyf hefyd glywed am y deffroad rhyfeddol sydd yn Nghymru yn gyffredinol—canys gwn am rai trefydd sydd yn cynnal eu cyfarfodyd gweddi bob nos yn yr wythnos oddigerth nos Sadwrn—a Dirwest yn blodeuo a chrefydd yn llwyddo. Brysied y dydd y gallom ddyweyd wrth an-Auffyddiaeth, &c. 'Rhwym dy gerbyd, a dos i wared,' canys y mae twrst llawer o wlaw.

Nid oes dim mor foddhaus i Gymro ystyriol mewn gwlad sy'n ocheneidio dan lwyth o Athristiaid, &c. na chlywed fod anwyl fro ei enedigaeth yn llawn gweddi a mawl—a'i meibion a'i merched wrthynt eu hunain yn galw ar Dduw eu tadau.

TEOIDON.

## CYFRIF YSGOLION SABBATHOL DOSPARTH BANGOR, ARFON.

*O Mehefin*, 1838, *hyd Mehefin*, 1839.

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

YMDDIRIEDWYD y cyfrif hwn i'm gofal er ys hir amser bellach, i'w anfon i'r Drysorfa; ond rhaid i mi addef fy mod wedi bod yn rhy hir ymarhous, maddeued y sawl y troseddais yn eu herbyn. Ni bu llafur y Dosparth hwn yn argraffedig o'r blaen, ac os gwnewch ei gyfleu yn mhlith eich gwerthfawr drysorau chwi a foddhewch ugeiniau yma, ond nid neb yn fwy na'ch cyson ddarllenydd

IOTA GLAN MENAI.

*Bangor.*

| Enwau y lleoedd. | Yn y Llyfrau dechreuol. | Testamentau. | Biblau. | Athrawon. | Athrawesau | Arolygwyr. | Cyfan-rif. | Pennodau o'r newydd. | Pennodau a ail adroddwyd. | Cyfan-rif y Pennodau. | Adnodau. | Pennodau o'r Cyffes Ffydd. | Hyfforddwr. | Arweinydd i Wybodaeth. | Rhodd Mam, &c. &c. | Matterion Duwinyddol. | Cyfarfodydd Athrawon. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Rhiwgyfylchi. | 26 | 21 | 18 | 12 | 1 | 1 | 79 | 2167 | .. | .. | 1476 | .. | 125 | .. | 181 | 6 | 3 |
| Llanfair | 46 | 42 | 38 | 22 | 5 | 2 | 155 | 1525 | 115 | .. | 4098 | .. | 87 | .. | 87 | 7 | 8 |
| Aber | 24 | 16 | 9 | 9 | 2 | 1 | 61 | 203 | 413 | .. | 1001 | .. | 78 | .. | 80 | .. | .. |
| Cremlyn | 15 | 16 | 15 | 5 | .. | 2 | 58 | 896 | .. | .. | 1473 | .. | 163 | 147 | 165 | 9 | .. |
| Gatehouse | 41 | 38 | 67 | 20 | .. | 2 | 168 | 1492 | 672 | .. | 2884 | 45 | 76 | .. | 61 | 9 | 9 |
| Llanllechid | 54 | 60 | 58 | 32 | 2 | 2 | 208 | 2154 | 582 | .. | 6114 | .. | 232 | 210 | 257 | 8 | 15 |
| Carneddi | 215 | 247 | 126 | 110 | 21 | 6 | 725 | 6415 | 4290 | .. | 17711 | 195 | 793 | 610 | 2849 | 9 | 18 |
| Pen-y-benglog | 3 | 14 | 4 | 3 | .. | 1 | 25 | 834 | .. | .. | 321 | .. | 37 | 2 | .. | .. | .. |
| Nant Ty'n-y-maes | 52 | 44 | 32 | 22 | 3 | 3 | 156 | 1833 | 530 | .. | 2781 | 182 | 484 | 293 | 592 | 9 | 15 |
| Coed-y parc | 55 | 40 | 60 | 23 | 5 | 2 | 187 | 1544 | 1120 | .. | 2561 | .. | 486 | 33 | 183 | 9 | 14 |
| Pen y-groes | 68 | 37 | 53 | 30 | 6 | 3 | 217 | 2211 | .. | .. | 2576 | .. | 264 | 4 | 93 | 9 | 16 |
| Tyddyn iolyn | 13 | 8 | 12 | 6 | . | 1 | 40 | 292 | .. | .. | 395 | 4 | 3 | .. | 39 | . | |
| Capel Pentir | 30 | 29 | 30 | 15 | 2 | 1 | 107 | 957 | 1464 | .. | 1375 | .. | 97 | 57 | 17 | 6 | 10 |
| Waen Pentir | 37 | 18 | 16 | 14 | 2 | 1 | 88 | 630 | 713 | .. | 1921 | .. | 51 | 77 | 55 | 7 | 10 |
| Caerhun | 24 | 26 | 18 | 11 | 1 | 2 | 82 | 450 | 364 | .. | 1679 | .. | 4 | .. | 40 | 5 | 10 |
| Capel-y-graig | 58 | 75 | 36 | 26 | 10 | 4 | 203 | 1449 | 532 | .. | 5309 | .. | 31 | .. | 60 | 4 | 8 |
| Bangor | 139 | 108 | 119 | 56 | 14 | 7 | 443 | 3132 | .. | .. | 15210 | .. | 160 | .. | .. | 8 | 6 |
| Cyfanswm | 900 | 859 | 711 | 412 | 74 | 41 | 2997 | 28184 | 10795 | 38979 | 70885 | 426 | 3171 | 1435 | 4759 | .. | .. |

OWEN JONES, *Machine*, YSGRIFENYDD Y DOSPARTH.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Mawrth 5. Dyg Arg. Melbourne Archiad i'r Tŷ, wedi ei law-arwyddo gan wyth mil o dalwyr trethi yn ninas Llundain, yn erfyn cael diwygiad yn Nghyfraith Corphoraeth Llundain yn gyffelyb i'r diwygiadau a wnaed mewn Corphoraethau Bwrdeisdrefi ereill drwy y deyrnas.

*Tŷ y Cyffredin.*—Mawrth 5. Gwnaeth Mr. Ewart gynnygiad am i'r Tŷ ddyfod i benderfyniad am osod pen ar gospedigaeth angeuol am un math o drosedd; ond bod pob cospedigaeth o hyn allan yn gynnwysedig o ddyoddef, o gywilydd, o galedwaith, o gaethiwed, ac o garchariad, naill ai yn gyffredinol neu yn unigol. Cefnogodd Mr. Hawes y cynnygiad.

Dywedodd Arg. J. Russell fod rhesymiadau y gwyr a lefarasant yn hynod o rymus, a'u hamcan yn rhagorol o 'dirion. Er hyny nad allai efe ddim rhoi ei gydsyniad i ddodi pen yn hollol ar gospedigaeth angeuol yn mhob amgylchiad, ac ar bob achlysur, ond ei farn ef oedd mai gwell fyddai gofyn cenad i'r Tŷ am gael dwyn i mewn Ysgrif i'r perwyl, fel y gellid ychwanegu ati, tynu oddiwrthi, neu gyfnewid unrhyw ddosparth o honi wrth ei darllen yn y Tŷ, neu wrth ei hystyried mewn Eisteddfod. Ac â hyn cytunai Dr. Lushington. Ac wedi bod hir areithio ar y matter, rhanwyd y Tŷ a chafwyd ,

| | |
|---|---|
| Yn erbyn dwyn Ysgrif i mewn .. | 161 |
| O blaid Ysgrif................. | 90 |
| Mwy yn erbyn o ............ | —71 |

Mawrth 9. Dyg Arg. Morpeth Ysgrif Diwygiad Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon i'w darllen y drydedd waith. Gwrthwynebodd Syr G. Sinclair yr Ysgrif gyda mawr frwydfrydedd. Mr. E. Tennet yr un modd. Dywedodd Mr. Shaw nad oedd yntau ddim yn cydfyned â'r Ysgrif, ond etto, fod yn well ganddo iddi basio na bod Corphoraethau y Werddon yn aros fel y maent; gan obeithio hefyd y gwellheid yr Ysgrif cyn myned trwy y Tŷ uchaf. Ar hyn rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid y trydydd darlleniad .. | 182 |
| Yn erbyn.................... | 34 |
| Mwy o blaid, o ............ | —148 |

Felly fe ddarllenwyd yr Ysgrif hon etto y leni y drydedd waith, a phasiwyd hi drwy Dŷ y Cyffredin. Dyma y graig ag y mae y ddau Dŷ bob blwyddyn yn hollti arni. Ond beth a ddaw o honi y tro hwn yn y Tŷ uchaf, 'amser a ddengys.'

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Mawrth 10. Cynnygiodd Arg. Melbourne am gael darllen Ysgrif Diwygiad Corphoraethau y Werddon y tro cyntaf. Ac felly y bu: darllenwyd hi. Yna dywedodd Arglwydd Melbourne, i'r dyben o roi digon o amser i'w Harglwyddi i ystyried yr Ysgrif i fanylrwydd, y bydd iddo aros hyd y 30ain o'r mis heb gynnyg ei darllen yr ail waith.

Dyg Arg. Lansdowne Archiad i mewn, yr hon a luniwyd ac a law-arwyddwyd drwy gydsynied 1200 o wyr gwybodus a dysgedig, yn dymuno gwneud rhyw wellliant yn y dull a'r modd o osod Brech y buchod ar blant i'r dyben o attal y frech wen. Dywedodd nad oedd efe ddim am arfer moddion gorthrymus a gerwin yn y deyrnas hon, fel y maent yn gwneuthur mewn rhai o deyrnasoedd Ewrop, drwy ddirywio pob rhieni plant y rhai na ddygont eu plant i gael brech y buchod. Ond etto, mae yn amlwg fod eisieu i'r Senedd ddefnyddio rhyw foddion er gwelliant ar yr achos hwn. Mae y frech wen yn ail gymmeryd gafael marwol ar drigolion Brydain. Dywedodd, fod mewn rhai manau o'r deyrnas, lle yr oedd brech y buchod yn cael ei hesgeuluso, fod yno rai miloedd o farwolaethau wedi dygwydd o herwydd yr esgeulusdra. Fe wyddai ef am un ddinas yn neheubarth Brydain, lle y bu farw yn ddiweddar bum cant o bersonau o'r frech wen mewn un flwyddyn. Mae yn llawn bryd edrych i mewn i'r peth, a cheisio gwneud gwelliant gyda brys. Cydunai Arg. Ellenborough â'r cynnygiad. A dywedodd Arglwydd Normanby ei fod ef yn gweled y fath angenrheidrwydd am y gwelliant y soniai eu Harglwyddi am dano, fel y bydd iddo ef edrych i mewn i'r peth gyda manylrwydd.

*Tŷ yr Arglwyddi*—Mawrth 12. Dyg Arg. Ellenborough Ysgrif i mewn am gael gwell trefn i osod brech y buchod ar blant pawb, er mwyn attal ymgyrch marwol y frech wen. Darllenwyd yr Ysgrif y tro cyntaf, a phenderfynwyd ei darllen yr ail waith y dydd Llun canlynol.

*Tŷ y Cyffredin.*—Mawrth 12. Dyg Mr. Greene Adroddiad yr Eisteddfod i mewn yn nghylch uno Perchenogaeth y ffordd haiarn o Birmingham i Liverpool, yr hon a elwir *Grand Junction Railway*, â Pherchenogaeth y ffordd haiarn o Gaerlleon i Crewe Hall. Mae yr undeb hwn yn awr wedi ei orphen, ac fe ddysgwylir y bydd i'r ffordd o Gaer i Crewe gael ei hagor i dramwyo ar hyd-ddi yn mis Awst nesaf.

Rhoddodd Mr. Hume rybudd y bydd iddo ef yn mhen y pythefnos ddwyn archiad i'r Tŷ, ar fod i'r dogn-daledigaeth o £21,000 a delir yn flynyddol gan y deyrnas hon i Frenin Hanover, i gael ei attal o hyn allan, tra y byddo efe yn parhau i fod yn Frenin yn y lle hwnw.

RHYFEL YN CHINA.

Gofynodd Mr. McKinnon i Arg. J. Russell, pa un a oedd yn hysbys i'r Llywodraeth fod Llywydd Cyffredinol yr India Ddwyreiniol wedi cyhoeddi rhyfel â China. Atebodd yntau, Nad oedd y Llywodraeth ddim mewn meddiant o un hysbysrwydd Swyddawl fod unrhyw weithred yn cynnwys Cyhoeddiad o ryfel wedi ei gwneuthur yno. Fe roddwyd hyfforddiant gan y Llywodraeth i Lywydd Cyffredinol yr India i wneuthur rhyw barottoadau; ac er na dderbyniwyd unrhyw hysbysiad Swyddawl, etto mae yn ddiau ddarfod i'r cyfarwyddiadau hyny roddi achlysur i'r peth fyned allan yn y modd a grybwylla Mr. McKinnon.

## LLOFRUDDIAETH! LLOFRUDDIAETH!!

Ar nos Lun, y 24ain o Chwefror diweddaf, ymosodwyd ar dŷ Shadrack Lewis, Parc-y-drolfa, yn Mhlwyf Clydeu, Swydd Benfro, gan ddau ddyn (os teilwng o'r enw), un o honynt wedi ymwisgo â dillad menyw, a'r llall yn ei ddiwyg priodol, ill dau, tebygid, wedi duo eu hwynebau, er ymddieithrio, wrth gyflawni eu direidwaith melldigedig.

Tu ag 11 o'r gloch y noswaith grybwylledig, torasant dwll yn nen y tŷ, â bwyall, ac wrth y sŵn, deffröodd y teulu, (cynnwysedig o dad a thri o blant) a chyfodasant o'u gwely, i'r dyben o amddiffyn eu hunain, neu ffoi am eu bywyd. Ymddiffynodd Shadrack Lewis ei hun, ac ymosododd ar y llofruddion â phigfforch, trwy y twll oedd yn nen y tŷ. Ond cafodd un o honynt gyfle i roddi ergyd ar ei fraich ddeau â'r fwyall, nes aeth i mewn i'w benelin rhwng yr esgyrn, a'r canlyniad fu, iddo golli defnyddioldeb ei fraich. Ac yna dygasant y bigfforch oddiarno.

Yn ganlynol, gwelodd mai anmhosibl oedd iddo amddiffyn ei hun rhagddynt, efe a'i dri bachgen a adawsant y tŷ, ac a geisiasant ffoi am eu bywydau. Ond y llofruddion mileinig a ganlynasant ar ol y tad, sef S. L. ac a'i curasant ef yn druenus â rhyw arfau, na wyddys yn iawn pa fath, ac yntau yn gwaeddi *murddwr! murddwr!* amryw weithiau, a dywedai, 'O! peidiwch a'm lladd! mae genyf *enaid*.' Rhedai o'u blaenau, a hwythau yn ei ddyrnodio, am oddeutu pedwar cant o latheni, nes iddo gyrhaedd drws tŷ un o'i gymmydogion, ac yn y fan hono rhoddasant iddo ergydion marwol. Curasant ef nes dryllio ei ben yn arswydus, nes oedd ei waed yn llifo; ac wedi i'r llofruddion gyflawni eu hamcan melldigedig arno, gadawsant ef i ymdrybaeddu yn ei waed. Ond teulu y tŷ hwn, gyda chynnorthwy ereill o'u cymmydogion, a'i dygasant ef i mewn i'r tŷ, a bu fyw mewn agwedd alaethus, ac mewn poen dirfawr dros 24 o oriau.

Y plant a ffoisant yma a thraw am eu bywyd; ond dilynodd yr ail fab o hirbell ar ol ei dad, ac yr oedd yn llygad-dyst o'r olygfa druenus; a thywyllwch y nos a'i hachubodd yntau rhag y cyffelyb driniaeth. Cynnaliwyd 'Ymofyniad Ynad llofruddiaeth,' ar y corph, a dychwelwyd y rheithfarn o, Llofruddiaeth wirfoddol yn erbyn rhyw bersonau anadnabyddus. Mae ymchwil egniol a manwl, yn cael ei wneyd, er cael gafael ar y llofruddion: ond er pob ymdrech o eiddo holl foneddigion yr ardaloedd, dan leni tywyllwch mae'r cwbl hyd yn hyn.

Yr oedd y trengedig oddeutu 60 oed, treuliodd ei ddyddiau goreu, yn ngwasanaeth ei Frenin, yn ymladd rhyfeloedd ei wlad, ac yr oedd wedi ennill iddo ei hun barch pawb ag oeddynt gydnabyddus âg ef, pan yn y gwasanaeth anrhydeddus hwnw; a daeth adref o faes y gwaed yn ddiogel, ac yr oedd yn cael rhyw gymmaint o wobr, dâl *(Pension)* blynyddol am ei ffyddlondeb. Ond er iddo ddiangc â'i fywyd, megis yn ysglyfaeth, o ganol y mwg a'r tân; a dyfod yn ddiangol o fysg difrod *Waterloo*, adref i'w fro a'i wlad enedigol, i blith ei berthynasau, a fu farw yn druenus trwy ddwylaw llofruddiog ei gymmydogion ei hun! Ennillodd, yn anffodus iddo ei hun, ddrwg ewyllys llawer o'i gymmydogion trwy ei fod yn gofalu am ryw goedydd yn yr ardal dros foneddigion parchus y gymmydogaeth. Ond pwy bynag fu yn cyflawni y gorchwyl melldigedig, gwybydded y cyfryw, er y gallant ddiangc rhag cleddyf yr awdurdod, y byddant yn nod i ddwyfol ddialedd yn y byd hwn a'r hwn a ddaw.

Bu yr amgylchiad hwn yn achos o ganlyniadau tra gofidus. Mae amryw yn gleifion yn y gymmydogaeth o herwydd y cyffroad. Ar ddydd Gwener diweddaf, pan oedd dau ddyn yn myned trwy Cilgerran gyda'r *Police Officers* i gyfarfod yr Ynadon, aeth y gair ar hyd ~~y Dref~~ mai hwy oeddynt y llofruddion, a rhyw wraig, wrth edrych arnynt, a gyffrowyd mor ddwys, nes y syrthiodd yn farw yn y fan!

Drwg genym fod y fath farbareidd-dra wedi ei gyflawni mewn gwlad Gristionogol; ïe, mewn cymmydogaeth mor grefyddol. Mae yn nod du ar Gymru yn y pedwaredd ganrif ar bymtheg, ïe, yn y flwyddyn 1840.

*Mawrth* 10, 1840. J.

*Rhyfel â China.*—Dydd Mercher, Mawrth 11eg, cyrhaeddodd y newydd o'r India i Frydain fod rhyfel wedi cael ei chyhoeddi yno yn erbyn China fawr. Felly y mae pob masnach â China wedi ei lwyr attal; ac y mae parotoadau mawrion yn cael eu gwneyd yn yr India Ddwyreiniol, ac yn Mrydain tuag at ryfela â China: llongau agerdd, a llongau rhyfel mawrion ereill, yn cael eu trefnu a'u parotoi i fyned allan gyda brys.

Testyn dochrwedd y ffrae oedd hyn:—Byddai Brydain yn cyfnewid llawer iawn o *Opium* am *Dea* gyda'r Chineaid, gan roddi y *drug* hwnw iddynt yn lle arian. Yr oedd, ac y mae y Chineaid agos mor hoff o smocio *Opium*, ag yw y Gwyddelod o yfed *Whisci*; ac y mae y naill yn cael lled gyffelyb effaith ar y smocwyr ag y mae y llall yn ei gael ar yr yfwyr, sef eu meddwi hwynt. Ar yr achlysur hwn gwnaeth Ymerawdwr China gyfraith i roi attalfa ar y fasnach. Ond *smugglo* yr oedd rhai o hyd. Yr oedd gan fasnachwyr Brydain lawer iawn o *Opium* mewn Ystordai yn China; ac yn eu mileindra, fe roddes yr awdurdodau goruchel yn China orchymyn allan am roi yr holl *Opium* perthynol i Frydain ar dân, ac felly, fe'i llosgwyd, ac ni wrandawent ar gais y Llyngesydd Elliot oedd yn y fan; ond lladdasant rai o'r llongwyr ag oeddynt wedi eu hanfon gan Elliot i ymhwedd â'r awdurdodau am arbed eiddo Brydain. Ymddygodd y Chineaid yn hynod o greulon tuag at y Brydeiniaid, o herwydd, yn y diwedd hwy a naccasant yn hollol a gwerthu bwyd iddynt i'w cadw rhag newynu i farwolaeth. Ac oni buasai iddynt anfon llongau i wledydd cymmydogaethol, llewygu i farwolaeth a wnaethai llawer o honynt. Nid ydym ni yn meddwl ein bod yn ddigon gwybodus i roi barn ar achlysur y rhyfel hwn, ac ni ddylai neb o honom gynnyg gwneyd hyny hyd oni ddel yr achos ger bron y Senedd, yna cawn glywed yr holl resymau yn erbyn ac o blaid ymddygiad Brydain ac ymddygiad China.

*Y Fynedfa dan afon Lundain.*—Mae cyfarfod blynyddol newydd fod ar yr achos hwn. Ac yn y cyfarfod, fe ddarllenwyd Adroddiad yn nghylch sefyllfa y gwaith. Mae yn ymddangos ddarfod treulio eisoes ar yr anturiaeth gostus hon y swm mawr o £363,000; ac fe gyst y gwaith oll wedi y gorphenir ef £500,000, sef pum can mil o bunnau. Fe weithiwyd arno yn nghorph y flwyddyn ddiweddaf i'w yru yn mlaen 245 o droedfeddi. Ac wedi ei yru yn mlaen etto am 60 troedfedd, fe fydd ei ben pellaf yn cyrhaeddyd y tu hwnt i wely yr afon, hyd at fûr Porthfa Wapping.

*Matthewaeth.* — Matthewaeth y geilw rhai waith un Matthew, Offeiriad Pabaidd yn y Werddon, yr hwn sydd wedi gwneyd ei hun yn enwog iawn, drwy gymmell y Gwyddelod, fach a mawr, i droi yn Ddirwestwyr o'u cwr; ac y mae yn llwyddo tu hwnt i ddysgwyliad neb byw. Mae wedi llwyddo cymmaint mewn attal yfed diodydd poethion, nes ydyw Cyllid y llywodraeth a gasglwyd y chwarter diweddaf yn ninas Cork a'i dosparth, am werthiant y cyfryw ddiodydd, yn llai na'r unrhyw gyfartal chwarter o'r flwyddyn o'r blaen o £23,060. Ac yn Fermory, mae casgliad Cyllid y llywodraeth yn llai yn yr un chwarter na'r chwarter cyfartal yn y flwyddyn o'r blaen o £11,000. Dyma Babydd yn gweithio yn dda, ac yn gweithio gwaith da. Llwydd iddo yn hyn, boed a fyno.

*Rhybudd i Rieni plant.*—Ar ol mynych rybudd, wele rybudd etto; ac yn mhlith y damweiniau mwyaf alaethus a fum yn llygad-dyst o honynt yn y lle mawr hwn, gallaf ddywedyd fod hon gyda'r fwyaf felly.

Ar nos Lun, oddeutu pymthegnos yn ol, dygwyd geneth fechan wyth oed yma wedi llosgi yn drwm iawn trwy i'w dillad ennynu yn fflam pan ydoedd yn goleu canwyll. Yr oedd y llosgiad mor drwm, fel nad oedd un fodfedd iach arni o'i choesau i'w choryn. Yr oedd dyn yn pasio heibio ar y pryd, a chlywai waeddi mawr yn y tŷ, ond meddyliodd mai y rhieni oedd yn ceryddu y plant; ond wrth ganfod goleu mwy na chyffredin trwy dwll y clo, aeth i mewn i'r tŷ, a gwelai yr eneth yn un wenfflam fawr. Tynodd ei *goat* oddi am dano, a rholiodd hi ynddi, er diffodd y fflamau, yn yr hyn y llwyddodd; ond er y cwbl, bu farw y fechan mewn poen a gofid mawr yn mhen un awr ar ddeg. Nid oedd y rhieni ond newydd fyned allan, ond chwerw fu y brofedigaeth iddynt.

T. J. Williams.

*Infirmary Caerlleon.*

---

**PRIODWYD,**

Mawrth 12, yn Eglwys Sant Dewi, Llynlleifiad, gan y Parch. Robert Davies, Mr. John Jones, Coop Street Manchester, â Miss Maria Roberts, merch y diweddar Mr. Robert Roberts, Abergele.

Mawrth 10, yn Eglwys St. Oswald, yn Nghaerlleon, gan y Parch. W. Harrison, Mr. W. M. Wallis, Gwerthwr Llieiniau, Treffynon, â Miss Mary, unig ferch y diweddar Mr. Evan Jones, o Gaerlleon.

**MARWOLAETH.**

Ar y 10fed o Chwefror, yn y Wyddgrug, ar ol hir gystudd, yn 43 mlwydd oed, Mrs. Mary Lloyd, gwraig Mr. Hugh Lloyd, *Grocer*, (gynt o'r Berthen gron.) Gadawodd briod a dau fab a saith o ferched amddifaid i alaru eu colled ar ei hol. Perchid hi yn fawr gan liaws o gymmydogion a chydnabyddion, gan ei chyfrif yn wraig serchog, yn fam dyner, ac yn gymmydoges hawddgar. Ond ffyrdd yr Arglwydd ydynt anolrheinadwy. Yn nghanol bywyd, angau a ddaeth, ac heb na thosturi nac arbediad, yn nghanol defnyddioldeb; ie, pan, yn ein golwg ni, yr oedd ei mawr eisiau, hi a gymmerwyd ymaith, ac a wnaed yn gymmwys yn unig i'r arch ac i'r bedd. Duw a roddo ras i'w phriod a'i phlant, ac a'u haddfedo hwy a ninnau i rodio y llwybr, ar hyd yr hwn ni ddychwelwn. T. Jones.

*Wyddgrug, Glan-yr-Afon.*

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXIII.] MAI, 1840. [LLYFR X.

## CRYNODEB O BREGETH

Y DIWEDDAR BARCH. ROBERT ROBERTS, CLYNOG, A DRADDODWYD GANDDO YN HENLLAN, MAWRTH 1, 1802, AC A YSGRIFENWYD WRTH EI GWRANDO GAN Y DIWEDDAR MR. DANIEL JONES, DINBYCH.

"Yr hwn sydd ganddo agoriad Dafydd; yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw neb yn cau, ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd."—DAT. 3. 7.

I. MAE yn'ddiammeu mai yr Arglwydd Iesu Grist ydyw y person a nodir yn y testun, yr hwn a welodd Ioan ar ddydd yr Arglwydd, 'â'i draed yn debyg i bres coeth,' Pen. 1. 10, 15. Gelwir ef, yn nechreu adnod y testun, 'y Sanctaidd, y Cywir;' ac fel y mae ei enw, felly y mae yntau. Y mae yn sanctaidd a chywir—fel Duw—fel dyn—fel Cyfryngwr—yn ei holl ditlau, ac yn ei holl swyddau.

*Yr hwn sydd ganddo agoriad Dafydd.*—Y mae agoriad yn arwyddo awdurdod a llywodraeth: rhoddwyd iddo ef bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear. 'Agoriad Dafydd:' cysgod o'n Iesu ni oedd Dafydd. Yr oedd Dafydd yn teyrnasu ar bobl gyfammodol Duw; felly Crist, y mae yn teyrnasu ar ddeiliaid y cyfammod gras. 'Efe,' medd yr angel, 'a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd,' &c. 'Ei freniniaeth,' medd Daniel, 'ni roddir i bobl ereill.' 'Bydd y llywodraeth,' medd Esaiah, 'ar ei ysgwydd ef.' Yr ydwyf yn credu, fy mrodyr, fy mod dan lywodraeth gwr a ddaw â'm gelynion yn ddigon isel eu *clep* yn fuan,—y mae *pob* awdurdod yn ei law ef.

1. Y mae ganddo lywodraeth ar ei holl greaduriaid. 2. Llywodraeth gyfryngol:—gwr mawr yw ein Iesu ni, a chewch weled hyny yn fuan:—y mae holl lu y nef, holl greaduriaid y ddaear, a charcharorion uffern, yn plygu o'i flaen fel Arglwydd pawb oll; ac y mae yn goruwch-lywodraethu pob peth er daioni i'w saint;—Mae yn dyrysu cyngor Laban i'r dyben o arbed Jacob —mae yn ceryddu ei blant rhag eu damnio gyda'r byd. Duw ydyw, yn eu harbed, ie, pan y mae yn dial am eu dychymygion. Byddaf yn rhyfeddu bod ffordd gan Dduw i geryddu priddyn heb ei ddryllio.—O, syndod! rhoddi ei law arno heb ei chwilfriwio! Wrth glywed ambell i wraig yn gorchymyn i'r forwyn ofalu rhag dryllio y llestr pridd, byddaf yn meddwl am ofal ein Iesu dros lestri pridd: yn eu symud weithiau ar *sliff* parch, ac oddiyno i *silff* anmharch, tlodi, cystudd, heb eu dryllio.

II. Yn nesaf, y gwaith a briodolir iddo, '*Yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw neb yn cau;* ac yn cau, ac nid yw neb yn agoryd.'

*Agorodd y prophwydoliaethau*, ac ni ddichon neb eu cau. Yr oedd y prophwydoliaethau fel afonydd â'u sŵn i gyd am Grist, ac yn cydredeg i'r môr mawr yma, sef Crist:—weithiau yr oeddynt fel afonydd yn rhedeg dan y ddaear yn anhawdd i'w gweled, ac yna yn byrlymu allan yn oleu ddysglaer—felly yr oedd yr holl brophwydoliaethau; Crist oedd eu sylwedd: gallasai yr Arglwydd Iesu ddywedyd am bob un o honynt, 'Am danaf fi y mynegodd efe.' Efe ydoedd y Siloh a ganfu Jacob, prophwyd Moses, y bachgen a barodd i Esay ganu, 'Bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef:' planhigyn Ezeciel, llywydd Micah, blaguryn Zecharia; ac ar doriad y wawr, canfu Malachi ef fel Haul cyfiawnder.—Yn Methlehem Juda dacw yr holl ffrydiau yn cydgyfarfod yn y 'mab bychan!' a braidd na feddyliwn fod yr holl brophwydi yn syllu o'r nefoedd tua Bethlehem; ac wrth weled y 'mab bychan' yn y cadachau, gwaeddai Jacob, 'dacw fy Siloh i wedi ymddangos,'—'a'm prophwyd innau,' meddai Moses,—'a'm tywysog innau, meddai Micah,'—'a'm planhigyn innau,' meddai Ezeciel,—

'a'm haul innau,' meddai y prophwyd Malachi.

*Agorodd y cysgodau.*—Efe ydyw eu sylwedd oll,—'A phen ar y pethau a ddywedwyd yw hyn; y mae genym y fath Archoffeiriad; yr hwn a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfaingc y mawredd yn y nefoedd, yn weinidog y gyssegrfa a'r gwir dabernacl.' *Agorodd athrawiaeth y Prophwydi*, ar y mynydd. *Agorodd y deg gorchymyn*,—dangosodd bod Duw yn edrych ar y galon; dangosodd ysprydolrwydd y gyfraith. Mat. 5.

Wedi hyny *agorodd athrawiaeth adgyfodiad y meirw.*—Cymmerodd fantais i ddangos yr athrawiaeth hon oddiwrth dystiolaeth Duw i Moses wrth y berth, 'Myfi yw Duw Abraham,' &c. nid myfi *oedd*, ond 'myfi *yw*;' rhaid gan hyny bod Abraham mewn bod y pryd hwnw.

*Agorodd galonau y ddau ddysgybl* wrth fyned tuag Emmaus. Yr oedd ei lywodraeth trwy losgiad a chyneu tân—nid oedd trwst *cannons* ganddo ar y daith; er hyny, yr oedd calonau y ddau yn llosgi ynddynt; yr oedd yma losgiad a chynneuad tân.

*Agorodd ffordd gyfreithlawn i bechadur i gael dyfod at Dduw*, ac ni ddichon neb ei chau: na fydded perchen enaid yn freuddwydlyd wrth wrando ar y pwngc mawr yma; sef agor ffordd i *transports* Eden i ddyfod yn ol adref at Dduw:—troes yr Adda cyntaf ni dros y drws; ond diolch am yr ail Adda, a agorodd ffordd i ni i gael dyfod yn ol! a dyna y modd, 'Aeth i mewn i'r cyssegr, nid trwy waed teirw a lloi, ond trwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhad:'—i'r *cyssegr*, sef i *breswylfod y Duwdod*:—nid perswadio y Duwdod a ddarfu i Grist i ddyfod drosodd i'n tir ni, ond aeth ef i dir Duw i roddi Iawn, fel y gallai Duw yn gyfreithlawn ddyfod i'n tir ni gyda maddeuant.

Yr oedd yn rhaid cael allor a gwaed; yna, wele y deg a thriugain yn myned dros y terfyn: 'Arglwydd, a leddi di hwynt?' 'Na wnaf,—dyma hwy yn dyfod i chwilio am danaf i'm tir fy hun a gwaed gyda hwynt, yr wyf finnau yn foddlawn!' Diolch iddo am gofio llwch y llawr.

Aeth Crist i breswylfod y goruchel, a'r dyrchafedig, i'w dir ei hun; ac wrth gychwyn, y mae yn dywedyd wrth ei ddysgyblion eiddil, 'Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod; y mae môr pur arw rhyngof â'm Tad, ond mi a drof ben fy llestr i wyneb y tònau, nes y byddont dangnefeddus.' Haleluia! Tua'r chweched awr yr oedd hi yn dywyll iawn ar y groes—y seithfed go debyg—ond ar y nawfed, dacw y ffordd wedi ei hagor—'*Gorphenwyd!*' Yn awr, y mae rhyddid i ninnau i fyned ar ei ol: os collasom y frwydr yn Mharadwys, cawsom hi yn lle y benglog. Bechaduriaid, gan hyny, ffowch ato am eich bywyd.

*Gwrecsam.* J. Jones.

---

## DYFYNIAD O CHARNOCK.

Gof.—Beth sydd yn gwneyd aberth Crist yn gymmeradwy gan Dduw, ac yn effeithiol i ninnau?

At.—Mawredd ei berson. Nis gall yr hyn sydd is fod yn orphwysfa ac yn foddlonrwydd i natur sydd uwch; gan hyny, nis gall dim ond anfeidroldeb fod yn orphwysfa ac yn foddlonrwydd Bod anfeidrol. Nis gallasai sancteiddrwydd a daioni neb, neu yr holl greaduriaid, wneyd aberth teilwng o dderbyniad gan Dduw. Nid oedd sancteiddrwydd creadur yn anfeidrol i ateb drwg anfeidrol pechod, ac i gyfateb sancteiddrwydd anfeidrol Duw, ddim mwy nag y gallasai gwendid creadur ei wneyd yn ddigon cryf i ddyoddef ergydion cyfiawnder anfeidrol. Gan nad yw y nefoedd yn bur yn ngolwg Duw, a'r angylion, os cydmerir âg ef, nid ydynt ryddion oddiwrth wagedd, Job 15. 15. a 4. 18. mae yn angenrheidiol fod i'r hwn y mae Duw yn gorphwys ynddo, i ragori, nid yn unig ar gymmeriad a pherffeithderau angylion, ond sefyllfa unrhyw fod meidrol.

Os na all yr angylion sanctaidd fod yn orphwysfa i Dduw, o herwydd eu cyfnewidioldeb naturiol yn wahanedig oddiwrth ras cadarnhaol Duw, llawer llai y gall dyn sydd aflan, ac 'yn yfed anwiredd fel dwfr;' oblegid pa urddas bynag a ellid ystyried yn ei berson i gyflwyno yr aberth; gellid ei ystyried yn ei drosedd hefyd i fwyhau euogrwydd. Ond mawredd y person yma yn unig sydd i'w ystyried yn yr aberth, oblegid nid oedd ganddo un trosedd i'w fwynhau trwy yr ystyriaeth o hono, wedi ei offrymu, nid am un pechod o'i eiddo ei hun, ond am bechodau rhai ereill. Yr oedd yr aberth hwn o werth anfeidrol, am hyny yn deilwng o dderbyniad natur anfeidrol; yr oedd cymmaint mawredd yn ei Berson a'r Tad, i'r hwn yr offrymwyd ef. Yn 'ddys-

gleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei Berson.' Heb. 1. 3.

Fel y mae cyfryngiad tywysog yn llawer mwy rhagorol nag un gwreng, a phen brenin yn fwy ei werth na phen deiliad; yr oedd person un Dafydd yn werth mwy na deng mil o'r Israeliaid cyffredin. 2 Sam. 18. 3. Ac fel y mae person Crist, felly mae dyoddefiadau y person hwnw yn fwy eu gwerth na chyrph ac eneidiau yr oll o ddynion.—Mae yr atebiad yn cynnwys pedwar o bethau ereill.

*Ystrad Isaf.* IAGO.

---

## CYFAMMOD Y PRYNEDIGAETH.

*Gan y diweddar Barch.* WILLIAM JONES, *Dol-y-fonddu.*

MAE y Drindod yn Undod wedi cydymrwymo yn Nghyfammod y Prynedigaeth.

Fe ordeiniodd y Tad y Mab i fod yn Gyfrathachwr, yn Fachniydd, Prynwr, a Phen i'w bobl etholedig, ac a ymrwymodd i roddi cymmorth digonol iddo i fyned yn orchfygol trwy y gwaith yn ei gnawdoliaeth a'i berffaith ufudddod, ei ddyoddefiadau a'i farwolaeth boenus ar y groes, ei adgyfodiad a'i eisteddiad ar ei ddeheulaw yn y goruwchleoedd. Fe ymrwymodd y Mab i gymmeryd natur ddynol i undeb â'i Berson Dwyfol i ddyfod i ddeddfle ei bobl, i ufuddhau yn eu lle, i ddyoddef a marw yn eu lle, a gwneyd Iawn digonol i ofynion cyfiawnder am eu pechodau, ac adgyfodi er cyfiawnhad y personau hyny a etholwyd ynddo cyn seiliad y byd.

Fe ymrwymodd yr Yspryd Glân i fod yr effeithiol anorchfygol ras i fod trwy yr efengyl yn Yspryd o argyhoeddiad i argyhoeddi o bechod, o gyfiawnder, ac o farn, i gymmeryd o eiddo Crist yn yr hwn y mae yr anchwiliadwy olud yn drysoredig; yn yr hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig, a'i mynegi i ni —i fod yn Yspryd ffydd i'n cynnorthwyo i gredu yn Nghrist i gadwedigaeth yr enaid, yn Yspryd o Fabwysiad i'n dysgu i lefain Abba Dad; yn Yspryd sancteiddiad, a marwhad pechod; yn Yspryd o ddyddanwch i ddyddanu y saint yn eu holl orthrymderau; yn Yspryd o seliad i'n selio hyd ddydd prynedigaeth, ac yn *ernest* o'r etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig sydd yn nghadw i'r saint yn y nefoedd, a'r pryd y daw y saint i fwynhad cyflawn o'r etifeddiaeth yma, hwy a gant eu gogoneddu byth mewn tragywyddol ogoniant.

*Machynlleth.* J. JONES.

---

## BODDLONRWYDD.

"Ond elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd."—1 Tim. 6. 6.

FE allai y bydd y *saith rheswm* canlynol, ag sydd yn dangos y dylai pob dyn fod yn foddlawn i'w sefyllfa, yn fuddiol i lonyddu meddwl ambell un, ag sydd yn y dyddiau terfysglyd hyn, yn anfoddlon i'r hyn a osododd Duw yn ei ran.

1. Y mae genyt fwy nag a ddaeth gyda thi i'r byd.
2. Y mae genyt fwy nag oedd gan Grist fel dyn.
3. Y mae genyt fwy nag wyt yn ei haeddu.
4. Y mae genyt fwy nag wyt yn ei iawn ddefnyddio, ac nag wyt yn ei ddiolch am danynt.
5. Mae genyt gymmaint ag y mae Duw yn ei weled fod yn dda roi i ti.
6. Mae genyt fwy nag oedd gan lawer un o anwyl blant Duw.
7. Os yw Crist a'i ras ef genyt, mae genyt ddigon, ac ni bydd byth eisieu arnat.

BENJAMIN EVANS.

*Llwyn-y-grawys.*

---

## DWYFOLDEB CRIST.

DAU wr boneddig un tro a ddadleuent yn nghylch Dwyfoldeb Crist. Un o honynt yn groes i hyny a ddywedodd, 'Pe byddai yn wir, y mae yn sicr y byddai wedi ei fynegi mewn geiriau mwy amlwg ac anwadadwy.' 'O'r goreu,' meddai y llall, 'cymmerwn yn ganiataol eich bod chwi yn ei gredu, a'ch bod yn cael eich awdurdodi i'w ddysgu, ac yn cael cenad i arferyd eich iaith eich hun, pa eiriau fuasech yn eu harferyd er gwneuthur yr athrawiaeth yn hollol ddiymwad?' 'Mi a ddywedwn,' meddai yntau, 'mai Iesu Grist yw y gwir Dduw.' Y llall gan ateb a ddywedai, 'Yr ydych wedi bod yn happus iawn yn eich dewisiad o'ch geiriau, canys yr ydych wedi digwydd taro yn gymmwys ar eiriau ysprydoliaeth. Ioan wrth lefaru am y Mab a ddywed, 'Hwn yw y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol.'

GEORGIUS.

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

(Parhad o'r Pregethau yn Harlech, Meirion.)

*Gan y Parch. G. Solomon, Llanbedrog, Sir Gaernarfon, Sabbath, Tachwedd* 27, 1831.

2 Petr 1. 19. 'Ac y mae genym air sicrach y prophwydi,' &c.

Y mae y testyn hwn yn dal allan Ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau, mai gwir air Duw ydynt, ac mai dynion sanctaidd Duw a'i llefarasant, megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glân.

Y mae amryw resymau yn profi eu bod o Dduw. Ni buasai neb ond efe yn gwybod am bethau oedd i ddyfod yn mhen cannoedd o flynyddoedd; ac y mae cyssondeb holl ranau yr Ysgrythyrau â'u gilydd, er eu hysgrifenu gan wahanol bersonau, mewn gwahanol oesoedd, yn nghydag eangder a dyfnder y gwirioneddau a gynnwysir ynddynt, a'u hawdurdod a'u heffeithiau ar galonau a bucheddau dynion; eu cynnaliad a'u cadwraeth barhaus yn y byd yn ngwyneb ymosodiadau yr awdurdodau cryfaf ar y ddaear i geisio eu diddymu; ffyddlondeb, duwioldeb, a hunan-ymwadiad eu hysgrifenwyr. Y mae y pethau hyn, yn nghydag amryw bethau ereill, yn profi allan o bob dadl mai pur air Duw ydyw yr holl Ysgrythyrau.

---

*Gan y Parch. John Peters, Trawsfynydd, Sabbath, Rhagfyr* 11, 1831.

Ioan 1. 11, 12. 'At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun ni's derbyniasant ef.' &c.

At yr Iuddewon y daeth Crist yn gyntaf, ac Iuddew oedd yntau o ran ei natur ddynol—ond ychydig iawn a'i derbyniasant: 'Cynnifer a'i derbyniasant, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw.' Mae llawer etto fel Naaman y Syriad na fynant eu hachub yn llwybr Duw.

Os derbyniwn Grist, byddwn mor sicr o fyned i'r nefoedd ag Abraham, a'i dderbyn fel Brenin, fel Prophwyd, fel Offeiriad, fel Ceidwad, fel Noddfa; ac yn yr oll ag yw i bechadur, a'i dderbyn yn ewyllysgar, ac o barodrwydd meddwl.

---

*Gan yr un gwr, Sabbath, Ion* 1, 1832.

Datguddiad 3. 4. 'Eithr y mae genyf ychydig enwau, íe, yn Sardis, y rhai ni halogasant eu dillad; a hwy a rodiant gyda mi mewn dillad gwynion: oblegid teilwng ydynt.'

Sylw I. Y pethau sydd raid i ni eu cael i rodio gyda Christ.

1. Bod mewn heddwch â Duw yn Nghrist.

2. Bod mewn cymdeithas â Christ. Wrth rodio mewn cymdeithas â Christ y mae y Cristion yn cynnyddu mewn gras, ac yn cael llawer o gysuron.

II. Y peth a feddylir wrth ddillad gwynion, sef sancteiddrwydd buchedd, a hyny yn arwydd iddynt y cânt orchfygu eu holl elynion, a bod gyda Christ am byth.

---

*Gan Mr. Evan Foulkes, Llanuwchllyn, Ionawr* 9, 1832.

Ezeciel 47 12. 'Ac wrth yr afon y cyfyd, ar ei mîn o'r ddeutu, pob pren ymborth; ei ddalen ni syrth, a'i ffrwyth ni dderfydd, &c.

Wrth yr afon y meddylir yr Iachawdwriaeth, yr hon y mae ei tharddiad o Dduw yn unig: trwy hon y mae Duw yn codi dynion i fod yn ffrwythlon ac yn ffyddlon drosto yn y byd, tra byddont mewn cymdeithas â Duw, ni pheidiant a ffrwytho. Hefyd y mae y testyn yn golygu Pren y bywyd, sef Crist, yr hwn sydd a'i ffrwyth arno bob mis, a'i ddail, sef yr addewidion, yn feddyginiaeth i glwyfau ei bobl.

---

*Gan Mr. Dafydd Cadwaladr, Bala, Ionawr* 27, 1832.

Titus 2. 11, 12. 'Canys ymddangosodd gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn; gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol,' &c.

Wrth ras Duw y meddylir yn 1. Y bwriad grasol oedd gan Dduw i ddanfon ei Fab i'r byd i fod yn Achubwr i bechaduriaid; a'r lle cyntaf yr ymddangosodd oedd yn yr addewid yn Eden, y byddai i Had y wraig, sef Crist, ysigo pen y sarph. Yn 2. Wrth ras Duw y meddylir yr anian rasol y mae efe yn ei rhoddi yn y Cristion. Y mae gras yn gyssylltiedig â gwirionedd, ac â gwybodaeth, â doethineb, ac â chyfiawnder, â gweddiau, â sancteiddrwydd, â gogoniant: ac y mae y dyn grasol yn fendith yn mhob man lle y byddo.

*Gan y Parch. Richard Jones, Wern, Sabbath, Mawrth*, 18, 1832.

HEBREAID 4. 16. 'Am hyny, awn yn hyderus at orseddfaingc y gras,' &c.

Yr oedd yr holl aberthau a'r cysgodau yn dywedyd fod un mwy na hwy i ddyfod; a'r offeiriaid, a'r drugareddfa, a'r allor yn dywedyd yn eu hiaith fod eisieu un gwell na hwy. Y tân yn difa yr aberthau, a marwolaeth yn lluddias i'r offeriaid fyw.

Nid oedd neb yn gallu nesâu yn hyderus at Dduw o dan yr hen oruchwyliaeth, yr oeddynt yn ofni ac yn crynu rhag na dderbynid eu haberth; ond yn awr y mae Crist wedi dyfod i gyflawni yr holl gysgodau, ac y mae Duw yn ein galw i ddyfod yn hyderus at ei orsedd yn enw yr Archoffeiriad mawr, sef Crist, ar *drust* pa un y cafodd holl dduwiolion yr Hen Destament fyned i'r nefoedd.

---

*Gan yr un gwr, Sabbath, Mai* 13, 1832

HEBREAID. 6. 18. 'Fel trwy ddau beth dianwadal, yn y rhai yr oedd yn anmhossibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen.'

Sylw 1. Wrth y ddau beth dianwadal y meddylir llŵ Duw a'i addewid, neu ei air. Y mae yn angenrheidiol, cyn y gallom gael cysur cryf, fod genym ffydd i ddefnyddio yr addewidion, ac amynedd i ddysgwyl wrthynt. Nid oes dim yn y byd hwn yn ddianwadal, ac â defnydd cysur cryf ynddo, ond yr hyn a ddywedodd Duw yn ei air.

II. Am ffoi. Yr oedd y dinasoedd noddfa (i'r llofrudd ffoi iddynt am ei fywyd rhag dialydd y gwaed) yn gysgodau o Crist. Yr oedd y dinasoedd noddfa yn diogelu bywyd y llofrudd, am eu bod o appwyntiad Duw, felly y mae Crist wedi ei osod gan Dduw. Y mae pedwar peth mewn ffoi, sef yn

1. Gweled y perygl o aros
2. Gwybod am y fan i ffoi.
3. Gwybod am yr amser i ffoi.
4. Ei ddefnyddio mewn pryd.

---

TRAETHAWD AR DDYSGU PLANT YN FOESOL A CHREFYDDOL.

BRAINT fawr yw bod yn rhieni plant, ond braint yn chwanegu dyledswydd bwysig ydyw; etto, nid yw amgen na braint, sef maethu eu plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd; ac i gyrhaedd y dyben uchel hwn, rhaid gwybod y rheol yn gystal a'i defnyddio.

Y rheol anffaeledig yw gair Duw, yn nghyda rheswm y rhieni; ond galarus yw meddwl mor anaml ydyw y rhai a'i defnyddia. Y rheol gyffredin yw esiamplau y rhieni, ac os bydd y rhai hyn yn wael a llygredig, ofer yw i'r rhai a'u rhoddant ddysgwyl gweled eu plant yn foesol a chrefyddol byth o'u rhan hwy.

Tybiwyf fod yn angenrheidiol, o'r hyn lleiaf, i rieni plant fod yn foesol i allu rhoddi yr addysg yma i'w hiliogaeth; oblegid y mae hyd yn nod creaduriaid direswm yn dysgu eu rhywogaeth yn ol eu natur eu hunain; megis y mae y ddafad yn dysgu i'r oen bori, felly y mae y llew yn dysgu i'r cenaw ysglyfaethu. Ond ymddengys pwysigrwydd y ddyledswydd hon, wrth ystyried y pethau a ganlyn, yn nghyda phethau ereill.

1. Yr awdurdod, yn nghyda'r cyfleusderau y mae yr Arglwydd yn ei roddi i rieni. Swyddwyr ysprydol yw rhieni Cristionogol, a milwyr danynt yw eu plant i'w dysgu i ryfela rhyfeloedd yr Arglwydd.

Yn llaw y rhieni y mae yr Arglwydd wedi rhoddi y wialen: 'Cerydda *dy* fab, (ebe Solomon) ac efe a bair i ti lonyddwch.' Y mae mwy o gymmwysderau mewn rhieni i geryddu eu plant eu hunain nag a all fod mewn estron, yn enwedig, os byddant yn Gristionogion; canys y mae mwy o gariad ynddynt tuag atynt, nag a all fod mewn estron; ac heblaw hyny, y mae meddyliau mawr yn gyffredin gan y plant am eu rhieni; tybia y plentyn ei dad yn well na neb yn y byd, pa fath bynag a fyddo; ac os ei dad a'i cerydda, gallai feddwl nad heb achos, a bod ei addysg ef yn sicr o fod yn dda. Ond beth bynag am hyn, y mae gan rieni fwy o fanteision i ddefnyddio eu hawdurdod tuag at eu plant nag sydd gan neb arall: er fod yn ddyledswydd 'Hyfforddi plentyn yn mhen ei ffordd,' pwy bynag fyddo ei dad; etto, yn llaw y rhieni y mae yr awdurdod yn benaf; ac hefyd, hyn yw gorchymyn yr Arglwydd i bob tad, megis i Israel gynt, 'A hysbysa hwynt i'th blant; a chrybwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan

orweddych i lawr, a phan gyfodych i fynu.' Hynod mor gyfleus ydyw yr amgylchiadau uchod i rieni i ddysgu eu plant wrth eistedd i lawr i fwyta; bydd yn gyfleus iawn i ddysgu moesau da iddynt, ond yn neillduol i'w dysgu i gydnabod awdwr pob trugaredd, sef Duw.

2. Ymddengys pwysigrwydd y ddyledswydd hon wrth ystyried y berthynas agos sydd rhwng bywyd y plant, a chysur neu anghysur y rhieni. Y rhai hyny a fyddant byw i weled eu plant wedi tyfu i fynu i oedran gwyr, a gant achosion i lawenhau yn fawr, neu ddwys ofidio, ïe, gofidiau lawer yn ddiamheu fydd iddynt os byddant wedi bod yn euog o roddi esiamplau drwg iddynt yn moreu eu hoes; neu fel Eli, yr hwn a esgeulusodd ei ddyledswydd o ddefnyddio ei awdurdod i'w ceryddu, efe a fu yn rhy dyner, ac esmwyth wrthynt; lle y gwelwn fod esmwythdra fel hyn wrth blant, yn esgor yn aml ar anesmwythdra, a gofid mawr i rieni. O! y fath gerydd llym a gafodd Eli dduwiol gan yr Arglwydd, oblegid esgeuluso ei ddyledswydd tuag at ei blant.

A pha beth a eill llawer o Gristionogion yn yr oes hon ei ddysgwyl, y rhai sydd yn goddef eu plant i gyflawni pechodau rhyfygus? rhai a oddefant i'w plant fyned i dafarn-dai i yfed gwlybyroedd meddwawl, hyd yn nod yn y dyddiau hyn, pan y mae Dirwest fel 'magwyr efydd gadarn yn cadw ei phlant rhag meddwi byth.' Ond, O! mor wael yw gwrth-ddirwestwyr yn hyn o orchwyl, nid yn unig ni allant annog eu plant i beidio yfed y gwlybyroedd meddwawl, ond y maent yn rhoddi esiamplau iddynt i gerdded y ffordd sydd yn arwain i feddwdod ac anghymmedroldeb. Pwy gwynai i'r cyfryw dan feichiau o ofidiau yn achos meddwdod eu plant? Y mae y pethau hyn, yn gystal a phethau ereill, yn dangos y berthynas agos sydd rhwng bywyd y plant, â chysur, neu anghysur y rhieni; am hyny dylent wneuthur eu goreu i roddi eu plant ar y ffordd dda.

3. Y mae pwysigrwydd y ddyledswydd hon i'w ganfod, wrth ystyried y gwerth mawr sydd wedi ei ymddiried i ofal y rhieni, sef plant: nid miloedd o anifeiliaid i edrych ar eu hol, ond plant; nid gwinllan lawn o bob planhigion gwerthfawr, ond plant; ïe, nid *bank* y deyrnas i'w drin (*to manage*) ond plant.

Beth, gan hyny, yw plant? 'Plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd, ei wobr ef yw ffrwyth y groth.' Etifeddiaeth werthfawr iawn yw hon; diamheu fod un plentyn yn fwy ei werth na holl etifeddiaethau y byd i gyd; ac os yw gofal goruchwylwyr y byd hwn yn fawr am etifeddiaethau eu harglwyddi, pa faint mwy y dylai gofal rhieni plant fod am etifeddiaeth Arglwydd y lluoedd.

Beth, ai llai gwerth eneidiau plant na rhai mewn oed? Nid wyf yn tybied, canys y mae y rhai hyn yn agored i'r 'digofaint sydd ar ddyfod,' fel ereill; nid oes dim teilyngdod ynddynt hwy mwy nag ereill, am hyny, rhaid mai trwy Grist y cedwir y rhai hyny a fyddant feirw yn blant, ac nid ar gyfrif eu diniweidrwydd; oblegid y maent yn ddeiliaid cyfammod toredig fel ereill; ond os byddant byw lawer o flynyddoedd, a chael crefydd yn blant, diamheu y byddant yn llawer mwy defnyddiol gyda gwaith yr Arglwydd, a ffyddlawn yn gwasanaethu eu cenedlaeth.

Fel hyn, ni a welwn, y dylai derchafiad gwaith y Cyfryngwr yn y byd hwn, yn nghyda dedwyddwch a hawddfyd y plant yn y byd a ddaw, effeithio ar galonau rhieni, nes eu gwneyd yn ymdrechgar i 'faethu eu plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd.'

(I'w barhau.)

---

## Y WERDDON.

Peth mawr yw bod un dyn effro mewn gwlad. Mae Swyddog Morawl (*Naval Officer*) yn y Werddon, yn ysgrifenu fel hyn at Gymdeithas y Traethodau Crefyddol: 'Fy nymuniad yw, yn enw yr Arglwydd, peidio gadael i un diwrnod fyned heibio heb ddweyd wrth ryw un neu gilydd o hil syrthiedig Adda y newyddion da o lawenydd mawr, fod Ceidwad wedi ei eni i golledigion, naill â'm genau, neu â'm llaw drwy gyfranu Bibl, neu Destament, neu un o'r Traethodau Crefyddol, y trefnodd yr Arglwydd yn ei ddaionus ragluniaeth, i chwi fod yn gyhoeddwyr o honynt.

Dymunaf arnoch anfon i mi ychwaneg o'r Traethodau i'w taenu ar led yn y wlad Babaidd hon. Dywedodd y Pab am y Traethodau hyn, 'Eu bod yn fychain o ran eu maintioli, ond yn fawr mewn amcan drwg;' yr hyn wyf fi yn gyfrif yn ganmoliaeth mawr iddynt.—*The Christian Spectator*.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR. (Parhad o du dalen 103).

*Y chwe mis cyntaf o'r drydedd flwyddyn o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 6 | Ynghylch bwyta â dwylaw heb ymolchi ............... | xv. 1—20. | vii. 1..5, 9..13, 6..8, 14..13. | .... | .... | Yn Capernaum. |
| 117 | Yn myned i Tyrus a Sidon ......................... | xv. 21. | vii. 24. | .... | .... | O Capernaum. |
| 118 | Gwraig o Ganaan yn llefain arno .................... | xv. 22—24. | .... | .... | .... | Yn agos i Sarepta. |
| 119 | Yr Iesu yn iachau ei merch hi ... ................... | xv. 25—28. | vii. 24, 30. | .... | .... | Etto. |
| 120 | Yn ymadael oddi yno .............................. | xv. 29. | vii. 31. | .... | .... | I anialwch Bethsaida. |
| 121 | Yn iachau dyn byddar................................ | .... | vii. 32—37. | .... | .... | Yn yr un lle. |
| 122 | Yn iachau llawer iawn o gleifion .................... | xv. 29—31. | .... | .... | .... | Yn yr un lle. |
| 123 | Yn porthi pedair mil o wyr................. .......... | xv. 32—38. | viii. 1..9. | .... | .... | Etto. |
| 124 | Yn myned dros y môr i Magdala ..................... | xv. 39. | viii. 10. | .... | .... | O'r anialwch uchod. |
| 125 | Y Phariseaid a'r Saduceaid yn gofyn arwydd ........... | xvi. 1—4. | viii. 10..12. | .... | .... | Yn Magdala. |
| 126 | Rhybuddio y dysgyblion rhag surdoes y Phariseaid .... | xvi. 6—12. | viii. 13..21. | .... | .... | Ar y ffordd o Dalmanutha i Bethsaida. |
| 127 | Rhoddi ei olwg i ddyn dall.......................... | .... | viii. 22..26. | .... | .... | Yn Bethsaida yn Decapolis. |
| 126 | Cyffes Pedr am Grist, Mab y Duw byw.................. | xvi. 13—20. | viii. 27..30. | ix. 18..21. | .... | Yn ardal Cesarea Philippi. |
| 129 | Rhagddywedyd am ei farwolaeth y tro cyntaf ........... | xvi. 21—28. | viii. 31. ix. 1. | ix. 22..27. | .... | Etto. |
| 130 | Gweddnewidiad Crist ar y mynydd..................... | xvii. 1—8. | ix. 2..9. | ix. 28..36. | .... | Yn mynydd Tabor. |
| 131 | Ymddyddan ynghylch Elias ......................... | xvii. 9..13. | ix. 9..13. | ix. 37. | .... | Wrth ddyfod o'r mynydd. |
| 132 | Iachau dyn dieflig ................................ | xvii. 14..18. | ix. 14..27. | ix. 37..42. | .... | Ar y gwastadedd cyfagos. |
| 133 | Yr achos na allai y dysgyblion ei iachau ef.......... ...... | xvii. 19..21. | ix. 28, 29. | .... | .... | O'r neilldu. |
| 134 | Rhagddywedyd am ei farwolaeth yr ail waith ........... | xvii. 22, 23. | ix. 30..32. | ix. 43..45. | viii. 1. | Ar y ffordd tua Capernaum. |
| 135 | Pedr yn bwrw bach i'r môr i gael darn arian ........... | xvii. 24—27. | ix. 33. | .... | .... | Yn Capernaum. |
| 136 | Gosod plentyn yn gynllun o ostyngeiddrwydd.......... | .... | ix. 33..50. | ix. 46..50. | .... | Etto. |
| 137 | Annog ym mhellach i ostyngeiddrwydd.................. | xviii. 1—22. | .... | .... | .... | Etto. |
| 138 | Dammeg brenin yn gwneud cyfrif â'i weision ........... | xviii. 23—35. | .... | .... | .... | Etto. |

☛ *Diwedd y chwe mis cyntaf o'r drydedd flwyddyn.*

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### LLYFR Y DATGUDDIAD.

Enw y llyfr hwn sydd yn gynnwysedig yn yr adnod gyntaf o hono. Gelwir ef Datguddiad, oddiwrth arwyddocâd Apocalypsis, ei enw Groeg. Ysgrifenwyd ef gan yr Apostol Ioan tra yn ei alltudiaeth yn Ynys Patmos, ac fe'i rhoddwyd iddo yn enwedigol i arddangos hanes prophwydoliaethol o Eglwys Crist i lawr hyd ddiwedd amser. Rhai personau a wrthwynebasant i astudio y llyfr hwn, oherwydd fod rhai dynion rhyfygus wedi methu yn eu dehongliadau o'i ymadroddion anhawdd. Ond eu bai hwy nis gall fod yn un esgus am ein hesgeulusdra o ddyledswydd. Da y sylwa Sir Isaac Newton, fod 'ynfydrwydd dehonglwyr wedi bod i ragddywedyd amserau a phethau trwy y brophwydoliaeth hon, fel pe bwriadasai Duw eu gwneuthur hwy yn brophwydi.'

Amryw ranau o'r Datguddiad ydynt o angenrheidrwydd yn dywyll i ni, oherwydd eu bod yn cynnwys rhagddywediadau o ddygwyddiadau etto i fod: ond y mae digon wedi ei draddodi yn eglur fel ag i roddi i ni yn gymhwys yr hyn yr oedd prophwydoliaethau yr Hen Destament yn ganiatau i'r Iuddewon dan yr oruchwyliaeth flaenorol.

Nis gall yr un brophwydoliaeth o lyfr y Datguddiad fod wedi ei chymylu yn fwy gyda thywyllwch i ni, nag yr oedd llawer o'r hen ragddywediadau i'r Israeliad crefyddol: etto efe a edrychai i'r llyfrau sanctaidd yn y rhai yr oeddynt yn gynnwysedig, gyda gostyngedig obaith, yn amyneddgar yn disgwyl am ddyddanwch yr Israel. Ninnau, yn yr un modd, ydym yn edrych i'r prophwydoliaethau hyn o'r Datguddiad am gyflawn gwblhad o amcan mawr yr efengyl; pan y caiff Cristionogaeth o'r diwedd yr oruchafiaeth ar holl lygredigaethau y byd, a'i sefydlu yn gyffredinol yn ei phurdeb mwyaf.

'Mae yn deilwng o ystyriaeth, mewn perthynas i'r Datguddiad, fod y golygiadau a roddir ynddo o Dduw a phethau nefol, o deyrnas a rhagluniaeth gras, o ogoniant y Prynwr, ac o ddedwyddwch a nodweddiad ei bobl, gyda drygioni a dystryw ei elynion, yn cael eu gosod allan mewn modd mor hynod a neillduol, fel mae hyd yn nod y rhai nad ydynt o gwbl yn deall yr ystyr brophwydoliaethol, yn cael budd ac adeiladaeth trwy ei ddarllen, mewn cyfartalrwydd i radd eu gostyngeiddrwydd, ffydd, a duwioldeb.'—*Scott.*

Saurin ffraeth a sylwa, 'Llyfr siomedig iawn yw hwn i feddwl chwannog am ddealltwriaeth a gwybodaeth; ond un o'r rhai mwyaf boddlonawl i galon awyddus am arwireddau a gorchymynol addysgiadau.'

Y Datguddiad sydd yn rhanedig i ddwy-ar-hugain o bennodau, yn cynnwys pedair rhan.

Rhan I. Y rhagymadrodd, yn cynnwys anerchiad at saith o eglwysi yn Asia Leiaf, priodoliad o ogoniant i Dduw, a darluniad o weledigaeth ogoneddus o'r Arglwydd Iesu Grist, gyda'r hon yr anrhydeddwyd Ioan yn ei alltudiaeth, pen. i.

Rhan II. Sydd yn cynnwys y sait epistol at yr eglwysi, pen. ii. iii.

1. At yr eglwys yn Ephesus, pen. ii. 1—7.
2. At yr eglwys yn Smyrna, adn. 8—11.
3. At yr eglwys yn Pergamus, adn. 12—17.
4. At yr eglwys yn Thyatira, adn. 18—29.
5. At yr eglwys yn Sardis, pen. iii. 1—6.
6. At yr eglwys yn Philadelphia, adn. 7—13.
7. At yr eglwys yn Laodicea, adn. 14—22.

Rhan III. Sydd yn darlunio amryw weledigaethau rhyfedd y rhai a welodd yr apostol, pen. iv. v.

1. O'r Mawrhydi Dwyfol yn eistedd ar orseddfaingc mewn gogoniant, yn amgylchynedig gan angylion a'r Eglwys nefol, yn y cyflawniad o addoliad sanctaidd, pen. iv.
2. O'r Oen, yr hwn yn unig ydoedd deilwng hyd yn nod i edrych ar lyfr arfaeth Duw, yr hwn, fel llyfr seliedig, a roddir iddo Ef; ac yr hwn, oherwydd hyny, sydd yn derbyn datganiadau addoledigol yr holl gôr o saint ac angylion, yn gystal a'r hwn ydoedd yn eistedd ar yr orseddfaingc, pen. v.

Rhan IV. Sydd yn cynnwys y gweddill o'r llyfr, o pen. vi. hyd xxii. yn perthynu i gyflwr yr eglwys yn yr holl oesoedd canlynol, hyd i berffeithiad dedwyddwch mewn byd o ogoniant. Mae y rhan hon yn dwyn perthynas â saith amserau gwahanol ar yr eglwys, amdreiglad pa rai mae yr apostol yn ei ddarlunio.

Amser I. Agoriad seliau y llyfr, pen. vi—viii. 1.

1. Sel yn cael ei hagor, yn dangos march gwyn, pen. vi. 1, 2.

2. Sel yn cael ei hagor, yn dangos march coch, adn. 3, 4.

3. Sel yn cael ei hagor, yn dangos march du, adn. 5, 6.

4. Sel yn cael ei hagor, yn dangos march gwelwlas, adn. 7, 8.

5. Sel yn cael ei hagor, yn dangos eneidiau y merthyron, adn. 9—11.

6. Sel yn cael ei hagor, yn dangos amryw farnau, adn. 12—17.

Wedi i chwech o'r seliau gael eu hagoryd, gwelodd Ioan yr Eglwys nefol o 144,000, wedi eu selio, a thyrfa aneirif o bob cenedl yn bendithio Duw a'r Oen am eu hiachawdwriaeth a'u gogoniant, pen. vii.

7. Sel yn cael ei hagor, yn arddangos gosteg cyffredinol, i ddwyn i mewn:

Amser II. Yr hwn yw amser yr udgorn, pen. viii. 2---13. x.

Gweledigaeth o eiriolaeth Crist, pen. viii. 3---5.

1. Angel yn udganu, adn. 6. 8.
2. „ „ 8, 9.
3. „ „ 10, 11.
4. „ „ 12, 13.
5. „ pen. ix. 1---12.
6. „ adn. 13---21

Wedi i'r chweched angel udganu, cafodd Ioan weledigaeth ryfedd, yr hon mae yn adrodd, o angel cryf yn dwyn llyfr bychan iddo, fel gorchymyn i brophwydo i bob cenedl, pen. x.

Amser III. Yn cael ei ddynodi gan rês o weledigaethau, pen. xi---xix.

1. Y deml, yr allor, ac addolwyr Duw yn cael eu mesur, pen. xi. 1, 2.

2. Y ddau dyst yn cael eu gorchymyn i brophwydo 1260 o ddyddiau, pen. xi. 3---6.

3. Y bwystfil yn rhyfela â hwynt ac yn eu lladd, ond maent yn adgyfodi ac yn esgyn i'r nefoedd, pen. xi. 7---14.

4. Y seithfed udgorn yn udganu, a phethau gogoneddus yn dilyn, pen. xi. 15---19.

5. Yr eglwys yn cael ei darlunio fel gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, plentyn gwrryw yr hon sydd yn cael ei erlid gan ddraig, pen. xii. 1---6.

6. Michael yn gorchfygu y ddraig, Satan, ac yn ei fwrw ef allan, yr hyn sydd yn achosi llawenydd mawr yn y nef, pen. xii. 7---12.

7. Y ddraig yn erlid yr eglwys ar y ddaear, pen. 13---17.

8. Gweledigaeth bwystfil rhyfedd yn codi o'r môr, i'r hwn mae y ddraig yn rhoddi gallu, pen. xiii. 1---10.

9. Ail fwystfil yn codi, trwy yr hyn mae pawb yn cael eu cymhell i addoli y ddraig, pen. xiii. 11---18.

10. Gweledigaeth yr Oen, ar Fynydd Seion, gyda 144,000 o'i etholedigion; a'r Eglwys nefol yn datgan dedwyddwch y ffyddloniaid, pen. xiv. 1--5.

11. Gweledigaeth angel yn ehedeg i bregethu yr efengyl i bob cenedl, ac i gyhoeddi barn Duw ar y bwystfil a'i addolwyr, pen. xiv. 10---20.

12. Gweledigaeth o angylion gyda phiolau yn cynnwys pläau, ac o'r Eglwys nefol yn llawenychu yn llywodraeth gyfiawn Duw, pen. xv.

13. Y phiolau o ddigofaint dwyfol yn cael eu tywallt ar elynion Duw a'i eglwys, pen. xvi.

14. Gweledigaeth Babilon gyfriniol, pen. xvii.

15. Cwymp a hollol ddinystr Babilon, a thrueni y drygionus, pen. xviii.

16. Gorfoledd y llu nefol ar anghyfanneddiad Babilon, pen. xix. 1—10.

17. Buddugoliaeth Crist ar elynion ei Eglwys, pen. xix. 11---21.

Amser IV. Sydd yn gosod allan angel yn rhwymo Satan am yspaid dedwydd mil blynyddoedd yr eglwys, pen. xx. 1---6.

Amser V. Sydd yn gosod allan Satan wedi ei ollwng dros dymhor, a'i ymdrechion ofer i ail-sefydlu ei ormeslywodraeth ar feddyliau dynolryw, pen. xx. 7---10.

Amser VI. Sydd yn gosod allan yr adgyfodiad a'r farn gyffredinol, a thragywyddol drueni yr annuwiol, pen. xx. 11---15.

Amser VII. Sydd yn gosod allan weledigaeth o'r Jerusalem newydd, gyda dedwyddwch y gwaredigion, yn yr holl ardderchawgrwydd a'r mawrwychedd a all iaith ddynol ei ddatgan, pen. xxi. xxii. 1---6.

1. Yr angel yn tystio gwirionedd y pethau hyn, pen. xxii 7---9.

2. Crist ei hun yn dangos i'r apostol y bydd cyflwr dynion yn fuan wedi ei sefydlu yn ddigyfnewid; yn mynegi pwy a gant fyned i mewn i'r nefoedd, a phwy a geuir allan; yn taer alw ar ddynion i dderbyn ei iachawdwriaeth, ac yn cyhoeddi pläau ar y rhai a newidiant neu a leihâant eiriau y brophwydoliaeth hon, pen. xxii. 10---19.

3. Mae yr apostol yn terfynu gyda'i fendith, pen. xxii. 20, 21.

*Cyfeiriadau yn Datguddiad.*

| | |
|---|---|
| Pen. i. 4. ........ | Exod. iii. 14. |
| .. 7. ........ | Dan. vii. 12. |
| .. 8. ........ | Esa. xliv. 6. |

| | |
|---|---|
| Pen. i. 12, 20...... | Zec. iv. 2. Ezec. i. 26 |
| .. 14, 15..... | Dan. vii. 9. |
| .. 17. ...... | Ezec. i. 28. Dan. x. 8. |
| Pen. ii. 7. ...... | Gen. ii. 9. |
| ... 14. ...... | Num. xxiv. 14. xxv. 1. xxxi. 16. |
| .. 19. ...... | 1 Bren. xvi. 31, xxi. 25 |
| Pen. iii. 7. ...... | Esa. xxii. 22. |
| .. 18. ...... | Esa. iv. 1, 2. |
| Pen. iv. 2, 3. .... | Ezec. i. 26—28. |
| .. 6. ........ | Ezec. i. 5, &c. |
| Pen. v. 11. ...... | Dan. vii. 10. |
| Pen. vi. 2, 4, 5, 8. | Zec. vi. 2—8. |
| .. 15. ...... | Esa. ii. 19—21. |
| Pen. vii. 1. ...... | Dan. vii. 2. |
| .. 14. ...... | Esa. i. 18. Zec. xiii. 1. |
| Pen. x. 6. ...... | Dan. xii. 7. |
| .. 9. ...... | Ezec. iii. 3. |
| Pen. xi. 1. ...... | Ezec. xl. |
| .. 4. ...... | Zec. iv. 11—14. |
| .. 11. ...... | Ezec. xxxvii. 5, 9, 10, 14. |
| Pen. xii. 7. ...... | Dan. xii. 1. |
| Pen. xiii. 1. &c... | Dan. vii. 3, &c. |
| Pen. xiv. 8. .... | Esa. xxi. 9. Jer. li. 8. |
| .. 11. .... | Esa. xxxiv. 10. |
| .. 14. .... | Dan. vii. 13. |
| .. 20. .... | Esa. lxiii. 3. |
| Pen. xvii. 2. .... | Jer. li. 7. |
| .. 12. .... | Dan. vii. 20. |
| Pen. xix. 20 .... | Dan. vii. 11. |
| Pen. xx. 8. .. | Ezec. xxxviii. 2, &c. |
| .. 11, 12.. | Dan. vii. 9, 10. |
| Pen. xxi. 1. .... | Esa. lv. 17. lxvi. 22. |
| Pen. xxii. 1..... | Ezec. xlvii. 1—12. |
| .. 17..... | Esa. lv. 1. |

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad o du dal. 105.)

### Y BRODYR BOHEMAIDD.

Oddeutu y flwyddyn 1460, cyfododd tymhestl newydd yn eu herbyn. Llosgwyd llawer o honynt yn lludw, dirdynwyd ereill ar yr arteithglwyd, a rhwygwyd rhai yn aelodau rhwng carnau y meirch, a gadawyd y cleifion a'r anafusion yn y meusydd yn yr awyr agoryd, a hyny yn nyfnder y gauaf. Crogwyd ereill â phwysau trymion wrth eu traed, ac felly gadewid hwy i farw yn y dirdyniadau mwyaf poenus, a'u haelodau wedi eu dadgymalu; a llawer o ddulliau poenusawl ereill.

Ym mhoethder yr erledigaeth hon anfonai y brodyr yn Litiz genadau i bob man i annog eu cyfeillion a'u cydddyoddefwyr yn y ffydd i bob hir amynedd a dyoddefgarwch. I'r dyben hyn daeth Gregory, nai i archesgob Prague, un o'r prif eilidwyr, i ddinas Prague, a chydgynnullodd y brodyr yn yr un tŷ, fel y cydgyfranogai â hwy o Swper yr Arglwydd. Rhai o ewyllyswyr da iddynt a anfonasant genad yn ddirgelaidd atynt i'w cynghori hwynt i ddiangc, o herwydd bod eu gelynion yn anfon ysbïwyr allan, ac yn awyddus am eu dal.

Yr oedd Gregory ei hunan hefyd o'r farn na ddylai Cristionogion osod eu hunain yn agored i brofedigaeth os gallent ei hysgoi, a chynghorai hwy i ddianc allan o law, heb aros am ymbarotoi eu hunain na dim. Pa bynag, atebai rhai o honynt, 'Na; ni frysia yr hwn a gredo; ymdawelwn, ac aroswn am y canlyniad.' Rhai myfyrwyr ieuainc ag oedd yno a ddechreuasant ffrostio nad oedd yr arteithglwyd iddynt hwy ddim mwy na boreu fwyd, a'r fflamau tân ddim mwy na golwyth i giniio. Tra yr oeddynt hwy fel hyn yn gohirio, yr oedd y gelyn yn ymbysfhau, a hwy a ddaliwyd.

Cyn pen hir daeth y barnwr at y ddor, ac a ddolefai, 'Ysgrifenwyd, y rhai oll a fynont fyw yn dduwiol a erlidir. Canlynwch fi i garchar, trwy orchymyn y llywodraeth.' Yr oeddynt yn awr i ddyoddef y poenau dygnaf; ond y rhai oll a ymddangosent yn fwyaf zelog a droisant yn eu holau, ac a wadasant eu ffydd, a Gregory, hen batriarch y brodyr, a arosodd heb newid. Ond tra yr ydoedd yn dyoddef y creulonder efe a lewygodd, a'r holl rai ag oeddynt yn sefyll yn agos i'r fan a feddyliasant ei fod ef wedi marw. Ei ewythr, yr archesgob, a redodd i'r carchar, ac wrth weled ei nai yn y sefyllfa yr oedd ynddi, efe a ddolefodd, 'O! fy anwyl Gregory! mi ddymunwn gan Dduw i'm henaid i fod yn lle dy enaid di!'

Ar hyn dadebrodd Gregory ychydig, ac wrth arch yr archesgob, gollyngwyd ef o'i gadwynau ac o'i rwymau. Adroddai wedi hyny ei fod yn canfod, tra yn y cyflwr annheimladol hyny, goeden dewfrigog yn llawn ffrwythau tlysion, ar gangau pa un yr oedd heidiau o adar mwynlais yn canu ac yn chwareu, ond ymddangosai y cwbl o dan lywodraeth llencyn hardd-deg ag ydoedd a ffon wech yn ei law. Yr oedd tri hen wyr parchusawl yn sefyll gerllaw yn ei wylio, dull a ffurf gwynebau pa rai a debygolid yn ngwynebau y tri a ddewiswyd i fod yn esgobion gan y Brodyr Bohemaidd ym mhen chwe blynedd wedi hyny.

Yr etholiad neu y dewisiad hwn a

gymmerodd le yn y flwyddyn 1467, a hyny yn benaf trwy yr hyn a ganlyn: Y brodyr yn awyddus hynod am gael rhyw bersonau cymmwys i fod yn y swydd ar ol eu gweinidogion ag oedd ganddynt y pryd hyny, os digwyddai iddynt ymado, a yrasant i ymgynghori â'r Eglwysi Waldensaidd, ag oedd yn y wlad nesaf atynt, sef Awstria, ag oedd ganddynt esgobion eu hunain.

O herwydd y genadwri hon galwyd cyfarfod yn Lhota, yn mha un yr oedd deg-a-thriugain o bersonau yn bresennol, wedi eu gyru i Bohemia a Moravia, yn gynnwysedig o offeiriaid, boneddigion, gwyr dysgedig, dinasyddion, a gwladwyr, a dechreuasant y cyfarfod hwn gydag ympryd a gweddi, a llawer o ddagrau, a dewisasant 20 o wyr, 11 o ba rai oedd i ddwyn y'mlaen orchwylion y cyfarfod. Yna yr oeddynt yn gytun mewn gweddi yn erfyn ar i'r Arglwydd ddangos iddynt, trwy ryw fodd neu gilydd, pwy a osodai Ef i arolygu ei eglwys yn Bohemia.

Y llwybr a gymmerasant i benderfynu hyn oedd trwy fwrw coelbren, neu roddi deuddeg tocyn o bapur mewn llestr, naw o ba rai oeddynt bapur gwyn, a'r tri ereill a'r gair '*Est*,' hyny yw, 'Hwn yw efe,' wedi ei ysgrifenu arnynt. Wedi taflu y tocynau i'r llestr, annogai Gregory y bobl i weddio ar i Dduw, o'i neillduol drugaredd, arddangos y rhai oedd gymmwys i arolygu ei eglwys. Wedi iddynt godi oddiar eu gliniau, arweinid bachgenyn bychan at y llestr, a thynai docyn o hono a gosodai ef yn llaw pob un o honynt. Wedi iddynt agor y papur, gwelent fod y tri ysgrifenedig yn nwylaw Matthias Convaldensis, Thomas Prizelaus, ac Elias Chizenov, tri o wyr doniol a da, a'r un rhai hefyd ag a welodd Gregory o dan y goeden, yn ei lewyg, oddeutu chwe blynedd cyn hyny.

Yr oedd yr eglwys erbyn hyn yn ystyried y penderfyniad hwn fel galwad oddiwrth Dduw. Yna hwy a gyflwynasant ddiolchgarwch a mawl, gan addaw pob ufudd-dod i'w hesgobion dewisedig, a phob ffyddlondeb i'w pen bugail mawr, sef Iesu Grist. Yna ordeiniwyd hwy i'w gwahanol swyddau goruchel gan esgob y Waldensiaid, ac ystyrid hwy yn esgobion yr eglwys Bohemaidd, a chyflawn awdurdod ganddynt i ordeinio ereill fel gweinidogion ac esgobion. O'r pryd hwnw allan, galwyd hwy ar yr enw y Brodyr Bohemaidd a Moravaidd, a'u heglwysi cyfunol a alwyd Eglwys Gyfunol y Brodyr, neu *Unitas Fratrum*.

---

## DIWYGIAD! DIWYGIAD! DIWYGIAD!

(Parhad tu dalen 108.)

NID ydym yn cael Duw yn ei arddeliadau, am nad ydym yn gofyn am dano i fod felly; ac os ydym yn gofyn ac heb gael, mae yn rhaid ein bod 'yn gofyn ar gam:'—yn anedifeiriol am ein pechodau—yn ddiwasgfa am dano—yn amheus o'i ffyddlondeb. Wele, 'na feddylied y dyn hwnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd.' 'Taer weddi y cyfiawn,' sydd yn ffynu yn hyn. Mae Duw ei hunan yn tystio—'Mi adawaf iddynt fy nghael pan y'm ceisiant â'u holl galon—nesewch at Dduw, ac efe a nesa atoch chwi—ceisiwch a chwi a gewch;' os gofynwch ddim yn enw Crist, efe a'i gwna. Y mae Crist, wrth ystyried tuedd dynion i ameu ei ffyddlondeb, yn ymresymu â hwy, 'Os chwychwi gan hyny, a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant chwi, pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef, yr hwn sydd anfeidrol dda, yr Ysbryd Glan i'r rhai a'i gofynant ganddo?' Rhaid, gan hyny, nad oes dim yn attal i'r holl eglwysi gael y fath ddiwygiadau na welwyd erioed eu cyffelyb, ond yn unig i'r eglwysi ddyfod i ofyn mewn gwirionedd am danynt. Tybiaeth groes i hyn yn ngwyneb yr addewid hon fyddai taflu celwydd i wyneb y Duw digelwyddog. Pa bryd y daw dynion i gyfaddef yn eglur, ddiawgrymu, nad yw Duw yn anffyddlawn i'w addewidion, ac i fwrw y bai yn hollol arnynt eu hunain eu bod hwy yn anffyddlawn i'w dyledswyddau.

Israel, ar ol dyfod o Babilon i Jerusalem, a dechreu adeiladu tŷ yr Arglwydd, yn amser Artaxerxes, ac yn ol ei orchymyn, a rwystrwyd ar eu gwaith trwy fraich a chryfder. Ond fe debygid, wrth geryddon Duw arnynt yn yr amser hwnw, na ddylasent gymmeryd eu rhwystro. Eithr yn lle ymwroli yn mlaen gyda'r gwaith, aethant i ymddiofalhau, a gollwng y gwaith i sefyll; a'r ddiareb felldigedig yn eu plith oedd, 'Ni ddaeth yr amser etto i adeiladu tŷ yr Arglwydd.' A'r amser wedi dechreu er amser Cyrus, canys buan y gallasai Duw ddiddymu cyfreithiau eu gelynion fel ag y gwnaeth wedi iddynt ymaflyd yn y gwaith drachefn.

Ond, ebe Duw wrthynt drwy ei brophwyd tanllyd, Haggai, 'Ai amser ywi

chwi eich hunain drigo yn eich tai byrddiedig, a'r tŷ hwn yn anghyfanedd?' A waredais i chwi o Babilon i'r pwrpas pennodol o adgyweirio fy ngwaith yn Jerusalem, a chwithau yn gollwng y cyfan i'r llawr, ac yn defnyddio eich holl amser at eich amgylchiad au eich hunain? ni threfnais erioed y fath beth.

Tebyg i hyn y mae etto:—Ni ddaeth yr amser etto, meddir, i gael diwygiadau. Ond, pwy sydd yn dywedyd hyny? ac i ba ddyben? Nid Duw. Proffeswyr gwrthgiliedig, disel, dioglyd at eu dyledswyddau, heb nemawr hiraeth gweled achos Crist 'yn ben moliant ar y ddaear,'—rhai yn hoffi dilyn eu pechodau ac esmwythdra cnawdol yn y byd. Ni ddaeth yr amser, yn wir, gysgaduriaid! I ba ddyben, ynte y rhoddodd Duw yr amser hwn i chwi? Ai i orwedd mewn diogi, gwrthgiliadau, a difatterwch, a byw yn ddiweddi, a diymdrech am achub y byd? a roddodd Duw amser i ryw un rywbryd i bechu yn ei erbyn? i ba ddyben y cyrchwyd di o'r Babilon ysprydol i ddechreu? ai i weithio, ai ynte i ymddiofalhau, a dywedyd wrth hwn a'r llall, na ddaeth yr amser etto? Nage. 'Pa hyd, ddiogyn, y gorweddi, pa bryd y cyfodi o'th gwsg? Canys digon i ti yr amser aeth heibio i weithredu ewyllys y cenedloedd; gweithiwch, gan hyny, tra yr ydyw hi yn ddydd, canys mae y nos yn dyfod, yn yr hon ni ddichon neb weithio.'

Hefyd, pe bai dy esgus ddisail 'ni ddaeth yr amser,' yn wir, ni fyddai raid ofni digio Duw wrth ymdrechu am adfywiadau ar grefydd, er na ddaeth yr amser yn ol ein tyb ni. Nid yw efe byth yn digio am fod yn rhy fywiog gyda chrefydd; ond y mae yn digio yn fawr am fod yn rhy oer a chlaiar. Gwir yw fod gan Dduw ryw amserau nodedig i roddi diwygiadau. Gadewch i ni ymdreiglo yn y llwch mewn hunan-ffieiddiad, a rhwygo ein calonau mewn edifeirwch, ac ymroddi i weddiau ac ymprydiau. Cadw yn mhell oddiwrth bob math o bechodau, a dilyn yn gyson wrth bob math o ddyledswyddau. Ymegnio hyd eithaf ein gallu i achub pechaduriaid, a pheidio a gadael llonydd hyd yn nod i Dduw ei hunan, ddydd na nos, nes iddo 'osod Jerusalem yn ben moliant ar y ddaear:' gwnawn hyn i aros yr amser: canys pwy a wyr amser Duw ond efe ei hun? a phwy o honom a all fod yn sicr 'na ddaeth yr amser?' Canys gwell gan Dduw yr agwedd hono o aros am dano na'r agwedd lonydd ddiofal, a segur fel sydd arnom yn bresennol. Ond O! pa'm yr ychwanegaf, pe bâi Eglwys Dduw wedi dyfod i'r agweddau a'r teimladau crybwylledig, byddai tywalltiadau grymusach ar yr Eglwysi o'r Yspryd Glan nag a welwyd erioed. Cai y byd ei hachub wrth y miloedd.

Gweddio, gweddio, sydd yn tynu diwygiadau. Edrychwch i Scotland, gweddio, ïe, gweddio o ddifrif calon sydd yno. Edrychwch hefyd ar y diwygiadau sydd mewn rhai eglwysi yn Nghymru y dyddiau hyn. Mae edrych ar eu gwresawgrwydd mewn gweddiau yn codi cywilydd ar fy wyneb i wrth feddwl mor wahanol yr ydwyf fy hunan iddynt hwy. Cofiwch am ddiwygiadau grymus yr America, gweddiau oedd yn eu rhagflaenu hwy oll. A'r diwygiadau grymus gyda'r Methodistiaid flynyddau yn ol, gweddiau grymus a thaerion oedd yn eu hachosi oll. Cofiwch Gymmanfaoedd y Bala, ar y cyfryw ddiwygiadau, pan nad oedd un awr bron o'r dydd na'r nos nad oedd cannoedd o weddiau gwresog yn cael eu hanfon i'r nef, a meddyliwch am y tywalltiadau grymus oedd yn eu dilyn y pryd hwnw. Wele, gan hyny, ymarferwn ninnau â'r un moddion yn y dyddiau hyn, a'u harfer yn yr un yspryd ac yna ni a gawn yr un tywalltiadau.

Pa niwed fyddai pe torem dros ein dull arferol gyda y gorchwyl hwn? pe troem Sabbathau cyfain yn gyfarfodydd gweddio, a chyfarfodydd eglwysig yr un modd? Ië, pe troid cyfarfodydd misol y Sir, a'r Cymmanfaoedd Chwarterol hefyd yn Gymmanfaoedd o weddiau ambell dro? Canys byddai hyny yn ddifai gorchwyl i'r gweinidogion penaf; ac fe allai yr achubai yr Arglwydd lawer mwy ynddynt nag sydd yn cael eu hachub yn y pregethau yn yr amser marwaidd hwn; heblaw agor ffordd i ddiwygiadau grymus rhagllaw mewn Cymmanfaoedd o bregethu. Pa niwed fyddai pe codem bedwar neu bump o'r gloch y boreu ambell ddiwrnod i gadw cyfarfod i weddio am ddiwygiad, fel y mae mewn rhai manau?

Pa niwed fyddai pe bai pob cangen eglwys yn cymmeryd eu pregethwr, neu eu pregethwyr, a chyhoeddi cyfarfod gweddio drosto ef yn bennodol wrth ei enw, am iddo gael ei lenwi ag yspryd diwygiad! Cyneued yr eglwysi y fath goelcerth o dân gweddi yn eu plith, nes

byddo eu gweinidogion yn toddi yn llymaid y fynyd gyntaf y deuent i'w bresennoldeb ef. Pa niwed fyddai pe cyrchai ein gweinidogion a'n blaenoriaid eglwysig yn finteioedd at eu gilydd mewn gwahanol fanau yn eu swydd i weddio dros eglwysi eu gofal.

Pa niwed fyddai pe danfonai yr eglwysi lythyrau at y pregethwyr a ddisgwylid atynt y Sabbathau dyfodol, am iddynt ofalu dyfod atynt yn llawn o sel a deffroad, wedi parotoi eu saethau at gydwybodau pechaduriaid, a'u rhybuddio i beidio dyfod atynt yn dalpiau oerion a dioruchwyliaeth, a diawydd am achub eneidiau? Pa les yn y diwedd fydd ein bod yn cynnwys ein gilydd mewn difatterwch? Byddwn yn onest at ein gilydd. Ysgrifened y pregethwyr hefyd yr un modd at yr eglwysi y byddont wedi rhoddi eu cyhoeddiadau iddynt; am iddynt ofalu am eu cyflwyno i ofal Duw, a gweddio yn bennodol am achubiaeth dynion drwyddynt ar eu dyfodiad atynt, a'u llafur gyda hwy?

Pa niwed fyddai pe cymmerai yr eglwysi ryw bersonau neillduol o ddynion annuwiolaf eu hardaloedd a gweddio drostynt wrth eu henwau? Buom yn gweddio am wlaw ac am sychder lawer gwaith; peth annhraethol llai eu pwys nag achub enaid. Profwyd hyn trwy ffeithiau yn ein hamser ni yn foddion effeithiol er achub rhai o'r cyfryw.

Pa niwed fyddai i'r gwragedd godi at y gorchwyl hwn? Mae diwygiadau wedi eu heffeithio trwy weddiau gwragedd cyn hyn. Dywedir yn bennodol wrth addaw tywallt Yspryd gras a gweddiau ar dŷ Dafydd a phreswylwyr Jerusalem, y bydd 'y gwragedd wrthynt eu hunain yn galaru am bechod, a gweddio Duw.' Llawen gan fy nghalon glywed fod cyfarfod y gwragedd wedi dechreu mewn rhai manau: mae diwygiad agos yn sicr o ddilyn hwn yn mhob man bron. O! wragedd, ymgyffrowch rhag i ffrwyth eich bru fod yn danwydd uffern, ac yn nghanol cythreuliaid. Blaenoriaid eglwysig cefnogwch hwy.

*M-s-g-l-s.* ABON ARMON.

## HANES

***Dechreuad a chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd yn Manchester.***

Parhad o tu dalen 110.

WRTH edrych yn ol o 1799, y flwyddyn yr agorwyd capel Oak Street, hyd y flwyddyn hon, sef 1839; dyma ddeugain mlynedd wedi myned heibio, ac yr oedd tua 200 gyda'r achos crefyddol y pryd hyny, ac nid oes o'r rhai hyny yn awr ddim ond chwech o wragedd gweddwon, ac un dyn, heb eu claddu. Ac nid oes o'r rhai oedd yma yn 1794 ddim ond un wraig weddw, ac un dyn. Yr holl oes hono a gasglwyd at eu tadau, a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt.

Ac yn yr ugain mlynedd, sef o 1794 i 1814, pan siglwyd holl orseddfeingciau Ewrop, a Napoleon Bonaparte yn tywallt gwaed ei gydgreaduriaid wrth y miloedd, ac yn lledu ei grafangau dros chwarter y byd; pan yr oedd miloedd o'n cymmydogion yn cael eu rhifo i'r cleddyf, mwynhasom yma heddwch didor, a bywhaodd yr Arglwydd ei waith yn nghanol y blynyddoedd; ac erbyn y flwyddyn 1824, dywedodd Sion, 'Cyfyng yw y lle hwn i mi, dod le i mi fel y preswyliwyf.' Felly gwrandawyd ar ei llais, a gwerthwyd capel Oak Street, am tua 1,000 o bunnau, ac adeiladwyd capel Cooper Street. Agorwyd y capel hwn ddydd Nadolig, Rhagfyr 25, 1824. Ei faintioli yw 18 llath o hyd, a 12 llath o led o fewn i'r muriau.

Mae hefyd genym gapel arall yn y cwr gogleddol o'r dref, a elwir Salford, yr hwn a adeiladwyd yn 1832, ac agorwyd ef ddechreu Mawrth 1833. Ei faintioli sydd ychydig yn fwy na 10 llath o ysgwâr, sef 31 troedfedd wrth 30 a 6 modfedd. Pregethir ynddo dair gwaith bob Sabbath i gynnulleidfa barchus. Enwyd y capel hwn, *Salem*, gan Mr. Richard Lloyd, Beaumaris, wrth ei agor. Cedwir Ysgol Sabbathol ynddo ddwy waith bob Sabbath; a dwy gymdeithas neillduol yn yr wythnos.

Hefyd, er pan ymadawsom o Oak Street, cynnaliwyd cyfarfod gweddi a phregethu yn fynych, ac Ysgol Sabbathol, mewn ystafell helaeth yn y cwr dwyreiniol o'r dref, nid yn nepell oddiwrth gapel Oak Street. Aeth yr ystafell hon yn rhy fechan. Gwelwyd capel ar werth gan y Wesleyaid Saesoneg; prynwyd hwn am tua £500. Agorwyd ef, ac fe'i galwyd *Bethesda*. Ac mae pregethu ynddo dair gwaith bob Sabbath, ac yn amlach ar rai prydiau; ac hefyd Ysgol Sabbathol. Ei faint yw 15 llath o hyd, a 13 llath o led. Fe'i hagorwyd y Sabbath cyntaf, sef y 4ydd o Ionawr, 1836, gan John Jones, Rhyl.

Pan aeth Robert Owen, yn y flwyddyn 1797, i Gymmanfa y Bala, i ofyn am gael capel yn Manchester; gofynodd yr hen dad, Mr. John Evans o'r Bala iddo, Pa un ai capel erbyn amser cyffredin, ai erbyn amser anghyffredin, oedd ar bobl Manchester eisiau? Atebodd yntau, Mai erbyn amser anghyffredin. Ac er nad oedd y brawd hwnw yn brophwyd, nac yn fab i brophwyd, efe a brophwydodd y pryd hyn. Ond ychydig a feddyliodd y gwr hwnw y cai weled cyn diwedd ei oes, chwech o gapelydd Cymreig yn llawn o Gymry, (sef,

rhwng pob enw) a thri o'r rhai hyny gan y Methodistiaid Calfinaidd, sef y bobl ag oedd wedi dechreu yma.

Bu hefyd gan y bobl hyn chwech o leoedd ereill, lle y mae, neu y bu pregethu Cymraeg, a chyfarfodydd gweddi ynddynt yn y gymmydogaeth.

Y lle cyntaf, yw Pendleton, pentref tua thair milltir i'r gorllewin o Manchester. Mae yno Ysgol Sabbathol, a phregethu mynych i Gymry glân, er y flwyddyn 1800.

Yr ail, Stockport, tref boblogaidd, saith milltir i'r deau oddiyma. Dechreuwyd cynnal moddion gras yn y dref hon yn 1799. Ac fe roddwyd dau gynnyg arni o 1799 hyd 1818. Er mai nid llawer o lwyddiant a gafwyd yma, ond er hyny, mae yn ddiamheuol genym fod rhai eneidiau wedi eu hachub o'r dref hon. Mae yno lawer o Gymry; a phwy a wyr nad oes yno ychwaneg wedi eu hethol i fywyd tragywyddol; a da pe rhoid cynnyg etto yno er achub rhai o'n cenedl.

Yn drydydd, Hyde, pentref poblogaidd, naw milltir i'r de-ddwyrain oddi yma. Buwyd yno yn cynnal moddion canu, gweddio, a phregethu. Dechreuwyd yn y flwyddyn 1819. Cerddwyd yno nes blino, heb nemawr o lwyddiant. Mae yno lawer iawn o Gymry.

Yn bedwerydd, dechreuwyd cynnal moddion yn y fl. 1830, yn Oldham, tref boblogaidd, naw milltir i'r dwyrain o Manchester. Parheir i gynnal moddion yno bob Sabbath hyd yma. Ychydig wythnosau yn ol, cymmerwyd ystafell mewn hen chwareudŷ yno.

Yn bummed, Bolton, tref fawr arall, deuddeg milltir i'r gogledd oddi yma. Yn 1834, dechreuwyd cynnal moddion gras yma. Er fod yno lawer o Gymry, amryw o Sir Fflint, a manau ereill; mae eu calonau cyn galeted a meini eu gwlad, sef Callestr.

Yn chweched, yn y flwyddyn 1807, buwyd yn cynnal cyfarfod gweddi, a phregethu yn Gymraeg, yn Warrington, deunaw milltir i'r gorllewin oddi yma, a'r un faint o Liverpool. Buom yn cerdded yno am dalm o amser bob yn ail Sabbath â phobl Liverpool Mae genym feddwl go helaeth am rai a ddaeth oddi yno yma, a rhai a aeth i Liverpool. Rhoddwyd i fynu y lle hwn er's llawer blwyddyn.

Mae genym hefyd y Cymdeithasau buddiol hyn yn ein plith .—

1. Bibl Gymdeithas Gymreig, a sefydlwyd yn 1814.
2. Y Gymdeithas Genadol Gymreig, a sefydlwyd yn 1820.
3. Y Gymdeithas Ddirwestol, a sefydlwyd yn 1831.
4. Cymdeithas i ddysgu yr Ieuengctyd i Ganu Mawl.

Nis gallaf yn bresennol ysgrifenu nemawr am weithredoedd y Cymdeithasau hyn, ond hwy fuont yn weithgar, llafurus, ffyddlon, a ffrwythlawn.

Byddaf weithiau bron a digio wrth y rhai sydd yn eu beddau am na buasai rhyw un o honynt yn ysgrifenu rhyw faint o goffadwriaeth am bethau yn mhlith y Cymry yma er's deugain mlynedd yn ol. Gallaf gymmeryd hyn yn esgus gwael drosof fy hun, mai meddwl marw y byddwn yn aml, ac mai hyny a'm rhwystrodd lawer gwaith; ond gwell hwyr na hwyrach, dyma y gwaelaf o'r cwbl wedi ysgrifenu ychydig o bethau wedi eu casglu yn nghyd, yn y modd goreu ag a allais.

Nid hawdd penderfynu pa bryd y dechreuodd ein Cymmanfa Flynyddol; byddai ein hen frodyr a'n tadau yn ymofyn am gael pregethwr neu ddau yma erbyn wythnos y Sulgwyn, o herwydd fod y bobl yn segur, a gweithydd y dref oll yn sefyll yr wythnos hono; a gwaith y cythraul oedd yma yn myned yn mlaen, sef, rhedegfa meirch. Byddem yn cael pregeth bob nos ar hyd yr wythnos hono, yn y blynyddoedd 1795, 6, 7, 8. Ond tua'r 1802, 3, 4, y dechreuwyd galw ein cyfarfod yn Gymmanfa (*Association*). Byddem yn cael wyth, deg, neu ddeuddeg o bregethwyr o Gymmanfa Liverpool; felly mwynhasom lawer o gyfarfodydd siriol a gwlithog iawn am dri diwrnod neu bedwar bob wythnos y Sulgwyn, a'r Cymry yn gyffredin oedd yn meddwl am eu heneidiau yn dyfod i'r Gymmanfa yn lle myned i'r *Races*.

Bu hefyd yma yn aros dalm o amser, amryw o bregethwyr y rhai a fu yn gynnorthwyol iawn i'r achos lawer gwaith, rhai o honynt yn yr Ysgol, a rhai wrth eu galwedigaethau.

Bu Mr. John Parry, o Gaer, yma yn 1799, yn yr ysgol.

Hugh Hughes, gwr o tua Llanrwst, yn yr ysgol.

Mr. Rees Jones, Sir Fon, yn yr ysgol.

Mr. Robert Jones, Rhoslan, yma, gyda'r Doctor.

Griffith Jones, Tremadoc, yma, gyda'r Doctor.

Rowland Davies, y tro cyntaf, yn 1799.

Hefyd Edmund Williams, ond nid oedd efe o honom ni.

John Hughes, Treffynon, yma gyda'i alwedigaeth.

Daniel Evans, yma yn yr ysgol.

Dechreuodd amryw bregethu yma, megis Robert Morris (Griffiths); aeth hwn at yr *Independiaid*.

John Evans, aeth hwn i'r bedd.

Hefyd Joseph Williams, o Dreffynon.

Richard Jones, brawd Moses Jones, Sir Gaernarfon.

Mr. Thomas Charles Evans, Cymro da o Affrica.

Mae Rowland Davies, yma yn aros yr ail waith.

Hefyd y mae Isaac Hughes, brawd a anwyd ac a fagwyd yma, ac a egwyddorwyd yn ein Hysgol Sabbathol; mae efe a'i wraig er's 17 mlynedd yn Neheudir Affrica, yn ngwlad Griqua, tu hwnt i drefedigaeth Tre'r Penrhyn, lle mae yr Arglwydd wedi datguddio nerth ei ras, yn enwedig gyda golwg ar y llwyth Batlapsi.

Pe byddai yn agos gymmaint o frwdfrydedd mewn cynnifer o wyr ieuaingc ag sydd yn perthyn i'r Corph yn Manchester yn awr, ag a oedd yn yr oes a aeth heibio, nid eistedd yn eu *pews* am fisoedd i wrando pregethau a wnaent, a gadael i gynnifer o'u cydwladwyr y Cymry i feirw o eisieu gwybodaeth wrth y cannoedd yn y trefydd amgylchiadol, megis Stockport, Ashton, Hyde, Oldham, Rochdale, Bury, Bolton, &c. ond rhoent aml gynnyg etto er eu hachub.

Mae yn awr tua 500 o aelodau gyda'r Methodistiaid Cymreig yn Manchester, a llawer o honynt yn wyr ieuaingc, megis cynnifer o ddialau, a ffigyrau da arnynt, ond prin y gellir gweled beth yw yr amser, o eisieu bod yr haul yn tywynu arnynt. Ac, O, na chyffyrddid â'u geneuau â marworyn oddiar yr allor! Fel y dywedai aml un o honynt, 'Wele fi, anfon fi.'

Buom am bum mlynedd-ar hugain, sef o 1788, pan ddechreuodd yr achos yma, hyd 1813, pan ordeiniwyd gweinidogion yn perthyn i'r Corph yn y Bala, heb gael gweinyddiad o'r ordinhadau ond anaml iawn. Yn y blynyddau hyny, pan ddeuai Mr. Charles yma, nyni a gaem fedyddio ein plant, a chaem yr Ordinhad Swper yr Arglwydd; ond mynych y byddem yn gorfod myned â'n plant i'w bedyddio i Eglwys Loegr, ac at yr *Independiaid.*; ac felly hefyd am y sacrament arall. Ond er 1813, hyd yn awr, yr ydym yn helaethach ein breintiau. Mae yn bresennol tua 450 o gymmunwyr yn derbyn y cymmun bob mis. Y mae genym yn awr bedwar o bregethwyr, sef Rowland Davies, William Williams, Robert Williams, a T. C. Evans; wyth o henuriaid, sef Griffith Owen, Robt. Morris, John Hughes, Robert Williams, Robert Hughes, David Hughes, William Jones, a Joseph Hughes. Y mae dau wedi eu magu yn ein *society*, yn fyfyrwyr yn Athrofa y Bala, sef John Parry, a William Lewis; yr olaf yn bwriadu myned yn genadwr at y Paganiaid; a 500 o aelodau Eglwysig.

Pe buaswn yn ysgrifenu er's deugain mlynedd yn ol, mae yn debyg y buasai gwell coffa am bethau a aethant heibio; ond gan nas gellir galw doe yn ol, gwnewch y defnydd ar a alloch o'r hyn sydd; ac os na wnewch, nid oes dim gobaith i'r oes hon na'r oes a ddel wybod am ymdrechiadau a helbulon ein hen dadau, a'n mamau yn Eglwys Manchester.

O herwydd ein bod mor bell oddiwrth ein brodyr, ac oddiwrth gymmorth y Cyfarfodydd Misol, byddai ein hen dadau yn cael eu blino yn fynych, a'n cymdeithas yn cael ei therfysgu yn aml, gan ddynion o feddyliau mawr am danynt eu hunain, a mwy o oleu yn eu penau nag o ras yn eu calonau, sef proffeswyr a fyddent yn dyfod yma o Gymry, un oddi yma ac un oddi draw, megis o Amlwch, Bala, Caernarfon, &c. fel hyn y gwelais i medd un, fel hyn y gwelais innau medd y llall, ac felly y dylai hi fod, &c.

Nid wyf yn cofio dim pethau neillduol i'w hysgrifenu, heblaw pethau y byddai gwell eu hanghofio.

Pan gofiaf fod fy holl frodyr wedi myned o'm blaen, a gweled fyrder oes dyn, gwelaf fod genyf achos rhyfeddu a diolch fod creadur mor anmharod i fyned i'r farn, a'r gwaelaf o'm holl frodyr wedi ei ddal yn ngwlad madden hyd yma, ond mae fy amser bron a dirwyn i ben. Ein tadau a fuont feirw, a ninnau a awn ar eu hol hwynt. Ac megis y dywed Dafydd, 'Nid oes ond megis cam rhyngom ni âg angeu.'

'Mae'm rhedfa is y rhod,
Yn nesu at y nod,
I'm hymdaith hon, is awyr gron,
Mae diwedd bron a dod:
Fy mhabell frau sydd yn llesghau,
Ac yn gwanhau o hyd;
Ac yn y man, daw'r amser pan
Bydd f'enaid gwan, yn fywiol ran,
Mewn annherfynol fyd.'

*Manchester.* JOHN EVANS.

## GOFYNION.

### CAIS.

A fydd i ryw un o'ch Gohebwyr dysgedig ysgrifenu ar Athronyddiaeth y meddwl dynol. Mae Awdwr y Paham a Pha fodd yn dywedyd yn y Drysorfa, mai Dr. Brown sydd wedi ysgrifenu oreu ar hyn. Mae Chalmers, yn ei *Natural Theology*, yn cyfeirio i'r 74 a'r 75 o Areithiau y Dr. ar hyn. Mae hyny yn dangos i'r Dr. ddywedyd llawer ar y matter.

Cael gan ryw un a allo i ysgrifenu ar hyn, a'i gyhoeddi yn y Drysorfa, roddai foddlonrwydd nid bychan i mi ac ereill.

### ARALL.

SYR, bod i ryw un medrus ysgrifenu ychydig i'r Drysorfa ar Araethyddiaeth, gan ymymdrechu i roddi rheolau da i gyfansoddi a thraddodi areithiau a phregethau. Mae gan y Saeson lawer o lyfrau ar hyn. Caniatewch i ninnau gael ychydig ar hyn yn y Drysorfa.

*Ystrad Isaf.* IAGO.

BARCHEDIG SYR,— Adeiledir, yn y gymmydogaeth yr wyf yn byw, dŷ addoliad newydd i'r Trefnyddion Calfinaidd, yr hwn

a agorir yn mhen ychydig amser; a chan nad oes yn Llyfr Hymnau Williams, Pantycelyn bennillion priodol i'r achlysur hwnw, byddaf yn dra diolchgar, os bydd i'r beirdd perthynol i ein cyfundeb, megis Iago Trichrug, D. C.; Pedr; R. E. ac ereill, gyfansoddi ychydig, a'u hanfon i'r Drysorfa, erbyn mis Mai; ac os oes rhai yn llyfr Mr. Morris Davies, dymunwyf arnoch eu gosod yn Rhifyn Ebrill. Eich cydsynied a foddha lawer, heblaw

*Ger Lughor.* TREFNIEDYDD.

---

SYR,—Dymunaf gael eglurhad ar 1 Cor. 11. 10. 'Am hyny y dylai y wraig fod ganddi awdurdod ar ei phen, o herwydd yr angylion.'

1. Pa beth a feddylir yma? ai ei phen ei hun, neu y gwr, neu Crist pen yr Eglwys?

2. Paham y dylai fod ganddi awdurdod ar ei phen o herwydd yr angylion?

*Caerludd.* S. LEWIS.

---

PA fodd y gellir cyssoni y 3edd adnod o'r 4edd bennod o'r Hebreaid, a'r 5ed Erthygl yn 'Cyffes Ffydd.'

Fe sonir yn y Bibl am ychwaneg nag un ffydd: Pa un ai gwahanol ffydd ydynt, ai gwahanol weithrediadau gwir ffydd?

Ychydig o eglurhad ar y rhai hyn fyddai yn dda genyf. DEWI IAL.

## ATEBION.

### SYLW

*Ar Atebiad* BEDYDDIEDIG *yn Rhif.* 109, *tu dal.* 16.

MR. GOLYGYDD,—Wrth ymddangos o honof fel gwrth-atebydd i'm cyfaill Bedyddedig; nid fy nyben i yw cynhyrfu unrhyw ddadl boenus er llychwino gwyneb dysglaer eich Trysorfa, eithr sylwi o honwyf tra mae dynion yn cytuno yn unfryd fod i blant rhieni proffesedig hawl i aelodaeth Eglwysig, y maent ar yr un pryd yn amrywio llawer o barth yr hyn sydd yn rhoddi hawl i'r cyfryw aelodaeth, ac fel hyn y mae yr achos rhyngwyf fi â'm cyfaill Bedyddiedig. Y mae efe yn meddwl mai proffes eu rhieni sydd yn rhoi hawl i blant y cyfryw i aelodaeth Eglwysig.

Yr wyf finnau yn tybied yn wahanol, oblegid os felly, pe diarddelid y rhieni, neu iddynt wrthgilio, byddai cyssondeb pethau yn galw am ddifeddiannu eu plant o'u hawl yr un pryd. Peth arall, os gwna proffes eu rhieni y tro i'w plant, paham na wnai pob peth arall rhieni y tro yr un cystal. Eithr tybied yr wyf finnau fod eu hawl i aelodaeth Eglwysig yn seiliedig yn addewid Duw yn nghadarnhad ei gyfammod i fod yn Dduw iddynt, Gen. 17. 7. Pa wrthdro bynag ddigwydda i'r rhieni, ni effeithia ddim ar hawlfraint eu plant.

Nid yr addewid i rieni sydd yn rhoddi hawl i'w plant, eithr yr addewid iddynt hwy fel ag y maent yn had y cyfryw; o ganlyniad, nid oes a'u difeddianna o'u hawl ond eu pechod, neu eu gwrthgiliad eu hunain. Eilwaith, tra tybiwyf na wna proffes rhieni y tro i'w plant, yr wyf yn sicr y gwna addewid Duw y tro yr un cystal i'r plant ag y gwna i rieni; yn gymmaint a'i bod yn cynnwys ynddi yr holl ras, a'r holl fendithion y bydd arnynt eu hangen mewn amser, ac i dragywyddoldeb, 'Ac mi a fyddaf yn Dduw iddynt.' Fe allai y byddai yn fuddiol crybwyll paham yr addewid yn hytrach na phethau ereill y cyfammod. Yn un peth am fod yr addewid yn rhagflaenu pob gosodiad o eiddo y Jehofa mewn dyledswyddau a rhagorfreintiau, a gorchymynion cynnwysedig yn y cyfammod tragywyddol i had Abraham.

Peth arall, y mae yr addewid nid yn unig yn rhoi hawl i aelodaeth ar y ddaear dros amser, ond hefyd yn sylfaen gobaith am gael cyd-etifeddu â'r Eglwys orfoleddus yn y trigfanau nefol am dragywyddoldeb. Y mae yn rhesymol meddwl fod hawl i gychwyn gyda'r teulu, a gobaith bod gyda hwy am dragywyddoldeb yn seiliedig ar yr un man. Ac hefyd am fod yr addewid yn cynnwys ynddi yr holl ras ag sydd yn angenrheidiol er cymmwyso ac addasu i fwynhau yr etifeddiaeth anllygredig a diddiflanedig ag sydd yn nghadw yn y nefoedd i'r rhai oll a garant ei ymddangosiad ef; a chyda phriodoldeb y gellir dywedyd am hon, fel ag y dywedir am y gorchymyn, ac od oes un addewid arall wedi ei gadael i ni, y mae wedi ei chymmeryd yn gryno yn yr addewid hon, 'Myfi a fyddaf yn Dduw i chwi.' Ond pa fodd y mae cenedloedd crediniol gyda'u had yn dyfod i mewn i'r hawlfraint Eglwysig a gyfammodwyd i Abraham ac i'w had?

Mi a debygwn mae yn hollol yn ol y cyfarwyddyd sydd yn y cyfammod tragywyddol; dywed yr Yspryd Glân yn ngenau Dafydd fod 'dirgelwch yr Arglwydd gyda'r rhai a'i hofnant ef, a'i gyfammod i'w cyfarwyddo hwynt.'

Nid rhaid i'r rhai sydd yn ofni yr Arglwydd ddychrynu rhag eu bod yn pechu yn erbyn Duw, tra yn dilyn cyfarwyddyd y cyfammod ychwaith, 'Pe byddent ynfydion ni chyfeiliornant.' Ac wrth edrych i mewn i'r gosodiad yn yr Hen Destament a'r Newydd, a chyferbynu y naill gyda'r llall, yr ydwyf yn canfod y cydgordiad perffeithiaf yn yr hyn sydd yn rhoddi hawl i aelodaeth Eglwysig, o dan bob goruchwyliaeth; a rhaid mai y drefn hono a ddeil yn wyneb agored y ddau Destament, ydyw y gadarnaf a'r gywiraf.

Yn gymmaint a'u bod yn adeiliedig a'r sail yr apostolion a'r prophwydi. Cawn

engrheifftiau lawer o hyn yn y Testament Newydd, mae yr un yn sylweddol yw. Yr ydoedd Abraham yn feddiannol ar ffydd y cyfammod cyn ei enwaediad; ac yn ol trefn y cyfammod y mae yn angenrheidiol fod dychweledigion o'r cenedloedd yn feddiannol ar yr unrhyw werthfawr ffydd, cyn y byddo iddynt hawl yn yr addewid nag yn un o ragorfreintiau y cyfammod tragywyddol iddynt hwy eu hunain, nac i'w had.

Nid ydyw yr addewid a gyfammodwyd i Abraham yn cael ei rhoddi trwy ddim nac i neb o'r cyfryw ddychweledigion 'Namyn trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu.' Ac yn unol á chyfarwyddyd y cyfammod y mae yr Yspryd Glân yn arwain Philip i ateb yr Eunuch o Ethopia pan yn ymgeisydd am fedydd, 'Os wyt ti yn credu fe a ellir,' &c. er mai nid enwaediad yw bedydd, ac nid bedydd yw enwaediad; etto, gan fod y ddeddf a'i hordinhadau wedi rhoddi eu lle i'r efengyl a'i hordinhadau, 'Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym mwyach dan athraw.' Gwel Galaliaid 3. 25. fe ganlyn yn naturiol, ac o angenrheidrwydd fod bedydd oddi dan oruchwyliaeth y dyddiau diweddaf yn olyniedydd yr enwaediad gynt, a'r naill fel y llall yn arwydd gosodedig a dangosadwy o'r hawlfraint Eglwysig, yr hon sydd yn seiliedig ar yr addewid fawr yn nghadarnhad y cyfammod, yr hon addewid sydd yn eu rhagflaenu o dan bob goruchwyliaeth. Eilwaith, yr oedd Abraham yn credu cyn cael yr addewid iddo ei hun, na'i had. Ac er agoryd drws y ffydd i'r cenedloedd, etto y mae yr Ysgrythyr Lân yn eu hystyried yn estroniaid oddiwrth ammodau yr addewid, hyd nes y credont yn Mab Duw.

A chyda golwg ar hyn, y mae Crist, pan yn rhoi *commisiwn* i'w apostolion i bregethu yr efengyl iddynt, yn dywedyd, 'Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig.' Fel hyn y mae gyda ceidwad y carchar, yn unol â chyfarwyddyd y cyfammod, y mae yr Yspryd Glân yn dysgu Paul a Silas i ateb ei ymofyniad pryderus trwy ei annog i gredu yn yr Arglwydd Iesu Grist, ac mewn effaith a chanlyniad o'r cyfryw weithrediad ffydd yn Nghrist y byddai yr addewid gyfammodol yn ei gofleidio ef a'i deulu, 'Cadwedig a fyddi di a'th deulu.' Fel hyn y mae y rhai sydd o ffydd yn cael eu bendithio gydag Abraham ffyddlon, a chredinwyr had Abraham, ac fel y cyfryw yn etifeddion yn ol yr addewid, yr hon nid yw amgen na'r addewid a gyfammodwyd o'r blaen i Abraham gan Dduw yn Nghrist bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd cyn rhoddiad y ddeddf.

Yn awr, wedi ceisio gwrthbrofi mae proffes rhieni, ac nid ar bob peth yn y cyfammod tragywyddol, eithr ar yr addewid, a'r addewid yn unig y mae yr hawl i aelodaeth Eglwysig yn seiliedig, ac ychydig o lawer o resymau paham ar yr addewid yn hytrach na dim arall; ac hefyd, pa fodd y mae cenedloedd crediniol a'u had yn dyfod i gyfranogi o wreiddyn ac o frasder yr olewydden, o'r hon y torwyd y canghenau naturiol ymaith trwy anghredinieseth. Nid oes genyf ond ei adael i farn well eich hunain, neu ryw un o'ch gohebwyr galluog i benderfynu yr ymryson rhyngwyf fi â'm cyfaill Bedyddiedig.

Dywed diareb Gymreig, 'Mae dau parth gwaith yw ei ddechreu.' Fe allai mai trwy gyfrwng eich Trysorfa y cyfan gysylltir pleidwyr eich cyhoeddiad yn yr un meddwl, ac yn yr un farn ar yr achos rhag grybwylledig.

ATHRAW,
*Ysgol Sabbathol Llanrwst.*

---

*Ateb i Ofyniad* BACHGENYN *yn Rhifyn Mawrth, tu dal.* 78. Am Dafydd yn rhifo y bobl. 1 Cron. 21. 1. 2 Sam. 24. 1.

GOFYNA Bachgenyn, 'A oedd rhifo y bobl yn bechod yn Dafydd?'

Ateb. Oedd, yn ddiau. Mae Dafydd ei hun yn cyfaddef hyny wrth yr Arglwydd, 'Wele, myfi a bechais, ac a wnaethum yn ddrygionus.' 2 Sam. 24. 17. Ac yn adn. 10, dywedir, 'A chalon Dafydd a'i tarawodd ef, ar ol iddo gyfrif y bobl. A dywedodd Dafydd wrth yr Arglwydd, Pechais yn ddirfawr yn yr hyn a wnaethum; ac yn awr dilea, atolwg, O Arglwydd, anwiredd dy was, canys ynfyd iawn y gwnaethum.'

Eithr, fe allai y gofyn rhyw un, pa fodd yr oedd hyny yn bechod? A ydyw yn bechod mewn brenin rifo ei filwyr neu ei ddeiliaid? Nac ydyw, pan fydd rhyw angenrheidrwydd yn gofyn am hyny. A yw yn bechod i ryw blaid grefyddol, neu i ryw Gymdeithas Eglwysig, neu gangen o Eglwys, rifo yr aelodau? Nac ydyw, os bydd rhyw achlysuron yn galw am hyny. Mae yn bechod peidio rhifo y bobl pan fyddo Duw yn gorchymyn hyny. Fe orchymynodd Duw i Moses rifo y bobl yn fuan wedi eu dyfod o wlad yr Aipht. Num. 1. 1, 2. Ac wedi hyny, pan oedd yr Israeliaid yn agos iawn i gyrr gwlad Canaan. Num. 26. 2. Yn yr amgylchiadau hyn, buasai yn bechod o anufudd-dod i orchymyn pendant Duw beidio rhifo y bobl. Ond yn yr amgylchiad yr oedd Dafydd ynddo, a'i ddyben a'i amcan yn myned at y gwaith, yr oedd rhifo y bobl yn bechod mawr.

1. Dywed rhai fod pechadurusrwydd y weithred o rifo y bobl gan Dafydd y pryd hyn, yn tarddu oddiar ei fod yn gwneyd hyny heb gael gorchymyn pendant gan Dduw i wneyd, megis ag y cafodd Moses, yn yr amgylchiadau a soniwyd uchod.

2. Dywed ereill, fod pechadurusrwydd y weithred yn sefyll yn ei fod wedi esgeuluso codi yr Iawn o hanner sicl o arian, gor-

chymynedig am einioes pob un a rifid, fel y gwelwn yn Exod. 30. 12, 13. 'Pan rifech feibion Israel, dan eu rhifedi; yna rhoddant bob un Iawn am ei einioes i'r Arglwydd pan rifer hwynt: fel na byddo pla yn eu plith, pan rifer hwynt—hyn a ddyry pob un a elo dan rif. Hanner sicl yn offrwm i'r Arglwydd.' Nid ydym yn cael hanes ddarfod i Dafydd godi yr offrwm hwn pan rifodd efe y bobl.

Ond y mae y pethau canlynol yn ddigon amlwg:—

1. Mai balchder calon Dafydd oedd y prif gynnyrfydd yn ei waith yn gorchymyn i Joab rifo y bobl.

2. Mai y balchder a'r hunanoldeb hwn yn benaf a barodd fod ei waith yn rhifo y bobl yn bechod mor atgas yn ngolwg yr Arglwydd.

Yr oedd ei feddyliau o'i fewn yn ymgodi ac yn ymchwyddo o herwydd ei fawr lwyddiant, ac o herwydd ehangder ei lywodraeth. Efe a ewyllysiai wybod, ac efe a ewyllysiai i ereill wybod hefyd y nifer mawr oedd o'i ddeiliaid yn alluog i ddwyn arfau, ac yn abl i fyned allan i ryfel. Ac yn wir, y mae yn ddigon tebygol ei fod yn ymddifyru wrth feddwl mai o dan ei lywodraeth ef, ac mewn mesur mawr, drwy ei fedrusrwydd a'i ddoethineb ef, y bu i'r genedl gynnyddu mor ddirfawr yn y blynyddoedd diweddar. A phwy a all ddywedyd nad oedd efe hefyd yn ymddiried gormod i amledd a medrusrwydd ei wyr arfog. Rhyw feddyliau cyffelyb i hyn oedd yn ymwthio i'w galon, ac yntau yn rhoi gormod o le iddynt, ac yn eu croesawi gyda boddhad.

Ond, pa fodd y cyflawnodd Dafydd y weithred bechadurus hon o rifo y bobl? Canys fe ddywedir yn Cronicl, 'A Satan a safodd i fynu yn erbyn Israel, ac a annogodd Dafydd i gyfrif y bobl.' 1 Cron. 21. 1. Ac yn Samuel, 'A thrachefn digllonedd yr Arglwydd a ennynodd yn erbyn Israel, ac efe a annogodd Dafydd yn eu herbyn hwynt i ddywedyd, Dos, cyfrif Israel a Juda.' 2 Sam. 24. 1. Yn awr, gofynir pa fodd y bu i Satan ei annog ef? A pha law a allai fod gan yr Arglwydd yn y peth hyn?

1. Fel yr oedd y peth yn bechod, Satan yn unig oedd yn temtio Dafydd i'w gyflawni.

2. Yr Arglwydd a oddefodd i Satan ei demtio ef, ac a oddefodd iddo lwyddo hefyd yn ei demtasiwn, fel y byddai iddo geryddu Dafydd am falchder ei galon, a chospi Israel ar yr un pryd, y rhai a'i hannogasant ef i ddigio wrthynt am eu pechodau. Neu yn fanylach, fel hyn:—

1. Y weithred bechadurus a darddodd oddiar lygredigaeth natur Dafydd.

2. Fe gymmerodd Satan y fantais oddiar y llygredigaeth hwn i'w annog a'i demtio i gyflawni bwriad ei feddylfryd.

3. Darfu i Dduw, i ryw ddybenion doeth a chyfiawn, gadw oddiwrtho bob attalfa tumewnol ac allanol, gan ei adael yn hollol i'w ddwylaw ei hun i ddilyn, am y tro, dueddiad llygredig ei feddwl chwyddedig. Dywedir am y brenin Hezeciah, pan bechodd efe yn achos cenadau o Babilon, 'Duw a'i gadawodd ef, i'w brofi ef, i weled y cwbl ag oedd yn ei galon.' 2 Cron. 32. 31. Nid oedd Duw yn ei yru ef, yn ei wthio ef, yn ei dynu ef, yn ei hudo ef, nac yn ei demtio ef, mewn un modd; ond 'Duw a'i gadawodd ef.'

Felly, yn yr un modd yn achos Dafydd; ac felly yn mhob cyffelyb achos. Felly, 'Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtier. Canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio neb.' Iago 1. 14.

Ond os myn y Bachgenyn weled ychwaneg o gyffelyb amgylchiadau i'r eiddo Dafydd, darllened yr Ysgrythyrau canlynol: —Gen. 45. 5. a 50. 20. Ecs. 7. 3. 1 Sam. 26. 19. 2 Sam. 12. 11. a 16. 10. 1 Bren. 22. 20—23. Ezec. 14. 9. a 20. 25. Act. 4. 28. 2 Thes. 2. 11.

CYHOEDDWR.

---

*Ateb i Ofyniad* T. JONES, *yn Rhif. Mawrth, tu dal.* 78. Yn nghylch eglurhad ar Jer. 22. 18.

MAE y dosparth hwn o'r bennod 22ain yn cynnwys prophwydoliaeth am farwolaeth a chladdedigaeth y brenin annuwiol a dryglonus Jehoiacim, 'Y byddai efe farw heb neb yn galaru ar ei ol, adn. 18. ac y cleddid ef â chladdedigaeth asyn, adn. 19. Ar ol ei golli, ni alarai neb ar ei ol ef, gan ddywedyd am dano, O, fy mrawd! hyny yw, ni fydd y galar fel galar ar ol brawd. Neu, O fy chwaer! hyny yw, ni fydd y galar fel galar ar ol chwaer; yr hwn yn gyffredinol sydd is-raddol i alar ar ol brawd. Ië, ni alarant am dano ef, gan ddywedyd, O ior! neu O arglwydd! neu O lywydd! yr hyn sydd is gradd o alar na galar ar ol chwaer.

Ac ni alerir ychwaith am dano, gymmaint ag i ddywedyd, O, ei ogoniant ef! Canys pa ogoniant oedd yn perthyn i lywydd dryglonus? Dim.

CYHOEDDWR.

---

*Sylw ar Ofyniad* TREFNIEDYDD, *yn tu dal.* 144, *o'r Rhifyn hwn.*

DYLASAI y Gofyniad hwn fod yn Rhifyn Ebrill; er hyny, dysgwyliwn y bydd i'r Beirdd wrando ar gais y gofynwr, ac anfon i ni bennillion ar yr achlysur a nodir, fel y galler eu cyhoeddi yn y Drysorfa, fel y gallont fod o ddefnydd etto ar amgylchiadau cyffelyb; da fyddai pe cyfansoddid amlder o bennillion i'w canu ar amryfal fesurau, fel y gwneid yr addoliadau yn fywiog. A chan fod Mr. Roger Edwards yn amcanu cyhoeddi Llyfr Emynau, anfoned y Beirdd rai iddo i'w dodi yn y casgliad hwn; dilys genym y byddant yn dderbyniol ganddo, ac o ddefnydd cyffredinol.—C—r.

## LLYTHYRAU, &c.

LLYTHYR AT Y PARCH. J. ROBERTS, O LANBRYNMAIR.

BARCHEDIG SYR,—Y mae ychydig bethau yn y llythyr a ysgrifech ataf yn Nysgedydd Mawrth ac Ebrill, ac na oddefa fy nghefndergarwch i mi eu pasio'n ddisylw.

Nid wyf yn gweled un angenrheidrwydd am wrthbrawf i'ch cyhuddiad o'm bod yn *cymeryd ffugenw i ymguddio dano;* oblegid 1af, Fod camwedd y cyhuddiad yn ddigon amlwg heb ei brofi, mor amlwg i ddarllenwyr y *Pregethwr a'r Gwrandawr* a bod *dau ddau* yn gwneyd *pedwar*. 2il, Oblegid nad yw o bwys yn y byd genyf, pa un ai euog ai dieuog o'r fath gyhuddiad y'm bernir. Ond am *guddio fy egwyddorion o dan len y Drysorfa,* yr wyf yn methu a deall synwyr yr ymadrodd. Ai cuddio fy egwyddorion, attolwg, oedd eu rhoddi yn un o'r cyhoeddiadau poblogeiddiaf yn y Dywysogaeth? Ai cuddio fy egwyddorion oedd cyhoeddi *y Pregethwr a'r Gwrandawr* yn llyfryn, fel y mae'n hawdd i'r sawl a ewyllysio ei gael, ond ei geisio mewn pryd, cyn yr elo allan o *brint?* Yn wir yr wyf wedi defnyddio'r moddion tebycaf a allaswn feddwl am danynt i wneyd fy egwyddorion yn gyhoeddus; a phe bawn yn eu danfon etto i'r Dysgedydd, efallai y dywedych mai eu cysgodi á 'llen' arall a fyddai hyny hefyd!

Oblegid i mi awgrymu nad oedd eich dull o ysgrifenu yn hollol foneddigaidd, yr ydych yn ymddiffyn trwy roddi yr un siars yn fy erbyn inau. Wel, y mae ymddyddanion y *Pregethwr a'r Gwrandawr* yn ymwneyd âg egwyddorion heb amcanu difrïo neb personau: Ie, yr ydys yn enwi rhai o farn wahanol i'r *Pregethwr,* gyda'r parch mwyaf i'w gwybodaeth, duwioldeb, &c. a phe buasech chwithau yn sefyll ar y tir hwnw, buasai yn dda genyf newid hanner dwsin o lythyrau efo chwi, a gochel pob peth a dueddai i friwo eich teimladau personol. Ond, anwyl Syr, wedi i chwi wrthod y llanerch deg hono, a dewis ymwersyllu y'nghanol dyrysni o eiriau pigog, dirmygus a gwatwarllyd, oni buaswn yn esgusodol pe dysgaswn i chwi wers neu ddwy, á drain yr anialwch hwnw.

Yr ydych yn fy meio hefyd am gybuddo rhai sydd wedi meirw o gyfeiliornadau, &c. Pe bai cyfeiliornadau yn meirw gyda'u pleidwyr, goreu pa leiaf a sonid am danynt: ond pan fo egwyddorion a fernir yn gyfeiliornus yn cael eu pleidio gan y byw, a ydyw fod eu prif ddiffynwyr wedi meirw, yn peri na ddylid eu gwrthsefyll? Os felly, ni ddylid dyweyd dim yn erbyn cyfeiliornadau Arius, Morgan, a'r Sosini, canys y mae'r enwogion hyny wedi meirw: ni ddylid dyweyd dim yn erbyn cyfeiliornadau Pain, Voltaire, a Dafydd Hume, canys 'gwyddys na ddywedant air yn ein herbyn, oblegid fod eu tafodau wedi llonyddu yn angeu, '*Syndod!*' Ond nid wyf yn cofio ddarfod i mi ddyweyd dim yn anmharchus am neb o'r rhai sydd wedi meirw; fy nghefnder o Lanbrynmair, ac nid myfi, a ddywedodd, '*fod Mr. Jones, o Ddinbych......yn rhoddi celain Mr. Christmas Evans yn ymborth i gythreuliaid.*'

Yr wyf yn ddiolchgar i chwi, am osod yn gyflawn yn y Dysgedydd, y pum pwynt o'r eiddof ag y buasech yn ceisio eu darnio er "llwydo'r dwfr," yn eich hysgrif gyntaf, yn gystal ag am alw'n yn ol y gair 'Wfft.' 'Y mae rhyddid i Gymro i wella ei air,' ac y mae'n dda genyf eich bod chwithau wedi defnyddio y rhyddid hwnw i'r graddau y gwnaethoch; a phwy a wyr na ddefnyddiwch ef etto yn helaethach. Ond nid ydwyf wedi fy hollol foddloni yn eich hymesgusodiad dros fod yn chwerwach yn nechreu, nac yn niwedd eich hysgrif, sef 'eich bod yn y dechreu yn son am ymddygiad dynion, ond yn y diwedd yn son am Iawn Crist;' oblegid 1af, Fy mod yn meddwl na fedrir cael un paragraff o'i hyd, a chymaint o son am Iawn Crist ynddo, a'r paragraff lle y mae'r gair cethin, ac yr ydych chwi eich hunan yn ewyllysio ei alw'n ol. 2il, Fod eich sylwadau diweddol yn son cymaint am ddynion, ag ydyw eich sylwadau dechreuol. Ond pa raid oedd am ymesgusodiad? Nid eich beio, ond eich canmol a wnaethum i, am fod eich hysgrif yn gwellha at ei diwedd; a buaswn yn eich canmol drachefn am hyny, oni bai eich bod yn rhyw ail chwerwi yn y llythyr diweddaf: a pheth yw yr achos o hyn, nis gwn, oddieithr eich bod yn canfod eich hun yn myned bellach bellach i'r mieri.

Ond gan i chwi fod mor garedig a gosod y pum peth sydd yn niwedd ymddyddan X. ger bron darllenwyr y Dysgedydd, yr wyf finau yn dymuno dywedyd mai fy nyben yn enwi 1, 2, 3, &c. yn niwedd yr ymddyddan hwnw,

fel yn niwedd ymddyddanion ereill, ydoedd i fod yn fantais i'r darllenydd i gofio yr hyn yr ymddyddanesid am danynt, yn hytrach nag i fod yn eglurhad ar y pethau hyny. Pwy bynag sydd ddigon diragfarn i ewyllysio gwybod meddwl y *Pregethwr* am natur yr Iawn, yn mhellach nag y mae i'w weled yn y pum peth dan sylw, dymunaf arnynt ddarllen y cwbl o'r Ymddyddanion IX. X. Wrth son am y sawl sydd yn ddigon diragfarn, byddai yn ddrwg genyf i neb arall feddwl fy mod am roddi'r fath dasg annymunol arnynt hwy.

Cymerwch arnoch ateb y cwestiynau "Ar ba du dalen y mae'r 'Pregethwr yn gwaeddi Sosiniaid ac Anffyddwyr ar ol pobl?'" ac "ar ba du dalen y mae'n dywedyd 'Nid wyf yn gwybod, ac y mae'n gabledd i neb arall geisio gwybod.'" Y mae'n wir fod *rhyw beth* ar y tu dalenau a enwasoch, ond gwyddoch na allech gael ar un o honynt fod y Pregethwr wedi gwneyd yr un o'r ddau beth a roddasech yn ei siars: a gonestrwydd fuasai i chwi gyfaddef eich camgymeriad, yn lle ceisio dirdynu pethau trwy ofyn pa argraff ydoedd hyn, a pha argraff ydoedd y llall, yn ei roddi: ac 'onid ydym i ddeall wrth yr ymadroddion hyn, eich bod yn ystyried yn rhyfyg ac yn gabledd,' &c. Nid oes dim yn 'waeddi Sosiniaid ac Anffyddwyr ar ol pobl,' oad 'gwaeddi Sosiniaid ac Anffyddwyr ar ol pobl,' er y gall peth arall fod yn debyg i hyny. Nid oes dim yn 'ddyweyd fod yn rhyfyg ac yn gabledd i neb arall geisio gwybod,' ond 'dyweyd fod yn rhyfyg ac yn gabledd i neb arall geisio gwybod;' er y gall fod peth arall yn debyg i hyny: ond nid pethau tebyg i'r pethau yna a roddech chwi yn siars y Pregethwr, eithr y pethau eu hunain. Drachefn, dywedech 'fod y Pregethwr yn dywedyd fod Iesu wedi prynu'r moddion;' a phan ofynais, pa bryd, ac yn mha le, gallaswn ddysgwyl i chwi brofi'r peth, os oedd yn wir, neu ei alw yn ol gyda'r hyn a alwasoch yn ol, os ydoedd yn gyfeiliornus, ond nid ydych yn gwneyd y naill na'r llall. Barned y diduedd, os ydych yn deilio'n deg.

Yr wyf fi etto heb fy argyhoeddi o'r anfoneddigeiddrwydd a roddech yn fy erbyn. Dywedais y medr anifeiliaid ysgyrnygu ond na fedrant ymresymu; ond nid oeddwn wrth hyny yn meddwl eich rhestru chwi, anwyl Syr, gyda'r anifeiliaid; eithr yn unig dwyn ffaith i egluro yr hyn a honaswn o'r blaen, sef nad ydyw dull garw o bleidio, yn tueddu dim at ddangos rhesymoldeb yr hyn a bleidir. Pe dywedaswn y medr y bodau anneallawl ddangos eu cynddaredd, ond mai'r bodau deallawl yn unig a fedrant ymresymu; efallai y buasai rhai yn ystyried y dull hwnw yn fwy ysgolheigaidd: ond nid oes dim i'w feio, dybygwn i, yn y cyntaf oddieithr ei fod yn rhy ddysyml ac eglur. Nid oes dim yn anfoneddigaidd yn y naill mwy na'r llall, o leiaf cyn belled ag yr ydym ni yma yn deall *etiquette;* ond efallai eich bod chwi yn Llanbrynmair yn gweled yn mhellach.

Dywedais fy mod yn coelio mai gwr ac nad gwraig yw Eta Delta, yr hyn yr ydych chwi yn ei ystyried yn beth di-*fanners*. Ond cofiwch fod y *paragraff* lle y dywedir hyny, wedi ei ysgrifenu yn atebiad i'ch gwaith chwi yn dirmygu y Parch. J. E. trwy ei alw yn 'hen feddyg y Fron,' &c. a phe cymeraswn fenthyg eich mesurau chwi eich hunan, sef geiriau pigog, am dro, i'ch mesur â hwynt; yr wyf yn meddwl mai chwychwi a ddylasai fod yn olaf i gwyno: 'canys â'r un mesur y mesuroch yr adfesurir i chwithau.' Gwyddwn fod perygl 'ateb yr ynfyd yn ol ei ynfydrwydd, rhag bod yn gyffelyb iddo:' ond etto, tybiwn fod '*good manners*' yn caniatau ateb gwawdiwr yn ol ei wawdiaith, rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun. Wrth ddywedyd hyn, nid ydwyf yn eich hystyried chwi yn ynfyd nac yn wawdiwr o ran eich nodwedd gyffredin; yr wyf yn eich hadnabod yn rhy dda i wneyd hyny: ond wrth *actio*'r nodweddiadau hyny yn y Dysgedydd, yr ydych wedi tynu'r ffrangell arnoch eich hunan.

Dywedwch 'nas gwyddoch pa fonedd a barodd i mi feddwl fod y llythyren Roeg 'E' neu 'Eta,' yn debycach i enw gwraig.' Felly yn siwr, peth rhyfedd yw tipyn o wybodaeth hefyd; gall'sai rhyw hurtyn feddwl mai *Epsilon*, ac nad *Eta*, y gelwir y llythyren Roeg 'E.' Am y gair Eta, fel enw personol, yr wyf etto yn dywedyd ei fod yn swnio yn debycach i enw dynes nag i enw dyn; ac oni bai fod genyf ryw fantais i farnu, heblaw'r enw, y buaswn yn meddwl mai dynes oedd y person: ond etto yr wyf yn coelio, o herwydd rhyw bethau ereill, mai gwr ac nad gwraig yw Eta Delta.

Y mae rhyw beth yn ddigrifol yn chwedl y Twrne a'r Ffarmwr: ond

nid mwy felly na gwaith y Ffwleriaid yn gwarafun i'r Calfinistiaid y rhyddid a honant iddynt eu hunain. Y mae rhyw *familiarity*, mae yn wir, yn y siarad, tebyg i'r hyn a ddysgwylir rhwng dau gefnder; ond ni welwn i yn fy myw ddim yn anfoneddigaidd ynddo; mwy nag yn 'stori y ddau geffyl cloff.

Yr wyf yn meddwl, pe rhoddech ddarlleniad diduedd i'm sylwnod sydd wrth ddechreu Ymddyddan II. y gwel ech annhegwch eich cyhuddiad yn fy erbyn, sef, galw fy hun yn Galfinist pan nad wyf yn proffesu bod o'r un farn a Chalfin am rai pynciau. Nid yw eich hatebiad i'r cwestiynau, yn mherthynas i alw y Methodistiaid yn Uwchgalfiniaid, ond ffaeledigaeth. Daethoch a *rhyw beth* yn mlaen o Gyffes Ffydd, ond ni allasoch enwi yn mha erthygl y mae yr un o'r pynciau a enwais o eiddo yr Uwch-galfiniaid. Dywedasoch *ryw beth* am bregethwyr y Methodistiaid, ond ni allasoch enwi neb o honynt a oddefwyd i bregethu yr egwyddorion dan sylw, yn wyneb tystiolaeth deg o hyny: ac ni allasoch enwi y gymdeithasfa y penderfynodd y Methodistiaid ar y fath bynciau: ac etto, nid ydych wedi ateb y cwestiwn. Pabam y rhaid i'r Annibynwyr alw y Methodistiaid yn Uwchgalfiniaid. Pe dywedech y gwir yn onest, yr wyf yn meddwl yr addefech eu bod yn gwneyd hyny i dwyllo y wlad i feddwl mai Uwchgalfiniaeth yw egwyddorion y bobl hyny, sef eu bod o'r un farn a Chrispe, Huntington, Toplady, &c. y rhai a wahaniaethir yn gyffredin oddiwrth Galfinistiaid, trwy yr enw Uwchgalfiniaid. Ac yn wir, yr wyf yn ofni fod y ddyfais wedi llwyddo, nes y mae llawer o'r Saeson, beth bynag am y Cymry, wedi eu harwain i gamgymeriad dirfawr am egwyddorion y Methodistiaid Calfinaidd.

Nid mor gefndergarol, anwyl Syr, yw eich gwaith yn dywedyd y caf fi fod yn Galfin, os cewch chwi fod yn Gristion; oblegid yr ydych wrth hyny, yn rhoddi tybiaeth fy mod am yr enw Calfin, i'm gwahaniaethu oddiwrth yr enw Cristion, pan y gwyddoch amgenach pethau. Pe buasai pawb o un farn am egwyddorion Crist'nogaeth, ni buasai achos am wahanol enwadau yn mhlith Crist'nogion; ond pan mae rhai'n barnu fel hyn, ac ereill fel arall, y mae'n angenrheidiol i ni gael rhyw enwau i gynnrychioli ein hegwyddorion, a gwybod pa egwyddorion y mae'r enwau hyny yn eu cynnrycholi fel na chamgymerom egwyddorion ein gilydd. Pe buasai Apolos a Chephas yn pregethu rhyw bethau croes i'r hyn a bregethasai Paul, ni buasai'r Corinthiaid i'w beio am alw eu hunain yn ddysgyblion Paul i'w gwahaniaethu oddiwrth yr eiddo Apolos, neu Cephas: ond gan mai un oedd athrawiaeth y tri, yr oedd y sawl a ddywedai 'Eiddof fi Paul, &c. 'yn gnawdol, ac yn rhodio yn ddynol.'

Y mae yn rhyfedd genyf mwy na pheidio eich bod eilwaith ac eilwaith yn hòni fod genyf fi ryw law yn eich rhwystro i'r Drysorfa. Gofynwch, a ydwyf yn dywedyd pe anfonasech eich hysgrif i mi, na buasai genyf hawl i beri iddi ymddangos yn y Drysorfa? At. Ydwyf, oblegid er fod fy enw *eleni*, yn mhlith y rhai y dysgwylir i'r ysgrifau a ymddangosant yn y Drysorfa, gael eu cymeradwyaeth, nid oedd felly *y llynedd*. Nid oeddwn yn un o'r golygwyr hyny pan anfonasoch chwi eich llythyr at Mr. P. Ond pe buaswn yn Olygwr, pa fodd y gellwch fy nghondemnio am wrthod ysgrif na welswn erioed, nes ei gweled yn y Dysgedydd? Am wrthod ysgrifenu i'r Dysgedydd; nid wyf yn cofio ddarfod i neb erioed ofyn i mi wneyd y fath beth. Ond wrth ddywedyd hyna, nid ydwyf yn condemnio, nac yn amddiffyn gwrthodiad eich hysgrif i'r Drysorfa: gwn y medr y Cyhoeddwr amddiffyn ei hun, os gwel hyny yn angenrheidiol.

Dywedech ei bod yn rhy gynar i mi roddi barn ar eich hysgrif, pan ysgrifais fy llythyr cyntaf, oblegid nad oedd y darn cyntaf o'ch hysgrif chwi wedi ymddangos. Wel, fy anwyl Syr, yr oeddych yn y rhan hono o'ch Traethawd yn awgrymu eich bod yn gorphen efo'r Pregethwr, ac na fwriadech flino darllenwyr llednais y Dysgedydd â dim yn rhagor o ddyfyniadau o hono: a chan hyny, ystyriwn fod yn bryd i minau ddyfod yn mlaen i wneyd rhyw sylw diffynol neu gyffesiadol, ar y cyhuddiadau a roddech yn fy siars.

Bum yn sefyll cryn dipyn uwchben eich sylwadau ar *liberality*, ond yn fy myw ni welwn i ddim cysgod o degwch ynddynt; oblegid, nid ceisio rhyddid i'r sawl a fynai i ddarllen yr oeddych chwi, ond ceisio gorfodi holl dderbynwyr y Drysorfa, i dalu am, beth bynag am ddarllen, y ddwy ochr i'r ddadl: ac, o'r tu arall, nid am rwystro

neb i ddarllen Traethodau ar ddwy ochr y ddadl yr oeddwn inau, ond am ryddid i bawb wneyd eu dewis. Pa un o honom sydd yn dangos mwyaf o *illiberality*, barned ereill. Yr wyf fi, beth bynag, yn dygwydd meddwl fod cymaint o *illiberality* mewn gorfodi dynion i dalu am Draethodau, ag sydd mewn rhwystro dynion i ddarllen Traethodau ereill; a dyn am helpio, os rhaid i mi gael fy rhestru, am hyny, gyda'r Chineaid a'r Pabyddion.

Yr wyf yn cydsynio â chwi fod cymhariaeth y ceffyl cloff yn rhy wael i ddangos fy meddwl ar bynciau pwysicaf crefydd; ac ni ddefnyddiais inau erioed mo'ni i'r fath beth. Y mae'n hawdd i bob darllenydd a geisio ddeall synwyr yr hyn a ddarlleno, wybod nad i ddangos fy marn ar Galfinistiaeth, na Ffwleriaeth yr arferais y gymhariaeth dan sylw; ond yn unig fel diffyniad i waith y Pregethwr yn gwrthod y gyntaf am yr olaf, pan mae yr un peth yn cael ei roddi yn erbyn y ddwy, sef, nid *annghysondeb*, ond *anhawsder* i ganfod y cysondeb. Awgrymech ddarfod i mi addef fod *system* y Pregethwr yn gloff. Gofynaf etto, Ar ba du dalen? nid ar ba du dalen y mae *rhyw beth*, ond ar ba du dalen yr addefais fod *system* y Pregethwr yn gloff? Ni wnaethum, wrth arferu y gymhariaeth dan sylw, ond rhoddi tybiaeth y gallaf gredu pethau ag y mae anhawsder yn bod i ddangos eu cysondeb â'u gilydd; a chan fod yr anhawsder yma yn ymddangos i mi yn gymaint, heb son am fwy, o du'r Ffwleriaid ag ydyw o du'r Calfinistiaid, fod mor afresymol gofyn i mi newid y naill am y llall, ag fyddai gofyn i'r Pregethwr newid ei anifail cloff am un arall cyn gloffed ag yntau. Byddai yn sarhâd arnoch, fel bod deallawl, i dybied na wyddech mai *anhawsder* i gysoni y naill beth â'r llall mewn *system*, ac nad *cloffni system* oedd yr hyn a gymherais â chloffni'r anifail: ac etto, yr ydych yn ysgrifenu'r holl *baragraff* dan sylw, fel pe baech yn tybied yr olaf. Ofnaf fod tipyn o ddrwg moesol yn hyn etto.

Dywedwch eich bod wedi ymdrechu i ddangos cloffni fy *system*, ac os byddwn cystal a'ch hargyhoeddi o gloffni eich *system* chwi, y newidiech hi yn uniongyrchol. Wel, pan ydych yn cymeryd arnoch '*mewn ysbryd cariad*,' bid siwr, ddangos cloffni fy egwyddorion; ni oddefwch i mi, *mewn ysbryd yn y byd*, wneyd hyny â'r eiddoch chwi, heb ddywedyd fy mod yn cymeryd 'ffordd dra neillduol i fyned heibio annghymhwysderau fy nghyfundraith.' Buasai ystori y Ffarmwr a'r Twrne yn hynod at y pwrpas yn y lle hwn etto, oni bai ei bod eisoes wedi ei hadrodd.

Gwnaethoch awgrymiad arall lled annghefnderaidd, sef fy mod wedi rhwymo fy hun i dderbyn egwyddorion Cymanfaoedd Dort a Westminster, a Chyffes Ffydd, tra'r ydych chwi yn dewis sefyll neu syrthio wrth yr egwyddorion a ymddangosant i chwi yn wirionedd, yn wyneb Gair Duw. Onid ydych, wrth hyny, yn rhoddi tybiaeth i'ch darllenwyr, fy mod yn cymeryd y pethau hyny yn lle Gair Duw? Os soniais am yr egwyddorion a benderfynwyd arnynt yn Nghymanfaoedd Dort a Westminster, ac a gynwysir yn Nghyffes Ffydd, onid yw'n amlwg fy mod yn gwneyd hyny, yn hytrach na'u henwi bob yn un ac un, er mwyn gochelyd meithder? Ond yn mha le, yn yr holl ymddyddanion y mae y penderfyniadau hyny yn cael eu defnyddio yn lle'r Bibl? Yn mha le y mae un difyniad o honynt i brofi unrhyw bwnc? Os na fedrwch enwi'r tu dalen, gofynaf etto, pa fodd y cysonwch eich hawgrymiad â'r '*ysbryd cariad*' yr ydych yn son am dano?

Dymunwch arnaf ddadlu y tro nesaf â chwi, a gadael y Doctoriaid Williams, Dwight, ac Owen, y *President* Edwards, Fuller, a J. R. yn llonydd. Wrth geisio dangos twyll y gyfundraith Ffwleraidd, tybiwn yn angenrheidiol ymaflyd yn rhesymiadau ei phrif bleidwyr, megis Dwight, Williams, Roberts, Jenkyn, &c. Yrwan, os nad ydych chwi o'r un farn a'r gwyr hyny, dangoswch yn mha beth yr ydych yn gwahaniaethu, ac yna bydd yn hawdd ymresymu â chwi, a gadael y gwyr hyny yn llonydd. Ond pan ydych yn ysgrifenu i bleidio egwyddorion pobl ereill, megys Jenkyn, Price, J. R. Dr. Williams, Fuller, y'nghyd â'r enwogion a ysgrifenasant yn niwedd y Galwad Difrifol,' &c. pwy fuasai'n meddwl ei fod yn beth annheg iawn son am yr enwogion hyny wrth adolygu eich hysgrif?

Gofynwch pa beth yw'r gwahaniaeth rhwng dywediad Price, o Ben-y-bont, a'r eiddof fi, yn mherthynas i wrthodwyr efengyl. Ond, mae'n debyg mai am y gwyddoch ddarfod i mi ei ateb yn deg ac yn eglur, yn fy Llythyr II. (y Drys. am Ion. tu dal. 26.) yr ydych yn ei ofyn i ereill, yn hytrach nag i mi.

Y mae hyny yn burion. Ond gofynwch etto am i mi 'ddywedyd mewn geiriau byrion' hawdd eu deall, Beth yw cynwysiad yr efengyl a wrthododd y myrddiynau hyny sydd tu draw i'r gagendor.' At. Gwrthodasant dderbyn, neu 'gredu, tystiolaeth Duw am ei Fab.' Dyna i chwi eiriau eglur, ac heb fod yn hirion iawn: gobeithiaf y gellwch eu deall.

Yr ydych yn gofyn drachefn, Beth yw sail gobaith dynion? Yr wyf yn ateb, Nid fod Crist wedi marw dros hwn, neu dros y llall wrth ei enw, mwy na bod y Tad wedi ethol hwn neu'r llall wrth ei enw; nid oes y fath obaith a hyna yn cael ei osod o flaen dynion yn yr efengyl; ond fod Mab y dyn wedi ei ddyrchafu, 'fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.'

Bellach, fy anwyl Syr, chwi welwch fy mod wedi gwneyd sylw lled fanwl ar eich llythyr, a phe buaswn yn *meddwl* fod un ran o hono '*yn annheilwng o sylw*,' prin y buaswn yn *dywedyd* hyny, rhag i chwi feddwl fy mod yn eich diystyru.

Nid oes genyf un esgus i'w roddi dros feithder fy llythyrau, heblaw prinder amser i 'studio byrdra. Mewn diolchgarwch am eich gofal am fy iechyd; a dymuniad am i ni gael ein dwyn i weled lygad yn llygad, y gorphwysa eich cefnder a'ch ewyllysiwr da,

RICHARD WILLIAMS.

*Liverpool, Ebrill* 6, 1840.

---

"PORTREAD Y PARCH. JOHN ELIAS."

AR amlen y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa gwelir Hysbysiad fod Portread o'r gwr enwog hwn yn cael ei ddarparu o dan ddwylaw un o'r cerfwyr goreu yn Llundain, ac yr amcenir ei gyhoeddi yn nechreu Mai, 1840. Yn awr meddyliais nad cymmwys fyddai myned heibio iddo yn ddisylw. Yr wyf yn ddibetrus ddigon yn barnu na ddirmyga fy nghydwladwyr, y Cymry, y cynnygiad a roddir o'u blaenau. Dwy gelfyddyd fawr sydd yn anfarwoli dynion—sef argraffu a phortreadu. A phan y byddo rhyw un enwog a defnyddiol mewn gwlad a theyrnas, nid gorwael yr amcan o geisio eu cadw mewn cof a sylw i'r cenedlaethau sy'n dyfod.

Pan ddarllenir hanes rhyw wr hynod—bid ryfelwr glew, neu wladwr enwog, neu bregethwr hyawdl—mae y meddwl yn y fan yn ceisio portreadu pa fath ddyn oedd. Llawer a glywsom ninnau, yn blant, am y Parch. D. Rowlands, Llangeitho, ac ereill, ac fel hyny y mae eu portreadau yn ateb un cwestiwn o'n heiddo, ac yn helpu ein dychymmyg i wybod pa fath rai oeddynt. Yr un modd hefyd y bydd y Portread harddwych hwn o'r Parch. J. Elias, i blant ein plant, ac yn hir ar eu holau. A chan nas gallwn addurno copa ein bryniau â chof-golofnau drudfawr i gadw ein rhai rhinweddol mewn cof—dilys genyf nad annerbyniol gan un Cymro, o ba enwad bynag, fydd amcan Cyhoeddwr y Portread hwn, (Mr. PARRY, Exchange, Caerlleon) o godi cof-golofn i Mr. Elias ym mhob tŷ yn Nghymru.

Wedi caffael o honwyf cip-olwg ar y Portread hwn yn maelfa y Cyhoeddwr, cymmeraf fy nghenad i roi gair o hysbysiad yn ei gylch. Gallaf dystio hyn—Fod y Portread yn Bortread *hardd iawn*, yn ateb yn gyflawn i'r Hysbysiad am dano, ac, yn ol fy marn i, yn *debyg ryfeddol* i'r Gwr parchedig a bortreadir. Nid yn unig y mae nodweddiad, &c. Mr. Elias yn teilyngu iddo bob cymmeradwyaeth, ond y mae y Portread ei hunan, can mor ragored yw, yn deilwng o'r parlawr goreu, ac a fydd hefyd yn addurn i'r bwthyn gwaelaf. Yn awr, gobeithiwyf a hyderwyf, gan fod ei bris mor isel, na bydd tŷ na theulu yn Nghymru heb y Portread harddwych hwn, o herwydd gresyni mawr fydd os gadewir i gyhoeddwr y portread hwn fedi ffrwyth ei antur mewn colled; ond bydded iddo dderbyn pob croesaw yn rhan o dal am ei waith.

*Caerlleon.* J. PHILLIPS.

---

Y PARCH. JOHN EVANS, CROSS INN, SWYDD GAERFYRDDIN.

Y mae yn ddywenydd mawr genym hysbysu i'n darllenwyr y cyhoeddir yn mhen ychydig amser, Bortread (*Portrait*) cywir a hardd o'r gwr duwiol ac enwog a enwir uchod. Rhoddir yr holl elw a ddeillia oddiwrth y gwerthiad at achosion crefyddol.

Y mae yn ofidus iawn genym ddywedyd nad yw iechyd y gwr parchedig yn caniatau iddo lafurio ond ychydig er ys talm, ac y mae yn bresennol yn bur wael. Hyderwn y bydd holl eglwysi Cymru yn daer o flaen gorsedd gras am ei adferiad.

ODDIWRTH OHEBYDD.

## TRYDYDD LLYTHYR IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

FY NGHYFAILL ANWYL A HOFF,—Yn fy llythyr diweddaf, cofus genyf ymdrin â gwybodaeth o athrawiaeth gras, (y rhai a gynnwysir yn gryno yn y Bibl) fel cymmwysder i flaenori yn mhlith pobl Dduw; etto, yr wyf yn meddwl fod profiad o honynt yn anhebgorol angenrheidiol i'r un gorchwyl pwysig.

Na feddwl, fy nghyfaill, fy mod, wedi dyrchafu gwybodaeth cuwch yn fy llythyr o'r blaen, ag fy mod yn golygu hyny yn ddigon; oblegid, gall dyn fod yn feddiannol ar wybodaeth ehelaeth o'r Bibl, ac etto, yn ffol yn nghyfritiad y Bibl wedi y cwbl, os nad yw yn byw o ran ysbryd ei feddwl ar bethau y Bibl, gan sugno ei dragywyddol ddigonolded o honynt. Pe bai pob gwybodaeth genym, ac heb gariad, nid ydym ni ddim. Pe bai yr holl ffydd fel y gallom symud mynyddoedd, gwneyd gwyrthiau mor hawdded ag anadlu, heb fod cariad genym, nid yw yn llesâu dim i ni. Ac o'r tu arall, y mae yn anmhosibl caru gwrthddrychau heb wybodaeth o'n rhagoriaethau.

Gwybodaeth o'r gwirionedd, heb gariad at y gwirionedd, mewn blaenor, sydd yn ei osod yn agored i ryfygu, ac arwain yr Eglwys i ddyryswch; cariad, neu zel heb wybodaeth, sydd bob amser yn cyfeiliorni. Ond gosodwch wybodaeth o'r Bibl, a chariad at y Bibl; gwybodaeth am Grist, a chariad at Grist yn nghyd; y maent fel dwylaw, un yn ei ddal i fynu rhag soddi, a'r llall yn ei gadw rhag ymddyrchafu. Y mae gwybod y pethau, a charu y pethau, yn gymmelliadol i gysson ymarferiad â'r pethau; 'Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt.' Creadur gwael yn ngolwg Duw a dynion yw blaenor dyeithr i dywydd y credadyn.

Dylai y blaenor fod yn medru dangos y tir i ereill, ag y mae efe ei hun yn pori arno, a chanmol ei ragoriaethau oddiar y prawf y mae ei enaid ei hun wedi ei gael o'i rinweddau. Gellir dywedyd oddiar hanes am lawer o bethau, ond yr hwn sydd wedi gweled a phrofi a wyr oreu. Peth mawr i ni allu dywedyd, 'Yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw am air y bywyd. Canys y bywyd a eglurwyd, a ni a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ac yn mynegi i chwi y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyda'r Tad, ac a eglurwyd i ni. Yr hyn a welsom ac a glywsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi, fel y caffoch chwithau hefyd gymdeithas gyda ni: a'n cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad, a chyda'i Fab ef Iesu Grist.'

Ti a wyddost am yr haul naturiol, fod goleuni a gwresogrwydd ynddo: y lleuad, bithau sydd yn goleuo, ond nid ydyw yn cynnesu. Y mae crefydd y pen yn debyg i'r lleuad, yn oleuni heb wres; 'Ffydd heb weithredoedd marw yw, a hi yn unig.' Ond y grefydd sydd yn oleuni yn y deall, ac yn dân yn y serchiadau, sydd fel yr haul yn goleuo ac yn gwresogi; 'Goleuni ydych yn yr Arglwydd.'

Ond i ni wneyd sylw ar y dynion oedd yn mlaen gynt gyda'r gwasanaeth dwyfol, yr oeddynt yn ddynion nerthol mewn gras. Blagurodd gras ynddynt yn ngwyneb yr anfanteision mwyaf; ychydig oedd eu breintiau, a bychan oedd y datguddiad o Dduw yn ei drefn at yr hyn sydd yn awr; etto, y mae lluosogrwydd o ras yn dangos lle y mae. Mor eglur y mae ffydd, gwylder, a pharchedig ofn Noah yn ymddangos, yn ei ufudd-dod parod i orchymyn Duw yn ngwneuthuriad arch i achub ei dŷ, ac heb fod un ymddangosiad allanol o berygl; etto, y mae ffydd yn llwyr ymorphwys ar air noeth y Jehofa.

Edrych ar Abraham, 'yr hwn yn erbyn gobaith a gredodd dan obaith.' Dyma engrhaifft o ras yn erbyn pob ymddangosiad a thebygolrwydd dynol, efe a gredodd Duw ar ei air: 'Efe yn ddiegwan o ffydd, nid ystyriodd ei gorph ei hun, yr hwn oedd yr awr hon wedi marweiddio, ac efe yn nghylch can mlwydd oed, na marweidd-dra bru Sara. Ac nid ammeuodd efe addewid Duw trwy anghredíniaeth; eithr efe a nerthwyd yn y ffydd gan roddi y gogoniant i Dduw.'

Cadernid ffydd y Patriarch mewn gweithrediad ar addewid Duw sydd yma; lle y gwelwn bod ffydd, pan y mae mewn gweithrediad, yn tori trwy bob rhwystrau ymddangosiadol, ac yn buddugoliaethu yn nghadernid y dystiolaeth. Cyfarfyddi dithau âg amgylchiadau, mae yn bur debyg, fel Cristion, ac fel blaenor, nad oes dim a'th geidw rhag gwylltio, ac anobeithio dyfod byth yn fuddugol, ond yr unrhyw werthfawr ffydd a hwythau. Gweddia am i Dduw dy wneyd yn nerthol yn y ffydd, fel y gallot nesâu yn hyderus â'th achosion ato, a dysgwyl yn gysurus am gynnorthwy oddiwrtho. Os gwan fyddi yn y ffydd, ond odid anwastad fyddi yn dy holl ffyrdd. Nid cyssondeb mawr fydd gyda dim; byddi weithiau fel hyn, ac weithiau fel arall, yn cael dy daflu a'th chwalu gan y gwynt: 'Eithr, os byddi yn ddiegwan o ffydd, er na fydd haul na sêr yn ymddangos dros lawer o ddyddiau, gall dy galon fod yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd.'

Pe byddai ffydd yn pwyso ar ymddangosiadau allanol, nid ymadawsai Moses byth o'r Aipht, oblegid yr oedd pob peth gweledig yn ymddangos yn dra anffafriol iddo lwyddo Ond gan fod ffydd yn gweled y tu hwnt i ganfyddiad dynol, yr oedd yn syllu ar ddigon ar gyfer y gwan i'w wasedu, ac

ar gyfer y digymmorth i'w gynnorthwyo, 'Efe a ymwrolodd, megis un yn gweled yr anweledig.' Yr ydoedd ffydd yn cryfhau wrth edrych ar yr anweledig. Os bydd dyn yn hir mewn tywyllwch naturiol, bydd y goleuni tanbaid yn rhy gryf i'w olygon, bydd yn methu dal ei lewyrch. Felly hefyd yn ysprydol. Edrych ar y goleuni sydd yn cryfhau y golygon i ddal mwy o oleuni. Mwynhad o ogoniant yma, sydd yn cymmwyso i fwynhau tragywyddol bwys gogoniant yn ngwlad y gogoniant. Edrych ar ogoniant yr Arglwydd mewn drych sydd yn cyfnewid i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megis gan Yspryd yr Arglwydd.' Fe fydd ôl y pethau y bydd y meddwl yn ymarfer fwyaf â hwy arnat yn mhob man, a chyda phob peth.

Mae ymarferiad cysson y meddwl âg unrhyw beth, yn ei newid i'r unrhyw ddelw. Bydd rhai yn dywedyd weithiau am eu blaenor, Y mae yn fwy ei ddwndwr a'i drafferth na neb gyda'r byd, siarad am dano drwy y dydd pe cyfarfyddech âg ef; ond pe baech yn taflu gair i mewn am grefydd, byddai yn pruddhau fel pe baech yn ei dynu allan o'i elfen. A ydyw yn rhyfeddol gweled dyn fel hyn yn hurt, ac anwybodus yn nghylch pethau crefyddol, pan y mae yn byw mor belled oddiwrthynt?

Ond am y dyn sydd yn ymarfer â phethau byd arall, mae tyst yn meddyliau yr Eglwys mai dyn ydyw sydd yn brofiadol o'r pethau y mae yn siarad am danynt. Bydd ambell un yn dywedyd am dano yn ddystaw, Mae rhyw wres yn hwn sydd yn cynnesu yr holl dŷ pan y mae yn dywedyd, fel pe bai marworyn oddiar yr allor wedi cyffwrdd âg ef. Gelli benderfynu, os byddi yn ymwneyd â'r nefoedd y bydd rhai yn deall.

Aeth Israel yn ynfyd wrth y môr coch, pan ddeallasant eu bod wedi eu cau i fynu, heb ffordd i ddiangc rhag eu gelynion. Yr oedd yn dda iddynt y pryd hyny bod eu blaenor yn ddyn cyfarwydd iawn yn y nefoedd. Yr oedd efe, drwy ffydd, wedi bod yno cyn yr amgylchiad, a chwedi ei arwain gan yr Yspryd drwy amryw o'r ystafelloedd fry: gwelodd Pihahiroth a Baalsephon, Pharaoh a'r môr, ac iechydwriaeth yr Arglwydd uwch ben yn drech na'r cwbl; am hyny y dywedodd, 'Sefwch, ac edrychwch ar iechydwriaeth yr Arglwydd.' Pe buasai heb weled iechydwriaeth yr Arglwydd ei hun, pa fodd y gallasai gyfeirio golygon ereill yno?

Bod yn nerthol mewn cariad hefyd sydd yn dra angenrheidiol. Fe dŷr cariad trwy fyrdd a mwy o rwystrau i fwynhau ei wrthddrych. Nid pob llewcyn all ddiffodd cariad at Waredwr; mae yn gryf fel angeu, fflam angerddol sydd iddo. Dyfroedd lawer ni's gallent ei ddiffodd, ac afonydd ni's boddant. Yr egwyddor gymmelliadol gryfaf at wasanaeth Duw yw cariad. 'Yr awr hon, y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn; a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad.' Duw ydyw ffynon cariad; ac os byddi yn byw yn agos at y tân, byddi yn sicr o dwymno yr holl dŷ. Ni chei di ddim diolch yn nydd y farn am ddim a wneist gyda'r achos, heb ei fod yn dylifo o egwyddor o gariad. Llawer sydd wedi bod, fel y gwyddost, yn bwrw allan gythreuliaid yn ei enw ef, ond er mwyn derchafiad i'w henwau eu hunain; am y rhai y dywedir yn y dydd mawr, 'Nid adnabum chwi erioed.' Eithr am y llafurus gariad a ddangoswyd tuag at ei enw, er fe allai, mor waned a llin yn mygu, bydd mewn tragywyddol goffadwriaeth.

Terfynaf yn awr, rhag i'm ysgrifell redeg i feithder, a thrwy hyny dy flino, gyda dymuno gras lawer i ti a thangnefedd.—Wyf dy annheilwng gyfaill,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

## LLYTHYR

*Oddiwrth y Parch.* WM. MORRIS, *Tŷ Ddewi, (gynt o Gilgeran,) at Mr. a Mrs.* JAMES MORTIMER, *Caerfyrddin, ar yr achlysur o farwolaeth eu hunig blentyn.*

*Castell Newydd, Mai* 10, 1838.

FY ANWYL GYFAILL yn nyffryn trallod,—Y foment y clywais am eich amgylchiad, meddyliais am ysgrifenu atoch; ond erbyn myned at hyny, ni's gwn pa le i ddechreu. Gwn beth ydyw yfed dyfroedd chwerwon yn anialwch y byd hwn; etto, ni's gwn pa fodd i weini cysur i ereill yn yr unrhyw amgylchiad. Mynych y bu hyny yn achos cywilydd a gofid i mi, sef o eisieu doethineb a medr yn hyn. O na allwn, fel y Samaritan gynt, roddi olew a gwin yn archollion y trallodedig!

Bydded symudiad eich anwyl blentyn oddiwrthych trwy angeu, yn foddion i'ch arwain yn gyntaf i olwg y *cwymp echryslon* a gafodd y teulu dynol. Rhaid fod yr holl hil ddynol yn cael eu golygu yn y dyn cyntaf Adda, cyn bod ei drosedd cyntaf ef yn effeithio ar ei holl hiliogaeth. Pa mor ofnadwy raid fod cynnwysiad y bai hwnw gan ei fod yn parhau i ladd yn ein byd ni, a hyny yn y pellder o filoedd o flynyddau er pan y'i cyflawnwyd. Rhuf. 5. 12, 13, 14.

Yn nesaf, cymmerwch y tro hwn yn achlysur i werthfawrogi y cyfammod tragywyddol yr hwn a gadarnhawyd â gwaed Iesu ein Harglwydd ni, Bugail mawr y defaid. Yr ydoedd hwn yn henach na'r un a wnaed yn ngardd Eden. Yn y trefniad grasol hwn yr oedd y breichiau tragywyddol odditanodd, yr hyn ni wyddai yr hen sarph. A datguddiad o hono yn nghyhoeddiad o Had y wraig a daflodd holl byrth uffern i ddyryswch. Ac yn y cyfammod hwn y mae yn addaw bod yn Dduw i ni, ac i'n had. Ac nid yw bod neb yn ngwlad dywyll angeu yn un rhwystr i'r

cyfammod hwn fod â'i afael ynddynt. 'Canys pawb sydd fyw iddo ef.' A phan y byddo holl ffynonau cysur wedi sychu i fynu; rhydd hwn i chwi y pryd hwnw heddwch fel yr afon. A saif arch y cyfammod hwn yn ddelus, hyd yn nod yn yr Iorddonen ei hun. Darllenwch eiriau diweddaf Dafydd am hyn. 'Er nad yw fy nhŷ felly gyda Duw, etto, cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi wedi ei luniaethu yn hollol, ac yn sicr.'

Hefyd, bydded i farwolaeth eich anwyl blentyn eich arwain i olwg Penarglwyddiaeth y Duw sydd yn feddiannydd nefoedd a daear; yr hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun. Nid ydyw efe yn rhoddi cyfrif am ddim o'i weithredoedd. 'Yr Arglwydd yw efe;' ond, O, mor anhawdd ydyw, mewn awr o brofedigaeth, i ddywedyd, 'Gwnaed a fyddo da yn ei olwg.' Ond gweddus i ni gredu mai i'r graddau y'n dygwyd i hyn, yr ydym wedi ein sancteiddio, yn tebygoli i Iesu; yr hwn, pan oedd ei enaid yn drist angeuol, a ddywedodd, 'Nid fel yr wyf fi yn ewyllysio, ond fel yr wyt ti.' Pan lyngcir ein holl ewyllys i fynu yn gwbl i ewyllys Duw, y pryd hwnw y byddwn wedi meddiannu holl ogoniant ein sefyllfa gyntefig.

A bydded gweithrediad rhagluniaeth y nefoedd tuag atoch eich tywys i olwg rhyfeddol gariad Duw yn rhoddiad ei uniganedig Fab yn Iawn dros ein pechodau. Pwy all ddywedyd nad hyn oedd yn ngolwg yr holl ddoeth Dduw wrth brofi Abraham. Galw arno i aberthu ei unig Isaac, i'w arwain i olwg ymysgaroedd Duwdod yn dryllio ei anwyl Fab, a hyny dros ei elynion. Ioan 3. 16. Y Duw a wnaeth hyn, beth na wna i arwain ei bobl i olwg y drefn ryfedd hon? Nid ydoedd agosrwydd eich perthynas, a'ch anwyldeb chwi at eich unig blentyn, ond eithaf estroniaeth a phellder at agosrwydd y Personau Dwyfol at eu gilydd; etto, nid arbedodd ei briod Fab! 'Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio.' A thrwy ei glwyfo ef, cafodd falm at ein holl glwyfau ni. Un dafn o'r cariad a'r gras ag sydd yn y drefn hon, a felusa fôr o ddyfroedd Mara. Yfwch yn helaeth, rai anwyl, o'r ffynon hon. Os drylliwyd eich costrel bridd, y mae ffynonau iechydwriaeth yn llawn. Heb. 3. 17, 18. Y dydd y diddyfnwyd Isaac, dyna y dydd y gwnaeth y tad wledd yn ei deulu.

Dywedodd un gynt wrth gladdu ei unig etifedd, 'Pe cawn y cysuron ag wyf yn ei fwynhau heddyw, byddwn foddlon i gladdu unig blentyn bob dydd o'm bywyd.'

'Ond rhyfedd iawn y rhinwedd sy'
Mewn lleied gradd o'r nefoedd fry.'

Hwyrach na flinech, pe arweiniwn chwi unwaith etto trwy hyn i olwg gwagedd y cwbl yn ngwlad y creadur. 'Fel blodeuyn y daw allan, ac y tyf.' Ni's gwyddom y gwerth sydd yn ngolwg y Meddyg nefol ar y pethau ag sydd yn gwywo tegwch pethau daearol yn ngolwg ei saint ef. Nid ydwyf yn ammeu na fyddwch yn ennill oddiwrth y tro chwerw hwn dros holl daith eich pererindod. Pan ddaw y temtiwr etto â gogoniant pethau daearol i olwg eich meddyliau, er mwyn eich hudo oddiwrth Dduw, yna daw symudiad eich plentyn i fro y llwch i'ch cof, er pwlu awch ei demtasiynau ef. Ac felly, chwi a gewch elw tragywyddol o'ch tristwch amserol. Gan rym ein tuedd ni i eilunaddoli pob peth, a'u gosod yn ein calonau yn lle Duw a'i Fab ef, nid wyf yn synu fod doethineb ein Tad yn ein siomi ni yn ein pethau anwylaf, a malu ein heilunod i fod yn llwch yn ein diodydd.

Cofiwch hefyd ddywedyd, o Frenin Sion, mai eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd. Y rhai sydd wedi dianc i fynwes Iesu, beth a gymmerant hwy am ddychwelyd, i freichiau y rhieni mwyaf serchiadol. Chwi a gyflwynasoch eich anwyl blentyn laweroedd o weithiau mewn ffydd i Dduw, fel yr wyf yn credu; bellach, nid oes i chwi guro dim arnoch eich hunain yn nghylch ei dragywyddol sefyllfa.

Bellach, bydded i chwi ymwroli, a golchi eich gwyneb, a chyfodi o'r llwch, a dywedyd fel y gwr hwnw gynt, 'Mi a âf ato ef, ond ni ddychwel efe ataf fi.' Cymmerwn yr *hint* oddiwrth farwolaeth ein perthynasau i ymbarotoi i'r un daith ein hunain; canys beth yw ein heinioes, onid tarth ydyw.

Bellach, taflaf y pin o'm llaw, gyda chyngor yr Apostol Petr, 'Gan wregysu lwynau eich meddwl, a bod yn sobr; gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn natguddiad Iesu Grist.'

Hyn yw dymuniad un ag sydd yn cydymdeimlo i raddau â chwi yn eich trallod.

W. Morris.

---

## CYFFES FFYDD.

### *At Gyhoeddwr y Drysorfa.*

Barch. Syr,—Er nad yw yr hyn yr wyf yn myned i sylwi arno yma o nemawr bwys i'r dosparth Cymreig o'r Enwad Crefyddol y mae eich Cylchgrawn yn perthyn iddo, etto nis gwn am un cyfrwng mwy priodol i'w ddefnyddio tuag at ragflaenu gwall a ddichon fod yn niweidiol i'r dosparth Seisonig o'r Enwad hwnw, ac, ysgatfydd, yn ddefnydd tramgwydd, os nid enllib oddiwrth ereill y dygwyddo iddynt ddarllen y cyfieithiad Seisonig o'r llyfr a enwyd uchod, sef "*Cyffes Ffydd y Corph o Fethodistiaid Calvinaidd.*"

Y mae'n lled ddiamheuol, mewn perthynas i'r gwall y cyfeiriaf ato, mai yn amryfusy y gwnaed ef gan y cyfieithydd, ac

y llithrodd drwy y wasg, canys y mae'n wall o'r fath ddull ag sydd yn hawdd iawn ei wneuthur heb feddwl, ac i fyned heibio iddo heb ei ganfod; ac etto, pan y craffer arno, y mae yn ymddangos yn dra chwithig, heblaw ei fod yn gŵyrdroi pwngc pwysig mewn duwinyddiaeth cyn belled ag y dichon *dau air* wneuthur hyny.—Y gwall sydd i'w weled yn Nosparth 30ain o'r Cyffes, sef y Dosparth 'Am y Ddeddf Foesol,' tu dalen 89, o'r ail argraffiad o'r cyfieithiad Seisonig, ac yn gynnwysedig yn yr ymadrodd canlynol:—

"—— *the same Law which was published by Christ in the Gospel, in two principal commandments, love to God and love to our neighbour; the* FIRST *springing out of, and acting as a test to the* LATTER."

Yn yr argraffiad Cymreig (sef y cysefin,) o'r Cyffes, y mae yr ymadrodd hwn fel y canlyn:—

"——yr hon [Gyfraith] hefyd a gyhoeddwyd gan Grist yn yr efengyl, mewn dau brif orchymyn; sef cariad tuag at Dduw, a thuag at ein cymmydog; y DIWEDDAF yn deilliaw oddiwrth y CYNTAF, ac yn brawf o hono."

Yn awr, cenfydd y darllenydd mai y gwall yn y *cyfieithiad* i'r Saesneg yw, bod y gair FIRST wedi ei ddodi am DIWEDDAF, a'r gair LATTER am CYNTAF—ni ddichon bod geiriau mwy gwrthwynebol i'w gilydd. A'r gwahaniaeth yn yr *ystyr* yw bod y darlleniad Cymreig yn dywedyd mai oddiwrth gariad at Dduw y deillia cariad at ein cymmydog; ond y darlleniad Saesonig yn dywedyd mai oddiwrth gariad at ein cymmydog y deillia cariad at Dduw, yr hyn, fel y mae'n ddilys genyf, nid yw yn rhan o gredo y Methodistiaid Calvinaidd. Ond pa fodd i ddileu y gwall, neu i attal ei led daeniad, gadawaf i benaethiaid y Corph hwnw ddefnyddio y moddion a farnont yn oreu. O leiaf, mi a obeithiaf y diwygir y gwall hwn yn yr argraffiad Saesoneg nesaf o'r llyfr.

*Caerlleon.* H. JONES.

## DIRWEST YN YR IWERDDON.

MAE yr hanes a gynnwysa y Llythyr hwn am Ddirwest yn yr Iwerddon, yn sicrhau gwirionedd yr hanesion cyffelyb a gyhoeddasom o'r blaen.—CYH.

ANWYL GYFAILL,—

Ddoe oedd ddiwrnod arbenig yn Dublin, oblegid ei fod yn Wyl Sant Patrick. Bu yn ddiwrnod i ddwyn Dirwest i sylw pob graddau yn y dref a'r gymmydogaeth. Cynnaliodd y Dirwestwyr eu gorymdaith, yr hon oedd tu hwnt i'r un a welais o'r blaen erioed o ran llawer o bethau.

Cyfarfuasant mewn maes eang sydd yn nghanol y dref am 11 o'r gloch yn y boreu, a cherddasant bob yn bedwar trwy brif heolydd y dref. Er bod yma rai heolydd yn 63 llath o led yr oeddynt yn llawer rhy gyfyng i ddal yr edrychwyr. Bernir bod yr edrychwyr yn ddim llai na 400,000, sef cymmaint tua phum waith ag sydd yn Sir Gaernarfon! Ni achosodd dim y fath gynnwrf ar y ddinas er pan y bu Sior IV. yma. Yr wyf yn meddwl y timla y fasnach feddwol ei effeithiau byth bythol.

Yr oedd oddeutu 30,000 o Ddirwestwyr yn cario eu ffyn, rhibanau mawrion, a'u bathodau. Y rhan fwyaf o honynt oedd Babyddion, yn nghyda Phrotestaniaid o bob enw, a Chrynwyr a Deistiaid. Ac er eu bod yr elfenau mwyaf anghyd-darawol sydd mewn natur, etto parodd eu hundeb i effeithio syndod i'r dref, a dadymchwellad bron i'w phrif arferiad llygredig. Yr ydoedd cannoedd o'r *Police* yn eu dilyn ar eu ceffylau, a rhai o wyr penaf y dref mewn cerbydau, a chwech o geffylau gwynion yn mhob cerbyd yn eu tynu.

Yr oedd saith dosparth o gerddorion ag sydd yn perthyn i'r fyddin, yn eu dillad milwraidd, ar gerbydau mawrion uchel sydd yn perthyn i'r llywodraeth, yn canu; telyn ar gerbyd arall, a phrif delynor yr Iwerddon yn ei chanu; lluaws mawr o faneran, ac ar un o honynt yr oedd darlun o hen wr tew yn chwerthin uwchben lwmp mawr crwn o *bwdin brith*, a chyllell a *fork* yn ei ddwylaw. Yr oedd miloedd yn chwerthin ac yn gwaeddi pan oedd y faner hon yn myned heibio.

Yr ydoedd miloedd o'r Dirwestwyr hyn wedi cychwyn o'r wlad cyn dydd, oblegid fod iddynt lawer o ffordd; ac o herwydd eu bod yn cerdded ar hyd lle pur garegog, â phethau gwaelion am eu traed yr oedd llawer o honynt wedi cloffi erbyn pedwar o'r gloch, ond yr oeddynt yn ymddangos mor awyddus i gerdded, fel yr oeddwn yn meddwl y buasent yn dewis gwisgo eu traed hyd at eu fferau cyn y buasent yn peidio.

Sefais mewn lle cyfleus i'w gweled, a buont oddeutu dwy awr cyn fy mhassio, er eu bod yn myned o hyd! Methais a pheidio wylo o lawenydd wrth feddwl fod hen iau greulon anghymmedroldeb yn cael ei ddryllio, yr hon oedd wedi suddo tô ar ol tô o'r Gwyddelod yn is na'r bedd.

Dechreu Dirwestiaeth yn Dublin ydyw hyn oll, oblegid y mae Father Mathew wedi cael rhyddid i ddyfod yma; dywedir ei fod yn dyfod yr wythnos nesaf. Yn mhob ymresymiad a fu rhyngwyf â'r Gwyddelod ar Ddirwestiaeth, 'Mi a lawnodaf pan ddaw Father Mathew yma,' y maent oll yn ei ddywedyd.

ROBERT WILLIAMS,

44, *Sir John Roger's Quay,*
*Dublin, Mawrth* 18, 1840.

Anfonwyd y llythyr uchod at Mr. Evan Edwards, Bethesda, Sir Gaernarfon, yr hwn a'i hanfonodd i'r Cyhoeddwr i'w argraffu yn y Drysorfa.

# BARDDONIAETH.

## CYNNYRCH MYFYRDOD

*Ar farwolaeth* RICHARD WILLIAMS, *Henuriad perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Rhos-y-bol, Sir Fon, yr hwn a fu farw Ionawr*, 1840.

ANGEU sydd yn chwyrn gynniwair
Drwy'n hardaloedd yn ddiball;
Nid yw'n eiriach rhyw na graddau,
Da na drwg, rhai ffol na chall;
Mae ei sŵn yn peri dychryn
Drwy bob goror is y ne',
Bylchau galar, llefau, dagrau,
Sy'n ei ddilyn yn mhob lle.

Ar yr amser terfynedig
Fe ollyngodd hwn yn hy'
Saeth oddiar ei rymus fwa,
Ac a gwympodd fugail cu,
Sef y ffyddlon Richard Williams,
Mae ei gofio yn fy mryd,
Bu dros wyth a phedwar ugain
O flynyddau yn y byd.

Nid oedd Richard wrth naturiaeth
Ond gelynol blentyn llid,
Adyn euog aflan marwol,
Megis dynolryw i gyd;
Heb ewyllys, chwaith na gallu
I ymadael byth â'i fai,
Heb deilyngu dim ond drachtio
Môr o lid heb arno drai.

Ond y Duw sydd yn gyfoethog
O drugaredd, ac o ras,
A'i gwaredodd ef o feddiant
Y tywyllwch erchyll cas;
Ac er syndod a'i symudodd
Ef i deyrnas brenin hedd,
Lle bu'n filwr gwrol ffyddlon
Heb encilio hyd y bedd.

Planwyd yn ei enaid gwiwlon
Egwyddorion sanctaidd gwiw,
Egwyddorion digyfnewid
Gan drag'wyddol Ysbryd Duw;
Têr ddysgleiriodd goleu nefol
Yn ei feddwl tywyll prudd,
Trechodd hwnw bob tywyllwch,
Weithian aeth yn fythol ddydd.

Impiwyd ef drwy ffydd yn gadarn
Yn y wir winwydden fawr,
Dan gawodau'r nef fe ddygodd
Ffrwyth a bwysai hyd y llawr;
Er na chafodd ddoniau hynod,
A rhyw Athronyddol faeth,
Ond yn ëon gallaf dd'wedyd,
'Rhyn a allodd hwn a'i gwnaeth.

'Roedd yn oruchwyliwr ffyddlon,
Syml a manwl yn y tŷ,
Ond fe'i cipiwyd o'n mynwesau,
Bwlch a galar yma sy';
Cyn ymadael, fe ddywedodd,
Wrth ei frodyr anwyl am
Gadw'r tŷ yn lân a gochel
Rhag y caffo unrhyw gam.

Achos Iesu oedd yn pwyso
Ar ei feddwl ddydd a nos,
Bu'n ymdrechgar a bendithiol
Er ei lwyddiant yn ei oes;
Boed i Arglwydd y cynhauaf
Alw gweithwyr yn ei le,
Wedi llanw eu hysprydoedd
Ag ennynol dân y ne'.

Wedi gorphen ei wasanaeth
Yma ar y ddaear ddu,
Rhoddodd naid o eigion cystudd
I'w anneddle lonydd fry;
Llyngcwyd enaid y trengedig
Gan berffeithrwydd gwlad yr hedd,
Ac wrth floedd y chwim Archangel
Daw ei gorph i'r làn o'r bedd.

*Rhos-y-bol.* W. WYLLT.

## CWYMP DYN.

PAN grewyd dyn ar ddelw Duw,
Y gyfraith oedd mewn bri;
Yn berffaith gyd-ffurf amlwg yw,
Yr ydoedd dyn â hi.

A chynnwys mawr addewid Duw
I Adda a'i holl had,
Os wrth y gyfraith y gwna'i fyw,
Oedd nefoedd mewn mwynhad.

Ond cynddrychiolwr meidrol oedd,
Am hyn cyfnewid wnaeth,
A thori cyfraith Duw ar g'oedd,
A dwyn ei hil yn gaeth.

Ar orsedd bur Jehofa mawr
Tafiasom ein sarhad,
Yr hyn garcharodd deulu'r llawr,
Heb ganddynt wawr rhyddhad.

Ac yn y t'w'llwch dudew erch
Gorweddynt Adda'i had,
Heb ynddynt ddim a dynai serch
Duw arnynt er rhyddhad.

Ar ddyffryn du trueni mawr,
Tra baeddynt yn eu gwaed;
Heb ganddynt obaith gwell yn awr,
Ond gruddfan am a wnaed,

Yn dysgwyl am anfeidrol ddwrn,
I'w taro yn y fan;
Neu dân dragwyddol ysol ffwrn,
Can's dyna'u cyfiawn ran.

Gan mai meidrol ydoedd dyn,
Anfeidrol ddyrnod Duw,

Ni's gall'sai oddef ynddo'i hun,
Gwirionedd amlwg yw.

Am hyn doethineb Duw ddai'n nghyd
I drefnu ffordd ddiball;
Sef, tra'gwyddoli yn ei hyd
Yn gosp heb unrhyw wall.

(Fenaid gwael, mor isel oedd
Dy gyflwr di'r pryd hyn,
Pryd nad oedd ffordd gan Dduw yn g'oedd,
I'th ddwyn o'r c'ledi hyn.)

Cyfiawnder Duw a waeddai'n awr
Am ddial ar y byd;
Digofaint Duw, fel cwmwl mawr
Yn grog uwch ben o hyd.

Taranai'r ddeddf, melltenai'n erch
Trwy awyr marwol fyd;
Am iddynt wrthod c'lymu ei serch
I'w chadw'n bur o hyd.

Y fwyall lem, gosodwyd hon
Ar wreiddyn dynolryw,
A thori i lawr bob cnawd o'r bron
Oedd llef cyfiawnder Duw.

Wm. Edwards, (*Gwilym Gwynedd.*)
*Dinbych.*

Y DUWDOD.

Trwy holl gynnyrchion daear lawr,
Ystyria'r Duwdod, ddyn;
A gwel ei anfeidroldeb mawr,
Gwel ynot ti *dy hun:*
Yr haul ysplenydd sydd uwch ben,
Afrifawl sêr y nef,
A'r lleuad d'wyna yn y nen;
*Gwel ei ddoethineb ef.*

Tro'th olwg at gain flodau'r maes,
A'r creigiau llwydion draw;
At heirdd gynnyrchion daear lâs,
A chelloedd dwfn y gwlaw:
Ystyria'r pryfaid tan dy draed,
Ednogiaid mân, dinerth,—
A gwel y morfil mwyaf gaed,
Yn chwalu'r tònau certh!

Tro etto tua llwybrau'r mellt,
A bolltau'r daran drom,
Ysgydwa'r awyr megis dellt,
Ysiga'r goedwig lom:
Y dymestl ddu yn llwytho'r wawr,
A'r dysglaer hafaidd ddydd,
Cei ganfod yma'r Duwdod mawr,
Ei lwybrau ynddynt sydd!

Iorwerth Glan Aled.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## Cyfarfod Pregethu yn y Bala.

Ar y dyddiau Mercher a Iau, Mehefin y 3ydd a'r 4ydd, 1840, y cynnelir Cyfarfod Pregethu yn y Bala, Swydd Feirionydd, pryd y dysgwylir amryw o Weinidogion a Phregethwyr dieithr o Ogledd a Deheudir Cymru, i fod yno yn bresennol.

J. P.

## Y SENEDD YMERODROL.

Dyg Mr. Hume ei Archiad i mewn i Dŷ y Cyffredin, ar fod i'r dogn-daledigaeth o £21,000 a delir yn flynyddol gan y deyrnas hon i Frenin Hanover, i gael ei attal oddiwrtho tra y byddo efe yn parhau i fod yn Frenin y lle hwnw. A dadl a fu ar yr achos. Ond dywedodd Arg. J. Russell fod y dogn-daledigaeth grybwylledig wedi eu haddaw i Frenin Hanover am ei oes. Yna fe rannwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn y cynnygiad .......... | 76 |
| O blaid........................ | 63 |
| Mwy yn erbyn.................. | —13 |

Dygwyd i mewn nifer mawr o Eirchion yn erbyn Cyfraith yr Yd, ac amryw o'i phlaid.

Pennodwyd fod dwy fil o bunnau i gael eu talu yn flynyddol i Arglwydd Seaton am ei wasanaeth a'i ffyddlondeb yn Canada rhoddwyd canmoliaeth mawr i'r Boneddwr hwn yn y ddau Dŷ.

*Tŷ y Cyffredin.* Ebrill 1. Dyg Mr. Villiers i mewn gynnygiad ar fod i'r holl Dŷ ymffurfio yn Eisteddfod i ystyried achos Cyfraith yr Yd, gyda golwg am ei gwellhau hi, neu ei diddymu yn hollol. Ar y pwngc hwn, fel arferol bob blwyddyn, fe godwyd dadl boethlyd a hirfaith iawn. Areithiodd amryw o'r gwyr mwyaf gwybodus a doniol ar y matter am dri diwrnod. Ac yn y diwedd, sef Ebrill 3, dybenodd y ddadl mewn tywyllwch, heb wneud un math o benderfyniad ar yr achos pwysfawr hwn.

Gwnaeth Syr James Graham gynnygiad ar feio yn dost ar waith Swyddogion y Llywodraeth yn ymosod ar China, yr hyn oedd yn cyrhaedd cyn belled a dangos nad oeddynt yn ddynion digon llygadog a gofalus ag y dylid ymddiried y llywodraeth i'w dwylaw hwynt. Dadl dost fu ar hyn etto. Yr oedd y ddadl hon yn cynnwys ymrysoniad rhwng y Toriaid a'r Whigiaid, unwaith etto. Daliwyd at yr achos hwn am amser maith. Ac ar Ebrill 9, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

O blaid y Llywodraethwyr...... 273
Yn erbyn .................. 263
Mwy o blaid o ................——10

Felly fe sefydlwyd y Swyddogion yn eu lleoedd fel o'r blaen, a barnodd y Tŷ eu bod wedi ymddwyn yn ddoeth yn eu hymddygiad rhyfelgar yn erbyn China.

Ebrill 13. Hysbysodd Arg. J. Russell y bydd iddo yn ddiattreg ar ol gwyliau y Pasc ddwyn cynnygiad i mewn am gael Ysgrif i ddiwygio y drefn o Etholiad Aelodau y Senedd yn Lloegr a Chymru.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Ebrill 13. Dyg Ardalydd Westminster bump o Eirchion i mewn oddiwrth Gymdeithasau Cymmedroldeb, i erfyn ar y Tŷ roi pob annogaeth a ellir er cynnyddu tyfiant a thriniant Tê yn Assam, yn yr India Ddwyreiniol. Yn ei araeth, efe a ddywedodd fod mawr lwyddiant ar y Cymdeithasau hyn yn y Werddon.

*Tŷ y Cyffredin.* Ebrill 15. Hysbysodd Arg. J. Russell fod y Tŷ i gael ei ohirio am wyliau y Pasc, ac i ymgyfarfod drachefn ar ddydd mercher, Ebrill 29. Felly fe ohirwyd cyfarfod Tŷ y Cyffredin hyd Ebrill 29, a Thŷ yr Arglwyddi hyd Ebrill 30.

## AMRYWIAETHAU.

*Y Llofruddiaeth ddiweddar yn mhlwyf Clydau.*—Wedi ysgrifenu yr hyn a ymddangosodd yn y Rhifyn diweddaf, mewn perthynas i lofruddiad yr anffodus Shadrack Lewis; trwy ymdrech egniol a diflino boneddigion y gymmydogaeth, daeth amryw bethau pwysfawr i'r goleu, ag oedd hyd hyny dan leni tywyllwch allan o olwg y cyffredin. Ymddengys yn bresennol fod cyd-fradwriaeth eang yn y gymmydogaeth, yn erbyn y trengedig; ac ar y dydd cyn nos y llofruddiaeth, gwnaethpwyd casgliad arianawl gan rifedi lluosog o feibion Belial i gael pwrcasu *diod feddwol*, er mwyn gwroli eu calonau barbaraidd, erbyn cyflawni yr echrys gyflafan. Nis gellir ymhelaethu yn bresennol, ar amryw ffeithiau gwirioneddol, ag y sydd yn dwyn perthynas a'r amgylchiad cywilyddus hwn; ond fod tri dyn wedi eu trosglwyddo i garchar y Sir i aros eu prawf yn y Brawdlys nesaf; eu henwau yw, Benjamin Griffiths, Thomas Thomas, a John Richard, tri llafurwyr *(labourers)* o'r gymmydogaeth.

Pan ddelo yr amser i'r carcharorion annedwydd i sefyll ger bron brawdle cyfiawnder, digon tebyg y daw llawer o bethau cuddiedig i'r amlwg, ac y caiff y rhai fuont yn cynllwyn am waed, ddyoddef yn ol haeddiant eu gweithredoedd ysgeler: a phan ddêl y penderfyniad, hwyrach na chaiff rhywun ar ei feddwl i ysgrifenu hanes manylaidd o'r holl ysgelerder, fel y byddo yn goffadwriaeth dros oesoedd a chenedlaethau, fel na chwennycho neb y fath ddrygioni, megis y chwennychasant hwy.

Prin y gallwn gynnwys y meddwl y buasai neb o'r *Cymry*, ïe, trigolion Plwyf *crefyddol* Clydau, yn meddu ar ddigon o galedwch annaturiol, i drochi eu dwylaw mewn *gwaed dynol*, oni buasai eu bod dan gynnyrfiad y *diodydd meddwawl.*

O! faint o ddrygau a gyflawnwyd gan ddynion dan eu heffeithiau! Pa fodd na chywilyddia crefyddwyr, fodd bynag, i roddi unrhyw gefnogaeth i'r arferiad o honynt! Pa bryd y daw y dedwydd ddydd, y dilëer eu coffadwriaeth o Gymru! ïe, ymaith oddi tan y nefoedd!!

Trwy yr amgylchiad galarus hwn, cafodd ei dri phlentyn eu hamddifadu o bob moddion cynnaliaeth, yr henaf tua 16eg, a'r ieuengaf o ddeutu 10 oed. Cawsant eu gadael yn hollol ymddifad, heb gyfaill na chartref; ond y mae boneddigion haelionus y gymmydogaeth wedi tosturio wrthynt, ac agor tanysgrifiad iddynt, i'w hymgeleddu, ac y mae W. H. Lewis, Ysw. Clynfyw, ger llaw Castell Newydd Emlyn, wedi gweled yn dda i weithredu fel Trysorydd ar yr achos teilwng hwn. Cyngor y pregethwr ysbrydoledig i ni yw, 'Dyro ran i saith, ac hefyd i wyth, canys ni wyddant pa ddrwg a ddigwydd ar y ddaear.' J——.

*Ebrill* 10, 1840.

*Tanio ŷd.*—Ar nos Sabbath, y 29ain o Mawrth, aeth ryw ddyhiryn neu ddyhirod, (tra yr oedd llawer o'r teulu yn yr addoliad) i Gadlas ŷd Mr. Richard Humphreys, Plas Llanfaglen, o fewn dwy filldir i dref Caernarfon, a rhoddasant dân o haidd ar dân, llosgodd hyd lawr. Bernir y golled yn fwy na chan punt. Yr ydys hyd yn hyn heb gael gwybod pwy a wnaeth y weithred felldigedig hon, er fod hanner cant o bunnau yn cael eu cynnyg am wybodaeth pwy a wnaeth.

Onid ydyw yn drueni meddwl fod y fath bethau a hyn yn cael eu cyflawni yn y dyddiau hyn, yn enwedig yn nghanol gwlad efengyl, ac mewn gwlad lle mae llawer o dlodion yn dyoddef eisiau. Mae eisiau bod yn hynod o ofalus i edrych ar ol crwydriaid a fydd yn cerdded y gwledydd, gan hudo arian oddiar bobl, dan rith eu bod wedi cael colled trwy ddwfr neu dân. Mae lluaws mawr o droseddau ein gwlad yn cael eu cyflawni gan y creaduriaid hyn.

*Dinorwic.* DAVID WILLIAMS.

*Damwain alarus.*—Yn Nghloddfeydd Llechau, Dinorwic, boreu y 19eg o Mawrth, fel yr oedd Evan Jones, bachgen tua 15eg oed, yn tanio powdr ydoedd wedi ei roddi yn y graig, cymmerodd y cwbl dân cyn iddo allu symmud o'r fan, cafodd ei daflu tuag wyth lath a'i daro mewn modd dychrynllyd yn erbyn y graig, fel y cafodd ei ddryllio yn arswydus. Pwy all adrodd teimladau ei dad, yr hwn oedd yn llygad-dyst o'r cwbl. 'Yr awr ni thybiom y daw Mab y dyn.' D. W.

## MARWOLAETHAU.

Boreu yr 1leg o Mawrth diweddaf, bu farw William Morris, o'r Fachwen, Plwyf Llanddeiniolen, Swydd Gaernarfon, yn ei 76 mlwydd oed, wedi bod 45 o flynydd-oedd yn aelod hardd gyda'r Trefnyddion Calfinaidd. Nid yn unig yr oedd W. M. yn dduwiol, ond yr oedd yn dduwiol iawn, cafodd fyw a marw uwchlaw amheuaeth pawb ar ei hadwaenai. Nid oedd yn meddu ar ddawn helaeth, ond yr oedd ffyddlondeb yn goron hardd arno; byddai bron bob amser yn meddu ar brofiad uchel o bethau yr efengyl. Byddai'n dywedyd yn aml mai y dosparth o bobl a fyddai yn pwyso fwyaf ar ei feddwl, ydoedd y rhai sydd yn 'Cloffi rhwng dau feddwl.' A chlywid ef rai troiau yn tori allan ar ddiwedd y cyfarfod gweddi, i ddywedyd gair wrthynt. Ond erbyn heddyw mae'r hen gyfaill yn y bedd o ran ei gorph, a'i enaid wedi ehedeg uwchlaw Arcturus ac Orion, at yr Un anfeidrol hwnw oedd wedi sugno ei fryd er llawer deg o flynyddoedd.

Nos o flaen ei gladdedigaeth yn Nghapel Dinorwic, pregethodd y Parch. Daniel Jones, Carneddi, oddiar y gair, 'Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd.' A thranoeth, wrth y tŷ, pregethodd yr un gwr oddiar yr adnod sobr hono. 'Am hyny byddwch chwithau barod.' Yna aethom i'w hebrwng i Lanberis i gael ei roddi yn meddrod ei deulu hyd foreu mawr y farn gyffredinol. O! yr hen gyfaill, er ei fod wedi ein gadael, mae rhyw arogl esmwyth wedi ei adael ar ei ol fel y mae yn bur hawdd coffa am ei enw, oblegid 'Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig.'

*Tyddewi.* DAVID WILLIAMS.

Mawrth 20, 1840, yn 58 mlwydd oed, yn y Cwrt Penllyn, Morganwg, bu farw Robert Smith, Yswain, gynt o Aberafon. Bu mewn Cyfarfod Misol y dydd o'r blaen, yn Soar, ger Bontfân; yr oedd y Parch. W. Evans, Ton-yr-efail, yn Mhenllyn y noson hono, a bu Mr. Smith yn yr oedfa; edrychai mor iach, ac ymddyddanai mor serchogaidd ag arferol. Boreu dranoeth, yr oedd y Parch. W. Evans, Miss Smith, ac yntau yn yr un ystafell, ar fyned i gyfranogi o'u boreu-fwyd, pan, yn annisgwyliadwy a disymwth, yr ymadawodd enaid ein cyfaill fel mellten o'n gwydd, i fyd anweledig!

Dydd Gwener, yn mhen yr wythnos, sef Mawrth 27, am 7 o'r gloch y boreu, y traddododd y Parch. W. Evans bregeth pwrpasol ac effeithiol iawn ar yr achlysur galarus, oddiwrth Psa. 116. 15. 'Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef.' Yr oedd tuedd y bregeth ragorol hon drwyddi oll, i'n cymmodi â goruchwyliaethau Dwyfol, a'n darpar i gyfar fod â'r amgylchiadau hyny ar sydd dragywyddol brawf a'r natur ein hegwyddorion.

Yn mhen ychydig wedi dybenu y gwasanaeth dwyfol, cychwynwyd mewn gorymdaith drefnus tua Margam, lle y gladdedigaeth, y cerbydau yn gyntaf, y pregethwyr yn nesaf, henuriaid yr eglwysi cymmydogaethol ac ereill yn olaf, oll mewn galarwisgoedd o roddiad teulu ein cyfaill ymadawedig. Yr oedd yr olygfa yn creu rhyw feddylddrychau fel hyn ynof, Telir yr anrhydedd fwyaf heddyw i gorph ein brawd yn ei hebryngiad i dŷ ei hir artref, ond, pe buasai bosibl canfod y tu fewn i'r llen, pan ymadawodd ei ysbryd, a gweled y cerbydau tanllyd, gyda y gosgordd arddercho[illegible] o ysprydawl a gwaredigol fodau, gwlad y goleuni, yn ei drosglwyddo i fynwes Abraham, byddai tywyllwch gaddugawl yn toi holl fawredd dynol oddi ger gwydd ein golygon.

Nis gallaf lai nag hysbysu un teimlad diolchgar sydd ynof, i blant y boneddig clodwiw hwn; am y parch a ddangosasant i'r enwad crefyddol y perthynai eu tad iddo. Gobeithio yr ydwyf, o galon hefyd, y cânt oll adnabod y pethau ac y mae eu tad heddyw, ar auraidd ororau Gwynfa yn canu yn beraidd am eu rhinwedd.

Mae yn hysbys i lawer, i Mr. Smith godi Capel yn Aberafon ar ei draul ei hun, yn benaf, tuag at gael pregethu Saesoneg, ambell dro, o herwydd nid oedd moddion Saesoneg yn cael eu cynnal yn yr ardal, a llawer o Saeson yn digwydd bod yn y gweithiau y pryd hyny. Ond yn ngwyneb cyfnewidiadau ar bethau, barnwyd nad oedd defnyddioldeb y Capel hwnw yn fawr, gan fod yr hen Gapel a'i amgylchoedd gymmaint yn fwy manteisiol i'r ardal. Yn gydunol a barn amryw o'r cyfeillion, gwerthodd Mr. Smith y Capel newydd am £500; ac y mae yn dda genyf allu hysbysu ei fod wedi gadael yn ei ewyllys, y pump cant hyny, gyda ychwanegiad o gant atynt, yr hyn sydd yn eu gwneud yn £600, at Athrofa Trefecca. Cyfaill oedd Mr. Smith yn ddiau i'r achos yn ei holl ranau, ac nid ydym yn arswydo dyweyd yn ngeiriau ysprydoliaeth, 'Efe a aeth i dangnefedd.'

Gan fod pennillion rhagorol Esgob Heber wedi cael argraff dwys ar fy meddwl yn ngwyneb yr amgylchiad annisgwyliadwy hwn, yr wyf yn dymuno caniatad i'w gosod i lawr yma; ac os cynhyrfir rhyw un i'w cyfieithu i'r Omeraeg, nid wyf yn meddwl yr edrych neb yn wgus arno am hyny.

'I praised the earth, in beauty seen,
With garlands gay of various green:
I praised the sea, whose ample field
Shone glorious as a silver shield;
And earth and ocean seem'd to say
'Our beauties are but for a day.'

I praised the sun, whose chariot rolled
On wheels of amber and of gold;
I praised the moon, whose softer eye
Gleamed sweetly through the summer sky;
And moon and sun in answer said,
'Our days of light ar numbered.'

O God! O good beyond compare!
If thus thy meaner works are fair,
If thus thy beauties gild the span
Of ruined earth and sinful man,
How glorious must the mansion be,
Where thy redeemed shall dwell with
thee.'

*Penllyn.* E. MATTHEWS.

Mawrth 30, 6 o'r gloch prydnawn, bu farw Mr. William Jones, Rhiwaedog, mewn llawn sicrwydd ffydd; a'r olwg ddiweddaf a welwyd arno ar derfynau amser, oedd megis llong dan ei llawn hwyliau yn lanio yn yr hafan a ddymunai, wedi bod 75 o flynyddoedd ar fôr tonog amser.

Dydd Gwener, y 3ydd o Ebrill, ymgasglodd tyrfa fawr at Riwaedog i hebrwng ei ran farwol i dŷ ei hir gartref, yn mynwent Llanfor. Cyn cychwyn y claddedigaeth, darllenodd a gweddiodd y Parch. David Rowlands; ac ni bu claddedigaeth lliosocach yn yr ardaloedd hyn, tybygwn oddieithr un y Parch. Thomas Charles. Yr oedd yn amlwg fod rhyw barch mawr iddo o herwydd pan ddaeth y claddedigaeth i dref y Bala, yr oedd yr holl Fasnachdai wedi eu cau.

Dychwelwyd yn ol o Lanfor i Gapel y Trefnyddion yn y Bala, a dechreuwyd y moddion cyhoeddus yno gan y Parch. D. Charles, B.A. a thraddodwyd araeth briodol i'r amgylchiad gan y Parch. D. Rowlands, a phregethodd y Parch. Lewis Edwards, M.A. oddiar Diar. 14. 32.

Teimlir colled fawr ar ol yr hen dad parchus hwn; fel y sylwodd un o'r parchedigion uchod, fod ei le ef yn wag yn yr Ysgol Sabbathol, yn y Gymdeithas Neillduol, yn y Cyfarfod Misol a daufisol, yn Nghyfarfod Dirprwywyr y Gymmanfa Chwarterol, &c. Yr oedd ef yn un hynod yn mhob man; yr oedd ganddo wyneb dyn, gallai ymresymu a phawb; wyneb eryr, yr oedd yn graff iawn; wyneb llew, yr oedd yn wrol anghyffredin; a wyneb oen, yr oedd yn addfwyn ac yn dad caruaidd iawn.

Da fyddai genyf fi a llawer ereill o gydnabyddiaeth y diweddar Mr. W. Jones, gael ychydig o hanes bywyd gwr mor hynod. ED. EDWARDS.

## MARWOLAETH Y PARCH. RICHARD JONES, O'R BALA.

"Oni wyddoch chwi i dywysog ac i wr mawr syrthio heddyw yn Israel?"

AR foreu dydd Gwener y Croglith (Ebrill 17) am bump o'r gloch, y bu farw y Parch Richard Jones, o'r Bala, yn 55 mlwydd oed, ar ol byr a thrwm gystudd. Cymmerwyd ef yn glaf yn Nghymanfa Aberystwyth, a thrwy fawr boenau, cyrhaeddodd ei gartref yn ol, ond trymhaodd ei glefyd gymmaint fel yr ehedodd ei ran anfarwol ymaith ar y plygein-ddydd rhag-grybwylledig. Er mor ddirfawr oedd poenau ei gorph yn ei ddyddiau olaf, dangosai yn amlwg fod ei enaid yn mwynhau cysuron annrhaethadwy yn yr hyn y bu yn llafurio ynddo yn ystod ei oes ar y ddaear. Er bod yr Iorddonen, i bob golwg dynol, yn dygyfor mewn tymhestl; etto i'w olwg ffyddiawg ef yr oedd Haul cyfiawnder wedi lleibio y niwl cauedig i fynu, ac os oedd yr afon yn donog, yr oedd y rwybren yn glir; ac os oedd angeu yn chwerw yr oedd ei golyn wedi ei dynu.

Er na ddychymygid fod ei ymddatodiad mor agos, yr oedd yr olwg arno, gyda gwaith ac achos yr Arglwydd, fel gwr yn prysuro i orphen ei orchwyl cyn yr hwyr; yr oedd ei ddiwydrwydd a'i ffyddlondeb yn rhyfeddol, a'i awyddfryd am wneuthur daioni yn fawr iawn. Wrth ei golli ef collai y Gymdeithas Ddirwestol un o'i chefnogwyr penaf—ac wrth ei golli ef collodd Eglwys Cymru un o'u Gweinidogion parchusaf. *Ysgrifenu* ei rinweddau afreidiol yw, tra y maent eisoes wedi eu *hargraffu* ar fynwesau cannoedd, nid yn unig yn y Bala, ond trwy Gymru oll, a threfydd Lloegr hefyd; a thra bo ei weddw a chwech o blant amddifaid yn cwynaw ar ei ol, atebir eu galarnad gan dorf fawr o aelodau y corph parchus y bu yn gweinidogaethu yn eu plith; a thestun yr ymddyddan cyffredinol fydd bellach, 'Oni wyddoch chwi i dywysog ac i ŵr mawr syrthio heddyw yn Israel.'

Ar y dydd Llun canlynol, hebryngwyd ei gorph i orphwys o fewn caerau y fonwent sydd eisoes wedi ei chyssegru â llwch hen enwogion y Bala—y Parch. T. Charles, y Parch. S. Lloyd, John Evans, Dafydd Cadwalader, a llawer ereill, i fwynhau hun yn mhriddellau y dyffryn hyd oni churir y ddor gan ei anwylyd, ac yr erchir iddo godi, i gyd-dreulio gyd âg ef hir-ddydd anfarwoldeb ar feusydd Gwynfa am byth.

Cyn cychwyn y claddedigaeth, darllenodd a gweddiodd Mr. E. Evans yn ddifrifol ac effeithiol, ac yn yr hwyr, wedi i Mr. J. Thomas ddarllen a gweddio, traddodwyd dwy bregeth angladdol iddo, yn nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, gan y Parch. L. Jones, oddiar Heb. 13. 7. a'r Parch. L. Edwards, oddiar Dat. 14. 13. i dorf o gymmydogion pruddion ac i Eglwys alarus.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CIX.] MEHEFIN, 1840. [LLYFR X.

## GOGONEDDIAD MAB Y DYN.

DYFYNIAD O BREGETH Y DIWEDDAR BARCH. D. CHARLES, CAERFYRDDIN, ALLAN O'R RHIF. VIII. YN AWR YN Y WASG.

"Yn awr y gogoneddwyd Mab y dyn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef. Os gogoneddwyd Duw ynddo ef, Duw hefyd a'i gogonedda ef ynddo ei hun, ac efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd."—IOAN xiii. 31, 32.

DUW a'i gogonedda ynddo ei hun, neu, efe a'i gogonedda ei hun ynddo ef. 'Duw a lewyrchodd yn ein calonau, i roddi goleuni gwybodaeth ei *ogoniant* yn wyneb Iesu.' Mae gogoneddu Crist fel Cyfryngwr, yn wyneb gorpheniad gwaith y prynedigaeth, yn rhan fawr o gyngor Duw. Y gwaith mwyaf at ogoneddu Duw oedd gwaith prynedigaeth dyn. Mae Duw yn ei ogoneddu ei hun wrth ogoneddu Crist, oblegid gogoneddu y mae yr hwn a'i gogoneddodd ef; ac y mae Crist yn ei sefyllfa ogoneddus yn mawrhau Duw pan y mae yn cael ei fawrhau gan Dduw. 'Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear, mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur.' Gogoneddu y ddeddf, oedd ogoneddu y Tad.

Dechreuodd Crist gael ei ddyrchafu pan y cyfododd o'r bedd—dyma oedd un o'r pethau cyntaf yn ei ogoneddiad. Danfonwyd angel i dreiglo y maen, i hyfforddi ei ganlynwyr, ac i frawychu ei elynion. Gwr oedd ef wedi ei 'daro gan DDUW a'i gystuddio,' yn gystal a chan ddynion; ond y mae efe yn awr yn cael ei arddel gan Dduw. Fe welodd y milwyr yr angel yn yr ardd, a gallasent ddywedyd am wrthddrych eu gwyliadwriaeth, *ei fod dan sylw boddlonawl y nefoedd.* Gallasai yr angel, o ran ei nerth, nid treiglo y maen hwnw yn unig, ond treiglo a chwilfriwio y ddaear: ond efe a ddaeth at y bedd, yn debyg fel yr aeth swyddogion Philippi at y carchar, i ddwyn Paul a Silas oddiyno—'Hwy a ddaethant, ac a attolygasant arnynt, ac a'u dygasant allan, ac a ddeisyfasant arnynt fyned allan oddiyno.' Yr oedd derbyn enaid rhesymol Crist i'r nef yn rhan flaenorol o'i ddyrchafiad, 'Heddyw y byddi gyda mi yn Mharadwys.' Er nad oedd hyn ddim i'r derbyniad gogoneddus a gafodd ar ei esgyniad, etto, diammeu iddo gael arwydd o foddlonrwydd y Tad y pryd hyn. Y deugain niwrnod y bu yma ar y ddaear ar ol ei adgyfodiad, yr oedd ar ei ffordd i'w ddyrchafiad; ac yr oedd yn meddu pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear; er nad oedd etto yn y lle, yn y *man*, yr oedd i weini yr awdurdod hono. Yr oedd ei arosiad yma yn wasanaethgar i gryfhau ffydd ei ddisgyblion, nes delai yr Ysbryd Glân; ac hefyd i roi prawf boddlonawl i'r Eglwys yn mhob oes o wirionedd ei adgyfodiad.

Pan esgynodd efe i'r nefoedd yr oedd peth neillduol yn ei ogoneddiad—mae yn ymddangos bod sylw yr holl nefoedd ar hyn, fod rhyw waeddi ar byrth y nef i godi eu penau, i dderbyn 'BRENIN Y GOGONIANT.' Os oedd 'holl angelion Duw' yn cael gorchymyn i'w addoli pan oedd yn dyfod i'r byd; beth am yr amser y mae yn myned i gymmeryd meddiant o'r Orsedd Gyfryngol, lle y mae 'goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth.' Os oedd yr angelion oll mewn agwedd addoli wrth y preseb, pa faint mwy pan y mae y gwrthddrych yn esgyn goruwch yr holl nefoedd? Os pan oedd yn gwisgo yr enw Iesu, yr oedd yr holl dorf yma yn ei addoli, beth am yr amser yr oedd i gael ei osod *goruwch pob enw?* Yn ei esgyniad aeth i'r *man* yr oedd efe i gael darostwng pob peth dan ei draed, 'Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed.' Efe a ymorfoleddodd ar y tywysogaethau a'r awdurdodau ar y groes, ac y mae cys-

sylltiad rhwng y fuddugoliaeth hono, â'i fuddugoliaeth, a'i lywodraeth fry—ni allasai fuddugoliaethu fry heb fuddugoliaethu yma; yr oedd cyfiawnder ar y ffordd. Nid oes le i ddwyfol allu weithredu, os bydd gofynion dwyfol gyfiawnder ar y ffordd. Ni allesid barnu 'tywysog y byd hwn,' a'i fwrw o lywodraeth yn ngalonau dynion, heb foddloni gofynion cyfiawnder. Yr oedd yn rhaid darostwng grym pechod i *gondemnio*, cyn y gellid darostwng ei rym i *lywodraethu*. Pe buasai y ddeddf heb ei mawrhau, buasai y diafol byth heb ei ddistrywio o ran ei lywodraeth; o herwydd buasai cyfiawnder gofynol ar ffordd gras i deyrnasu.

Esgynodd yn achos ei Eglwys. Aeth i mewn i'r nef â'r taliad gydag ef: ac yn haeddiant y taliad y mae yn rhyddhau yr oll yn y llys. Yr oedd efe, a hwythau yn *rhwym yno*—efe fel Mechnïydd, a hwythau fel troseddwyr. 'Trwy ei waed ei hun, efe a aeth i mewn i'r cyssegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhad.' Y gwaed oedd yn agor i ni y ffordd dan yr hen oruchwyliaeth. Y mae efe fel Mechnïydd yn meddu rhyddhad (rhyddid) yno i weini rhyddhad i'r rhai oll a gredant ynddo hyd ddiwedd y byd.

Efe a esgynodd i'r nefoedd i gymmeryd meddiant o'r nef, ar ran ei bobl; yn gystal ag i unlawni eu hachos hwy yno. Yr oedd yr archoffeiriad yn dyfod â rhyddhad o'r cyssegr sancteiddiolaf —yr oedd y bobl yn rhwym yno nes iddo fyned i mewn; ond nid oedd yr offeiriad byth yn cymmeryd meddiant o'r sanctaidd sancteiddiolaf; nid oedd efe ddim yn beiddio trigo yno, nag eistedd yno—ond dyma un yn cymmeryd meddiant o'r man y mae y Gofynwr yn byw! Cyn i Adda fyned yn ddyledwr, gallasai drigo yn Mharadwys; ond wedi hyny, dacw y Baradwys yn gauedig, a'r angelion yn ei chadw. Dyma wr wedi myned i mewn—i mewn fel rhagflaenor, ac y mae ei holl deulu yn 'cyd-eistedd gydag ef yn y nefolion leoedd ynddo ef!' Yr oedd Crist yn rhyddhau ei bobl yn y nef, ac yn rhwymo y nef i'w bobl ar yr un pryd. Esgynodd i'r nef fel Cyfryngwr i feddiannu y nef, ac i lywodraethu y nef a'r ddaear. Nid oedd dim o'r greadigaeth dan lywodraeth y Cyfryngwr mewn ystyr briodol hyd yn awr. Digon gwir yw mai y Mab fel Cyfryngwr sydd yn llywodraethu y byd er pan droseddodd dyn; ond nid yn ei holl berson cyfryngol fel y mae yn awr —nid oedd dim o'i ddynoliaeth ganddo, ac am hyny, nid oes dim cymmaint o son am ei lywodraeth cyn ei *esgyniad* i ogoniant. Yr oedd yn y cyngor tragywyddol iddo ef, yr hwn a fu ufudd hyd angeu, feddu pob llywodraeth, nid fel Mab Duw yn unig, ond hefyd fel Mab y dyn, yn ei holl berson Cyfryngol.

Yn ngogoneddiad Crist y rhoddwyd yr anrhydedd mwyaf ar ddynoliaeth—hi a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, i drigo yn y goleuni, yr hwn ni's gellir dyfod ato. 'Ac wele yn nghanol yr orseddfaingc yr oedd Oen, yn sefyll, megis wedi ei ladd.' Y ddynoliaeth yn trigo yn y lle nas gallai creadur ddyfod! Yma y gwelir natur greadigol heb addoli; a dyma yr unig un yn y nef; y mae yn llawn parch i Dduw, ac yn llawn cariad Dwyfol: ond ei bod yn cyd-addoli â'r saint a'r angelion, nid oes genym le i feddwl. Nid ydyw chwaith yn derbyn rhan o addoliad y nefoedd; ond y mae yn trigo yn y man y cyfeirir yr addoliad ato.

Pan aeth Crist i mewn i'r nef, yr oedd golwg newydd ar y nef ei hun: o'r blaen nid oedd y fath wrthddrych a Duw-ddyn, ger bron yr hwn yr ymgrymai yr holl nefoedd. Yn awr cafodd Enoch ac Elias gorph tebyg i'w cyrph hwy eu hunain i edrych arno; ac ar hwn yr oedd yr angelion yn chwennych edrych.

Trwy y gogoneddiad hwn y mawrhawyd dynoliaeth Crist o ran gwybodaeth. Sonir am y datguddiad 'a roddes Duw iddo ef, i ddangos i'w wasanaethwyr y pethau oedd raid eu dyfod i ben.' 'Nid oedd neb yn y nef, yn gallu agoryd y llyfr, nag edrych arno.' Ond 'hwy a ganasant ganiad newydd (i'r Cyfryngwr) gan ddywedyd, Teilwng wyt ti i gymmeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef: oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed.' O ran ei Ddwyfoldeb, ni's gallasai na bod yn anwybodus, na derbyn gwybodaeth. Pa un y gwyddai mewn manylrwydd pan oedd ar y ddaear yn mhellach na dinystr Jerusalem, nid yw yn ymddangos; ond y mae wedi hyny yn rhoddi i Ioan ddesgrifiad o holl lwybr Duw tuag at y byd a'r Eglwys, gyda'r manylrwydd mwyaf, hyd ddiwedd amser—y mae yn rhoddi yr hyn a *dderbyniodd* hefyd, ac yn ei ddwyfol natur ni's gallasai dderbyn dim. Yn ei ddynol natur am hyny y

derbyniodd: ac yr oedd yn y llyfr ddesgrifiad o bob peth a gymmerai le hyd ddydd y farn, ac o ddydd y farn hefyd. Tra yr ydoedd ar y ddaear nid oedd yn angenrheidiol iddo wybod, oblegid ni pherthynai iddo y pryd hwnw *weini* yr amseroedd. Anrhydeddwyd ef yn ei esgyniad â gwybod, a gweini hefyd yr amseroedd—ni allasai ei gweini heb ei gwybod. Anrhydeddwyd ef trwy roddi iddo weinidogaeth holl ragluniaethau Duw tuag at y greadigaeth. Rhoddwyd iddo awdurdod ar bob cnawd. Rhoddwyd iddo fod yn 'Dywysog breninoedd y ddaear.' Efe oedd yn tywallt y farn ar y genedl Iuddewig. Ei deyrnas ef yw y deyrnas a faluria y ddelw. Yr oedd efe yn llywodraethu mewn ffordd yn mhob oes; ond nid yn ei holl berson Cyfryngol. Y pryd hwn y 'rhoddwyd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef.' Ar helaethrwydd a pharhad ei deyrnas ni bydd diwedd. Am mai efe fydd yn tywallt y barnau ar y ddaear, y bydd y cenedloedd yn ei ofni, ac yn llefain 'ar y mynyddoedd a'r creigiau, syrthiwch arnom, a chuddiwch ni o wydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac oddiwrth lid yr Oen!' Efe a ddengys i bawb mai eiddo ef yw y deyrnas, a'r gallu, ac y bydd yn rhaid iddo deyrnasu nes darostwng ei elynion diweddaf. Ni fydd dim yn aros heb ei ddarostwng iddo yn y dydd mawr.

Yn ei law ef y mae holl achos yr Eglwys. Gosododd Duw ei frenin ar Sion i lywodraethu Sion. Mae ganddo lywodraeth hefyd ar y byd, ac efe a ddichon wneyd ei ewyllys ar freninoedd, i'w distrywio, neu i'w gwneyd yn ymgeledd i'w Eglwys. Mae yn llywodraethu yr Eglwys yn rasol trwy waith ei Ysbryd ynddi. 'Pan y derchafodd i ogoniant, efe a gaethiwodd gaethiwed, ac a roddes roddion i ddynion.' Efe a dywalltodd yr Yspryd ar ddydd y Pentecost, ac y mae wedi addo ei dywallt ar bob cnawd. Mae yn rhoddi o'r Yspryd yn ol ei ewyllys, yn ei ddoniau i'r Eglwys. 'Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon. Mae yn cyfranu o'i drysorau ei hun yn barhaus i'w bobl yn ol eu hachos—mae yn codi y meirw ysprydol, yn cynnal mewn bywyd, ac yn rhoddi nerth yn wyneb gwendid. Y mae yn troi tywyllwch yn oleuni o'u blaen, ac yn siomi bwriadau uffern i'w herbyn. Yn hyn oll y mae yn ogoneddus: mae pob angel yn y nef at ei wasanaeth yn achos ei Eglwys. Yn yr ystyr hwn y darostyngwyd hwy iddo—y mae, yn ein natur ni, yn dywedyd wrth y naill 'tyred,' ac efe a ddaw; ac wrth y llall, 'dos,' ac efe a â. Mae yr holl fyd ysprydol dan ei lywodraeth fel Mab y dyn—mae agoriadau uffern a marwolaeth wrth ei wregys—mae yn wyneb angeu yn gwneuthur barn 'am ei fod yn Fab y dyn.' Mae eneidiau y damnedigion yn derbyn ei farn o'i enau—bob dydd o'i enau, wrth y miloedd; ac y mae yn derbyn ei saint i ogoniant bob dydd wrth y miloedd, a hyny yn ngolwg yr holl nefoedd ac uffern.

Gogoneddir ef yn ei lywodraeth ar ei bobl, ac yn ei lywodraeth ar bob peth er eu lles hwynt. Mae pob peth yn cydweithredu er daioni iddynt, a phwy ond efe a all beri i hyn fod? Y mae ganddo ffordd i fuddugoliaethu ar uffern nas gwyr neb ond efe yn awr am dani. Mae pyrth uffern yn ymosod ar ei adeiladaeth yn barhaus, ac y mae efe yn adeiladu er hyny. Yr oedd felly o dan yr hen oruchwyliaeth hefyd—fe lygrodd y cythraul y genedl Iuddewig âg eilunaddoliaeth, ac am hyny caethgludwyd hwynt i wlad eilunaddoliaeth; ond yr oedd efe yn goruchlywodraethu hyny i hysbysu y gwir Dduw iddynt hwy, ac i'r cenedloedd. Felly y cododd erledigaeth yn amser yr apostolion, ac y mae Paul yn dywedyd fod gwybodaeth o Grist trwy hyny wedi cyrhaedd teulu Cæsar.

Gogoneddwyd ef trwy roddi iddo lywodraeth ar y byw a'r meirw. Mae holl gyrph duwiolion ac annuwiolion yn y beddau dan ei lywodraeth a'i ofal ef; ac efe a'u hadgyfyd yn y dydd olaf: mae dan rwymau cyfammod y Tad, a rhwymau cyfiawnder i ereill, i wneud hyny—mae yn rhaid iddo eu hadgyfodi. Mae 'tan ddaearol bethau' yn ei deyrnas ef. Mae yr holl eneidiau yn y byd mawr dan ei lywodraeth ef—mae holl eneidiau yr annuwiolion, allan o'r corph, yn ei wydd ef i dderbyn ei ddedryd o'i enau: ac efe sydd yn dwyn eneidiau ei bobl i Baradwys. 'Mi a ddeuaf, ac a'ch cymmeraf ataf fy hun.'

Mae pyrth angeu yn ei feddiant ef. Nid oes neb yn myned trwodd, o un byd i'r llall, ond fel y mae efe yn trefnu—mae allweddau uffern a'r bedd yn ei law. Efe sydd yn trefnu ac yn llywodraethu pob amgylchiadau perthynol i farwolaeth pob dyn; ac y mae'r oll o'r

ddau fyd, a'r mynediad trwodd o'r naill i'r llall, yn hollol dan ei lywodraeth ef. Y gwr fydd ar yr orsedd yn y dydd mawr sydd yn barnu pob peth. Fel mai efe yw 'yr adgyfodiad a'r bywyd,' efe sydd a gofal y meirw arno.

---

## GALLU FFYDD.

Angor llong ydyw un o'r pethau mwyaf angenrheidiol mewn ystorom; tarian ar ddydd brwydr; a ffydd mewn amser o ddyoddefaint. Suddodd Pedr yn ei ffydd cyn iddo suddo i'r dyfroedd; ond Jonah pan o dan yr eigion trychionwyllt, yn mol uffern, a gynnorthwywyd ganddi. Y Cristionogion cyntefig oeddynt dawel o dan arteithiau,—mewn rhyddid pan mewn caethiwed,—yn gongcwerwyr pan y'u darostyngwyd; ac mewn gwendid a wnaed yn gryfion drwy ffydd, gan ddyoddef eu profi gan Dduw, drwy nerth Duw; ac felly y gall pawb, pan yn dyoddef o achos cyfiawnder,—canys ni a wyddom nad oes drwg o drallod gofidus yn dyfod trwy ddamwain. Duw, fel yr effeithydd, sydd yn eu gosod ac yn eu trefnu hwynt. Dylem barhau gofio, fod dyoddef yn gystal a gwneuthur yn rhan o orchwyl y Cristion; ni ddylem redeg i drallod cyn y gelwir arnom, nag o hono pan y gelwir arnom i fod ynddo. A chofiwn hefyd, nad ydyw ein holl ddyoddefiadau ddim i'w cystadlu âg eiddo Crist—y groes ddim gan drymed, na'r gwpan gan chwerwed; canys cariad ydym ni yn ei brofi pan y profodd efe ddyoddefaint.

Pan welodd yr Israeliaid eu gelynion, (sef yr Aiphtiaid) yn feirw ar lan y môr, hwy a ganasant gân o ddiolch i Dduw, llaw ddeau yr hwn a ddaeth yn ogoneddus mewn gallu, ac a ddrylliodd yn ddarnau eu gelynion. A thrwy ffydd yn Nghrist, pob un a frawychir gan y gyfraith, ac a ymosodir arno gan ddiafol, ac a aflonyddir gan bechod, ac a demtier gan y byd, a'r rhai a ddygir dan gaethiwed drwy ofn marwolaeth, wrth edrych ar y fuddugoliaeth ar eu gelynion, a allant orfoleddu, a rhoddi hêr iddynt oll. Y mae melldith y ddeddf wedi ei diddymu drwy y boddlonrwydd a roddwyd gan Grist i gyfiawnder Dwyfol; y mae pechod wedi ei gondemnio yn y cnawd gan yr hwn a ddaeth i fod yn aberth drosto, ac mae wedi ei groeshoelio gydag ef. Y diafol, tywysog y byd hwn, a farnwyd ac a fwriwyd allan gan Grist. Y byd a gongcwerwyd, ac angeu a orchfygwyd yn ei fuddugoliaeth ef arnynt.

Gorfoleddwn, gan hyny, yn ein buddugoliaeth, a rhoddwn ddiolch i Dduw, yr hwn, drwy Grist, a roddodd i ni y fuddugoliaeth. Milwriaeth ffydd a ddiwedda mewn buddugoliaeth, a rhaid i'r fuddugoliaeth gael eu choroni â gorfoledd.—*T. Fuller*.

*Caerlleon.* J. O. James.

---

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

### BYR HANES AM MR. J. EVANS, ARGOED.

Wedi gweled yn ddiweddar, yn y Drysorfa, hanes Cymdeithasfa Aberteifi, wedi ei brydyddu gan y diweddar Mr. John Evans, meddyliais mai nid annerbyniol fyddai genych gael gair byr o hanes y gwr duwiol hwnw, oblegid 'y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth.' Yr oedd yn trigiannu yn yr *Argoed*, yn Mhlwyf *Cenarth*, Swydd Gaerfyrddin; ac yn aelod eglwysig gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghastell Newydd Emlyn. Bu yn bregethwr ffyddlon a derbyniol am lawer o flynyddoedd, ac wedi iddo wasanaethu ei genedlaeth, efe a hunodd gyda'i dadau, gorphenodd ei yrfa ddaearol, yn orfoleddus, a'i lygaid yn gweled yr iechydwriaeth yn y flwyddyn 1807.

Yr oedd Mr. John Evans yn feddiannol ar gryn radd o barodrwydd ar brydyddiaeth; a byddai bron bob amser, pan yn gwrando ar ei frodyr yn pregethu, yn arferol o gynganeddu y testyn, neu sylwedd y bregeth, a rhoddi y pennill allan i'r gynnulleidfa i'w ganu yn niwedd yr odfa. Ac y mae lluaws o'i Hymnau ef mewn arferiad yn yr addoliadau yn mhlith y Trefnyddion hyd heddyw. Wele yn canlyn ddernyn ychwanegol o gyfansoddiad y gwr crybwylledig, sef, Hanes Cymdeithasfa a gynnaliwyd yn Nhrefdraeth, yn Swydd Benfro, ar y 14eg a'r 15ed o Dachwedd yn y flwyddyn 1794; ac os bernwch mai buddiol fydd ei rhoddi yn nghongl 'Gweddillion yr Henafiaid,' wele ef at eich gwasanaeth.—Yr eiddoch, &c.

Jonathan ——.

*Ebrill* 11, 1840.

O tyred Arglwydd tirion,
I'r *Association* fawr,
I Drefdraeth at y brodyr,
A gwna hwy'n filwyr dewr,
I sefyll ar y murian
Yn erbyn drygau'r llawr,
I gwympo teyrnas anghrist;
Gwynfyd na welai'r awr.

Er cystal yw eu doniau,
  Er cymmaint yw eu gras,
Rhaid meddu'r Dwyfol allu,
  Neu golli ar y maes:
Hen satan sydd yn gadarn,
  A'i amcan i wneud drwg,
O! Frenin, dal dy fyddin
  Yn erbyn tân a mwg.

Pedwerydd dydd o Dachwedd,
  Trugaredd doed i lawr,
Dilyned dros y pummed,
  Yn ddisglaer fel y wawr;
A channoedd elo adrau,
  A gado'u rhwymau 'n ol,
Dan garu'r hwn a'u prynodd,
  A'u cym'rodd yn ei gol.

Y flwyddyn mil a saith cant,
  A phedwar ugain llawn,
A deg a phedwar hefyd,
  Oedd oed ein Ceidwad cawn:
Mis Tachwedd yn Sir Benfro,
  Yn Nhrefdraeth gwelwyd llu,
Yn gwrando saith yn traethu,
  'Rwy'n enwi rhai'n i chwi.

Ond cyn i'r cedyrn hyny,
  Gyhoeddi'r hynod iaith,
*John Prytherch* aeth i weddi,
  Am fendith ar eu gwaith,
Mae'n amlwg iddo lwyddo,
  'Roedd Iesu'n pleidio fry,
'Roedd rhaid i glychau Aaron,
  Yn gyson ganu'n gry'.

Dechreuodd *Dafydd Parry*
  Gyhoeddi'n eglur ma's,
'Gwynfyd y gwir alarwyr,
  Diddenir rhai'n â gras:'
*Ned Watkins* a'i canlynodd,
  Ehedodd yn yr aer,
Fel athro doeth i draethu,
  Beth oedd pregethu'r gair.

Ac *Ismael Jones* yn drydydd,
  Yn ufudd fe wnae sôn,
'Am afon loyw darddodd,
  O orsedd Duw a'r Oen;'
Ac *Ebenezer Morris*
  Yn hwylus aeth i'r lan,
I dd'weyd 'fod Crist yn bobpeth
  I'r enaid eiddil gwan.

Y pummed aeth i forio,
  Oedd *Llwyd* o Gaio glew,
Fe chwariai 'i delyn euraidd,
  Yn beraidd ar bob llaw;
A'r enwog *Jones*, Llangana,
  Fel barnwr ar yr Hâl
A ddywedodd am yr asyn,
  Fod rhaid i'r Iesu ei gha'l.

A *Williams* fwyn o Ledrod,
  Aeth at y gwaith prydnhawn,
Fe ddywedodd hwn rwy'n credu,
  Am Iesu'n hynod iawn;
Ond am nad oeddwn yno,
  Nis gallaf dystio'n awr,
Beth oedd ei destyn pwysig.
  Digwestiwn 'r oedd e'n fawr.

Mawr goffa am y cyfoeth,
  Yn helaeth roddodd Duw,
A fydd gan blant y cymmod,
  'Nol darfod yma i fyw;—
Aed yr efengyl etto
  I chwilio conglau'r byd.
I droi y *Negroes duon*.
  Yn wynion oll i gyd.

---

YMADRODDION DETHOLEDIG.

CYSTUDDIAU a phrofedigaethau yw cyfran dynolryw yn gyffredinol, a phobl Dduw yn neillduol. Fe fu gan Dduw Fab yn y byd heb ei bechodau, ond ni bu ganddo yr un Mab heb ei gystuddiau. Fe fydd gorphwys yn fwy melys ar ol cystuddiau trymion.

Mae y saint yn gweled Duw rhagluniaeth yn ei ragluniaeth: maent yn gweled y Creawdwr yn y greadigaeth. Maent yn edrych heibio i bethau natur---ie, ar y pethau ni welir trwy y pethau a welir, a heibio i'r pethau a welir. Gelyn natur yw angeu, ac nid gelyn cyflwr. Mae natur cyfiawnder Duw yn ei rwymo i gospi pechod y'mhawb na chredo yn Iawn Calfaria; mae ganddo fodd fel Duw cyfiawn i oedi, a symud y gosp ar Gyfryngwr. Ond rhaid cospi pechod yn rhyw le.

Mae Satan yn bysgotwr hynod o fedrus, ond nis gall orfodogi neb i gydiad yn y bach heb gyd syniad ewyllys y dyn. Mae yn fwy rhesymol dyweyd fod y bydoedd wedi dyfod i fod o honynt eu hunain, na dyweyd fod pechadur wedi ei ail-eni ei hun. Mae holl ymddygiadau Duw tuag at ei blant wedi eu hamdoi a chariad. Yr oedd Duw yn y greadigaeth yn Dduw hebddom ni---yn ei ragluniaeth mae uwchlaw i ni---yn ei gyfraith mae yn ein herbyn ni---ond yn wyneb Iesu Grist y mae yn Dduw gyda ni. —*Y Parch. L. Edwards.*

Ni ddylai neb fod yn ddiofal tuag at achos Crist. Nid oes modd i neb garu Crist a bod yn ddiofal yn nghylch ei achos. Gogoniant crefydd Crist yw, nid ei bod yn unig yn ein cynnal dan ein profedigaethau, ond ei bod yn eu troi hwy yn achlysur o lawenydd i ni.

Mae ardderchawgrwydd unrhyw wrthddrych yn gynnwysedig yn ei fawredd, neu ei ddefnyddioldeb: mae cariad Crist yn meddu y ddau. Na fydded i ni feiddio myned heibio i un o orchymynion Duw gyda golwg ar ddwyn gogoniant i ryw orchymyn arall. Boed i'n zel fod mewn undeb â gwybodaeth—wedi ei thymheru â chariad—yn cydfyned yn wastadol asanteiddrwydd, a phwyll, ac hefyd yn gy mmes ur â phwys yr hyn fyddom yn zelog drosto. *Dr. A. C. Simpson.*

Casglwyd gan NIHIL.

## CY. UNDREFN YR EFENGYLWYR. (Parhad o du dalen 135).

*Gwyl y Pebyll yn Jerusalem.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 139 | Brodyr yr Iesu yn ei annog i fyned i'r wyl | .... | .... | .... | vii. 2..9 | Yn Capernaum |
| 140 | Yr Iesu yn myned i Jerusalem | .... | .... | .... | vii. 10..13 | O Capernaum. |
| 141 | Yr Iesu yn dysgu yn y deml | .... | .... | .... | vii. 14..30. | Yn Jerusalem |
| 142 | Anfon Swyddogion i ddal yr Iesu | .... | .... | .... | vii. 31. a viii. 1. | Etto |
| 143 | Godinebwraig yn cael ei dwyn ger ei fron | .... | .... | .... | viii. 2..11. | Etto |
| 144 | Crist yn oleuni y byd | .... | .... | .... | viii. 12..25. | Etto |
| 145 | Crist yn rhoi ei olwg i ddyn dall | .... | .... | .... | ix. | Etto |
| 146 | Efe yw y bugail da | .... | .... | .... | x. 1..20, | Etto |
| 147 | Yn ymadael o Jerusalem | .... | .... | .... | .... | I Capernaum |

*Y Gyssegr-wyl yn Jerusalem, yn y gauaf.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 148 | Yr Iesu yn myned drachefn i Jerusalem | .... | .... | .... | x. 22. | O Capernaum |
| 149 | 'Os tydi yw y Crist, dywed i ni yn eglur' | .... | .... | .... | x. 22..39. | Yn Jerusalem |
| 150 | Yn myned o Jerusalem | .... | .... | .... | x. 40 .42. | I'r tu hwnt i'r Iorddonen |
| 151 | Yn clywed fod Lazarus yn glaf | .... | .... | .... | xi. 1..16. | O du'r dwyrain i'r Iorddonen |
| 152 | Yn dychwelyd i Bethania | .... | .... | .... | xi. 17..34 | O'r lle uchod |
| 153 | Yn codi Lazarus o'r bedd | .... | .... | .... | xi. 34..44. | Yn Bethania |
| 154 | Y Phariseaid am ladd yr Iesu | .... | .... | .... | xi. 45..54. | Yn cilio i Ephraim |

Mewn dinas a elwir Ephraim yn agos i'r anialwch, y mae Ioan yn ei hanes yn gadael yr Iesu, heb son dim am dano mwyach hyd onid aeth efe yn ei ol i Bethania, chwe diwrnod cyn gwyl y Pasc canlynol, pryd y croeshoeliwyd ef ar Galfaria.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad o du dal. 139.)

### Y BRODYR BOHEMAIDD.

Yn fuan wedi hyny cyfodwyd erledigaeth arall yn erbyn y dilynwyr hyn i Grist. Gorchymynai y brenin, George Podiebrad, iddynt gael eu dal, a'u gorfodogi i wadu eu ffydd. Llanwyd holl garcharau Bohemia, yn enwedig Prague, â hwy yn fuan iawn; a'r esgob cyntaf a feddynt hefyd a fu yn gaeth yn ngharchar hyd farwolaeth y brenin, yn y fl. 1471. Bu llawer o honynt feirw drwy newyn yn y carcharau; a lluaws mwy yn dyoddef creulonderau dirif. Y gweddill o honynt a ymlidiwyd i chwilio am noddfa i ganol y coedwigoedd anial, neu holltfeydd ac ogofeydd y creigiau. Ofnent yn ddirfawr hefyd gyneu dim tân yn y dydd, rhag i'r mwg a ddyrchafai drwy y ffumerau eu bradychu i ddwylaw eu gelynion; ac o ganlyniad, yn nhrymder nos y cynneuynt dân, ac y darllenynt eu Biblau wrth lewyrch ei farwor, ac y gweddiynt ar Dduw eu tadau. Pan y byddai eira yn huliaw y ddaear, ac y byddai yn rhaid iddynt fyned i hela eu cynnaliaeth, neu i ymweled â'u brodyr, hwy a aent yn un rhes, fel y gallai yr olafiaid roddi eu traed yn ol traed y blaenaf, a'r olaf oll a lusgai dwmpath tewfrigog o'i ol i ddryllio argraff eu cerddediad; a thrwy hyny ni chynnyrfid dim amheuaeth yn neb amgen na bod rhyw fythynwr wedi bod y ffordd hono yn llusgo baich o frigau o'i ol i gynnau tân.

Yn ystod y terfysgoedd hyn, yr oedd un Matthias Dalanscius, un o'r brodyr, wedi ei garcharu yn Prague, am chwe blynedd, ac wedi hyny am bedair blynedd, o herwydd ei broffes gyhoeddus o efengyl Iesu Grist. Yr oedd rhai pobl dda wedi llunio ffordd i'w ddiwallu âg ymborth; ac yn eu plith yr oedd un foneddiges o urdd, yr hon a ddychwelwyd i wybodaeth o'r gwirionedd trwy offerynoldeb morwynig fechan oedd ganddi. Ond cyn pen hir iawn, daeth gwys â gorchymyn allan na chaniateid iddynt ddwyn ymborth iddo yn hwy; ac oni buasai i'w Dduw ofalu yn wyrthiol am dano, trengasai o newyn yn y fan. Un tro, trodd ei olygon tua ffenestr ei garchar-gell, a gwelai aderyn bychan o'r tu allan â rhywbeth yn ei big. Pan ddynesodd Matthias ato, efe a gymmerodd ei aden, ac a aeth ymaith, ond gadawodd ar ei ol ar y ffenestr ddernyn o liain wedi ei ddyblu yn nghyd, â darn o aur ynddo, a wasanaethodd yn ddigon iddo i brynu yr hyn oedd angen arno am dano hyd oni fu y brenin farw, ac yntau fwynhau ei ryddid. Fel y porthai y cigfrain yr hen brophwyd ar lân afon Cerith, fel hyny y bu yr aderyn bychan hwn yn gweini ar Matthias Dolanscius yn ngharchar, pan oedd hyny yn unol âg ewyllys ei Dduw.

Ar farwolaeth yr arch-esgob a'r brenin peidiodd yr erledigaeth am dymmor, a chafodd y brodyr seibiant byr dan deyrnasiad y brenin newydd Wladislaus, o wlad y Pwyl (*Poland*). Pan y byddynt yn ymorphwys fel hyn mewn heddwch, defnyddient yr adeg i wneuthur pob egni i ledaenu teyrnas eu Harglwydd yn y byd. Anfonent genhadon i chwilio i ansawdd crefydd mewn broydd ereill, ac i ymholi ac ymwrando a oedd dim Cristionogion ar y ddaear, y rhai nid yn unig a gyffesent Grist â'u tafodau, ond a'i dilynent ef hefyd mewn bywyd ac ymarweddiad—y rhai a ymlynent wrth athrawiaeth bur y Bibl, ac a farnent mai y Pab yw Anghrist—mewn gair, y rhai y gallent ymuno â hwy mewn cyfundeb brawdol, ac oddiwrth hyfforddiadau a dysgyblaeth eglwysig pa rai, y gallent gael allan ffordd i ddiwygio eu heglwysi eu hunain. Y genadaeth hon a sefydlwyd ganddynt yn y flwyddyn 1474. Daeth llawer o foneddigion urddasol yn mlaen, gan gynnyg dwyn y draul eu hunain, a chawsant lythyrau er eu diogelwch gan y brenin. Y cenadon hyn a deithiasant trwy wlad y Pwyl i Gaer Cystenyn. Oddi yno wedi hyny ymwahanasant, a chymmerasant bob un ei ffordd. Aeth Lucas i wlad Groeg ac Itali; Maressa Cocovecius, trwy Scythia i Muscovi, a thaleithiau Sclafonaidd ereill; Martin Cabatnick a gymmerodd Iuddew gydag ef yn gyfieithydd, a theithiodd trwy barthau o Canaan a'r Aipht; a Caspar Marchicus a ymwelodd â Thrace. Wedi iddynt oll ddychwelyd, traethent na buont yn ffodus ddigon i daro wrth wrthddrychau eu hymchwiliad, ond iddynt weled yr holl fyd Cristionogol yn y sefyllfa fwyaf ofnadwy o wrthgiliad a dirywiad, fel yr ymddangosai yr holl Gristionogion fel pe buasent wedi ymwerthu i bob ffieidd-dra ac aflendid.

Ar hyn, cyhoeddodd y brodyr Bohemaidd fod cymmanfa arall i gael ei

chynnal, er ymgynghori pa beth a wnaent er ymlanhau oddiwrth y gwarthair o *schism*, o flaen eu Duw pa bynag a'u cydwybodau eu hunain, ac i drefnu llwybr diogel i'w hiliogaeth deithio ar hyd-ddo ar ol eu hymadawiad hwy. Yn y cyngor hwn penderfynwyd, yn y fl. 1486, 'Pa bryd bynag y cyfodai Duw ddysgawdwyr duwiol yn ei eglwys, ym mha barth bynag o'r byd y byddynt, yr ymlynent wrthynt, ac y safent gyda hwy.' Ond gan nad oedd y cyfryw ddysgawdwyr a diwygwyr wedi ymddangos ar y ddaear, i'w gwybyddiaeth hwy, ym mhen tair blynedd wedi hyny, hwy a anfonasant genadon eilwaith allan, y Lucas rhaggrybwylledig, yn nghyda Thomas Germanus, i Ffrainc ac Itali, i chwilio yn y gwledydd hyny am y cyfryw gymdeithasau, a gynnelid yn ddirgelaidd, mewn ymlyniad wrth y gwirionedd. Ond cafodd y cenadon hyn eilchwyl fod y rhan fwyaf o Gristionogion wedi syrthio ymaith oddiwrth Grist mewn athrawiaeth a buchedd; er hyn oll, cyfarfuasent â rhai yn ofni Duw mewn gwirionedd, ac a alwent ar ei enw ef o dan brofedigaethau a thriniaethau chwerwon iawn; a chyda'r rhai hyn ymgynghorasant mewn perthynas i'w ffydd, gan gadarnhau eu gilydd. Ac wedi hyny cawsant brofi y trallod, a'r blinder o weled rhai o'r Cristionogion hyn yn cael eu bradychu a'u dedfrydu i farw yn ngoddaith y ffagodau, ym mhlith pa rai oedd Jerome Tavanarola, un a seliodd y gwirionodd â'i waed yn Itali.

Wedi hyny ymwelasant â'r Waldensiaid yn Ffrainc; a'r rhai hyn, o ganlyniad, gan eu bod yn bobl wir dduwiol a'u harddelasant hwy yn frodyr, ac a ymddygasant tu ag atynt felly hefyd. Yn Rhufain canfuasant bethau a wnaeth iddynt frawychu yn fawr, a'u ffieiddio hefyd. Hyn oll a adroddasant wedi iddynt ddychwelyd yn ol at eu brodyr i Bohemia, y rhai erbyn hyn a gredasant nad oedd dim i'w wneud ond gweddio yn ddyfalach ddyfalach dros yr holl fyd Cristionogol, ac ymorphwys yn ddiysgog ac amyneddus o dan bob profedigaeth ag y barnai eu Tad nefol yn gymmwys iddi i ymosod arnynt.

(I'w barhau.)

---

## TRAETHAWD AR DDYSGU PLANT YN FOESOL A CHREFYDDOL.

Parhad o tu dalen 134.

Yn 4ydd. Ymddengys pwysigrwydd y ddyledswydd hon, wrth ystyried byrdra yr amser sydd i'w chyflawni; yn nghyd â manylrwydd y cyfrif, sydd i'w roddi yn nydd y farn am y modd y cyflawnir hi. Nid yw oes dyn yn gyffredin ond ychydig flynyddoedd; llawer llai oes plentyn; ac y mae peth o honi yn myned heibio tra mae efe mewn cyflwr o fabandod, fel nad allo dderbyn addysg, sef hyd oni allo wahaniaethu rhwng da a'r drwg. Hefyd, yn fynych iawn y mae angeu yn cymmeryd plant ymaith o gyrhaedd eu rhieni, fel na allont roddi cyngor na cherydd iddynt byth mwyach; Ie, llawer o rieni plant a glybuwyd yn cwyno yn fawr am na buasent yn dywedyd mwy wrth eu plant (a gymmerasid ymaith gan angeu) am ddrwg pechod, trueni dyn, ac addasrwydd Iesu Grist fel Gwaredwr; pryd y byddai ereill yn cael cysur mawr, yn wobr am eu llafur, oddiwrth y dystiolaeth a dderbynient fod eu plant yn huno yn yr Iesu.

Drachefn, y mae y rhieni eu hunain weithiau yn cael eu cymmeryd ymaith cyn hanner magu eu plant; a thrwy fod angeu yn tori i lawr y plant, fel na chaiff y rhieni y fraint o'u dysgu, a hwythau yn meirw eu hunain fel na allont ddysgu y rhai a fyddai byw, gwelir yn amlwg yr angenrheidrwydd am ddiwygiad mawr i gyflawni y ddyledswydd bwysig hon.

Ond yn neillduol, dylid cofio fod cyfrif manwl i'w roddi i Dduw am ein hymddygiadau tuag at ei etifeddiaeth ef. Yr oedd y prophwydi gynt yn Israel i rybuddio y rhai drygionus, ac onitê, byddai i'r Arglwydd ofyn gwaed y rhai drygionus oddiar eu llaw hwy. Y mae y pen-teulu i gyflawni swydd prophwyd etto, sef dysgu ei deulu: a diammeu os bydd yn anffyddlawn i gyflawni y ddyledswydd o rybuddio y rhai drygionus, y bydd i'r Arglwydd ofyn gwaed y rhai hyny oddiar ei law ef. Ac, O! beth yw hyny? Pan y mae yr Arglwydd yn rhoddi plentyn i rieni, y mae yn rhoddi gorchymyn hefyd yn nghylch ei fagu, megis y rhoddes merch Pharaoh orchymyn i fam Moses am Moses, 'Mag ef (ebe hi) i mi.' Felly y dywed yr Arglwydd wrth bob pen-teulu, sef 'Mag ef i mi, mag ef yn fy nhŷ i, mag ef ar bethau fy nhŷ i,' &c. Ac yn ddiammeu, nid rhaid i neb gwyno fod y draul yn ormod, canys y mae yr holl draul o du y Brenin.

Ond y cwbl y mae llawer yn ei

wneyd ydyw eu bedyddio, a dyna bob peth drosodd yn eu cyfrif hwy; ond nid yn nghyfrif Duw. Beth yw hyn, ond rhagrith noeth; eu bedyddio i Grist, a'u magu i Belial? Ie, dirmyg yw ar ordinhad Duw, anufudd-dod i orchymyn Duw, a diffyg cariad at Fab Duw.

Ond dymunwn ddwyn ar gof unwaith etto i rieni plant, yr awdurdod sydd ganddynt, y berthynas agos sydd rhwng bywyd y plant a'u cysur neu eu hanghysur eu hunain, y gwerth mawr a ymddiriedwyd i'w gofal, byrdra yr amser sydd i gyflawni y ddyledswydd, manylrwydd y cyfrif sydd i'w roddi am y modd y cyflawnir hi.

Peth arall a deilynga ein sylw yw esiamplau y duwiolion gynt. Diammeu y dylem ddilyn ol traed y praidd yn hyn, a phorthi y mynod gellaw pebyll y bugeiliaid. Abraham, tad y ffyddloniaid oedd enwog yn hyn, fel y tystiolaetha yr Arglwydd am dano, 'Mi a'i hadwaen ef, (ebe efe) y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffyrdd yr Arglwydd.' Yr oedd Abraham yn un hynod o ffyddlawn dros Dduw yn cyflawni y ddyledswydd hon, yn gorchymyn, yn dysgu, Ie, yn gwaeddi o'r galon, 'Oh, na byddai fyw Ismael ger dy fron di!' Ac fel yr oedd ef yn dangos mawr zel dros ogoniant Duw yn hyn, felly hefyd yr oedd yr Arglwydd yn dangos ffafr iddo yntau yn fynych. Pan oedd efe yn myned i ddifetha Sodoma a Gomora, efe a ddywedai, 'A gelaf i rhag Abraham yr hyn a wnaf;' 'canys, (ebe ef) mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w blant;' lle y gwelwn fod dirgelwch yr Arglwydd gyda'r rhai a'i hofnant ef. Josuah hefyd oedd enwog am hyn pan ddywedai, 'Ond myfi, Ie, myfi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd.' Dafydd, brenin Israel hefyd oedd hoff o hyn, efe a ddywedai, 'Deuwch blant, gwrandewch arnaf; dysgaf i chwi ofn yr Arglwydd.' Solomon hefyd, oedd enwog am hyn, pan ddywedai, 'O! blant, gwrandewch arnaf fi, ac nac ymadewch â geiriau fy ngenau.' Yr apostol Paul hefyd, er nad oedd dad naturiol ei hunan, mae yn debyg, a orchymynai hyn i rieni dan anffaeledig gyfarwyddyd yr Yspryd Glân. Lois ac Eunice, sef nain a mam Timotheus, oeddynt enwog am eu ffydd, ac nid ffydd heb weithredoedd, canys yr oeddent yn ffyddlawn yn dysgu Timotheus i wybod yr Ysgrythyr Lân pan yn fachgen, a'i fagu yn ngeiriau y ffydd. Ac os bu y patriarchiaid, prophwydi, breninoedd, apostolion, tadau a mamau, mor enwog a llafurus yn cyflawni y ddyledswydd hon yn y cyn-oesoedd, pa faint mwy y dylai Cristionogion yr oes hon fod? ond fel arall y mae yn fynych; y mae llawer o Gristionogion, neu yn hytrach, rhai a ewyllysiant gael eu galw felly, yn rhy feilchion i gymmeryd yr un swydd a'r brenin Dafydd, sef dysgu i blant ofn yr Arglwydd. O, na welid rhieni Cristionogol yn cael eu deffro at y ddyledswydd hon ar fyrder.

(*I'w barhau.*)

---

## DOETHINEB DUW.

Darlunia yr holl ysgrythyr Dduw fel un mawr ac ofnadwy. Nid yw mawredd dynol ac angelaidd ond dim mewn cymbariaeth i'w fawredd ef: ei osod yn y glorian ysgafnach ydyw i gyd na gwegi. Pob mawredd perthynol i ddynion ac angelion a ddeillia oddiwrtho ef, ac a ddibyna arno ef. Y rhai a welsant fwyaf o fawredd Duw a waeddasant allan, 'Fod ynddo ogoniant mwy ofnadwy.' Er cymmaint a fyfyriwyd arno—a ddywedwyd am dano—ac a ddatguddiwyd o hono, y mae ynddo, er y cwbl, ogoniant mwy ofnadwy.

Bod Ysprydol yw Duw, diranau. Cyfeiliornad yw dywedyd, fod rhan o hono yn alluog—rhan o hono yn gyfiawn—a rhan o hono yn ddoeth, &c. Na, gallu heb ddim gwendid, cyfiawnder heb ddim gwyrni, goleuni heb ddim tywyllwch, cariad heb ddim gelyniaeth, a doethineb heb ddim annoethineb, yw Duw.

Golyga rhai fod dau fath o briodoliaethau yn Nuw, sef priodoliaethau cyfranogol ac anghyfranogol. Ystyrir ei gyfiawnder, ei sancteiddrwydd, ei ddoethineb, a'i ddaioni yn briodoliaethau cyfranogol; ei dragywyddoliaeth, ei hunan-ymddibyniaeth, a'i anghyfnewidioliaeth yn anghyfranogol. Meddyliwyf fod holl briodoliaethau Duw yn anghyfranogol, a hyny oblegid eu bod yn anfeidrol, a bod yn anmhosibl i un creadur gyfranogi yn y radd leiaf o anfeidroldeb. Pe cyfranogai dynion neu angelion yn y radd leiaf o briodoliaethau Duw, yna byddai yn fod rhanedig, a phalledig. Nid cyfran o gyfiawnder, sancteiddrwydd, a gwybodaeth Duw oedd y ddelw ar ba un y crewyd dyn, na'r ddelw a adnewyddir ar enaid dyn yn yr adenedigaeth; ond addurniadau o ffurfiad a gosodiad Yspryd Duw, 'Yr hwn yn ol Duw a grëir mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd;' ac etto o'r un natur a thuedd a'r ansoddau hyn, ag sydd yn anfeidrol yn Nuw.

Sylwaf ychydig yn awr ar ddoethineb Duw. Y mae yn anfeidrol ddoeth ynddo ei hun, ac yn ei holl weithrediadau.

Cymmerwn olwg ar ei ddoethineb fel y

mae yn briodoledd wreiddiol a thragywyddol yn Nuw. 'Gydag ef y mae doethineb.' 'Doethineb a nerth ydynt eiddo ef.' A dywedir yn llyfr Job, 'mai doethineb yw Duw.' Gelwir ef yn fynych yn 'Dduw unig ddoeth.' Y mae amryw o'i greaduriaid yn ddoeth, ond doethineb yw Duw; ac 'efe sydd yn rhoddi doethineb i'r doethion, a gwybodaeth i'r rhai a fedrant ddeall.' 'Allan o'i enau ef y mae doethineb a deall yn dyfod.' Y mae yn berffaith ddoeth, fel nad oes diffyg yn ei ddoethineb; yn wastadol ddoeth, fel nad oes ball ar ei ddoethineb; yn annherfynol ddoeth, fel na ellir chwilio allan ei synwyr ef; yn dragywyddol ddoeth, fel na bu dechreu, ac na bydd diwedd ar ei ddoethineb; ac yn annymddibynol ddoeth, fel na dderbyniodd ei ddoethineb oddiwrth neb arall, ac na ellir ei amddifadu o hono byth. Ei ddoethineb sydd fôr nas gellir ei fesur—dyfnder nas gellir ei blymio—dirgelwch nas gellir ei chwilio; ac nid oes genym ond gwaeddi yn yr olwg arno, 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!' Pob trefniad a sefydlodd, pob dyben a amcanodd, pob gair a ddywedodd, a phob gweithred a gyflawnodd a darddent o'r ffynon fawr, sef y Duw unig ddoeth, ac y mae argraff o'i ddoethineb ar y cwbl.

Ystyriwn yn nesaf, fel y mae ei ddoethineb wedi ei amlygu gydag eglurder neillduol yn ei holl weithrediadau, sef ei weithrediadau naturiol, moesol ac ysprydol, a grasol, ac achubol.

Doethineb Duw yn ei weithrediadau naturiol a ganfyddir yn ngreadigaeth y byd, yn nhrefniad yr amseroedd, yn ei ddarpariadau ar gyfer angen pob creadur, yn nygiad pethau mawrion oddiamgylch trwy foddion distadl, yn nhrosglwyddiad ieithoedd i holl genedloedd y byd, ac yn nhrefniad amgylchiadau a sefyllfaoedd dynion.

Gwelwn ei ddoethineb yn ngreadigaeth y byd. 'Mor lluosog yw dy weithredoedd,' meddai y Salmydd, 'gwnaethost hwynt oll mewn doethineb.' 'Yr Arglwydd trwy ddoethineb a seiliodd y ddaear, trwy ddeall y sicrhaodd efe y nefoedd.' Pan feddyliom mai o'r unrhyw ddefnydd y creodd Duw bob peth, a phan fyfyriom ar wahanol ddulliau, ansoddau, a chynneddfau y creaduriaid, rhaid ei fod yn anfeidrol mewn doethineb. Yr holl greaduriaid trwy yr holl greadigaeth ydynt fel aelodau yn yr un corph, yn ateb yn brydferth a gogoneddus y naill i'r llall, ac yn wasanaethgar i ddaioni a dedwyddwch eu gilydd. Y pethau hyn a waeddant â llef uchel, 'Un doeth yw Duw.'

A phan ddyrchafom ein llygaid tua'r nefoedd, ac edrych ar waith ei fysedd, yr ydym yn barod i ddywedyd, 'Fod yr Arglwydd trwy ddoethineb wedi gwneuthur y nefoedd.' Pan ystyriom rifedi, maintioli, graddau, symudiadau, a theithiau y bodau wybrenol, yn nghyda'r undeb rhyfeddol sydd rhyngddynt, yr ydym yn cael ein taro âg argraff ddwys o ddoethineb Duw. 'I'r haul y gosododd efe babell ynddynt,' yr hwn sydd yn fyd goleu, llawer mwy na'n daear ni, ac a amgylchynir â phlanedau, ac yntau yn rhoddi bywyd, cynhyrfiad, a goleuni iddynt oll. Tra thebygol yw fod pob seren sefydlog yn haul yn cael ei hamgylchynu gan blanedau. Canfyddodd Herschel bum mil a deugain o'r cyfryw sêr. Bernid pe cymmerid ni i un o'r bydoedd uwch ben, y canfyddem awyr, haul, sêr, a phlanedau; a phe dygid ni yn mhell drachefn, y canfyddem yr un pethau eilwaith. Pa faint raid fod doethineb yr hwn sy'n rhifo rhifedi y sêr, ac yn eu galw hwynt oll wrth eu henwau? Fel hyn y mae 'y nefoedd yn datgan gogoniant (doethineb) Duw.' O! y fath ogoniant a berthyna i'r haul mawr! O y tyniad anarferol sydd ynddo, a'r fath effaith sydd ganddo ar ein daear ni; nid yn unig pair iddo droi ar ei phegynau, ond tarddu a thyfu, fel y mae yn cael ei gwisgo â phrydferthwch, a dwyn llysiau cymmwys er gwasanaeth dyn ac anifail. Arferai *Astronomyddion* mawr, o duedd grefyddol, fel Sir Isaac Newton, ac ereill, gydnabod a rhyfeddu gallu a doethineb Duw yn nghywreinrwydd y *Gyfundraeth Seryddol*.

Ac wrth edrych ar ein cyrph, a myfyrio ar ein heneidiau, dylem ddywedyd gyda'r Salmydd, 'Ofnadwy a rhyfedd y'n gwnaed.' Y fath gyfaddasrwydd sydd yn y llygaid i weled; y clustiau i glywed; y tafod, y genau, a'r gwefusau i lefaru; y dwylaw a'r breichiau i weithio; y traed i gerdded; a'r holl aelodau wedi eu cymmwyso yn y modd trefnusaf at eu gwahanol oruchwyliaethau. Nid yw y pethau hyn ond arddercbogrwydd allanol y corph, heb gymmeryd dim sylw ar ei gywreinrwydd tumewnol. Gwel Eiriadur yr enwog a'r dysgedig Mr. Charles, o'r Bala. Nid oes genym ond tewi mewn syndod gyda golwg ar enaid dyn. Gall enaid dyn ehedeg i dragywyddoldeb mewn moment—gall fyned o ran ei fyfyrdodau i bellfaoedd y greadigaeth, a dychwelyd yn ol ar yr un amrantiad. Y bywyd llysieuol sydd ryfedd; y bywyd anifeilaidd sydd ryfeddach; eithr y bywyd rhesymol yw y rhyfeddaf o'r cwbl.

Ymddengys ei ddoethineb drachefn yn nhrefniad yr amseroedd. O osodiad y ddaear fel y mae, ac o'r gwahanol ranau yn ei thröad blynyddol y mae haf a gauaf, amser hau ac amser medi yn dyfod. Ac o'i thröad dyddiol y mae dydd a nos yn cael eu ffurfio. Fel y mae ei thröad blynyddol yn achosi y gwahanol dymhorau, felly y mae ei thröad dyddiol yn achosi dydd a nos. Yn y dydd 'dyn a â allan i'w waith, ac i'w orchwyl hyd yr hwyr.' Ac yn y nos y mae yn cael adfywiad, a thrwy hyny galluogir ef i lafurio y dydd canlynol. Goleuni yr haul hefyd a ddygir

atom, ac a gymmerir oddi arnom yn araf; yr hyn sydd yn llawer mwy dedwydd, na phe buasai yn goleuo neu yn tywyllu ar unwaith. Diau na buasai yn gysurus un ffordd arall. Fel hyn gwna y Duw doeth i derfyn boreu a hwyr lawenychu.

Amlygir doethineb Duw etto yn ei ddarpariadau ar gyfer angen pob creadur.

Pe meddyliem am y miliwnau o wahanol greaduriaid sydd yn bwyta ar fwrdd Duw, ac yntau yn agor ei law fawr, ac yn diwallu pob cnawd o'i ewyllys da, fe'n tarewid â syndod nid bychan gyda golwg ar y dull rhyfedd y mae yn gofalu am danynt. Un planhigyn a ddwyn gymmaint o hadau yn flynyddol, fel y mae yn amlwg y bydd mewn bod i'r oesoedd dyfodol hyd ddiwedd y byd. Yr hadau a roddir dan y priddellau, yna y maent yn egino, yn ffrwythloni, yn addfedu; fel y maent yn cael eu darparu yn ymborth addas a chynnaliaethol i'r natur ddynol ac anifeilaidd. Par y Duw doeth i ddigon o ymborth darddu o'r ddaear yr haf erbyn y gauaf, a phan y byddo hwnw wedi pallu, par iddi darddu drachefn. 'Pan ollyngech dy Yspryd y crëir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear.' Y pethau mwyaf angenrheidiol a geir yn mhob parth o'r byd, megis diod, awyr, ymborth, tân, &c. Nid yw aur, perlau, gwin, a phethau o'r fath i'w cael ond mewn rhai manau. Y mae mwy o'r ddaear yn dwyn gwenith a phorfa, na dim arall; dyfroedd, awyr, a ffrwythau a geir yn mhob man, braidd lle y mae dynolryw yn preswylio. Yr anifeiliaid sydd yn fuddiol er ymborth, a gynnyddir mewn modd rhyfeddol gan y Creawdwr; ac ereill sydd heb fod mor ddefnyddiol, a gynnyddir gyda gradd lai o luosowgrwydd. Crwyn a gwisgoedd yr anifeiliaid a newidir yn ol newidiad yr hinsawdd. Pan mewn lledred oer, y mae eu crwyn yn dew a phoeth; a phan mewn lledred boeth, y mae eu crwyn yn deneu, ac yn oer; heb hyn, nis gallai y creaduriaid fyw.

Ei ddoethineb etto a eglurir trwy ddygiad pethau mawr oddiamgylch trwy foddion distadl, ac anhnebygol i ddwyn y dybenion hyny i berffeithrwydd. Y duedd sydd yn yr holl greadigaeth i dynu at y canolbarth (*gravitation*) a gyssyllta yr holl greadigaeth yn nghyd, a genedla fynedfa y planedau o amgylch yr haul, a wastadá wyneb y dyfnfôr, ac a rwystra iddo orchuddio wyneb y ddaear; a wna i'r gwlaw, fel un achos o leiaf ddisgyn i'r ddaear, ac a lywodraetha symudiadau dynion ac anifeiliaid.

Pe meddyliem am ddwfr y môr, o ba un y ffurfir tarth, niwl, a chymylau, y mae, nid yn unig, yn ymddangos yn rhyfedd i'r llygaid, ond yn ddefnyddiol i ddiogelu cyrph dynion ac anifeiliaid mewn poethder anghyffredinol rhag gwres yr haul; ac yn rhybuddio dynion am ryw berygl, neu ddrycin yn dyfod. Y dwfr a ffurfir yn wlaw, gwlith, eira, cenllysg, &c. ag sydd wreiddyn ffynonau, afonydd, ffrydiau, a llynoedd. Trwy y pethau hyn y dyfrheir y ddaear, yr harddir hi â phob prydferthwch, y darperir ymborth, diod, a dillad i ddynion, ac y diwellir yr holl anifeiliaid. Y dwfr hefyd sydd yn foddion i droi amryw beiriannau mawrion, a thrwy hyny lleiheir llafur dyn yn fawr; ïe, cyflawnir pethau trwy ddwfr, gwynt, a thân, nas gallesid eu cyflawni un ffordd arall. Trwy y pethau hyn, y dygir masnach yn mlaen rhwng cenedloedd pellenig, ac y trosglwyddir trysorau gwerthfawr o'r naill wlad i'r llall.

Y mae genym amryw engrheifftiau o ddygiad pethau mawr a phwysig oddiamgylch trwy foddion distadl yn yr Ysgrythyrau. Joseph yn cael ei gasâu gan ei frodyr—yn cael ei roddi yn y pydew; eithr gofalodd doethineb Duw nad oedd ynddo ddwfr rhag ei foddi—yn cael ei werthu i'r Israeliaid, yn gwasanaethu yn nhŷ Potiphar, yn cael ei daflu i garchar trwy gelwydd ei feistres. Ni welir byth mo Joseph ar yr orsedd, yn nesaf at Pharaoh. O! gwelir, y mae y Duw doeth gyda Joseph. Wele Joseph yn llywodraethwr ar holl wlad yr Aipht; ac wele, genfigen ei frodyr wedi ei goruwch-reoli i ddyrchafu Joseph, ac 'i gadw yn fyw bobl lawer.' Duw yn defnyddio Moses i waredu Israel o'r Aipht. Pharaoh yn erlid ar eu hol; eithr, 'Sefwch ac edrychwch ar iechydwriaeth yr Arglwydd,' yr hon a wnaeth y Duw doeth iddynt. Moses yn taro y môr â'i wialen trwy orchymyn Duw; y môr yn ymagor fel y cafodd Israel Duw fyned trwyddo ar dir sych, 'yr hyn pan brofodd yr Aiphtiaid, boddi a wnaethant.' 'Cynddaredd dyn a'th folianna di, a gweddill cynddaredd a waherddi.' 'Ymlidiwn,' cewch yn rhwydd,' goddiweddwn,' na chewch byth. 'Rhanwn yr yspail,' na chewch chwaith. '*Gweddill* cynddaredd a waherddi.' Gedeon a'i dri-chanwr yn cael eu defnyddio i orchfygu y Midianiaid, y rhai oedd fel locustiaid o amldra. 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw, mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!' Gallesid nodi amryw esiamplau ereill, ond yr hyn a enwyd sydd ddigonol i brofi y pwngc.

Doethineb Duw a welir drachefn yn nhrosglwyddiad yr ieithoedd i holl genedloedd y byd. Iaith yw y cyfrwng trwy ba un yr ydym yn amlygu ein meddyliau, ein tueddiadau, ein gofidiau, ein cysuron, a'n bwriadau i'n gilydd. Trwy iaith yr ydym yn gallu cyfeillachu â'n gilydd, cydymdeimlo â'n gilydd, cynnorthwyo ein gilydd, rhybuddio a chynghori ein gilydd, addysgu a chyfranu gwybodaeth y naill i'r llall, a chadw datguddiedigaethau i'r oesoedd dyfodol. Trwy iaith yr ydym yn gallu dy-

wedyd wrth ein gilydd am fawredd Duw, am berffeithrwydd y ddeddf, am ddrygedd pechod, am ogoniant Crist, am gyflawnder yr iechydwriaeth, ac am y pwysigrwydd o ymbarotoi erbyn byd arall: ïe, trwy iaith y pregethir yr efengyl i'r byd, y diwygir y byd pechadurus, ac y goleuir y byd tywyll. Ac y mae yr holl ieithoedd wedi eu cyfaddasu yn hawdd i'w dysgu i blant yn eu mebyd, ïe, yn hawddach y pryd hwnw nag un amser arall.

Doethineb yr Arglwydd a ganfyddir etto yn nhrefniad amgylchiadau a sefyllfaoedd dynion. Trefnwyd rhai yn freninoedd, ereill yn ddeiliaid; rhai yn feistriaid, ereill yn weision; rhai yn gyfoethogion, ereill yn dlodion; rhai yn ddysgedig, ereill yn annysgedig. Trefnwyd i freninoedd i lywodraethu mewn cyfiawnder, ac i'r deiliaid ymostwng gyda phob parch i'w cyfreithiau. Trefnwyd i feistriaid lywodraethu yn dirion, gan roi bygwth heibio, ac i'r gweision ufuddhau yn ewyllysgar, heb wrthddywedyd. Trefnwyd i'r cyfoethogion fod yn dyner wrth y tlodion, trwy gyfranu at eu hangenrheidiau, ac i'r tlodion gydnabod eu haelioni, a'u gwasanaethu gyda gostyngeiddrwydd a pharch. Fel hyn gofala y Duw doeth am ddedwyddwch pob dosparth o'i greaduriaid rhesymol. Heb freninoedd a chyfreithiau, buasai dynion yn ymddwyn at eu gilydd fel anifeiliaid, a bwystfilod. A phe buasai pawb yn gyfoethogion, pwy a gawsid i lafurio y ddaear, ac i ddilyn gorchwylion o'r fath. A phe buasai pawb yn dlodion, pwy a gawsid i'w cynnorthwyo. Fel hyn y mae doethineb Duw yn ymddangos yn nhrefniad amgylchiadau a sefyllfaoedd dynion,

Y *Chartists* a'r *Socialists* a ymgeisiant am gyd-raddoldeb, yr hyn sydd wrth-ryfel uniongyrchol yn erbyn doethineb Duw fel llywodraethwr y byd, ac ymgynnygiad at ddiddymiad deddfau gwreiddiol y greadigaeth. Nis gellir canfod cyd-raddoliaeth yn un rhan o greadigaeth Duw. Ni welir mo hono yn y greadigaeth ddifywyd. Y seryddwyr (*astronomers*) a wyddant fod rhai o'r bodau wybrenol yn meddu goleuni ynddynt eu hunain, ac ereill yn derbyn goleuni oddiwrthynt. Y planedau a ddibynant ar yr haul am eu goleuni; ac felly 'Arall yw gogoniant yr haul, ac arall yw gogoniant y lloer; canys y mae rhagor rhwng seren a seren yn y gogoniant.' Gwyr y ddaear ganfyddwyr (*geologists*) fod perlau, meini, a chregin, yn rhagori ar eu gilydd; rhai mewn maintioli, ereill mewn gwerth; rhai mewn cadernid, ereill mewn gloywder; rhai mewn harddwch, ereill mewn caledwch, &c. Y mwn gloddwyr (*miners*) a ystyriant yr aur yn gyntaf, yna yr arian, y pres, yr haiarn, &c. Y llysieuwyr (*botanists*) a gydnabyddant wahaniaeth a rhagoriaeth dirfawr rhwng y miloedd o wahanol lysiau a darddant o'r ddaear. Yn ofer, gan hyny, y chwilir am gyd-raddoldeb yn y greadigaeth ddifywyd.

Ni chanfyddir ef ychwaith yn y greadigaeth afresymol. Yn mhlith yr ymlusgiaid, yr ehediaid, yr anifeiliaid, a'r bwystfilod, ceir rhai o'r un rhywogaeth yn rhagori mewn nerth, mewn callineb, mewn harddwch, mewn maintioli, mewn cyflymder, &c. Y rhai sydd yn deall "*Natural History*," a wyddant fod braidd bob llu o greaduriaid afresymol yn cydnabod un o honynt yn neillduol, fel penaeth; arwyddant ymostyngiad iddo, ac a'i parchant uwchlaw y lleill. Er engrhaifft, yn mhlith yr Elephantiaid "*The oldest of the troop always appears as the leader, and the next in seniority brings up the rear.*" Gan hyny, nid yw cydraddoliaeth i'w ganfod yn y rhan afresymol o'r greadigaeth.

Nid ydyw i'w gael ychwaith yn y rhan resymol o'r greadigaeth. Pe gallesid cael gafael arno yn rhyw le, dysgwylid mai mewn stâd o berffeithrwydd y caid ef. Ond cyn belled ag y gallwn farnu oddiwrth y Datguddiad dwyfol, nid oes cyd-raddoldeb yn nef y gogoniant. Sonir am thronau, arglwyddiaethau, a thywysogaethau yn mhlith yr angylion; ac felly, tra thebygol yw, fod rhai yn uwch, a rhai yn is.

Rhydd yr Ysgrythyr le cadarn i ni farnu y bydd graddau mewn gogoniant; oblegid dywedir, 'Y bydd y rhai a droant lawer i gyfiawnder, fel y sêr byth ac yn dragywydd;' ac fel yr 'haul yn dysgleirio yn ei nerth.' A dywed yr apostol y bydd rhai yn 'goron gorfoledd a llawenydd iddo yn y dydd hwnw.' Rhai o ddammegion yr Arglwydd Iesu a dueddant i ddangos y gwirionedd hwn. Ond y maent oll yn berffaith ddedwydd.

Nid ydyw i'w ganfod ychwaith yn y gymdeithas ddynol, fel y dangoswyd eisoes. Yn mhlith y cenedloedd mwyaf anwar, cydnabyddir, perchir, ac ufuddheir i'r blaenoriaid (*chiefs*); ac yn mhlith *Castes* yr Indiaid, y mae rhai yn anrhydeddusach na'u gilydd. Hyn oll a ddengys fod cydraddoliaeth yn wrthryfel yn erbyn deddfau gwreiddiol y greadigaeth.

'Nid oes awdurdod ond oddiwrth Dduw, a'r awdurdodau y sydd, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio.' 'Perchwch bawb. Cerwch y frawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin.' 'Toll i'r hwn y mae toll; ofn i'r hwn y mae ofn; parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. 'Ac os yn was y'th alwyd, na fydded gwaeth genyt, eithr gogonedda Dduw yn hyn o ran.'

(I'w barhau.)

---

**ATEBIAD**

*I Ofyniad* DEWI, *yn Rhif.* 112, *tu dal.* 111.

CLYWSOM fod Mr. O. Jones, Wyddgrug, yn bwriadu ail gychwyn "*Y Pregethwr*," os caiff efe ddigon o annogaeth gan wyr tebyg i Dewi. Y CYHOEDDWR.

## ADOLYGIAD Y WASG.

### PERORIAETH 'Y DRYSORFA.'

MR. GOLYGYDD.—Yn y Drysorfa am y flwyddyn hon, Rhifyn III. (Mawrth) ymddangosodd Llythyr o eiddo 'EFRYDYDD,' yn dymuno sylw ar y tonau a enwir ganddo yn y cyfryw, nid amgen 'Awelsain, Rhif. Awst, 1839, Golgotha, Rhif. Hydref, 1839. A Salm 122, Rhif. Tachwedd, 1839.'

Gan fod E. yn y fath ddyryswch druan o barthed i'r tonau a enwyd, ymeflais yn ddioed yn y gorchwyl o'u hadolygu, i'w ryddhau o'i helynt. Yr hyn sy'n *dyrysu* meddwl E. yn y dôn '*Awelsain*' yw, yr ail gord yn yr ail ban, yn y rhan olaf o honi. Ymddengys i mi mai G yw sawd y gynghanedd yn y fan hon, a darfod i'r Cyfansoddwr godi nôd yr isalaw i'r trydydd uwchlaw, sef B: y mae y gosodiad hwn yn afreolaidd; dylasai nôd yr isalaw fod ar y cywair. Y mae gostwng chwe gradd fel yr isalaw yn y ban hwn, yn afreolaidd ac annaturiol; a thrwy gadw nôd yr isalaw ar y cywair, y ceid mynediad esmwyth, rheolaidd a naturiol. O barthed i'r wythfed ban o'r rhan olaf o'r dôn, y mae yn eithaf afreolaidd: esgyn yr Alaw â'r Isalaw o'r seithfed i'r wythfed ban, yn wythau dylynol; disgynant yn yr wythfed ban, drwy wythau dylynol; gwallau mewn cyssylltiad â rheolau Cerddoriaeth. Yr ail gord yn yr un ban, a gynnwys ond *un* cyfrwng rhwng yr holl leisiau: gwendid o barth cynghanedd. Gwelleid y gynghanedd drwy gyfleu y nodau fel hyn,—nôd yr Isalaw ar D fel y mae, y Cyfalaw ar A, a'r Uchalaw ar 8F; a'r ail nôd yn yr Isalaw ar G ac nid ar B. Gwiw fuasai genyf gael rhoi engreifftiau mewn nodau, ond gan y buasai hyny yn llenwi eich Cyhoeddiad clodwiw, bernais yn ddoethach peidio. Gwell i'm tyb i, fuasai rhoi y nôd diweddaf yn yr Uchalaw o'r ban hwn (8fed) ar E fel y dywed E. er mwyn cael cynghanedd; ac nid ar G fel y mae'n argraffedig; nid oes drwy yr holl leisiau ond *un* cyfrwng. Byddai yn hawdd dangos ychwaneg o wallau a lechant yn y dôn hon pe ewyllysid; gwel pumed a'r chweched ban o'r rhan olaf iddi: ond gan na amcenir eglurhau dim ynddi yn ychwaneg na'r hyn a ymddengys i E. yn ddyryslyd, ni a'i gadawn yr hyn yna.

O barthed i '*Golgotha*,' nid oes ynddi drwyddi ond ychydig o enwogrwydd y gelfyddyd yn ymddangos; a mwy o wallau yn ei chynghanedd nag a noda E. ond gan nad fy amcan yn bresennol yw adolygu y dôn etto yn fanwl, mi a adawaf y cwbl o'r neilldu, ond yr hyn a ymddengys i E yn *ddyryslyd* ynddi. 'Yn y trydydd ban, yr ail gord y mae B, B, D, a'r cord nesaf B, B, B, a B, B, C, C, yn cydsymud yn y ddau lais uchaf.' Barnwyf mai G yw sawd y gynghanedd i'r ail a'r trydydd cord o'r ban hwn, a bod nodau yr Isalaw yn sefyll ar ei drydydd, yn ffurfio cord y chwechel, sef gwrthddull cyntaf y cord *cyffredin*: os G a gymmerodd y Cyfansoddwr yn sawd i'r gynghanedd yn y fan hon, gwell fuasai rhoi y nodau hyn (sef rhai yr Isalaw) ar G, (sef y cywair) ac nid ar B. Y mae eithriad i'r *cord* yr ail, y mae yn oddefadwy ar B; (yr isalaw) ond am y llall, afreolaidd ar B, a rheolaidd ar G. Dylasai nôd y Cyfalaw (y cyntaf) fod ar A, ac nid ar C: (gwel y 4ydd ban.) Nid oes ond cyfrwng y pummed drwy yr holl gynghanedd. Dylai pummed unrhyw gywair gael ei drydydd. Ymddengys i mi mai hynod o afreolaidd ydyw y dull y Trawsgyweiria y Cyfansoddwr ei Beroriaeth yn y pedwerydd ban, i'r trydydd llon perthynasol i'r Cywair dechreuol. Ymddengys yr Alaw fel Trawsgyweiriad i bummed lleddf y Gwreidd-gywair; a gosodiad yr Isalaw fel i'w trydydd llon; y mae rhediad yr alaw yn naturiol i'w pummed lleddf. Dylid ymdrechu wrth gyfansoddi dosparth o Beroriaeth, i beidio a dirdynu y gynghanedd; onidê y mae y cwbl i'w deimlo yn annaturiol a gwrthodedig.

Y mae B, B, D, yn y chweched ban yn afreolaidd, ond goddefir droseddiad o'r rheol, pan fyddo mwy na dau lais yn y Beroriaeth. Dylai nôd yr Isalaw (sef y diweddaf) yn yr ail ban o'r rhan olaf o honi, fod ar D, ac nid ar F. Yn y trydydd ban o'r un dosparth y mae wythau dylynol, rhwng yr Isalaw a'r Cyfalaw; dylai nod yr Isalaw (y cyntaf) yn y ban hwn fod ar G, ac nid ar B: a'r trydydd nôd (yr un ban) ar G, ac nid ar C. Gosodiad y nodau fel uchod yn yr Isalaw, a drefna y gwallau; osgöeid y pumpau dylynawl o'r trydydd i'r pedwerydd ban, (y rhan olaf o'r dôn) rhwng yr Isalaw a'r Cyfalaw; etto goddefir y pumpau hyn, am yr amrywiant yn eu cyfrwng.

Dealled E. mai rheolaidd ydyw myned trwy y pedwerydd i'r pummed heb ♯ y pedwerydd, fel y gwelir yn yr Alaw, yr ail ban o'r rhan olaf iddi. Ymddengys i mi nad yw E. wedi deall rheolau Trawsgyweiriad, i'r graddau ac a'i nertha i farnu rheoleidd-dra, neu afreoleidd-dra unrhyw Drawsgyweiriad.*

Nis gellir myned o G lon yn llywodraethol gan un ♯ i'w 5ed llon, heb loni y 4ydd; ond nid yw y Trawsgyweiriad uchod yn y Dôn hon, yn dwyn unrhyw berthynas â G♯; pe felly, buasai ♯ y 4ydd yn angenrheidiol: ond yn lle bod yn llywodraethol gan un ♯, llywodraethir hi gan ddau ♭, yn lleddf, a'r cyfnewidiad angenrheidiol i Drawsgyweirio o G, yn llyw-

* Annogwn E. ac efrydyddion ieuaingc eraill yn y gelfyddyd hon i astudio rheolau Trawsgyweiriad yn fanwl gan eu bod o'r pwys mwyaf iddynt eu deall tu ag at iawn gyfansoddi dosparth o Beroriaeth. Gwel yn helaeth a manwl ar y pwngc hwn Ramadeg Cerddorawl Cymreig J. Mills, Llanidloes.

odraethol gan ddau ♭, yn lleddf, i'w 5ed lleddf sef D, yw rhoddi ♮ ar E: o ganlyniad, fe wel E. nad ydyw y Dôn erbyn hyn yn llywodraethol ond gan un ♭ a hwnw ar B; ac y saif y *Mi* ar E, ac F yn gyweirnod llon, a D yn gyweirnod lleddf: yr un cyfnewidiad ac a ddefnyddir i Drawsgyweirio i 5ed ♭, G ♭, yn llywodraethol gan ddau ♭, a ddefnyddir i Drawsgyweirio i'w 7fed llon, fel cyweirnod llon perthynasol i'r cyfryw 5ed lleddf: hyderaf y dealla E. y sylwad uchod ar y Trawsgyweiriad a noda efe, ac a ymddengys iddo yn afreolaidd, ond i mi yn rheolaidd.* O barthed i ofyniad E. i'r Awdwr y'nghylch natur y Dôn, a gwrthnatur y geiriau y cyfansoddwyd hi arnynt, hyderaf y bydd iddo hysbysu ei reswm, dros ei waith, yn cyfansoddi Tôn leddf ar eiriau llon. Dealler nad ydyw pob geiriau llon yn mhob amgylchiad, a chymmeryd y testyn drwyddo, yn galw am Beroriaeth lon felly; ac nad yw geiriau o nodweddiad lleddf cyffredinol, yn rhwym i Dôn leddf felly: terfynaf fy sylw ar y Dôn hon ar hyn yna, gan hyderu y rhoddwyd boddhad i E. o barthed i'r hyn oedd yn ei *ddyrysu* ynddi; awn yn mlaen i sylwi ychydig etto ar

'Psalm 122.' Y mae ardderchawgrwydd y Gelfyddyd yn cael ei dywyllu (gan *afreolaidd-dra* o barth i'w rheolau) yn y Dôn hon etto. Mi nodaf ychydig o lawer o'i gwallau. Y cord diweddaf o'r ail ban sydd afreolaidd: onid C yw y sawd mwyaf naturiol i'r gynghanedd yn y fan hon? Ymddengys i mi mai ê; os felly, y cyflead a ddylai fod fel hyn—Isalaw C, neu E, (cord y chweched) Alaw C, (fel y mae) Cyfalaw G, a'r Uchalaw E. Yn y dull argraffedig, y mae yn afreolaidd. Y cord diweddaf o'r trydydd ban sy'n afreolaidd; nis gellir canfod un gwreiddyn rheolaidd iddo; ei gyflead a ddylai fod fel y llall—C, E, G, a C. Y cord diweddaf o'r pedwerydd ban sydd afreolaidd; dylai sefyll yn syml fel hyn, D, F, A, a D, ac nid D, G, BA a D. Dylai pummed y Cyweirnod gael ei drydydd. Yr ail gord yn y chweched ban sydd afreolaidd. Sawd y gynghanedd yw G: (y cywair) nis gellir canfod un sawd neu wreiddyn i'r cord hwn etto yn ei osodiad argraffedig: dylai pob cord fod mor reolaidd yn ei osodiad, fel y gellir yn ebrwydd ganfod ei wreiddyn. Cyflead y cyfryw a ddylai fod fel hyn— G, B, D, a G, ac nid fel hyn, E, G, BC ac E. Ymddengys yn y ban hwn, pumpau ac wythau dylynol. Y cord cyntaf o'r seithfed ban sydd afreolaidd. G (sef y cywair) yw sawd mwyaf naturiol y gynghanedd yn y fan hon etto, (ac nid ei pumed fel y meddyliodd y Cyfansoddwr) am hyny ei gyflead a ddylai fod fel y nodwyd o'r blaen ar y sawd hwn, ac nid yn y dull argraffedig: yma y mae wythau dylynol i'w canfod etto.

Dylai y nôd olaf o'r Isalaw, yn y seithfed ban o'r rhan olaf o honi fod ar C, ac nid ar G; a'r nôd olaf o'r un llais yn y ddegfed ban o'r rhan olaf, fod ar C, ac nid ar G. Y mae fy nhraitheb wedi myned yn helaethach nac y bwriedais iddo fyned o lawer, am hyny gadawaf y gweddill heb sylwi arnynt: gwel y ban diweddaf o'r rhan gyntaf iddi, ynghyd â'r chweched a'r 12 ban o'r rhan olaf iddi.

Goddefwch i mi roi ychydig o gynghorion byrion, i'm cyd efrydyddion ieuaingc yn y gelfyddyd hon, sef Cerddoriaeth. Yn laf, Wrth gyfansoddi dosparth o Beroriaeth, (wedi ymweithio i deimlad priodol i'w eu testyn yn gyntaf) bydded iddynt ymdrechu i osod allan natur, a drychfeddwl eu testyn mewn sain briodol, i'r dyben i gynnyrchu mewn meddwl arall, (sef y neb a wrandawo y Beroriaeth, neu a'i dadgano) deimladau priodol i'w natur, sef y testyn: dyma ydyw prif ddyben ac ardderchawgrwydd Cerddoriaeth, ac heb raddau o hyn, nid gwerth galw y cyfryw ddosparth yn Beroriaeth. Yn 2il. Bydded iddynt astudio rheolau Trawsgyweiriad yn fanol; y mae hyn yn angenrheidiol anhebgorol i iawn, rheolaidd, a threfnus gyfansoddi dosparth o Beroriaeth; ac yn wir yn fanteisiol iawn i arddangos natur y testyn. Yn 3ydd. Bydded iddynt astudio nes deall natur, gwreiddyn, tarddiad, a chyflead pob cord, gan fod hyn o'r pwys mwyaf i gyfansoddi yn drefnus, ddosparth o Beroriaeth yn wahanol leisiau. Ac yn 4ydd. Cynghorwn hwy i ddal sylw manwl ar waith awduron da a chelfyddgar: byddai hyn yn foddion manteisiol iawn iddynt i ddod yn mlaen yn, ac i eangu eu gwybodaeth am natur, ac elfenau Cerddoriaeth: ac na fydded iddynt gyhoeddi eu gwaith i'r byd, cyn ei arddangos i ryw un medrus yn y gelfyddyd: y mae hyny wedi bod cyn hyn yn destyn gwawd i lawer, o barthed i Gerddoriaeth ein cenedl, drwy fod y cyfryw Donau (yn warthus mewn gwallau) wedi eu cyhoeddi i'r byd, heb fod tan olygiad neb ag a oedd yn deall natur, a rheolau Cerddoriaeth.

Mr. Cyhoeddwr, y mae eich Beirniaid chwithau i'w beio, am nad ydynt yn ddigon gofalus a manwl wrth farnu eich Tonau (?) hyderaf y byddant yn fanylach o hyn allan. Gwybydded Awdwyr y Tonau a fu dan sylw, mai nid fy amcan yn hyn o draitheb, oedd dweyd dim i friwo eu teimladau, nac i'w hiselu o barth i'w gwybodaeth Cerddorol yn nhyb eu cydnabod; ond i arddangos anghydweddiad eu gwaith â rheolau Cerddoriaeth: ac os dywedais dim sy'n tueddu

* Dealler y rhoddir ♯ ar C wrth esgyn i i D, os dygwydda ♮ ar E yn flaenorol—a chofier mai y ♮ sy'n llywodraethu y Trawsgyweiriad hwn yn G leddf, a ♯ yn G lon.

f'w briwo, nid fy nyben oedd hyny; am hyny hyderaf y dygant hyn o sylw yn es mwyth a charedig. Gobeithiaf, wrth ddiweddu, y rhoddwyd boddhad i E, ac y tynwyd ei o'i *ddyrysach* yn hyn o sylw.

*Llerpwll.* IOAN GWILYM.

---

*Adolygiad, yn nghydag atebiad i gais* R. EVANS, *Trefriw, yn Rhifyn Mawrth, tu dal.* 79.

BARCHEDIG SYR,—Yn ddiweddar daeth i'm llaw ddwy Ran, 6ch. wedi eu gwnïo mewn papur glas o Ganiadau y Parch. W. Williams o Bant y celyn, sef ei Farwnadau i'r Parchedig dadau a gododd yr Arglwydd yn nechreu diwygiad y Trefnyddion Calfinaidd; fel offerynau i chwalu y niwl a'r tywyllwch ag oedd yn gorchuddio y Dalaeth yn y nos dywyll hono. Y Rhan gyntaf a gynnwys 'Crwydrad dychymyg i fyd yr Ysbrydoedd, neu fyfyrdodau nefol ar farwolaeth y Parch. Lewis Lewis o Garog, Ceredigion;' Marwnadau y Parchedigion George Whitfield, D. Rowlands, a Howel Harries, Yswain, o Drefecca, yn nghyd â Thalfyriad o Hanes eu Bywydau a'u Marwolaethau. Yr ail Ran a gynnwys Farwnadau y Parchedigion Griffith Jones, Llanddowror, W Davies, o Gastell nedd; ac un Gymraeg a Saesonaeg i'r Parch. Howel Davies, Sir Benfro; yn nghyda Galarnad ar Farwolaeth Mr. W. Read, gerllaw Pont-y-pool, Physygwr, &c. a Llythyr wedi ei ddychymygu o Fyd yr Ysbrydoedd at ei wraig a'i ddwy ferched, &c.

Cefais hyfrydwch, nid bychan, wrth eu darllen, a meddyliwyf fod ynddynt arlwy hynod ddanteithiol, yn enwedig i hen bobl a all fod yn fyw wedi clywed y Parchedigion achod, a'u doniau hyfedr yn perseinio concwest Calfaria. Ië, meddyliwyf bod eu darllen yn ddigon i beri i bob Cristion i yfed i raddau helaeth o ysbryd yr hen ddiwygwyr enwog y rhai a ddynodent; megys y dywedai y diweddar Barch. Mr. Charles o'r Bala, am danynt. 'Y rhai hyn ydynt yn cynnwys golygiadau cywir ar y gwyr duwiol hyn, eu doniau, eu llafur, a'u defnyddioldeb;' ie, ychwanegai, 'Yr ydwyf yn gobeithio y bydd i'w fab i ail argraffu ei Farwnadau, gan y rhoddant, nid yn unig goffadwriaeth am y gwyr enwog y canodd iddynt, ond, hefyd, golygiadau ar lwyddiant achos mawr yr efengyl trwy eu llafur.'

Diammeu y bydd yn dda gan lawer yn Ngwynedd eu gweled a'u meddiannu, heblaw Robert Evans, Trefriw; o herwydd pa ham, gobeithiwyf y gwnewch ganiatau rhyw gongl o'ch Cyhoeddiad clodwiw i'r nodiadau anmherffaith hyn. Yn ol fel yr wyf yn deall bwriada'r Cyhoeddwr,* argraffir yr oll o Ganiadau Marwnadawl, &c. ynghyd â gweithiau ereill y diweddar Barch. W. Williams o Bant y celyn; os ca fywyd ac iechyd; yn enwedig os parha ei frodyr a'i gyfeillion mor wresocced cefnogwyr iddo am yr amser dyfodol ag y maent wedi bod hyd yn hyn. Byddai dda ganddo wledda y Gwyneddwyr â hwynt yn gystal a Deheuwyr, pe byddai rhyw un, neu ryw rai yn gweled bod yn dda, i fod yn ddosparthwyr o honynt; a chan obeithio y diwellir pob awydd daionus, y gorphwysa eich ufudd wasanaethwr. B. THOMAS.

*Hendre,* 1840.

* Mr. David Morris, Capel Hendre, Sir Gaerfyrddin. Y mae 'Drws Society Profiad' allan o'r wasg yn barod.

---

"Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR." *Gan y Parch. R. Williams.*

Y MAE gradd o ragfarn, nad yw yn hawdd ei orchfygu, yn meddyliau llawer yn erbyn pob math o ddadleuaeth; ac y mae rhai wedi myned mor bell a dweyd fod pryder a gofal am burdeb yr athrawiaeth yn arwydd sicr o ddirywiad mewn crefydd. Y mae yn rhy wir, ysywaeth, fod gormod o gyfeiliornadau dadleugar yn dangos ysbryd anfrawdol ac anysgrythyrol, ac nid anfynych y clywir rhai yn siarad am bynciau athrawiaethol yn y modd mwyaf anffaeledig, heb ddeall dim dros ba beth nac yn erbyn pa beth y maent yn taeru. Ond etto, os meddylir fod pob math o ddadleuon yn rhwystro llwyddiant gwir grefydd, onid yw yn rhyfedd fod yr apostol Paul wedi ysgrifenu cymaint yn erbyn cyfeiliornadau? Yn yr hyn y dilynwyd ef gan y diwygwyr mwyaf llwyddiannus yn mhob oes. Ni fu neb yn ymladd yn erbyn cyfeiliornwyr yn fwy gwrol na Luther a Chalfin, ynghyd â'r merthyron yn Lloegr. Ac y mae yn hysbys i bawb ag sydd yn gwybod dim am hanes crefydd yn Nghymru mai wrth ddadleu, a thrwy ddadleu, yr oedd y Diwygwyr cyntaf yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd yn cario y gwaith yn mlaen. Nid ychydig oedd y dadleuon a ddygwyddent o bryd i bryd yn eu plith hwy eu hunain, ac etto pan fyddai achos ymunent oll yn erbyn cyfeiliornadau gwaeth oddi allan. Diau fod yr ymrysoniadau hyn yn dangos gelyniaeth y diafol yn ceisio dyrysu eglwys Crist: ond dylem ystyried mai gwaith y gelyn oedd codi cyfeiliornadau ac nid cynhyrfu rhai i'w gwrthwynebu. Os oedd y dadleuon hyn yn ddrwg, yr oeddynt yn ddrwg angenrheidiol: ac o'r hyn lleiaf y maent yn profi mai nid rhyw beth diweddar yw gofal y Methodistiaid Calfinaidd am yr athrawiaeth.

Wrth sylwi ar ysgrifenwyr yr ail ganrif ar bymtheg, a'u rhagoriaeth ar awdwyr y dyddiau presennol, y mae Coleridge, yn un o'i bregethau, yn dweyd fel y canlyn. 'Y pwngc olaf a grybwyllaf yw poethder ac amlder y dadleuon crefyddol yn y cyntaf o'r ddau gyfnod; y sylw dwys a enillent oddiwrth bob graddau ond y rhai iselaf a mwyaf anwybodus; y pwysfawrogrwydd a

briodolid iddynt gan y rhai uchelaf; rhifedi, ac yn fynych teilyngdod digyffelyb eu cyhoeddiadau dadleugar; mewn gair, y parch a delid i dduwinyddiaeth o'r fath yma. Dichon fod y materion yn nghylch pa rai yr ymrysonent weithiau yn ddibwys; a dichon fod y poethder gyda pha un yr ysgrifenent yn anghyfartal. Ond crybwyllir y ffaith fel arwydd o agwedd gyffredin teimladau dynion; ac i ddangos y llwybr yn mha un yr oedd eu meddyliau yn rhedeg ar y pryd. Yr ydym oll yn gwybod fod y rhai sydd dan ddylanwad gwir gariad yn dueddol i gymeryd tramgwydd; a syrthio allan ar achlysuron bychain, pa rai yn ddiau a ymddangosent felly i'r sawl na wyddent ddim am effaith teimladau cyffelyb. Fe allai nad yw yr ymrysoniadau hyn yn brofion o ddoethineb; ond ar yr un pryd yn sefyllfa anmherffaith ein natur y maent yn creu tybiaeth gref fod rhyw ddifaterwch yn y personau hyny, sydd yn caru mor glaiar pan y proffesent eu bod yn caru mor gywir.'

Y pynciau sydd yn haeddu ac wedi derbyn mwyaf o sylw oddiwrth Gristionogion, ac wedi achosi mwyaf o ddadl yn eu plith yw y rhai yr ymdrinir â hwynt yn y 'Pregethwr a'r Gwrandawr.' Ond y mae hyn yn arwyddo nad oes un ran o athrawiaeth yr efengyl heb fod yn destyn ymrafael, oblegid y mae y pyngciau hyn yn cynwys y rhan fwyaf, ac yn dwyn perthynas agos â'r cwbl. Gellir ystyried y dadguddiad dwyfol fel deddf ac efengyl; hyny yw, fel amlygiad o ddyledswydd dyn a gras Duw. Tra y credom y ddau yma yn gyflawn, yn rhydd, yn ddigymysg, nid oes nemawr o berygl i ni fethu: a gwadu un o honynt yw eithafnod y nifer fwyaf o gyfeiliornadau a fu erioed yn y byd. Gwadu y cyntaf yw hanfod Antinomiaeth, a gwadu yr ail yw hanfod Arminiaeth. Ond nid mynych y cyfarfyddwn a neb yn yr oes hon wedi myned mor bell a llwyr-ddileu yr un o'r ddau allan o'u cyfundraeth. Y rhai sydd yn gwyro fwyaf at Antinomiaeth a addefant fod rhyw fath o ddyledswydd ar bechadur, ond sylfaenir hi ar waith Duw yn rhoddi gras iddo; a'r awdwyr mwyaf Arminaidd a sonient weithiau am ras Duw yn iachawdwriaeth pechaduriaid, ond sylfaenir ef ar waith y dyn ei hun yn cyflawni ei ddyledswydd. Ond fel y mae dynion yn fwy tueddol i wadu bodoliaeth yr enaid yn hytrach na'r corph, felly y mae y rhai sydd yn gwrthwynebu gras Duw, yn ei neillduolrwydd, a'i effeithiolrwydd, yn llawer lluosocach na'r rhai sydd yn gwrthwynebu dyledswydd dyn: ac yn erbyn y rhai blaenaf y mae a fyno y llyfr dan sylw.

Anmhriodol ar hyn o achlysur fyddai manylu ar un o'r pynciau mewn dadl: ond fe allai mai nid anaddas fyddai gwneuthur rhai sylwadau ar y dull cyffredin o ymdrin a hwynt. Ac yn y lle cyntaf nis gellir llai na beio ar y defnydd a wneir o enwau Dr. Williams ac A. Fuller. Y mae gwaith llawer yn tadogi ffrwyth eu hymenyddiau eu hunain ar y gweinidogion duwiol hyn yn ddigon a pheri i'w hesgyrn gyffroi yn eu beddau. Digon tebyg fod bai ar y ddwy ochr. Y mae gwaith y naill yn arddel eu bod yn dilyn Williams a Fuller wedi peri i lawer gondemnio y ddau cyn gwybod dim am danynt. Nid ydym yn meddwl dweyd ein bod yn cydfyned yn mhob peth ag un o'r ddau. Ond cymaint a hyn sydd ddiamheuol—pwy bynag sydd yn credu gwaith Jenkyn, y mae yn mhell oddiwrth Andrew Fuller, ac yn mhellach drachefn oddiwrth Dr. Williams: oblegid y mae Jenkyn yn gwahaniaethu cymaint oddiwrthynt hwy mewn egwyddorion ag ydyw mewn dawn ymresymu! Gall ei fod o ran ei gymeriad personol, ac y mae am ddim a wyddom ni, yn un o'r rhai mwyaf canmoladwy. Ond yn ddiau pe byddem yn cydweled ag ef yn ei holl syniadau, etto efe yw un o'r rhai olaf y dewisem ei ganmol fel ysgrifenwr.

Byddai yn ddymunol hefyd pe bai dynion yn fwy gwyliadwrus i beidio beio ar ymadroddion a arferir gan yr ysgrifenwyr sanctaidd eu hunain. Dywedir llawer yn erbyn y meddylddrych o *iawn masnachol*; ond byddai yn weddus ystyried a yw y meddylddrych hwn ddim yn cael ei osod allan mewn amryw fanau yn y Llyfr dwyfol. Y mae mwy nag un awdwr hefyd wedi condemnio y gair *anallu*, pan y cymwysir ef at sefyllfa dyn fel pechadur, er fod Crist ei hun yn dweyd na ddichon neb ddyfod ato ef oddieithr i'r Tad ei dynu ef. Nid yw y rhai sydd yn arfer y geiriau hyn yn tybied eu bod i gael eu cyfyngu i'w hystyr gyffredin; ac os na chymerir eu golygiadau hwy arnynt, na feier ar y dull o ymadroddi, rhag bod yn gyffelyb i'r Duwinydd hwnw a ollyngodd ddiluw o ddysgeidiaeth am ben un awdwr truan i ddangos ffolineb rhyw ymadrodd oedd yn ei waith; ond erbyn edrych nid oedd yr ymadrodd hwnw ddim yn amgen nag adnod allan o'r ysgrythyr lan.

Un peth arall a arferir yn rhy gyffredin yn y ddadl hon, yw fod un blaid yn priodoli i'r ochr wrthwynebol syniadau nad ydynt yn eu proffesu. Er anghraifft dysgrifir y Methodistiaid Calfinaidd fel pe byddent yn petruso galw pawb i gredu yn Nghrist. Os gofynir am brawf o hyny, dywedir nas gallant roddi galwad gyffredinol i bawb, oblegid eu bod yn dal prynedigaeth neillduol. Gyda'r un priodoldeb gellid dweyd nad ydynt yn dal prynedigaeth neillduol oblegid eu bod yn galw pawb. Y mae y rheswm hwn yn euog o hunan-laddiad. Dywedir hefyd yn fynych fod y Methodistiaid Calfinaidd yn gwadu anfeidroldeb yr Iawn. Pa le a pha bryd y gwnaethant felly sydd ddirgelwch. Iaith y Methodistiaid o'r dechreuad yw mai dwyfoldeb per-

son y Cyfryngwr oedd yn rhoddi gwerth a rhinwedd yn ei ddyoddefiadau, ac y mae yn anhawdd credu fod neb yn eu plith mor ynfyd a meddwl am briodoli terfynau i'r Duwdod ei hun. Ond ar yr un pryd y maent yn credu mai pridwerth anfeidrol ydoedd dros rifedi terfynol o bersonau. Y mae yn rhaid hyd yn nod i'r Arminiaid gydfyned a hwy mor belled a hyn. Ond y mae y Calfiniaid yn credu ymhellach mai y personau hyny yw y rhai a roddwyd iddo gan y Tad yn nhragywyddoldeb.

Nid ydym etto wedi dysgu meddwl fod ein gwaith yn perthyn i ryw enwad yn gosod rhwymau arnom i gredu mai yr enwad hwnw yw y mwyaf cyfeiliornus ar y ddaear. Gan hyny ni phetruswn ddweyd ein bod yn cydfyned yn hollol â Mr. Hughes yn ei lythyr o gymeradwyaeth i'r llyfr hwn, pan y dywed fod y Trefnyddion Calfinaidd wedi cael y fraint o ymgadw rhag eithafion ar y ddwy ochr. Mewn enwadau eraill yr ydym yn cael fod un ochr yn ysgrifenu o blaid cyfiawnhad er tragywyddoldeb, a'r llall yn dweyd nad yw cyfiawnhad yn ddim ond rhyddhad pechadur yn llys y Bibl: un ochr yn gwadu galwad gyffredinol, a'r llall yn gwadu prynedigaeth neillduol; un ochr yn dweyd fod yr Ysbryd yn gweithredu yn ddigyfrwng, a'r llall yn dweyd fod y cyfryngau yn ddigon o honynt eu hunain ond i'r Ysbryd ddwyn dynion i ymarfer â hwynt. Ond fe wyr pawb ag sydd yn ceisio gwybod fod y Trefnyddion Calfinaidd wedi dilyn canol y ffordd rhwng y ddwy ochr—mor bell oddiwrth y naill ag oddiwrth y llall.

Pwy bynag sydd yn dewis gweled ymchwiliad manwl i'r pynciau hyn, darllened y 'Pregethwr a'r Gwrandawr.' Afreidiol yw crybwyll nad ydym yn rhwymo ein hunain i amddiffyn pob brawddeg sydd yn y llyfr; ac yn wir nid oes angen i neb i wneuthur hyny; oblegid y mae yr awdwr yn ddigon galluog i amddiffyn ei hun. A phe byddem yn gwahaniaethu oddiwrtho ymdrwyadl, byddai yn anmhosibl i ni beidio a'i gymeradwyo fel ysgrifenydd medrus ac ymresymwr cadarn. Os yr un yw rheswm yn mhob creadur sydd yn perchen arno, yna mor sicred a bod dau a thri yn gwneud pump, y mae yn y llyfr hwn resymau o blaid Calfiniaeth sydd yn hollol anatebadwy.

Ni ddichon neb ychwaith haeru nad yw yr awdwr yn dangos tegwch mawr wrth ddwyn yn mlaen ddaliadau ei wrthwynebwyr. Y mae yn rhoddi pob mantais iddynt ar a allent hwy eu hunain ddymuno, ac yn gosod allan eu gwrthddadleuon gan amlaf yn eu geiriau hwy eu hunain. Y mae yn meddu gradd helaeth o'r ddawn unigol hono sydd yn angenrheidiol i ysgrifenu ymddyddanion. Ac y mae yr holl gynadledd yn ymddangos mor naturiol a phe buasem yn clywed y personau eu hunain yn ymddyddan â'u gilydd. Nis gellir dysgwyl na fydd llawer yn methu cydweled â ni mewn perthynas i degwch y ddadl. Nid oes dim yn deg yn ngolwg rhyw fath o bobl ond yn hyn fyddo yn taraw o'u plaid hwy; y mae pob rheswm a fyddo yn gwrthdaraw yn erbyn eu cyfundraeth yn enyn eu digofaint; ac nid oes dim yn eu digio yn waeth na gweled eu gwrthwynebwr yn peidio digio. Z.

O. Y. Mewn rhan flaenorol o'r ysgrif dywedasom, 'Ac yn y lle cyntaf nis gellir llai na beio ar y defnydd a wneir o enwau Dr. Williams ac A. Fuller;' ond wrth ddywedyd fel hyn, ni feddyllr fod y bai a grybwyllir yn perthyn i Awdwr y 'Pregethwr a'r Gwrandawr;' oblegid y mae efe wedi cymeryd gofal i hysbysu nad oedd yr enwogion uchod wedi cofleidio y rhan fwyaf o'r daliadau a wrthwynebir ganddo.

---

## LLYTHYRAU, &c.

### PEDWERYDD LLYTHYR IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

Fy nghyfaill anwyl a hoff—Cwestiwn o bwys yw hwn, i ti gymmeryd at dy ystyriaethau, a wasgwyd mor ddwys gan Grist at Pedr, 'A wyt ti yn fy ngaru i?' Peth ofnadwy yw bod dan enw o flaenor, ac ar yr un pryd yn elyn i sylfaen a hanfod crefydd. Bleiddiaid yn ngwisgoedd defaid yw y rhai hyn, sydd yn lladd, yn dyfetha, yn rhwygo, ac yn ysglyfaethu praidd Crist. Mi debygwn y clywaf di yn dyweyd yn awr, 'Nid wyf yn gwbl sicr a ydwyf yn caru Duw ai peidio, ond mi ddymunwn ei garu, ac yr wyf yn gwybod fy mod yn caru'r brodyr.' Wel, na ddigalona, oblegid arwydd o gariad yw dymuno caru; a phrawf neillduol dy fod yn caru yr hwn a genhedlodd, yw dy fod yn caru yr hyn a genhedlwyd o hono. 'Doedd Crist, mi debygwn, ddim yn ystyried Pedr yn addas i wneyd dim gyda'i braidd, heb yn gyntaf garu y Pen bugail. Cariad at eneidiau a fyddo yn annogaeth it' fod yn dirion, lle byddo eisiau tiriondeb, yn llym pan y byddo achos yn galw am hyny, yn amcanu yn gydwybodol yn a thrwy'r cwbl i lesoli dy frodyr. Y mae yn angenrheidiol fod dy gariad at yr eglwys fel cariad tad at ei blant, cyn y gelli gyd-ddwyn yn gysurus â hwy yn mhob amgylchiad a thywydd. Cei lawer o ofidiau, a llawer o gysur, fe allai, gyda hwynt; nis gellir, y mae'n debyg, cael y melys i gyd mewn dim is y rhod, rhaid cymmeryd y chwerw gydag ef; ac mae'n bosibl mai hyny sydd fwyaf iachus i'n cyfansoddiadau ni yn ein sefyllfa bresennol. Fel tad yr ydwyt i ddarpar ar gyfer dy deulu. Mor ddiwyd y gwelir y tad gyda'i orchwyl pwysig yn darpar ar gyfer ei rai bach; dacw ef gyda'r wawr yn ymadael â'i fwthyn bychan, ac yn

wynebu tua'r Tyddyn-dŷ acw sydd ar ael y bryn draw; a chwedi cyrhaedd o hono y lle, mor ewyllysgar yr ymeifl yn ei orchwyl dyddiol, gan ymboeni wrtho drwy gydol faith y dydd: ei chwys sydd yn ymdreiglo dros ei ruddiau i lawr, yn ddefnynau cyssson yn dilyn eu gilydd, fel cynnifer o ddagrau gloywon yn defnynu o gariad at ei deulu. Nos Sadwrn, wedi derbyn ei gyflog wythnosol, gyda'r fath hyfrydwch anghydmarol y mae yn dychwelyd i'w fwthyn at ei eiddo cyfaneddol yno, ac nid gyda llai hyfrydwch y croesawir ef gartre, nes y byddont oll yn ymgofleidio er mwynhau eu gilydd yn undeb a rhwymyn cysurlawn cariad teulusidd, yn bur debyg i'r hwn sydd yn hau, a'r hwn sydd yn medi, yn llawenychu yn nghyd. Yr apostol ysbrydoledig a ddywed, 'Od oes neb heb ddarbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r diffydd.' Os felly yn naturiol, pa faint mwy yn ysbrydol.

Bydd ddyfal, fy nghyfaill, i ddarbod ar gyfer y teulu. Pwy bynag fyddo yn segura, bydd di yn weithgar.; pwy bynag fyddo yn rhodiana, bydd di yn yr ystafell; pwy bynag fyddo yn cellwair, bydd di yn gweddio; 'oblegid tra byddo y pethau hyn genyt, ac yn aml hwynt, y maent yn peri na fyddot na segur na diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist.; yn nghyd a dy osod ar dir diberygl, 'oblegid tra fyddot yn gwneuthur y pethau hyn ni lithri di ddim byth.' Edrych ar y wenynen, mor ddiwyd ac egniol y mae drwy'r dydd, yn casglu y defnydd melysaf o bob llysieuyn, ac erbyn yr hwyr yn dyfod adre i'w chwch, a'i hadenydd egwan yn ddiffygiol, a bron yn methu o dan ei baich trwmlwythog o fêl. Cymmer dithau aden drwy erddi tragywyddol gyngor, a chyfamod, ymsefydla yno yn nghanol blodau peraidd dy Dduw, ymsymud yn dy fyfyrdod o'r naill i'r llall o honynt, sugna felusdra nef y nefoedd o honynt, a dychwel â'th lwyth i'r cwch gartre, i'w gyfranu i'r rhai sydd wan ac analluog.

Bydd y wenynen yn tynu mêl weithiau o'r llysiau garwaf. Mae gorfoledd mewn gorthrymderau, onid oes, fy nghyfaill? Ac i ddyweyd gair o'm profiad fy hun, wrthyt. Yr wyf yn meddwl fy mod wedi cael mwy o gysur mewn gorthrymderau na mewn un lle arall lawer gwaith cyn yn awr. Nid peth bach fod pob goruchwyliaeth o eiddo Duw, yn dwyn yr enaid i ymddibynu yn llwyr arno.

Bydd ddyfal mewn gweddi ddirgelaidd; ffordd rhagorol yw hono i ddarpar dros y teulu. Ni welais i erioed na fuasai dyledswyddau dirgelaidd, ymdrech meddwl ger bron Duw, pan nad oedd ond Duw a'r meddwl yn gwybod, yn cael ei wobrwyo yn helaeth yn yr amlwg; cefaist fyn lawer gwaith i fod yn llawen gydaith gyfeillion mewn canlyniad i ymwneud manwl a chydwybodol â Duw yn ddirgelaidd, onid felly y bu? Bu yn dywydd mawr ar Moses pan welodd yr angel mewn perth yn llosgi yn dân; lle ofnadwy i'w enaid oedd hwnw, er hyny, yno y cafodd swp o rawn trwm, llawn o win, i fyned at ei frodyr gorthrymedig mewn caethiwed. A dywedodd yr Arglwydd, 'Gan weled y gwelais gystudd fy mhobl sydd yn yr Aipht, a'u gwaedd o achos eu meistriaid gwaith a glywais; canys mi a wn oddiwrth eu doluriau. A mi a ddisgynais i'w gwaredu hwynt o law'r Aiphtiaid, ac i'w dwyn o'r wlad hono i wlad dda a helaeth, i wlad yn llifeirio o laeth a mêl.' Cafodd y Moses hwn, ddiwrnodau celyd ar fynydd Sinai, pan yn ymwneud â Duw yn achos y genedl, ond ni ddaeth yn wag-law oddiyno, cafodd genadwri i ddyfod yn ei law iddynt oddiwrth yr Arglwydd. Ac yn wir, nid hwy oedd yn cael y cwbl, yr oedd ôl bod gyda Duw arno yntau hefyd. Pan y byddot yn ymwneud â'r Arglwydd dros yr eglwys, digwydd na chai dithau ran. 'Ac efe a fu yno gyda'r Arglwydd (sef ar Sinai) ddeugain niwrnod a deugain nos.' Deallodd Israel mai gyda'r Arglwydd y bu'r gwr, oblegid yr oedd ôl hyny arno. 'A phan welodd Aaron a holl feibion Israel Moses, wele, yr oedd croen ei wyneb ef yn dysgleirio: a hwy a ofnasant nesau ato ef.' 'Doedd Moses ddim yn deall hyn ei hun, ond yr oedd yn amlwg i bawb o'i amgylch. Mae eisiau i'th gynnydd dithau fod yn amlwg i bawb, ond i ti dy hun. 'A hwy a ofnasant nesau ato ef.' Os na fydd rhyw fawredd arnat heb yr enw blaenor, ni byddi ond dyn tra chyffredin. Peth syn ydyw gweled y blaenor yn mhlith y bobl yn cael ei drin fel rhyw fachgenyn, heb fod cymmalnt o fawredd i'w weled arno, fel na allo pawb nesau ato â phob chwedl. Mae y tad yn ofalus iawn, (o leiaf fe ddylai fod) na ddywedo bob peth yn nglyw y plant.

Mae llawer o bethau y byddai yn dda it' beidio eu hadrodd wrth bawb. Mae llawer o ddynion ieuaingc yn yr eglwys, ac ereill fe allai, yn ddigon hen i fod yn gallach, na fyddai o un lles iddynt wybod y cwbl a wyddost ti am yr achos, a phersonau gydag ef yn ei wahanol ranau. Mae rhyw ddynion mor annoeth fel nas gallant gadw dim a wyddant, rhaid dyweyd neu hollti. Pa gymmeriad is ar ddyn nag ei fod yn ddatguddiwr cyfrinach? Gwylia, fy nghyfaill, ac edrych pa le, ac wrth bwy y byddi yn dyweyd pethau sydd â phwys ynddynt. Hefyd, y mae llywodraeth gan dad ar ei blant. Eglwys heb lywodraeth sydd debyg i deyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun, ni saif hi ddim yn hir, ufudddod o barch nid o orfod, yw'r ufudd-dod goreu, etto, gyda rhai dynion bydd rhaid it' ddangos dy awdurdod. Nid fel ysgolfeistr yn mhlith plant yn bygwth y wialen, neu

fel rhyw ormeswr yn bygwth min y cleddyf. Gwelwyd llawer wedi eu gosod yn flaenoriaid, yn dangos mai dynion mewn awdurdod oeddynt, a hyny yn fuan; hawdd fuasai canfod yn eu bagweddau ymadroddion fel hyn. Gwnaf i bawb ymostwng, mae genyf awdurdod i hyny, a gwnaf i bawb wybod hefyd. Yn mhell a fyddot rhag tra-awdurdodi ar etifeddiaeth Duw, eithr llywodraetha yn ofn yr Arglwydd. 'Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus, i edrych a roddo Duw iddynt ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd?'

Nis gallaf ymhelaethu yma ar lywodraeth eglwysig, pe bai hyny yn rhyw fuddioldeb; mae fy mhapur yn darfod a'm hysgrif yn rhedeg i feithder. Ydwyf, dy gyfaill, &c.

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

## DIRWEST YN YR IWERDDON.

FFYDDLON OLYGYDD, —Oddiwrth wybodaeth drwyadl o'ch ewyllys i lesâu eich cenedl, a'ch bod yn caru agor drws eich Trysorfa werthfawr i bethau a dueddant i fyntumio rhinwedd, ac i alw sylw dynion mewn modd neillduol at yr egwyddor, a'r ymarferiad Dirwestol, wele fi oddiar ys tyriaeth deilwng, tybiwyf, yn anfon i chwi lythyr etto a dderbyniais oddiwrth fy nghyfaill Mr. Robert Williams. A dyma ef air yn air, fel y mae yn wreiddiol.—Yr eiddoch,

EVAN EDWARDS.

*Bethesda, Mai* 1, 1840.

"ANWYL GYFAILL,—Mae Father Matthew wedi dyfod i'r dref er y Sabbath diweddaf, ac y mae yr hyn sydd yn cymmeryd lle ar ei ddyfodiad yn saith mwy nag y meddyliais cyn iddo ddyfod. Nis gwn pa le i ddechreu nac i ddiweddu.

Y Sabbath diweddaf, pregethodd yn un o'r capelydd mwyaf yn y dref; ac yr oedd yn rhaid i'r nifer luosocaf o'i wrandawyr dalu 10s. am gael myned i'r capel i'w wrando, ereill 5s. a rhai 2s. 6c. a rhyw ychydig a gafodd fyned i'r *entry* am 6ch. er fod y teleran yn uchel, etto yr oedd y capel yn llawer rhy fychan.

Yr wythnos hon y mae yn derbyn enwau Dirwestwyr bob dydd, o 9 yn y boreu hyd 4 yn y prydnawn. Mae y pethau sydd yn dilyn ei oruchwyliaeth yn hyn yn ddigon i synu gwlad o ddynion. Mae yn sefyll allan mewn maes eang rhwng y Toll-dŷ a'r hen Senedd-dŷ, a miloedd o bob man o'i amgylch bob dydd. Cannoedd o gerbydau yno trwy y dydd, a phob dydd. Mae oddeutu 120 o *bolicemen*, a'r nifer luosocaf ar eu ceffylau, yn attal i'r bobl sathru eu gilydd wrth fyned ato; ac er hyny, y maent yn sathru, nes y mae yn syn genyf eu bod heb ladd eu gilydd. Mae y *Priest* yn sefyll ar fath o esgynlawr, oddeutu llatheu o uchder, a lle pennodol i oddeutu 500 yn ei ymyl i dderbyn yr ymrwymiad ar unwaith. Mae oddeutu 10 llath o'i amgylch o le gwag rhyngddo ef a'r gynnulleidfa, a'r *policemen* yn gyru ar eu ceffylau ar hyd-ddo i attal i'r bobl fyned yn afreolaidd ato: etto, byddant yn rhuthro ato wrth y cannoedd, er eu bod yn cael eu mathru hyd lawr gan ddynion a cheffylau.

Sylwais ar hen ŵr o'r wlad yn rhedeg y lle gwaharddedig hwn; tynodd ei het wrth gychwyn, ond cyn iddo gyrhaedd mangre ei ddymuniad, fe'i galwyd gan un o'r gwyr ceffylau, ac aed âg ef fel ci yn erbyn ei wàr yn ei ol; etto, nid oedd awydd yr hen ŵr ddim yn llai i gynnyg drachefn,

Mae y 500 sydd yn ei ymyl yn derbyn yr ymrwymiad yn ben noeth, ac ar eu gliniau, yn debyg fel y bydd y Cymry yn derbyn Swper yr Arglwydd. Mae yn areithio am oddeutu deng mynyd wrthynt, ac yna yn adrodd geiriau yr ymrwymiad wrthynt, a hwythau yn dywedyd yn un llais ar ei ol; wedi hyny, y mae yn eu bendithio er dal yr ymrwymiad, ac yn cyhoeddi y felldith os torant ef, ac yn y diwedd yn rhoddi ei law ar eu penau oll, a dynion apwyntiedig yn rhoddi *ticket* iddynt i gael rhoddi eu henwau i lawr, a *medal*, &c. Yr oeddwn yn dychymygu pe buasai drws arch Noah yn agored pan oedd ffenestri y nefoedd yn agor, a ffynonau y dyfnder mawr yn ymrwygo, na buasai brys y cyn-ddiluwiaid i fyned iddi ddim yn fwy na brys y rhai yma i fyned at y dyn hynod hwn.

Y dybiaeth sydd gan y cyffredin am dano ydyw, ei fod wedi derbyn awdurdod gan Dduw i glwyfo ac iachau, bendithio a melldithio; ac y mae dedwyddwch amserol a thragywyddol dyn yn gorphwys ar ei law.

Mae cannoedd o bobl gleifion, deillion, byddarion, ac anafus, yn dyfod bob dydd yma i ddysgwyl am iachâd. Dywedir bod oddeutu 400 o bobl ddeillion yn unig wedi dyfod yma ddydd Mawrth i ddysgwyl cael eu golwg. Gwelais lawer iawn o honynt. Ddoe yn foreu iawn, yr oedd dwy drol yn dyfod â rhai cleifion yn eu gwelyau 60 milltir o'r wlad. Oblegid eu bod yn dyfod yn foreu, cawsant le cyfleus, baont yno o foreu i hwyr yn saith mwy eu ffydd am iachâd, na'r claf hwnw wrth lyn Siloam; a'r hyn oeddynt yn ei ddywedyd yn yr hwyr, oedd eu bod *lawer iawn gwell*. Dywediadau cyffredin yn y gynnulleidfa yw, 'O, dyna ddau wedi cael eu golwg yrwan, dyna un wedi cael iachâd, dyna bedwar wedi cael eu clyw,' &c.

Fel hyn y mae yma achos i lawenhau ac i galaru. Galaru oblegid tywyllwch ac ofergoeledd y Pabyddion; a llawenhau, oblegid bod y ffrwd gref yma o lygredigaeth yn cael ei hattal, yr hyn a effeithia hyd yn nod ar ddistryw ei hunan—oblegid dyma un o faglau cryfaf y diafol yn y wlad a'r dref hon.

Byddaf yn myned i'r gynnulleidfa yma ob dydd, ond nis gellais glywed yr un

gair ganddo etto, gan faint y gynnulleidfa. Nid ydyw ei gynnulleidfa na'i dderbyniad ddim yn llai heddyw, ddydd Gwener, nac oedd ddydd Llun. Y rhif mwyaf canolig a ddywed y papurau newyddion, y mae yn ei dderbyn ydyw 11,000 yn y dydd. Y rhif sydd ganddo a dderbyniodd yn yr Iwerddon yn bresennol, ydyw ychydig o dan 1,000,000.

Mae yma ambell un yn cablu y Gymdeithas; ond nid ydyw eu gwrthddadleuon yn ddim mwy o'i blaen na phluan o flaen corwynt. Yr oeddwn yn teimlo cywilydd arnaf wrth wrando ar wrthddadl un, yr hon oedd fel y canlyn, 'Mae yn sicr y rhydd hyn glwyf i'r grefydd Babaidd; oblegid y mae yn hollol annhebyg y deil y fath dyrfa a hon yr ymrwymiad, am eu bod yn ymrwymo yn eu zel yn y tywyllwch, ac os torant, fe'u gwrthodir gan yr Eglwys Babaidd; ac ni bydd neb i'w derbyn ond Protestaniaid. Yr hyn beth sydd yn gyffredin gyda hwy, sef tori eu hymrwymiad, yfed, a meddwi.' Onid gwir hyn, drigolion Cymru? Iё, fy hen gymmydogion yn Sir Gaernarfon; mae hyn yn erchyll i'w addef, ond mae yn rhy wir i'w wadu. Pwy a welir amlaf yn feddw yn mhorthladd Dublin? Nid y Gwyddelod tywyll, na'r Francod Pabyddol, ond y *Cymry*, er bod hyn yn arw i'r glust, ac yn wrthun i'r llygad, etto y mae yn wirionedd. Ow! fy nghenedl. Ow! yr ydych wedi cael eistedd yn nheml crefydd y byd; gwelsoch fynediad Arglwydd y lluoedd yn ei gyssegr; fe'ch planwyd chwi yn y bryn ffrwythlonaf; etto, mae eich grawnwin surion yn cael eu dihidlo yn mysg cenedloedd y ddaear, a thrwy hyny, y mae enw Duw yn cael ei gablu o'ch plegid chwi yn mysg Pabyddion a Phaganiaid.

Nid ymddengys y grefydd Brotestanaidd byth yn ei gwir gymmeriad i'r byd tra bo ei Gweinidogion yn pleidio yfed a meddwi yn eu esiamplau, a'r dynion cyffredin megis morwyr yn meddwi yn ngwydd yr haul, ac yn nghynnullfanau mwyaf cenedloedd y ddaear. Mae yn warth i'r grefydd Brotestanaidd, fod y gair Cymro yn cael ei roddi wrth enw llawer a welais yn y ddinas hon. Arglwydd y lluoedd gwared fi, yn nghyda'r Gweinidogion Cymreig, oddiwrth waed pawb oll.'

*Dublin, Ebrill* 3, 1840.

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA LLANFAIR CAER-EINION,

EBRILL 28 a 29, 1840.

---

*Cyfarfod y Pregethwyr, am* 10 *o'r gloch bore dydd Mawrth.*

1. Crybwyllwyd am frodyr yn y weinidogaeth a hunasant yn yr Iesu.

Y mae Cymdeithasfa Sir Drefaldwyn eleni wedi gorfod ymgynnull heb y brawd parchus a'r gweinidog ffyddlawn, Mr. Evan Griffiths. Efe a aeth i'w orphwysfa, gan adael ei frodyr mewn galar a hiraeth ar ei ol. Bu crybwylliad anrhydeddus am dano yn Nghymdeithasfa y Wyddgrug. Wedi y Gymdeithasfa hono, y mae brawd a gweinidog llafurus arall wedi ein gadael:—Mr. Richard Jones, o'r Bala. 'Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo;' ond ni chawn mo hono i'n goleuo mwy.

Coffäwyd yr adnod hono, 'Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw; ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt.' Na fydded i'r rhinweddau oedd yn ein brodyr ymadawedig feirw gyda'u marwolaeth hwy. 'Gwr da' oedd Richard Jones; un hynod gydwybodol a ffyddlawn. Byddai yn ammeu ac yn chwilio a fyddai rhywbeth yn ddyledswydd arno neu beidio; ond wedi y barnai fod, ni ammeuai ddim am gyflawniad y ddyledswydd, ond elai yn mlaen yn benderfynol. Rhai o'r brodyr mwyaf cydnabyddus âg ef a dystiasant na welsent ddim ynddo erioed a barasai ynddynt y gradd lleiaf o ammeuaeth am ei dduwioldeb personol. Yn ei deulu, yn nghymydogaeth y Bala, yn Sir Feirionydd, ac yn y Corff yn gyffredinol, y mae y golled am dano yn annrhaethol.

Sylwyd fod y blyneddoedd hyn yn ysgubo tadau a brodyr enwog o'n mysg, ac yn debyg o wneuthur mwy o hyny eto. Mae yn bryd i ni ddeffro, ystyried, a gweddio am ymroddiad calon a gostyngeiddrwydd ysbryd. Weithiau y mae colli rhai a fu yn y blaen, wedi peri i eraill chwennych y blaen, a hyny yn peri rhwygiadau dirfawr. Erfyniwn am i'r Arglwydd ein gwaredu ni rhag yr ysbryd hwn.

Cofiwn mai yr Arglwydd a gymerodd ymaith ein brodyr. Yr oedd ganddo ddyben yn eu rhoddi, a dyben yn myned â hwy oddiwrthym. Nid yw marw yn dygwydd heb Dduw. Ymddarostyngwn dan ei alluog law. Y mae Corff o bobl yn debyg i deulu; y mae marwolaeth rhyw aelod yn y teulu yn peri teimlad a galar trwy y tŷ i gyd. Dylai yr agosrwydd perthynasol beri i ninnau deimlo yn ddwys oddiwrth farwolaeth ein brodyr. Tra yr ydym yn clywed am farwolaethau galarus Cenadon enwog trwy ddwylaw anwir barbariaid, gallwn ddywedyd fod rhai o'n brodyr yn meirw fel merthyron gyda ninnau. Er gwybod fod eu llafur gweinidogaethol yn difa eu nerth a nychu eu hiechyd, eto, yn mlaen yn ddiwyd yr aent, nes gorphen eu gyrfa wedi ymdrechu ymdrech deg. Dilynwn hwy megys y dilynasant hwy Grist.

2. Ymddyddanwyd â John Bywater, ac Evan Lloyd, dau frawd ieuanc o Sir Drefaldwyn, y rhai a gyflwynid i'r Gymdeithasfa.

Holwyd hwy yn gyntaf am eu profiadau.

ysbrydol; wedi hyny am eu cymhelliadau gweinidogaethol; ac yn ddiweddaf am eu hegwyddorion athrawiaethol.

Yn yr ymddyddan, sylwyd fod yn rhaid i ni wybod am brofiadau ysbrydol ein hunain, cyn y gallwn drin profiadau pobl ereill. Beth os cyfarfyddwn â phechadur wedi syrthio i gors anobaith? a allwn ni lefaru gair mewn pryd wrtho? Dylem fod yn rhai blaenaf mewn teimladau crefyddol yn gystal ag mewn deall crefyddol.

Gyda golwg ar uniondeb egwyddor a dyben, sylwyd nad oes modd i ni dwyllo ein hunain heb garu cael ein twyllo. Nid â neb trwy'r byd heb wybod beth ydyw, ond y dyn sydd yn caru myned felly. Mae llawer yn meddwl am chwilio eu hunain rywbryd, ond y maent yn caru oedi yn barâus. Gallem wybod a anfonwyd ni gan Dduw i bregethu, pe carem gael gwybod. Mae yr Arglwydd yn ateb gweddiau yn y dyddiau hyn. Pa elo hi yn weddio iawn, enaid mewn gweddi yn cael dyfodfa at Dduw, mae goleuni y fan hono yn dyfod â llawer o bethau i eglurdeb. Mae yr Arglwydd yn y dirgel yn datguddio ei gyfrinach i'w bobl agos ato. Gall ef roddi gwybodaeth i ni a ydym yn gywir yn erbyn pob pechod, ac a oes rhywbeth yn nghanol y cymysgedd mawr o'n mewn yn dyrchafu i'r wyneb uwchlaw pethau ereill. Peth mawr yw os oes rhywbeth ynom fel y nawfbeth (*buoy*) yn y môr, yr hwn, er ei luchio oddiamgylch, sydd yn aros ar y wyneb yn nghanol y tonau. A ydyw Duw fel nôd yn oruchaf genym, er pob curo a fyddo arnom? A ydyw hyn yn ddymuniad ynom; os nad yw yn fwy? Ac a ydyw yn alar genym pan yn colli y nod? Mae llawer un yn ei faeddu ei hun mewn dyryswch am ei ddyben, maes ei lafur, &c., pryd y gallai wybod yn lled glir, pe cymerai ei achos yn onest fel neges at Dduw. Aem trwy lawer peth tywyll yn hwylus a chysurus, pe caem ddyfodfa agos at yr Arglwydd.

3. Ymddyddanwyd â'r brawd Mr. Gwalchmai gyda golwg ar ei ad-dderbyniad i'r weinidogaeth.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

1. Enwyd amser Cymdeithasfäoedd dyfodol.

Y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn NINBYCH, Mehefin 10, 11, 12. Cyfeisteddfod y Siroedd i fod am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mercher, ac am 8 bore dydd Iau; Cyfarfod Pregethwyr am 10 dydd Iau; Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 2, ac am 8 bore y dydd canlynol.

Cymdeithasfa Flyneddol Liverpool i fod y Sulgwyn, Mehefin 7fed.

Cyfarfod Pregethu, neu Gymdeithasfa Achlysurol y Bala, Mehefin 3, a 4.

Cymdeithasfa Flyneddol Môn i fod yn Llanerchymedd, Mehefin 18, a 19.

Cymdeithasfa Chwarterol y Deheudir i fod yn Llaneirwg, Sir Fynwy, Mai 26, a 27.

Cymdeithasfa, neu Gyfarfod Blyneddol y Deheudir, i fod yn Llantrisaint, Sir Forganwg, Gorphenaf 2, a 3.

Y Gymanfa Gorfforedig i Ddê a Gwynedd i fod yn Llanidloes, Gorphenaf 28, 29, a 30. Cyfeisteddfod baratöadol am 3 o'r gloch y prydnawn cyntaf, a chyfarfodydd neillduol am 7, 10, a 2 yr ail ddiwrnod.

2. Crybwyllwyd am Gofiant y diweddar Barchedigion W. Jones, ac E. Griffiths, gan y Parch. John Hughes, yr hwn a gyhoeddwyd oddiar gymeradwyaeth ac annogaeth y Gymdeithasfa. Gall y Siroedd ei gael gyda y Drysorfa o Gaerlleon.

3. Cymeradwywyd dau frawd i fyned fel Pregethwyr i'r America. Penderfynwyd hefyd anfon llythyr cymeradwyaeth ar ol brawd sydd wedi myned yno.

4. Derbyniwyd John Bywater, ac Evan Lloyd, fel pregethwyr i'r Gymdeithasfa, trwy bleidlais cymeradwyol. A rhoddwyd caniatâad i Mr. Gwalchmai bregethu yn mhob man y'i gelwir.

5. Wedi ymdriniaeth faith yn nghylch yr Achos Cenadol, cafwyd arwydd fod y Gymdeithasfa hon yn dymuno i ni fel Corff ymffurfio yn Gymdeithas Genadol. A rhoddwyd caniatâad i gyfeillion Liverpool i ddechreu gweithredu yn Genadol, yn ol eu rheolau cynnygiedig, ac i anfon y brawd Thomas Jones, fel Cenadwr. Rhoddwyd rhyddid hefyd i bob lle a ewyllysio, i gydweithredu â hwy.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 8 o'r gloch bore dydd Mercher.*

1. Holwyd ynghylch yr Ymweliad Eglwysig a fu yn ddiweddar trwy y Siroedd. Cafwyd nad oedd ond ychydig o Swyddogion Eglwysig heb ymuno â Chymdeithas Dirwest. Tystioliaethid gan yr Ymwelwyr, fod achos crefydd yn isel yn y manau yr oedd blaenoriaid Annirwestol; a bod Duw yn llwyddo ei waith yn y lleoedd yr oedd yr Eglwysi yn onest a zelog gyda'r achos Dirwestol.

Cafwyd fod diffyg mawr mewn llawer Eglwys gyda golwg ar fagwraeth grefyddol y plant. Bwlch yw hwn y dylid ei godi i fynu yn ddioed.

2. Annogwyd i ddiolch i'r Goruchaf am yr hin gysurus y dyddiau hyn, ac i ofyn am barâad nawdd a ffafr Rhagluniaeth.

3. Derbyniwyd deisyfiad oddiwrth ein cyfeillion perthynol i'r achos Cymreig yn Birmingham, Walsall, a Bilston, yn gofyn am i bregethwyr o'r Dywysogaeth ddyfod i ymweled â hwy yn fisol. Mae yn awr, rhwng y tri lle, ddeugain o aelodau eglwysig, ac oddeutu 140 o wrandawyr. Mae yno eto gannoedd o Gymry nad ydynt yn

myned i un lle o addoliad. Penderfynwyd sylwi ar eu cais yn y Gymdeithasfa nesaf.

4. Sylwyd ar Ddirwest yn ei pherthynas â swyddau yn yr Eglwys, ac yn yr Ysgol Sabbothol. Yr oeddid wedi rhoddi annogaeth mewn Cymdeithasfa flaenorol i beidio codi rhai i swyddau eglwysig heb eu bod yn Ddirwestwyr; yr oedd rhai Siroedd wedi ystyried hyny fel deddf a gweithredu yn gyfatebol; ac yr oedd rhai personau wedi ei gwrthwynebu am nad oedd *ond* annogaeth. Ac felly yr oedd yn angenrheidiol cael ad-sylw Cymdeithasfäol ar y mater.

Wedi cryn ymddyddan, penderfynodd y Gymdeithasfa, nad oes i neb gael eu dewis yn Swyddogion Eglwysig ac yn Athrawon yr Ysgol Sabbothol, heb fod yn Ddirwestwyr.

Eglurwyd nad yw y penderfyniad hwn yn diswyddo y rhai ydynt eisoes mewn swyddau er heb ardystio yn Ddirwestwyr. Annoger y cyfryw rai mewn sirioldeb a doethineb i ymuno â'r Gymdeithas Ddirwestol. Hefyd gyda golwg ar lëoedd newyddion yn y Goror, &c., y mae eithriadau yn oddefol.

5. Sylwyd ychydig ar Ddiwygiad, neu Adfywiad Crefyddol.

Rhanwyd y mater i dri phen:—I. Y moddion trwy ba rai y cyrhaeddir Adfywiad Crefyddol. II. Natur Diwygiad Ysbrydol pan y ceir ef. III. Pa fodd i ymddwyn at ddychweledigion ieuainc. Ond gan nad oedd amser yn caniatâu, ni wnawd ond ychydig sylwadau ar y pen cyntaf.

Pa fodd y mae i ni gael Diwygiad Crefyddol? Nid oes eisiau newid un pwnc o athrawiaeth i gael diwygiad; ni arddela yr Ysbryd ddim ond yr hen wirionedd datguddiedig. Nid oes eisiau arfer dim moddion gwahanol i'r rhai sydd o osodiad dwyfol. Ond efallai fod yr ymarferiadau sydd â sail iddynt yn y Gair, yn cael eu hesgeuluso genym yn ormodol. Ni ddaw diwygiad byth heb i'r Eglwys ei ddysgwyl a gofyn am dano. Yn mhob man y mae genym hanes am ddiwygiadau grymus, yr oedd ysbryd gweddi a dysgwyliad wrth yr Arglwydd yn eu rhagflaenu. 'Ti a gyfodi ac a drugarêi wrth Sion,' meddai yr Eglwys yn y dyddiau gynt; 'canys yr amser i drugarâu wrthi, ie, yr amser nodedig a ddaeth.' Pa fodd yr oeddynt yn gwybod hyny? Am eu bod wedi dyfod i deimlo yn ei hachos. 'Oblegid y mae dy weision yn hoffi ei meini, ac yn tosturio wrth ei llwch hi.' Os ydym heb y teimlad iawn, gweddiwn am dano, a holwn ein hunain paham na byddem yn teimlo. Cofiwn mai yr Arglwydd sydd yn rhoddi ysbryd gweddi. Nid yw lliosogiad Cyfarfodydd Gweddi Cyhoeddus yn brawf ynddo ei hunan o ysbryd gweddi. A ydyw ein heneidiau mewn gwasgfa am y fendith ynddynt? Ac a ydyw Adfywiad Crefyddol yn fater gweddiau dirgel genym? Amserau rhyfedd yw y rhai hyn. Mae yn berygl i ni fyned i ddynwared gwaith yr Ysbryd, os na chawn ef ei hunan. Ymgeleddwn bob peth sydd yn debyg i Dduw, ac arswydwn rhag myned yn mlaen hebddo. Y mae genym destunau llawenâu yn y dyddiau hyn, eithr ni a ddylem 'lawenâu mewn dychryn.'

Tu ag at gael Adfywiad, dylem gredu fod genym rywbeth i'w wneuthur, a'i wneuthur yn ddioedi. Dylem egnïo i wneyd y pethau mwyaf gyda llwyr argyhoeddiad na allwn wneyd y pethau lleiaf heb Dduw. Rhaid gweddio, a hyny heb ddiffygio. Nid gweddio er mwyn gweddio, ond gweddio am arddeliad ar y Weinidogaeth. Nid cyfarch a dysgu dynion, ond deisyf ar Dduw yr ydym wrth weddio, ac felly y mae yn angenrheidiol am ddifrifwch meddwl ac ysbryd ffydd. Dylem fod yn ffyddlawn mewn ymddyddanion crefyddol. Mae yr Arglwydd wedi bendithio ymddyddan er dychweliad pechaduriaid, ac adeiladaeth ei saint. 'Troi o ryw un ef.' 'Y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog.' Buddiol hefyd yw cadw cyfarfodydd crefyddol mewn rhyw gonglau na ddaw y bobl oddiyno i wrando. A'r rhai y mae arwyddion fod y gwirionedd yn ymhel â'u meddyliau, nesawn atynt, ac arferwn bob moddion addas i'w hymgeleddu. Dylai pob pregeth fod yn bregeth diwygiad. Os na bydd amcan y pregethwr bob oedfa i ddiwygio y byd a diwygio ei frodyr, ni bydd ei ysbryd yn ei le. Ymarferwn ffydd yn nghyfammod ac addewidion Duw. Edrych yno â'n gwna yn ddysgwylgar ac awyddus am y tywalltiad o'r uchelder.

LEWIS EDWARDS, *Cadeirydd.*
ROGER EDWARDS, *Ysgrifenydd.*

---

GWYL DDIRWESTOL BANGOR.

Yr oedd dydd Gwener y Croglith yn ddydd arbenig yn y ddinas hon gynt i bob chwareuyddiaeth anfoesol; yr hyn a oddefid yn rhwydd. Ond eleni meddyliodd y Dirwestwyr wneud y diwrnod hwnw yn ddydd o egni newydd ac yn Wyl Ddirwestol. Ac er dangos iddynt anfoddlonrwydd mawr o'r Wasg a'r Areithfa ni fachludodd yr haul arnynt heb iddynt gael Cyfarfod rhagorol.

Wedi i amryw o Feistriaid a Pharchedigion areithio ar yr achlysur, a'u hareithiau oll yn gadarn yn yr ysgrythyrau, am un o'r gloch ffurfiwyd gorymdaith drefnus, yr hon a flaenorid gan gantorion Dirwestol y gymmydogaeth, ac ar derfyn y Cyfarfod cafwyd achos o galondid mawr, ac i ddiolch i'r Arglwydd am y graddau a roddes o'i foddlonrwydd iddynt. "Gan hyny," meddynt, "awn yn mlaen, mae gwobr i'n gwaith,
.... a Duw o'n plaid,
A meddwdod baid am byth."

*A dalfyrwyd o Lythyr yr Ysgrifenyddion.*

## COFIANT

### AM JAMES DOWELL O'R RHYL.

JAMES DOWELL ydoedd fab i Thomas a Catherine Dowell, o'r Terfin bellaf, Swydd Flint; treuliodd y rhan fwyaf o'i oes yn ol helynt y byd hwn, o dan lywodraeth trindod y diafol, sef chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd; ond pan oddeutu 31 mlwydd, oed pan yn Eglwys Sefydledig Rhuddlan, ar y Sabbath, yn gwrando y Parch. Robert Davies, Offeiriad y lle y pryd hyny (ond yn awr yn gweinidogaethu yn Eglwys Sant Dewi, Llynlleifiad) yr hwn oedd yn llefaru oddiar y geiriau yn Job 42. 5. gorchfygwyd ei deimladau fel y cwympodd ar y faingc, ac ei wyneb mewn boddfa o ddagrau. Mewn canlyniad i hyn, cynnygiodd ei hun trwy ymddyddan â Thomas Hughes, o Ben-ddauglawdd, i Eglwys y Wesleyaid yn Rhyl, yr hwn, mewn modd boneddigaidd, a ofynodd iddo yn mha le yr effeithiodd y peth ar ei feddwl gyntaf yn nghylch ei gyflwr? Pan yr atebodd iddo mai yn yr Eglwys. 'Wel,' ebai yntau, 'yno y dylech wneud eich cartref;' ond o herwydd nad oedd Mr. Davies yn cadw cyfarfodydd neillduol, ac yntau, druan, yn mron llewygu o eisiau ymgeledd, ac heb un man i droi ei wyneb am dano, tarawodd wrth yr hen bererin ffyddlon Edward Jones, o'r Rhyl, yr hwn a roes help llaw iddo, trwy ei gymhell i fwrw ei goelbren yn eu plith hwynt yn Rhuddlan; ac er ei fawr gysur a'i lawenydd gwnaeth felly, a pharhaodd yn gangen iraidd, flodeuog, a ffrwythlon ar hyd ei oes gyda y Methodistiaid Calfinaidd, ond ei fod yn awr er ys llawer o flynyddoedd, gwedi gwneuthur ei gartref gyda'r achos crefyddol yn Prestatyn, a theimlir colled ar ei ol, a gwelir ei le yn wag tra y pery rai sydd yno yn awr yn fyw.

Er nad oedd yn un mawr mewn gwybodaeth a dawn, etto yr oedd yn un mawr mewn gras, ffyddlondeb, a diwydrwydd crefyddol.

Bu yn rhodio yn alarus trwy orthrymder y gelyn am ddyddiau lawer ar ol priodi yr achos crefyddol; ïe, mewn tywyllwch ac heb lewyrch iddo. Ond pan yn y pwll isaf un diwrnod gyda ei orchwyl yn y maes, danfonodd Duw y gair hwnw fel y diliau mel at ei feddwl, sef, 'Trowch i'r amddiffynfa chwi garcharorion gobeithiol,' syrthiodd yno ar ei liniau, ac ymdrechodd fel Jacob yn Peniel gyda ei Dduw, a'r Arglwydd a fu foddlon; dyma y tro cyntaf erioed iddo gael mwynhad o gilfach a glàn i droi iddo. Gwawriodd mor ryfeddol arno y tro hwn, fel y byddai yn arferol o son am wawr y Cae Eithin bron bob amser, os byddai yn isel ar ei feddwl, ac yn dymuno am ei gyffelyb, a diau iddo gael hyny lawer gwaith yn ystod ei fywyd.

Bu yn dilyn y gorchwyl o ddyrnu am flynyddoedd lawer yn nechreuad ei oes grefyddol; a byddai yn arferol bob amser gwedi ei brydiau bwyd o gadw addoliad i Dduw yn yr ysguborau, heb neb ond ei Dduw ac yntau; ïe, yr oedd yn un hynod mewn gweddiau dirgel, fel y mae yn ddywediad cyffredin yn ei hen ardal, nad oes yr un twll ar y Tywyn na bu James Dowell ynddo yn gweddio. Llangciau rhyw dŷ fferm gwedi bod yn lled hir unwaith wrth ddanfon y ceffylau, a alwyd i gyfrif gan eu meistr yn mha le yr oeddynt gwedi bod cyhyd, pan y dywedasant 'mai gwrando ar James Dowell yn gweddio am ras i'w blant y buont.'

Pan yr oedd ar ddydd Calanmai yn yr ysgubor, daeth y dawnswyr Haf i mewn i'r buarth, yntau fel y byddai yn gyffredin yn gwneud, a roes ei ben trwy'r drws allan i edrych, pan y clywai ryw beth yn gwaeddi, 'Tro heibio! tro heibio! tro heibio dy lygaid rhag edrych ar wagedd!' ac felly y gwnaeth.

Yr oedd yn un hynod yn ei sylw manwl ar droion rhagluniaeth Duw, a phob amser yn ei dilyn, a'i gyfraniadau crefyddol, fel olwynion Ezeciel yn canlyn yspryd y peth byw, pan codai yspryd y peth byw yr olwynion a ymgodent ar eu cyfer hwythau, a phan ostyngent, yr olwynion a ostyngent hefyd, a diau mai yspryd y peth byw oedd yn llywio ei feddwl, ac yn ei ddysgu pa fodd i wneud.

Cerddodd am 23 o flynyddoedd yn gyffredin dair gwaith ar y Sabbath i Brestatyn, er bod ei ffordd fel dyffryn Baca yn dywodlyd a blin, ac oddeutu dwy filldir o'r Capel, etto gwnai dwll â'i weddiau wrth fyned, a'r gwlaw a'i llanwai wrth ddyfod adre, nes y byddai yn aml yn gwaeddi, 'O diolch,' ar ei ben ei hun, ac yn anghofio ei ludded, er ei fod fel Jacob yn gloff o'i glun.

Byddai, am ei fod yn union ar y ffordd rhwng Rhyl a Prestatyn, yn gymmwynasgar iawn i'r Pregethwyr, yn eu dysgwyl o'r naill fan i fyned i'r llall, neu yn eu hol a'u danfon fel ag y cofia llawer o honynt am ei garedigrwydd tra y byddant byw.

Yr oedd yn hynod am eiriau parchus ger bron Duw, megis, 'Ein bywyd anwyl, dy anwyl Ysbryd;' a byddai yn cael ei anafu yn fawr wrth glywed rhai yn arfer geiriau gwael ger bron Duw. Pan yn gwrando un ar dro yn arfer y geiriau, maddeu ein gwaeleddau, lawer gwaith, ac yn lled ysgafn, dywedodd, 'Wel, nid yw calon y gwr yna ddim mor ddrwg a'm calon i,' neu y mae heb ei gweled hi.

Ni bu un cerydd eglwysig arno yn yspaid yr amser, sef 32 mlynedd y bu gyda chrefydd, nac achos bod ychwaith; yr oedd er hyny bob amser yn ei geryddu ei hun; â dywedai weithiau, pe baech chwi, gyfeillion bach, yn gwybod y fath bechadur ydwyf fi, mi ryfeddach yn fawr.

Yr oedd aml i *spot* ganddo wedi ei nodi,

sef rhyw fanau nodedig ag y byddai gair yr Arglwydd yn dyfod i'w feddwl ynddynt.

Dyoddefodd hir a maith gystudd, a'i ofid mwyaf yn ei boenau oedd ei galon galed, a cholled am foddion gras a chymdeithas ei gyfeillion.

Byddai cyfeillion Prestatyn, Rhyl, a Dyserth yn myned i ymweled âg ef yn ei afiechyd, a phawb yn cael arwyddion amlwg bod ei farn a'i fatter yn dda.

Gofynodd unwaith i William Hughes, blaenor Prestatyn, a oedd efe yn cofio fel y byddai yn cwyno o herwydd ei ofnau, ond heddyw (medd efe) y mae y cwbl gwedi ffoi ymaith, a dechreuodd ganu,

Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw, &c.

Byddai bob amser yn ei afiechyd yn bechadur mawr, a Iesu bob amser ganddo yn Iesu anwyl, neu yn briod anwyl. Yr oeddynt yn gariadus ac yn anwyl o'u gilydd, mae yn ddiammeu yn ei fywyd, ac yn angeu nis gwahanwyd hwynt.

Gofynodd un brawd iddo, ychydig cyn ei ddyddiau olaf, 'Pa beth oedd ei feddwl am Arfaeth dragywyddol, Etholedigaeth gras, Cyfammod Duw,' &c. Dywedodd yntau, 'Y mae'r cwbl o ras, megis *link* mewn *link*, yn gwneuthur i fynu un gadwen gref, a minnau yn gorwedd arnynt y mynyd yma.

Diolch iddo, Diolch iddo,
Byth am gofio llwch y llawr.

Dydd Sadwrn y 29 o Chwefror, yr oedd arwyddion amlwg ei fod yn gwanhau yn brysur, a'r Sabbath canlynol, yr oedd fel a'i draed ar ben Pisgah, yn gweled y wlad dda, ac yn ymorfoleddu yn ei Dduw. Adroddodd y pennill canlynol gyda rhyw ddwysder anarferol,

Yr Iawn a dalwyd ar y groes, &c.

Gofynwyd iddo, a oedd efe yn gallu gorphwys arno? 'O! ydwyf!' meddai yntau, 'fy mywyd anwyl i ydyw; pwy mor ffyddlon ag efe; pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi, &c.

Diolch iddo
Byth am gofio llwch y llawr.

Ar ol hyn, efe a ddystawodd am ychydig, a daeth Elizabeth ei ferch hynaf i'r ystafell, a gofynodd iddo pa fodd yr oedd? 'Wel, fy ngheneth,' meddai yntau, 'yr ydwyf yn hyderus yn hyn yma, y bydd i'r hwn a ddechreuodd waith da ei orphen.

Dygwyddodd y Sabbath hwn fod yr holl blant gartref ond un, galwodd hwynt oll ato, a dywedodd, 'Wel, fy hoff, ac anwyl blant, cofiwch, cofiwch eich Creawdwr yn nyddiau eich ieuengctyd. Llafuriwch am y bara a bery i fywyd tragywyddol, y mae o werth mawr.' Yna canodd y pennill hwnw,

Ffordd nid oes o waredigaeth
Ond ' agorwyd ar y pren, &c.

'Byddaf yn rhyfeddu cariad Duw tuag ataf,' a chanodd drachefn â llais bloesg,

Rhyfeddod a bery yn ddiddarfod, &c.

Torodd y teulu i wylo yn dost iawn, dywedodd yntau, 'Tewch, fy mhlant bach, mi gaf bleser gan mil purach; na ddaw i'w ddilyn ofid mwyach,' a chanodd,

Ffordd a drefnwyd cyn bod amser, &c.

Dydd Llun, dywedodd. 'Fe fyn yr Arglwydd weled ei holl fwriadau tragywyddol gwedi eu dwyn i ben; mynych a blin gystuddiau, ond y cwbl yn cydweithio er daioni fel y gwelir heddyw.

Gofynwyd iddo a oedd ef yn salach, dywedodd, 'Nid oes i mi yma ddinas barhaus, yr wyf yn myned yn brysur, gwyddoch at bwy; at fy Ngheidwad anwyl; yr Arglwydd yw fy rhan. A'i gadarn allu ef sydd noddfa gref i'r gwan.' Wrth ymddyddan âg ef llewyrchodd y gair 'Canys deddf yspryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth.'

Ond gwanhaodd nes myned yn analluog i lefaru, ond etto yr oedd trwy ei ddwylaw a'i wefusau yn profi fod rhyw *ddealings* rhyfeddol rhwng ei enaid â'i Dduw.

Dydd Sabbath, yr 8fed o Fawrth, ehedodd ei ran anfarwol ef oddeutu hanner dydd, i fwynhau Sabbath nad yw ond hanner dydd tragywyddol arno.

Y dydd Iau canlynol, ymgasglodd tyrfa fawr o gyfeillion a chymmydogion iddo at ei hen Amaethdŷ, pan y traddodwyd pregeth ar yr achlysur, gan John Jones, Rhyl, oddiar Diar. 1. 33. ar ol pa un y cafodd pawb fwyd a diod iachus. Yr oedd yn gyfaill i Ddirwest, ac ymunodd yn un o'r rhai cyntaf gyda hi. Wrth ddwyn ei gorph allan o'r tŷ, gwaeddodd ei ferch ieuengaf, 'Wel, wel, mam bach, tad da iawn oedd i mi, fe fydd yn dda genyf am dano byth, y mae yn canu yn braf heddyw, O diolch.' Ni welais fwy o ddagrau erioed am a wn i, yr oedd maen isaf y felin yn teimlo—y rhai caletaf yn yr ardal yn methu a dal, felly aed â'i ran farwol i fynwent Rhuddlan, lle y gorphwys hyd oni byddo heb nefoedd. Dychwelodd lluaws o'r claddedigaeth yn ol i'r Rhyl, pan y traddodwyd pregeth ar yr achlysur, gan y Parch. William Jones, Rhuddlan, yn yr Ysgoldy newydd, oddiar Esaiah 57. 1.

*Rhyl.* JOHN JONES.

---

RHINWEDD DWFR.

PE bai dynion yn arfer mwy âg yfed dwfr, byddent yn fwy diangol oddiwrth lawer o glefydau, megis cryndod dwylaw, parlys, y parlys mud, pen syfrdandod, cur yn y pen, y troedwst, y graianwst, dolur y garreg, y dyfrglwyf, cryd cymmalau, clwy'r marchogion, a'r cyffelyb; canys y cyfryw glefydau a geir yn fynychaf yn mysg y rhai a yfant ddiodydd meddwol; a'r unrhyw glefydau y mae yfed dwfr yn gyffredinol yn ragflaenu.—*Pratt ar Natur Dyfroedd.*

# BARDDONIAETH.

## CLODFOREDD Y NEF.

"Lle mae saint cywraint yn cyweiriaw,—
Yn canaid ddysgleiriaw; [cân
A'r delyn aur i'w dwylaw,
Yn lleisio dros y llys draw."

Yn nef wèn y llawenydd,
Heirdd leugau o seintiau sydd;
Yn canu emynu mawl,
Dro gweddus yn drag'wyddawl,
Heb alar, ac heb wylo,
Yn y nefol freiniol fro:
Archangylion gloywon glod,
Yn eu hanian yn hynod,
A leisiant oll yn lwysedd
Fawl y Tad, yn ngwlad y wledd.
Sereiph nef fwriant hefyd
Goronau gemau i gyd,
Ger uchelwedd sedd y Sant,
Mwyn geinion mewn gogoniant:
Y wiw delyn i'w dwylaw,
I daro'r dôn dirion draw;
Eiliant y gân fwynlan fad,
Hoyw cainant ei haceniad,
Gyda blâs yn eirias-wyllt,
Dôn i'w gwella ar dân gwyllt!
Pob angel bach â'i delyn,
Dyna yn gwau ei dant gwyn.
Sain côr o sêr y bore,
Yn llenwi'r llŷs, llon yw'r lle.
Holl glychau seiliau Salem
O berlau gorau a gem,
Drwy y ddolef, draidd ddilyth,
A'r gân bêr ogoned byth,
A fywiolir fewn eiliad,
Yn chwai fwyn, i chwyfio'n fad,
Sain uchel, swyn ni chela,
'Hed yn chwern ar aden chwa.
Pery' y côr clodforawl,
I blethu emynu'r mawl;
Sain groyw seinio am grëad
Bydd y llu o'u bodd yn llad;
Am gynnal'n hafal hefyd
Rhoddant ogoniant i gyd;
Eiliant y moliant byth mwy,
Yn nodawl annirnadwy.
Miloedd ereill a'i molant
Ar ryfeddach, tynach tant;
Plant y codwm trwm y tro,
Dda welir heb ddim wylo;
Wedi newid eu byd blin,
Yn nwyf oesawl nef iesin;
A phalmwydd, geinwydd gwyrddion,
O fewn'u llaw i fynu'n llon;
Yn hyfawr gwisgynt hefyd,
Deyrnolion gwynion i gyd;
I'r mwyn Iesu ('r maen oesawl)
Y canant, mwynânt y mawl,
Iddo ef a ddolefant,
Nes llawenu, sŷnu sant;* *angel
Iddo byth â dilyth dôn,
Telynau, tannau tŷnion,
Canant, seiniant, eiliant â
Hwyl lawen, Haleluia;
Am ei gariad mae'u geiriau,
Dechreuol, doniol heb dau,
"Iddo ef, trwy y nefo'dd,
"Am ei gariad rhad yn rhodd;
"Eilchwyl, iddo am olchi,
"Wedi'n llon â'i waed yn lli;
"Y bo'r fendith, ddilyth ddwys,
"A'r gogoniant gwir geinllwys,
"Am oesoedd (buoedd yn ben)
"Y bytho mwy byth. Amen.
Salem dref, a'i seiliau draw,
Y gân dlos yn adleisiaw;
Awelon y nef wiwlwys,
Glydant dôn ei glodydd dwys,
Nes hafu â naws hyfryd,
Peraidd fawl, y gwawl i gyd.

Benjamin Hughes.

*Plas yn Nannerch.*

---

## EMYN

*Goruchafiaeth Crist ar ei elynion ei hun a'i Eglwys.*

Y diafol, a llygredd, a'r byd,
Gelynion tra enbyd yw'r tri,
Ymosod maent arnaf o hyd,
I glwyfo fy ysbryd gwan i;
Yn ngwyneb y gongcwest a gaed
Ar fynydd Golgotha gan Grist,
Mae gobaith gor'chafiaeth trwy'r gwaed,
A gwella fy enaid sydd drist.

Yr Iesu orchfygodd y byd,
Ar bechod condemniad a roes,
A gallu'r tywyllwch i gyd,
Ddangosodd yn ysbail y groes;
Fe roddodd ysigfa i ben
Y sarph, a'i chyfrwysdra mawr iawn,
Trwy farw'n wirfoddol ar bren,
Ennillodd y frwydr yn llawn.

Bu'n angeu i angeu, er hedd,
Trwy angeu gw'radwyddus y groes,
Bu'n drange gwirioneddol i'r bedd,
Gorchfygwr o'i dobyg, nid oes;
E ddengys ei eiddo ryw ddydd,
Heb golli o honynt yr un;
Ac ynddynt gogonedd a fydd,
I'w enw goruchel ei hun.

*Pont Rhobert.* J. H.

---

## ENGLYN.

*"Pa faint yw nifer oesoedd Tragywyddoldeb?"*

Rhif dail gallt, rhi'r gwallt, rhi eira gwyn,
Mwy—rhif mânwellt y dyffryn;
Rhi'r gwlith draw, rhi g'law y glŷn
Ydyw—TRAGWYDDOL wed'yn.

*Caerlleon.* Tegidon.

# HANESIAETH CENADOL.

*Llythyr oddiwrth y Parch. John Davies, y Cenadwr, dyddiedig yn Papara, un o Ynysoedd Mor y De, at y Parch. J. Hughes, Pont Robert, Sir Drefaldwyn.*

*Papara, Awst* 8, 1839.

Anwyl Frawd,—Unwaith yn rhagor cefais y dyddanwch o dderbyn llythyr oddiwrthych; fe'i dyddiwyd Ion. 7, 1837, ond ni'm cyraeddodd hyd y 4ydd o'r mis yma, gan i Mr. Williams, wrth ddyfod yma, adael ein heiddo mewn llong arall, yr hyn nis cawsom hyd yr wythnos ddiweddaf.

Yr wyf yn diolch yn fawr i chwi, neu i bwy bynag a anfonodd y Drysorfa, Pregethwr, &c. i mi, y rhai, er nas cefais etto amser i'w darllen, a fyddant, nid wyf yn ammeu, o fudd ac adeiladaeth i mi yn fy sefyllfa bresennol. Pe gallwn gael y cyfleusdra, talwn yn ewyllysgar am y rhai hyn, neu lyfrau ereill ag a gyhoeddir yn y Dywysogaeth. Pa fodd bynag hysbysaf i chwi, ac ewyllyswyr da ereill yn Nghymru, tra yr ydwyf yn dra diolchgar am y llyfrau a anfonwyd i mi, na raid i chwi fyned drachefn i'r draul a'r drafferth o anfon i mi y parhad o'r Pregethwr a'r Drysorfa; canys gall fy *agent* yn Llundain eu cael drwy dalu am danynt gan Mr. John Jones, "General Metropolitan Welsh Bookseller, 66, Bartholomew Close." Efe a anfonodd i mi Rifyn neu ddau o'r Pregethwr, yn nghyda rhestr o'r llyfrau sydd ganddo ar werth, yn mhlith pa rai y mae y Drysorfa, &c.

Hoff yw genyf glywed newyddion o hen wlad fy ngenedigaeth, yn enwedig am lwyddiant crefydd yno, a'r cyhoeddiadau uchod a roddant foddlonrwydd mawr i mi am barhad a chynnydd gwaith yr Arglwydd yn Nghymru: tra y mae yr Evangelical Magazine, Missionary Register, &c. yn rhoddi hanes am agwedd crefydd yn Lloegr, ac hefyd yn amrywiol wledydd y byd.

Am ein helynt ni yma, mewn rhai ystyriaethau, nid oes nemawr o amrywiaeth oddiwrth yr hyn ag a fynegais o'r blaen. Am ein heglwys a'n cynnulleidfa yn Papara, ychwanegir rhai at ein nifer o bryd i bryd. O fewn y flwyddyn yma, derbyniasom naw neu ddeg o bobl ieuainc yn aelodau eglwysig, y rhai a fedyddiasid yn eu mabandod; ac y mae chwech neu saith yn bresennol ar dreial. O'r tu arall o gylch 10 o'n haelodau a fuont feirw. Ein hysgolion ni fuont mor lliosog yn ddiweddar, o herwydd yr amrywiol felinau *sugar* yn y gymmydogaeth, a llawer o'r plant ydynt gyda'u rhieni yn y gweithfaoedd *sugar* y flwyddyn yma, am fod mwy yn cael ei wneud nag mewn un tymmor o'r blaen yn yr Ynys yma.

Crybwyllais na bu nemawr amrywiaeth gyda ni mewn rhai ystyriaethau, ond mewn ystyriaethau ereill bu mwy o ddigwyddiadau nag y mae genyf hamdden i'w hadrodd, ac fel y mae yn ymddangos i mi cymmylau lled dduon sydd yn codi uwch ein penau, ac fe allai fod tymestl yn agos: ond os y gwlawogydd a ddisgynant, y llifeiriaint a dduant, a'r gwyntoedd a chwythant, y cyfryw rai ag a adeiladwyd ar y graig a safant yn wyneb y dymestl, tra y byddo dryllaid dychrynllyd yn mhlith y rhai hyny ag sydd ar y tywod. Taer ddymunaf weddiau ein brodyr yn Nghymru yn ein hachos, gan fod 'yr Arglwydd yn teyrnasu,' ac y bydd iddo yn wyneb pob gwrthwynebiadau i gyflawni ei addewidion, a'i holl rasol ddybenion, er hyny ofni yr ydwyf fod ein claearineb a'n cysgadrwydd yn galw am gerydd. Yr hin a fu yn deg, a chymmeryd i fynu broffes o grefydd a fu yn beth hawdd, a mwy anrhydeddus na bod yn ddibroffes, ond fe allai nad yw i bara felly.

Yr wyf yn tybied i mi grybwyll o'r blaen, am ymweliad amryw Babyddion â'r Ynys yma. Bu yma ddau offeiriad Pabaidd, o'r enwau *Laval* a *F. Caret*, Cenadau o Ffraingc oeddynt. Ar ol aros yma enyd gorfu iddynt ymadael, ond ni chawsant ddrwg driniaeth gan neb, er na oddefid iddynt, gan lywodraeth yr Ynys, i aros yma i daenu eu Pabyddiaeth, canys gwrthryfel gwladol oeddid yn ei ddysgwyl fel y canlyniad. Wedi hyny Caret a aeth adref i Ffraingc, ac wed'yn aeth i Rufain at y Pab newydd yno, gan achwyn ar yr erledigaeth, fel y'i galwai, yn Tahiti, a dangos arwyddion cysurus o lwyddiant i Babyddiaeth yn Moroedd y Deheu. Y Pab a'i cefnogodd i ddychwelyd gyda rhoddion i benaethiaid Mangareva, ac yn enwedig delw arian werthfawr o'r Forwyn fendigaid. Ar ol hyny, Caret a ddychwelodd i'r Ynysoedd yma, bu yn Tahiti rai dyddiau, moriodd i Mangareva, a dywedir ei fod yn bresennol yn y Marquesa. Y mae yn deall y Tahitiaeg yn lled dda, ac fe allai yr ymwel â ni etto cyn hir.

Gwelais Rifyn o Eurgrawn Ffrangcaeg dan yr enw *Annals* Cenadwriaethau (*Missions*) yn yr hwn mae hanes dra anghywir am ymweliad Caret a'i gyfaill a'r Ynys yma, a'u deoliad drwy annogaeth y Cenadau hereticiaid o Loegr. Heblaw hyn, Mr. Moerhant, yn bresennol *French Consul* yn Tahiti, a ysgrifenodd at lywodraeth Ffraingc yn erbyn llywodraeth Tahiti, a'r Cenadau hefyd, gan ein enllibio yn achos Caret a'i gyfaill, a dywedyd amryw bethau ag ydynt gelwyddau noethion.

Mewn canlyniad i'r enllibiau a'r celwyddau rhag-ddywededig, llywodraeth Ffraingc a orchymynodd i un o'r Llongau mawrion rhyfel ag oedd yn Môr y Deheu, sef *La Venus*, Capt. *Dupetitthours*, ddyfod i Tahiti, ac wrth enau y magnelau mawrion *(at the cannon's mouth)* ofyn dwyfil (2000) o ddolars yn iawn am ddeoliad y ddau offeiriad, ac os nas telid o fewn 24 awr, i ladd a dinystrio pob peth o'u blaen. Llywodraeth Tahiti nis gallai dalu, yn enwedig mewn mor fyr o rybydd. Yr arian, gan hyny, a fenthyciwyd, er mwyn rhwystro galanastra y Ffrangcod. Rhai Europiaid a roisant fenthyg er mwyn achub eu tai, &c. Ond yr arian yma a raid, mewn rhyw fodd, eu had-dalu, fe allai drwy osod y peth i ystyriaeth cyfeillion crefyddol yn New South Wales, ac yn Lloegr. Mr. Prichard, yr hwn a wnaed yn ddiweddar yn *British Consul*, a anfonodd i lywodraeth Lloegr lawn hanes o'r cwbl, a meddylir, pe byddai llywodraeth Fraingc yn gwybod y gwirionedd am yr hyn a ddygwyddodd, na roisid y fath orchymyn.

Mae genym ni yma yn bresennol dri Swyddog Gwladol ag a elwir *Consuls*, sef yr eiddo Brydain, America, a Ffraingc. Gan fod llawer o longau Ffraingc yn Moroedd y Deheu, (ac y mae un wrth angor yn ein porthladd ni y dyddiau yma,) yn ddiweddar bu yma long ryfel arall o Ffraingc, yr hon a aeth ar y creigiau, ond achubwyd hi drwy lafur y Tahitiaid, a thra yr oeddid yn adgyweirio y drylliadau ynddi, bu eu holl heiddo, ac o gylch 450 o Ffrangcod dros ddau fis neu chwaneg, ar y tir; buont heddychlon a llonydd tra yr oeddynt ar dir a'u llong yn anmharus, ond wedi ei chael mewn hwyl drachefn, a chael y gynnau a phobpeth ar ei bwrdd, y Captain a newidiodd ei ymddygiad, ac a fygythiodd ddinystrio y Capel, a phob peth o gylch y porthladd, gosod i fynu faner Ffraingc a chymmeryd meddiant o'r lle, a gadael yma 250 o'i wyr i'w gadw, oni byddai i benaethiaid yr Ynys ymrwymo y cai lleoedd addoliad Pabaidd eu gosod i fynu, gan na fynai gwyr Ffrainc fod yn ol o'r breintiau a ganiataid i'r Saeson a'r Americaniaid. Ar ol peth o wrthwynebiad gan y Penaethiaid, drwy ofn, darfu iddynt ei ganiatau yn y diwedd.

Beth a ddaw nesaf nis gwyddom, ond y mae lliaws o Fynachod ac offeiriaid yn Valparaiso, Deheu America, yn dysgwyl cyfleustra i ymdaenu yn yr Ynysoedd yma. A dysgwyl yr ydym bob dydd weled rhai o honynt yma. Dymunem roddi ein hachos i law ein Ceidwad, mae efe yn alluog i amddiffyn ei achos, a diameu y bydd iddo yn y diwedd beri i bob peth gyd-weithio er lles i'w bobl.

Mae genym yr holl Fibl wedi ei argraffu yn y Tahitiaeg, yr hyn sydd fraint fawr i'n pobl, a gobeithiaf y bydd, dan fendith yr Arglwydd. Yr ydych yn gofyn pa ranau a ddarfum i gyfieithu: Cyfieithais Matthew, Marc, yr Epistolau at y Galatiaid, Ephesiaid, Philippiaid, Colosiaid, Thessaloniaid, Timotheus, Titus a Philemon; hefyd llyfr y Salmau, a llawer o gopïau o'r rhai hyny sydd eisoes yn meddiant y bobl drwy yr Ynysoedd yma.—Ydwyf, anwyl frawd, eich hen gyfaill, JOHN DAVIES.

P.S. Mae tri o Genadau newyddion wedi dyfod yma yn ddiweddar, sef Mr. Stevens, yr hwn sydd i uno a mi yn Papara, ac hefyd ysgol feistr, Mr. Johnston i gadw yr hyn a elwir *Normal School*. Hefyd gwr o Gymru, Mr Thomas Joseph, priodor o dref Caerfyrddin; y mae ef i gynnorthwyo Mr. Prichard yn *Wilk's Harbour*.

---

MARWOLAETH ALARUS Y PARCH. J. WILLIAMS, CENADWR YN YNYSOEDD MOR Y DE.

GYDA theimlad o alar dwys yr ydym dan y rhwymau o goffâu marwolaeth, neu yn hytrach llofruddiad, un o'r Cenadon mwyaf defnyddiol a llafurus a ddarllenwn am dano bron mewn un oes.

Yr ydym yn teimlo mwy o serch ac ymlyniad at Mr. Williams yn fwy na llawer, o herwydd ei fod yn Gymro o genedl, ac wedi treulio blynyddau lawer rai miloedd o filltiroedd o wlad ei enedigaeth, gyda'n gwrthdroedwyr, ac wedi bod yn offeryn yn llaw Duw, nid yn unig i wareiddio yr anwariaid hyny, ond i'w moesoli a'u crefyddoli hefyd.

Yn un o bapurau Sydney, Deheudir Cymru Newydd, dyddiedig y 12fed o Chwefror, y cawd yr hanes a ganlyn:—Oddiwrth y llong Genadol Camden, yr hon a ddaeth o Ynys Arromanga, yr ydym yn deall i'r Parch. J. Williams, a Mr. Harris, fyned i ymweled ac ymddyddan â thrigolion Tanna, un o Ynysoedd yr Hebrides Newydd, ac ymddangosent ar y cyntaf eu bod yn ffafriol i'r Cenadon—ond wedi iddynt dirio i dir ar foreu yr 20fed trodd yn gwbl wahanol.

Fel yr oedd y cwch yn nesu at y làn, gwelai Mr. W. nad oedd y brodorion yn ewyllysgar i'w derbyn, ac er cynnyg anrhegion iddynt, ni ellid dwyn eu serch. Mr. W. ar hyn a gynghorai beidio myned i'r Ynys, ond mynai Mr. Harris fyned; ond wedi iddo dirio buan y gwelwyd ef yn rhedeg tua'r cwch yn ol, ond ymlidid ef gan haid fawr, a syrthiodd yntau yn ysglyfaeth iddynt, ac yr oedd llawer o waywffyn drwyddo yn y llawr mewn moment.

Pan oedd Mr. W. yn ffoi, a chyn cyrhaedd y cwch, trodd ei ben i gael un golwg ar ei gyfaill Harris, ond tripiodd ei droed—syrthiodd yntau hefyd i ddwylaw yr anwariaid—ac er gwneyd o ddwylaw y llong gymmaint ag a allasent, ni thyciasant i gael eu cyrph.

Y mae hanes awdurdedig yn awr wedi cyrhaedd Prydain, fel nad ellir ammeu ei wirionedd mwy. Efallai y gallwn cyn hir roi yr hanes yn feithach ac yn fanylach.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYFRIFON YR YSGOLION SABBATHOL.

HYBARCH GYHOEDDWR—Buasai yn dda genyf pe buasai yr holl gyfrifon wedi dyfod i'm llaw fel y gallaswn eu hanfon i chwi yn gryno i'w hargraffu. Diffyg o hyn fu yr achos na buasent yn eich Swyddfa er ys blwyddyn yn gynt. Yn ol penderfyniad y Gymmanfa ddiweddaf yn Llanrwst wele at eich gwasanaeth yr hyn a ddaeth i law o gyfrifon y ddwy flynedd aeth heibio i'w hargraffu gyd â'u gilydd.

*Cyfrif o Rif a Llafur Ysgolion Sabbathol y Trefnyddion Calfinaidd yn Ngwynedd ynghyd a Threfydd Lloegr, am y blynyddoedd 1838-39.*

**1838.**

| Siroedd. | Rhif yr Ysgolion. | Rhif yr Athrawon a'r Arolygwyr, &c. | Rhif yr Athrawesau. | Rhif yr Ysgolheigion. | Rhif yr holl Ysgolion. | Pen. a ddysgwyd o'r Bibl: Gan yr Athrawon. | Pen. a ddysgwyd o'r Bibl: Gan yr Ysgolheigion. | Pen. a ddysgwyd o'r Hyfforddwr. | Pennodau o'r Rhodd Mam. | Erthyglau Cyffes Ffydd. | Rhif yn medru y Gorchymynion. | Adnodau. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Mon .............. | 89 | 1419 | 660 | 9547 | 11626 | 25954 | 138433 | 4419 | 7214 | .. | 4864 | .. |
| Arfon .............. | 107 | 2721 | .. | 14454 | 17175 | .. | 233022 | 4981 | 4218 | 187 | .. | 60974 |
| Dinbych............ | 93 | 1062 | 442 | 8599 | 10103 | 16958 | 84004 | 8232 | 11681 | 1345 | 2615 | 202219 |
| Flint .............. | 84 | 1016 | 290 | 9593 | 10908 | 12328 | 69328 | 7922 | 14066 | .. | 3947 | 243732 |
| Trefaldwyn......... | 142 | 1025 | 430 | 10326 | 11781 | 12453 | 81934 | 1220 | 2872 | .. | 2977 | 67997 |
| Liverpool .......... | 6 | 162 | 17 | 1146 | 1325 | 8894 | 126208 | 333 | 590 | 27 | 781 | .. |
| | 523 | 7405 | 1848 | 53665 | 62918 | 76587 | 722744 | 27107 | 40641 | 1559 | 15234 | 574922 |

**1839.**

| | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Mon* ............ | 70 | 1092 | 489 | 6837 | 8418 | 9231 | 130203 | 3421 | 6321 | .. | 6886 | 265889 |
| Arfon ............ | 109 | 2352 | 389 | 14936 | 17277 | 15950 | 219687 | 11189 | 7303 | .. | 6273 | 280171 |
| Dinbych........... | 93 | 869 | 377 | 8599 | 9845 | 16467 | 89124 | 9061 | 9871 | 1365 | 2615 | 280263 |
| Flint .............. | 86 | 1113 | 338 | 9667 | 11118 | 14167 | 66671 | 11782 | 15842 | 181 | 5155 | 332666 |
| Meirionydd........ | 106 | 1682 | .. | 10693 | 12373 | 7941 | 72469 | 3655 | 2911 | .. | .. | 747985 |
| Trefaldwyn........ | 132 | 1000 | 416 | 9448 | 10854 | 11668 | 89365 | 2741 | 2659 | .. | 4202 | 893784 |
| Liverpool .......... | 8 | 186 | 22 | 1382 | 1590 | .. | .. | 287 | 359 | 41 | 850 | 109553 |
| | 604 | 8294 | 2031 | 61562 | 71477 | 74527 | 667519 | 42136 | 45256 | 1587 | 25981 | 2910311 |

* Un dosparth yn ol.

Cyn y gellir cael cyfrif cyfundrefn i gael golygiadau cywir ar ansawdd yr Ysgolion yn y Dywysogaeth mae yn rhaid cael rhyw foddion i ddyfod a phob Sir yn unffurf yn eu cyfrifon. Pe buaswn yn anfon dull pawb wrtho ei hun, yn ol y gwahanol gynlluniau a dderbyniais buasai yn ddigon i lenwi hanner eich Trysorfa. Buaswn yn ymhelaethu, ond gan fod y llythyr canlynol a dderbyniais gyda chyfrif yr Ysgolion o Sir Gaernarfon (ac un cyffelyb o Sir Fon) yn amcanu at yr hyn sydd lwyr angenrheidiol, ac a fyddai yn debyg o ateb dyben mawr, mi a'i hanfonais i'ch sylw, ac os byddwch yn cydweled argreffwch chwithau ef i sylw cyffredinol.

J. F. *Ysgrifenydd.*

"SYR—Canfyddwch yn y Cyfrif blaenorol fod amryw o'r Dospeirth yn rhoddi yr Athrawon a'r Athrawesau gyd â'u gilydd; a phennodau yr Athrawon a'r Ysgolheigion ynghyd. Nid yw ereill yn rhoddi cyfrif o'u Cyfarfodydd Athrawon: ereill a gadwant gyfrif o Destynau Pregethau, ac o'r adnodau a adroddir ar Gyffes y Ffydd, &c. &c. Oddiwrth y cyfan gwelir yn amlwg fod dysgu helaeth yn mhob Dosparth, eithr y mae bron yn annichonadwy cael cyfrif cyfundrefn oddiwrth gymmaint o ysgrifenwyr, a rhai o honynt yn lled fwngleraidd.

Cwyn cyffredinol ydyw fod gormod o awydd ar y rhai ieuaingc i fyned i'w Testamentau yn rhy fuan; a goddefir iddynt fyned. Oni byddai yn llawer gwell fod Silladur da, o werth Swllt, yn cynnwys prif elfenau yr iaith, ac amryw bethau buddiol nad ydynt i'w cael i'r dosparth hwnw, yn hytrach na myned o lyfr 3c. i'w Testamentau, yr hyn sydd yn cadw llawer yn ddarllenwyr gwael ar hyd eu hoes. Ai ni byddai yn werth cael pedwar o bob Sir yn Ngwynedd i'r Bala, neu ryw le cyfleus arall, i ymdrin âg achos mor bwysig a dysgu y fath nifer o filoedd. Gallant ffurfio cynllun i ddwyn yn mlaen addysg yn llawer rhagorach; a dylent fod yn hysbys o'r gwahanol ddulliau y dygir yn mlaen yr Ysgolion hyd yn nod yn yr un Sir, yn gystal ag yn mhob Sir. Nid hawdd mewn un cyfarfod arall gael digon o amser i fod yn fanwl, a byddai 24 yn ddigon. Nid oes modd yn bresennol i gael llyfrau, ond pawb drosto ei hun gyd â'r llyfrwerthwyr.——Yr eiddoch, &c.

ELLIS OWEN."

D.S. Gwelwch na chaed cyfrif o'r un o drefydd Lloegr ond Liverpool yn unig; na Sir Feirionydd, am 1838. Ni chaed hanes llafur yr Ysgolion yn Sir Gaernarfon o'r Llyfrau Egwyddori ond Dosparth Bangor am y flwyddyn 1838. Dosparth Deheuol Sir Fon heb ddyfod â'u cyfrif i mewn y flwyddyn ddiweddaf. Gobeithiaf y bydd cynllun wedi ei ffurfio, a hwnw er mwyn yr ysgolion yn gyffredinol mor fyred ag y bo modd er ateb y dyben angenrheidiol.

## CYMDEITHASFA LLANRWST.

CYNNALIWYD y Gymdeithasfa hon Rhagfyr 26, a 27, 1839, a dygwyd y moddion yn mlaen yn y drefn ganlynol:—Nos Fercher, am 6, pregethodd y Parch. Joseph Williams, Llynlleifiad, oddiar Eph. 2. 1. a'r Parch. Richard Jones, Bala, oddiar Phil. 3. 9. Nos Iau, pregethodd y Parch. Robert Evans, Llanidloes, oddiar Ps. 73. 24. a'r Parch. Owen Jones, Plas gwyn, oddiar Ioan 10. 28. ac areithiodd y Parchedigion canlynol ar Ddirwest:—John Prydderch, Mon; Robert Evans, Llanidloes; Richard Jones, Bala; Richard Humphreys, Dyffryn. Dydd Gwener, am 6 yn y boreu, pregethodd y Parch. Robert Griffiths, Dolgellau, oddiar Eph. 3. 8. Am 10, pregethodd y Parch. William Prydderch, Caio, oddiar 1 Sam. 3. 13. a'r Parch. Daniel Jones, Llanllechid, oddiar Rhuf. 6. 23. Am 2, pregethodd y Parch. Isaac Williams, Rhaiadr, oddiar 1 Tim. 6. 6. a'r Parch. J. Hughes, Llangollen, oddiar Ps. 9. 10. Am 6, pregethodd y Parch. John Prydderch, Mon, oddiar Ps. 57. 3. a'r Parch. Richard Humphreys, Dyffryn, oddiar Ioan 1. 14.

## AGORIAD CAPEL WALSALL, YN STAFFORDSHIRE.

Y mae yn beth hynod fel y mae ein cenedl wedi ymwasgaru i wahanol barthau y byd, ac i ba le bynag yr ant, y mae ymdrech i anfon yr efengyl ar eu hol. Y mae llawer iawn o genedl y Cymry yn Birmingham, ac y mae yno lafur mawr yn bresennol, er ceisio eu hennill i ymarfer â moddion gras. Y maent yn chwilio am danynt fel am y dryll a gollasid, y mae ganddynt le cyfleus i addoli, ac y mae yno foddion parhaus a chyson, ac arwyddion o lwyddiant.

Y mae yn Bilston hefyd gannoedd o Gymry, a'r rhan fwyaf o honynt yn byw mewn hollol esgeulusdra o foddion gras. Y mae yno hefyd ymdrech mawr mewn pregethu, cadw Ysgol Sabbathol, ymweled â hwy yn eu tai, a dosparthu Traethodau. Yn Walsall hefyd, tref yn Staffordshire, ac yn nghylch wyth milltir o Birmingham, y mae cryn luaws o Gymry, ac y mae yno yn bresennol foddion cyson yn cael ei gynnal yn yr iaith Gymraeg. Yn ddiweddar symudodd Mr. J. Jones, o Tipton, yno, yr hwn sydd bregethwr ffyddlon. Y mae Mr. Jones yn wyr i'r hen bregethwr parchus Mr. Jones, Adwy'r clawdd, ac y mae'r gwr parchus wedi adeiladu Capel hardd i'r Cymry, ar ei dir a'i draul ei hun, ac y mae yn bwriadu gwneuthur anrheg o hono i'r Trefnyddion Calfinaidd.

Dydd Gwener y Groglith, sef Ebrill 17 1840, agorwyd y Capel; yr oedd amryw o Gymry wedi dyfod yno o Birmingham, Bilston, Tipton, Hilltop, &c. a rhyfeddech weled cynnulleidfa mor hardd o Gymry wedi ymgynnull i le nad oedd yn ddiweddar son am Iesu yn yr hen Frythonaeg. Y mae yn debyg fod yno ddefaid ag y mae yn rhaid eu cyrchu.

Cadwyd cyfarfod gweddi yn y boreu i ofyn am foddlonrwydd yr Arglwydd ar waith y dydd. Am 10, pregethodd Mr. Thomas Hughes, Machynlleth, a Richard Jones, Llanfair. Am 2. Dechreuwyd gan E. Price, Birmingham, a phregethodd Mr. Jones, (y gwr a adeiladodd y Capel i'r Cymry) yn Saesoneg, oddiar Salm 132. 15. Yr oedd y mater yn dra phriodol i'r amgylchiad; ac ar ei ol, pregethodd Thomas Hughes, a gweinyddodd R. Jones ordinhad Swper yr Arglwydd, y tro cyntaf erioed yn yr iaith Gymraeg, yn Walsall, ac yr oedd llewyrch cryf ar y pregethau, a'r ordinhad;

gallasem oll ddywedyd mai da oedd i ni fod yno; yr oedd ein calonau oll yn llosgi, ac nis gwelais, er ys amser maith gymmaint o ddagrau yn colli. Am 6, drachefn, dechreuwyd gan William Evans, Amwythig, a phregethodd Richard Jones, a Thomas Hughes.

Gallaf ddywedyd fod nerthoedd mawr yn myned gyda'r gair, trwy y cyfarfod, oblegyd buom lawer gwaith yn adrodd yr un gwirioneddau o ran eu cynnwysiad, heb ddim effeithiau, ond yr oedd rhyw beth hynod yn y cyfarfod hwn; yr oedd y Saeson, er nad oeddynt yn deall ond pregeth hynod Mr. Jones, yn tystio fod presennoldeb y nefoedd yn y lle. Da fyddai i holl eglwysi Cymru weddio llawer dros yr achos sydd yn ei fabandod yn y lle hwn, ac yr wyf yn hollol farnu y dylai eglwysi y Gogledd ymffurfio yn Gymdeithas Genadol Gartrefol, gyda golwg ar leuwi y Goror a manau ereill âg efengyl Crist. Yr wyf yn methu a deall pa fodd y mae mwy o *swn* a *son* am anfon rhai i bregethu i'r gwledydd Tramor nag i'r parthau paganaidd sydd yn ein hymyl. Yr ydym yn medru eu hiaith, ac nid oes achos croesi môr i fyned atynt. Os oes ysbryd Cenadol ynoch, amlygwch hyny, trwy geisio myned â'r efengyl at eich cyd-genedl yn mhob man, a gorau oll os gellwch fyned *hwnt* iddynt.

Oni byddai yn gymmwys iawn i ni gadw cenad i lafurio yn mhlith ein cenedl yn Birmingham, Walsall, Bilston Tipton, Hill-top. Y mae yno gannoedd yn marw o eisiau gwybodaeth. Ac er fod y brodyr ffyddlon Mr. Price a Mr. Jones, yn llafurio yn eu plith, yr wyf yn hollol gredu na bydd yno ddim llwyddiant mawr, hyd nes y trefnir rhyw un i fod yno yn gyson â'i holl amser ganddo i lafurio yn eu plith. Fe allai hefyd mai anfon rhyw rai o Gymru yno, ar gylch fyddai oreu.

Pe bai Swydd Flint yn ymuno â Swydd Drefaldwyn, yr wyf yn barnu y gallem gadw yno foddion lled gyson. Yr wyf yn edrych ar y ffordd yn faith iawn. Byddai yn hynod o dda pe y'u anrhegid hwy gan rhyw Gymdeithas â chynnifer o Draethodau Cymreig; y maent wedi pwrcasu amryw, ond yn wir y mae eu traul gyda phob peth yn fawr iawn, rhwng cynnal y llefarwyr a thalu eu traul yn ol ac yn mlaen, ac yn Bilston a Birmingham y maent yn gorfod talu ardreth fawr am le i addoli. Yr wyf yn gobeithio y bydd i gyfeisteddfod y Goror yn Ninbych gymmeryd y manau a nodwyd tan ei sylw. Y mae arwyddion eglur fod amryw wedi eu hachub yno er pan y dechreuwyd pregethu Cymraeg yn yr ardaloedd hyn; y mae hyn yn galondid mawr i fyned yn mlaen, ac yn galw am ein diolchgarwch gwresocaf, a'n llawenydd mwyaf.—Hyn oddiwrth

UN EIDDIGUS DROS EI GENEDL.

### CYMDEITHASFA LLANFAIR-CAER-EINION.

Y Gymdeithasfa Chwarterol hon a gynnaliwyd Ebrill 27, 28, a 29, 1840. Y moddion cyhoeddus oeddynt fel y canlyn:—Dydd Llun, am 6 yn y prydnawn, gweddiodd Mr. Charles Mellish, Dinbych, a phregethodd Mr. William Jones, Rhyd ddu, Sir Gaernarfon, oddiar Dat. 2. 10; a Mr. Lewis Edwards, Bala, oddiar 1 Ioan 1. 7.

Dydd Mawrth, am 5 y prydnawn, ar y maes, gweddiodd Mr. Benjamin Shadrach, Sir Benfro, a phregethodd Mr. Enoc Lewis, Abergwaun, oddiar Rhuf. 13. 11; a Mr. Ellis Phillips, Gwrecsam, oddiar 2. Tim. 3. 5.

Dydd Mercher, am 6 yn y bore, gweddiodd Mr. Benjamin Williams, Morganwg; a phregethodd Mr. William Davies, Sir Fynwy, oddiar Ioan 1. 14; a Mr. Roger Edwards, Wyddgrug, oddiar Psal. 89. 49.

Am 10, gweddiodd Mr. Richard Williams, Liverpool; a phregethodd Mr. William Jones, Rhyd-ddu, oddiar Psal. 8. 4; a Mr. Lewis Edwards, oddiar Esay 1. 18.

Am 2, gweddiodd Mr. William Jenkins, Sir Gaerfyrddin; a phregethodd Mr. Benjamin Evans, Morganwg, oddiar Mal. 3. 1, 2; a Mr. Henry Rees, oddiar 1 Pedr 1. 6.

Am 6, gweddiodd Mr. John Evans, Llanrhaiadr; a phregethodd Mr. Griffith Davies, Môn, oddiar Ioan 1. 12; a Mr. William Jones, Rhuddlan, oddiar 1 Cor. 1. 30.

Hon oedd y Gymdeithasfa liosocaf o wrandawyr a welwyd erioed yn Llanfair. Yr oedd yr hin yn gysurus. A chafwyd arwyddion eglur nad oedd 'y Duw a biau y gwaith' yn gadael ei weision yn ddigymhorth.

---

### AGORIAD CAPEL Y TABERNACLE, PLWYF CEGIDFA, SWYDD DREFALDWYN.

Ar yr 17 a'r 18 o Fis Mawrth, 1840, agorwyd y Capel hwn yn y drefn ganlynol:

Am dri o'r gloch y dydd cyntaf, bu Achos y Goror (Seisnig) yn y Sir hon yn ei amgylchiadau allanol, yn fwyaf pennodol dan sylw, sef y mawr eisiau lleoedd i gyfarfod i addoli ynddynt, ond ofnau oedd yn ein dal rhag anturio gormod; ac felly yn ddiau nid yw yr achos mawr yn cael tegwch yn llawer man.

Am 6 o'r gloch, pregethodd Mr. James Williams, Myfyriwr, o'r Bala, a'r Parch Thomas Ashford, New Radnor, oddiar Ezec. 33. 32. 2 Cron. 31. 21

Am 5 o'r gloch, borau 18fed, cadwyd cyfarfod gweddi am fendith yr Arglwydd ar y cyfarfod. Am 8. Cyfarfyddodd y gwahanol eglwysi. Y matter dan sylw oedd, dyledswydd penau teuluoedd. Yn gyntaf eu llywodraeth ar eu gweinidogion, ac ar eu plant. Manylwyd ar hyn trwy ddangos mai gwaith y fam yn benaf oedd magu

egwyddorion crefydd yn meddyliau y plant pan yn ieuanc. Am 10. Pregethodd Mr. James Williams, oddiar Ephes. 5. 16. a Mr. Thomas Ashford, oddiar 1 Bren. 18. 21. Am 2. Mr. J. Williams, oddiar Matth. 22. 42. a Mr. T. Ashford, oddiar Ps. 8. 4. Am 6, Mr. J. Williams, oddiar Esa. 3, 10 a Mr. T. Ashford. oddiar Ezec. 36. 37.

Er ein siomi gan amryw frodyr a ddysgwyliem, a rhoi yr un rhai i bregethu drwy y cyfarfod, etto cawsom arwyddion amlwg o bresennoldeb yr Arglwydd yn mhob cyfarfod, nes oedd pawb yn teimlo awchlymdra y gwirionedd, ac yn parhau ddyweyd mai da oedd bod yno.

Ond rhag eich blino, terfynaf, onide buaswn yn manylu. Maintioli y Capel yw unarddeg wrth ddeg o latheni tufewn, ni ddywedaf ddim am yr adeilad, ond ni welwyd y fath garedigrwydd at achos Iesu Grist, yn yr holl Oror ac yn y lle hwn.

Addunedwyd gan drigolion yr ardal, mewn oddeutu milltir o gylch dros 68 o bunau, heblaw cario ato, ac ar ei agoriad, fe gasglwyd dros 24 o bunnau, a diameu oni buasai en bod mor dŷn, a llawer yn methu dyfod i fewn, y buasai yn ychwaneg. Ond dyma *specimen* pa beth a wna trigolion y Goror. Terfynaf, gan obeithio y caiff hyn le yn eich Trysorfa, fel y caffo ein cyfeillion Cymreig weled fod ffrwyth eu llafur yn casglu at y Goror Seisnig yn ymddangos, ac nad yw hi etto ond dechreu gwawrio. EVAN LLOYD.

---

### CHWECHED GYMMANFA DDIRWESTOL MON.

Gynnelir yn Llangefni, y 29 a'r 30 o Fefin. Disgwylir y Gweinidogion a'r Pregethwyr i gyfarfod am 2 dydd Llun: a'r Ddirwestwyr am 6. Boreu dydd Mawrth am 8, cyfarfod y Dirprwywyr drachef; am 10, aelodau y Gymdeithas yn gyffredinol: am 2 a 6, bydd Cyfarfod Cyhoeddus i draethu o blaid yr achos.

W. GRIFFITHS, *Ysgrifenydd.*

### CYMMANFA DDIRWESTOL Y DEHEUDIR.

Deallwn fod trydydd Cymmanfa Ddirwestol Deheubarth Cymru i'w chynnal yn Merthyr Tydfil y 7 a'r 8 o Gorphenaf nesaf; ac y bydd i'r mesurau cryfaf gael eu defnyddio er dyrchafu yr achos gogoneddus yn y rhan hono o'r Dywysogaeth. Bwriedir hefyd uno yr un Ogleddol â'r un Ddeheuol y pryd hwnw. W. MORRIS.

### CYMDEITHASFA CONWY.

Byddwch cystal a hysbysu fod Cymdeithasfa Conwy i'w chynnal y flwyddyn hon, y dydd Llun a'r Mawrth cyntaf, ar ol Cymdeithasfa Dinbych, (Mawrth 15, 16.) ar bod yn disgwyl amryw wyr enwog o'r Deheudir a'r Gogleddol i'w chadw.

EVAN RICHARDSON.

## Y SENEDD YMERODROL.

*Ty yr Arglwyddi.*—Agorwyd y Tŷ hwn, ar ol y gohiriad am Wyliau y Pasc, Ebrill 30. A Thŷ y Cyffredin, Ebrill 29.

*Ty yr Arglwyddi.*—Mai 1. Dyg Iarll Fitzwilliam Gyfraith yr Yd dan sylw y Tŷ, gan fanylu yn neillduol ar bris yr Yd yn Scotland.

*Ty y Cyffredin.*—Mai 5. Cynnygiodd Syr W. Molesworth, ar fod cyfraith i gael ei ffurfio mewn rhyw fodd neu gilydd i roi pen ar drosglwyddo drwg-weithredwyr dros y môr, er mwyn rhoddi ychwaneg o annogaeth i drigolion y deyrnas hon i newid eu trigias drwy symud a mudo i'r gwledydd pellenig. Ond yr oedd mwy i'w erbyn nag o'i blaid, ac felly fe gollodd ei gynnygiad.

Mai 6. Penderfynwyd dyfod â chynnygiad Arglwydd Stanley am wneyd cyfnewidiad yn nghyfraith Pleidleiswyr am ddewisiad aelodau y Senedd yn y Werddon, o flaen y Tŷ, ddydd Llun, Mai 18.

*Ty yr Arglwyddi.*—Penderfynodd Iarll Fitzwilliam ar ddwyn achos Cyfraith yr Yd i mewn i'r Tŷ, ddydd Iau, Mai 28.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Mai 4. Dyg Arglwydd Melbourne Ysgrif y llywodraeth i mewn am Ddiwygiad yn nhrefniad Corphoriaethau y Bwrdeisdrefi yn y Werddon, er cynnyg ei ail ddarllen. Passiodd yr Ysgrif hon dair gwaith yn Nhŷ y Cyffredin. Gwrthwynebodd Iarll Winchelsea yr ail ddarlleniad, yn nghydag amryw ereill. Ac wedi hir areithio o blaid ac yn erbyn, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid yr ail ddarlleniad ...... | 131 |
| Yn erbyn .................... | 32 |
| Mwy o blaid o ................ | —91 |

*Tŷ y Cyffredin.* Mai 5. Dygwyd llawer iawn o Eirchion i'r Tŷ yn erbyn rhoi dim o arian y Llywodraeth i adeiladu Eglwysi newyddion, nag i ehangu yr Eglwys Wladol. Dyg Arg. J. Russell i mewn gynnygiad am ganiatad i ddwyn Ysgrif i mewn i wellhau Cyfraith Cofrestraeth Pleidleiswyr dewisiad Aelodau i'r Senedd. A chaniatad a roddwyd.

*Ty y Cyffredin.*—Mai 8. Hysbysodd Mr. Villiers y bydd iddo etto ddyfod â chynnygiad i mewn ar y 26ain o'r mis, am ystyried Cyfraith yr Yd, gyda golwg ar ei diddymiad, neu wneyd rhyw welliant arni o leiaf. Penderfynwyd rhoddi 50,000 o bunnau tuag at gael agerdd-longau i fyned o Frydain i'r India Ddwyreiniol *drwy fôr y Canoldir a'r môr coch*, ond yn unig trwyfa *ar hyd y tir* ar draws hyny o dir sy rhwng y ddau fôr hyn.

*Ty yr Arglwyddi.*—Mai 12. Cynnygiodd Iarll Stanhope ar fod Cyfarchiad i gael ei anfon at y Frenines, yn datgan fod yn beth gofidus i feddwl fod un anghydfod wedi ymgymmeryd rhwng y deyrnas hon a China, ac i ddymuno ar ei Mawrhydi i ddefnyddio

moddion i attal unrhyw ymddygiad a fyddo yn ddianrhydedd i nodweddiad, neu yn drygu llesâd y genedl. Amddiffynodd Arglwydd Melbourne ymddygiad llywodraeth Brydain ar yr achlysur, ac a hysbysodd yr holl hanes o'r dechreuad. Amddiffynodd Duc Wellington ymddygiad y llywodraeth, yn nghydag ymddygiad y Cadben Elliot hefyd tuag at y Chineaid. Pasiwyd y cynnygiad heb nemawr o wrthwynebiad.

*Ffordd haiarn.*—Mae y Dirprwywyr a anfonodd y Llywodraeth i edrych i mewn i'r amrywiol gynnygion am y ffordd haiarn oreu i fyned o Lundain tua Dublin, yn nghyda'r Porthladd mwyaf cyfleus i'r llongau, wedi cyhoeddi eu Hadroddiad yn benderfynol, 'Mai y ffordd drwy Gaerlleon, a thros Bont Menai i Gaergybi, yw yr oreu, a Chaergybi yw y Porthladd goreu.' Traul y ffordd haiarn o Gaerlleon i Gaergybi fydd yn nghylch £16,000 y filltir.

## HANESION TRAMOR.

CHINA.—Parhau mae parotoadau i ryfel yn erbyn China yn y wlad hon, ac yn yr India Ddwyreiniol. Hysbysodd Arglwydd Melbourne yn Nhŷ yr Arglwyddi, mai o dan lywyddiaeth Is-lywydd yr India Ddwyreiniol y bydd yr holl ymgyrch hwn, ond y bydd iddo ymddwyn yn ol cyfarwyddyd Llywodraeth Brydain. Hysbysodd hefyd, y bydd y llongau rhyfel dan olygiad Llyngesydd medrus, ac mai nid Elliot a fydd yr arolygwr hwnw.

SPAEN.—Mae rhyfel wedi bod etto yn ddiweddar yn y wlad hon, rhwng byddinoedd y Frenines, a gweddillion byddinoedd Don Carlos, ac y mae y fantol wedi troi etto o blaid y llywodraeth. Dysgwyliwn y llwyr orthrechir y gweddillion hyn cyn bo hir.

NAPLES.—Mae y ffrwgwd a fu rhwng Brydain a Naples yn nghylch masnach y Brwmstan, yn debyg iawn o gael ei wastadhau yn fuan, drwy gyfrwngoliaeth Ffraingc rhwng y ddwy deyrnas. Mae yn debyg y bydd raid i Naples ddigolledu masnachwyr Brydain ar yr achlysur.

## AMRYWIAETHAU.

CYNGOR MEDDYGINIAETHOL.—*Rhag y Darfodedigaeth.* (*Consumption.*—Meddyginiaeth y Gegin, fel y dywedir, yw hwn, canys nid cyfferïau meddygol sydd yn gynnwysedig ynddo, ond ymborth meddyginiaethol.

Arferwch *laeth enwyn* yn fwyd ac yn ddiod, gan ei ddefnyddio yn mhob modd y galloch i giniaw a swper. Ond y ffordd oreu i wneyd y llaeth hwn yn feddyginiaethol sydd fel y canlyn:—Godrwch fuwch i fuddau fechan, ac wedi iddo sefyll deng mynyd, dechreuwch ei gorddi ef. A phan ddechreuo teisenau o ymenyn ymddangos, a'r llaeth droi yn lâs a theneu, hidlwch ef. Gwnewch hyn nos a boreu, fel y byddo yn newydd o hyd. Dylai hwn fod yn brif ddiod i'r dyn afiach; ïe, yn wir yn brif fwyd iddo hefyd, drwy roddi ynddo fara, yn enwedig bara caled (*biscuit*), a ffrwythau aeddfed. ESTHER HEWLETT.

*Llofruddiaeth.*—Boreu ddydd Mercher, Mai 6, cafwyd Arg. William Russell, ewythr i Duc Bedford, ac i Arg. John Russell, yn farw yn ei wely. Pan gododd y rhai cyntaf o'r teulu, buan y canfuont fod rhyw rysedd wedi bod yn y tŷ. Rhedodd ei was i fynu, ac i'r ystafell at wely ei feistr, ac efe a'i cafodd yn gorwedd ar ei gefn wedi marw er's rhai oriau. Erbyn edrych, yr oedd ei wddf wedi ei dori âg ellyn llym o'r naill glust i'r llall, a'r gwaed wedi ffrydio rhwng dillad y gwely! Dyfal iawn a fu yr ymgais am gael o hyd i'r llofrudd a gyflawnodd y gyflafan; ond methwyd hyd yn hyn a chael un amlygrwydd o hono. Bernid mai lladron a ddaethant i'r tŷ yn ddystaw drwy y drws, ac a ymguddiasant hyd y boreu; ac yna parotoisant eu peccynau lladradaidd, a phan glywsant ryw dwrf, rhedasant ymaith gyda rhan o'u hyspail, gan adael rhan o'u peccynau yn hanner rhwym ar eu hol; canys gwelwyd arwyddion o'r ffordd yr aethant allan, ond dim o'r ffordd y daethent i mewn. Mae ystafellwas y trengedig dan holiad ac mewn dalfa; ac y mae seilian go gryfion i feddwl y gallai mai efe ydyw yr euog ddyn!

*New Zealand.*—Mae y sefydliad newydd yn yr Ynys fawr hon yn myned yn mlaen yn llwyddiannus. Mae yno eisoes bedair mil o drigolion, yn ddeiliaid i Frenines Brydain. Cadben Hobson, R. N. sydd wedi ei bennodi i fod yn Llywydd y sefydliad. Gwerthir y tir yno, i'r neb a fyno ei brynu am 12 swllt yr erw, am byth.

*Damweiniau trwy Feddwdod.*—Er bod Duw eleni yn Arfon yn achub y Dirwestwyr wrth y cannoedd, y mae 'n ceryddu y meddwon â barnau trymion iawn. Yr oedd dyn yn ddiweddar o gymmydogaeth Pentir yn gweithio yn Mraich y Cafn, ac yn nodedig mewn meddwdod a phob anystyriaeth: ond ar nos, yr 11eg o Chwefror diweddaf, pan oedd yn dyfod adref yn feddw iawn syrthiodd dros ddibyn tu ag 16 troedfedd o uchder, ac oddi yno yr ehedodd ei enaid i fyd mawr yr ysbrydoedd. Yn fuan ar ol hyny, fel yr oedd cerbydwr yn gyfagos i Bont Menai yn gyru yn ynfyd o dan symbyliad meddwdod, aeth y meirch yn aflywodraethus, drylliasant bob peth o'u cwmpas, a briwwyd y boneddigesau yn drwm; ond am y cerbydwr druan gwyntoedd byd arall a'i sobrasant ef. D. W.

Ah! ddarllenwyr anwyl, pa hyd y gorfydd i Olygwyr Newyddiaduron a Misolion gyfeirio eu cyd-ddynion at waed a chelanedd meddwdod; ac y cedwir oddi wrthynt yr hyfrydwch o gofrestru ffyniant a chynnydd cenedl sobr a chrefyddol!

# Y DRYSORFA.



RHIF. CXV.] GORPHENAF, 1840. [LLYFR X.

## COFIANT

*Am y brawd anwyl, a'r Gweinidog ffyddlon Hugh Edward Charles, Capel Tŷ-mawr, Mon, yr hwn a orphenodd ei filwriaeth, Rhag. 1, 1839, yn 33 oed; wedi bod ychydig tros 10 mlynedd yn Bregethwr bywiog a defnyddiol gyda'r Trefnyddion Calfinaidd.*

GWRTHDDRYCH ein Cofiant hwn ydoedd fab i'r Parch. John Charles, Gwalchmai, Mon, a Mary ei wraig. Ganwyd ef Hydref 4, 1806. Cafodd bob manteision crefyddol teuluaidd o'i ieuengctyd, (canys y mae y brawd crybwylledig fel Josuah gynt, efe a'i dylwyth yn gwasanaethu yr Arglwydd,) felly dysgodd ddarllen ei Fibl yn ieuangc iawn, a mawr oedd y pleser a'r hyfrydwch a gymmerai ynddo, a'r defnydd a wnai o hono. Cafodd hefyd ychydig o ysgol ddyddiol gyffredin, yn yr hon y dysgodd ysgrifenu yn dda, a darllen, a deall graddau o'r iaith Saesoneg, fel y gallai ddefnyddio gwaith Awdwr yn yr iaith hono yn lled rwydd, yr hyn a ymarferodd yn egniol ac a werthfawrogrwydd yn fawr, yn enwedig wedi myned i'r weinidogaeth.

Dygwyd ef i fynu yn yr un alwedigaeth a'i dad, yn Banwr a Lliwydd, yn yr hon alwedigaeth yr arosodd mewn ymostyngiad parchus ac ufudd-dod gweithgar, (ar ol myned yn bregethwr) hyd y flwyddyn 1836, pan y priodwyd ef gydag Ellin Thomas, Carwad, ger llaw Beaumaris: mewn canlyniad, symudodd o dŷ ei dad i ardal Capel Tŷ-mawr, a bu ei fynediad yno yn sirioldeb yn neillduol i'r eglwys yn y lle hwnw, ac yn radd o adfywiad a chyfodiad ar achos crefydd yn y gymmydogaeth; ac nid yw yn hawdd barnu na dysgrifio y golled a gawsant trwy ei symudiad gan angeu o'u plith. Cadwai fasnach mewn tŷ agos i'r capel, lle y bu ef a'i anwyl briod yn byw yn gysurus iawn, a llewyrch yr Hollalluog ar eu pabell hyd ddydd ei farwolaeth; ac y mae yn beth nodedig i sylwi fel yr oedd rhagluniaeth fawr y nef, yn cyfrannu ei bendithion iddynt i'r fath raddau ag y gellid dyweyd iddo ef gael ymlithro drwy y byd hwn, heb nemawr groesau na phrofedigaethau allanol yn ei dymhor byr. Y mae yn ddiammeu ei bod yn fantais fawr iddo ei fod wedi dysgu bod mor foddlawn y'mha sefyllfa bynag y byddai; yr ydym yn barnu yn sicr y byddai yn gweled ac yn gallu dyweyd bron bob amser, mai 'da y gwnaeth efe bob peth,' a'i fod yn feddiannol ar y ffydd sydd yn gorchfygu y byd; a braidd na ddywedem iddo ei ddiystyru yn ei wên a'i wg. 'Anghofiodd y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestynodd at y pethau o'r tu blaen; nid ymrwystrodd gyda negesau y bywyd hwn; fel y rhyngodd fodd i'r hwn a'i dewisodd yn filwr;' a dysgwyd ef i 'arfer y byd hwn, heb ei gamarfer.' Ychydig amser cyn priodi, cafodd salwch trwm, ac wedi iddo wellhau o hono, dechreuodd dewychu yn lled gyflym, a pharhaodd i dewychu yn annaturiol hyd ddiwedd ei oes.

Fel dyn, yr ydoedd yn feddiannol ar dymherau oenaidd a cholomenaidd iawn: yr oedd pob arwyddion o diriondeb a thynerwch ynddo er yn faban, ac yr oeddynt yn blodeuo yn berarogl-aidd ynddo ar hyd ei dymhor, haf a gauaf. Ychydig o gynhyrfiadau nwydwyllt a welwyd ynddo erioed yn y teulu gartref; yr oedd yn anhawdd cael pechadur mor ddiddichell o ran ei ysbryd ag ef; 'nid absenai â'i dafod, ni wnai ddrwg i'w gymmydog, ac ni dderbyniai enllib yn erbyn ei gymmydog.' Pan y coffheid mewn cyfeillach am ryw beth gwaelach na'i gilydd mewn brawd neu gymmydog, prin y cymmerai arno glywed, ac ni roddai un cymmelliad i'r ymddyddan fyned yn mlaen; ond gwnai ryw amnaid o deimlad gofidus, a gollyngai hyny heibio. Yr oedd yn aelod gwerthfawr mewn teulu, yn briod hynaws, tyner, a serchog iawn, yn gyfaill mynwesol, cywir, a ffyddlawn, yn fas-

nachwr gonest, yn gymmydog cymmwynasgar a thangnefeddus, ïe, yn un a hoffid yn fawr gan bawb, ac y mae pawb hyd heddyw yn dyweyd yn dda am dano.

Fel Cristion, ganwyd ef yn y tŷ, (fel y nodwyd) magwyd ef y'ngeiriau'r ffydd, ac athrawiaeth dda yr hon a ddilynodd. Yr oedd, er yn fachgen, yn gwybod yr Ysgrythyr Lân, a theimlodd weithrediadau nerthol yr Ysbryd Glan ar ei feddwl yn lled ieuangc. Derbyniwyd ef i gymmundeb y saint pan oedd yn 17 oed; a gwnaed ef yn arweinydd i eglwys Gwalchmai yn lled fuan; a mawr fel yr ymhyfrydai ei fam yn ei wasanaeth. Yr oedd ei ddull yn gwrandaw pregethau yn graffus ac effro; ei weddiau yn daerion; ei ysbryd yn ystwyth a digweryl—dywedai bob amser ei fod yn caru y brodyr; ei brofiadau yn fywiog ac efengylaidd, yn ddiargyhoedd, a diofid i'r eglwys ar hyd ei daith. Ymgadwai oddiwrth, a dychrynai rhag pob rhith drygioni.'

Fel Pregethwr, dechreuodd yn foreu, cynnyddodd yn gyflym, parhaodd hyd y diwedd. Wrth ei weled yn cynnyddu mewn gras a gwybodaeth barnodd y brodyr yn Gwalchmai y byddai yn ddoeth iddynt ei annog i feddwl am waith y weinidogaeth. Cyflwynwyd ei achos i sylw y Cyfarfod Misol, ac mewn cydsyniad a phenderfyniad y cyfeillion, dechreuodd ar y gorchwyl pwysig pan ydoedd oddeutu 23 oed; ac felly bu yn y gwaith tua 10 mlynedd. Yr oedd ei ddull yn pregethu yn ddealladwy, yn iachus, a chadarn iawn; ei ddrychfeddyliau yn dra bywiog ar droiau; a'i gymmwysiadau yn briodol ac effeithiol bob amser. Y mae yn gysur genym feddwl fod amryw yn Mon (beth bynag am fanau ereill) heddyw yn sel ei apostoliaeth. Daeth un dyn i'r *Society* yn Llanerchymedd wythnosau ar ol ei gladdedigaeth, a'i dystiolaeth oedd, mai rhan o bregeth Hugh Charles, yn Carmel, ar y geiriau 'Pa beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?' a ddaliodd yn fwyaf effeithiol ar ei feddwl. Fel hyn ni a welwn fod yr had yn tyfu wedi i'n brawd a'i hauodd fyned i gysgu i lwch y bedd. Cyfansoddai ei bregethau mor llwyr ag y gallai, ond nid ymddibynai fawr ar hyny, fel yr ymddengys wrth ymddyddan a fu rhyngddo a'i frawd John yn ddiweddar, pan y dywedai, na byddai efe yn ystyried ei bregethau wedi chwarter eu gorphen, pan na byddent ond wedi eu hysgrifenu, a bod eisiau myned â hwynt at yr Arglwydd mewn gweddi, a bod yno megis Jacob yn ymdrechu â'r angel cyn myned i'r Pulpud gyda hwynt: bod rhaid cael nerth gyda Duw, cyn llwyddo gyda dynion.

Fel Dirwestwr, ennillwyd ef yn un o'r rhai cyntaf yn ein gwlad, ac yr oedd yr iau ddirwestol iddo yn esmwyth hollawl, a'i baich yn ysgafn. Gwreiddiwyd ef yn egwyddorion y Gymdeithas, ac yr oedd yn bleidiwr gwresgog iddi gartref ac oddi cartref. Yr oedd ei areithiau yn ysgrythyrol, yn gedyrn, ac ennillgar iawn; ac wrth ei golli collodd y Gymdeithas hon un o'i phleidwyr gwresocaf yn ein plith, yr hwn a ochelai bob eithafion amheus, disynwyr, a dinystriol. Ond ynghanol ei anwyldeb a'i ffyddlondeb, fe'i cymmerwyd ymaith o afael holl drafferthion bywoliaeth, o beryglon temtasiynau Satan, ac oddiwrth lafur a pheryglon y weinidogaeth, i'r orphwysfa dragywyddol. Y mae yn dra sicr iddo weled gwerth yr Iawn mawr y traethodd gyda hyfrydwch calon ganwaith am dano, a theimlo diogelwch hollawl mewn ymorphwysiad arno, ïe, yn wyneb angeu ei hun.

Y Sabbath olaf y bu yn pregethu, ydoedd yn y Waen fawr, Sir Gaernarfon, a'r manau perthynol; dychwelodd adref nos Lun yn ei sirioldeb arferol, ond ni chysgodd nemawr y noswaith hono, cwynai fod y gwely yn galed iawn. Trymhaodd ei afiechyd yn fawr bob dydd, yr hwn ydoedd fath o *Influenza* difaol, ac yn effeithio i beri llygriad tufewnol a diffyg ar yr anadl. Yr oedd rhuthriadau angeu mor gyflym a chreulon ar ei natur, fel na chafodd hamdden i osod allan y dyddanwch a deimlai ei enaid yn yr amgylchiad, ond gadawodd dystiolaeth ar ei ol, mai yn yr efengyl a'i phethau yr oedd ei gysuron cryfaf, a bod ei phregethu yn wir fraint ganddo hyd y mynydau olaf. Oddeutu dwy awr (ychydig fwy neu lai) cyn marw, galwodd am y Bibl yn mhoethder ei afiechyd, a llefarodd yn gryf, yn gyson, ac yn felus iawn, ar y geiriau hyny, 'Eithr myfi a gefais drugaredd,' am 15 neu 20 o fynydau, a mawr oedd yr effeithiau ar yr ychydig wrandawyr oedd yn yr ystafell. Pan y ceisiwyd ganddo ar y pryd hwn roi heibio o herwydd gwendid ei natur, dywedai yntau yn effeithiol iawn am gael chwareu teg i bregethu y tro olaf am

byth. Felly yn mhen ychydig amser ar ol yr odfa hynod hon, ehedodd ei enaid i fynwes ei anwylyd, mewn llawn fwynhad o'r drugaredd faddeuol y traethai yn felus am dani. Yn union ar ddiwedd y Sabbath, Rhag. 1, 1839, ac yn lle wynebu ar ddydd Llun a'i ofidiau drachefn, cafodd ddechreu ei dragywyddol Sabbath gyda'r Oen, heb arno boen na gofid.

Nos Fercher, Rhag. 4, y nos cyn ei gladdu, llefarodd y Parch. William Roberts, Amlwch, yn Capel Tŷ mawr, oddiar Luc ii. 29, 30. Sylwodd ar y rhagorfraint oruchel o gael bod yn was i'r Arglwydd Iesu. Y rhagoriaethau arbenig oedd yn ein brawd H. Charles, fel gwas iddo, yn enwedig mwyneidddra, diniweidrwydd diddichell, gostyngeiddrwydd, ufudd-dod, a ffyddlondeb. Nid oedd un brawd yn y wlad yn fwy siriol a pharod i roddi ei gyhoeddiad, ac ymdrechai yn egniol i fyned ato. Sylwodd hefyd ar natur esmwyth ei farwolaeth, fel gollyngdod; a chyfeiriodd y cymmwysiadau halltaf at y gynnulleidfa ar yr achlysur, pa rai oeddynt wedi gwrandaw mwyaf ar ei bregethau, ac edrych ar ei esamplau y blynyddoedd diweddaf—a llawer o honynt er hyny yn eu pechodau.

Tranoeth, hebryngwyd ei ran farwol gan dyrfa luosog iawn o alarwyr Sion i fynwent Gwalchmai, ac wedi darllen y gwasanaeth Eglwysig, fe'i gosodwyd mewn daeargell anrhydeddus, heb bechodau ei ieuengctyd ar ei esgyrn yn y pridd, i fwrw ei ludded a gorphwys oddiwrth ei lafur, 'hyd oni ddelo'r dydd' y daw Iesu ar gymylau 'r nef.

Bellach rhaid terfynu, pa ragoriaethau a rhinweddau bynag oedd yn ein brawd ymadawedig, cofiwn mai gras penarglwyddiaethol Duw a'i gwnaeth yn feddiannol o honynt, a bod yr un gras yn anfeidrol ddigonol i ninnau, y penaf o bechaduriaid. Ymofynwn am y cyffelyb werthfawr ffydd a'i ffrwythau efengylaidd. 'Meddyliwn am ein blaenoriaid, y rhai a draethasant i ni air Duw, ffydd y rhai dilynwn gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt.'

DAU GYFAILL.

*Llanerch-y-medd, Ebrill* 28, 1840.

Och! alar trwm! Och wylo!—Och afar!
Och! ofwy bydd cofio,
Colli Hugh, oedd wr call, O!
Y mwynwr ni chair mo'no!

Dolur a gadd ei deulu—a galar
Pan gwelwyd ei gladdu;
Ei briod y diwrnod du,
Dro aswy oedd bron d'rysu.

Yn Capel Coch mae ochi—dirfawr
Nas derfydd eleni;
E gyfyd, wrth argofi,
Drallod dychryndod a chri.

Yn Ngwalchmai gwelai mae galar—ar goedd
O'i guddio mewn daear,
Mai naill ai cyfaill ai car,
A gofid ar ei gyfar.

Gydag aidd beraidd burion—pregethai
Pur goethaidd wyddorion,
E dreiddiai ei adroddion
Yn rymus drwy'r fregus fron.

O'i hoywder ef a hedodd,—a'i flodau
Fu liwdeg a wywodd;
Diau o'i ras Duw a'i rhodd,
Ag eilwaith Duw a'i galwodd.

---

## Y CYFAMMOD GWEITHREDOEDD.

G. Beth yw ystyr y gair Cyfammod?

A. Deillia'r gair o *Cyd*, *am*, a *bod*, sef am fod yn nghyd; yr hyn a arwydda gyngrair, neu gydundeb dau neu ragor gyda'u gilydd ar ammod neu ammodau pennodedig.

G. Pa rai yw'r cyfammodau mwyaf hynod y sonia'r Ysgrythyrau am danynt?

A. Y Cyfammod Gweithredoedd a'r Cyfammod Gras.

G. Paham y gelwir y Cyfammod a wnaeth Duw âg Adda yn Gyfammod Gweithredoedd?

A. Am mai yn gyssylltiedig ar weithred o ufudd-dod y dyn i orchymyn y Cyfammod yr oedd ef i fwynhau bywyd a dedwyddwch; ac yn gyssylltiedig â'i waith yn anufuddhau, yr oedd ef i ddyoddef y gosp fygythiedig. Gen. 2. 17.

G. Pa bethau a brofant ddarfod i Dduw wneud Cyfammod âg Adda?

A. Yn 1af. Y mae pob peth hanfodol i Gyfammod yn yr ymddyddan a fu rhwng Duw âg Adda, sef yn (1) Gorchymyn 'o bren gwybodaeth da a drwg, na fwyta o hono.' (2.) Bygythiad o gosp am droseddiad o'r gorchymyn, 'Canys yn y dydd y bwytei o hono gan farw ti a fyddi farw." (3.) Addewid o fywyd yn gyssylltiedig âg ufudd-dod y dyn. Canys cynnwys, mewn ystyr gyferbyniol i'r bygythiad o gosp am droseddiad, addewid o fywyd am ufudd-dod i'r gorchymyn. 2. Y mae gosodiad annewidiol o eiddo Duw o barth unrhyw beth yn cael ei alw yn gyfammod. Ac oni osododd efe fod i Adda gael bywyd os ufuddhai, a marwolaeth os troseddai'r gorchymyn, Jer. 33. 20. 3. Weithiau gelwir deddf neu orchymyn

yn Gyfammod; ac oni orchymynodd Duw i Adda na fwytai o bren gwybodaeth da a drwg? Jer. 34. 13, 14. 4. Dywed yr Ysgrythyr fod Adda wedi tori y Cyfammod. 'Y rhai hyn fel dynion (neu yn ol yr Hebraeg, medd dysgedigion) fel Adda, a dorasant y Cyfammod. Hos. 6. 7.

G. Pa fodd yr oedd hwn yn Gyfammod gan na chrybwylla'r llyfr i Adda ddywedyd dim?

A. Yn 1af. Yr oedd gan Dduw hawl gyfiawn i ofyn ufudd-dod y dyn, am mai efe oedd ei Grewr a'i gynnalydd. 2. Yr oedd y dyn pan ddaeth o ddwylaw ei Grewr mor sanctaidd a chyfiawn fel na fynai wrthwynebu yr un o orchymynion Duw, ac yr oedd ei ddystawrwydd yn brawf o'i gyduniad âg ammodau y gorchymyn a bygythiad y cyfammod.

G. A oedd Adda yn cynnrychioli yr oll o'r hil ddynol yn y cyfammod hwn?

A. Oedd: canys yn 1af. Os nad oedd Adda yn cynnrychioli ereill, buasai Efa yn teimlo euogrwydd cydwybod cyn gynted ac y bwytaodd hi o'r gwaharddedig bren, canys hi a fwytaodd gyntaf o hono, ac yn ganlynol, hi a roddes o hono i'w gwr; ac wedi iddo ef fwyta, teimlasant euogrwydd cydwybod ill dau, a gwelsant eu bod yn noethion. Gen. 3. 7. 2. Y mae cyfranogiad pawb o'r felldith a haeddodd efe trwy anufudd-dod i'r gorchymyn, yn profi ei fod yn cynnrychioli pawb. Rhuf. 5. 16. 3. Y mae fod plant y rhai ydynt ddiniweid a dibechod ymarferol, yn marw, yn profi ei fod yn cynnrychioli pawb. Rhuf. 5. 14. a 6. 23. 4. Gelwir Adda yn ffurf yr un oedd ar ddyfod, ac yn mha beth yr oedd ef yn ffurf Crist, ond fel Pen-cyfammodwr? Rhuf. 5. 14. 5. Y mae'r dull cyferbyniol y gesyd yr Ysgrythyrau Grist ac Adda yn profi yr un peth. (1.) Dywedir fod pawb wedi marw yn Adda, ac yn Nghrist pawb yn cael eu bywhau. 1 Cor. 15. 22. (2.) Dywedir fod Adda, trwy gamweddu, wedi dwyn barn ar bob dyn i gollfarniad, a bod Crist, trwy ei gyfiawnder, yn cyfiawnhau ei bawb yntau. Rhuf. 5. 18. (3.) Anufuddhaodd Adda trwy yr hyn y gwnaeth lawer yn bechaduriaid; eithr ufuddhaodd Crist, a gwnaeth lawer yn gyfiawn. Rhuf. 5. 19. 6. Nid wrth Adda yn unig y dywedir 'Ffrwythwch ac amlhewch,' &c. Gen. 1. 28. Ac nid am dano ef yn unig y dywedir, 'O herwydd hyn yr ymedy gwr â'i dad ac â'i fam,' &c. Gen. 2. 24.

G. Pa gymmwysderau oedd yn Adda i gynnrychioli ereill yn y cyfammod hwn?

A. 1. Efe oedd tad holl ddynolryw, canys yr oedd yr oll o'r hil ddynol yn ei lwynau, ac efe yw yr achos offerynol o honynt. 2. Yr oedd ei fod wedi ei greu ar ddelw Duw yn ei wneud yn gynnrychiolwr hynod o addas, canys gwyddai am y mawr lesiant a ddeilliai o'i ufudd-dod, a'r mawr berygl o droseddu y Dwyfol orchymyn. 3. Yr oedd yr ystyriaeth o'i ddedwyddwch ei hunan a'i deulu, yn gymmellai cryf iddo ufuddhau i'r gorchymyn. 4. Yr oedd ganddo allu digonol i sefyll yn ngwyneb pob profedigaeth a allasai ymosod arno.

G. A oedd rhwymau ar Dduw i fyned i gyfammod âg Adda?

A. Nac oedd: eithr gras ac ymostyngiad mawr ynddo oedd ymgyfammodi â'i greadur. Luc 17. 10.

G. Pa wahaniaeth sy rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Cyfammod Gras?

A. 1. Rhagora y Cyfammod Gras ar y llall o ran ei hynafiaeth, canys ychydig cyn cwymp dyn y gwnaed y Cyfammod Gweithredoedd; ond y mae y Cyfammod Gras yn dragywyddol. Salm 40. 6, 7, 8. 2. Dilynai y parhad o fywyd dyn yn y Cyfammod Gweithredoedd ar ei ufudd-dod ei hun, eithr dilyna bywyd ysbrydol y rhai sy'n rhwymyn y Cyfammod Gras ar Grist eu brawd hynaf. Col. 3. 3, 4. Ioan 10. 28. 3. Yn y Cyfammod Gweithredoedd am ufudd-hau yr oedd dyn yn cael bywyd, ond yn y Cyfammod Gras y mae'r oll o ras. Salm 84. 11. Eph. 2. 5, 8. 4. Yn y Cyfammod Gweithredoedd, yr oedd yn alluadwy i'r dyn trwy anufudd-dod golli tragywyddol ddedwyddwch, ond ni ddichon i'r neb a ddygir i'r Cyfammod Gras ei golli. Rhuf. 8. 35—39.

G. Pa wahaniaeth sy rhwng Pen-cyfammodwyr y gwahanol gyfammodau?

A. 1. Dyn o'r ddaear yn ddaearol oedd Adda, ond yr Arglwydd o'r nef yw yr ail Adda, sef Crist. 1 Cor. 15. 47. 2. Un anianol ydoedd Adda, eithr un ysbrydol yw Crist. 1 Cor. 15. 46. 3. Er fod gan Adda allu digonol i sefyll, etto yr oedd yn alluadwy iddo syrthio; eithr nis gall Crist, Pen-cyfammodwr y Cyfammod Gras, byth syrthio o'i le, am ei fod yn Dduw digyfnewid. Iago 1. 17. Esa. 9. 6. 4. Dygodd Adda, trwy ei gamwedd, ef ei hun a'i hiliogaeth i

drueni dirfawr, ond y mae cariad Crist mor fawr fel na chollir yr un o'r rhai a gynnrychiolir ganddo, a bydd iddo yn y dydd diweddaf, dywedyd, 'Wele fi a'r plant a roddaist i mi,' &c. Ioan 10. 28, 29. Esa. 8. 18. 5. Yr oedd yn ormod gan Adda beidio bwyta o'r ffrwyth gwaharddedig er sicrhau ei ddedwyddwch ef a'i deulu, ond nid oedd yn ormod gan Grist farw dros y rhai a gynnrychiolai. Salm 136. 23. Esa. 53. 4, 5. 6. Dros ychydig amser y parhaodd Adda yn ei ddiniweidrwydd, eithr fe bery Crist byth yn gyfaill ffyddlawn i'r rhai a gynnrychiola. Esa. 9. 7. Deut. 23. 27. Ioan 14. 19.

G. Pa fath oedd dyn yn ei gyflwr cyntefig?

A. 1. Yr oedd wedi ei greu ar ddelw Duw, mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a sancteiddrwydd. Gen. 1. 27. Eph. 4. 24. 2. Yr oedd efe yn uniawn mewn egwyddor ac ymarferion. Preg. 7. 29.

G. A barhaodd dyn yn y cyflwr dedwydd hwn?

A. Naddo: 'Dyn mewn anrhydedd nid arosodd. Salm 49. 12. Preg. 7. 29.

G. Pa bethau a gynnwysai'r bygythiad am droseddu y gorchymyn?

A. 1. Marwolaeth ysbrydol. Gen. 6. 5. Eph. 2. 1. 2. Marwolaeth naturiol y corph. Heb. 9. 27. 3. Marwolaeth dragywyddol, y gosp ddiddiwedd a ddyoddefa annuwiolion am bechod. Dat. 21. 8.

G. A ddaeth y gosp fygythiedig ar Adda?

A. Do: 1. Cyn gynted ag y troseddodd efe y gorchymyn, efe a fu farw yn ysbrydol, canys efe a geisiai roi'r bai ar Dduw a glanhau ei hun, yr hyn oedd brawf o ddiffyg egwyddor rasol. Gen. 3. 12. 2. Teimlai gyfnewidiad mawr yn ei holl gyfansoddiad, yr hwn ydoedd gyffelyb i farwolaeth, ac yr oedd y clefydau a ddeuai arno yn ei addfedu i farwolaeth hollol. 3. Yr oedd y teimladau mwyaf gofidus yn ei gydwybod, (yr un o ran ei natur ag uffern ei hun,) o dan effeithiau pa rai y ceisiai ymguddio o wydd yr Arglwydd. Gen. 3. 8.

G. A ydyw y Cyfammod Gweithredoedd yn parhau er i ddyn ei dori?

A. Ydyw: canys er i ddyn ballu rhoi ufudd-dod, nid yw y ddeddf yn llai ei hawdurdod i'w ofyn. Y mae pawb nad ydynt yn ddeiliaid o'r Cyfammod Gras yn y Cyfammod Gweithredoedd, y rhai a elwir 'yn rhai o dan y ddeddf.' Rhuf. 3. 19. Gal. 3. 23.

G. A ydyw yn alluadwy i ddyn ddod i fynu yn ngwyneb y Cyfammod Gweithredoedd?

A. Nac ydyw: 'Canys trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef.' Rhuf. 3. 20.

G. A oes rhai yn ceisio ymgyfiawnhau trwy weithredoedd y ddeddf?

A. Oes. Gal 5. 4.

G. Pa bethau a ellir eu casglu oddiwrth y sylwadau uchod?

A. 1. Gwelwn fawr drueni dyn wrth natur, a'i analluowgrwydd i'w achub ei hun. Iona 2 8. 2. Gwelwn fawr drugaredd a gras Duw yn ei ddarpariaeth i ddyn syrthiedig. Salm 103. 8. 2 Cor. 8. 9. Eph. 2. 5.

*Casglwyd gan* IESTYNFAB,
neu, RHIST. D. WILLIAMS.

*Bryn-glas, ger Beaumaris.*

---

## AM FFYDD A CHREDU.

TYBIA rhai fod gwahaniaeth mawr rhwng ffydd a chredu, mai gras o roddiad Duw yw ffydd, ond mai gwaith ffydd yw credu; a bod cymmysgu ffydd â chredu yn gyfeiliornad mawr. Tybia ereill mai gras, neu rodd Duw yw ffydd, a bod y geiriau ffydd a chredu yn myned yn yr Ysgrythyrau am yr un peth. Cynnygaf y sylwadau canlynol ar y pwngc:—

1. Mae yn eglur mai gras, neu rodd Duw, yw ffydd. Eph. 2. 8. Col. 2 12. Gras ydyw am ei bod o ras yn hollol. Os golygir ffydd fel egwyddor, neu fel gweithrediad, neu bob un o'r ddau, y mae y rhoddiad o honi, ei chynnydd, ei pharhad, a'i pherffeithiad o ras yn gwbl. Gan fod adenedigaeth, neu wneuthur pechadur yn gyfranog o'r dduwiol anian o Dduw, ac o ras, yna, mae yn rhaid fod ffydd, edifeirwch, cariad, gobaith, amynedd, &c. o ras, ac yn eithaf priodol i'w galw yn rasusau.

2. Meddyliwyf fod y geiriau ffydd a chredu yn myned yn yr Ysgrythyrau am yr un peth, nid yn unig mewn rhai manau, ond yn gyffredinol, megis yn Gen. 15. 6. Cyd. Rhuf. 4. 3. 5. Heb. 11. 6. 1 Pedr 1. 21.

3. Yr un gair yw *pistis*, Gr. ffydd, a *pisteuo*, credu; ond bod un yn enw cadarn, a'r llall yn brifair; fel pe dywedem, ffydd, ffyddio, cred, credu: ac weithiau, ni a gawn y gair ffydd yn y cyfieithiad Cymreig; a'r gair credu yn y cyfieithiad Saesoneg, megis Rhuf. 3. 26. Heb. 10. 39.

4. Nid yw y gair ffydd i'w gael yn yr Hen Destament ond unwaith, etto, dywedir yn y Testament Newydd, fod y Patriarchiaid a'r Prophwydi yn byw trwy ffydd, ac yn marw mewn ffydd. Heb. 11. Y geiriau a arferir yn yr Hen Destament am ffydd ydynt, credu, pwyso, ymddiried, gobeithio, &c Gen. 15. 6. Can. 8. 5. Salm 22. 4, 5. Esa. 26. 3, 4. Y mae yn amlwg mai gweithrediadau (*acts*) ydynt y rhai hyn oll.

5. Y mae y geiriau a arferir hefyd yn aml yn y Testament Newydd am ffydd, yn cynnwys yr un meddyl-ddrych; megis credu yn Nghrist, dyfod ato, rhoddi ato i gadw, ei dderbyn, &c. Ioan 3. 15, 16, 18. a 6. 35. 2 Tim. 1. 12. Ioan. 1. 12.

6. Nid mor briodol yw dywedyd mai gwaith ffydd yw credu; yn hytrach, y galon, neu y dyn sydd yn credu, ond tan ddylanwad dwyfol a chadwedigol ras. Wrth ddyn y dywedir, 'Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi;' a dyn a ddemnir, oni chred. Gwaith ffydd yw ffrwythau ffydd, neu y gweithredoedd y rhai ydynt yn dangos ei gwirionedd. Sonia yr Apostol am orchestion mawrion wedi eu gwneuthur trwy ffydd. Heb. 11. Y pethau hyny a'r cyffelyb ydynt waith ffydd.

7. Mae yn ddilys genyf y dylem olygu ffydd yn weithrediad yn gystal ag yn reddf, egwyddor, neu anian yn yr enaid. Wrth ei golygu yn weithrediad, y mae yn eglur mai credu, neu ymddiried yn, ac ymorphwys ar Iesu Grist yn unig am iachawdwriaeth ydyw. Sail ffydd yw y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab: gwrthddrych ffydd yw Iesu Grist fel Cyfryngwr, yn yr hyn oll y gosodir ef allan i ni yn yr efengyl; a Duw ynddo a thrwyddo ef. 1 Ioan 5. 10. Rhuf. 3. 25. 1 Pedr. 1. 21. A ffydd yw credu y dystiolaeth, gan ymddiried, neu ymorphwys ar y gwrthddrych mawr hwn am fywyd tragywyddol. Nid rhyw gydsynied oer yn y deall yn unig ydyw, ond derbyniad croesawgar iawn o'r dystiolaeth, gan ymddiried â'r holl galon yn y gwrthddrych. Yn y modd hyn yr ydym yn egwyddori ein plant a'r ieuengctyd am ffydd allan o'r Rhodd Mam, yr Hyfforddwr, &c.

Nid oes dim yn erbyn defnyddio dull trawsenwol a chydmariaethol wrth egluro ffydd; megys, ei chyffelybu i lygad, i law, i enau, &c. ond cofio mai cydmariaethau ydynt, a gochelyd eu dilyn yn rhy bell. Yr unig beth wyf yma yn ei wrthwynebu, yw taeru a chyhoeddi, fod gwahaniaeth mawr rhwng ffydd a chredu, a bod eu cymmysgu yn gyfeiliornad mawr; pan y maent yn bethau a gyssylltodd Duw mor agos yn ei air. Gallaswn gasglu meddyliau lliaws o'r Tadau, y rhai a gyfrifir yn union-gred ar y pwngc; ond gadawaf hyny hyd ryw amser arall, rhag gormod meithder.

*N——g.* D. H.

---

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

### YR YSGOL SABBATHOL.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. R. LLOYD, BEAUMARIS.

DYSGU yr ieuengctyd ddylai fod gofal penaf y wlad. Yn y flwyddyn 1729 yr oedd holl Gymru, Gwynedd a Deheudir, heb un Ysgol Gymraeg o'i mewn. Yn y flwyddyn 1731 y cododd Mr. G. Jones un ysgol yn Llanddowror, ar haelioni pobl y plwyf. Yn 1732 yr oedd gan Mr. Jones ddwy ysgol. Yn 1734 dechreuodd gael cynnorthwy gan Gymdeithas oedd yn dwyn yn mlaen wybodaeth Gristionogol. Ac yn y flwyddyn 1761 yr oedd dan olygiad Mr. G. Jones 218 o ysgolion, ac ynghylch mil o blant.

Yn gyntaf, Mae yr Ysgol Sabbothol fel y seren a arweiniodd y doethion o'r dwyrain at Grist. Mae hi fel y seren ddwy ffordd.

1. Arwydd dieithr iawn oedd y seren.

2. Arwydd a safodd uwchben y fan lle yr oedd yr Iesu.

Yn ail, Mae yr Ysgol Sabbathol fel y cwmwl oedd yn arwain Israel drwy y môr coch a'r anialwch.

1. Yr oedd y cwmwl o drefniad Duw.

2. Parhaodd i oleuo nes cael Israel i Ganaan.

1. Sêl plant yr Ysgol Sabbathol.—Mewn lle yn yr Iwerddon a'i enw Donachadee, meddai y plant wrth eu gilydd, Gresyn na chaem ni fyned i'r ysgol i'r Llan. Aeth y plant at y clochydd, a chawsant genad. Yn foreu iawn y Sabbath canlynol yr oedd 50 yn y Llan yn dysgu, ac heb yr un athraw arnynt.

2. Mae yr Ysgol Sabbathol yn cymmeryd rhai allan o le ofnadwy iawn. Yr oedd geneth fechan wedi dyfod i'r Ysgol Sabbathol ac arni arwyddion neillduol o ras. Ond yr ydoedd o dylwyth hynod o ddrygionus. Crogwyd

ei thad ac alltudiwyd ei mam, am dori tai a lladrata; yr oedd ei thaid a'i nain, a'i hewythr brawd ei mam, yn y carchar am yr un peth. Crogwyd rhai ac alltudiwyd y lleill. Gwedi i'r eneth fach fel hyn fyned yn ymddifad cymmerodd tair merch foneddig drugaredd arni. A rhyw Sabbath, yn y Capel, gwelai a chlywai y *ladies* hi yn darllen yn y 5ed o Rhuf. ac yn nodi yn neillduol y 6ed wers, &c.

*Rhan o Lythyr Athraw Ysgol Sabbathol.*

Yn mis Medi yn ddiweddar yr oedd bachgen o'n hysgol ni dan erledigaeth fawr gan ei dad, trwy ei guro yn ddychrynllyd am fyned i'r ysgol. Ond gwelodd nad oedd curo yn llwyddo, a bygythiodd ef â diarddeliad o'r teulu. Ac ebe y bachgen, 'Mae modd i chwi wneud hyny fy nhad a mi, mi gaf finnau drwy hyny lawer mwy o ysgol. Mi a âf i hel fy nhamaid y ddau ddydd cyntaf o'r wythnos, a chaf ddigon o fwyd ac ysgol hefyd dan nos Lun.

Cymmerodd Gweinidog y plwyf ef yn was, ac wedi iddo ddyfod i'w le gofynodd ei feistr iddo, pa grefydd oedd ganddo. Tynodd yntau Destament o'i boced, a dywedodd, 'Yr un grefydd â hwn ydwyf fi.'

Yn mis Mehefin yn ddiweddar yr oedd dyn eithaf anystyriol wedi cael ei dueddu i ddyfod i'r ysgol. Effeithiodd darllen y Bibl yn fawr ar ei feddwl, sef y lle yr oedd Crist yn dysgu i'w ddysgyblion faddeu i'w gilydd. Wedi myned adref gofynodd i'w wraig a oedd hi yn maddeu i bawb eu camweddau? Pa fodd y gallaf faddeu i'r dynion a geisiodd eich lladd chwi y dydd o'r blaen? ebe hithau. Yntau a ddywededd, Os na faddeuwch i ddynion eu camweddau ni faddeu Duw i chwithau chwaith. Yna y syrthiodd y ddau ar eu gliniau i weddio am gymmorth i faddeu i bawb eu camweddau.

Yn mis Hydref, 1821, yr oedd gwr o'r enw Henry —— yn perthyn i'r ysgol, ac wedi dysgu darllen mewn oedran go fawr; ac o deulu Pabaidd. Digwyddodd iddo fyned yn glaf. Yn ei glefyd yr ydoedd yn darllen llawer iawn hyd onid aeth yn rhy lesg. Yna y galwodd ei deulu am Offeiriad Pabaidd i ddyfod i'w eneinio ef. Wedi i'r *priest* ddyfod, gofynodd a fynai ei eneinio? Na fynaf, ebe yntau, 'Oddieithr geni dyn drachefn ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw.'

Llythyr arall, wedi ei ddyddio Tachwedd 11, 1821, a ddywed, Yr oedd Mr. Brooks, ar y Sabbath wedi myned i dŷ Pabaidd; a gofynodd a gai efe ddarllen ewyllys Crist iddynt. 'Cewch,' ebe hwythau. Yna darllenodd iddynt yr 11, 15, 16, 17, o bennodau yn Efengyl yn ol Ioan. Wedi iddo ddarfod syrthiodd yr hen ŵr a'r hen wraig ar eu gliniau, a dyrchafasant eu llef at Dduw am faddeuant pechodau trwy Iesu Grist.

Mewn llythyr arall (Tachwedd 15, 1821) dywedir, Ar fy nhaith i Ennisdoman tarewais wrth ymdeithydd oedd yn myned i'r lle. Wedi cerdded rhai milltiroedd eisteddasom i lawr i orphwyso. Tynais fy Mibl allan, a darllenais o 50 hyd 56 o Esaiah. Wrth wrando ar y darlleniad yr oedd y gwr yn wylo yn fawr iawn. Gofynais iddo yr achos. Dywedodd yntau fod ganddo achos mawr i wylo; o herwydd pan briododd yr oedd gan ei wraig Fibl, ond iddo yntau ddywedyd wrthi na wnai efe ddim byw gyda hi os na ymadawai a'i Bibl; a hyn a wnaeth hi; a dywedodd y dyn, Gwae fi. Wedi ymddwyn fel hyn at air yr Arglwydd, a oes possibl cael Bibl etto?

Mewn llythyr arall (Rhag. 13, 1821) dywedir fod gwraig dlawd yn arferol o fyned o ddrws i ddrws i ofyn elusen, â mab bychan yn ei chanlyn, a chanddo lyfr ag oedd yn ei alw *Universal Spelling Book*. Gwrandewais ef yn darllen, a rhoddais iddo Destament yn lle ei lyfr. Ac wedi myned adref dechreuodd y bachgen ddarllen y Testament. Ar hyn aeth ei fam o'i phwyll, ac a daflai y llyfr i'r tân. Aroswch, fy mam, meddai yntau, gadewch i mi ddarllen ychydig o hono i chwi, yna gwnewch fel y mynoch. A chyn darllen hanner y bennod, gwaeddodd y fam, 'Fy machgen, fy machgen, ni losgaf byth mor llyfr.' Daeth i'r ysgol, a dysgodd ddarllen, ac wrth bob argoelion cafodd ras hefyd.

Llythyr arall (Mehefin 18, 1821) a ddywed, yr oedd offeiriad Pabaidd ar ei daith un boreu Sabbath yn myned i addoli, a chyfarfu a bachgen yn myned i'r Ysgol Sul. Gofynodd yr Offeiriad 'Pa lyfr ydyw y llyfr yna sydd genyt?' 'Ewyllys, Syr,' ebe yntau. 'Ewyllys pwy?' ebe yr offeiriad. 'Ewyllys ein Harglwydd Iesu Grist.' 'A addawodd efe ryw beth i ti yn ei ewyllys?' 'Do, Syr.' 'Beth a addawodd?' 'Teyrnas.' 'A gei di fod yn frenin yn y deyrnas hono?' 'Caf, Syr; a phawb a gredant ynddo ef a gant deyrnasu gyd âg ef i fywyd tragywyddol.'

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o tu dal. 166.)

*Y chwe mis olaf o'r Drydedd Flwyddyn o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu.*

| RHIF. | Y GYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 155 | Dynesiad y Pedwerydd Pasc | .... | .... | ix. 51. | .... | Y cychwyn o Ephraim. |
| 156 | Yr Iesu yn anfon Cenhadau o'i flaen | .... | .... | ix. 52—56. | .... | I Samaria. |
| 157 | 'Arglwydd, mi a'th ganlynaf,' medd un | .... | .... | ix. 57. | .... | O du y gogledd i Ephraim |
| 158 | 'Mae gan y llwynogod ffaeau,' medd Crist | .... | .... | ix. 58. | .... | Etto. |
| 159 | 'Dilyn fi,' medd Crist | .... | .... | ix. 59. | .... | Etto. |
| 160 | 'Gad i'r meirw gladdu eu meirw' | .... | .... | ix. 60. | .... | Etto. |
| 161 | Un arall hefyd a ddywedodd, &c. | .... | .... | ix. 61. | .... | Etto. |
| 162 | 'Nid oes neb ag sydd yn rhoi ei law ar yr aradr' | .... | .... | ix. 62. | .... | Etto. |
| 163 | Yr Iesu yn anfon y deg a thriugain | .... | .... | x. 1—24. | .... | O Capernaum. |
| 164 | Dammeg y Samariad trugarog | .... | .... | x. 25—37. | .... | Yn Capernaum. |
| 165 | Martha yn croesawu Crist | .... | .... | x. 38—42. | .... | O du y gogledd i Capernaum |
| 166 | Ffurf gweddi | .... | .... | xi. 1—13. | .... | Etto. |
| 167 | Yn bwrw allan ysbryd mud | .... | .... | xi. 14. | .... | Etto. |
| 168 | Yn ciniawa gyda Pharisead | ... | .... | xi. 37—54. | .... | Ar y ffordd tua'r gorllewin a'r [deheu. |
| 169 | Yn traethu ar amryw fatterion | .... | .... | xii. 1—59. | .... | Etto. |
| 170 | Y Galileaid yn cael eu lladd | .... | .... | xiii. 1—9. | .... | Etto. |
| 171 | Y wraig oedd wedi cyd grymu | .... | .... | xiii. 10—17. | .... | Etto. |
| 172 | Dammeg yr hedyn mwstard | ... | .... | xiii. 18—21. | .... | Etto. |
| 173 | 'Ai ychydig yw y rhai cadwedig'? | .... | .... | xiii. 22—30. | .... | Etto. |
| 174 | Ei gynghori i fyned allan o lywodraethau Herod | .... | .... | xiii. 31—33. | .... | Etto. |
| 175 | Iachau un claf o'r dropsi | .... | ... | xiv. 1—6. | .... | Etto. |
| 176 | Dammeg y swpper mawr | .... | .... | xiv. 7—24. | .... | Tua'r dwyrain. |
| 177 | Beth a wna un yn wir ddisgybl | .... | .... | xiv. 25—35. | .... | Etto. |
| 178 | Dammeg y ddafad a gollasid, &c. | .... | .... | xv. 1—10. | .... | Etto. |
| 179 | Dammeg y Mab afradlon | .... | .... | xv. 11—32. | .... | Etto. |
| 180 | Etto y Barnwr anghyfiawn | .... | .... | xvi. 1—18. | .... | Etto. |
| 181 | Etto y gwr golulog a Lazarus | .... | .... | xvi. 19—31. | .... | Etto. |
| 182 | Am rwystro un o'r rhai bychain | .... | .... | xvii. 1—10. | .... | Etto. |
| 183 | Glanhau y deg gwahangleifion | .... | .... | xvii. 11—19. | .... | Etto. |

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### PEN. IV.—TAFLEN AMSERYDDOL O YSGRYTHYRAU Y TESTAMENT NEWYDD.

Y TESTAMENT Newydd a ysgrifenwyd yn gyntaf yn yr iaith Roeg: ond mewn perthynas i'r amser yn fanol pan yr ysgrifenwyd pob un o'r amrywiol lyfrau, mae yn anhawdd yn bresennol i benderfynu; yn ganlynol mae ychydig o wahaniaeth barn yn mhlith esponwyr dysgedig gyda golwg ar rai o honynt. Y daflen ganlynol a gasglwyd allan o weithiau yr ysgrifenwyr enwocaf ar y testyn.

| LLYFR. | AWDWR. | LLE YR YSGRIFENWYD. | AT WASANAETH PWY. | AMSER. A.D. |
|---|---|---|---|---|
| Matthew, efengyl, yn Hebraeg.. | Matthew... | Judea .... | Cristionogion Hebreaidd.. | 38 |
| " yn Groeg..... | Yr un .... | Yr un.... | Cristionogion Cenedlig.... | 60 |
| 1 Thessaloniaid.............. | Paul .... | Corinth .. | Yr un................ | 52 |
| 2 Thessaloniaid.............. | Yr un .... | Yr un .... | Yr un.. ............. | 52 |
| Galatiaid.................... | Yr un.... | Yr un .... | Yr un................ | 53 |
| 1 Corinthiaid................ | Yr un .... | Ephesus .. | Yr un................ | 57 |
| Rhufeiniaid ................. | Yr un.... | Corinth .. | Yr un................ | 58 |
| 2 Corinthiaid................ | Yr un.... | Macedonia | Yr un................ | 58 |
| Iago......................... | Iago .... | Judea .... | Y Genedl Iuddewig...... | 61 |
| Marc, efengyl................ | Marc .... | Rhufain.. | Cristionogion Cenedlig .. | 61 |
| Ephesiaid ................... | Paul .... | Yr un.... | Yr un................ | 61 |
| Philippiaid ................. | Yr un.... | Yr un.... | Yr un................ | 62 |
| Colossiaid .................. | Yr un.... | Yr un.... | Yr un................ | 62 |
| Philemon .................... | Yr un .... | Yr un.... | Philemon ............ | 63 |
| Hebreaid..................... | Yr un .... | Ital...... | Cristionogion Hebreaidd.. | 63 |
| Luc, efengyl ................ | Luc .... | Gwlad Gr. | Theophilus a Christionogion Cenedlig........ | 63 |
| Actau ....................... | Yr un .... | Yr un.... | Yr un................ | 64 |
| 1 Timotheus ................. | Paul .... | Macedonia | Timotheus............ | 64 |
| Titus ....................... | Yr un .... | Yr un.... | Titus ............... | 64 |
| 1 Pedr.. .................... | Pedr ... | Babilon neu Rhufain | Cyffredinol ......... | 64 |
| Judas ....................... | Judas.... | Anhysbys. | Yr un................ | 65 |
| 2 Pedr....................... | Pedr .... | Babilon neu Rhufain | Yr un................ | 65 |
| 2 Timotheus ................. | Paul .... | Rhufain .. | Timotheus ........... | 65 |
| 1 Ioan, epistol ............. | Ioan .... | Ephesus.. | Cyffredinol ......... | 68 |
| 2 Ioan, " ................... | Yr un.... | Yr un .... | Etholedig Arglwyddes.... | 69 |
| 3 Ioan, " ................... | Yr un..... | Yr un .. | Gaius................ | 69 |
| Datguddiad .................. | Yr un.... | Patmos .. | Cyffredinol ......... | 97 |
| Ioan, efengyl................ | Yr un.... | Ephesus.. | Yr un................ | 98 |

---

## AM ANGHYSUR YSBRYDOL.

DYGWYDDODD i mi yn ddiweddar glywed cyfaill yn adrodd ei fod yn treulio ei oes y rhan amlaf mewn helbul yn mherthynas i'w gyflwr ysbrydol, gan ofni nad yw erioed wedi ei wneyd yn feddiannol ar grefydd dda a chywir. Cwynai dywyllwch fel nad allai benderfynu i ba beth i gyfrif ei ddiffygion a'i anghysur, neu drwy ba foddion yr oedd iddo gael dyrchafiad ac uniawniad.

Os caniatewch, Mr. Golygydd, cynnygiaf rai nodiadau o barth y cyfryw brofiad, a ddichon weini mesur o gymhorth, cyfarwyddyd, a boddäad. Gallwn feddwl mai i un o'r tri pheth canlynol y dylem briodoli profiad tywyll, dyrys, ac anhapus, os na bydd yn deilliaw oddiwrth anhwyldeb corphorol.

I. Nis gall enaid lai na bod yn annedwydd *heb Grist*. Os heb undeb âg Ef trwy wirioneddol dderbyniad o hono, y mae grasusau, dylanwadau, ac ymweliadau cysurol ac atebol i ansawdd ac angen ysbryd anfarwol wedi eu cau oddiwrtho; ac nid rhyfedd yw ei fod yn nychlyd, yn ofnog, ac yn ddifwynäad.

II. Y mae yn rhwym o fod felly ar bob un sydd yn byw llawer *heb ddefnyddio Crist*, a '*rhodio ynddo*;' canys nid oes cynnydd, blagur, nac hyfrydwch ond trwyddo, ac mewn cymundeb âg Ef. 'Hebof fi nis gellwch wneuthur dim.' Efe yw yr unig ffordd at y Tad. Ynddo ef y rhyngodd bodd i'r Tad drigo o *bob* cyflawnder; a'r hwn sydd yn aros ynddo, a hwnw yn unig, a ddwg y ffrwythau mwynäawl o gariad tangnefedd, a llawenydd.

III. Profiad digysur a ganlyn o *lynu wrth*, a *chellwair* âg *eilunod*. Llygad deheu a braich ddeheu sydd yn ysbeilio llaweroedd o'u nerth a thangnefedd meddwl: a *pharhaus esgeulusdod o weini i ereill yr hyn y byddo yr Arglwydd yn estyn i'r dyben hyny*, a weithreda yn yr un modd.

Yn mherthynas i'r peth cyntaf a enwyd fel achos o dywyllwch ac anghysur, sef crefydd heb adnabyddiaeth o Grist, a pherthynas âg Ef, sicr yw mai nid oddiwrth hyn y mae y profiad crybwylledig, os cafwyd erioed gyfrif ar y Gwaredwr amgen na gwreiddyn o dir sych heb na phryd na thegwch ynddo i'w ddymuno. Felly yr ymddengys i bob un sydd heb wneyd derbyniad o hono: ond i'r rhai sydd yn credu 'y mae yn urddas,' ac y maent yn ei olygu fel eu bywyd. I bwy bynag, gan hyny, y mae yn unig sylfaen gobaith, nid yw y profiad anhyfryd *hwnw* i'w briodoli i'r peth cyntaf a nodwyd, sef bod heb Grist.

Ond y mae yn ddiau y gall enaid fod heb oleuni a mwynäad, oherwydd yr ail beth a enwyd, sef diffyg o ymwneud aml a'r Cyfryngwr fel y Trysorydd mawr o bob dawn ysbrydol; a myned yn mlaen gyda chrefydd a'i hymarferiadau heb olygu ei Iawn a'i Eiriolaeth fel yn anhebgorol er cymmeradwyaeth ein gwasanaeth. Byw llawer o'n hamser heb dderbyn ein grym a'n hyfrydwch oddiwrth ei dystiolaethau a'i addewidion, yw byw heb 'rodio ynddo;' a byw a esgor ar dywyllwch ac annedwyddwch yn dra buan.

Yn agos gyssylltiedig â hyn, ac yn codi oddiwrtho, yw y trydydd peth a effeithia ddrwg. Enaid heb geisio ei wynfyd bob dydd o Grist sydd yn troi i orfoleddu mewn pydewau toredig,—yn ymddyrysu gyda rhyw eilun, ac yn gwneud ei orphwysfa dan gysgod cicaion. Y mae estroniaid yn bwyta ei gryfder ac yntau heb ystyried. Perygl a niweid amgylchiad fel hyn, yw bod barn a dirnadaeth yr enaid yn cael eu gwyro a'u tywyllu fel nad yw yn gallu canfod ei hun fel y dylai. Bydd daearoldeb, chwantau, cenfigen, neu gybydddod wedi ei lyncu, a llawer yn deall mai felly y mae; Ie, agos pawb, fe allai, ond y truan magledig ei hun. Ystod o ddiffrwythder yn ngwinllan yr Arglwydd, ac aros yn esgeulus o ddyledswyddau gorchymynedig, a dywys hefyd yr un mor sicr i dir ofn ac anhapusrwydd. Rhan o'r gwirionedd yn mhrophwydoliaethau Esay a brofai hyn. Dangosir rhai wedi eu perchenogi gymmaint gan serch at bethau daear, nes ymddwyn yn annhrugarog ac anhirion i'w cyd-ddynion; ac er iddynt ddilyn eu defosiynau a'u hympryd iau, ni fynai yr Arglwydd roi ei wyneb arnynt hyd nes y gosodent eu ffordd yn iawn. Ond y mae yn addaw os gwnaent farn a hoffi trugaredd,—os tynent eu henaid i'r newynog, a diwallu yr enaid cystuddiedig, y diwallai yntau hwythau, ac y gwnai eu hesgyrn yn freision; ac y byddai i'w goleuni dori allan fel y wawr, a'u hiechyd i darddu yn fuan.

Sylwa y Parch. Mr. Scott yn ei Esponiad—'Bod llawer o dduwiolion yn treulio eu hoes mewn tywyllwch oblegid nad yw eu haelioni yn ol mesur eu gallu ac haelioni yr Arglwydd iddynt hwy. O herwydd hyn y mae eu gobaith a'u hyder am eu cyflwr tragywyddol yn wan. Nid ydynt yn anrhydeddu Duw, ac ni wna yntau eu anrhydeddu hwy. Y maent yn ochain oblegid eu culni ysbrydol, yn gerydd am eu culni i ereill. Y rhai sydd o galon eang a hael yn gyffredin, a gânt fwyaf o wyneb yr Arglwydd, ac ydynt enwocaf yn ei dŷ.'

'A pha fesur y mesuroch y mesurir i chwithau.' Yr hael a wneir yn fras. yr hwn a ddyfrhao a ddyfrheir, ond y rhai hunanol a diffrwyth a breswyliant grasdir. Anfeidrol ddaioni Duw a dywyna allan yn y cyfryw reol gweithrediad. Rhodda i'r naill i leshau y llall; ac ni fyn i'w greadur a dderbynio oddiwrtho gadw iddo ei hun na doniau bydol, eneidiol, na moesol. 'Simon, mab Jonah, a wyt ti yn fy ngaru i?' Os felly, nid i ti yn unig y mae lles y fath rodd berffaith, rhaid ei defnyddio er mantais i ereill—'Bugeilia fy nefaid, —Portha fy ŵyn.'

Yr holl ysgrythyrau a gyd-dystiant nad oes dim llwydd na llewyrch ysbrydol i'w ddysgwyl, tra y bydd un chwant neu lygredd yn cael ei ffordd; neu tra fyddo y daioni a estynir i ni, o ba natur bynag y byddo, heb ei drosglwyddo i ereill.

Oddiwrth y nodiadau diweddaf hyn, gall gofyniad gyfodi, pa fodd y mae i ni wahaniaethu rhwng camweddau a gwallau a fydd yn ein hamddifadu o wyneb Duw, a'r gwendidau sydd yn anwahanol â natur syrthiedig. Os rhoddwch gyfle, cynnygir rhai sylwadau ar hyny yn y Rhifyn nesaf.

C.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad o du dal. 168.)

---

### Y BRODYR BOHEMAIDD.

Yn ysbaid yr amser heddychlon a ganiataodd Duw i eglwys y brodyr hyn, yr oedd hi fel derwen frigog yn lledu ei gwraidd ac yn ymledaenu yn mhellach o hyd, a llawer o'r boneddigion a ymunasant a hwy a'u hanrhegasant a lluaws o addoldai ar eu hetifeddiaethau. Nid oedd ond deng mlynedd a deugain er pan sefydlwyd undeb y brodyr hyn gyntaf; ac etto, yn y fl. 1500, gallent gyfrif dau cant o leoedd addoliad yn perthyn i'w cyfundeb eu hunain.

Ond nid hir iawn yr arosodd eu gelynion yn edrychwyr llonydd yn unig ar eu llwyddiant. Ac yn nechreuad y ganrif ddilynol llwyddasant gyda Brenin Bohemia i roddi cyhoeddiad drwy ei deyrnas yn eu herbyn. Er i'r cyhoeddiad hwn gael ei alw yn ol yn fuan, penderfynodd yr Eisteddfod fawr ei hunan ar eu difrodi. I'r dyben i gael cydsyniad y brenin, yr Esgobion Pabaidd a berswadiasant y Frenines na byddai hi byth yn fam i blentyn byw, os na roddai ei chynnorthwy yn erbyn y Picardiaid. Y frenines o ganlyniad, a arferodd ei holl ddylanwad ar y brenin; ac yntau, yn ymddifad o'r nerth i wahardd iddi ei dymuniad, a aeth i'w ystafell ddirgel, a syrthiodd ar ei liniau—a chyda dagrau ar ei ruddiau, a weddiodd ar i Dduw droi ei gyngor yn ffolineb, a'i wneuthur yn ddirym, am nad oedd ganddo ef hoffder na phleser yn tywallt gwaed y diniweid.

Ar hyn dechreuai eu gelynion ymorfoleddu; ond wele, pa fodd y daeth y cwbl i ben? Y frenines, wedi dyoddef poenau mawrion yn ngwewyr esgor, a fu farw!

Yr oedd y Canghellydd Kollowrat, wedi gadael yr Eisteddfod fawr yn Krupka, a chyrhaedd yno. Yna anfonai am Arglwydd Kolditsch, a dechreuai adrodd iddo mewn llawenydd mawr, fod y cydsyniad breninol a chyffredinol wedi ei gaffael er cael llwyr ddifrodiad i'r Picardiaid. Ar hyn troai Arglwydd Kolditsch at ei was, yr hwn oedd yn sefyll o'r tu ol iddo, a'r hwn ei hun oedd yn un o'r brodyr hyn, 'Simon, beth yw dy farn di? Gan bod pob peth wedi cytuno arno, a ddaw y cyfan i weithrediad?' Yna atebodd Simon ef, 'Yr oedd yno un yn bresennol pan wnaed y cytundeb, ac nis gallaf ddywedyd yn iawn pa un a gytunodd hwnw iddo ai peidio; ond mi wn hyn, na ddaw dim o hono i ben heb ei gydsyniad ef."

Y Canghellwr ar hyn, gan dybied fod Simon druan â llaw mewn rhyw fradwriaeth ddirgelaidd a newydd, a dores allan yn ei erbyn mewn iaith anweddaidd iawn, ac a ofynodd iddo yn ddigofus, 'Pwy gan hyny yw y dyn a feiddia wrthwynebu holl awdurdod y goron? Rhaid iddo fod yn fradwr ac yn arch-gnaf hefyd; ac un na haeddai fymryn gwell triniaeth na'r Picardiaid eu hunain;' a tharawodd y bwrdd â'i ddwrn, gan ddymuno na byddai i Dduw adael iddo godi un boreu ar ol hyny â chroen cyfa dianaf, os caniateid i un Picard gael byw ar y ddaear.

Simon ar hyn a'i hatebai, gan gyfeirio ei fys tua'r nefoedd, 'Y mae Un sydd yn trigo yn yr uchelder, ac os na chytunodd efe, gellwch gyhoeddi eich gwala, ond ni saif ef byth.' Yna dolefai y Canghellydd, 'O! y cnaf, ti a gei wybod yn fuan:' a chodai oddiwrth y bwrdd i ymadael a'r castell. Ac yn y foment hono teimlai enyniad (*inflamation*) annyoddefol yn ymaflyd yn ei droed, a chymmaint ac mor enbydus oedd yr enyniad, er gwaethaf meddygon a phawb, trodd yn gornwyd difaol, o ba un y bu farw cyn pen ychydig o wythnosau.

Yr Archesgob Bisek hefyd, pan oedd ar y ffordd i Moravia i gyhoeddi gorchymynion y brenin, a gymmerodd rhyw gyfferiau meddygol, y rhai a'i cynhyrfasant mor fawr, fel y gafaelodd ei droed yn nhaclau ei gerbyd pan ydoedd yn neidio o hono fel y syrthiodd ar ei ben, ac yr anafodd mor dost, fel y bu farw y'mhen ychydig amser.

Yr oedd un arall o brif elynion y brodyr Bohemaidd, a'i enw Radozki, yn ymdeithio mewn cerbyd ysgafnaidd, â dwy waywffon wrth ei ystlys. Pan roddes y cerbyd ysgydwad sydyn, collodd yntau ei eisteddle—a bu farw yn mhen y tri diwrnod.

Un arall o honynt, Puta von Synichov, oedd yn ei gastell yn Raby, pan y dygwyddodd tymhestl ddychrynllyd o fellt a tharanau; dychrynodd gymmaint fel y rhedodd yn ffrochwyllt i'w ystafell, a chlodd y drws, ac arosodd yno mor hir, fel yr ofnodd ei weision fod rhywbeth wedi dygwydd iddo, a churasant y ddor, ond nid oedd neb yn ateb. Galwasant am ôf i'w agoryd, a phedwar o'i brif gyfeillion a aethant i

mewn, ond dychwelodd dau o honynt gan roi gorchymyn am i'w arch gael ei wneud, ym mha un y dodasant y corph mor ddirgeledig, fel nas gwyddys etto o ba angeu y bu farw.

Baron von Neuhaus, un arall o'u gwrthwynebwyr, a syrthiodd allan o'i gerbyd hela—anafwyd ef gan ei waywffon yn ei glun, a bu farw yn fuan iawn.

Augustinus, doctor yn y gyfraith, yr hwn, drwy ryw gyfansoddiad o'i eiddo ei hun, a ymdrechodd hyd eithaf ei alluoedd i dduo cymmeriad y brodyr hyn yn llygaid y brenin a'i ddeiliaid hefyd, a fu farw mewn moment wrth swpera yn Olmutz.

Achosodd y marwolaethau disyfyd ac arswydus hyn yn mysg gelynion y brodyr, gynnwrf dirfawr yn y wlad, ac aeth yn ddiareb gyffredin yn yr oes hon, 'Os oes neb yn flin o'i fywyd, ymrysoned â'r Picardiaid, ac ni all fyw flwyddyn yn hwy.'

Yr oedd Cyffes Ffydd y Brodyr Bohemaidd yn hollol gytun yn gyffredinol âg eiddo y Waldensiaid. A'r un modd y gellir dywedyd am eu trefn eglwysig, y'mha un yr oeddynt bob amser yn amcanu cadw yr eglwys gyntefig yn eu golwg, fel yr oedd yn nyddiau yr apostolion. Yr oedd ganddynt sylw mawr hefyd ar ddysgyblaeth eglwysig, i ba un yr oedd yn ofynol i bob brawd, o ba urddas bynag y byddai, ufuddhau ac ymostwng. Gofalai pob brawd gynghori a cheryddu brawd rhyngddo âg ef ei hun am droseddau bychain; ond pan y byddai hyny yn aneffeithiol, yr oedd y gweinidog i geryddu, ac yn ddiweddaf oll yr holl henuriaid yn gynnulledig. Os cyfaddefai y beius ei fai, gollyngid ef gan roi iddo bob cyngor, rhybudd, a chefnogiad; ond troseddwyr anedifeiriol a rwystrid at fwrdd yr Arglwydd hyd oni chyfnewidient eu meddwl. Troseddiadau cyhoeddus a geryddid yn gyhoeddus; a'r gweinidogion ymgynnulledig a'r henuriaid a ddangosent i'r troseddwr anfadrwydd ei feiau o flaen yr holl eglwys. Ni weinyddid diurddeliad llwyr a hollolond am ymddygiad dyhir ddychrynllyd, a bywyd anedifeiriol.

Yr ydym yn awr yn terfynu hanes y Brodyr Bohemaidd, ac yn amcanu rhoi hanesiaeth yn y Rhifynau dyfodol am yr Eglwys o dyddiau y diwygiad i'r amserau presennol, gan gwbl gredu nas gall y sawl sydd yn darllen yr hyn a ysgrifenwyd ar y pen hwn lai na rhyfeddu, synu, a diolch—rhyfeddu wrth weled yr eglwys trwy gynnifer o erledigaethau, ac ymgeisiadau am ei difodi, yn gweithio ei ffordd i enwogrwydd a lluosogrwydd—synu hefyd, fod dynion gwael a disylw, ag oedd yn ymgyfenwi ar enw yr Arglwydd, yn cael nerth i sefyll yn ngwyneb dylanwadau, a chyhoeddiad, a bygythion, penau coronog, ymerawdwyr galluog, ac esgobion cynfigenus—a diolch hefyd fod y dyddiau tymhestlog hyny wedi myned heibio, a'n llinynau ninnau wedi disgyn mewn lleoedd mor hyfryd, a bod i ni etifeddiaeth mor deg.

---

## TRAETHAWD AR DDYSGU PLANT YN FOESOL A CHREFYDDOL.

Parhad o tu dalen 169.

Ond i gael golwg fanylach ar yr hyn a nodwyd craffwn pa fodd y dylem *orchymyn*, *ceryddu*, ac *addaw*.

Wrth *orchymyn* dylem gael ufudd-dod bob amser i'r hyn a orchymynir, onidê yr ydym yn colli ein hawdurdod i raddau helaeth. Ac nid yn unig yn colli ein hawdurdod i lywodraethu y plant, ond yn cael ein llywodraethu ganddynt hwy. Y mae yr hwn 'sydd yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda' yn dal ei blant mewn ufudd-dod. Ond os collir awenau y llywodraeth, anhawdd iawn fydd eu dal mewn ufudd-dod ynghyd â phob onestrwydd.

Etto, dylem gofio *pa fodd* a *pha beth* i orchymyn; oblegid y mae anufudd-dod i rai gorchymynion a roddir gan rai rhieni yn fwy o rinwedd nag o fai, sef pan fyddo y gorchymyn yn groes i orchymyn Duw; a gallai fod peth fel hyn mewn gwlad Gristionogol megis ag yr oedd yn y dyddiau gynt. Pwy a roddes yr enw 'Moelyn' ar y prophwyd Eliseus? ysgatfydd mai rhieni y plant a felldigwyd gan y prophwyd, ac a laddwyd gan ddwy arth o'r goedwig. Beth bynag am hyn, gellir barnu fod llawer o blant yn Nghymru yn awr fel merch Herodias gynt, yr hon a addysgwyd gan ei mam yn groes i air yr Arglwydd.

Ond dylai y gorchymynion fod yn rhai rhesymol, unol a'r gair, ac yn rhai a ellid eu cyflawni gan blant. Ac yna ni ddylid derbyn dim amgen nag ufudd-dod iddynt. Y mae gorchymynion trymion iawn yn tueddu i ddigaloni a gyru y plant i ddigio, yr hyn sydd yn hollol groes i'r rheol sanctaidd. O'r tu arall, y mae goddef i blant anufuddhau gorchymynion esmwyth, a hawdd eu cyflawni, yn gyfnerthiant iddynt i anufuddhau pob gorchymyn, pa un bynag ai hawdd ai anhawdd, pwysig ai dibwys, fyddo.

Ond yn nesaf wrth eu *ceryddu*. Dylid eu ceryddu yn *brydlawn*, yn *gymmesur*, ac *amcanu dangos eu lleshad hwy trwy hyny*.

Dylid eu ceryddu yn *brydlawn*. 'Yr hwn a arbedo y wialen sydd yn casau ei

fab; ond yr hwn a'i câr ef a'i cerydda mewn amser.' O eisieu ceryddu mewn amser y mae cerydd yn lled anfuddiol ac aneffeithiol yn fynych; ïe, y mae cerydd anamserol, yn ngolwg llawer bachgen gwar-galed, megis ag yr oedd Lot yn ngolwg ei ddawon, sef y cyfan ddim amgen 'na chellwair.'

Y mae llawer tad yn goddef i'w blant ymgynnefino â phechodau cyn dechreu eu ceryddu; y rhai sydd fel defaid afiach wedi ymgynnefino â chorsle, a dyna fydd eu porfa hwy er cael eu hannos gan y cwn, a'i gosod mewn porfa lawer gwell, &c. etto y maent wedi cael y fath flas ar y blewyn mesus afiach, sydd yn tyfu yn y gorsle, ac yma y porant tra y gallant; ond ni bydd hyny yn hir, canys y mae cyrn ar yr iau, a'r bendro yn yr ymenydd, yn sicr o ddilyn.

O! y fath ofal a ddylai fod ar rieni i gadw eu plant rhag y gors afiach o feddwdod ac anghymmedroldeb: a chofied y darllenydd mai y ffordd ddiogelaf ydyw eu cadw rhag yr achlysuron o hynyma. Ond, Och! wedi i'r plant fyned yn mhell iawn yn ffordd eu pleserau y mae rhai rhieni yn dechreu gweiddi ar eu hol, ond nid yw y plant yn eu clywed, y maent wedi myned yn rhy bell i lais dynol i effeithio dim cyfnewidiad arnynt.

Hefyd, pan y mae y planhigion yn ieuaingc y dylid eu rhwymo wrth bolion, er eu cynnorthwyo i dyfu yn uniawn yn wyneb gwyntoedd blinion, ac ystormydd trymion: felly, pan y mae y plant yn ieuaingc yw yr amser goreu i'w rhwymo wrth bawl addysg grefyddol. Tybiwyf fod uniondeb buchedd a moesau da yr oes ddyfodol yn ymddibynu llawer ar lafur a ffyddlondeb rhieni yr oes bresennol.

Ond pa fodd na byddai dynion yn talu mwy o sylw i'r rheol hon? sef y neb a'i câr ef a'i cerydda mewn *amser*;—'hyfforddia *blentyn* yn mhen ei ffordd,' nid llanc ond plentyn. I hyn y gellir ateb fod y pethau hyn, ynghyd â phethau ereill, yn achosion o hyn, sef anystyriaeth o'r rheol—gweithredu mwy wrth deimladau naturiol nac wrth synwyr naturiol; a mwy o'r hyn a ellir ei alwyn gariad anifeilaidd (*animal instinct*), neu y teimlad perthynol i'r bywyd anifeilaidd sydd mewn dyn, nac o gariad at Grist.

Geill fod rhai yn tybied eu bod yn lled berffaith yn eu hymddygiadau tu ag at eu plant, pryd na bydd eu cariad tu ag atynt ond tebyg i gariad yr anifail direswm at ei ryw. Ond lle y byddo gwir gariad, neu gariad ysbrydol, cerir Duw yn fwy na'r plant; cerir eu dedwyddwch tragywyddol hwy yn fwy na'u dedwyddwch amserol; a defnyddir Gair yr Arglwydd yn rheol i ymddwyn tu ag atynt, yn hytrach na theimladau naturiol. Nid yw yn anhawdd adnabod effeithiau y cariad naturiol yma cyn iddo gael ei reoleiddio a'i sancteiddio gan yr Ysbryd Glân yn ymddygiadau y plant. Gwelir yn fynych y plentyn blwydd oed yn meistroli ei fam ar gordd cynnulleidfa fawr. Nid yw hyny ddim ond prawf mai efe yw y meistr bob amser, a'i fod yn cael ei lochi yn ormodol, ac yn cael ei orlenwi â moethau. Y cancr difaol hwnw sydd yn bwyta gwraidd cysur y plant a'u rhieni, ïe, y gwenwyn angeuol hwnw sydd yn ddinystr i gyfansoddiad y creadur yn gystal a'i foesau da ef. Ië, hyn yw ffrwyth cariad naturiol heb ei reoli â gras ysbrydol.

Yn nesaf, *eu ceryddu yn gymmesur*, neu yn ol haeddiant y bai; ac nid ceryddu pob bai fel eu gilydd. Y mae hyn yn ddrwg mawr, ac yn ddull anaddas iawn; etto, dyma y dull a'r modd y gwna llawer---ceryddant eu plant yr un fath bob amser, ac am bob bai. Yr un fath am dori llestr pridd a thori y Sabbath, &c. ond ni ddylai hyn ddim bod; canys dylid dangos i'r plant fod gwahaniaeth rhwng drwg a drwg; ac nis gallaf lai na meddwl nad un o egwyddorion yr Antinomiaid yw dywedyd fod pob bai mor ddrwg a'u gilydd, yr hyn sydd yn groes iawn i'r Bibl; ond gallaf ddywedyd oddiar brofiad fod cerydd llym am fai mawr yn fendithiol i mi cyn hyn. Yr wyf yn cofio i mi fod unwaith gyda bechgyn annuwiol yn tori y Sabbath, ac wedi i mi ddychwelyd adref curai fy nhad fi yn drwm; ac er nad oedd ynof ddim parch i'r pedwerydd gorchymyn mwy na'r lleill, etto byddwn yn meddwl bob amser wedi hyny nad oedd bosibl i mi wneud gwaeth peth na thori y Sabbath.

Etto, i geryddu yn gymmesur nid oes genym ddim gwell rheol na Gair yr Arglwydd. 'Cur ef (sef dy fab) â gwialen;' nid â dwrn, troed, na phastwn, ond â *gwialen*; a dilyn y rheol euraidd hon a wna i deuluoedd bychain ein gwlad fod â'u haelwydydd yn baradwysaidd mewn heddwch a threfn---y pen teulu mewn anrhydedd, a'r plant oll gyd âg hyfrydwch yn ufuddhau.

(I'w barhau.)

## Y DYN DOETH.

Nid oes dim a ddymuna ei wybod, ond yn gyntaf, ac yn benaf, ei hunan, a'i wendid ei hun yn fwy na'i nerth; ac nid mewn ymddyddan yn unig y mae ei wybodaeth yn gynnwysedig, ond mewn ymarferiad hefyd. Y mae yn ymresymwr medrus, wedi dysgu mewn arferiad yn fwy nag wrth natur. Ei feddwl gweithgar sydd yn syllu ar ac yn gwneud rhyw addysgiadau buddiol yn wastadol. Gwna ryw ddefnydd daionus o bob peth a wel ac a glyw, a hyny yn gyntaf i gyfarwyddo ei hun, yna i addysgu ereill.

Nid yw ei ddau lygad un amser oddicartref ar unwaith; y mae un yn cadw y tŷ tra mae y llall ar led yn chwilio am wybodaeth. Ni oddef i'w feddwl fod mewn anwadalrwydd gyda phethau pwysig a difrifol, ond casâ betrusder lle y gall ac y dylai fod

yn benderfynol; a myn ei enaid i ddiogelwch yn gyntaf, gan farnu nad addas bod yn sigledig mewn rhag-olwg ar ei sefyllfa dragywyddol.

Y mae ei holl ofalon mewn iawn drefn, heb eu camgyfleu na'u hesgeuluso. Anfynych y'i siomir gan ddim, canys gan wybod am dwyll y byd, dysgodd ymddiried yn benaf iddo ei hun, ac i ereill, cyn belled ac na'i niweidir gan ei siomedigaethau.

Cais ei heddwch mewn dirgelrwydd; cuddia ei dafod ynddo ei hun, a'i hunan mewn neillduolrwydd. Câr fod y'nghudd heb gael ei weled; a gweled y byd yn anweledig; a phan y'i dirgymhellir i'r goleuni, dengys ei weithredoedd nad oedd ei enoiliad o gymhendod na gwendid.

Ei amcanion ydynt mor amrywiol ag y gellir dadleu anwadalrwydd; nid yw yn ystyfnig ac anghyfnewidiol, ond rheola ei achosion yn ol ei reswm ac amgylchiadau pethau. Y mae yn ysgolhaig medrus, ac yn athraw ardderchog; cymmer addysg oddiwrth bob peth a wel ac a glyw, a'i feddwl wedi ei orlenwi felly â gwybodaeth a all roddi i ereill yr hyfforddiadau goreu.

Yn ei ymddyddanion rhed yn ol i'r oesoedd gynt, a dwg bethau o dir angof; yna eheda at bethau a fydd, ac o gydmaru y naill beth â'r llall, dwg ei farn allan o ran cywirdeb yn nesaf i brophwydoliaeth

Y mae ei amcaniad ef am bethau i ddyfod yn well na phenderfyniad ereill. Ei reswm a ffurfiwyd gan grefydd, a'i nwydau ydynt gynnifer o weision daionus yn barod i ufuddhau i'w reswm gyda'r dyfalwch mwyaf. A phe anghofient eu dyledswydd un amser, gall yn gyntaf guddio eu gwrthryfel, yna ei ddarostwng. Nid yw fyth mewn dyrysni ac heb wybod beth i'w wneud gyda'i amcanion teilwng a chanmoladwy; ond y mae wedi rhagdrefnu ei achosion fel y fynyd y methai un y dechreua yntau âg un arall; ac ychwanega nerth hyd yn nod oddiwrth yr hyn sydd aflwyddiannus.

Y mae llawer o feiau na chenfydd hwynt, ac nid edrych bob amser y ffordd y byddo ei feddwl. Ni chydnebydd fwy nac a weddai am garedigrwydd; ac am angharedigrwydd cydnebydd, ond ni thal yn ol. Nid yw yn haeddu na sen na gogan, y mae yn byw oddiallan i gylch y gwrthwynebwr: ac os rhoddir iddo sen ddiachos ni chythrudda, am y dewisa ddyoddef hyd farw yn hytrach na chodi ei law mewn gwrthryfel cyhoeddus.

Ymgeidw o fewn cylch ei achosion ei hun, a byth nid ymyr â materion rhai ereill. Y mae yn sefyll fel canolbwynt sefydlog, tra y chwyldroa ei amgylchiadau i fynu ac i lawr, ac oddiamgylch iddo. Costiodd ei wybodaeth lawer, a gall ei chadw, ei gwerthfawrogi, a gweithredu gyd a hi. Efe yw ei gyfreithiwr ei hun, trysor gwybodaeth, cynghorfa cyngor. Gwel yn dda yn achos ereill, ond gwel yn well yn ei achos ei hun.

Cyf. DEWI GLANAU OGWEN.

## DIWYGIO CAMGYMMERIADAU.

MAE yn anhawdd iawn gan rai pobl ddywedyd 'Yr oeddwn wedi camgymmeryd;' a pharhant mewn cyfeiliornad yn hytrach na rhoddi i fynu eu pwnc, a newid eu hymarweddiad, hyd yn nod pan argyhoeddir hwy o'u cyfeiliornad.

Balchder hynod o ynfyd yw hwn. Mae y dynion doethaf yn gwybod eu bod yn agored i gamgymmeryd, ac am hyny y maent y rhai mwyaf gostyngedig a difalch.

Mae yr hwn sydd yn cyfaddef ei fod wedi camgymmeryd yn dangos ei fod yn ddoethach nag oedd o'r blaen. 'Ond a weli di wr doeth yn ei olwg ei hun? gwell yw y gobaith am ffol nag am hwnw.'

'Yr wyf wedi treulio fy holl fywyd,' meddai Mr. —— 'mewn chwilio allan fy anwybodaeth a'm camgymmeriadau, ac mewn ymdrechu eu diwygio; ac yn awr, a myfi yn hen wr, yn lle canfod fod genyf fwy o achos i ymddiried i mi fy hun nag oedd genyf yn flaenorol, yr wyf yn cael fy argyhoeddi bob dydd yn fwy dwys am yr angenrheidrwydd sydd arnaf i weddio am arweiniad gwastadol, addysg, a cherydd gan Dduw. Dyma yw fy nymuniad gwastadol, 'Chwilia fi, O Dduw, a gwybydd fy nghalon; prawf fi, a gwybydd fy meddyliau;' ac yr wyf yn gobeithio, ac yn credu, na chaf ganfod fy mod wedi camgymmeryd yn y diwedd'' NIHIL.

## PWYSIGRWYDD BOD YN FLAENOR EGLWYSIG.

Wrth ymddyddan â blaenor Eglwysig sylwai y diweddar Barch. Ebenezer Richard, Tregaron, fel y canlyn:—"A oes cymdeithas yn cael ei chynnal rhwng eich enaid chwi â Duw? Mae hyn yn beth mawr mewn crefydd i bawb, ond yn enwedig i chwi. Y mae yn beth chwithig iawn fod y gwas yn y tŷ am flwyddyn heb ymddyddan un gair â gŵr y tŷ. Mae yn anhawdd credu fod y gwaith yn myned yn mlaen yn hwylus tra byddo y *steward* heb ddim cyfrinach â'r meistr; ond y mae 'n waeth bod yn flaenoriaid yn Eglwys Dduw heb gymdeithasu âg ef---fod yn Jerusalem am ddwy flynedd heb weled wyneb y brenin. Ac os bydd cyfrinach, bydd ei hol i'w ganfod arnoch, oblegid mae cymdeithas â'r Arglwydd yn beth effeithiol iawn. Pan ddaeth Moses i lawr o'r mynydd yr oedd yr Israeliaid yn deall ei fod wedi bod gyda Duw, oblegid yr oedd ei wyneb yn dysgleirio; felly dylai fod dynion yn medru canfod arnoch chwithau eich bod yn cymdeithasu â Duw, trwy fod dysgleirdeb sancteiddrwydd yn eich profiad a'ch ymarweddiad."—*Allan o Gofiant y Parch. E. Richard, a ysgrifenwyd gan ei Feibion.*

## GWELEDIGAETH GWLAD Y CYDRADDOLDEB.*

'YNO yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro; ac yno y gorphwys y rhai lluddedig. Y rhai a garcharwyd a gânt yno lonydd ynghyd; ni chlywant lais y gorthrymydd. Bychan a mawr sydd yno, a'r gwas a ryddhawyd oddiwrth ei feistr."—JOB iii. 17, 18, 19.

Islaw Teml Amser, ar làn afon yr Iorddonen y mae llain o dir gwastad ac eang iawn a elwir Gwlad y Cydraddoldeb; ac fel pob gwlad dramorawl a dyeithr arall y mae llawer o bethau hynod ynddi

Er y dydd y gosodwyd ein tad Adda i breswylio gyntaf yn Nheml Amser, ac y troseddodd yntau orchymyn pendant ei Wneuthurwr, mae efe a'i hiliogaeth yn llithro o un i un i breswylio oesoedd yn Ngwlad y Cydraddoldeb, cyn myned i gyfanneddu *gorph* ac enaid, i'r byd mawr sydd tu hwnt i'r afon.

Mae preswylwyr y wlad hon yn amlach o lawer na phreswylwyr Teml Amser; ac er nad oes yno na gwreica na gwra, etto y mae poblogaeth y fan yn cynnyddu yn barhaus. Ac os cywir y dywedir fod deg can miliwn o'r hil ddynol yn myned i mewn iddi bob tair ar ddeg ar hugain o flynyddau, y mae eu rhifedi presennol, ar hanner nos y dydd olaf o Fai, yn fwy nag a allwyf fi mewn geiriau ei draethu!!

Er bod y wlad hon yn eang iawn, a thros bedwar ugain o filoedd yn cyraedd iddi bob dydd, nid oes dim ond un ffordd yn arwain iddi, ac nis gallodd neb etto gael un llwybr i ddychwelyd yn ol. Bu y 'gwr mwyaf o holl feibion y dwyrain (Job) yn hoff iawn o fyfyrio ar ei chyffiniau gynt, a chan gyfeirio ati hi y dywedai, wrth ymddiffyn ei ddiniweidrwydd,—'Canys pan ddel ychydig flynyddoedd etto, yna mi a rodiaf lwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelaf,' Job 16. 21.

Y mae un peth nodedig arall o barthed iddi yn teilyngu ein sylw penaf. Mae PAWB yn ymdeithio yma, ac o ganlyniad mae yr ysgrifenydd a'r darllenydd felly hefyd. O'r mynyd y rhydd y baban arwydd ei fod wedi sangu llwybr bywyd, mae yn dechreu rhedeg ei oreu tu a Gwlad y Cydraddoldeb. A'r waedd a rydd ar y foment y genir ef, nid yw ond bloedd y bychan yn dweyd ei fod yn dyfod. Er difyred yw chwareuon y plantos chwerthingar, aml y gwelir hwy yn lluchio eu teganau o'r neilldu ac yn neidio i Wlad y Cydraddoldeb. Mynych y gwelwyd y llencyn heinif yn chwareu mewn afiaeth a chryfder —a'r llances drwsiadus yn plethu ei gwallt, ac yn ymffrostio yn ei harddwch, ond mewn moment ill dau yn ymguddio yn Ngwlad y Cydraddoldeb. Llawer gwaith y gwelwyd y rhieni tyner yn edrych ar eu plantos o gylch y ford, ac yn darllen llwyddiant un, ac yn dadmeirio doniau y llall, a chyn gorphen o honynt, gwelwyd hwy ill dau yn diango i Wlad y Cydraddoldeb; gwyntoedd angeu wedi deifio pren irlas eu gobeithion, a'u plant yn ymddifaid ar eu hol. Yr hen wr methiedig hefyd, analluog i symud cam, ond ar bwys ei ffon—y mae yntau yn rhedeg yn gyflym i Wlad y Cydraddoldeb. Ac wrth sylwi ar hyn y dywedai Selyf, y doethaf o ddynion, 'Y mae y *cwbl* yn myned i'r un lle; *pob un* sydd o'r pridd, a *phob un* a dry i'r pridd eilwaith.' Preg. 3. 20.

Yr un derbyniad croesawus hefyd sydd i bob ymdeithydd yn y wlad eang hon. Nid oes dim mwy o sylw o'r hyawdl na'r tafodrwm, na mwy o barch i ben coronog y brenin nac i goryn moel y cardotyn. Yn y myfyrdod hwn y mydrai y Salmydd duwiol, 'Nac ofna pan gyfoethogo un, pan ychwanego gogoniant ei dŷ ef, canys wrth farw ni ddwg efe ddim ymaith, ac ni ddisgyn ei ogoniant ar ei ol ef. Efe a â at genedlaeth ei dadau, ac ni welant oleuni byth.' Ps. 49. 16, 17, 19.

Nid oes yn y wlad hon ychwaith ond distawrwydd yn teyrnasu—heddwch oesawl, a thangnefedd didor. Yma y mae Alexander Fawr mewn llonyddwch—Nero waedlyd mewn tawelwch—Cæsariaid Rhufain yn ddigon digynnwrf—Bounaparte ddewr yn hoff o'i dystawrwydd, a rhyfel a dychymyg am rhyfel wedi ei adael am byth. Yma hefyd mae'r marsiandwr medrus yn gorwedd yn dawel gan adael i ereill gyfrif ei arian ar ei ol. Wrth ystyried y tawelwch hwn y dywedai Job gynt, am esmwythder marwolaeth, 'Paham na bum i farw o'r bru? na threngais pan ddaethum o'r groth, oherwydd yn awr mi a gawswn orwedd, a gorphwys, a huno; yna y buasai llonyddwch i mi; gyda breninoedd a chynghorwyr y ddaear, y rhai a adeiladasant iddynt eu hunain fanau anghyfanedd, y rhai a lanwasant eu tai âg arian.' Job 3. 11, 13, 14, 15.

Peth arall hefyd sydd yn hynod iawn yn mhreswylwyr y fro hon. Nid oes yma na thwrf na thrafferth, ond maent oll yn *cysgu*. O'r baban un awr i'r hen wr 'naw mlynedd a thriugain a naw can mlynedd,' y maent yn huno oll. Yn un cwr y mae y rhyfelwr cadarn, a wnaethai i'r ddaear grynu dan garnau ei farch, yn gaeth dan farau cwsg; mewn man arall mae y pregethwr godidog, oedd a chyflwr pechaduriaid ym myd amser yn sychu ei fenydd mewn myfyrdod, yn peri i'w chwys orlifo wrth ei draddodi, ac yn llethu ei enaid mewn

* Amcan ysgrifeniad y Weledigaeth hon yn benaf, ydyw ceisio cyfansoddi rhywbeth i ennyn awydd i ddarllen a chwilio yn mhlant yr Ysgol Sabbathol—ac os cyferfydd y doeth a'r deallus â rhywbeth allan o'i le ynddi, esgusodynt yr ysgrifenydd, am mai hon yw yr ail a'r diweddaf o'r cyfryw.

gweddi, yn huno yn dawel. Ond o bob golygfa a all dychymyg bortreiadu, hwn yw y mwyaf effeithiol—gwel y wraig ieuangc brydweddol, ac y bu genedigaeth ei phlentyn cyntaf yn angeu iddi hi ag iddo yntau, yn gorwedd yn nghesail ei gilydd—y wên welwaidd ar eu gruddiau, a'u llygaid yn gauedig yn angeu. Ah! fy mrawd, wyla uwch ben siomedigaethau y byd twyllodrus!

Mae pawb o'r preswylwyr yn cysgu yn drwm iawn hefyd, nid oes dim a all eu deffro. Pe cai dyn nerth i hollti y creigiau yn ddarnau—gwneud i'r moroedd ferwi fel crochan—esgyn i gelloedd y cenllysg a thywallt y gronfa fawr ar unwaith—gollwng y corwynteedd o'u cadwynau—braenaru y nefoedd a nerthoedd y taranau—curo y bydoedd wybrenol yn eu gilydd—a chwalu y ddaear yn dameidiau—ni thorai byth ar gwsg y trigolion. Ond y mae corn bychan yn rhywle yn ystafelloedd y drydedd nef, yr hwn a elwir Udgorn Duw,

'Corn anfeidrol ei ddolef,
Corn ffraeth o saernïaeth nef,' G. O.

ac ar swniad cyntaf y trwmped hwn y naid y lluoedd aneirif i fod yn effro byth. Gyda golwg ar hyn y dywedodd Paul wrth y Thessaloniaid, 'Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef gyda bloedd, â llef yr archangel, ac âg udgorn Duw, a'r meirw ....a gipir i fynu yn y cymylau, i gyfarfod a'r Arglwydd yn yr awyr,' (2 Thess. 3. 16, 17.) a dyma y pryd yr 'eistedd y farn, yr agorir y llyfrau, ac y bernir y meirw wrth y pethau oedd wedi eu hysgrifenu yn y llyfrau yn ol eu gweithredoedd.' Dat. 20. 11—14.

Yn y wlad hon nid oes neb yn uwch nac yn is na'u gilydd—neb yn Frenin na neb yn ddeiliad—neb yn flaenor na neb yn ddilynwr—neb yn arglwydd na neb yn wasanaethwr—na neb yn chwennych awdurdod—na neb yn tramgwyddo wrth weled arall yn ei chael. Mae y byw, weithiau, dan ddylanwad yr ysbryd sydd yn trigo yn Nheml Amser, yn ceisio arwain Uwchafiaeth a Blaenoriaeth i'r dyffryn hwn, ond y mae y gyfeillach rhwng preswylwyr y ddwy wlad wedi darfod mor llwyr, fel nad oes ganddynt glust i wrando arnynt, na chalon i geisio cwblhau eu cyngor.

Er hyny, fy nghyfaill y darllenydd, rhyw olion bychain o'r rhagoriaeth hyn ydyw y colofnau marmoraidd, y tyrau godidog, y bedd-adeiliau celfydd, a'r cerig nadd, a'r taflenau copr, a'r *iron rails* am y beddau, ïe, hefyd, y gareg fechan lwydaidd sydd yn cynnwys ond dau air o argraff arni—nid ydynt oll, meddaf, ond rhyw gais bychan gan y byw i arwain ei ysbryd uchelfryd ei hun i'r wlad y mae pawb yn cydbreswylio yn ddiddig mewn cydraddoldeb oesawl. Ac nid yw yr englyn a'r pennill, a'r darnau ymadroddion, ond cynnifer o ymgeisiadau diwerth i beri i'r cydraddolion ragori ar eu gilydd.

Anwyl ddarllenydd, cyn myned o honom i breswylio y wlad hon ein hunain, pa niwcid fyddai i ni ill dau rodio ar ei hyd ac ar lled? Ac wrth esgyn yn ol i brysurdeb Teml Amser, hwyrach y gallwn ddywedyd, bob un wrtho ei hun, 'O! yr wyf yn ddoethach, mi ddeallais hyn, *yr wyf yn ystyried fy niwedd.*'

Y cyntaf a ddaeth i breswylio yma oedd Abel, ac ar ei ol ef y daeth rhes hirfaith o gewri cedyrn, talgryf, a hen iawn. Ac y mae yn ddilys eu bod hwy yma yr awr hon, ac y byddant yma hefyd hyd oni chlywir corn Duw yn canu, a'r ddaear yn hollti, a'r nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres yn toddi, a'r farn yn eistedd, ac agoryd y llyfrau.

Y lle cyntaf yn y fro hon y cawn sylwi arno fydd ogof maes Macpelah. Dyma y fan y claddodd Abraham Sarah ei wraig, yma y claddwyd Isaac a Rebecca ei wraig, ac yma y claddwyd Jacob a Leah ei wraig, ac yma, am ddim a ellir ei gadarnhau yn amgen, y mae y tri hen foneddwr, a'r tair hen foneddiges, yn cysgu yn nghesail eu gilydd yn llonydd ac yn ddystaw.

Wele ni yn awr yn y parth dwyreiniol i Wlad y Cydraddoldeb, ac wrth yr hen ogof ag sydd â'i llwch yn werthfawrocach na chynnyrch mwngloddiau y byd i gyd. Ac efallai bod yn gyssylltiedig â hi rhyw hanesion difyrus, teilwng i'w darllen, ac i'w cofio hefyd.

Bu Benjamin o Tudela, Iuddew Hispaenaidd yma o'n blaenau ni, oddeutu y fl. 650; ac mewn llyfr hynod o'i waith, a elwir '*Purchas his Pilgrimes*,' a gyhoeddwyd yn 1625, y rhydd efe yr hanes canlynol:—'Daethum i Hebron sydd yn y dyffryn, o herwydd yr oedd y brif-ddinas, Hebron, gynt yn sefyll ar fryn, ond y mae yn awr yn garnedd. Ond yn y dyffryn y mae maes, yn yr hwn y mae dau ddyffryn bychan yn gwynebu eu gilydd, ac yno y mae y ddinas yn sefyll, ac y mae yno deml fawr iawn a elwir St. Abraham, ac yno yr oedd synagog yr Iuddewon pan feddiennid y wlad gan yr Ismaeliaid. Ond y cenedloedd, y rhai wedi hyny a berchenogasant y fan, a adeiladasant chwe beddrod yn y deml, un i Abraham, un i Sara, un i Isaac, un i Rebecca, un i Jacob, ac un i Lia (Leah). Ac y mae y preswylwyr yn awr yn dweyd wrth y pererinion mai y rhai hyn yw cof-adeiliau y patriarchiaid: a symiau mawr o arian a offrymir yn rhwydd yno. Ond yn ddilys, i bob Iuddew a ddel yno, ac a gynnyg wobr i'r ceidwaid, dangosir yr ogof yn rhwydd—teflir y porth haiarn yn agored ag sydd er y cyn amseroedd yn hongian yno. Yna aiff dyn i lawr, â lamp oleu yn ei law, i'r ogof gyntaf, lle nad oes dim i'w weled, ar un modd i'r ail; hyd onid elo i'r drydedd,

yn mha un y mae y chwe cholofn, y naill uwch ben y llall; ac ar bob un o honynt y mae llythyrenau wedi eu cerfio; a dynodir hwy oddiwrth eu gilydd wrth yr enwau yn ol y drefn ganlynol:—*Sepulchrum Abraham, patris nostri, super quem pax sit*; ac felly y cwbl. Y mae lamp yn llosgi yn barhaus yn yr ogof, ddydd a nos; ac offeiriaid y deml wrth eu swydd sydd i'w chyflenwi âg olew i hyny. Hefyd, yn yr un ogof y mae llestri mawrion yn llawn o esgyrn yr hen Israeliaid, a ddygwyd yma gan eu teuluoedd o Israel, y rhai ydynt hyd y dydd hwn yn aros yn yr un a'r gyfryw ogof.'

Dywedynt fod y gair *Macpelah*, ynddo ei hun, yn arwyddo dyblyg; a'r naill beth a'r llall gyda'u gilydd sydd yn peri i rai gredu mai hon yw y llanerch lle gorphwys y patrieirch. Bu Sandys yma yn gynnar yn yr eilfed ganrif ar bymtheg, a'i ddysgrifiad ef o ddyffryn Hebron yw, mai dyma y dyffryn ffrwythlonaf a harddaf a welodd llygad erioed; a sonia hefyd am y 'deml dda,' a adeiladwyd gan yr Ymerodres Elen, mam Cwstenyn; ac a drowyd wedi hyny yn deml (*mosque*), ac yn lle o gynnulliad rhyfeddol gan y pererinion Moslemaidd. Yr oedd John Sanderson yma yn haf y fl. 1601, ond nid oedd mor hawdd cael myned i mewn i'r ogof ag yn nyddiau Benjamin yr Iuddew, a dywed ef, 'Ni chaniateir i neb fyned i mewn i'r beddrod hwn, ond trwy dwll ysgwar mewn mur tew gellir canfod goleuni lamp yn wan. Mae yr Iuddewon oll yn gwneuthur eu gweddiau seremoniol oddi allan. Caniateir i'r Mooriaid a'r Tyrciaid weled tipyn ychwaneg, trwy dwll yn y nen, lle y tywalltant yr olew i'r lamp: yr hon sydd o gryn faintioli, ac yn llosgi o hyd.' Am fwy na chanrif wedi hyny, dau neu dri o Ewropeaid yn unig, a allasant, trwy feiddiad na gobrwy, gael myned i mewn i'r deml ac i'r ogof. Mae Ali Bey, yr hwn a ffugiai ei hun yn un o'r Mahometaniaid wedi rhoi dysgrifiad o hono, ond nis gellir pwyso yn llwyr ar ei gywirdeb. Mae yn amlwg fod y Tyrciaid wedi bod yn brysur yn newid y lle i'w mympwy eu hunain, ac os hon yw y fan, nid yw yn gyfan gwbl fel yr ystafell a neillduodd ein hen dad Abraham yn breswylfa iddo ei hunan a'i deulu yn Ngwlad y Cydraddoldeb, o herwydd dywedir fod 'holl feddau y patriarchiaid wedi eu hamdoi â charpedau heirddwych o sidan drudfawr, wedi eu goreuro a'u haddurno âg aur. Beddau y gwragedd ydynt wedi eu hamdoi â sidan coch, wedi ei addurno yr un modd. Y Sultaniaid (y breninoedd Mahometanaidd) ydynt i ofalu am y sidan hwn—yr hwn a newidir o bryd i bryd. Cyfrifais i (medd un teithiwr) naw o honynt, y naill ar gefn y llall, ar fedd Abraham, ac y mae yr ystafelloedd oll wedi eu hamdoi yn yr un modd.'*

Ond yn awr, fy nghyfaill, mae ein taith ni yn fawr hyd wastad y dyffryn i gyd, a bu i ni ymdroi mwy nag a ddylasem yma, cyn ymadael cydgana â mi, os teilwng genyt, Farwnad Abraham i Sarah ei wraig.

O! f'enaid prudd, daeth dydd dy alar dwys,
Mae'r baich yn drwm ail mynydd plwm ei bwys,
Fy Sarah lwys sy'n awr â phwys ei phen
Yn farwol fud, ar oeraidd lwydaidd len.

O Sarah glau, cydymaith dyddiau f' oes,
Mewn anial ffrom cyd-ddyg'som lawer loes,
Cyd-deithio 'mhell, rhoi'n pabell yma 'thraw
Heb balas gwiw, ond *llawnder Duw* ger-llaw.

Fel diwrnod chweg aeth cant dau ddeg a saith
(Dy oes oedd lon) o flwyddi mwynion maith;
Dy wallt oedd wyn—dy wedd fel rhosyn glwys
A chwarddai'n glir ar bwysi myrrh ei bwys.

Gadewaist ni, dy Isaac gu a'i dad
Dy *Isaac* brid, y'nghanol ieuengctid mad,*
Ni rodi mwy ar bwys ei fraich ddi wyr
Yn nghwr y wig na'r maes yn mrig yr hwyr.

Pwy drefna'r ford i fonedd mawr y ne'
(Angylion Ion) pan ddont yn llon i'r lle?
Pwy gân yn glir Anthemau pur ddi ail
Yn llwyni cân Beerseba dan y dail?‡

Ow Sarah lon—pam holltai'th galon gu
Waith myn'd a'r llanc i fryn Moriah fry?
*Gorchymyn* Duw am offrwm ddaeth i'w nol,
*Addewid* Duw a'i dyg'sai iti 'n ol.||

Amcenais, do, ei roi ar ucha'r coed
Yn aberth llosg rhyfedda fu erioed,
Mi gredais, do, wrth chwalu'r lludw'n wiw,
Cawn wel'd ger bron fy mab yn neidio'n fyw.

---

* A fyno hanes manylach a rhagorach, darllened nodiad y 'Pictorial Bible,' ar Gen. 23. 19. efelychiad o ba un, dan yr enw 'Y Bibl Darluniadol,' sydd yn awr yn cael ei ddarparu i'r wasg dan olygiad y Parch. E. Evans, Caerlleon, (Ieuan Glan Geirionydd).

* Oddeutu 36 mlwydd oed.

‡ Gen. 21. 33.

|| Oddiwrth rediad yr hanes am le marwolaeth Sarah, &c. tybiai rhai fod Abraham oddicartref o Hebron pan y cymmerodd hyny le, ac iddo brysuro yno i alaru a thalu y deyrnged olaf iddi. Mae traddodiad dibwys yn dywedyd iddi farw o dorcalon pan oedd Abraham yn absennol yn offrymu Isaac, ac i rywun hysbysu iddi fod ei mab wedi ei losgi yn lludw ar lethri Moriah. Ond bu raid iddi fyw lawer blwyddyn wedi hyny. Rhowd y drychfeddwl i mewn yn y farwnad, nid am fod yr ysgrifenydd yn ei gredu, ond am ei fod yn hen draddodiad yn unig.

Yn iach, yn iach, fy Sarah bellach bydd
Dy dŷ dros gof o fewn i'r ogof brudd;
Cei Adda'n tad, ac Efa fad ein mam,*
Yn gwmni gwir—*cyn hir cei Abraham.*

Ond cyn ymado o'r parth hwn tyred i'r cŵr acw, i 'weled y fan y gorweddodd yr Arglwydd.' Yn rhywle is y tyweirch hyn y bu Iesu bendigedig yn ymlid angeu i ogofeydd marwolaeth; ac yma hefyd (chwedl hen bregethwyr Cymru) 'y bu yn tynu y *damp* o'r gwely pridd i'w ddyweddi gael gorwedd ar ei ol.' Mae ffug-sancteiddrwydd y Pab, ac ofergoeledd y gau brophwyd, wedi bod o'n blaenau ni yn adeiladu temlau, yn goleuo lampau, ac yn gosod defodau —opd nid yw y lamp ond goleuni gwael yn nghaddug anwybodaeth—a'r defodau oll ond rhagrith i gyd. Digon i ni yw, 'A phan ddaethant i le a elwid Golgotha, yr hwn a elwir Lle y Benglog....hwy a'i croeshoeliasant ef....Ac wedi ei myned hi yn hwyr daeth gwr goludog o Arimathea, a'i enw Joseph....ac a aeth at Pilat, ac a ofynodd gorph yr Iesu,....ac a'i hamdodd mewn lliain main, ac a'i gosododd ef yn ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorasai efe yn y graig, ac a dreiglodd faen mawr wrth ddrws y bedd, ac a aeth ymaith.' (Mat. 28.) Ond er cynddaredd dynion a llid cythreuliaid, nid rhaid i ni ddweyd yma, fel wrth ogof Macpelah, ac yma y mae etto—ond efe a fuddugoliaethodd ar y cwbl, 'Yr Arglwydd a gyfododd yn wir,' ac am hyny, una â mi i ganu yr hen bennill melysawl hwnw, nes bo creigiau Palestina yn ateb y sain, ac y cario yr awelon ef ar hyd holl barthau y byd.

'Nis gallodd angeu du ddal Iesu'n gaeth
Ddim hwy na'r trydydd dydd yn rhydd y daeth,
Ni ddelir un o'i blant er myn'd i bant y bedd,
Fe'n gwelir ger ei fron, yn llon eu gwedd.'

Amser a ballai i mi dy arwain at orweddle Mahomet, y Pabau, Ymerawdwyr y ddaear a breninoedd enwog—rhyfelwyr glewion, a gwroniaid medrus—areithwyr hyawdl a dadleuwyr godidog—celfyddydwyr cywrain a dyfeiswyr synwyrlym; ond wrth eu sangu a neidio drostynt, dymunwn i ti sylwi ar, a chredu yr arwirair hwnw am Wlad y Cydraddoldeb, 'Nid oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb yn y bedd lle yr wyt ti yn myned.' Preg. 9. 10.

Ond fel yr Iuddewon gynt nis gallaf lai na'th arwain at feddau y prophwydi, ac uwch y llanerchau hyn y cei weled eglwysi a Swyddi Cymru mewn myfyr a hiraeth yn wylo ar eu holau. Caerfyrddin yn wylo uwch ben ei Charles enwog, ac ereill ar ei ol: Ceredigion yn trwsio beddau ei Hebenezer Morris, a'i Dafydd Evans, a'i Hebenezer Richard: Trefaldwyn yn trydar ar ol ei Jones, Dol-y-fonddu, Evan Griffiths, Meifod, ac Abraham Jones, Llanfyllin: Arfon mewn galar am ei Griffith Solomon: Môn mewn alaeth am ei Richard Lloyd: a Meirion, yn monwent Llan-y-cil, yn ocheneidio yn gwynfanus uwch beddau ei Charles enwog, ei John Evans batriarchaidd, Dafydd Cadwalader ffyddlon, oedd wedi mesur bryniau Cymru â'i gamrau, ar ei hyd ac ar eu lled, wrth geisio troi pechaduriaid at Iesu, ac yn ddiweddaf oll ei Richard Jones lafurus, a ddiangodd i orphwysfa, ac o'i ol y gellir dywedyd,

'Prudd yw gwedd y praidd, a gwael,
Gwedi iddo eu gadael;
Diennill i fyd annuw,
A gloes ddofn i Eglwys Dduw.'

Ond cymmerwn olwg manylach arnynt. Goris tref Dinbych, yn nghwr Dyffryn Clwyd, y gorwedd yr enwog fardd a'r pregethwr dysgedig, y Parch. Thomas Jones. Dysgodd fy mam i mi ei hoffi er yn foreu iawn; ac er na chefais yr hyfrydwch o'i glywed yn llefaru—etto ei darluniad effro a bywiog o hono—'mewn cap du, ar Green y Bala, yn y Gymanfa luosog, yn cymhell pechaduriaid;' ynghyd a thlysion ei farddoniaeth, a barodd i mi ei garu er nas gwelais. A mwy nag unwaith y difyrais oriau fy mebaint yn monwent yr Eglwys Wen yn ysgrifio ei feddargraff a'r Englynion; y rhai pwy bynag a'i gwel a hoffant eu cyfansoddiad.

Yn monwent Llanfrothen, yn Meirion, wrth dalcen yr Eglwys, mae beddrod y Parch. Richard Jones, o'r Wern. Gwr tal, â gwallt melyngoch ydoedd, yn sefyll yn syth yn yr areithfa; ac er ei fod yn ymddifad o'r zel a'r bywiogrwydd tanllyd sy'n hynodi rhai pregethwyr, etto gan droi ei wallt â'i law dros ei glust, ac yn ei ddull priodol ei hunan amgylchai gysgodau yr hen oruchwyliaeth, a defodau y ddeddf seremoniol, a dygai y gwrandawyr yn ddiogel at Grist. Yn ymresymwr cadarn, ac yn helaeth o ddysg, cyn cyrhaedd henaint llawn, efe a aeth i dangnefedd. A'm pwys ar gareg ei fedd yr hedai rhai o'i ddywed-

* Yr un yw Hebron a Mamre, (Gen. 23. 19. a 35. 27,) a gelwid hi yn amser Abraham yn Ciriath-arba, (Gen. 35. 27.) neu Gaer-Arba. Arba, medd Josuah, (pen. 14. 15.) oedd wr mawr yn mhlith yr Anaciaid. Y Rabbiniaid a ddywedant fod Ciriath-arba yn arwyddo 'dinas y pedwar, un o ba rai oedd Adda, sydd yn gorwedd yma y'mhlith yr Anaciaid.' Yr enw hwn, meddynt, a ddeillia oddiwrth fod y pedwar enwogion Adda, Abraham, Isaac, a Jacob, a'r pedair boneddiges ardderchog Efa, Sarah, Rebecca, a Leah wedi eu claddu yno; ond mae y rhai olaf yn wir wedi eu claddu yno, ond am orweddle ein hen dad Adda nid oes neb a all ei ddangos.

iadau yn y Pregethau melysion ar y 'Bwch Diangol,' a'r 'Bywyd yn Helaethach,'* nes peri i mi hiraethu ar ei ol.

Ti roddaist dy delyn Awenawl o'r neilldu,
Diosgaist dy wisg offeiriadawl y'nghyd:
Diangaist at delyn Paradwys i ganu,
Wyd mwy yn offeiriad o olwg y byd.

Gorwedded y tywod yn monwent Llanfrothen
Yn ysgafn ac esmwyth o hyd ar dy fron;
Daw awr dy ollyngdod at engyl yn llawen,
I wlad y gogoniant a'i llwyddiant yn llon.

Ymdeithydd dyeithrawl—os âi at ei feddrod [lli;
Gwlych odreu y beddfaen a'th ddagrau yn
Os na feddi olew—rho ddagrau dy drallod
Fel enaint pereiddiawl yn wlith arni hi.

* * * * * * * * * * * * *

Bellach, ddarllenydd, dos dy hunan ar hyd ac ar led Gwlad y Cydraddoldeb, a herïaf di i dramwy heibio i un fonwent yn nghesail mynyddoedd Cymru, sydd â'i bryniau yn gof-adeiliau gan natur ei hun, na chynhyrfir dy deimladau, ac na bydd y deigryn gloyw yn lladrata ei ffordd dros dy rudd, ac na themtir di i eistedd dan yr ywen i ganu dy alarnad. Ond os byth, mewn dychymyg, y dymuni wybod pa le i'm cyfarfod i, rhaid i ti ddyfod i fonwent Beuno wrth y Bala, ac wrth dalcen de-orllewinol yr Eglwys, dan yr ywen nesaf i Lyn Tegid, a'm pwys ar fedd y Parch. Richard Jones, ti a'm cei yn wylo wrth gofio chwareuon fy mrawd hoff, chwedlau difyrol fy *Marged fach*, a'i gynghorion yntau.

Yn iach it' fy nghyfaill, oni bai ofni dy lwytho yn ormodol rhoiswn 'Araeth y Pryf yn y Fonwent' i ti, ond efallai y caf gyfle etto. Hyn a ddywedaf wrth ymadael, os wyt ti yn falch ac yn ffroen-uchel cofia

'Mae monwent mewn rhai manau—'n llwybr
Lle bu'r trwyn a'r genau, [troed,
Sathru'r beilchion brychion brau
Wna byw-ddyn yn y beddau.'
T. o'r Nant.

Os wyt ti yn feddwyn, Dirwestwr fyddi di yma. Ac os ydwyt ti yn Anffyddiwr, yn *Socialist* camenwol, yn chwennych gweled pawb yn gydradd, bydd ddistaw am fynyd, ac yna bydd pen yr Ymerawdwr galluog mor isel a dy ben di, a'th ben dithau mor isel a phen y cardotyn tlotaf fu ar y ddaear erioed. Ac yr awr hon, gan hyny, y waedd effeithiol, sydd yn adsain o'r naill fedd i'r llall, ac yn argraffedig yn nglaswellt ac irwellt y wlad boblogaidd hon yw, 'Trefna dy dy canys marw fyddi ac ni byddi byw.' Ydwyf yr eiddot,

*Caerlleon.* J. Phillips, (Tegidon.)

* Pregethau a draddodwyd ganddo er ys blynyddoedd yn ol yn y Bala, ac sydd etto yn ddiameu ar gof amryw o'i phreswylwyr.

## GOFYNION.

Barchedig Gyhoeddwr.—Yr ydym yn dra diolchgar i chwi, ac i'ch Gohebydd E. B. am eich Sylwadau Eglurhaol ar ein Gofyniad blaenorol, mewn perthynas i Fedydd: yr ydym etto yn cyfeirio atoch chwi, neu eich Gohebydd E. B. neu rywun arall o'ch lluosog Ohebwyr, am sylw etto ar yr hyn a ganlyn.

Buom mewn ychydig o ymddyddan yn ddiweddar â'r gwr a nodasom dan yr enw o "un heb fod yn Weinidog" yn ein Gofyniad blaenorol; a dywedai wrthym fod ganddo ef hawl i fedyddio y neb a fynai os gelwid arno i wneud hyny, trwy ei fod wedi cael gorchymyn gan Offeiriaid o'r Eglwys Sefydledig pan y gelwid arno mewn rhyw amgylchiadau neillduol.

Ac yn awr, ein Gofyniad yw, A oes hawl gan Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig i appwyntio y neb a fynont i wneud hyny? ac a ydyw yn ddigon o sail, yn ngwyneb Gair Duw, i weinyddu yr hyn na alwyd arno i'w wneuthur gan yr un Corph nac Enwad o bobl y bu yn perthyn iddo.

S. ac S. Jones, *Cerig-y-druidion.*

### AM WEINYDDU SWPER YR ARGLWYDD.

Syr.---Byddaf ddiolchgar i chwi os rhoddwch eglurhad ar y Gofyniad canlynol yn un o'ch Rhifynau dyfodol. Pa un ai Ordinhad i'w gweinyddu yn gyhoeddus, ynte yn mhresennoldeb yr Eglwys yn unig, yw Swper yr Arglwydd? Byddai yn dda genyf weled rhywun yn achub y cyfle cyntaf i ateb y Gofyniad hwn, gan fod yn yr ardal hon beth dadl yn ei gylch.

Llew ab Coel.

### CLADDU WRTH Y CAPELYDD.

Barchedig Olygydd.---Wrth sylwi ar bethau sydd yn cymmeryd lle yn ein gwlad y dyddiau hyn, gwelaf fod claddu y meirw mewn monwentydd perthynol i Gapelydd yn beth lled gyffredin, ac ar gynnydd; ac hyd ag yr wyf fi yn deall nid oes, ac nid oedd ar y cyntaf, un meddwl na bwriad, gan Ymddiriedolwyr y Capelydd, ganiatau i neb gael eu claddu yno ond y cyfryw ag a fyddai mewn cyfundeb Eglwysig perthynol iddynt hwy fel corph o grefyddwyr.

Yn awr, dymunwn ofyn i'r doeth a'r deallus, Onid ydyw claddu un mewn monwent Capel, yn gystal a rhyw fonwent arall, yn rhoddi hawl gyfreithlon i deulu y cyfryw un yn y beddrod hwnw; ac o ganlyniad eu claddu yno os byddant yn dewis, pa un bynag a fyddont mewn cyfundeb Eglwysig ai peidio?

Dymunir cael atebiad eglur a goleu ar hyn, oblegid y mae 'n beth o bwys i'r rhai hyny ag sydd ganddynt fonwentydd wrth eu Capelydd.

W. W.

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Cofiant y Parch. W. Jones, Dol-y-fonddu, a'r Parch E. Griffiths, Meifod, Gweinidogion gyd a'r Trefnyddion Calfinaidd, yn Swydd Drefaldwyn; ynghyd a Byr-gofiant am Mr. T. Griffiths, a Mrs. M. Griffiths, brawd a mam y Parch. E. Griffiths. Gan y* Parch. John Hughes, Pont Robert. *Caerlleon: argraffwyd gan J. a J. Parry.*

Mr. Cyhoeddwr,—Goddefwch i mi, trwy gyfrwng y Drysorfa, i alw sylw fy nghydwladwyr at yr Hanes bychan a gyhoeddodd y Parch. J. Hughes, Bont, am y Parch. W. Jones, Dol-y-fonddu, a'r Parch. E. Griffiths, Meifod.

Mi a'i darllenais ef gyda gradd o hyfrydwch a buddioldeb; os nad wyf yn camgymmeryd yn fawr yr oedd fy ysbryd mewn gwell agwedd yn cau y llyfr nag oedd arno pan y dechreuais ei ddarllen ef. Teimlwn rywgymmysgedd hyfryd o wylo a chwerthin, gweddi a mawl, yn ymweithio ynof wrth fyned dros eu hanes; a gweled tynerwch a gras Duw yn eu hennill o gam i gam ato ei hun; ac yn dwyn ei amcanion tragywyddol o gwmpas, trwy amgylchiadau, tybygid, damweiniol a disylw. Ymweled â'r naill y tro cyntaf trwy weinidogaeth un o'i weision ffyddlon yn y brif ddinas; ac â'r llall trwy air o enau benyw ar y ffordd fawr. Yr oedd llygad Romaine, mae yn ddigon tebyg, yn fwy ar rai o fechgyn Llundain y Sabboth hwnw; ond yr oedd llygad yr arfaeth fawr ar fachgen o Drawsfynydd. A pha beth bynag a ddaeth o'i fechgyn ef fe ddaliwyd ei bachgen hi; yr etholedigaeth a'i cafodd—fe'i cafodd ef yn mysg miloedd Llundain: wedi myned yno yn unig i geisio y byd, ond cyn dychwelyd cadd (fel Saul wrth geisio yr asynod) ei eneinio yn frenin, ac yn offeiriad i Dduw a'i Dad ef, drwy weinidogaeth yr hen Samuel hybarch hwnw.

Mae y darluniad a rydd Mr. E. Griffiths o hono ei hun, ac agwedd ei gymmydogaeth yn moreu ei ddyddiau yn dra difyrus ac addysgiadol. Yr oeddwn rywfodd yn synu uwch ben yr hanes, wrth feddwl mor brysur oedd pawb ar hyd y byd yma pan oeddwn i yn gorwedd yn ddistaw mewn anfodolrwydd. Yr oedd Satan yn gweithio, cnawd yn gweithio, gras yn gweithio, damweiniau yn gweithio, rhagluniaeth yn gweithio, pregethwyr, erlidwyr, ie, pob peth yn gweithio, a thrwy lywodraeth y llaw fawr yr oedd pob peth yn cydweithio i gael Evan Griffiths at ei Dduw. Fel engraifft o ysbryd erlidgar yr amseroedd, a'r dylanwad oedd ganddo ar feddyliau dynion i'w cadw mewn tywyllwch, sylwn ar yr amgylchiad a ddarlunia Mr. Griffiths (tu dal. 31,) ac effeithiau yr amgylchiad hwnw arno ei hun.

"Yr enw oedd ganddynt (medd efe) ar yr ymneillduwyr oedd *Roundheads*, sef pengryniaid. Ar ein symudiad o'r Rhos-fawr i'r Cefn-du, yr oedd y tyddyn hwn yn meddiant gwr tra rhagfarnllyd at yr Ymneillduwyr. Gwnaed yn nghytundeb cymmeriad y tyddyn nad oedd i neb o'r teulu fyned i wrando arnynt hwy: ac os elai neb fod hyny fel rhybydd i ymadael â'r tyddyn, ac yn doriad y cytundeb. Ac yr oedd fy nhad yn ein rhybuddio yn barhaus o'r perygl hwn. Y mae yn gofus genyf imi gael fy nanfon unwaith ar neges i dŷ fy ewythr, brawd fy mam; a phan aethym yno yr oeddynt yn darllen pennod o'r Bibl: a phan aethant ar eu gliniau i weddio daliwyd fy meddwl gan y fath ddychryn wrth gofio am rybuddion fy nhad nes yr aethym adref heb hysbysu fy neges.

"Nid wyf yn cofio i fy nhad, na fy mam, na neb arall, ddywedyd un gair wrthyf erioed am Dduw, nac am enaid, na byd tragywyddol cyn fy mod tu ag un-ar-ddeg oed. Ac nid wyf yn cofio am nemawr o ddim ar fy meddwl fy hun, gymmaint a meddwl fod Duw nac enaid mewn bod, ond yn hollol Atheistaidd, heb feddwl am ddim ond am lwyr ymroddi i ddilyn tueddiadau llygredig fy natur, pa rai oeddynt yn fyw, yn weithgar, ac yn aflonydd iawn."

Yr oedd Satan yn gweled fod gwawr wedi codi ar Gymru; a bod pregethiad nerthol yr efengyl yn anrheithio ei deyrnas; ac am hyny yn ymegnio yn mhob modd i gadw dynion o gyrhaedd ei gweinidogaeth. Rhoi dylanwad y meistr tir ar feddwl y tenant, a'i ddylanwad yntau ar feddyliau ei deulu—ffurfio bargeinion ac ymrwymiadau dynion i'w gilydd, a'r cwbl yn wasanaethgar i w amcanion gwaedlyd ei hun. Ac nid yw hyn ond hen ystryw y gelyn. Mae efe, yr hwn oedd y pryd hyn yn llunio ammodau y *Lease* am y tyddyn er cadw y teulu oddiwrth Grist a'r efengyl, drwy yr oesoedd, ar hyd wledydd y byd yma, yn rhoi dylanwad y mawrion i effeithio ar y werin, a breninoedd ar eu deiliaid, ac yn ffurfio cyfansoddiadau y teyrnasoedd, eu cyfreithiau, a'u llwon, yn bwrpasol i gau yr efengyl allan oddiwrth ddynion, a sicrhau y ddaear yn ei feddiant ei hun.

Nid oes gan ei offerynau, fe ddichon, un bwriad drwg yn erbyn eu gilydd yn hyn oll; ond, y mae y bwriad a'r falais tu ol i'r *curtain*. Mae Satan, dirgel ysgogydd y cwbl, â'i lygad yn ei ben, ac fel gwaedgi creulon yn cynllwyn yn mhob modd am fywyd eneidiau dynion.

Gallesid meddwl ei fod yn siwr o Mr. Evan Griffiths. Yn fachgen deuddeg oed, â'i enaid mor ddi-Dduw a'r anifail, mewn teulu heb air o son am Dduw o'i fewn, a'u hymrwymiadau gwladol a'u rhagfarn fel muriau wedi eu codi i sicrhau tywyllwch ac annuwiaeth ei feddwl, a chadw draw bob llewyrch o eiddo efengyl gras.

'A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? neu a waredir y rhai a garcharwyd yn gyfiawn?' A ddygir enaid mor ddieithr i Dduw i osod ei holl serch arno? A waeir gwr ieuanc, sy'n cychwyn mor fywiog

gyda holl afferion llygredig yr oes, yn offeryn effeithiol i'w dwyn i lawr? A wneir hwn yn offeiriad i Dduw yn ei deulu, i'w sancteiddio a'u bendithio trwy addysgiadau, esiamplau, a gweddiau dros faith flynyddoedd, ag sydd yn ffoi mewn arswyd oddiwrth ei berthynasau, wrth eu gweled yn ymgrymu ar yr aelwyd i addoli Duw? Yr oedd nid yn unig llygredigaeth cyffredinol y natur, ond sefyllfa neillduol y dyn, rhagfarn ei ddygiad i fynu, ac amgylchiadau ei fywyd, yn gadwynau gan y golyn i'w gaethiwo ef. 'Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd, ïe, carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulon a ddianc;' ac felly Mr. E. Griffiths a gymmerwyd fel ysglyfaeth oddi rhwng ei ddannedd ef, ac a wnaed yn flaen-ffrwyth ei holl deulu yn Nghrist.

Dygwyd hyn oddi amgylch hefyd mewn modd rhyfedd a grasol gan yr Arglwydd. Ymweloedd ag ef y waith gyntaf trwy air o ymddiddan ar y ffordd. Gyd âg adroddiad y geiriau,

> 'Pan welir gwaith yr Arglwydd ne'
> Fe'i molir E'n dragywydd,'

daeth Ysbryd yr Arglwydd i galon yr Atheist ieuanc i ddechreu y gwaith ag sy'n awr wedi ei berffeithio mewn gogoniant, ac yn yr hwn y caiff ei awdwr ei foli byth.

Cododd hyn ef allan trwy bob rhwystrau i wrando y gair, a chadd ei argyhoeddi yn fuan o'i gyfrifoldeb i Dduw, a'i gyflwr truenus fel pechadur colledig.

Ond erbyn bod y meddwl trallodus yn dechreu gofyn beth i wneud i fod yn gadwedig? nid oedd un syniad am drefn yr efengyl o fewn yr enaid; ac o ganlyniad dechreuodd ymosod at y gwaith o wneud cyfiawnder iddo ei hun. Gorfu ar yr hen Adda lygredig rhoi lle i'r hen Adda grefyddol, a phenderfynwyd llosgi y ceilys a'r cardiau, a chefnu ar bob difyrwch pechadurus, ac (medd efe) "llwyr ymroddi i fod yn dduwiol gan obeithio cyrhaeddyd y nod."

Ond wedi y cwbl, nid oedd yma ond megis plummen ddysglaer ar wyneb hen bydew lleidiog; tan yr holl ymddangosiadau teg oddi allan yr oedd llygredigaeth y natur yn dygyfor yn ddiorphwys oddifewn. Amcanai Satan, trwy enynu ei chwantau, ddyfetha ei argyhoeddiadau a chadw ei enaid oddiwrth Grist. Ond yr oedd yr Arglwydd grasol yn peri hyd yn nod i'r enynfa hono, addfedu y meddwl i'w dderbyn ef; trwy gadw y gydwybod i gnoi o'i herwydd, a dangos iddo mor anabl ydoedd i wneud cyfiawnder iddo ei hun. Ond o'r diwedd cadd yr hen Adda grefyddol ergyd marwol trwy weinidogaeth Mr. John Ellis, o'r Abermaw.

"Bu y bregeth hon (medd efe) fel drych eglur i ddangos i mi ansawdd lygredig fy natur, nes y teimlais hollol anobaith yn mron am ddyfod byth yn well, mwy nag i'r Ethiopiad newid ei groen; ac hefyd yr oedd fy meddwl y pryd hwn heb ei oleuo i ganfod trefn yr iachawdwriaeth o ras." Oedd: ond er hyny yr ydoedd wedi ei barotoi i dderbyn y datguddiad; ac felly fe gipiai y newydd o enau yr hen Edward Meredith, pan grybwyllodd wrth ymddiddan, *fod gan yr Arglwydd fodd a threfn i faddeu a golchi.*

Mae yn wir fod hyn yn dyrysu yr hen egwyddor ddeddfol. "Yr oedd son (medd efe) am faddeu a golchi yn swnio yn beth dieithr iawn i'm meddwl i, yn lle gweithio am fywyd. Er hyny, glynodd sylw y gwr hwnw ar fy meddwl nes ei siglo, a'm gyru i chwilio yr ysgrythyrau am faddeuant ac achubiaeth i bechadur."

Yn mhen ysbaid ar ol hyn, cadd y wawr fechan oedd wedi tori ar ei enaid ei chryfhau wrth wrando yr hen John Jones, Caergwrle, llewyrchwyd i'w galon am y drefn i gyfiawnhau drwy ufudd-dod un, a chreu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, nes gweithio ynddi y dymuniad "*ac y'm cair ynddo ef.*"

Fel hyn, o gam i gam, y dygwyd y gwas ffyddlon hwn i'r Arglwydd at Grist. A dyma holl ddechreuad ac achos mwyneidddra 'r dymher, sancteiddrwydd y bywyd, ffyddlondeb ei oes, uwchder ei gymmeriad yn y wlad ac yn yr eglwys, fel dyn, fel Gweinidog, ac fel Cristion. Gair o Salm oedd cychwyniad y cwbl. Fe'i hargyhoeddwyd, ac am ar a wn i, fe'i hail anwyd hefyd, trwy ymddiddanion crefyddol ar y ffordd fawr. Ychydig feddyliodd yr hen Edward Meredith fod ei sylw bychan am drefn i faddeu a golchi wedi suddo i galon ei gyfaill ieuanc nes dadymchwel yr hen anian lygredig a deddfol, a throi yn egwyddor rymus ac anfarwol o'i fewn. Ond "felly y mae teyrnas Dduw fel pe bwriai ddyn had i'r ddaear, a chysgu, a'chodi nos a dydd, a'r had yn egino ac yn tyfu y modd nis gwyr efe."

Rhyfedd mor ddirgel ac effeithiol yw gwaith yr Ysbryd Glan ar galon pechadur, pan y mae yn dwyn gwirionedd yr efengyl ag sydd mor hollol groes i syniadau mwyaf tumewnol yr enaid, ac yn ei impio i'w fewn ef, nes y mae yn cyfnewid ei holl ansawdd, ac yn troi yn reddfau dyfnion ac ymarferol yr holl enaid.

Nid wyf yn ammeu na bydd yn dda gan gannoedd yn yr oes hon ddarllen y Cofiant bychan hwn, a bydd hefyd yn wasanaethgar i'r oesoedd a ddaw.

Pe buasai hanesyn bychan fel hyn wedi ei gyhoeddi am bob un o'n hen dadau er ys can mlynedd buasem yn llawer mwy hysbys o'u cymmeriad, eu hysbryd, eu sel, a'u llafur nag ydym. Ac fe allai y buasem yn fwy tebyg iddynt hefyd; canys y mae cyfeillachu llawer â dynion rhagorol (yn eu hanes) a gweled gras Duw yn llewyrchu ynddynt yn ngwahanawl amgylchiadau eu bywyd, yn tueddu i feithrin ynom yr un ysbryd, ac argraffu eu delw ar ein cymmeriad.

Mae y llyfr yn cynnwys Pregeth o waith

Mr. Griffiths, ynghyda Sylwadau a ysgrifenwyd ganddo ar amryw faterion; a Byrgofiant am ei frawd a'i fam. Ac hefyd Sylwadau o eiddo Mr. Jones, Dol-y-fonddu, mewn Cyfarfodydd Eglwysig yn y flwyddyn 1800. Ac wrth eu darllen nis gallem lai na dymuno i'r Arglwydd barhau i roddi i'w Eglwys ddynion mor ysbrydol, efengylaidd, a chywir eu golygiadau, ag oedd ynddi ddeugain mlynedd yn ol. "Yr oedd cewri ar y ddaear y dyddiau hyny."

HENRY REES.

---

## LLYTHYRAU, &c.

### PUMMED LLYTHYR IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

FY NGHYDYMAITH ANWYL A HOFF.—Gobeithiaf na flinaf mo honot wrth ychwanegu ysgrifenu atat fel hyn. Nid oeddwn ar y cyntaf yn meddwl trafaelu cymmaint oddiamgylch, ond ti weli mai felly y mae wedi digwydd, trwy ddilyn fy nychymmyg yma a thraw, ar hyd eang feusydd Datguddiad, heb ganlyn unrhyw drefn na chynllun neillduol. Etto, y mae arnaf chwant erbyn hyn ddychwelyd o'm crwydriadau i wneuthur ychydig sylw ar yr ail beth a nodir gan Jethro, fel cymmwysder anhebgorol angenrheidiol er dy wneuthur yn ddyn Duw, sef 'ofni Duw.'

Y pregethwr brenhinol, wedi chwilio a phrofi mwy na neb dynion, tebygol genyf, sydd yn crynhoi y cwbl i un peth, 'Swm y cwbl,' eb efe, 'a glybuwyd yw, ofna Dduw a chadw ei orchymynion, canys hyn yw holl ddyled dyn.' Nid yw ofni Duw yn beth slafaidd ac anghysurus, yn codi oddiar aflonyddwch meddwl mewn ymddangosiad o berygl, ynghyd a brys i ffoi rhagddo.

Bydd cyffroad o'r natur hyny yn annedwyddwch ac anghysur i'r meddwl dynol; ac heb fod yn cynnwys mymryn o barch i'r Bod addoladwy hwnw sydd yn unig wrthddrych teilwng i'w ofni. Y mae golygfeydd o Dduw yn ei farnedigaethau wedi creu teimladau echryslawn mewn dynion a chythreuliaid cyn hyn, nes dymuno cael rhyw le i ffoi o'i wyddfod; eithr y mae ei ofni yn fabaidd, yn neshau 'r enaid ato mewn ymostyngiad ger ei fron, fel y gorphwyso yn nydd trallod yn yr olygfa arno.

Y fath gyfnewidiad a wna ymddangosiad bychan o Dduw yn ei farnau ar yr holl gyfansoddiad dynol! Gwna y rudd yn welw, yr ysbrydoedd a sodda, yr aelodau a gryn, y meddyliau a frysia, a'i natur a lewyga. Felly yr oedd teimladau Belsasar pan yr ymddangosodd bysedd ei farnwr yn ysgrifenu ychydig o linellau byrion ato ar galchiad y pared. 'Yna y newidiodd lliw y brenin, a'i feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y datododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei lwynau y naill wrth y llall. Gwaeddodd y brenin yn groch am ddwyn i mewn yr astronomyddion,' &c. Beth oedd ar y brenin? Ofn. Ymddangosiad o Dduw yn ei farn a wna i'r dewr floeddio yn chwerw, a wna hyd yn nod i Satan grodu a chrynu; eithr ymddangosiad o Dduw yn ei ras a wna i'r sant gredu a charu, a syrthio ar ei wyneb ac addoli.

Yn ol natur yr olygfa a fydd dyn yn ei gael o Dduw y bydd yr effeithiau a weithredir ar ei feddwl. Gwelodd Adda Dduw yn y bygythiad, ofnodd a ffodd: gwelodd ef yn yr addewid (o leiaf yr wyf yn coelio felly) a dychwelodd. Gwelodd gwraig Job ef nes dymuno ei felldithio: canfyddodd Job ef nes yr oedd ei enaid yn ei fendithio. Mi a feddyliwn fod gwahanol effaith yr olwg ar Dduw yn tarddu oddiar wahanol ansawdd y cyflwr.

Mae y fath beth mewn crefydd a llawenhau mewn dychryn. Ofni, ac ar yr un pryd caru a neshau at y gwrthddrych a ofnir. Yr oedd Moses yn ofni ac yn crynu yn yr olygfa ar Dduw ar Sinai, etto bu naw neu ddeg o weithiau gyd â'r Arglwydd yno.

Unig wrthddrych i'w ofni ydyw Duw. Gorchymynir i ni barchu pawb, caru y frawdoliaeth, anrhydeddu y brenin, ond ofni Duw. Mae efe, yn yr oll ag ydyw, yn ofnadwy. Os mawredd sydd ofnadwy, efe yw y mwyaf. 'Cyfuwch a'r nefoedd ydyw, dyfnach nag uffern; mae ei fesur ef yn hwy na'r ddaear, ac yn lletaeh na'r môr.' Os Holl-bresennoldeb sydd ofnadwy, priodoledd Duw ydyw hyny. Ystyriaeth o hollbresennoldeb Duw a wnaeth i Joseph waeddi 'Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?' Cydnabyddiaeth o holl-bresennoldeb Duw a'n gwna yn wyliadwrus ar ein hagweddau; ac nid mor hawdd fyddai ein hysgogi at bechod pan y byddai efe bob amser ger bron ein hystyriaethau.

Rhaid i ddyn fyned o wydd Duw o ran ystyriaeth cyn y gall fod yn eithaf rhydd i bechu. A pha le y mae hyny? 'Os dringaf i'r nefoedd,' ebe y Salmydd, 'yno yr wyt ti: os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymmerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr, yno hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw.' Wrth hyn y mae yn ymddangos fod ystyriaethau dyn yn wacach o Dduw nag un man arall o'r greadigaeth; o ganlyniad, diffyg ystyriaeth sydd yn creu rhyddid i gyflawni pechodau. 'Ac nid ydynt yn dyfod i'r goleuni fel yr argyhoeddir eu gweithredoedd hwynt.'

Os Holl-wybodaeth sydd ofnadwy, nid oes neb ond Duw felly. 'Pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w olygon ef.' Efe a 'adwaen ein heisteddiad a'n cyfodiad, deall y mae ein meddwl o bell, amgylchu y mae ein llwybr a'n gorweddfa, hysbys ydyw yn ein holl ffyrdd.' Nid oes meddwl yn y galon, na gair ar y tafod, nad yw yn ber-

ffaith wybyddus iddo. 'Y nos ni thywylla rhagddo; yr un ffunud iddo ef yw y goleuni a'r tywyllwch.' Nid oes ond calon yr anghredadyn a ofyn, 'Pa fodd y gwyr Duw? a oes gwybodaeth gan y Goruchaf?'

Os cyfiawnder a sancteiddrwydd sydd ofnadwy, yn Nuw y gwelir yr oll yn dragywyddol ogyfuwch. 'Gogoneddus ydyw mewn sancteiddrwydd, ofnadwy mewn moliant, ac yn gwneuthur rhyfeddodau.'

Yr olygfa ar Dduw yn mawredd ei hanfod, a'i berffeithiau, a wna i bawb ofni ryw ddiwrnod. Eithr nid oes dim ond ei weled yn yr oll o'r perffeithiau hyn yn 'raslawn' a grea yn yr enaid 'barchedig ofn.' Daioni Duw a ddylai 'dywys dynion i edifeirwch.'

Ei ofni fel tad, nid fel barnwr. Ofni ei ddigio, yn fwy nag ofni ei ddyrnod, yw ei ofni mewn agwedd addoladwy. Y mae y cythraul yn uffern yn ei ofni a'i gablu. Mae y saint yn y nefoedd yn ei ofni ac yn ei addoli. Y mae y naill yn ei ofni a'i gablu, a'r lleill yn ei ofni a'i foliannu. Mae un yn ofni ac yn ymddyrchafu, a r llall yn ofni ac yn plygu.

A wyddost beth yw ofni Duw nes ydwyt yn cilio oddiwrth ddrygioni: ei ofni nes ffoi rhagot dy hun i ymguddio yn Nuw y gwirionedd. Ofn ei ddigio yn fwy na dim arall oedd ar Abraham: 'O! na ddigied fy Arglwydd os llefaraf.' Cadwed y nefoedd ynot gydwybod dyner, fel na fyddot yn rhuthro yn anystyriol at gyssegredig bethau Duw.

Os byddi yn ofni Duw bydd dy enaid yn ymarfer â holl ordinhadau yr efengyl gyd â'r gwylder perthynol iddynt. Edrych ar Abraham, gyd â'r fath ostyngeiddrwydd y byddai yn gweddio. 'Mi yn llwch ac yn lludw.' Gwel Moses yn dattod ei esgidiau yn ewyllysgar i edrych ar y weledigaeth fawr. Yr offeiriaid hefyd sydd yn ymolchi ac ymbarotoi, i ymwneud âg ordinhadau tŷ yr Arglwydd. Dafydd yntau sy'n golchi ei ddwylaw mewn diniweidrwydd cyn amgylchynu yr allor.

Os llywodraethir dy enaid gan ofn Duw byddi yn wyliadwrus yn dy holl ymwneud âg ordinhadau yr efengyl. Cofus genym glywed llawer yn gweddio yn debyg i bechaduriaid gynt; eithr nid oes dim i'w ddywedyd yn awr ond eu bod yn gweddio fel blaenoriaid.

Bydd llawer o orchwylion yn yr eglwys ag y bydd raid i ti osod dy law wrthynt, megis ymaflyd yn y wialen i geryddu, ac yn wir tori aelod i bant weithiau. Gorchwylion eithaf pwysig ydynt i'r neb sydd yn ystyried. Os byddi yn gallu gwneud hyn heb grynu, a gweddio llawer am feddwl yr Arglwydd, nis gwn beth i'w ddweyd am danat amgen na'th fod yn galed iawn. Yr wyf yn meddwl y byddai bodau seraphaidd y nefol-fyd yn codi eu dwylaw, ac yn dychrynu, uwch ben yr hyn y bydd ambell flaenor yn ei wneud mor hawdd a myned i'w wely i gysgu.

'Fools rush in where angels fear to tread.'

Dyn hynod o anhywaith yn eglwys Dduw yw yr hwn nad yw yn ei ofni. Mae yn ystyried ei hun yn arglwydd ar gydwybodau a theimladau dynion, pan mewn gwirionedd nad oes ganddo ef, na neb arall, awdurdod ar un o'r ddau, ond mor bell ag y mae ei ddywediadau wedi ei sylfaenu ar air Duw.

Cofia, yn dy holl ymdriniaeth â'r teulu, mai plant â chanddynt Dad yn y nef ydynt; a thi a wyddost, i ryw radd, beth yw teimladau tad. Byddai yn dda i ti gadw hyny yn barhaus yn dy gôf, fod pob ymwneud anghristionogol âg un o'r rhai bychain hyn yn gyffyrddiad â chanwyll ei lygaid ef. Nid ydyw yn beth annhebyg fod yr Arglwydd wedi rhoi blaenoriaid anghymmwys i'w eglwys mewn ffordd o gerydd am ryw feiau, fe allai yn y dewisiad o honynt.

Nid da, mewn amgylchiad fel hyn, yw bod yn rhy fyrbwyll, oblegid matter a ddylai gael ei ystyried yn ddwys iawn ydyw. Gweddio ar i Dduw ddangos a nodi un cymmwys at y gorchwyl a ddylai fod yn ymarferiad cyson yn yr eglwys cyn y dewisiad; ac, am a wn i, fe ddylai Cyfarfodydd neillduol, yn mhlith yr aelodau eu hunain, gael eu cynnal i weddio am i'r Arglwydd roddi bugail iddynt, ac nid blaidd.

Y mae balchder ambell gangen eglwys yn peri rhyw waedd am neillduo blaenoriaid i gael myned ar ei phen ei hun. Mae balchder yn trochi cant. Nid ydyw yn dawel fod mewn cysylltiad a'r lle hyn a'r lle. a than lywodraeth blaenoriaid o eglwys arall, &c. Y mae am fyned yn ol ffasiwn y wlad, pob teulu ar ei ben ei hun, a phob un drosto ei hun. Rhyw beth tebyg i hyn oedd ar Israel pan oedd pob peth yn annigonol i'w llonyddu nes cael brenin, 'Gosod arnom ni frenin i'n barnu megis yr holl genedloedd.' Er i Samuel ddywedyd wrthynt mai er dinystr fyddai hyny. 'Etto y bobl a wrthodasant wrando ar lais Samuel, ac a ddywedasant, Nage, eithr brenin fydd arnom, fel y byddom ninnau hefyd fel yr holl genedloedd; a'n brenin a'n barna ni, efe a â allan hefyd o'n blaen ni, ac efe a ymladd ein rhyfeloedd ni.' Mae dilyn ffasiwn y wlad wedi costio yn ddrud i lawer cyn hyn. Nid fy nyben wrth ddywedyd fel hyn yw dy ddigaloni, ond yn hytrach fel na fyddot uchelfryd, eithr ofna.

Fy nymuniad ar y cwbl yw, i'r Arglwydd dy gadw 'mewn ofn dros amser dy ymdeithiad.'——Yr eiddot, &c.

IORWERTH GWLAD FORGAN.

## SYLW AR ADOLYGIAD Y PARCH. SAMUEL ROBERTS.

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR,—Ychydig a feddyliais, wrth ysgrifenu fy llyfryn bychan ar Natur Eglwys, y buasai yn peri cymaint o gythrwfl yn mhlith fy nghydwladwyr. Y mae dau eisoes wedi ymddangos ar y maes i'w wrthwynebu yn gyhoeddus, a dywedir fod un etto, os nad ychwaneg, yn ddiwyd nos a dydd wrth y gwaith o gyfansoddi attebiad iddo—heb son dim am y lliaws o fan lythyrau sydd yn gwibio trwy bob rhan o'r dalaeth ar yr un achos.

'What great effects from small beginnings spring?'

Am y cyntaf o'r ddau sydd wedi dyfod allan yn barod, sef Mr. Parry, nid oedd genyf, pan ysgrifenais atoch o'r blaen, yr un fantais i farnu ond trwy gyfrwng ei lythyr ef ei hun; ac nid wyf etto yn gwybod dim am dano ond sydd yn mhob ystyr yn ganmoladwy. Y mae yr ail, sef Mr. Roberts, yn adnabyddus, debygwyf, i'r rhan fwyaf o ddarllenwyr y Drysorfa, drwy hanes o leiaf, fel dyn hynaws a thirion, ac fel Gweinidog defnyddiol, 'teilwng o barch dauddyblyg.'

Mewn perthynas i'w lyfr, y mae ynddo lawer o Sylwadau rhagorol yn erbyn Pabyddiaeth, yn erbyn gorfodaeth, ac yn erbyn difeddiannu, carcharu, a llosgi dynion oblegid eu crefydd. A gadawaf y rhai sydd yn amddiffyn y cyfryw bethau i'w atteb os byddant yn dewis. Ond nid oes angen hysbysu fy mharchedig gyfaill o Lanbrynmair fod rhyw radd o wahaniaeth rhwng y grefydd Babaidd a chrefydd Luther a Chalfin; rhwng esgobyddiaeth a henaduriaeth; rhwng cyfundeb gorfodol a chyfundeb gwirfoddol; ac nad yw son am ddrygau y naill ochr yn ddigon i brofi anghyfreithlondeb y llall. Yr un mor briodol fyddai i minnau ddyweyd mai y diafol oedd yr Annibynwr cyntaf, a dwyn yn mlaen yr holl ddrwg a wnaethpwyd ganddo erioed fel rheswm yn erbyn annibyniaeth.

Mewn perthynas i ysbryd y gwaith yr wyf yn gwybod nas gallaf ddywedyd dim a rydd foddlonrwydd i bawb. Y mae yn ddiammau y bydd ein brodyr Annibynol yn edrych arno fel darlun perffaith o dymher efengylaidd. Y mae yn naturiol iddynt feddwl felly. Ond nis gellir dysgwyl na fydd gwahaniaeth barn am hyn fel am bob peth arall. Gan hyny, fel y dywedai hen wr duwiol ag sydd yn gofus gan lawer o drigolion y Bala, 'Os gwelwch chwi yn dda, Syr, ni a adawn y matter yma yn y fan yna.' Digon tebyg y bydd llawer yn digio y tro hwn etto, fel y tro o'r blaen, eisieu i mi ddweyd mai dyma y llyfr mwyaf 'boneddigaidd' a ysgrifenwyd erioed. Wele, gadawer iddo fod felly o'm rhan i: nid wyf yn meddwl myned i'r drafferth o ddadleu â neb o barthed i'w ysbryd na'i gorph.

Y mae yn amlwg mai gorchwyl anorphen fyddai cyfansoddi atteb am atteb i bob awdwr a deimlo duedd i'm gwrthwynebu; ac o ganlyniad nid wyf yn bwriadu dechreu. Ond gan nad oeddwn yn amcanu fy llyfryn fel traethawd manwl ar undeb eglwysig, a chan fod angen am ryw beth o'r fath, teimlaf weithiau ryw gymhelliad i ymgynnyg at hyny, nid er mwyn atteb neb, na chyda golwg ar neb yn neillduol, ond 'er lles y dynol deulu' yn gyffredinol. Ymdrechaf ei ysgrifenu yn gymwys yn yr un dull a phe na buasai Mr. R. na'i lyfr wedi dyfod erioed i fod. Ond nis gadawir yr un *rheswm* sydd wedi ymddangos, hyd y byddaf yn gwybod am dano, yn Gymraeg na Saesnaeg, yn erbyn henaduriaeth, heb ryw ymgais i'w atteb. Felly, pa beth bynag sydd yn perthyn i'r matter ceir cyfle i ymdrin âg ef y pryd hyny. Ond gan fod Mr. R. wedi camddeall, a thrwy hyny yn anfwriadol wedi camddarlunio, amryw bethau perthynol i'm llyfryn ac i drefn y Methodistiaid Calfinaidd, goddefer i mi ychwanegu ychydig etto mewn ffordd o eglurhad.

1. Nid oeddwn yn ei fwriadu fel ymosodiad ar neb; ac nid oeddwn yn tybied fod ynddo ddim nas gallai yr Annibynwyr gydfyned âg ef, oddieithr fod rhyw weddillion o honynt yn para i ddal i fynu egwyddorion y Browniaid. Yr wyf yn eithaf sicr nad oes ynddo ddim o bwys yn groes i syniadau y Dr. Owen, a'r hen Buritaniaid. Gweler '*The true nature of a Gospel Church*,' llyfr a ysgrifenwyd gan Dr. O. ychydig cyn ei farwolaeth. Yr wyf mor sicr hefyd nad oes ynddo ddim yn wrthwynebol i'r cyffredinolrwydd o gynnulleidfawyr yr oes hon. Dywedai un o'i Gweinidogion mwyaf cyfrifol, mewn cyfarfod cyhoeddus yn ddiweddar yn Llundain, gerbron gwydd cannoedd o'i frodyr, nad oes dim gwahaniaeth canfyddadwy rhyngddynt hwy yn Lloegr a'r *Seceders* yn Scotland; ac os felly nid oes dim gwahaniaeth rhyngddynt a'r Methodistiaid yn Nghymru. Gweler hanes y Cyfarfod i uno yr *Home Missionary Society* a'r *Congregational Union*.

2. Beiir fi am grybwyll fy mod wedi ychwanegu at yr hyn a draddodwyd yn y Gymdeithasfa. Gellid casglu oddiwrth hyn y dylaswn broffesu fod y *cwbl* yn cael ei gyhoeddi ar gais fy mrodyr, yr hyn ni fuasai wirionedd. O ran fy mod yn attebol i'r Gymdeithasfa, nid wyf yn ystyried fod gan holl gyfundeb y Trefnyddion fwy o awdurdod arnaf nag sydd gan eglwys annibynol ar ei Gweinidog.

3. Gan fy mod yn dygwydd son am Gymdeithasfaoedd cymeraf y cyfle i sylwi fod rhyw beth hynod o ddigrif yn syniadau rhai o'r Annibynwyr mewn perthynas i'w hawdurdod. Rhoddir ar ddeall fod aelodau y Trefnyddion wedi rhwymo eu hunain,

draed a dwylaw, dan lywodraeth rhyw nifer hunan-ddewisedig o orthrymwyr nes y delo angau i'w rhyddhau. Y mae amryw yn dweyd felly, gan hyny yn ol barn cariad dylem feddwl eu bod yn credu felly. Ond y gwirionedd yw, y gall y neb a fyno ymadael pan y myno; ac ar ol ymadael ni fydd wedi hyny ond ar yr un tir ag Annibynwr. 'Ië,' medd rhyw un, 'ond *beth pe bai* ganddynt awdurdod, oni chosbent bawb a gynnygiai ymadael?' Y mae yn rhaid addef fod hwn yn holiad anhawdd ei atteb. '*Beth pe bai* yma ddrychiolaeth?' meddai rhyw ddyn ofnus unwaith, gan grynu fel yr aethnen. '*Beth pe bai* gallu gan yr Annibynwyr?' meddai Gathercole, 'hwy a gymerent holl ddegwm y deyrnas iddynt eu hunain.'

4. Y mae mwy nag ychydig o gamddarluniad wedi ei arfer o bryd i bryd ynghylch y *Constitutional Deed:* ac y mae yn ddrwg genyf fod Mr. R. nid o falais yr wyf yn gwybod, wedi syrthio i'r un llwybr. Nid oes ynddi yr un gair yn erbyn dadleuaeth, hyd yn nod ar byuciau mwyaf pwysig ein 'Cyffes Ffydd,' yn mhob man ond mewn Cymdeithasfaoedd. Pe bernid hyny yn ddoethineb gellid galw cyfarfod cyffredinol i ddadleu *pro and con.* Ond nis goddefir hyny yn ein Cymdeithasfaoedd, oblegid nid i'r cyfryw ddyben y bwriadwyd hwynt. Ac yn mhellach, nid oes neb yn rhwystro yr holl gyfundeb i newid ar unwaith os byddant yn dewis y fory nesaf; ond ni fyddent mwyach yn Fethodistiaid Calfinaidd. Ond y mae yn amlwg y dylent adael eu capelau i'r dybenion at ba rai yr adeiladwyd hwynt. Beth bynag yw yr arferiad yn Llanbrynmair, nid yw y Methodistiaid yn credu y byddai yn deg nac yn gyfiawn fod meddiannau a gyfrenir i ryw ddybenion neillduol yn cael eu defnyddio i ddybenion eraill. Er hyny, tra fyddo yr holl *feddiant sefydlog* yn y deyrnas yn cael ei gadw fel y mae, heb gyffwrdd ag ef, y maent yn credu, neu o leiaf yn gobeithio, na fydd holl gyfoeth y byd wedi darfod erbyn yr oes nesaf; a pha bryd bynag y daw y cyfnewidiad cyffredinol y soniwyd am dano, neu pa bryd bynag y cyfnewidia rhyw nifer o honynt fel nas gallant broffesu yr athrawiaeth, i bregethu pa un yr adeiladwyd yr addoldai presennol, y maent yn llwyr-fwriadu defnyddio rhyw ran o'r cyfoeth a fydd ganddynt, neu a gyfrenir iddynt, y pryd hyny i gynnal eu hegwyddorion. Yn awr, am y *Deed* rag-grybwylledig, nid oes iddi nac ynddi yr un bwriad, ac nis gall fod o honi yr un effaith, ond diogelu y meddiannau hyn i'w dybenion priodol. Dyma 'weithred' a gwirionedd y Methodistiaid Calfinaidd. Bellach, gadawer i ni edrych pa fodd y mae pethau yn bod gyda'r Annibynwyr. Ni fuaswn yn cyffwrdd â hyny, oni bai fod Mr. R. wedi myned oddiwrth y pwngc i sylwi ar y *Deed,* ac os bydd y wlad ar ol hyn yn fwy diog nag ydyw i adeiladu capelau Annibynol, nid arnaf fi y mae y bai.

Nid yw yn eithaf diamheuol pwy sydd yn perchen eu capelau hwy, pa un ai yr Ymddiriedolwyr ai y Gweinidogion. Os yr Ymddiriedolwyr, yna gallant droi ymaith y Gweinidog a'r Eglwys pan fynont. Ond yn ol y penderfyniad diweddaf a gymerodd le ar yr achos, ymddengys fod pob capel yn eiddo i'r Gweinidog, ac nas gall yr Eglwys na'r Ymddiriedolwyr ei droi oddi yno tra fyddo ar y ddaear, beth bynag a bregetho, a pha mor wael bynag yr elo; oddieithr iddynt fedru ei brofi mewn llys gwladol yn euog o gam-fucheddiad neu heresi; a rhaid gadael i'r llys gwladol benderfynu pa beth sydd yn gam-fucheddiad a pha beth sydd yn heresi. Son am gynyddu mewn gwybodaeth! Pe bai eglwys Annibynol yn cynyddu fel cicaion Jona, y mae yn rhaid iddi ymfoddloni ar yr un Gweinidog trwy y blynyddau, nes y symudir ef i fyd arall. Ac nid hyny yn unig, ond nis gallant gael neb arall i roddi cymaint ag un bregeth iddynt oni fydd y Gweinidog yn dewis. Pell ydwyf oddiwrth haeru fod neb o Weinidogion parchus yr Annibynwyr mor ddigydwybod ag yr elai i drawsfeddiannu y capelau, nac ychwaith i ymgyfreithio am danynt: ond y mae yn burion i'r eglwysi ddeall yn mha gyflwr y maent, fel y byddont yn ofalus i bwy y maent yn rhoi eu meddiannau i fod yn eiddo personol tra fyddo y Gweinidog ei hun yn dewis. Os dywedir mai bai y gyfraith wladol yw yr achos o'r holl ddyryswch, gellir atteb fod yr un achos, os yw yn bod, yn effeithio hefyd arnom ninnau. Matter peryglus yw hwn i'r Annibynwyr, ac ni fuaswn yn yngan gair yn ei gylch, oni bai fy mod yn gorfod gwneuthur hyny i ddangos yr angenrheidrwydd am ryw drefn gyffelyb i eiddo y Methodistiaid.

Ac yn awr, wrth adael y tir anhyfryd hwn, pe dewisem arfer geiriau caledion buasai yn hawdd i ni gael digonedd o honynt yn union at y pwrpas, allan o ysgrifeniadau ein gwrthwynebwyr; megis 'caethiwed,' 'edryched yr eglwysi ati,' 'Pab o Rufain,' &c. 'Ond nid felly y dysgasom Grist, os bu i ni hefyd ei ddysgu ef.'

5. Y mae yn drueni gweled fy mharchedig gyfaill yn gwastraffu cynifer o resymau da, trwy ddadleu cymaint yn erbyn arferion a daliadau nad oes neb o'r Henaduriaethwyr yn eu hamddiffyn. Nid wyf yn deall fod un o honynt yn gwadu nad yw cynulleidfa sydd yn proffesu Cristionogaeth yn eglwys Gristionogol; ac nid wyf yn cofio fod un ysgrifenwr heblaw ychydig o'r Bedyddwyr, ynghyd a Dr. Williams, o Rotherham, yr hwn oedd Annibynwr, yn gofyn ychwaneg nag arwyddion duwioldeb i roddi hawl i aelodaeth eglwysig. Er hyny yr ydym yn barnu ei bod yn ddyledswydd ys-

grythyrol ar swyddogion yr eglwysi i gydgyfarfod mewn Cymdeithasfaoedd er mwyn cydymgynghori a chydweithredu gyda golwg ar yr achos sydd dan eu gofal. Ac nid ydym yn gofyn ychwaneg o unoliaeth barn yn aelodau y Cymdeithasfaoedd hyn nag yr oedd Dr. W. yn dadleu drosto mewn aelodau eglwysig.

6. Ymddengys mai un bai dychrynllyd y bum yn euog o hono oedd peidio son am y lliaws oeddynt yn wyddfodol yn y gynadledd yn Jerusalem. Pe buasai pwys yn hyny, nid yw ond yr un peth ag a wnaeth Mr. R. ei hun, pan yr aeth heibio heb gynyg esbonio paham yr oedd yn rhaid i'r apostol Paul fyned i fynu i Jerusalem i ymgynghori â'i frodyr—oddigerth fod cymaint a hyn o wahaniaeth rhyngom, nad oedd neb wedi gofyn fy sylw at y ffaith a ddynoda efe; ond yr oeddwn wedi galw sylw neillduol at y ffaith arall. Er hyny ni chymerwn y byd am ddweud fod fy nghyfaill yn euog o 'ddarnguddiad Jesuitaidd,' &c. &c. Ond gwell genyf beidio coffau llawer o eiriau a ddefnyddir mewn amryw fanau yn y llyfr hwn. Y llwybr mwyaf caredig yw eu gadael i fyned yn ddystaw i dir angof. Yr wyf yn cwbl gredu nad oeddynt yn tarddu o ysbryd anfrawdol, ac mai Mr. R. ei hun, pan oera ychydig, a deimla fwyaf o'u plegid. Y mae rhyw oriau gweiniaid ar bawb: ac yn wir, pe buaswn yn teimlo fy mod ar yr ochr wanaf nis gallaf fod yn sicr na buaswn fy hun yn cael fy llithio i arfer ymadroddion cyffelyb. Nid wyf wrth hyn yn arwyddo nad yr ochr yr wyf yn sefyll drosti yw y wanaf; ond yn unig nad wyf hyd yma yn teimlo felly. Ond i ddyfod at y pwnc: y mae yn wirionedd diymwad na ddarfu i mi grybwyll fod y lliaws wedi dyfod ynghyd i *ymgynghori*; a rheswm da paham, nid yw y Bibl yn dweyd hyny. Iaith yr hanesydd sanctaidd sydd fel hyn; 'A'r apostolion a'r henuriaid a ddaethant ynghyd i edrych am y matter yma.' Fe wyr pob plentyn yn yr Ysgol Sabbothol fod y lliaws yno fel gwrandawyr; ond y mae yn ymddangos i mi nad oeddynt yn dwyn rhan yn y gyflafaredd. Er hyny, os caniateir eu bod, goreu i gyd er mwyn Henaduriaeth. Wrth sylwi ar yr wrthddadl ynghylch ysbrydoliaeth y Gymanfa, dywedais fod yr Henuriaid yn ymgynghori yn gystal a'r Apostolion, a phe buaswn yn medru dweyd yr un peth am y lliaws, y mae yn eglur i bob dyn diduedd mai cryfaf yn y byd fuasai yr ymresymiad. Ond mwy ar hyn etto dro arall.

7. Y mae Mr. R. yn rhoddi i mi fwy o glod nag sydd ddyledus, trwy gymeryd fel meddylddrychau gwreiddiol, rai dyfyniadau a osodais i lawr fel eiddo Isaac Taylor.

8. Yr oeddwn bob amser yn tybied mai yr eglwysi henaduriaethol sydd wedi bod yn fwyaf llwyddiannus; ac mai er pan ymwrthodasant ag Annibyniaeth y mae y Cynulleidfawyr wedi llwyddo fwyaf.

9. Gan fod fy llyfr bychan wedi peri cymaint o gythruddiant i feddyliau ein brodyr caredig yn mhlith yr Annibynwyr, nis gallaf roddi fy ysgrifell o'm llaw heb hysbysu, unwaith etto, nad wyf yn gweled fod ynddo ddim i achosi hyny. Pa fodd bynag, un peth sydd eithaf amlwg, nad wyf, mewn dim a ysgrifenais, wedi rhuthro i'r orsedd i farnu *dybenion* neb. Ond etto, rhag ofn y dichon fod rhyw air neu awgrym wedi dianc ag sydd yn achos cyfiawn o dramgwydd, dymunaf wneuthur fy esgusawd am y cwbl ar unwaith, i arbed y drafferth o ysgrifenu etto. Er hyny, os medrir dangos fy mod wedi gwneyd cam â'r gwirionedd, mewn *ffaith* neu *ymresymiad*, ni chaiff dim fy attal rhag cymeryd y cyfle cyntaf i gydnabod fy mod wedi camgymeryd.——Ydwyf, yr eiddoch,

L. EDWARDS.

---

# BARDDONIAETH.

## PENNILLION

*Ar farwolaeth Mr. John Roberts, o Ddinbych, yr hwn a farw Mawrth* 7, 1840.

CYFOD a deffro, fy Awen orhoffus,
I blethu dy odlau mewn cwynfan galarus;
Paham y mae Dinbych a'i hagwedd mor isel?
Yr ateb yw, Cwympwyd gwr mawr heddyw'n Israel.

Pa beth ydyw'r achos o'r cwynfan a'r wylo?
John Roberts fu farw, mae'n awr yn gorphwyso.
O angeu! ti wnaethost â Dinbych dro chwerw:
Ai gwir y dywediad fod John wedi marw?

'Gwir, gwir y dywediad,' medd pawb o'i gyfeillion,
Y rhai sy'n hiraethu am gyfaill mor ffyddlon:
'Ha,' medd yr heolydd, 'gwirionedd safadwy,
'Ni welir ef mwyach ar hyd'om yn tramwy.'

Ddoe'r oedd ef yn rhodio yn gadarn fawreddig,
Ond heddyw fe ddarfu fel rhosyn gwywedig;
Doe safai mor wrol a derwen gadarnwedd,
Ond heddyw mae'n ddistaw y'ngwaelod y priddfedd.

Fel Lot fe rybuddiai'r anwiriaid oedd anwar,
Dywedai'n ddiwyrni am ddianc i Soar.
Gosododd ei wyneb yn erbyn pob pechod:
Cyhoeddi wnae'n wresog fawr rinwedd y cymmod.

Fel Moses gwas'naethodd ei Arglwydd yn eon,
Ac yn yr holl dŷ bu'n hynod o ffyddlon;
Yn Nuw'r ymddiriedai, tra yma, bob amser,
Ac ato fe redai i ochel cyfyngder.

Yr achos a welodd fel bychan eginyn,
Yn dyfod o'r ddaear ddechreuad y flwyddyn;
Cyn diwedd ei dymhor ei wel'd yn ffrwythlonol
A gafodd---i'w enaid 'r oedd hyn yn hyfrydol.

I'r Ysgol Sabbathol bu'n ffyddlon was diwyd,
Ymdrechai gael dynion i rodio ffyrdd bywyd;
Ar ganol yr Ysgol y gwaeddai 'Distawrwydd,'
'Tawelwch ddilynai ar hyny yn ebrwydd.

Cyfarfod i'r ie'ngctid a gadwai'n wythnosol,
Ac yno cynghorai hwy'n dirion a thadol;
Y cyfryw drwy Ddinbych sy heddyw'n galaru,
Gan ddweyd 'O ein Tad, cawsom weled ei gladdu.'

I'r Eglwys y byddai ei eiriau 'n ddifyrus,
Dyferent o'i enau fel mêl yn dra blasus;
Os byddai rhyw Gristion yn poeni gan ofnau,
Dangosai yn fuan y'mh'le 'r oedd y Meichiau.

Dirwestwr da ydoedd er's llawer o amser,
Yn erbyn hen feddwdod arferodd ei ddewrder;
Erfyniai cyn marw am lwyddiant ar Ddirwest,
Dymunai ef iddi ar feddwdod gael concwest

Efe megis cantor (a chantor da ydoedd)
Ddechreuodd y canu am feithion flynyddoedd;
Ei lais oedd yn uchel a hynod soniarus,
Ar ganol y gân ei Amen fyddai'n felus.

Efe'n ei gystudd fel Cristion fu'n bwyllus.
Ynghanol y tonau 'r oedd e'n amyneddus,
O dan law alluog ei Ior ymostyngai,
Gan ddweyd nad oedd hyn ond peth bach wrth a haeddai.

Fe redodd ei yrfa gan edrych ar Iesu,
Yr ydoedd â'i galon diau yn ei garu;
Ei achos a roddodd i'w Brynwr i'w gadw,
Ac felly ni syflid ei enaid wrth farw.

Rhyw foreu cadd fyned o fyd y gofidiau,
Mae'r awrhon yn canu yn myd y pleserau,
Y'nghwmni ei Iesu y caiff ef hyfrydwch,
Ac yno caiff ddyblu ar gân ei ddiolwch.

Pan yma ni chafodd ond poen a gofidio,
A phechod a Satan o hyd yn ei flino;
Ond adref cadd hedeg mewn gorhoen dangnefedd,
I ddyblu'r gân 'Teilwng yw'r Oen' yn ddi ddiwedd.

Ac yno mae'n gweled hen frodyr o Ddinbych,
Y rhai a gyrhaeddodd o'i flaen at eu gwrthddrych;
Cyd rodient (tra yma) ag ef i dŷ 'r Arglwydd,
Yn awr eu cymdeithas a bery'n dragywydd.*

---

* Yma cyfeirir at John Davies, D. Jones, a John Griffiths, y rhai a fu farw ychydig o'i flaen, wedi bod yn cyd-lafurio âg ef am lawer o flynyddoedd.

Cyfarfu gyfeillion yn llongu a hyfryd,
A miloedd o Gymry y prynwyd eu bywyd;
Y rhai gyd âg ef a gydganant yn Salem,
Mai 'Teilwng yw'r Oen,' heb ball ar eu Hanthem.

Ac yno 'n ddi ddiwedd caiff ganmawl yr Iesu,
Ni dderfydd ei ddiolch am ethol a phrynu,
Yn nghwmni Seraphiaid ynghyd â'r holl seintiau,
A phawb o hil Adda, y cànwyd eu gynau.

Nyni a adawyd, O byddwn yn ddoethion!
Gan gerdded heb wyro ôl traed ein cyfeillion;
Mynwn gael gafael yn y gwr sy'n ymguddfa,
A pheidiwn a gorphwys tu yma i'r noddfa.

SYLWEDYDD.

*Sir Fflint.*

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### YR ACHOS CYMREIG YN DUBLIN.

BARCHEDIG OLYGYDD.—Barnwyf yn angenrheidiol a gweddus hysbysu, trwy gyfrwng eich Cyhoeddiad clodwiw, i'm cyfeillion crefyddol yn y Dywysogaeth, fy mod wedi derbyn y symiau canlynol tu ag at leihau dyled yr Addoldŷ Cymreig, a'r tŷ anneddol cyssylltiedig âg ef, yn Dublin. Teimlaf yn dra diolchgar i chwi, os byddwch mor gareddig, a chyflwyno rhyw gongl o hono i'r perwyl hwnw.

| GOGLEDD. | £ | s. | c |
|---|---|---|---|
| Casgliad Sir Fon ............ | 42 | 7 | 6½ |
| „ Ddinbych ...... | 15 | 15 | 6 |
| O uno Gymanfaoedd y Gogledd trwy law David Roberts, Ysw. Mynydd-y-gof, Bodedern .... | 51 | 0 | 0 |
| Cymun-rodd Edmund Roberts, Ysw. Ucheldre, Caergybi .... | 5 | 0 | 0 |
| DEHEUDIR. | | | |
| Gasgliad Sir Aberteifi ...... | 14 | 0 | 0 |
| Drachefn, trwy law J. Mathews, Ysw. Aberystwyth ........ | 11 | 7 | 6 |
| Casgliad Sir Gaerfyrddin ..... | 20 | 0 | 0 |
| „ Forganwg ......... | 15 | 0 | 0 |
| Rhodd —— Lewis, Ysw. Llandilo Fawr ............... | 5 | 0 | 0 |
| Trwy law —— Watkins, Ysw. dros Sir Frycheiniog ....... | 15 | 7 | 6 |
| Cyfanswm ......... | £194 | 18 | 0½ |

Dywenydd nid bychan genyf fuasai gallu dywedyd wrth fy mrodyr, fel y dywedai Bezaleel ac Aholiab wrth Moses, 'y mae y bobl yn dwyn mwy na digon er gwasanaeth i'r gwaith a orchymynodd yr Arglwydd ei wneuthur:' ond i'r gwrthwyneb, teimlwyf yn ddyledswydd arnaf, dros achos y Gwaredwr, eu hannog gyda thaerineb calon, i 'wneuthur daioni, a chyfranu,' yn ychwanegol at yr achos daionus hwn, gan obeithio y cynnydda 'dydd y pethau bychain' yn bethau mawr; ac na bydd eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd; ond y derbynia llawer Cymro lesHad tragywyddol trwy weinidogaeth y cymmod yn y ddinas hono.

Gan fod dyled o £376 4s. (heblaw y llogau dyledus am y flwyddyn ddiweddaf) yn aros ar yr adeiladau uchod, teimlaf yn rhwymedig, od oes arian mewn llaw gan ryw berson neu bersonau, os anfonant hwy yn ddioed trwy y *North and South Wales Bank*, neu ryw ffordd ddiogel arall.

JOHN ROBERTS,

*Caergybi, Mai* 13, 1840.

### CYMMANFA MANCHESTER.

CYNNALIWYD y Gymmanfa hon yr 17, 18, 19, a'r 20fed o fis Mai diweddaf, yn y drefn ganlynol:—

Nos yr 17eg, am 7 o'r gloch, yn Cooper Street, pregethodd y Parch. W. Roberts, Amlwch, oddiar Job 9. 4.

Am wyth o'r gloch, boreu y 18fed, cynnaliwyd Cyfarfod Pregethwyr a Henuriaid. Am 10, Cyfarfod Eglwysig tra blasus ac adeiladol, yr hwn yn fuan nis anghofir. Ac yn y prydnawn pregethwyd fel y canlyn:—Yn Cooper-street, Parch. J. Roberts, Liverpool, oddiar Esa. 44. 23. a'r Parch. Foulk Evans, Machynlleth, oddiar Esa. 31. 6. Yn Salford, y Parch. Moses Parry, Dinbych, Esa. 53. 12. a'r Parch John Hughes, Pont Robert, 1 Ioan 3. 2. Yn Lees-street, Ancoats, Parch. Edward Williams, Dyffryn, 1 Pedr 2. 6. a'r Parch. William Roberts, Amlwch, Heb. 2. 3. Yn Cooper-street, am 6 o'r gloch, y Parch. Moses Parry, Luc 15. 7. a'r Parch. John Hughes, Zec. 13. 7. Yn Salford, Parch. E. Williams, Heb. 13. 8. a'r Parch. W. Roberts, Ioan 9. 4. Yn Lees-street, Parch. R. Williams, Liverpool,

Diar. 28. 13. a'r Parch. F. Evans, 1 Tim. 1. 15.

Ar y 19eg, am 6 o'r gloch, cynnaliwyd Cyfarfod i'r brodyr i ystyried yr achos yn ei amgylchiadau allanol.

Ar yr 20fed, am 6 o'r gloch y boreu, cadwyd Cyfarfodydd Gweddio yn y tri chapel; ac am 8 Cyfarfodydd Eglwysig yn y tri chapel. Am 10, yn Cooper-street, Parch. E. Williams, Heb. 6. 19. a'r Parch. F. Evans, Phil. 3. 3. Yn Salford, Parch. W. Roberts, Rhuf. 14. 9. a'r Parch. Moses Parry, Rhuf. 8. 17. Yn Lees-street, Parch. J. Roberts, Jer. 44. 4. a'r Parch. J. Hughes, 1 Cor. 6. 13. Yn Cooper-street, am 2, y Parch. M. Parry, Ioan 1. 12. a'r Parch. J. Hughes, Zec. 12. 10. Yn Salford, Parch. John Roberts, Luc 14. 23. a'r Parch. R. Williams, Diar. 28. 13. Yn Lees-street, y Parch. F. Evans, 2 Cor. 4. 3. a'r Parch. W. Roberts, Gal. 6. 14. Yn Cooper-street, am 6, Parch. R. Williams, Ioan 12. 32. a'r Parch. W. Roberts, Rhuf. 14. 9. Yn Salford, Parch. F. Evans, 2 Cor. 11. 2. a'r Parch. J. Hughes, Zech. 13. 7. Yn Lees-street, Parch. E. Williams, Hag. 2. 7. a'r Parch. M. Parry, Esa. 53. 12.

Nos Lun cadwyd Cyfarfod Dirwestol, ac areithiodd y Parch. W. Roberts, ac amryw frodyr cartrefol, yn hynod rymus.

Hon ydoedd y Gymmanfa luosocaf a gawsom yn Manchester o ran gwrandawyr —y capelydd yn llawnion—a'r pregethau yn gryfion. Adroddwyd rhanau helaeth o honynt yn yr Ysgolion Sabbathol, ac yn y Cyfarfodydd Eglwysig. Yr had da a hauwyd yn fuan a darddo. Amen.

*5, St. John's Place.* W. WILLIAMS.

---

CYMDEITHAS DDIRWESTOL GYMREIG LLUNDAIN.

CYNNALIWYD Cymmanfa flynyddol y Gymdeithas uchod ar ddydd Iau, yr 28ain o Mai, yn addoldŷ Cymreig Heol Jewin. Ymgynnullodd yr aelodau a'r cyfeillion yn yr ystafell wrth y capel i yfed tê. Yr oedd y lle yn llawn, a'r olygfa yn hardd a phrydferth iawn; ac nid oedd ond pob sirioldeb a chyfeillgarwch i'w ganfod yn agweddau pawb oedd bresennol.

Am 7 o'r gloch wedi i dyrfa luosog o Gymry a Saeson ymgasglu i'r addoldŷ, dechreuwyd y Cyfarfod cyhoeddus trwy weddi gan y Parch. D. Davies, Guilford-street, a chymmerwyd y gadair gan John Hull, Ysw. cefnogwr enwog i'r achos Dirwestol, ac anerchwyd y cyfarfod mewn modd hyawdl ac effeithiol iawn gan Mr. Baker, Meistri Greig o Leeds, Scott o Preston, a'r enwog Mr. Smith o'r ddinas hon, yn Saesoneg; a chan y Parch. Edward Jones, Aberystwyth, yn Gymraeg. Yr oedd sylw anarferol, a chymmeradwyaeth gyffredinol, yn cael ei dalu gan bawb oedd yn bresennol i'r areithiau. Yr oedd mwy o undeb a chydgordiad i'w weled yn y Gymmanfa hon nag a welwyd braidd yn yr un o'r ddwy a gynnaliwyd o'r blaen, ac arwyddodd amryw yr ardystiad yn galonog ac yn ffyddlon.

Diammeu genym y bydd yn ddywenydd gan ein brodyr yn y dywysogaeth ddeall fod graddau o lwyddiant neu adfywiad ar yr achos da hwn yn bresennol yn ein plith, ac yr ydym yn hyderus y gwelir ef yn myned rhagddo mewn modd teilwng i'r dybenion mawr a phwysig sydd iddo, er cymmaint gwrthwynebiadau a rhwystrau sydd iddo yn y ddinas hon.——Yr eiddoch,

*Llundain.* E. WILLIAMS.

---

CYFARFOD PREGETHU YN Y CARNEDDI, ARFON.

CYNNALIWYD Cyfarfod Pregethu gan y Trefnyddion Calfinaidd yn y Carneddi, Llanllechyd, Arfon, ar y 6, 7, a'r 8fed o fis Mehefin diweddaf, sef dyddiau y Sulgwyn, yn y drefn ganlynol:—

Nos Sadwrn, am 7 o'r gloch, gweddiodd Mr. J. Jones, Capel Dewi, Aberteifi (Efrydydd yn y Bala), a phregethodd Mr. Evan Williams, Pentref uchaf, Arfon (Efrydydd yn y Bala,) oddiar Luc 16. 31. a Mr. John Jones, oddiar Luc 12. 20.

Boreu Sabboth, am 9 o'r gloch, gweddiodd Mr. E. Williams, a phregethodd Mr. John Jones, oddiar Ioan 15. 5, 6. a Mr. E. Williams, oddiar 2 Pedr 3. 9. Am 2 o'r gloch gweddiodd Mr. Evan Williams, a phregethodd oddiar Rhuf. 5. 8. Am 6 o'r gloch gweddiodd Mr. John Jones, a phregethodd Mr. E. Williams, oddiar Ioan 16. 14. a Mr. John Jones, oddiar 2 Thes. 1. 10.

Boreu ddydd Llun, am 8 o'r gloch, cynnaliwyd Cyfarfod Eglwysig, yn mha un yr ymdriniwyd yn rhagorol iawn am Weddio, tan dri o benau. 1. Pa fath ddynion a ddylem fod cyn gweddio. 2. Pa fath agwedd a ddylai fod arnom wrth weddio, o ran corph ac enaid. 3. Pa fodd y dylem fod ar ol gweddio. Am 10, gweddiodd Mr. J. Jones, a phregethodd y Parch. R. Owen, Rhos-tryfan (Nefyn gynt) oddiar Ps. 17. 15. Am 2, gweddiodd Mr. R. Ellis, Ysgoldŷ, a phregethodd y Parch. G Hughes, Edeyrn, oddiar Rhuf. 3. 19. a Mr. J. Jones, oddiar Zec. 3. 9. Am 6 o'r gloch, gweddiodd Mr. Evan Williams, a phregethodd y Parch. G. Hughes, oddiar 1 Pedr 1. 8. a Mr. William Charles, Gwalchmai, Mon, (Efrydydd yn y Bala) oddiar Ps. 36. 7.

Cafwyd hin gysurus, a chynnulleidfa luosog i wrando, a lle i gredu fod yr Arglwydd, yr hwn a bia y gwaith, yn tywallt ei Ysbryd ar ei weision: ac nid hyny yn unig, ond gallaf ddyweyd yn ol pob arwyddion fod eneidiau yn cael lles, a'r Arglwydd ei ogoniant; a gobeithiaf y bydd yr effeithiau daionus hyny yn barhaus ar y gwrandawyr yn gyffredinol, ac nad sed hyn o'n Cyfarfodydd blynyddol byth

D. PRICHARD.

### CYMDEITHASFA CHWARTEROL DINBYCH,

*Mehefin* 10, 11, 12, 1840.

DYDD Mercher, yn yr hwyr, am 6 o'r gloch, gweddiodd Mr. Roger Edwards, y Wyddgrug, a phregethodd y Parch. J. Sherman, o Lundain, yn Saesoneg, ar Col. 1. 18. a'r Parch. J. Elias, ar Eph. 1. 6.

Dydd Iau, ar y maes, yn yr hwyr am 5, gweddiodd y Parch. W. Jones, Sir Gaerfyrddin, a phregethodd y Parch. J. Jones, Sir Aberteifi, ar 1 Pedr 3. 18. ac areithiodd y Parch. J. Elias ar Ddirwest, a phregethodd y Parch. Wm. Roberts, Amlwch, ar Heb. 2. 3.

Dydd Gwener, am 6 y boreu, gweddiodd y Parch. D. Davies, Sir Frycheiniog, a phregethodd y Parch. W. Morris, Llanellin, ar Ioan 1. 12. a'r Parch. D. Meyler, Abergwaun, Sir Benfro, ar 1 Ioan 4. 10. Am 10, gweddiodd Mr. R. Humphreys, Dyffryn, a phregethodd y Parch. T. Elias, Llangamarch, ar Esa. 9. 13. a'r Parch. J. Elias, ar 1 Tim. 2. 13, 14. Am 2, gweddiodd Parch. J. Prytherch, a phregethodd y Parch. L. Edwards, Bala, ar Ioan 3, 7. a'r Parch. J. Sherman, o Lundain, yn Saesoneg, ar Heb. 7, 25. a'r Parch. H. Rees, ar 2 Cor. 5. 21. Am 6, gweddiodd y Parch. R. Davies, Sir Drefaldwyn, a phregethodd y Parch. Rees Phillips, Sir Gaerfyrddin, ar 1 Cor. 1. 22, 23, 24. a'r Parch. Moses Jones, Sir Gaerynarfon, ar Rhuf. 16. 7.

Boreu ddydd Sadwrn, am 6, gweddiodd Mr. H. Gwalchmai, a phregethodd y Parch. L. Morris, Sir Feirionydd, ar Mat. 5. 20. a'r Parch. J. Hughes, Sir Drefaldwyn, ar Zec. 12. 10. J. J. EVANS.

### CYHOEDDIADAU CYLCHYNOL Y TREFYDD.

DYMUNIR ar bob Cyfarfod Misol, cyn gynted ag y penderfynont ar y ddau frawd yn y Weinidogaeth a fyddont i fyned i'r trefydd, Liverpool a Manchester, anfon gair mewn llythyr yn ddioed i'r trefydd hyny i hysbysu pwy fyddant,—yn gyffelyb i hyn:—

"*Mae y ddau frawd hyn* [yma enwer hwynt] *yn bwriadu dyfod i'r Trefydd y mis nesaf.*

A chyfeirier y llythyrau fel hyn, "Mr. J. Lloyd, No. 1, Ray-street, Liverpool;" a "Mr. Robert Morris, Draper, 125, Dean's Gate, Manchester." Par hyn lawer o hwylusdod, ac fe attyl rai pethau gofidus. ——Ydwyf, dros y brodyr yn y ddwy dref uchod, D. WILLIAMS.

*Liverpool*, 30, *Marybone*.

### GWYL DDIRWESTAWL TREUDDYN.

BWRIEDIR cynnal yr Wyl Ddirwestawl hon yn y lle uchod ar ddydd Llun, Gorphenaf 13eg, a dysgwylir y bydd amryw o enwogion yno yn bresennol yn areithio ar yr achos.

IOAN A'I GYFAILL.

### Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi*, Mehefin 11.—Dyg Arglwydd Melbourne y newydd galarus i'r Tŷ fod cynnygiad dychrynllyd wedi ei wneud gan wr i'r fall am lofruddio y Frenines a'i Breninol Briod, ond er mawr syndod fod yr amcan melldigedig wedi ei attal mewn modd rhyfeddol gan ddwyfol ragluniaeth. Cynnygiodd ar fod i Gyfarchiad caredig i gael ei anfon o'r ddau Dŷ at ei Mawrhydi ar yr achlysur. Ac â hyny cytunodd pawb yn unllais. Felly hefyd y cytunwyd yn Nhŷ y Cyffredin. Anfonwyd y Cyfarchiad, a derbyniwyd ateb boddhaol iawn yn ol.

*Ty y Cyffredin*, Mehefin 11.—Dygwyd Ysgrif Arglwydd Stanley i mewn am i'r Tŷ gael ei droi yn Gyfeisteddiad i'w hystyried, bob yn ddarn a darn, cyn ei phasio yn gyfraith. Ysgrif yw hon am wneud rhyw gyfnewidiad yn Nghofrestraeth pleid-leiswyr yn y Werddon. Ac y mae Mr. O'Connell a'i gyfeillion yn cyfrif y bydd y cyfnewidiad hwn yn caethiwo rhyddid y Gwyddelod yn newisiad Aelodau y Senedd yn y Werddon. Cododd Mr. O'Connell ar ei draed, ac a wrthwynebodd yr Ysgrif â'i holl nerth. Crochlefodd a hwtiodd y Toriaid yn erbyn O'Connell, gan grygleisio i geisio boddi sain ei eiriau. Yntau a ddywedodd, pe byddai y *brefiadau bwystfilaidd* yn ddeg cymmaint y byddai iddo ef barhau i wneud a allo i attal yr ysgrif hon ag sydd yn tueddu i gwttogi cymmaint ar freintiau pobl ei wlad. Ar hyn cyfododd cynnwrf drwy y Tŷ, a'r Cadeirydd yn gwaeddi allan 'trefn, trefn!' Weithiau byddai dau neu dri yn siarad ar unwaith. Haerai amryw fod O'Connell yn arfer geiriau anaddas yn y Senedd. Haerai yntau fod yno lawer yn arfer lleisiau mwy anaddas, ie, hollol anaddas i ddynion, ac yn haeddu eu cyffelybu i 'frefiad anifeilaidd.' A buwyd yn hir cyn cael trefn a dystawrwydd yn y Tŷ.

Mehefin 12.—Hysbysodd Arglwydd Palmerston fod yr ymdriniaeth am sefydlu materion masnachol rhwng Brydain a Naples wedi cael ei ddyrysu a'i attal rhag dyfod i ben daionus rhwng y ddwy genedl. Hysbysodd hefyd fod yr ymdriniaeth rhwng Prydain a Ffrainc, yn mherthynas i gau i fynu a gwarchae ar borthladdoedd Buenos Ayres, yn awr ar droed, ac heb orphen ei sefydlu. Darllenwyd Ysgrif Trefn Llywodraeth Canada y drydedd waith, a phasiwyd hi. Ystyriwyd Ysgrifau Toll ar Tobacco, ar Goed, ac ar Wydr. Mae yn rhaid codi tollau ar ryw bethau i wneud i fynu y bwlch a wnaed yn y cyllid trwy y gostyngiad mawr ar Lythyr-doll.

### HANESION TRAMOR.

YR HISPAEN.—Mae y rhyfel cartrefol yn y wlad hon bron ar derfynu. Darfu i'r Penryfelwr dewr a medrus, Espartero, ymroddi i ymosod â'i holl rym yn erbyn Morella, lle

yr oedd nerth mwyaf gweddillion milwyr Don Carlos, o dan y Penciwdod Calbrera, yr olaf o Benciwdodau gwrthryfelgar Ewythr y Frenines, ac efe a'i hennillodd hi ar y 25ain o Fai diweddaf, ac o hyny hyd yr 31ain, pryd y gorphenwyd y goncwest. Cymmerwyd 163 o swyddogion milwraidd, a gwyr arfog, oll dros 3000 o nifer yn garcharorion rhyfel. Dyfethwyd llawer iawn o dai yn y ddinas yn yr ymgyrch hwn, ac yr oedd yr holl drigolion agos wedi ymadael o'r lle cyn diwedd y rhyfel. Parhaodd yr ymosodiad hwn yn boethlyd iawn am dri diwrnod.

## HANESION CARTREFOL.

### CYNNYGIAD ECHRYSLON AM LADD Y FRENINES!

Dydd Mercher, Mehefin 10, fel yr oedd y Frenines, a'i Breninol briod, y Tywysog Albert, oddeutu chwech o'r gloch yn yr hwyr, yn tramwy mewn breninol gerbyd agored yn Llundain, mewn lle a elwir *Constitution Hill*, pan tua chanol y fan rhyw wr ieuanc a saethodd â llaw-ddryll at y Frenines, gyda'r bwriad o'i lladd y mae yn ddiamheuol; a phan fethodd yn ei amcan gyda'r cyntaf fe saethodd un arall ati yn ddioed. Ond trwy diriondeb trugaredd ein Duw llwyr-fethodd yn ei amcan melldigedig y ddau dro hyn, ac ni chafodd y Frenines na'r Tywysog ddim niweid, ond yn unig eu dychrynu.

Cymmerwyd y dyhiryn i fynu yn y fan, ac fe'i hanfonwyd yn ddiogel i Queen-square i gael ei holi. Enw yr adyn ydyw Edward Oxford, genedigol o Birmingham, ac oddeutu dwy-ar bymtheg oed, ac wedi bod yn weinydd cwrw (*pot-boy*) mewn tafarndy yn Llundain, ond y pryd hyn allan o le. Yr oedd cerbyd y Frenines ar y pryd yn myned ar duth lled gyflym heibio, a llawer o edrychwyr oddeutu y fan. Gyrodd y Tywysog yn mlaen ar ol y saethu fel cynt, fel be na buasai wedi clywed dim trwst, na dirnad dim perygl. Ac yn mhen yr awr hwy a ddaethant yn eu hol yn yr un cerbyd, ac ar hyd yr un ffordd, heb ymddangos fod arnynt ddim ofn. Erbyn hyn yr oedd yno gannoedd lawer o bobl oddeutu y ffordd, yn troi eu hetiau o gylch eu penau, ac yn bloeddio, 'Byw fyddo y Frenines,' a'u holl egni, a'r boneddigesau yn chwyfio eu cadachau gwynion yn yr awyr, gan ryfeddu wrth weled y cydmheiriaid breninol mor ddiofn.

Pa beth a allai fod dyben dyn ieuanc fel hyn yn amcanu ac yn ymbarotoi i lofruddio ein tirion a'n rhadlonaf Frenines nis gwyddom. Tebygol iawn yw fod rhyw gymdeithas o bobl ddrwg yn cytuno âg ef, ac yn ei ddodi ar waith. Mae ymchwil manwl iawn yn cael ei wneud yn ei gylch ef. Mae ei fam a'i chwaer yn fyw, ac nid oes iddo frawd, a'i dad sydd wedi marw. Erbyn myned i'r ystafell lle y lletyai yr adyn fe gafwyd yno fwledi, a phowdr, a chleddyf, a galar-we du (*black crape*). Cafwyd yno hefyd bapur yn cynnwys rhestr o enwau aelodau y gymdeithas y perthynai iddi, fe debygid. Enwau ffugiol yw y rhai hyn, cyffelyb i enwau a ddyd rhai ysgrifwyr arnynt eu hunain yn y Drysorfa, &c. sef Oxonian, Hanibal, Ernest, &c. Dywedir hefyd iddynt gael yno lythyr o Hanover; ond fe geir hyd i lawer o bethau yn ei brawf yn y llys gwladol na wyddys ddim am danynt etto, canys hyd yn hyn y mae ei fatter yn dywyll iawn. Yr ydys wedi penderfynu ei brofi ef am Uch fradwriaeth (*High treason*).

Penderfynodd y llywodraeth ar fod i ffurf o Ddiolchiadau gael eu darllen yn holl Eglwysi y deyrnas, ar yr 21ain o Fehefin, am yr amddiffyn a ganiataodd yr Hollalluog Dduw i'n brenines, ac i'r deiliaid dan ei llywodraeth hi, yn wyneb y cynnygiad erchyll hwn am ei dinystrio hi, a dyrysu y llywodraeth.

---

Portread y Parch. John Elias.—Cof genyf eich bod wedi rhoi Hysbysiad am y Portread hwn ar amlen un o'ch Rhifynau diweddaf, a Sylw wedi cael ei wneud arno gan un o'ch Gohebwyr; ond yr oedd yn ddywenydd genyf ei weled wedi ei gwbl orphen, ac hyd ag yr ydwyf fi yn alluog i farnu, yn deilwng o'r ganmoliaeth a roddid iddo. Y mae y gwaith sydd ar y Darlun yn lân ac yn brydferth, ac yn llefaru uchel ganmoliaeth i'r gweithydd o hono. Wrth ei weled yn sefyll yn ei ystum areithyddawl, â llyfr yn ei law chwith, â'i fys rhwng ei ddail, dwg ar gof i'r edrychwr, y mae yn ddiammeu, lawer dyfyniad melus o'i bregethau gwerthfawr; a da genyf feddwl y caiff yr oesau dyfodol ryw ddrychfeddwl, gwell na hanes, o Elias enwog ein hoes ni. Erfyniaf arnoch gyhoeddi hyn fel y gwelo Cyhoeddwr y Darlun mai nad cwbl ddiwerth yn ngolwg ei gydwladwyr oedd ei ymgais i anfarwoli coffadwriaeth y teilwng Mr. Elias. ——*Oddiwrth Ohebydd.*

## MARWOLAETHAU.

Mehefin 5, bu farw, yn 56 mlwydd oed, Mr. R. Humphreys, Masnachwr, Wyddgrug, wedi bod yn aelod hardd gyd â'r Trefnyddion Calfinaidd am amryw flynyddoedd, a chafodd y fraint o fod yn addurn i'w broffes. Gadawodd wraig, a thri mab, a dwy ferch i alaru ar ei ol.—T. Jones.

— 11, bu farw Peter Foulkes Roberts, mab hynaf y Parch. John Foulkes, Abergele, ar ol pedwar diwrnod o gystudd trwm dan y *scarlet fever*. Er prydferthed ei wedd, a mwyned ei dymher, ac er cryfed ei athrylith at ddysgu, &c. gwelodd yr Arglwydd yn well ei gymmeryd ato ei hun yn 5 mlwydd oed, na'i adael yma yn hwy. Tawed cnawd ger ei fron ef.

## GILEAD. 8. 7. 3. (J. R. HENLLAN.)

Ceisiwch wisgoedd y briodas, &c,

Llian main, &c.

### YR HYMN.

*Allan o Gasgliad Mr. M. Davies, tu dal. 273.*

Ceisiwch wisgoedd y briodas,
  Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes euw teilwng arnynt
  Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Llian main, ydyw rhai'n,
Sydd yn cuddio pob rhyw 'staen.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXVI.] AWST, 1840. [LLYFR X.


## Y DIWEDDAR BARCH. JOHN WILLIAMS,

*Cenadwr yn Ynysoedd Môr y De.*

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

RHWYDD yr addefaf, Syr, fy mod wedi cymmeryd gwaith mewn llaw nad wyf fi yn alluog, ac na oddef eich terfynau cynnwys chwithau ychwaith, wneuthur cyfiawnder âg ef, sef ysgrifenu ychydig o hanes y gwr enwog hwnw, y Parch. Mr. Williams; yr hwn, wedi hir flynyddoedd o lafur blin a llwyddiannus yn ngwinllan yr Arglwydd Iesu Grist yn mhelldiroedd Ynysoedd Môr mawr y De, a syrthiodd yn mhlith anwariaid ar finion ynys Erromango, ac o dan eu dwylaw gwaedlyd y diangodd i lonyddwch y Jerusalem uchod, i fwynhau gwobr ei waith, ar feusydd Gwynfa, dros oesau tragywyddoldeb.

Amcenais ar y dechreu eich anerch yn awr a phryd arall â phigion lled helaeth o'r llyfr enwog a ysgrifenodd dan yr enw '*Missionary Enterprises in the South Sea Islands*;' ond gan fod ei deulu galarus wedi ei gyhoeddi eisoes yn Saesneg, ac am i mi glywed hefyd, gyda gradd o sicrwydd, eu bod yn ymbarotoi i'w ddwyn allan mewn diwyg Gymreig, a'i addurno â'r un darluniau celfydd a'r argraffiadau Seisnig, a chan obeithio y cawn gyfieithiad ffyddlon o hono, heb *dalfyriad na chyfnewidiad*, nid amcanwyf ormesu ar eich dalenau ond y waith hon yn unig; a hyny am y gwn mai dywenydd gan lawer o'ch darllenwyr fydd gweled ychwaneg o hanes y Cenadwr llafurus hwn nag sydd eisoes wedi ymddangos.

Y mae rhai ysgrifenwyr yn dywedyd mai Cymro o *genedl* oedd Mr. Williams, ond ei fod wedi ei ddwyn i fynu yn Llundain, o dan ofal a gweinidogaeth y gwr enwog a duwiol hwnw, y Parch. Matthew Wilks, am ba un y mae'n sôn gyd âg anwyldeb mawr yn nhu dal. 41. o'r argraffiad diweddaf o'r llyfr a nodwyd; ac yn mha le hefyd y mae yn rhoddi llythyr oddiwrth y gwr parchedig uchod, yn yr hwn y dangosir fod Mr. W. yn anwyl ac yn serchus iawn ganddo. Ond bydded yn *Gymro* neu beidio, a boed o ba genedl bynag y bo, mae ei zel a'i lafur ar y maes mawr Cenadol wedi teilyngu iddo barch gan bob cenedl ar y ddaear.

Heb ragymadroddi yn hwy, cyfyngaf fy hunan at y tri dosparth canlynol; a sylwir ar bob un o honynt yn ei eiriau ei hun, wedi eu cymmeryd allan o'i lyfr dyddorawl.

§ 1. Y peryglon y bu ynddynt.

§ 2. Yr anfanteision y bu yn llafurio danynt.

§ 3. Y llwyddiant mawr a ddilynodd ei waith.

---

§ 1. *Y peryglon y bu ynddynt.*

Yn y Rhagymadrodd y mae yn sylwi fod ei lyfr yn cynnwys llafur hir flynyddau o gasglu; a'i fod "wedi teithio *can mil o filltiroedd*, a threulio *deunaw mlynedd*, yn y gwaith o ledaenu yr efengyl yn mysg y Paganiaid;" ac yn yr ysbaid hwn y mae wedi bod, yn fynych iawn, fel yn safn marwolaeth ar fôr ac ar dir. A'r waredigaeth gyntaf a goffheir ganddo sy'n y geiriau canlynol:

"Yn fy ail ymweliad â'r Ynys hon [Atiu] bu agos i'm hoes a'm llafur derfynu ar unwaith. Wrth nesau at y lan gwelsom nad oedd y môr yn tori gyda'i nerth arferol, ac o ganlyniad penderfynais lanio yn y cwch. Gwnaethom hyn drwy gryn anhawsdra; ond wrth ddychwelyd, cyn i ni allu cyrhaedd i bellder cyfaddas oddiwrth y lan, daeth ton arall ar ein gwarthaf, a throdd y cwch. Taflwyd y cwch a'r dwylaw tu a'r lan, a minnau, yn anffodus, a syrthiais yr ochr nesaf i'r môr, a'r don wrth ddychwelyd a'm cipiai i bellder mawr oddiwrth y tir, yn mha fan y troid fi o amgylch mewn llyn tro anferth, a suddais i gryn ddyfnder. Pan oeddwn yn o hir dan y dwfr dechreuais ofni na chyfodwn mwy. Ond o'r diwedd llwyddais i ddyfod i'r wyneb, a deallais fod i mi hamdden i gyrhaedd y lan cyn y torai y don arall arni, ac ymegniais i nofio tu ag ati. Ac wrth ganfod fy sefyllfa neidiai dau o'r brodorion i'r môr, a thrwy fod peth amser cyn i'r don fy nal, ynghyd

a'u cynnorthwy hwythau, mi a lwyddais i ddianc oddi arni. Yr oedd y bobl a safent ar y lan yn wylo yn chwerw, gan feddwl fy mod wedi fy ngholli am byth; ac wedi cyrhaedd atynt, ymgasglasant o'm hamgylch, a gwnaethant bob arwydd o'u llawenydd o'm diangfa, trwy gyffwrdd â'm dillad, a chusanu fy nwylaw. A hon yw y chweched waith y gwaredwyd fi rhag cael fy nghladdu mewn dyfrllyd fedd."

Ar arfordir ynys Sapapalii y mae yn coffau am waredigaeth hynod arall a'i cyfarfyddodd. Wedi i Malietoa, hen wr mewn dyddiau, a phenaeth enwog yn yr ynysoedd hyn, ddyfod i fwrdd y llestr, efe a ddywed fod "amgylchiad wedi dygwydd, am ba un ni feddyliais o'r pryd hyny hyd yr awr hon, ond gyda theimladau cymmysg o ddychryn a diolchgarwch.

Yr oedd y brodorion, yn ol arfer y cenedloedd anwaraidd, wedi amgylchu ein llestr, a chyda thwrf a chynnwrf mawr yn dringo dros ystlysau y llong, hyd oni lanwasant hi yn fuan iawn. Cynhyrfodd hyn ryw ofn a braw yn y gwr ieuanc ag oedd genyf yn llywydd ar y llong, ac heb yn wybod i mi efe a lwythodd ddryll pres bychan âg wyth o fwledau, ac a'i rhoddes yn ei le yn ei ol. Yr hen benaeth wrth weled yr arf hwn, a chan dybied y gallai fod o gynnorthwy mawr iddo ef yn ei ymgyrch â'i elynion, a'i tynodd ef i lawr, ac a ddechreuodd ei drin. Efe a'i cododd i fynu, ac a gyfeiriodd ei ffroen tu a'r man lle yr oeddwn i ynddo, ac yr oedd ar dynu yn y glöig *(trigger)* pan y llefodd ein cyfieithydd (John Wright) allan, 'Aroswch! hwyrach fod ergyd ynddo.' A chyda hyn rhedodd y cadben ataf, ac a ddywedodd, 'O Syr, bu agos i chwi a chael eich chwythu yn ddarnau! Pam y gadawech i'r penaeth gyffwrdd a'r dryll? Yr oeddwn newydd ei lwytho âg wyth o fwledau!' Ac fel hyn y'm cadwyd yn ddiangol o beryglon ac angeu, ar fôr ac ar dir, rhai wedi eu llunio yn fy erbyn, ac ereill yn fy nghyfarfod yn ddamweiniol; ond o'r naill a'r llall y bu i Ragluniaeth rasol y nef fy nghadw a'm hamddiffyn."

Cyn terfynu y dosparth hwn coffaf am un tro rhyfedd arall a'i cyfarfyddodd.

Pan oedd yn treulio ychydig ddyddiau gyda Mr. Pitman [Cenadwr yn Rarotonga] yn cydmaru eu cyfieithiadau, yn foreu iawn ar ddydd Sadwrn, yr 21ain o Ragfyr, derbyniodd lythyr oddiwrth Mr. Buzacott, [Cenadwr arall] yn hysbysu fod môr cynhyrfus yn rhedeg i mewn i'r porthladd, ac er nad oedd perygl y pryd hyny, os parhaai y dymhestl i gynnyddu, fod yn fwy na thebyg y byddai i'r llestr dderbyn sarhad nid bychan.

"Ar dderbyniad y llythyr (medd Mr. Williams) cychwynais yn union i Avarua; ac wedi cyrhaedd yno brawychwyd fi yn fawr gan ymddangosiad bygythiawl yr awyrgylch, a chynnwrf mawr y môr." Wedi gwneud pob darpariadau gogyfer a chadw y llestr yn ddiogel ymadawodd o Avarua; ac wrth ymadael trodd ei ben yn ol, i gymmeryd, fel yr ofnai, y cipolwg olaf ar ei lestr, a chanfyddai hi yn cael ei lluchio gan y tonau. Y diwrnod nesaf ydoedd Sabbath, ond i Mr. W. a'i gyfeillion yr oedd yn ddydd o brudd-der a chyfyngdra. Yr oedd y gwynt yn chwythu yn uchel, a'r gwlawogydd yn parhau i ddylifo o'r boreu hyd y nos. Ond er y cwbl cadwasant eu moddion crefyddol fel arferol.

"Yn y prydnawn (medd Mr. W.) dechreuodd y dymhestl drymhau—y coed mawrion yn rhwygo, a'r tai yn dechreu syrthio; yn mhlith pa rai yr oedd lluest-dŷ, yn yr hwn gynt y cedwid yr ysgol, ac yn adfail pa un y claddwyd y cwch goreu a feddwn. Gyda phryderwch mawr yr arosais drwy y dydd am gael llythyr oddiwrth Mr. Buzacott, a chan nad oedd yr un yn dyfod yr oeddym oll yn llettya y gobeithion goreu. Ond yn lle hyny, oddeutu naw o'r gloch, derbyniais lythyr fod y môr wedi codi i uchder mawr, a bod y llestr wedi bod yn curo ar y cerig trwy y dydd, &c. Ac i goroni y newyddion gofidus hyn, y genad a ddywedai fod y môr wedi tori dros y geulan, a chyrhaedd yr ysgoldŷ lle yr oedd hwyliau y llong, y copr, &c. ac os parhaai y dymhestl i gynnyddu fod yr holl Sefydliad mewn perygl.

"Am fod y pellder oddeutu wyth milltir, a'r nos yn dywell ac yn dymhestlog, a'r gwlaw yn ymdywallt, penderfynais aros hyd y boreu. Treuliasom noson ddigwsg ryfeddol---y dymhestl gref yn rhuo---sŵn cynhyrfiol y tonau wrth ymdori yn y tir---bloeddiadau a llefau y brodorion---sŵn tai yn cwympo, a'n tŷ ni ein hunain yn ysgwyd ac yn clecian o dan ffyrnigrwydd y dymhestl, oeddynt nid yn unig yn ddigonol i ladrata ein cwsg oddi arnom, ond i lenwi y galon ddewraf â dychryn a braw.

"Cyn tori y wawr, ar ddydd Llun y

boreu cychwynais tua Avarua, ac fel na byddai i mi gerdded hyd fy ngliniau mewn dwfr am agos i'r holl ffordd, ac i ysgoi y cangenau mawrion oedd yn syrthio, amcenais gymmeryd y llwybr ar hyd lan y môr. Ond pa fodd bynag gorfu arnaf gymmeryd llwybr yn nes i ganol y tir, a thrwy fod yn wyliadwrus iawn am gyfle i redeg rhwng cwympiadau y coed, llwyddais i ddianc heb fy niweidio. Pan oeddwn oddeutu hanner y ffordd cyfarfyddais â rhai o'm gweithwyr, y rhai oeddynt yn dyfod i hysbysu i mi fod dinystr mawr yn cymmeryd lle yn y Sefydliad. Yr oedd y môr wedi rhedeg i fynu i'r ystordŷ, ac ysgubo ymaith yr hyn oll a gynnwysai, a'r llestr wedi ei gyru gan y tonau i dir, a phob ton wrth gilio yn gadael iddi ddisgyn gyda nerth ar y tywod.

"Erbyn i mi gyrhaedd y Sefydliad trwy lawer o beryglon yr oedd yn un olygfa o ddinystr mawr, yr olwg ar ba un a'm llanwai â dychryn a braw---y lle ydoedd ychydig ddyddiau o'r blaen fel gardd baradwysaidd, â rhodfeydd dolenog dan goed cysgodfawr, a bythod prydferth wedi eu gwyngalchu, yn un pentwr o adfail. Y gwragedd yn rhedeg o amgylch â'u babanod yn eu breichiau i ymorol am ddiogelwch, a'r gwyr yn ceisio llusgo eu hychydig eiddo o ganol eu tai syrthiedig. Yr oedd ysgrechfeydd y gwragedd, dolefau y gwyr, cynnwrf cynddeiriogwyllt y tonau, swn y gwlaw yn disgyn, a'r gwynt yn chwibianu, a'r coed yn hollti, yn ein llenwi â rhyw syndod mawryddig ac addoliant.

"Llanwyd fi â llawenydd mawr pan welais y capel yn sefyll; ond gyda hyn daeth corwynt sydyn ac a ruthrodd ar un pen iddo, nes peri i mi gredu fod ei ddinystr yntau yn agos. Yr oedd yr ysgoldŷ newydd yn adfeiliau wrth ei ochr, a thŷ Mr. Buzacott, y Cenadwr, wedi ei rwygo a'i ddidoi, y preswylwyr wedi dianc, ac ychydig frodorion yn ceisio achub yr eiddo. Yn fuan wedi fy nyfodiad yno rhuthrodd ton fawr ar y capel, a gwnaeth ef, a thŷ Mr. Buzacott, yn gydwastad a'r llawr. Ar hyn, daeth gwraig y penaeth at Mrs. Buzacott, ac a'i dygodd i'w thŷ ei hun; ond wedi iddynt gyrhaedd yno, ysgubwyd ymaith y to, a gorfu i'n chwaer drallodedig, a'i thri phlentyn bychain, ymofyn am nodded yn y mynyddoedd. Ac wedi iddynt gerdded dros filldir o ffordd trwy ddwfr dwfn, dychymmygent am orphwysdra mewn bwthyn bychan ar ochr y bryn, ond er eu mawr siomedigaeth yr oedd coeden fawr wedi syrthio arno, a'i chwalu i'r llawr. Ond o'r diwedd cawsant nodded mewn bwthyn bychan gerllaw yn llawn o ffoedigion fel hwythau.

Yr oedd Mr. Buzacott a minnau yn nhŷ un o'r gweision, a'n heiddo a'n llyfrau gyda ni, ac yn ceisio ei ddal i fynu â rhaffau. Wedi i ni ddechreu curo arno barnem mai gwell oedd i ni anfon un neu ddwy o'r cistiau i fynu i'r mynyddoedd, ac arosasom ein hunain, mewn pryderwch ofnus i ddysgwyl y canlyniad. Oddi allan yr oedd y dymhestl nerthol yn rhuo—y gwlaw mawr yn disgyn---y mellt digofus fel rheiedr tân ynghanol y cymylau tywyllion---y daran groch yn clecian yn y ffurfafen---a'r holl ynys yn crynu hyd ei chanolbwynt pan y rhuthrai y tonau ar y traeth, a ninnau mewn dystawrwydd brawychus yn eu canol.

"Ond yn sydyn iawn nesaodd y gwynt rai graddau i'r gorllewin, a llonyddodd y tonau ychydig; a thranoeth yr oedd y cymylau yn dechreu ymwasgaru, a'r haul fel carcharor yn ysbio o'i ddaeargell, ac fel pe buasai am achub y cyfle cyntaf i hysbysu i ni fod Duw heb anghofio ei drugaredd. A chyn gynted ag y gellais anfonais genad i edrych beth a ddaethai o fy llestr fechan, ac er fy nirfawr syndod efe a ddychwelodd â'r newydd o'i bod wedi ei chwythu i lwyn cyfagos, ac heb dderbyn nemor sarhad.

"Erbyn hyn yr oeddwn yn awyddus i ddychwelyd i Ngatangiia am fod Mrs. W. yno, ac am i mi glywed fod y dinystr mor fawr ag yn Avarua. Pan oeddwn oddeutu hanner y ffordd daeth brodor i'm cyfarfod â llythyr ganddo oddiwrth Mrs. W. yn erchi arnaf ddyfod yno yn fuan, am ei bod yn ofni y dilynid ei dychryn â chanlyniadau pwysfawr. Wedi i mi gyrhaedd yno cefais hi a Mrs. Pitman mewn bwthyn newydd bychan o eiddo Pa, penaeth yr ynys, yr hwn oedd yr unig dŷ diddos y'mron yn y fan. Ac yr oeddwn yn wir ddiolchgar nad oedd ofnau Mrs. W. wedi effeithio mor ddwys ag y meddylid ar y cyntaf, ac yr arbedid i ni ein baban.

"Ymddengys iddi gael gwaredigaeth ryfeddol iawn. Yn fuan wedi i mi ymadael canfyddai Mrs. Pitman fod nen y tŷ yn nyddu o dan ffyrnigrwydd y dymhestl, ac archai ar i Mrs. W. godi yn ddioed, a chyda iddi wneuthur hyny daeth corwynt ysgythrawg ac a darawodd wrth un pen i'r tŷ, ac a daflodd y to yn bentwr i'r man y gorweddodd

Mrs. W. arno. Ac wedi amdoi eu hunain yn y gwrthbanau rhedasant i'r awyr agored, tra yr oedd y tŷ yn syrthio, a'r brodorion yn chwilio am ddiddosrwydd iddynt. O'r diwedd dychwelodd un o honynt a dywedai fod tŷ bychan i un o weision Mr. P. yn sefyll, ond erbyn cyrhaedd yno yr oedd coeden wedi syrthio arno a'i chwalu i'r llawr. Ac wedi llawer o beryglon llwyddasant i gael hyd i'r bwthyn hwn.

"Yn y prydnawn cawsom hamdden fechan i yspio o'n cwmpas---ein capelau, a'n tai, a'n hysgoldai wedi eu chwalu i'r llawr; ac adfail oddeutu mil o dai o'n hamgylch; a'n hychydig eiddo wedi ei chwalu gan y gwynt a'r tonau, a hyny ynghanol trigolion ag oedd yn ddiweddar iawn yn hynod am ladrata ac ysbeilio.

"Ond yn y cynnwrf oll yr oedd Duw, yn ol ei arfer, ynghanol barn yn cofio trugaredd; o herwydd pe buasai yr hyrddwynt yn parhau ychydig oriau yn hwy odid na buasai y canlyniadau yn fwy dychrynllyd o lawer."

Nid am na bu Mr. W. mewn cyfyngderau a pheryglon ereill y terfynir y dosparth hwn, ond rhag lladrata gormod ar ddalenau eich cyhoeddiad.

---

§ 2. *Yr anfanteision y bu yn llafurio danynt.*

Nid yn unig yr oedd y maes eang yr oedd Mr. W. yn llafurio arno ag eisieu crefyddoli ei breswylwyr, ond hefyd eu gwareiddio; nid yn unig dysgu iddynt y ffordd i hapusrwydd wedi marw, ond hefyd pa fodd i fyw fel dynion yn meddu rheswm a synwyr yn y byd hwn. Yr oedd eisieu dysgu iddynt ysgrifenu a darllen—a dysgu iddynt waith a chelfyddyd—a dysgu iddynt adnabod y gwir a'r bywiol Dduw.

Yr oedd eisieu dysgu iddynt ysgrifenu a darllen. Gwasanaethed un chwedl fechan yn unig i ddangos eu hanwybodaeth o'r gelfyddyd werthfawr hon, sef hanes y penaeth a'r ysglodyn.

"Yn ynys Rarotonga (medd Mr. W.) aethom i adeiladu capel, a'r dygwyddiad canlynol a rydd ryw ddrychfeddwl am deimladau dynion anwybodus wrth weled ysgrifenu y tro cyntaf. Gan fy mod wedi dyfod un boreugwaith at fy ngwaith heb fy ysgwâr, cymmerais ysglodyn i fynu, ac ysgrifenais arno i ofyn i Mrs. W. ei hanfon i mi gyd â'r genad. Gelwais ar y penaeth ag oedd yn arolygu rhan o'r gwaith, ac a ddywedais wrtho, 'Gyfaill, ewch a hwn i'n tŷ ni, a rhowch ef i Mrs. W.' Yr oedd yn ddyn â rhyw olwg ryfedd arno—wedi colli un llygad yn rhai o'i ryfeloedd gwaedlyd, a chan ddyrchafu y llygad arall, ac edrych yn synedig arnaf, efe a ddywedodd, 'Cymmeryd hwn! hi a'm geilw yn ffwl, ac a'm dwrdia, os cariaf ysglodyn iddi.' 'Na wna,' ebe finnau, 'ewch a fo yn union, yr wyf mewn brys.' Wedi iddo ddeall fy mod yn ddifrifol, efe a ail ymaflodd ynddo, ac a ofynodd 'Beth a raid i mi ei ddweyd?' 'Nid rhaid i chwi ddweyd dim, fe ddywed yr ysglodyn y cwbl sydd arnaf fi ei eisieu.' Gyda golwg synedig a gwawdus efe a ddaliodd yr ysglodyn i fynu, ac a lefodd, 'Pa fodd y gall hwn lefaru? yn mha le y mae ei enau?' Dymunais arno fyn'd yn union, a pheidio siarad mwy yn ei gylch. Wedi cyrhaedd y tŷ, efe a roddes yr ysglodyn i Mrs. W. ac wedi iddi ei ddarllen hi a'i taflodd o'r neilldu ac a aeth i'r gist arfau, a'r penaeth, i weled y dirgelwch rhyfeddol, a'i dilynodd yno. Wedi derbyn yr ysgwâr efe a ofynodd, 'O ferch! pa fodd y gwyddoch chwi mai hon sydd ar Mr. W. ei heisieu?' 'Pam, (ebe hithau) oni ddygasoch chwi ysglodyn i mi?' 'Do,' (meddai y rhyfelwr synedig) ond ni chlywais i ef yn dywedyd yr un gair.' 'Os na chlywsoch chwi ef (ebe hithau) fe wnaeth yn wybyddus i mi beth oedd arno ei eisieu, a'r cwbl sydd genych chwi i'w wneyd ydyw dychwelyd â hwna yn ol cyn gynted ag y galloch.' Gyda hyn neidiai y penaeth allan o'r tŷ, gan gipio y dernyn pren rhyfeddol, a rhedeg drwy y Sefydliad a'r ysglodyn yn un llaw, a'r ysgwâr yn y llall, gan eu dal i fynu hyd ei freichiau, a llefain, 'Gwelwch ddoethineb y Saeson; maent yn gallu gwneud i ysglodion siarad! yn gallu gwneud i ysglodion siarad!' Ac wrth roddi i mi yr ysgwâr rhoddais iddo bob eglurhad a fedrwn ar y pwnc, ond yr oedd wedi ei anhuddo yn y dirgeledigaethau tywyllaf iddo ef, a chrogodd yr ysglodyn am ei wddf, a gwisgodd ef am gryn amser. Y'mhen amryw o ddyddiau wedi hyn gwelsom ef yn sefyll ynghanol tyrfa fawr, yn adrodd iddynt y gwyrthiau a wnaethai yr ysglodyn."

Y meddwl am ddysgu y fath genedloedd a'r rhai'n i ysgrifenu eu hunain, fuasai ar y cyntaf yn ymddangos yn ffolineb mawr; ond trwy lafur a diwydrwydd mawr cafodd Mr. W. weled ei waith wedi llwyddo cymmaint ag i dderbyn llythyrau serchoglawn oddiwrth y brodorion, ac un o ba rai a roddir yn y dosparth nesaf.

Yr oedd eisieu dysgu iddynt waith a chelfyddyd. I brofi eu hanwybodaeth yn hyn nis gallaf roddi ond y byr hanes canlynol.

"Wedi i ni ddysgu llosgi calch o graig gwrel yn Raiatea penderfynasom galchu muriau capel yr ynys hon âg ef hefyd. I'r dyben hyny deisyfasom ar i'r brodorion gario cerig cwrel a changenau coed yno. Wedi rhoddi y cwbl mewn trefn, gorchymynasom iddynt roddi tân yn y coed; a chyn gynted ag y gwelsant y fflamau, dechreuasant lefain, 'O! y mae y tramoriaid hyn yn rhostio cerig! yn rhostio cerig! tyred yr hyrddwynt a chwyth i lawr ein *banana* a'n ffrwythau; nid rhaid i ni ddyoddef gan newyn mwy, y mae y rhai hyn yn ein dysgu i rostio cerig.' Archai yr athrawon iddynt fod yn amyneddus a chaent weled y canlyniad.

"Ar wawr y dydd dranoeth, ymgynnullasant i'r fan, ac erbyn hyn yr oedd y cerig cwrel wedi troi yn fân-lwch hardd; ac yr oeddynt wedi ei hoffi gymmaint fel y gwyn-galchasant eu hetiau a'u gwisgoedd, ac y cerddasant yn ol ac yn mlaen ar hyd y Sefydliad, gan ryfeddu a chanmol eu gilydd. Wedi i'r athrawon gymmysgu ychydig o hono â thywod, a'i daenu ar hyd muriau yr addoldŷ, ac anfon y bobl ymaith hyd oni chaledodd, daethant yno yn foreu y dydd canlynol i'w edrych, ac wedi i rai ei arogli, a'i grafu, ac ereill gymmeryd cerig yn eu dwylaw a'i guro, dechreuasant ddolefain, 'Rhyfeddol! rhyfeddol! y cerig o'r môr, a'r tywod ar ei fin, sydd yn awr yn dyfod yn eiddo gwerthfawr, yn nwylaw y rhai sydd yn addoli y gwir Dduw, ac yn parchu ei Air da.'"

Wrth ddarllen yr hanesyn hwn pwy a all lai na phenderfynu nad o dan anfanteision mawrion yr oedd Mr. W. yn gwynebu ar y gorchwyl o ddysgu i'r Aitutakiaid waith a chelfyddyd.

Yn olaf, yr oedd eisieu dysgu iddynt adnabod y gwir a'r bywiol Dduw. Yr oedd caddug anwybodaeth oesau ar oesau yn gorchuddio Ynysoedd Môr mawr y De; a "thraddodiadau yr henafiaid" wedi eu gwreiddio yn eu calonau yn fabanod, ac fel y gŵydd am y dderwen yn plethu am danynt, ac yn cyd-dyfu â hwynt. Eu duwiau oeddynt mor aml a'r dail, a'u cred ynddynt mor gadarn a'r boncyffion—ac etto yr oedd eisieu dysgu iddynt mai un Duw sydd, ac mai *efe* yw Arglwydd pawb oll.

Heb fanylu ar eu haberthau gwaedlyd, na nifer eu duwiau, na dysgrifiad o honynt, terfynwyf y dosparth hwn gyda nodi tri o lawer o'r duwiau a ymlidwyd gan Mr. W. a'i gyfeillion, ac a gymmerwyd ganddynt yn gaethion rhyfel i Dduw y nefoedd.

"*Te-rongo*, un o'r prif dduwiau, ac a elwir hefyd *Kaitangata*, neu ddynfwytawr. Bernir fod offeiriaid y duw hwn yn cael eu hysbrydoli gan y morgi (*shark*).

"*Tangaroa*, duw mawr gwladol ynys Aitutaki, ac y'mron yr holl ynysoedd cymmydogaethol. Y mae yn dal rhwyd, â pha un y deil eneidiau dynion pan yr hedont o'u cyrph, a chanddo waywffon hefyd, â pha un y lladd efe hwynt.

"*Taau*, â gwyntyll ganddo, &c. duw y taranau. Pan fyddo y daran yn rhuo fe ddywed y brodorion fod hwn yn hedeg, ac yn creu y swn ag ysgydwad ei adenydd."

Dyna fyr ddysgrifiad o'r cestyll cryfion ar dyrau pa rai y gosododd Mr. W. fanerau Calfaria i chwareu yn yr awelon, ac yr ennillodd addurniadau Paganaeth yn ysbail y groes.

[*Hyd yma y gallasom roddi llythyr ein Gohebydd i mewn, ac o herwydd ei feithder ef a gohebiaethau ereill rhaid i ni adael y rhelyw hyd y Rhifyn nesaf.*—GOL.]

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA DINBYCH.

Mehefin 10, 11, a 12, 1840.

CADEIRYDD.—Y PARCH. JOHN ELIAS.

CYFARFU y Gweinidogion a Chynnrychiolwyr y Siroedd am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mercher, Mehefin 10, ac am 8 o'r gloch bore dydd Iau, i ragolygu a threfnu y materion oedd i fod dan sylw y Gymdeithasfa.

Am 7 o'r gloch nos Iau, cynnaliwyd Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol. Rhoddwyd yno adroddiad o weithrediadau y Genadaeth am y flwyddyn ddiweddaf, a derbyniwyd symiau a gasglwyd mewn amrywiol leoedd ati. Ymddengys y cyfrifon, &c. yn *Y Drysorfa*.

*Cyfarfod y Pregethwyr, am 10 o'r gloch bore dydd Iau.*

1. Dywedwyd am yr angenrheidrwydd o grefydd bersonol i Bregethwyr y Gair, fel y byddo iddynt oddiar brofiad calon o wirioneddau Duw, eu hegluro a'u hargymhell i eraill.

Y dyn a welodd ei gyflwr colledig ei hun, yw yr addasaf i ddywedyd am hyny wrth eraill. Pa fodd y gall un ddweyd yn deimladol ac effeithiol am gyflwr dyn o dan y cwymp, ac efe heb

weled erioed ei gyflwr ei hun? Pa fodd y gall ddweyd am argyhoeddiad o bechod, ac am farw i'r ddeddf, heb brofi erioed beth ydyw hyny? Pa fodd y gall yr hwn na welodd werth a gogoniant Crist, wahodd eraill yn ddiragrith ato? Y mae y fath bregethwr fel epa, yn dynwared peth. Gwatworwr ydyw o flaen gorsedd Duw, ac yn mysg gwatworwyr y bydd ei le yn y dydd a ddaw.

Gofynwyd, pa faint o honom ni, bregethwyr, sydd yn meddu, o leiaf ar amserau, sicrwydd fod ein mater rhyngom â Duw yn dda? Pa faint a wyddom am gysur crefydd, am orfoledd yr iachawdwriaeth? Y mae yn annhraethol dlawd ar bregethwr, os na wyr weithiau am gymdeithasu â Duw gyda golwg ar ei achos personol a'i swydd weinidogaethol; os nad yw yn cael dyfodfa at Dduw, gyda neges ganddo, yn ei herwydd ei hun a'i wrandawyr. Yr oedd Ioan y Duwinydd yn gallu dweyd yn ddibetrus am dano ei hun a'i frodyr, 'Ein cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad, a chyda'i Fab ef, Iesu Grist.

2. Rhoddwyd amryw gyfarwyddiadau a gocheliadau yngbylch pregethiad ffyddlawn o'r efengyl, neu pa fodd i iawn-gyfranu gair y gwirionedd.

Yr oedd rhai o'r hen frodyr yn ofni fod pethau hanfodol i athrawiaeth yr efengyl yn colli yn ein mysg; megys yr athrawiaeth am gyfiawnder cyfrifol. Yr oedd Luther yn dweyd fod yr Eglwys yn sefyll neu yn syrthio gyda yr athrawiaeth hon. Yr athrawiaeth am ailenedigaeth a gwaith yr Ysbryd Glan hefyd; mae yr oll yn myned yn chwilfriw os collir hyn.

Sylwyd fod y cysylltiad agosaf rhwng profiad a gweinidogaeth. 'Credais, am hyny y llefarais.' Pa fodd y medrwn dewi a son am yr hyn y dangosir dyn yn nrych y gair, os ydym yn arfer gweled ein hunain felly? Pa fodd y medrwn fod yn ddystaw am gyfiawnder Crist, os cawsom ein bywyd ynddo ein hunain? A pha fodd y gallwn beidio llefaru am gyfnewidiad grasol yr adenedigaeth, os profasom ef yn bersonol? Dylem roddi y lle blaenaf i wirioneddau sylfaenol yr efengyl. Mae yn resyn i un bregeth fyned heibio heb i bechadur glywed ynddi am y ffordd i gadw ei fywyd. Dylai pregethwr bregethu pob pregeth fel pe byddai hono yr olaf iddo ef, ac i'w wrandawwyr. Mae yn berygl i ni feithrin rhyw gau ledneisrwydd, a chadw draw wirioneddau angenrheidiol, oddiar ofn bod yn rhy *blain* wrth bregethu'r gair: gwyliwn rhag i'n meddyliau gael eu llygru oddiwrth y symlrwydd sydd yn Nghrist.

Gofynwyd i un o'r hen frodyr henaf yn ein mysg i ddweyd ei feddwl ar y pethau hyn; ac efe a dystiodd fod yr athrawiaeth a dderbyniasai yn nghychwyniad ei yrfa grefyddol, ac a bregethasai trwy ei oes, yn dal yn ei chadernid a'i chysur i'w feddwl. Dywedodd y bydd yn ei deimlo ei hun yn mron myned i neidio wrth glywed am gyfrifiad o gyfiawnder y Meichiau i bechadur colledig, ac am olchiad yr adenedigaeth; ac yr oedd arno arswyd rhag i'r pethau hyn fyned ar goll genym. Yr oedd yn ofni fod gormod o ymgeisio am ymadroddion i foddio y glust, a rhy fach o lafur am bethau sylweddol yr athrawiaeth iachus. Hen frawd arall a ddywedodd ei fod ef wedi bod ar lan yr afon; wedi bod o ran ei feddwl a'i gorph yn ymyl angeu, a chael ei adferu eto, am ronyn; a'i fod yn sicr gredu nad oedd eisiau newid dim o'r athrawiaeth a gyffesir genym tuag at fyw na marw; yr oedd yn dda ganddo am Grist o'r blaen, ond yr oedd yn well ganddo am dano yn awr nag erioed; nid oedd ganddo ddim i bwyso arno ond y maen a sylfaenodd Duw yn Sion.

Sylwyd y dylem, mewn pyngciau cred, gymeryd ein harwain yn gwbl gan dystiolaeth Duw yn yr Ysgrythyrau, a gosod ein rheswm a'n barn yn ddarostyngedig iddi. Gellir dywedyd fod rhai yn siarad yn ddireswm yn nghylch rheswm; gosodant reswm ar y frawdle yn farnwr, a rhoddant eiriau Duw ar lawr o flaen ei faingc. Dylai meddwl dyn ymostwng yn gwbl i feddwl Duw. Mae yn rhaid fod holl wirioneddau y Datguddiad Dwyfol yn berffaith gyson, er na byddwn ni yn gallu gweled pa fodd y maent felly. Mae yn bur rhesymol i ni, y rhai ni fedrwn ein hamgyffred ein hunain, gredu fod y tri Pherson yn Nuw yn bod uwchlaw i ni eu hamgyffred. Mae yn ddigon i ni mai y Duw sydd yn ei amgyffred ei hun, sydd yn llefaru am dano ei hun. Bywyd ffydd yw holl fywyd y Cristion; a pheth yw ffydd ond derbyn tystiolaeth Duw, ac ymddiried ynddo ef, ac nid yn ein deall ein hun? Dylid yn gyntaf dderbyn meddwl Duw yn gyfangwbl fel y mae yn y gair; wedi hyny, mae yn addas i ni roddi holl alluoedd natur ar waith i ddeall y meddwl hwnw. Gall dysgeidiaeth a manteision sydd yn ein cyrhaedd fod

yn fuddiol i eangu y deall ar ol i ni sylfaenu y farn; ond gwyliwn rhag gwneuthur ein rheswm yn rheol ein cred; oherwydd mater o ddatguddiad yw gwirionedd yr efengyl. Llefwn am oleuni yr Ysbryd i'n tywys i bob gwirionedd.

Nodwyd mai y gorchymyn sanctaidd yw, 'Pregethu y gair;' mae hwnw yn gadarn yn ei holl ranau, ac yn 'fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder.' 'Pregetha y gair' â'r gair; cydfarnu pethau ysbrydol â phethau ysbrydol: 'Pregetha y gair' i gyd, gan fynegu holl gyngbor Duw. Mae pob cyfeiliornad yn tarddu oddiar olwg unochrog a diffygiol. Ni cheir yr un cyfeiliornad heb ddarn o ryw wirionedd ynddo. Mae dynion yn gweled un ochr i wirionedd yn bur amlwg, ac addefant hwnw yn wresog; ond y maent yn methu gweled yr ochr arall mor amlwg, ac felly hwy a'i gwadant. Mae un yn gweled perthynas neillduol rhwng etholedigaeth a phrynedigaeth yr Eglwys, ac yn gwadu galwedigaeth gyffredinol; mae y llall yn gweled galwedigaeth gyffredinol, ac yn gwadu neillduolrwydd a phen-arglwyddiaeth gras. Mae un yn gweled na wna dyn ddim heb Dduw, ac yn gwadu dyledswydd; mae y llall yn gweled dyledswydd a chyfrifoldeb, ac yn gwadu dylanwad yr Ysbryd. Mae eisiau i ni edrych ar y ddwy ochr gyd â'u gilydd, a rhodio canol y ffordd, heb droi ar y llaw ddeau nac ar y llaw aswy.

Sylwyd nad oes gan etholedigaeth gras, a galwedigaeth yr efengyl ond yr un filwriaeth, a'r un nôd; a than lywyddiaeth dwyfol, cyfarfyddant â'u gilydd yn anffaeledig. Dwyn pechadur at Grist, at sancteiddrwydd, ac i ogoniant yw eu holl duedd. Y mae eisiau pregethu y gwirionedd yn ymarferol. Os â ambell un i bregethu etholedigaeth a phrynedigaeth, rhyw dyrfa tu draw i'r ser fydd ganddo; bydd yn son am rywbeth i rywrai, ond ni bydd ganddo ddim i neb fydd yn ei wrando. Nid dyna iawn bregethu. Pregether y materion mawrion hyn yn eu hawddgarwch a'u gwerth mewn lleoedd na wna dim ond hwy eu hunain y tro; pregether hwy mewn bylchau nad yw pob peth arall ond ysgarthion yn eu lle; dangoser hwy fel drws o ymwared i bechadur, pan yr oedd yn ganedig arno yn mhob man.

3. Annogwyd ni i feithrin brawdgarwch diragrith, ac i ochel pob peth a fyddo yn oeri cariad.

Anhawdd cadw brawdgarwch os ceir pregethwyr yn erlid eu gilydd yn nghefnau eu gilydd. Dylai y naill frawd fod yn barchus o enw a charitor y llall; ac na fydded iddynt ofni eu gilydd, fel ag i beidio cynghori a rhybuddio eu gilydd, pan y bydd hyny yn angenrheidiol. Ni ddylid dweyd am un arall yn ei gefn, ond yr hyn a aller, ac yr ydys barod i'w ddweyd yn ei wyneb. Mae y chwedlau diddiwedd a diafael sydd gan rai, yn tarddu oddiar genfigen a rhagfarn. Os meddylir fod rhyw frawd heb synio neu ymadroddi yn iawn am yr athrawiaeth iachus, ymddyddaner yn gyntaf âg ef yn bersonol; ac arferer pob ymdrech tirion a doeth i'n cael wedi ein 'cyfan-gysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn.'

4. Anerchwyd y Cyfarfod yn Saesonaeg gan y Parch. J. SHERMAN, olynwr y Parch. Rowland Hill, yn Nghapel Surrey, Llundain.

Dywedodd nad oedd yn dysgwyl cael ei alw i anerch y Cyfarfod; ond gan ei fod ef yn gwasanaethu yr un Meistr â'r brodyr oedd yno, byddai arno gywilydd o hono ei hun os na byddai yn barod i roddi ei help i 'gyffroi eu meddwl puraidd,' a'u 'coffâu i ail ennyn dawn Duw, yr hwn oedd ynddynt.' Sylwodd mai yr hyn oedd lwyr anghenrheidiol er llwyddiant y weinidogaeth, oedd duwiolfrydedd bywiog yn y gweinidogion. Y mae argraffiadau dwysion yn cael eu dodi ar feddyliau y gwrandawwyr, pan fo Crist wedi ei argraffu ar galon y pregethwr. Dywedodd fod cryn bryder yn Lloegr am weled llwyddiant mwy ar bregethu; ond nid oedd yn meddwl eu bod eto yn hollol addfed i'r llwyddiant; nid oeddynt yn dwyn digon o Grist a'i ras i'w pregethau. Y mae y pregethwyr Seisonig yn gyffredin wedi myned i gyfansoddi eu pregethau ar ddull traethawd, yn lle defnyddio y dull rhydd ac ymddyddanol yn ymyl y bobl; ac felly yr oedd eneidiau yn cysgu dan eu pregethiad. 'Ai ni ellwch chwi,' meddai, 'godi ychydig o ddynion, i'w hanfon atom ni, i'n *inoculatio* ychydig? Y mae yn gwbl sicr genyf mai dull pregethiadol Howell Harris, Rowlands, a Whitefield, yw y dull o bregethu sydd yn tueddu oreu i ddeffroi pechaduriaid, i ddyrchafu Crist, a meithrin sancteiddrwydd.'

Dywedodd mai y Bibl yw y llyfr o

ba un y mae ein holl bregethau i gael eu tynu. Po fwyaf yr ymlyno pregethwyr wrth y llyfr hwn, grymusaf fydd eu hanerchiadau, ac effeithiolaf fydd eu pregethau; ac os ânt o'r ystafell ddirgel i'r pulpud, ac o'r pulpud i'r ystafell ddirgel, nis gall y cynnulleidfaoedd lai na theimlo. Ond gorchfygu gyda Duw, hwy a orchfygent gyda'r bobl. Ar ol i Micheah weled gwyneb un Brenin yn y dirgel, nid oedd arno ofn gwynebu dau frenin yn y cyhoedd. Os ysgogwn y fraich sydd yn ysgogi y byd, buan yr ysgogem ein gwrandawyr. Bydded genym ffydd yn Nuw, a chawn weled fod yr efengyl yn ein dyddiau ni yn allu Duw er iachawdwriaeth. Ei ragflaenydd, Rowland Hill, a arferai ddywedyd, 'Y mae rhai pobl yn dweyd eu bod yn amddiffyn yr efengyl: y mae hono yn efengyl bur dlawd oni all ei hamddiffyn ei hun.'

Dywedodd ei fod ef ei hun yn dra dyledus i'r Trefnyddion Calfinaidd Cymreig. Yr oedd gweinidogaeth y diweddar Barch. John Rees, wedi bod yn fuddiol iawn iddo yn nghychwyniad ei oes grefyddol, i'w gadarnâu y'ngwirioneddau mawrion yr efengyl, ac i'w ddysgu yn mha le yr oedd grym a bywyd gwir bregethu. Yr oedd yn cofio ei fod yn cael ei ddwyn pan yn blentyn i wrando yr hybarch Jones, o Langan. Nid oedd Mr. Jones yn ddyn mawr ac enwog fel y mynai rhai gael eu galw; ond yr oedd yn weinidog da i Iesu Grist, ac yn cael ei arddel yn fawr ganddo ef. Yr oedd ganddo ffordd hynod i ddenu sylw ei wrandawwyr: nid addurniadau celfyddydol, ond natur yn ei gwisg briodol ei hun oedd ei harddwch; arferai gydmariaethau addas, a gwnai bethau tywyll yn oleu, a'r geirwon yn ffyrdd gwastad. Dylem ninnau fod yr un modd. Deuwn i lawr at y bobl, a thynwn addysg fuddiol oddiwrth bethau o'n hamgylch. Felly y gwnai Crist: oddiar syrthiad tŵr, pregethai edifeirwch; wrth edrych ar yr ŷd, cyfeiriai at y cynhauaf ysbrydol; wrth weled yr adar, defnyddiai hwynt i ddangos rhagluniaeth. Os oes genym ras yn ein calonau, a gweinidogaeth yn ein hysbryd, Duw a'n dysg oddiwrth natur i egluro yr Ysgrythyr. 'Yr oedd fy nghalon yn bywiogi,' meddai, 'wrth glywed fy nghyfaill parchus yn pregethu y prydnawn a aeth heibio am ogoniant gras, er nad oeddwn yn deall ond ychydig trwy gymhorth cyfieithiad; ond ni wna cyfieithiad gyfiawnder â'ch iaith chwi. O! mi a ddymunwn i chwi ddysgu Saesonaeg, a dyfod gyd â'ch *Welshisms* atom ni.'

Wrth derfynu, dywedodd mai ei ddwys ddymuniad a'i bryder oedd, yn gyntaf, i deimlo ei fod yn bechadur; yn ail, ei fod yn bechadur wedi ei achub trwy ras; yn drydydd, ei fod yn ddyledus i ras am yr oll ydoedd a'r oll oedd ganddo; ac yn bedwerydd, ei fod yn awyddu am gyhoeddi ac arddangos y gras hwnw i eraill.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 2 o'r gloch.*

1. Nodwyd amser Cymdeithasfaoedd dyfodol.

Y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn MHWLLHELI, Medi 9, 10, a 11. Cyfeisteddfod y Siroedd i ymgynnull 3 o'r gloch prydnawn ddydd Mercher.

Y Gymdeithasfa Chwarterol ddilynol, i fod yn NOLGELLAU, Hydref 20, 21, a 22. Y Cyfeisteddfod parotôadol i fod ar y 20fed.

Cymanfa Chwarterol y Deheudir i fod yn NGHAERFYRDDIN, Awst 5, a 6.

Barnwyd yn angenrheidiol estyn diwrnod yn ychwaneg at y Gymanfa Gorphoredig, yr hon a gynnelir yn LLANIDLOES; y tri diwrnod cyntaf, (Gorphenaf 28, 29, a 30.) i gynnal Cynnadleddau y Cynnrychiolwyr; a'r diwrnod olaf i bregethu.

2. Hysbyswyd fod Cymanfa Ddirwestol Gwynedd i gael ei chynnal yn LLANFAIR-CAER-EINION, Gorphenaf 7, 8, a 9.

3. Penodwyd y Parch. H. REES i fyned i wasanaethu yr achos Cymreig yn Llundain yn mis Hydref nesaf.

4. Bu yr achos Cymreig yn Birmingham, Walsall, a Bilston, a'r Genadaeth yn Dublin, dan sylw.

Trefnwyd i Siroedd Trefaldwyn, Fflint, a Dinbych i anfon pregethwyr i Birmingham, a'r lleoedd cymydogaethol; pob Sir i anfon pregethwr am fis. Trefnwyd i Siroedd Mon, Caerparfon, a Meirionydd ofalu yr un modd am Dublin.

Addawodd Cynnrychiolwyr y Siroedd y gwneid casgliad yn mhob Sir at dalu dyled Capel Dublin.

5. Gwnawd crybwylliad ynghylch Eisteddfodau Cymreig. Dywedwyd ein bod yn dal at y penderfyniad sydd genym; sef, nad yw ein haelodau i fyned i'r cyffelyb gyfarfodydd, oblegid y llygredigaeth sydd yn arferol o fod ynddynt.

Sylwyd nad ydym mewn un modd yn milwrio yn erbyn yr iaith, dysgeidiaeth, a barddoniaeth Gymreig; ond gan fod llawer o anfoesoldeb a llygredigaethau wedi bod hyd yma ynglŷn â'r cyfarfodydd hyn, nid ydym yn gweled yn addas galw yn ol ein penderfyniad, hyd nes y gwelom fod diwygiad wedi cymeryd lle ynddynt.

6. Penderfynwyd nad oes i un o'n haelodau berthyn i Gymdeithasau neu Glybiau sydd â dirgelwch ynddynt, megys Cymdeithas yr Odyddion, &c. Nid yw y Gymdeithas hono yn meddu nawdd amddiffynol y Llywodraeth, ac felly mae yn anniogel; heblaw fod mawr lygredigaeth yn un â hi mewn manau. Y rhai o'n haelodau sydd yn perthyn i Glybiau fel hyn, rhodder arnynt i arfer pob egni i ymryddâu o honynt yn ddioed; ac os na lwydda cynghorion gyda golwg ar hyn, bydd raid arfer moddion eraill.

7. Adroddwyd penderfyniad y Siroedd ynghylch Athrofa y Bala, sef fod i'r Ysgol aros yn y Gogledd.

Enwyd dau o bob Sir i fod yn Ddirprwywyr perthynol i'r Ysgol, a phenderfynwyd fod awdurdod gan y rhai hyny i chwanegu pedwar yn mhob Sir atynt:—Sir Fflint—Y Parch. Robert Roberts, a Mr. E. Peters; Sir Ddinbych—Y Parch. H. Hughes, a Mr. D. Edwards, Dinbych; Sir Drefaldwyn—Y Parch. J. Hughes, a Mr. W. Lloyd, Llanwyddelen; Sir Feirionydd—John Davies, Ysw. Fronheulog, a Mr. Williams, Dolgellau; Sir Gaernarfon—Y Parch. J. Jones, Tremadog, a Mr. Roberts, Crug; Sir Fon—Y Parch. J. Elias, a Mr. Williams, Fron-goch.

Enwyd y rhai canlynol i fod yn Ddirprwywyr yn Nhrefydd Lloegr, ac yn y Brifddinas:—Liverpool—Y Parch. H. Rees, a Mr. Davies, Seel street; Manchester—Mr. Morris, a Mr. J. Hughes; Caerlleon—Y Parch. J. Parry, a Mr. Peters; Amwythig—Mr. H. Griffiths; Llundain—Griffith Davies, Ysw.

Mae y rhai uchod i ystyried y moddion goreu i gynnal yr Ysgol, ac egnio i'w dwyn yn mlaen yn gysurus a llwyddiannus.

8. Rhoddwyd annogaethau gwresog i bleidio y Gymdeithas Ddirwestol, ac arganmolwyd pregeth Mr. Kirk o'r America, ar y gair, 'Na ladd,' yr hon a gyfieithwyd ac a gyhoeddwyd oddiar benderfyniad a chais Cymdeithasfa ddiweddaf Caernarfon.

Galwyd ar y Cadben E. LLOYD, ac ar y Parch. Mr. SHERMAN, i draethu ar Ddirwest; a hyny a wnaethant yn dra effeithiol.

Mr. Sherman hefyd, oddiar ddymuniad, a ddywedodd ychydig ar yr achos Cenadol, yr hyn yw un o'r materion sydd i fod dan sylw yn y Gymanfa Gorphoredig.

9. Coffâwyd am farwolaeth y Parch. ABRAHAM JONES, yr hwn a gymerwyd oddiwrthym yn fuan wedi y Gymdeithasfa ddiweddaf yn Llanfair, yn mha un yr oedd yn wyddfodol.

Y Parch. JOHN HUGHES, Bont Robert, a ddywedodd fod pob arwyddion o addfedrwydd i'r nefoedd i'w gweled ar ein brawd ymadawedig cyn ei symud oddiwrthym. Pethau hanfodol yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb oedd materion ei bregethau, a dyddanwch ei feddyliau. Cafodd gymhorth i bregethu deirgwaith ar y Sabbath o flaen yr hwn y bu farw ynddo. Dywedodd wrth y cyfeillion y noson hono ei fod ar fyned i'r nefoedd, a'r Sabbath canlynol aeth yno megys heb yn wybod iddo. Mr. Hughes a ddarluniodd yn dra theimladol ei chwithdod personol ar ol Mr. Jones, ynghyd a'r golled am dano yn yr Eglwysi. Dywedodd fod ei ddiweddar frodyr, Mr. W. Jones, Dol-y-fonddu, Mr. Evan Griffiths, Mr. A. Jones, ac ef ei hun, wedi eu galw i bregethu ar yr un tymhor o'r un flwyddyn; maent hwy wedi myned ymaith; ac nid oedd ganddo yntau ond dysgwyl cael ei alw cyn hir ar eu hol.

Y Parch. JOHN ELIAS a ddywedodd iddo gyd-deithio llawer â'r brawd Abraham Jones; buont gyda'u gilydd amryw weithiau yn y Deheudir; a thystiodd na welodd un pum mynyd arno erioed yn anweddus i Gristion. Yr oedd yn un hynod am weddeidd-dra perthynol i'r lle y byddai ynddo; llettŷent weithiau yn nhŷ gwr boneddig, ac wedi hyny mewn tŷ isel a thlawd; ond yr oedd ef yr un mor weddaidd yn y ddau. Ni welodd erioed achos i ddweyd wrtho yn unlle na chyda dim, Yr ydych wedi colli eich lle.

Galwyd ar y Parch. R. HUMPHREYS i ddywedyd gair am y diweddar Barch. RICHARD JONES, Bala. Dywedodd eu bod hwy yn Sir Feirionydd yn teimlo colled ddwys ar ei ol. Yr oedd doethineb fel dyn, duwioldeb fel Cristion, a doniau fel pregethwr, wedi cydgyfarfod i raddau helaeth yn Richard Jones, yr hyn oedd yn ei wneyd yn ddefnyddiol

iawn gyda'r achos goreu. Yr oedd yn llywio Cyfarfodydd Misol ei Sir yn rhyfeddol o addfwyn a doeth; a'i goffadwriaeth sydd fendigedig.

Sylwyd y dylai marwolaeth aelodau prydferth o'n Corph ennyn teimlad priodol ynom. Cydnabyddwn Dduw am eu codi a'u dal gyda'i achos; ymostyngwn iddo yn ei waith yn myned â hwy oddiwrthym; a dilynwn eu ffydd hwy.

10. Adroddwyd cenadwri o Gyfeisteddfod y Blaenoriaid ynghylch dewisiad pregethwyr i weinyddu y Sacramentau, neu aelodau i flaenori yn yr Eglwysi.

Bernid yn angenrheidiol rhoddi gocheliad rhag ysbryd cynhyrfus, cyffelyb i'r hwn a fydd yn y wlad ar amser etholiad seneddol, wrth ddewis gweinidogion neu flaenoriaid. Mae rhai wedi bod yn hela pleidleisiau ar y fath achlysuron, gan fyned yn mlaen mewn dull hollol anweddaidd i burdeb ac ysbrydolrwydd Eglwys Dduw. Ofnid ein bod yn rhy aniafol o ran ein meddyliau gyda'r gorchw[illegible] pwysfawr hyn, ac mai hyny sy[illegible] arwain i ysgafnder ymddygiad[illegible]eddio ac ymprydio y byddai y pr[illegible]ristnogion wrth ddewis swyddwyr eglwysig, ac felly y dylid gwneuthur eto.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 8 o'r gloch bore dydd Gwener.*

1. Dywedwyd ychydig ar Ddiwygiad Crefyddol, y mater a fu dan sylw yn Nghymdeithasfa Llanfair.

Mae y gair Diwygiad yn rhyw air cyffredin genym, heb ddrychfeddwl cywir cyfatebol iddo. Unwaith y cawn y gair yn yr Ysgrythyr; 'hyd amser y diwygiad;' ei ystyr yw gwellâu, adferu i iawn drefn. Mae y gair Cymraeg yn dyfod oddiwrth gwyg, sef coll, adfeiliad, neu anffurfiad; *di*-wygiad yn tynu y coll, dwyn ymaith y bai. Mae y Saeson yn arfer dau neu dri o eiriau ar hyn. Y gair cyffredin ganddynt, yw *revival*, adfywiad; arferant hefyd *reformation*, addfurfiad; ac *excitement*, cyffröad. Mae y pethau yna yn y peth y byddwn ni yn ei feddwl wrth arfer y gair Diwygiad. Mae y drychfeddwl o adfywiad yn gysylltiedig yn benaf â'r Eglwys. Mae yn bur wael gyda phob diwygiad os na bydd yn dechreu yn yr Eglwys. Gwelwyd cyffröad yn ymddangos mewn llawer ardal, a phregethwyr a blaenoriaid cysglyd yn ei fygu. Y mae eisiau i'r adfywiad ddechreu yn ein gweddiau a phrofiadau ein hysbrydoedd; ac adfywiad yn ein profiad a bair addfurfiad yn ein hymarweddiad.

Ond ein golygiad cyffredin ar Ddiwygiad yw galw pechaduriaid lawer; lluaws yn cael eu dwyn at Grist, ac i'w Eglwys. Os gwelir adfywiad yn yr Eglwys, dilynir ef âg adgyfodiad yn y byd. Mae yn berygl i ni foddloni ar gael rhai o'r newydd i'n Cymdeithasau Eglwysig, heb arwyddion eu bod yn cael eu dwyn 'o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw.' Y mae pob gwir ddiwygiad yn dyfod o Dduw yn unig, ond dylem ni arfer y moddion priodol tuag at ei gael. Os ydym am wyneb yr Arglwydd, rhaid i ni ymwrthod â'r pethau sydd yn gwneuthur iddo guddio ei wyneb; rhaid i ni weddio am dano, a bod yn ddyfal a ffyddlawn yn yr ymarferiad o holl foddion gras.

2. Ymddyddanwyd â Mr. Emrys Evans, a Mr. Thomas Gee, dau bregethwr ieuainc o Sir Ddinbych, y rhai a gyflwynid gan Gyfarfod Misol y Sir hono i'r Gymdeithasfa.

Holwyd hwy gan y Parch. Henry Rees, am eu profiad personol o wirioneddau crefydd, neu eu mater rhyngddynt â Duw.

Sylwyd fod yr Ysbryd Glan yn dwyn pawb a gedwir at y ddau beth hwn:—colledigaeth y cyflwr, a gogoniant y Gwaredwr. Er nad yw yn gweithio yr un fath, mae yn gwneuthur yr un peth, bob amser. Rhaid gwneyd yr un gwaith ar bechaduriaid ag a wnawd ar y miloedd ar ddydd y Pentecost; rhaid gweithredu yr un peth arnom ni ag ar Saul o Tarsus, er nad yn yr un fath ffordd, a chyda yr un fath amgylchiadau. Nid oes i ni ddysgwyl yr un llais o'r nef, ond y llais sydd yn y Bibl, a'r Yspryd Glan yn anfon hwnw i'r galon; ond y mae yn rhaid ein lladd ni i'r ddeddf, ein cydfywâu ni gyda Christ, a'n dwyn i ymgyrhaeddyd am ein cael yn Nghrist ac yn ei gyfiawnder, mor wirioneddol ag y gwnaed hyny i Saul; ni wiw i ni ddysgwyl am yr un dull, ond dylem ymofyn am yr un gwaith. Yr oedd y creaduriaid yn wahaniaethol yn null eu mynediad i arch Noah; rhai yn myned yn gyflymach, a rhai yn arafach; rhai yn ehedeg a rhai yn ymlusgo; ond nid oedd yno un yn gywirach ei bwynt na'r llall; yr oeddynt oll yn cyfeirio at yr un drws i fyned i mewn trwyddo. Felly, pa

wahaniaeth bynag a all fod yn null dychweliad, ac yn ngraddau argyhoeddiad pechaduriaid, yr un nod sydd ganddynt oll, sef cael eu bywyd yn angau y groes yn wyneb colli bywyd ynddynt eu hunain.

Holwyd hwy gan y Parch. JOHN HUGHES, Bont, am eu hegwyddorion athrawiaethol.

Gwnawd rhai sylwadau egluräol ar athrawiaeth y Cyfrifiad a'r Cyfammodau, &c.

Sylwyd mai nid cyfrif canlyniadau camwedd Adda i'w had a wneir; nid oes synwyr yn hyn; ond gosodir y camwedd ei hun yn eu herbyn mewn barn. 'Trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad.' Y mae y condemniad hwnw ar y person, yn ysgaru Ysbryd Duw oddiwrth yr enaid; nis gellir ei sancteiddio nes ei ryddâu. Mae Crist wrth lwyr brynu oddiwrth felldith y ddeddf, wedi cael trefn i ddwyn yn ol y dylanwadau sancteiddiol. 'Fel y derbyniem addewid yr Ysbryd trwy ffydd.' Yr oedd marwolaeth ysbrydol yn gystal a'r marwolaethau naturiol a thragywyddol, yn gynnwysedig yn y ddedfryd, 'gan farw ti a fyddi farw.'

Sylwyd fod gelyniaeth at Dduw yn egwyddor lywodraethol yn mhob dyn wrth natur; a bod dyn yn derbyn egwyddor newydd yn yr adenedigaeth, yr hon a elwir yn 'dduwiol anian.' Mae y ddwy egwyddor yn y saint; ond y mae un ar y groes, a'r llall ar yr orsedd.

Sylwyd mai cyfrifiad yw gosod yn erbyn neu o blaid. Yr oedd yr Hollalluog yn gosod yn erbyn Crist holl anwireddau y rhai a roddwyd ganddo ef iddo; ac y mae Duw fel Barnwr cyfiawn yn gosod o'u plaid hwy y cyfiawnder mawr a gwblâwyd gan eu Meichnïydd.

Sylwyd nad yw yr athrawiaeth am benarglwyddiaeth gras, yn milwrio yn erbyn cyffredinolrwydd galwedigaeth yr efengyl. Dylai pawb a glywo yr efengyl, edifarâu a chredu yr efengyl, a phechod yw peidio gwneuthur hyny. Y mae pregethwyr yr efengyl i gymhell pawb i ddyfod at Grist, ac ni wrthodir neb a ddaw.

Holwyd hwy gan y Parch. THOMAS ELIAS, o'r Deheudir, am eu cymhelliadau i waith y weinidogaeth.

Sylwyd mai Crist, Pen yr Eglwys, sydd yn rhoddi gweinidogion i'w Eglwys, ac mai peth mawr yw adnabod ei feddwl ef yn hyn. Adroddwyd yr adnod hono, 'Y mae yr hwn sydd yn llefaru o hono ei hun yn ceisio ei ogoniant ei hun; ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnw sydd eirwir.' Annogwyd pob pregethwr i chwilio ei hun yn wyneb hyna. Sylwyd fod gweinidogion Duw yn pregethu yr holl wir, a dim ond y gwir, a phob gwir yn ei le ei hun.

Cafwyd pob boddlonrwydd yn atebion y ddau frawd ieuanc, a rhoddwyd derbyniad unfrydol iddynt i gyfundeb y Gymdeithasfa.

ROGER EDWARDS,
Ysgrifenydd.

---

## BALCHDER A GOSTYNGEIDDRWYDD.

NI foddheir calon falch. Nid oedd yn ddigon gan Absalom fod yn *fab* Brenin, heb gael coron hefyd. Ni allai Cæsar feddwl am neb *yn uwch* nag ef; a Phompey feddwl am un *cydradd* ag ef. Nid oedd teyrnas yn ddigon gan Ahab heb iddo gael gwinllan Naboth, a nofio iddo trwy waed. Nid oedd holl Asia yn [illegible] a ddigonodd Alexander Fawr.

Gostyngeiddrwydd sy o flaen anrhydedd. Y dyffryn *isel* sydd ffrwythlon, pan y mae y mynydd *uchel* yn llwm. Ni wnaed Abigail yn wraig i Dafydd nes iddi yn gyntaf olchi traed ei weision. Rhaid oedd i Moses fod yn nhir Midian am hir amser cyn ei wneud yn Frenin (megys) yn Israel.

Crysostom a ddywedai mai gostyngeiddrwydd ydyw "y gwreiddyn, mam, mammaeth, sylfaen, a rhwymyn pob rhinwedd."

Pan ofynwyd i philosophydd unwaith "Beth y mae Duw yn ei wneud?" atebodd yntau, "Tynu y balch i lawr, a dyrchafu y gostyngedig."

J. F.

---

## BYR-DDYWEDIADAU.

AWSTYN a ddymunai ddarfod iddo weled tri pheth yn ei fywyd, sef 1. Paul yn ei bulpud; 2. Rhufain yn ei gogoniant; 3. Crist yn y cnawd.

Alexander Fawr a fynodd gael darlun o gleddyf mewn olwyn ar ei fwrdd i ddangos y gallai rhagluniaeth droi oddi wrtho, yr hyn oll a enillasai trwy gleddyf.

Watson a ddywedai fod angeu i'r saint fel y corwynt a ddygodd Elias i'r nef. Cymmerodd ei gorph i ogoniant; a chwythodd ei fantell i'r ddaear: felly y gwna angeu, cymmer eneidiau y saint i ogoniant, a denfyn eu cyrph i'r ddaear.

Dywedid gynt am Luther ei fod yn llefaru am ddyn oddifewn, fel pe buasai wedi bod oddifewn i ddyn."

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o tu dal. 200.)

*Y chwe mis olaf o'r Drydedd Flwyddyn o Weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu.*

| RHIF. | Y GYFUNDREFN. | MATTHEW. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 184 | Crist yn myned allan o Galilea .................. | xix. 1, 2. | x. 1. | .... | .... | I Perea o du y dwyrain i'r Iorddonen. |
| 185 | Ateb i ' Pa bryd y daw teyrnas Dduw?' ............ | .... | .... | xvii. 20—37. | .... | Yn Perea, tu deheuol i'r Iorddonen. |
| 186 | Y weddw daer .............................. | .... | .... | xviii. 1—8. | .... | Yn Perea, etto. |
| 187 | Y Pharisead a'r Publican yn gweddio ............ | .... | .... | xviii. 9—14. | .... | Etto. |
| 188 | Eglurdeb ar ysgar rhwng gwr a gwraig ........... | xix. 3—12. | x. 2—12. | .... | .... | Etto. |
| 189 | Yn bendithio plant bychain ..................... | xix. 13—15. | x. 13—16. | xviii. 15—17. | .... | Etto. |
| 190 | Yn ateb rhyw lywodraethwr ..................... | xix. 16—22. | x. 17—22. | xviii. 18—23. | .... | Etto. |
| 191 | Mor anhawdd yr â goludog i'r nef................ | xix. 23—30. | x. 23—31. | xviii. 24, 30. | .... | Etto. |
| 192 | Am gyflogi gweithwyr i'r winllan ............... | xx. 16. | .... | .... | .... | Tu dwyr. i'r Iorddonen ar gyfer Jerico. |
| 193 | Y trydydd rhagddywediad am ei angeu............ | xx. 17—19. | x. 32—34. | xviii. 31—34. | .... | Tu y gorllewin i'r un. |
| 194 | Deisyfiad meibion Zebedeus ..................... | xx. 20—28. | x. 35—45. | .... | .... | Etto. |
| 195 | Rhoddi ei olwg i ddyn dall ..................... | xx. 29—34. | .... | xviii. 35, 43. | .... | Wrth fyned i mewn i Jerico. |
| 196 | Rhoddi ei olwg i ddyn dall arall ................ | xx. 30—34. | x. 46—52. | xix. 1. | .... | O du y gorllewin i Jerico. |
| 197 | Yn myned i mewn i dŷ Zacheus .................. | .... | .... | xix. 2—10. | .... | Etto. |
| 198 | Dammeg y Pendefig a'i weision .................. | .... | .... | xix. 11—27. | .... | Yn nhŷ Zacheus. |
| 199 | Daeth chwe diwrnod cyn y Pasc ................. | .... | .... | xix. 28. | xi. 55. a xii. 1. | I Bethania. |
| 200 | Yn cael ei eneinio gan Mair .................... | xxvi. 6—13. | xiv. 3—9. | .... | xii. 2—8. | Yn Bethania. |
| 201 | Arosodd y dydd cyntaf o wythnos y dyoddefaint, dydd Sul, sef y 9fed o fis Nisan................ | .... | .... | .... | xii. 9—11. | Yn Bethania. |
| | *Yr ail ddydd o wythnos y dyoddefaint, sef dydd Llun, y 10fed dydd o fis Nisan.* | | | | | |
| 202 | Tyrfa fawr o bobl yn myned i'w gyfarfod ef ...... | .... | .... | .... | xii. 12, 13. | I Bethania. |
| 203 | Anfon am yr asyn .......................... | xxi. 1—6. | xi. 1—6. | xix. 29—34. | .... | O Bethphage. |
| 204 | Mynediad yr Iesu yn gyhoeddus i Jerusalem ...... | xxi. 7—9. | xi. 7—10. | .... | .... | I Jerusalem. |
| 205 | Yr holl ddinas a gynhyrfodd ..................... | xxi. 10—11. | xi. 11. | .... | .... | Jerusalem. |
| 206 | Sylw y Phariseaid ar hyn ....................... | .... | .... | .... | xii. 19. | Etto. |
| 207 | Iachau y cleifion yn y deml ..................... | xxi. 14—16. | .... | .... | .... | Etto. |
| 208 | Y Groegiaid yn ewyllysio gweled yr Iesu.......... | .... | .... | .... | xii. 20—36. | Etto. |
| 209 | Yr Iesu yn myned allan o Jerusalem ............. | xxi. 17. | xi. 1. | .... | xii. 36. | I Bethania. |

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

PEN. V.—GWYRTHIAU CRIST.

Mae yn amlwg, oddiwrth yr adroddiadau efengylaidd, mai nifer pur fychan o wyrthiau o'r Arglwydd Iesu Grist sydd a'u hamgylchiadau wedi eu crybwyll gan yr ysgrifenwyr sanctaidd. Y rhai canlynol, gan hyny, ydynt restr o'r gwyrthiau mwyaf neillduol a hynod o eiddo Crist.

| GWYRTHIAU. | LLE. | COFFHAD. |
|---|---|---|
| Troi y dwfr yn win | Cana | Ioan 2. 1—11. |
| Iachau mab y pendefig o Capernaum | Yr un | Ioan 4. 46—54. |
| Helfa ryfeddol o bysgod | Môr Galilea | Luc 5. 1—11. |
| Iachau dyn âg yspryd aflan | Capernaum. | Marc 1. 22—28. |
| Iachau chwegr Pedr | Yr un | Marc 1. 30, 31. |
| Iachau y gwahanglwyfus | Yr un | Marc 1. 40—45. |
| Iachau gwas y canwriad | Yr un | Mat. 8. 5—13. |
| Cyfodi mab gwraig weddw o farw | Nain | Luc 7. 11—17. |
| Gostegu y dymhestl | Môr Galilea | Mat. 8. 23—27. |
| Iachau y rhai cythreulig o Gadara | Gadara | Mat. 8. 28—34. |
| Iachau dyn claf o'r parlys | Capernaum. | Mat. 9. 1—8. |
| Cyfodi merch Jairus o farw | Yr un | Mat. 9. 18—26. |
| Rhoddi golwg i ddau ddyn dall | Yr un | Mat. 9. 27—31. |
| Iachau dyn mud cythreulig | Yr un | Mat. 9. 32, 33. |
| Iachau gwraig â dyferlif gwaed | Yr un | Luc 8. 43—48. |
| Iachau y claf wrth Bethesda | Jerusalem. | Ioan 5. 1—9. |
| Iachau dyn â llaw wedi gwywo | Judea | Mat. 12. 10—13. |
| Iachau mudan dall cythreulig | Capernaum. | Mat. 12. 22, 23. |
| Porthi pum mil | Decapolis. | Mat. 14. 15—21. |
| Iachau merch gwraig o Ganaan | Ger Tyrus. | Mat. 15. 23—28. |
| Iachau byddar âg attal dywedyd arno | Decapolis. | Marc 7. 31—37. |
| Porthi pedair mil | Yr un | Mat. 15. 32—39. |
| Rhoddi golwg i ddyn dall | Bethsaida. | Marc 8. 22—26. |
| Iachau bachgen lloerig | Tabor | Mat. 17. 14—21. |
| Rhoddi ei olwg i ddyn a anesid yn ddall | Jerusalem. | Ioan ix. |
| Iachau gwraig o wendid ddeunaw mlynedd | Galilea | Luc 13. 11—17. |
| Iachau dyn o'r dropsi | Yr un | Luc 14. 1-6. |
| Iachau deg o wahangleifion | Samaria | Luc 17. 11—19. |
| Codi Lazarus o'i fedd yn fyw | Bethania | Ioan xi. |
| Rhoddi golwg i ddau ddyn dall | Jericho | Mat. 20. 30—34. |
| Crino y ffigysbren | Olewydd | Mat 21. 18—21. |
| Iachau clust Malchus | Gethsemane | Luc 22. 50, 51. |
| Helfa ryfeddol o bysgod | Môr Galilea | Ioan 21. 1—14. |

---

## TALFYRIAD COFNODOL

*O Bregethau Cymdeithasfa Llanerch-y-medd, Mon; yr hon a gynnaliwyd y 18fed a'r 19eg o Fehefin, 1840.*

Am hanner awr wedi pedwar o'r gloch prydnawn ddydd Iau, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. Edward Mason, Swydd Aberteifi. Yna y Parch. John Jones, Penmorfa, a bregethodd oddiwrth Ioan 14. 16. 'A mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol.' Y sylwadau oeddynt fel y canlyn:—

I. Rhoddwr yr addewid, 'y Tad.'

II. Fod rhoddiad yr addewid yn dibynu ar eiriolaeth y Mab, 'a mi a weddiaf.'

III. Cynnwys a pharhad yr addewid, 'Dyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol.'

I. Rhoddwr yr addewid, 'y Tad;' ac efe a rydd i chwi.' 'Y rhydd eich Tad o'r nef yr Yspryd Glân i'r rhai a ofynant ganddo.' 'Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, sydd yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni.' Priodolir anfoniad yr Yspryd weithiau i'r Mab, 'A mi a'i hanfonaf ef atoch;' ond yma i'r Tad.

II. Fod danfoniad yr Yspryd Glan yn dibynu ar eiriolaeth Crist. Yr oedd yr Yspryd Glan yn cael ei roddi i'r saint dan yr Hen Destament. Yr oedd grasusau yr Yspryd yn amlwg ynddynt; a thrwy yr Yspryd yr oeddynt yn llefaru, 'megis y cynhyrfwyd hwynt gan yr Yspryd Glan.' Ond ni roddwyd ef yn y cyflawnder o hono cyn gogoneddiad y Messiah.

1. Y mae anfoniad yr Yspryd yn dibynu ar eiriolaeth Crist, er ei ogoneddu ei hun. 'Efe a'm gogonedda i, canys efe a gymmer o'r eiddof ac a'i mynega i chwi.' Y mae'r Yspryd Glan yn gogoneddu Crist yn ngogoniant ei berson, yn mawredd ei gariad, yn nghymmwysder ei swyddau, yn anfeidroldeb ei Iawn, ac yn nghyflawnder ei iechydwriaeth, &c.

2. Y mae anfoniad yr Yspryd yn dibynu ar eiriolaeth Crist fel pen a llywydd ei Eg-

lwys. Nid ar weddiau yr *Eglwys* y mae yn dibynu. Gallai yr eglwys fyned fel eglwys y Laodiceaid, heb arni eisieu dim; neu fel yr eglwys yn y Caniadau i gysgu, ac ambell un godi a dywedyd nad oedd eisieu yr Ysbryd. Ond y mae yn dibynu ar eiriolaeth Crist fel pen yr eglwys. Nid Noah, Daniel, na Job sydd yma, ond Mab Duw; am hyny y mae ei eiriolaeth yn sicr o fod yn llwyddiannus. Y cyfammod tragywyddol; y boddlonrwydd a gafodd y Tad yn ei Fab; addewidion y Tad i'w Fab; y tywalltiad ar ddydd y Pentecost, ac yn nhŷ Cornelius, a sicrhant lwyddiant yr eiriolaeth.

III. Cynnwysiad a pharhad yr addewid. 'Dyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol.' Y mae dyrchafiad, gogoniant, a llwyddiant yr eglwys wedi eu hymddiried i'r Yspryd Glan. Golyga rhai fod y gair 'Dyddanydd' yn cynnwys holl weithrediadau yr Yspryd. Rhai a'i darllenant 'Eiriolwr arall.' Y mae Crist yn eiriol *dros* yr eglwys, a'r Yspryd yn eiriol *yn* yr eglwys. Yr Yspryd sydd yn galw, neillduo, a chymhwyso dynion i waith y weinidogaeth. Efe oedd yn gwisgo yr apostolion â nerth o'r uchelder. 'Attolygwch ar Arglwydd y cynhauaf anfon gweithwyr i'w gynhauaf.' Efe hefyd sydd yn llwyddo y weinidogaeth. Trwy Dduw y mae bwrw cestyll i'r llawr. 'Ni all Paul ond planu, Apolos ond dyfrhau, Duw sydd yn rhoddi y cynnydd.' 'Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho.' Efe oedd yn llwyddo ar ddydd y Pentecost, yn nhŷ Cornelius, yn Corinth, yn Ephesus, yn Thessalonica, &c. &c.

Sylwn ar ei weithrediadau, yn 1. Yn dychwelyd pechaduriaid. Efe sydd yn ail eni, creu yn Nghrist Iesu, ysgrifenu y gyfraith yn y galon, a phlanu egwyddorion sanctaidd yn yr enaid. Datguddiad braich yr Arglwydd sydd yn dwyn dynion i gredu.

2. Efe sydd yn cario y goruchwyliaethau yn mlaen. 'Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da ei orphen.' Efe sydd yn arwain, yn tywys, yn argyhoeddi, yn sancteiddio, yn dyddanu, &c. ni allwn wneud dim hebddo.

(1.) Y mae ei weithrediadau yn nerthol, ac anorchfygol. Cyffelybir ef i dywalltiad gwlaw, i dân, i wynt nerthol yn rhuthro.

(2.) Y mae yn rhydd yn ei weithrediadau. Gwynt yn chwythu lle y myno ydyw, y pryd y myno, trwy y pregethwr y myno, ac ar y gwrandawr y myno. Gweithio trwy foddion y mae yn gyffredin, trwy y gair a'r weinidogaeth. 'Trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu.' Yn ngafael eu pechodau y bydd dynion heb yr Yspryd. Beth a wnaem â Christ, â'r gwaed, â'r weinidogaeth heb yr Yspryd. Dyma ddigon ar gyfer y dyffryn---yr oes galed falchaidd sy'n codi. Mae tywalltiad o hono wedi ei addaw. Nid cyfran fechan, ond tywalltiad; yr hyn a arwydda cyflawnder, rhadlonrwydd, ac effeithioldeb mawr. Ond y mae i aros gyd â'i eglwys yn dragywyddol, nid yn ei ddoniau gwyrthiol, ond yn ei weithrediadau ysprydol ac achubol. Y mae yn dyfrhau y grasusau yn y galon ar bob moment. Gyd â'i eglwys y mae wedi addaw aros. Nid gyd âg un genedl neillduol, nid mewn un wlad, nid gyd âg un sect, ond gyd â'i eglwys. Gweddiwn am dano. Am ei fod yn dibynu ar eiriolaeth Crist, offrymwch eich gweddiau trwy yr arogldarth hwnw am dano. Gwyliwch ei dristau trwy foddloni ar ddoniau hebddo, trwy allu cyflawni dyledswyddau hebddo, trwy dderbyn i'r eglwys heb chwilio yn fanwl a argyhoeddwyd hwy ganddo. Gwyliwch bechu yn ei erbyn. Y mae pechu yn ei erbyn yn anfaddeuol. Dysgwyliwch yn barhaus am dano.

---

Dilynwyd ef gan y Parch. John Jones, Runcorn; yr hwn a anerchodd y dorf oddiwrth 1 Tim. 6. 6. 'Ond elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd.' Dosparthodd ei destyn yn y dull a ganlyn:

I. Beth a feddylir wrth dduwioldeb.

II. Fod duwioldeb yn elw mawr.

III. Yr angenrheidrwydd sydd arnom am dduwioldeb.

I. Beth a feddylir wrth dduwioldeb.

1. Adnabyddiaeth gywir, union, a sanctaidd o'r gwir a'r bywiol Dduw, a'r hwn a anfonodd efe, Iesu Grist.

2. Cyfranogiad o anian Duw yn yr enaid. Gelwir hi yn dduwiol anian. Un o Dduw, yn ol Duw, oddiwrth Dduw, ac o blaniad Yspryd Duw yn y galon.

3. Ymarweddiad uniawn a sanctaidd yn ol gair Duw, ynghyd â chyflawniad manwl o bob dyledswydd tu ag at Dduw a dynion.

II. Fod duwioldeb yn elw mawr. Y mae y duwiol yn berchen ar elw mawr.

1. Y mae yr Arglwydd yn Dduw iddo. 'Gwyn eu byd y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt.'

2. Elw mawr, yn yr heddwch mawr sydd ganddynt tu ag at Dduw. 'Heddwch mawr fydd i'r rhai a garant dy gyfraith.' 'Y mae genym heddwch tu ag at Dduw.' Y mae y duwiol mewn heddwch â phriodoliaethau Duw, â'i oruchwyliaethau, â'i wialenodiau, â'i ddeddf, â'i greaduriaid, âg angeu a'r farn.

3. Elw mawr yn y gymdeithas agos, ysprydol, a sanctaidd, sydd rhwng enaid y duwiol â Duw. 'Ein cymdeithas ni yn wir sydd gyd â'r Tad, a chyd â'i Fab ef, Iesu Grist.' Y mae cyfeillach â gwr mawr yn anrhydedd mawr. Ond cyfeillach Arglwydd y lluoedd, a Duw y duwiau yw hon.

4. Elw mawr, yn yr hawl sydd gan y duwiol yn Nghrist; a'r berthynas ysprydol, gyfammodol, a thragywyddol sydd rhyngddo â Christ. Y mae yn gweled ei ogoniant, ac yn derbyn o'i gyflawnder.

5. Elw mawr, yn y gwaredigaethau mawrion a gwerthfawr y maent wedi eu cael. Gwaredu o feddiant Satan, oddiwrth eu pechodau, o afael y farwolaeth, o'r pydew

erchyll, ac o'r pridd tomlyd. 'Yr hwn sy'n gwaredu dy fywyd o ddistryw.'

6. Elw mawr, yn yr addewidion mawrion sydd ar gyfer y duwiol. Addewidion dau fyd ar unwaith; y byd hwn a'r hwn a fydd. Y mae yn fendigedig yn y ddinas, yn y maes, yn ffrwyth ei fru, yn ei wartheg a'i ddefaid, yn ei gawell a'i does, yn ei fynediad allan a'i ddyfodiad i mewn. 'Y can cymmaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.'

7. Elw mawr yn y codiad a'r dyrchafiad mawr y maent wedi ei gael.

8. Elw mawr yn yr etifeddiaeth fawr sy yn nghadw yn y nefoedd iddynt. Y mae yn dda yma; bydd yn well draw.

(1.) Elw ysprydol i'r enaid yw hwn. Nid oes yn y byd yma ddim i'r enaid. Ond gall y duwiol ddywedyd gyda phriodoldeb, 'Gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen, canys y mae genyt dda lawer,' da y cyfammod, cyflawnder yr Arglwydd Iesu. 'Wedi ei roi i gadw,' nid gyda thi, ond yn mhen yr eglwys.

(2.) Elw sylweddol. Gwagedd yw y cwbl yn y byd hwn, ond y mae y duwiol yn etifeddu sylwedd.

(3.) Mae yn elw sicr. Pethau anwadal yw pethau y bywyd hwn, ond dyma elw na byddwn byth hebddo ond ei gael. 'Iesu Grist yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd.'

1. Y mae hwn yn elw yn y profedigaethau mawrion y mae y saint yn eu dyoddef. Elw yn y ffwrn dân, 'dull y pedwerydd:' yn ffau y llewod, 'angel yr Arglwydd:' yn mol y morfil y deml sanctaidd. 'Nid ofnwn pe symudai y ddaear.' 'Y mae afon â'i ffrydiau a lawenhant ddinas Duw.'

2. Elw mawr yn angeu. Nid yw elw y byd hwn yn eiddo ei berchenog yn angeu.

3. Bydd yn elw mawr yn yr adgyfodiad. 'Efe a heuir yn gorph anianol ac a gyfodir yn gorph ysprydol;' 'yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef.'

4. Elw mawr yn y farn. 'Ac wedi gorphen pob peth, sefyll.'

Gweddiwn am dduwioldeb. Dyma a'n hardda, a'n prydfertha, yn y byd hwn, ac a'n dedwydda mewn byd arall.

(I'w barhau.)

---

## DYFYNIAD

### O WAITH Y PARCH. CHRISTMAS EVANS.

Y MAE y pwnc hwn yn wir, fod colledigaeth dyn o hono ei hun, yn ol y Bibl; ond taeru fod ei gadwedigaeth o hono ei hun sydd yn hollol wrthwynebol i dystiolaeth y Bibl, yr hwn a ddywed mai 'trwy ras yr ydym yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honom ein hunain,' o ran y darpariad o honi, a'r cymhwysiad o honi.

Mi a ganfyddaf bedwar o wyr cryfion yn myned i gynnyg cyfodi Lazarus o'r bedd. Dywedai un duwiol iawn, 'Mi âf i lawr â phiolaid o halen dyledswyddau, ac mi a'i rhwbiaf ef yn dda â'r ystyriaeth y gall efe wneud pob peth pe mynai efe.' 'Wel, a ydyw efe yn codi frawd?' 'Nac yw, yr wyf yn methu ei halltu i ewyllysio yn deg loyw; mae ei arogl yn lled drymaidd.' 'Wele,' meddai yr ail, 'deuwch chwi allan frawd, o'r bedd; mi a ddeuaf i wared â ffangell o ysgorpionau y bygythion; mi a wnaf iddo deimlo yn sicr, dybiaf fi:' ond wele ni bu cyffroad bywydawl. Ebe y trydydd, 'Mi a ddeuaf i lawr â phibell ddengar, yr hon a barodd i lawer ddawnsio cyn hyn; dichon yr â ei hadsain hyfryd i mewn trwy y glust i beri iddo gyfodi:' ond ni effeithiodd llais y bibell, ni bu dawnsio yno. Meddai y pedwerydd, 'yr wyf wedi anobeithio ei gael yn fyw trwy ddim a all moddion, o honynt eu hunain, eu gwneyd; ond y mae un peth etto genyf yn dal fy meddwl i fynu mewn hyder, yr awn ni âg ef gyda ni o'r bedd heno i Bethania i letya gyd â'i ddwy chwaer, Mair a Martha. Mi a âf i ymofyn Iesu yma, canys mi a glywais iddo gyfodi merch Jairus, a'r gwr ieuangc o Nain: mae grym yr adgyfodiad yn trigo ynddo.' Daeth yr Iesu, a thrwy ei lef efe a'i galwodd allan o'r bedd, ac efe a gyfododd i fywyd trwy rym y llef hon. Bydded ein hyder ninnau yn llef Mab Duw, a thrown ein gwynebau tu a'r gwynt, a dywedwn, 'O anadl! tyred,' &c.

*Ysg. gan* JOSEPH WILLIAMS.

*Lle'rpwll*

---

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

### PARHAD O'R PREGETHAU A BREGETHWYD YN HARLECH, MEIRION.

*Gorph.* 15, 1832.—*Sabbath.*

MR. J. WILLIAMS, Ieu. Dolyddelen, Esa. 33. 21. 'Eithr yr Arglwydd ardderchog fydd yno i ni,' &c. Sylw I. Am y gwrthddrych a nodir yn y testyn, sef yr Arglwydd. Mae yn Arglwydd oblegid ei allu a'i awdurdod: a'i waith a'i eiddo ef yw yr holl greadigaeth, ac iddo y perthyn mawl.

II. Am y personau a ddarlunir yn llefaru, sef pobl yr Arglwydd.

III. Y peth yw yr Arglwydd i'w bobl, sef 'mangre afonydd a ffrydiau llydain,' am hyny y mae yn abl llenwi eu dymuniadau byth.

---

*Gorph.* 26, 1832.—*Cyfarfod Misol.*

PARCH. R. JONES, Bala, Mat. 22. 42. 'Beth a dybygwch chwi am Grist?' &c. Sylw I. Beth a dybygwch chwi am Grist o ran ei Berson? A ydyw efe wrth eich bodd?

II. Beth debygwch chwi am dano trwy brofiad, i'w ddewis, a chredu ynddo, a'i garu, a'i ddefnyddio? &c.

*Ysg. gan un o'r Gwrandawyr.*

## DOETHINEB DUW.

(Parhad o tu dalen 172.)

2. Awn y'mlaen i sylwi ar ddoethineb Dùw yn ei weithrediadau moesol ac ysbrydol. Gweithrediadau moesol Duw ydynt, ei waith yn gofyn ufudd-dod i'w greaduriaid rhesymol, a chospi dynion anedifeiriol, a chythreuliaid yn uffern. Y mae ei ddoethineb yn ymddangos yn ei waith yn gofyn ufudd-dod i'w greaduriaid. Wedi i Dduw greu dyn, a'i osod mewn dedwyddwch perffaith, buasai yn annoethineb ynddo ei adael heb yr un ddeddf. Rhoddodd ddeddf i'r môr, i'r gwlaw, i'r cymmylau, &c. o ganlyniad, doethineb ynddo oedd rhoddi deddf i ddyn, briodol i'w natur. Yn y ddeddf hon y mae yn gofyn dyn fel creadur rhesymol. Gan mai Duw oedd ei Greawdwr, ei gynnaliwr, a'i lywodraethwr, eithaf rhesymol oedd i ddyn ei garu, ei ofni, ei wasanaethu, a'i addoli. A chan mai ei gyd-greadur yw un o'r un hil ac yntau, rhesymol iawn oedd iddo ei garu, ei barchu, ei anrhydeddu, a'i amddiffyn. Nid yw yn y ddeddf hon, yn gofyn iddo ei hun ddim mwy, nac a deilyngai gael—nac ychwaith yn gofyn dim uwchlaw gallu dyn fel *creadur*. Nid yw yn ceisio gan ddyn ei garu â gallu angel, nac yn gofyn i angel garu Duw â gallu dyn. Ond y mae yn gofyn dyn fel dyn, ac angel fel angel. Buasai yn annoethineb ac anghyfiawnder yn y Bod anfeidrol ofyn i ddyn gyflawni dim, na feddai allu fel *creadur*, i'w gyflawni. Nid yw bod dyn yn *bechadur*, ac felly yn analluog i roddi yr ufudd-dod dyledus, ddim yn ei esgusodi yn y radd leiaf, ond yn hytrach yn mwyhau ei drueni, gan mai ei bechod yw yr achos o hyny.

Gwelwn drachefn ddoethineb Duw yn gallu rhoddi deddf briodol i bob creadur rhesymol; ac yn cyfateb i bob sefyllfa ac amgylchiad ag y gallai y creadur hwnw fyned iddo. Nid oedd angenrheidrwydd ei newid yn ol newidiad sefyllfa creadur. Yr un ddeddf sydd yn gofyn yr angelion yn y drydedd nef, ag sydd yn gofyn y cythreuliaid yn uffern. Yr un ddeddf oedd yn gofyn dyn yn ei stad o berffeithrwydd, ac sydd yn ei ofyn yn ei stad o lygredigaeth, ac y mae yn ateb yn berffaith i ddyledswydd y dyn yn y naill stad fel y llall. Er prawf, ystyriwn yr hyn a ganlyn. Y ddeddf foesol a ofyn i ddyn gredu yn Nghrist, i edifarhaû am bechod, &c. yn ei gyflwr o golledigaeth. Gan ei bod yn gofyn i ddyn garu Duw â'i holl galon, y mae yn rhwym o fod yn gofyn i ddyn gredu Duw yn mhob peth a ddywedo. Yn yr efengyl, tystiolaetha Duw am ei Fab, fod bywyd tragywyddol ynddo i bob un a gredo. Yma hefyd y gorchymyn i bob dyn yn mhob man edifarhau. Yn awr, pa fodd y mae yn bossibl i ddyn ei garu â'i holl galon, heb gredu ei dystiolaeth, ac heb ufuddhau i'w orchymyn, trwy ofidio a galaru, oblegid iddo erioed bechu yn erbyn Duw mor dda? Gan hyny, y mae yn ddyledswydd ar ddyn yn ngwyneb y ddeddf fel y rhoddwyd hi ar Sinai, i gredu yn Nghrist, ac edifarhau am bechod.

Nid yw y ddeddf hon, yn cynnwys ond deg o orchymynion; ac etto, nis gall dyn nac angel fyned i un amgylchiad, na byddo dyledswydd yn cael ei gofyn oddiwrtho, a phechod yn cael ei wahardd iddo. Deddfau dynol ydynt gannoedd a miloedd, ac etto y maent wedi profi eu hunain yn anmherffaith i ateb i bob amgylchiad perthynol i'r deiliaid, fel yr oedd yn angenrheidiol eu newid, chwanegu atynt, a thynu oddiwrthynt yn ol, fel y byddai amgylchiadau yn gofyn. Ond am ddeddf Duw y mae yn berffaith, heb yr angenrheidrwydd lleiaf am y pethau hyn. O ddoethineb Duw!!

Doethineb Duw a ymddengys hefyd yn y cyfammod gweithredoedd. Yn y cyfammod hwn ystyrid Adda fel pen-cynddrychiolwr holl ddynolryw, a thrwy ei ufudd-dod neu ei anufudd-dod ef, yr oedd bywyd neu farwolaeth yn dod yn anocheladwy i ran ei holl had. Priodola dynion llygredig eu meddwl annoethineb i Dduw yn ei waith yn cyssylltu achos holl ddynolryw âg Adda. Pe d ystyriem y pwngc yn ddifrifol, nis gallai dim fod yn fwy cymmwys a doeth. Adda a grewyd yn ei gyflawn faintioli, ac felly heb fod yn agored i wendid mabandod. Adda, ag oedd yn meddu gwybodaeth mor fanwl ac eang. Adda, ag oedd yn berffaith sanctaidd, ac felly ei ewyllys yn gydymffurfiol âg ewyllys Duw. Adda, ag oedd yn alluog i wrthsefyll pob temtasiwn a allai ymosod arno. Onid oedd, yn ol pob rheswm, yn anrhaethol ddoethach gyssylltu achos holl ddynolryw â pherson yn meddu y cymmwysderau hyn, na phe buasai pob un yn cael mantais i weithredu drosto ei hun? Goddefodd Duw yn ei ddoethineb i ddyn syrthio; fel y cydnabyddai ei wendid, a'i ddibyniaeth ar ei Greawdwr; ac fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a ddeuai ragorol olud ei ras yn ei achubiaeth o'r cyflwr trueuns i ba un y syrthiodd. Fel hyn goruwchreolodd y drwg mwyaf, i fod er daioni mwyaf yn iachawdwriaeth pechaduriaid o ddynolryw.

Ymddysgleiria ei ddoethineb drachefn yn ei waith yn cospi gwrthryfelwyr. 'Y mae efe yn ddoeth ac a ddaw â chospedigaeth,' medd Esaiah. Doethineb mewn brenin yw cospi troseddwyr gwirfoddol ei gyfreithiau; heb hyny, ni anrhydeddid ei awdurdod, ni ufuddheid i'w gyfreithiau, ac nid ymostyngid i'w lywodraeth. Y Duw doeth a gospa rai dynion yn y byd hwn, rhag i brehwylwyr y ddaear ddychymygu ei fod wedi ei gadael, ac nad yw yn cymmeryd sylw manyl-graff ar eu gweithredoedd. Y gosp yn gyffredin a etyb i'r trosedd. Trosedd Pharaoh a'r Aiphtiaid oedd boddi plant yr Hebreaid yn yr afon; boddodd Duw yntau

a'i lu yn y môr coch. Trosedd Adonibezec oedd creulonder, trwy dori bodiau dwylaw a thraed y breninoedd a orchfygai, a pheri iddynt fwyta fel cŵn y briwsion a syrthiai oddiar ei fwrdd. Dygodd Duw yntau i'r un amgylchiad. Prif bechod yr Iuddewon yn Ngwlad Canaan oedd eilunaddoliaeth; ond cospodd Duw hwynt âg eilunaddoliaeth, trwy eu hanfon i Babilon, lle y ffieiddiodd eu henaid ddelw-addoliaeth. Eu prif bechod yn amser Crist oedd ei wrthod, a'i groeshoelio; eithr dygodd Duw farn arnynt, a miloedd o honynt a groeshoeliwyd eu hunain gan *Titus Vespasian*. Yn yr amgylchiadau hyn, ac mewn llawer eraill, priodol oedd dywedyd; 'Fel y gwnaethum, felly y talodd yr Arglwydd i mi.'

Bydd ei ddoethineb yn amlwg hefyd yn namnedigaeth pechaduriaid anedifeiriol. Y Duw doeth a rydd y fath glô ar ddorau uffern, na fedr dynion na chythreuliaid, trwy eu holl ddyfais a'u cyfrwysdra mo'i agor byth. Efe a bâr iddynt fod yn y teimlad o farw yn oes oesoedd, ac heb farw yn dragywyddol. Fe rydd y fath *ingredients* yn y cwppan a yfir atynt, ac fe'u cymmysga yn y fath fodd na bydd yn bossibl byth eu dosranu. 'Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw Duw' fel hyn! 'Y mae efe yn ddoeth o galon, a galluog o nerth, pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd?'

3. Ymdrechwn i ddangos yn mhellach fel y mae doethineb Duw wedi ei amlygu yn ei weithrediadau grasol ac achubol.

Doethineb Duw a amlygir yn nhrefniad, gwneuthuriad, a chymmwysiad yr iachawdwriaeth. Dyma y benaf o weithredoedd Duw, y benaf a'r fwyaf ryfeddol.

Edrychwn ar ddoethineb Duw yn nhrefniad yr iachawdwriaeth. Awn o ran ein myfyrdodau i'r cyfammod tragywyddol. Yma yr oedd dyn yn cael ei rag olygu fel troseddwr. "Cyfiawnder Duw yn llym am gospi, gan ddywedyd, 'Oni wna Barnydd yr holl ddaear farn?' Deddf Duw yn gofyn anrhydedd, gan ddywedyd, 'Melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenwyd yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt.' Gwirionedd Duw yn sefyll o blaid uniondeb a chyfiawnder, gan ddywedyd, 'A ddywedodd efe. ac ni chywira?' Oni ddywedodd Duw, 'Yn y dydd y bwytai o hono, gan farw y byddi farw?' Trugaredd yn dadleu o blaid ymgeleddu yr euog a'r truenus, gan ddywedyd, 'A adeilada yr Hollalluog yn ofer?' A gaiff y diafol ei amcan yn mlaen yn namnedigaeth pechaduriaid? Ai tybed nad oes yn bossibl cael llwybr i foddloni cyfiawnder, i anrhydeddu y ddeddf, cadarnhau gwirionedd Duw, ac ymgeleddu y pechadur, a thrwy hyny siomi y ddraig, ac ysigo ei phen?

Safwn, ac edrychwn ar fawr amryw ddoethineb Duw yn dod ymlaen, gan ddywedyd, 'Canfyddais lwybr, gwelais ffordd i gyfiawnder gael cospi, y ddeddf ei anrhydeddu, gwirionedd ei gadarnhau, a thrugaredd gael llwybr rhydd i ymgeleddu y truenus: os bydd i'r ail berson yn y Duwdod gymmeryd natur dyn—ei berson ef gael ei osod yn neddfle y pechadur—a chyfrif ei bechodau arno ef, ac iddo yntau ddyoddef y felldith ddyledus i bechadur, trwy farw ar bren y groes, caiff holl briodoliaethau Duw fod mewn tragywyddol ogoniant, a'r pechadur ddiange byth gan ei Farnwr. Goddefwch ddychymygu ychydig. Yna mi a glywaf y Mab yn dywedyd o'i hunangynhyrfiol gariad, 'Wele fi, anfon fi.' 'Fy Nhad, os gwnaeth ddim cam â thi, cyfrif hyny arnaf fi, myfi a'i talaf.' Yna 'gwelaf y priodoliaethau yn syrthio mewn ystyr ar yddfau eu gilydd, ac yn cusanu eu gilydd; a'r afradlon mewn rhagolwg yn dod adref, a Duw yn syrthio ar ei wddf yntau a'i gusanu. Pan bechodd Daniel yn erbyn cyfraith y Mediaid a'r Persiaid, bu Darius am lawer o amser yn ceisio codi Daniel a'r ddeddf i fynu; ond pan fyddai Daniel i fynu, yr oedd y ddeddf i lawr. A phan byddai y ddeddf i fynu, byddai Daniel i lawr. Er holl ddoethineb a dyfais Darius, nid allai godi Daniel a'r ddeddf i fynu; ond yn nhrefn iachawdwriaeth, Wele y ddeddf i fynu mewn tragywyddol anrhydedd, a'r pechadur tlawd a thruenus yn cael ei godi i fynwes y Duwdod, mewn tragywyddol ogoniant a thangnefedd. 'Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant; cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant.

Doethineb Duw a welir drachefn yn ngwneuthuriad yr iachawdwriaeth.

Y mae mawr amryw ddoethineb Duw i'w ganfod yn y person gogoneddus a'i cyflawnodd. 'Mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd.' Nid *person* dynol, ond *natur* ddynol a gymmerodd. 'Y gair a wnaethpwyd yn gnawd,' 'Had Abraham a gymmerodd efe.' Ni bu ei natur ddynol yn bodoli ar ei phen ei hun, yn wahanedig oddiwrth ei berson dwyfol erioed. Pe person dynol a gymmerasai, ni buasai ei ufudd-dod a'i ddyoddefaint ond meidrol a therfynol, heb fod o un lles i hil Adda. Buasai ei ufudd-dod yn ddyledus iddo drosto ei hun; ac er y buasai yn ddifeius, a difrycheulyd, etto, ni buasai ond ufudd dod creadur, o ganlyniad ni buasai neb yn derbyn lles oddiwrtho ond efe ei hun; ond gan fod person dwyfol mewn undeb â natur ddynol, yr oedd ei ufudddod yn gyfiawnder Duw, trwy ba un y gwneid llawer yn gyfiawn. A chan ei fod yn ddyn, yr oedd yn asgwrn o'n hesgyrn, ac yn gnawd o'n cnawd, yn gyfathrachwr agos i ni; ac felly yn meddu hawl i'n prynu a'n gwaredu ni. Yma dylid sylwi nad *natur* ddwyfol ychwaith a ymgnawdolodd, pe felly, buasai y Tad a'r Ysbryd wedi ymgnawdoli: ond person dwyfol y Mab a gymmerodd natur ddynol i undeb âg ef ei

hun, ac etto heb fod ond un person. Cenhedlwyd ei ddynoliaeth mewn modd rhyfeddol. 'Yr Ysbryd Glan a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di, am hyny y peth sanctaidd a enir o honot ti a elwir yn Fab Duw.' Yr oedd y tri pherson dwyfol yn gweithredu yn ffurfiad dynoliaeth y Gwaredwr. Y Tad yn parotoi y ddynoliaeth; 'Corph a gymmwysaist i mi.' Yr Ysbryd yn ei chenhedlu—a'r Mab yn ei chymmeryd i undeb âg ef ei hun: a 'gymmerodd efe.' O anfeidrol ryfeddod! ffurfio dynoliaeth lân o sylwedd morwyn aflan. Yr oedd yn rhaid iddo fod o'n natur ni—ni thal'sai ei chreu o ddim—nac ychwaith o bridd y ddaear, ond o sylwedd morwyn. Yr oedd yn addas gofyn uwch ben Bethlehem y diwrnod y genid ef. 'Pwy a ddyry beth glan allan o beth aflan? neb.' Angelion y nef, Philosophyddion y ddaear, *Anatomists* y byd, a ellwch chwi *ddisolvio* y gofyniad? Pawb yn fud. Neb. Ond gwelwn fawr allu a doethineb Duw yn ffurfio dynoliaeth lân o sylwedd morwyn aflan. O ryfeddodau! Wele, Berson dwyfol mewn undeb â natur ddynol, ac etto heb eu cymmysgu na'u cyfnewid. Y person yn cadw ei briodoliaethau ei hun heb gyfnewid dim, a'r natur ddynol, y cynneddfau priodol iddi, heb newid dim, ond yn unig ei bod wedi ei hanrhydeddu yn fawr, ac wedi ei dwyn i sefyllfa yn eu hundeb â'r person, nas gallasai syrthio byth.

Gwelwn ddoethineb Duw hefyd yn y llwybr rhyfeddol a gymmerodd i gyflawni yr iachawdwriaeth. Byw mewn tlodi, cymmeryd ei ddiystyru, ei wrthod, a'i ladd. Y diafol a'i offerynau yn cynhyrfu yn ei erbyn, a Duw yn goruwch-reoli eu dibenion drygionus i wneud trefn i achub pechadur. Beth a gynhyrfodd Judas i'w fradychu? Cybydd-dod. Beth a barodd i'r archoffeiriad a'r bobl ei wrthod? Gelyniaeth a chenfigen. Beth a wnaeth i Pontius Pilat ei gondemnio? Derbyn wyneb. Ond wele, fawr amryw ddoethineb Duw yn goruwch-reoli y gweithredoedd melldigaid hyn, i wneud trefn i achub ein bywyd. Dyma gyfoeth yn deilliaw o dlodi, gogoniant o warth, llawenydd o dristwch, rhyddid o gaethiwed, esmwythder o flinder, coron o groes, bywyd o angau, a nefoedd i bechadur o uffern yr Iesu gwiw. O! drefn ryfedd.

Ei ddoethineb ef hefyd a welir yn ei sicrhad o wrthddrychau yr iachawdwriaeth. Cyssylltai y Duw doeth iachawdwriaeth miliwnau o bechaduriaid âg ufudd-dod a dyoddefaint ei Fab. 'Os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer.' Gyda pharch y dywedwyf, annoethineb yn Nuw fuasai gadael y drefn mor ben-agored, ag i ddibynu ar ewyllys y dyn; na, na, y mae gwrthddrychau y prynedigaeth mor sicr, mor ddiogel yn nhrefn Duw, a phe baent yn mynwes Abraham. Fel yr oedd anufudd-dod Adda yn sicrhau condemniad, a marwolaeth i'w holl had, felly hefyd yr oedd ufudd-dod perffaith yr Arglwydd o'r nef, yn sicrhau bywyd tragywyddol i'w holl had yntau. Pe na bai fel hyn, diddymid dybenion gogoneddus y prynedigaeth.

Amlygir ei ddoethineb etto yn ngymmwysiad yr iachawdwriaeth.

Gwelir ef yn llwyddiant yr efengyl, yn 'ddoethineb Duw mewn dirgelwch,' 'yn ddoethineb cuddiedig.' Pob athrawiaeth cynnwysedig ynddi yn ddoethineb. Gras a chyfiawnder yn ymddisgleirio trwy bob rhan o honi.

Dewisodd Duw, o'i anfeidrol ras, roddi y trysor hwn mewn llestri pridd—nid mewn angelion, ond 'dynion yn gorfod dyoddef fel ninnau,' y rhai y gellir eu gwrando, ac ymddyddan â hwy heb arswyd ac ofn; 'fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni.' Yn moreuddydd Cristionogaeth, dewisodd ychydig o bysgodwyr tlodion, heb na dysg, na chyfoeth, nac un math o ddylanwad dynol i bregethu ei efengyl i'r byd: ac er fod gallu, crefydd, dysgeidiaeth, ac ymerodraethau y byd yn eu herbyn, etto yr oedd gwendid Duw yn gryfach na dynion, a ffolineb Duw yn ddoethach na dynion. Yr Iuddewon a dramgwyddent wrth eu hannog i gredu mewn Messiah o gymmeriad mor isel; a'r Groegiaid a farnent yn ynfydrwydd rhoi eu hymddiried mewn Duw croeshoeliedig—ond 'i'r rhai a alwyd yn Iuddewon a Groegiaid, yr oedd yn Grist gallu Duw a doethineb Duw.' Goddefodd y Duw doeth i'r diafol gael meddiant o'r byd am gannoedd o flynyddoedd. Fel pe dywedasai wrtho, 'Sicrha dy deyrnas, cadarnha dy gestyll—cei lenwi y byd bron â thywyllwch—cei filoedd o Baganiaid, Mahometaniaid, a Phabyddion—cei fyned yn mlaen yn dy rwysg a'th awdurdod am gannoedd o flynyddoedd—ond cofia, 'Yr efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd.' 'Fe lenwir y byd â gwybodaeth o honof, fel y toa y dyfroedd waelodion y môr.'

Gwelwn ei ddoethineb drachefn yn nychweliad pechadur. Y fath ddoethineb a gallu mawr raid fod wrth wneuthur pechadur tywyll yn oleuni yn yr Arglwydd, wrth wneud y cyndyn yn ufudd ac ewyllysgar—dwyn y balch i ymdrwsio oddi mewn â gostyngeiddrwydd—tynu y galon gareg, a rhoddi calon hawddgar a da—ysgrifenu y gyfraith yn y meddwl, a'i rhoddi yn y galon: a gwneud dyn yn gyfrannog o'r dduwiol anian—rhoi meddwl ynddo i adnabod yr hwn sydd gywir, a hyny trwy ffolineb pregethu. 'Megis nas gwyddost ffordd yr Ysbryd,' &c.

Ei ddoethineb a amlygir hefyd yn sancteiddiad pechadur. Preswyliad yr Ysbryd yn y saint sydd ddirgelwch nas gall un creadur ei amgyffred. O! fy enaid! a yw yr Ysbryd Glan yn preswylio yn dy galon aflan di? Weithiau y mae yr Ysbryd yn

gorphen ei waith o gymmwyso ambell i bechadur mewn ychydig o amser, bryd arall y mae flynyddoedd meithion yn cario ei waith yn mlaen, a hyny trwy oruchwyliaethau chwerwon iawn. Maent yn cyfarfod âg aml a blin gystuddiau. Weithiau symud eu cyfeillion oddiwrthynt i fyd tragywyddol, a ddengys iddynt ogoniant y cyfaill a lŷn yn well na brawd. Bryd arall, gwywa eu gobaith, a sioma hwynt mewn llawer dull, ac yna cyfeiria eu golwg at y wlad well. Weithiau tyn bob cynnorthwy dynol oddiwrthynt, ac estyn allan ei fraich nerthol ei hun, gan ddywedyd, 'Bwrw dy faich ar yr Arglwydd.' Fel hyn y mae yn taflu ei blant i ffwrneisiau cystuddiau, i'w ceryddu am eu beiau; ond y Duw doeth sydd yn eistedd wrth enau y ffwrn—gwyr yn dda pa faint o dân sydd yn angenrheidiol iddynt—gofala am danynt ar bob moment, a phan byddant gymmwys, cânt ddod allan fel aur wedi ei buro trwy dân. 'Ei lwybr sydd yn y môr, a'i ffyrdd yn y dyfroedd dyfnion yn aml,' ond gwna i 'bob peth gyd-weithio er eu daioni.' Trwy y pethau hyn y mae yn nefoleiddio eu serchiadau—darostwng eu balchder, sobreiddio eu meddyliau, rheoleiddio eu dymuniadau, cynnyddu eu grasusau, lladd gelyniaeth eu calonau, chwerwi eu pechodau iddynt, a'u cyfaddasu i ogoniant. 'Trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob.' 'Fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef.' Gan fod gandde y dybenion hyn, 'Pob cnawd taw yngolwg yr Arglwydd.' 'Da y gwnaeth (y Duw doeth) bob peth.'

Yn angau, ysgara y corph a'r enaid oddiwrth eu gilydd. Defnyddia angau, yr hwn a ddaeth i'n natur trwy bechod, i roi gwaredigaeth dragywyddol i'r enaid oddiwrth bechod. Caiff ei gorph fod yn y bedd am ganoedd o flynyddoedd. Yno gweithreda y Duw doeth arno nes ei gael yn berffaith lân, cyfyd ef ar ddelw ei anwyl Fab. 'Yn gyffelyb i'w gorph gogoneddus ef;' a digonir y credadyn byth â'i ddelw ef. Yna caiff fyned i'r nefoedd i ryfeddu y Duw doeth byth. Ac er myfyrio, a myfyrio ar ei ddoethineb i dragywyddoldeb, etto ni chanfyddir ef i'r eithafoedd byth. Eu cân wastadol a fydd 'I'r unig ddoeth Dduw y byddo y gogoniant.' Cymhwyser ni i'r wlad!! W. R.

*Caergybi.*

---

## GWENDIDAU A CHAMWEDDAU—EU GWAHANIAETH.

Dylem ymdrechu deall y gwahaniaeth sydd rhwng ffaeleddau natur syrthiedig, a'r drygau sydd yn ein hymddifadu o wyneb Duw. Pa fath, ynte, ydyw yr ammherffeithderau sydd yn nghlyn â dyn dirywedig, ie, y goreu tu yma i angeu; ac etto nas gallwn briodoli iddynt y golled o gymdeithas â Duw, a thangnefedd meddwl?

Fel engreifftiau, gellir enwi, byrdra ein gwybodaeth a'n deall; y diffyg o egni a bywiogrwydd ysbryd; marweidd-dra a gwyrni serch; ofnau a digalondid; medd-alwch neu ystyfnigrwydd tymher naturiol; meddyliau ofer; anwadalwch tuedd; a'r colliadau sydd yn ein holl wasanaeth a'n cyflawniadau. Cwyna yr apostol yn drwm o herwydd pethau o'r fath yma, y rhai ydynt yn ddiau gynnwysedig dan yr ymadrodd, 'deddf yr aelodau.' Wrth eu hystyried, canfyddwn fesur o'r annhrefn ysbrydol a ddaeth trwy 'anufudd-dod un,' fel y metha y duwiolaf 'wneuthur yr hyn y bydd yn ewyllysio.'

Ond pa fodd y deallwn bethau eraill, gwaelion a phechadurus, nad yw mor briodol eu cydnabod wrth enw mor dirion a gwendidau?

Yn I. Nid gwendidau yn unig, ond *camweddau*, yw y pethau hyny a *effeithiant niwed i ni ein hunain neu eraill, ac yr ydym yn eu goddef, pan y gallem ymwrthod â hwynt;* fel y gwelwn rai yn gwneuthur dan gynhyrfiad hunan-serch, ac i ateb hunanol ddybenion. Mor aml, y dyddiau hyn, y cyfarfyddwn â phrofion y gall y blysig aberthu ei flys er mwyn bywyd, iechyd, a chymmeriad. Gwelwyd weithiau un a fyddai nodedig fel dyn nwyd-wyllt yn ffrwyno ei hunan yn rhagorol yn wyneb amgylchiadau neillduol gyffrous, os byddai dan ddylanwad ofn dialedd, neu obaith elw a mantais. Yr ariangar drachefn a geir yn ymadaw â'i eilun, ar achlysuron, i foddiaw ei falchder neu ei chwant; er na wna, i gydweithio â Duw, neu mewn ffordd o elusen i ddyn.

Ofer gan hyny, yw i neb geisio ymesgusodi trwy alw ffordd nid yw dda yn wendid; pan y gallai wrthwynebu a gorchfygu yr anwiredd, pe mynai. Dan awdurdod diogi, a seguryd, ac oferedd, esgeulusir darllen, myfyrio, a gweddio. Nid yw y dyn heb ddeall ei fod yn golledwr. Er cryfed y cyfryw anhuedd a diflasdod pechadurus, y mae eraill yn rhyfela yn ei erbyn ac yn ei orchfygu: a phaham na wnai yntau? 'I'r hwn a fedr wneuthur daioni ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo,' a'r hwn sydd yn gwybod ewyllys ei Arglwydd ac heb ei wneuthur, a gurir â llawer ffonod. Y mae lliaws o grefyddwyr nad ydyw yn enllib i ddweyd y gallent wneuthur da lawer nad ydynt, neu beidio gwneyd drwg lawer ag yr ydynt, ysywaeth, yn ei wneyd. Pe dilynent yn hoffus ac yn wrol ewyllys Duw fel y dilynant eu hewyllys eu hunain, yn ddiau y diwygient, yr ymsagydwent. O ddiffyg, nid rhyfedd eu bod yn rhodio yn alarus dan orthrymder y gelyn, ac heb lewyrch arnynt.

Yn II. Camwedd, y dylem gyfrif *pa beth bynag a dywylla lygad y meddwl fel nad ydyw yn gweled atgasrwydd agwedd neu ymddygiad gwaharddedig yn ngair yr Arglwydd.* Ni

welai Dafydd fod un rheswm yn erbyn rhifo y bobl yn deilwng o'i sylw: a Jehosaphat a âi gydag Ahab annuwiol i ryfel fel pe na feddyliai fod un anmhriodoldeb yn ei waith. Ereill a welant ddrwg yn ein rhodiad neu ein hagweddau mor amlwg a'r haul. Synant na chanfyddem ninnau ef, ond y gwir yw y mae unrhyw bechod anwyl yn ysbeilio o archwaeth, synwyr, a syniad ysbrydol

Yn III. Camwedd yw yr hyn *y bydd y gydwybod yn anesmwyth o'i blegid yn wyneb adfyd, ac wrth feddwl am angau.* Brodyr Joseph a gofiasant eu hanwiredd pan ddaeth blinder arnynt, ac os bydd chwant yn cael ei goledd, neu ddyledswydd yn cael ei hesgeuluso trwy ein tymhor er ein niwed ysbrydol, ond odid na bydd edliw gan y gydwybod pan ddelo trychineb, a phan feddyliem am dragywyddoldeb.

Yn IV. Drwg yn dwyn anfoddlonrwydd arnom yw *pa beth bynag o natur ddaearol ac anianol sydd yn myned a grym ein serch, ac yn llwyr ennill ein myfyrdod.* Duw sydd eiddigus. 'Y mae yn gymmaint gwarth i Dduw,' medd un, 'i fod yn rhy fach o gysur i enaid a chael ei gyfrif yn analluog i'w waredu.' Caru pethau anghyfreithlawn, fel y gwnaeth Achan a Samson, neu garu pethau cyfreithlon yn ormodol, yn gyffelyb i Solomon, y gwr ieuanc yn yr efengyl, Demas, a phob bydol-ddyn, neu goeg-ddyn, yr hwn a ymffrostia ac a ymddifyra ynddo ei hun a'i ddoniau, fydd yn sicr o'i gwneyd hi yn dywyll rhyngom a'r Arglwydd. Rhaid ymaflael â'r fraich ddeheu a'r llygad deheu, a pheidio edrych ar anwiredd yn y galon, onite ni wrendy Duw arnom; ond yr hwn a osodo ei ffordd yn iawn wrth roi ei serch ar yr Arglwydd, i hwnw y dengys Ef ei iachawdwriaeth er ei gysur, nes gwneyd ei heddwch fel yr afon, a'i gyfiawnder, neu ei lwydd ysbrydol, fel tonau y môr.

Ond gallwn gasglu, gyda golwg ar unrhyw lygredd, os bydd ymdrechion aml yn ei erbyn—os bydd yn peri galar dwys—ac os ydym yn dwyn y gelyn yn ddiffuant ger bron yr Arglwydd i gael ei ladd, ni effeithia arnom i ysgaru rhyngom a Duw yn ol yr arwyddion a grybwyllwyd, sydd yn dynodi camwedd. Mae edifeirwch yn oruchafiaeth ar fai; ni fydd y drwg yr ymdrechir yn ei erbyn yn ein dallu: bydd y gydwybod yn cael ei thawelu trwy ffydd yn y gwaed: ac nis gall y serch ddal gafael mewn dim y rhyfelir yn ei erbyn. C.

---

YSBRYD ANNIALGAR.

Fulgeusius, ar ol cael ei erlid yn dost, a gafodd fantais i ddial am hyny, ac ni wnaeth; ond dywedodd, 'Rhaid dyoddef mwy na hyn dros Grist.'

Dionysius unwaith wedi camymddwyn at Plato yn y cwrt, a ofnai i Plato ysgrifenu yn ei erbyn ef, ac a anfonodd ato am iddo beidio. A'r ateb a roddodd Plato 'Ewch a dywedwch i Dionysius, nad oes genyf hamdden i feddwl am dano.'

ZEL AWSTYN DROS GRIST.

Yr oedd Awstyn gymmaint ei zel dros Grist, fel mai un o brif bethau ei weddi ydoedd, am ei gael gan Grist pan y deuai, naill ai yn pregethu ai yn gweddio. J. F.

---

## GOFYNION.

SYR,—Byddaf ddiolchgar i chwi os caf wybod pa fodd yr ymddengys cyssondeb y ddwy adnod ganlynol, Hebreaid ix. 4. 2 Cron. v. 10. Mae Paul, wrth ysgrifenu at yr Hebreaid, yn dangos fod y crochan aur a'r manna, a gwialen Aaron, yn nghyd â llechau y cyfammod yn yr Arch. Ond mae Cronicl breninoedd Israel yn dangos nad oedd ond llechau y cyfammod yn unig yn yr Arch.

*Ruthin.* CARWR GWYBODAETH.

---

Barchedig Olygydd,—Goddefwch i mi, trwy eich Cyhoeddiad clodwiw, ofyn i ryw un o'ch Gohebwyr ffyddlon roddi atebion i'r Gofyniadau canlynol:—

1. Pwy oedd 'y ddeubar bobl' y mae son am danynt yn Neh. xiii. 24.?
2. Beth oedd eu hiaith hwynt?
3. Pa beth sydd i ni i'w feddwl yn ysbrydol wrthynt?

*Tref Rhiw-waedog.* J. AP IOAN.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Pregeth Angladdol y Parch. William Gurnal, B.D. Gweinidog yr efengyl yn Lavenham, Swydd Suffolk. Gan y Parch. W. Burkitt, awdwr yr Esboniad ar y Testament Newydd. Wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg, gan* Mr. Joseph Williams, Liverpool.

HYFRYD genym weled y bregeth hon, yn gymmaint a'i bod yn cynnwys Coffadwriaeth am wr o Ddifinydd mor enwog, ag sy a'i enw mor hysbys ymhlith ein cyd-genedl, drwy fod ei Waith ardderchog ar 'Gristion yn ei gyflawn Arfogaeth,' wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg er's llawer blwyddyn, a'r darlleniad o hono wedi bod o'r fath fudd ysbrydol i eneidiau lawer fel nad anghofir mo hono ddyddiau y ddaear.

Ychydig iawn a feddem ni o hanes y gwr duwiol Mr. Gurnal, heblaw yn y gwaith a grybwyllwyd uchod. Yr ydym yn ddiolchgar iawn i'n Gohebydd ffyddlon Mr. J. W. am godi y bregeth hon i sylw ein cenedl, yr hon oedd yn hynod o anadnabyddus i ddarllenwyr yr oes hon; ac am iddo ei chyhoeddi hefyd yr un faintioli ei dalenau a llyfr Gurnal, modd y gellir ei chyd-rwymo âg ef, i'w chadw rhag ei myned i dir anghof mwyach.

## LLYTHYRAU, &c.

### CHWECHED LLYTHYR IORWERTH AT EI GYFAILL AR EI NEILLDUAD YN HENADUR EGLWYSIG.

Fy Nghyfaill hoffus a charedig,—Yr ydwyf yn awr yn dyfod at y trydydd cymmwysder y mae Jethro yn annog Moses i ymofyn yn y bobl a neillduir i'w gynnorthwyo yn yr ymdriniaeth ag achosion y genedl; sef 'Gwyr geirwir.' Er mor araf a gwasgaredig yr ydwyf wedi trafaelu, ti weli fy mod yn myned yn hytrach yn y blaen nag yn ol hefyd. Paul, wrth ysgrifenu at Timotheus a ddywed, 'Rhaid i'r diaconiaid fod yn onest, nid yn ddau-eiriog.' Dau-eiriog yw bod yn dwyllodrus mewn geiriau; dyweyd un peth wrth hwn, a pheth arall wrth y llall, i ateb rhyw ddybenion anghywir. Gwelais lawer gwaith ddynion wedi dyweyd amrywiol ffyrdd am yr un peth wrth wahanol bersonau, a hyny yn unig er mwyn gwneyd eu lle yn dda gyda y gwahanol bleidiau; a phan y mae y cwbl yn dod yn nghyd i brawf, bydd un yn codi ac yn gofyn, oni ddywedasoch fel hyn ac fel hyn wrthyf fi? A'r llall yn gofyn, oni ddywedaist yn llwyr wahanol wrthyf innau? nes y mae hwnw fel tarw gwyllt mewn magl, heb allu diangc. Mae hyn yn wael mewn dyn, yn waelach mewn dyn crefyddol, ac yn annyoddefol mewn blaenor. Y dyn sydd yn cymmeryd arno fod yn grefyddol, ac yn blaenori gyda phethau crefydd, ac heb attal ei dafod pan y mae gwir angenrheidrwydd am hyny, onid ydyw yn amlwg, mai ofer yw crefydd hwnw? 'Er nad yw'r tafod ond aelod bychan, y mae yn ffrostio pethau mawrion,' yn gwneyd drygau mawrion. Ychydig dân sydd ddigonol i losgi'r ddinas. 'Y tafod, tân ydyw, byd o anghyfiawnder.' Y mae yn gosod troell naturiaeth yn fflam, ac wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern. Nid oes un dyn a all ei ddofi; drwg anllywodraethus ydyw, yn llawn gwenwyn marwol. Bydd wyliadwrus ar dy dafod, fy nghyfaill, a gweddia ar i Dduw gadw llywodraeth arno. Yr ydwyt mewn lle yn awr y gelli wneyd llawer o ddrwg neu dda trwy offerynoliaeth dy dafod. Yr Arglwydd 'fyddo gyda'th enau.' Nac ymadawed llyfr y gyfraith hono o'th enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos: fel y cedwych ar wneuthur yn ol yr hyn oll sydd ysgrifenedig ynddo: canys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac yna y ffyni. 'Ymgynghora â genau yr Arglwydd,' yna y gelli ddysgwyl am i'r Arglwydd 'roddi iti dafod y dysgedig, i fedru mewn pryd lefaru gair wrth y diffygiol.' Gwefusau'r cyfiawn, (medd Solomon) a borthant lawer, a'i dafod fel arian detholedig. Rhyw ddyn a ddywed eiriau fel brath cleddyf; ond tafod y doethion sydd feddyginiaeth. Pren y bywyd yw tafod iach: ond trawsedd ynddo sydd rwyg yn yr ysbryd. Angeu a bywyd sydd yn meddiant y tafod; a'r rhai a'i hoffant ef a fwynhant o'i ffrwyth ef.'

Pwy ond y dynion dau-eiriog sydd yn cymmeryd pob trafferth i 'anelu eu tafod fel eu bwa i gelwydd; ac nid at wirionedd yr ymgryfasant ar y ddaear; canys aethant o ddrwg i ddrwg, ac nid adnabuant fi, medd yr Arglwydd.' Beth sydd yn fwy ofnadwy na saethau llymion yn ehedeg? Pwy wyr pa bryd y trywenir y galon dyner, ac y rhwygir y fynwes ddifeddwl drwg? Dywedir am ryw ddynion mai 'saeth lem yw eu tafod yn dywedyd twyll; a'i enau yn traethu am heddwch wrth ei gymmydog, eithr o'i fewn y gesyd gynllwyn iddo.'

Ni fu un dyn dau-eiriog erioed heb fod yn gelwyddog, ac yn gyflawn o bob twyll. 'Pob un hefyd a dwylla ei gymmydog, a'r gwir nis dywedant: hwy a ddysgasant eu tafodau i ddywedyd celwydd, ac ymflinasant yn gwneuthur anwiredd. Dy drigfa sydd yn nghanol twyll.' Nid yn unig y mae tafod fel hyn yn 'saeth lem,' ond hefyd y mae gwenwyn aspiaid o dano: yr hwn, pan y mae yn trywanu, sydd yn gadael ei wenwyn uffernol yn y clwyf ar ei ol, nes ei wneyd yn fwy anhawdd byth ei wella. Hawdd iawn yw i ti ddryllio, ond cei weled mai nid mor hawdd meddyginiaethu drachefn. Gobeithio yr ydwyf am danat ti, nid heb sail hefyd, fod genyt ryw beth gwell i ymdrafod na thwyll a chelwydd. Yr ydwyt wedi dy osod mewn swydd heddyw y byddi o angenrheidrwydd, yn gorfod dyweyd llawer; bydd yn ofalus am ddyweyd y gwir yn onest yn ol eithaf dy wybodaeth wrth bawb; oblegid fe fydd llawer o ddynion yn pwyso eu heneidiau ar y peth y byddi di yn ddywedyd, gan gwbl gredu mai gwirionedd a saif byth ydyw'r cwbl. O! edrych ar y myrddiynau sydd yn cael eu twyllo, a'u harwain mewn tywyllwch gan eu hathrawon, eu hoffeiriaid a'u pregethwyr, y rhai sydd yn dysgu yn groes i air Duw, hwythau yn credu, yn ymorphwys ar hyny; ac Ow!! yn soddi i dragywyddol anobaith.

Yr wyf yn dychymygu yn awr, y gwelaf ddydd y farn yn gwawrio, a rhyw luoedd yn neshau at eu hathrawon gan edliw iddynt, a dywedyd, Oni ddysgasoch i ni fod hunan gyfiawnder yn ddigon ger bron Duw, ninnau a gredasom, a thyma ni heddyw heb y wisg briodas, a gwarth ein noethder yn ymddangos i dragywyddoldeb. Dacw dorf draw yn nesu at eu hoffeiriad, gan ddywedyd, Oni ddywedaist mai genyt yr oedd awdurdod i faddeu pechodau, ninnau a ymorphwysasom ein heneidiau ar hyny, a dyma ein beiau fel mynyddau rhyngom a'r nefoedd. Wele y llu annedwydd acw yn neshau at eu pregethwr, ac yn dywedyd, Oni ddysgaist ni i anghredu duwdod Crist, ninnau a wnaethom hyny, ac, wele, efe yw y Bod bendigaid ac addoladwy sydd wedi cymmeryd ei eisteddle ar yr orseddfainge wen yna, o flaen pa un y ffodd y nefoedd

a'r ddaear, ger bron yr hwn y plyg bob glin, ac y cyffesa pob tafod fod Iesu yn Fab Duw.

Mae mwy o bwys yn cael ei roddi ar eiriau llawer nag y maent hwy eu hunain wedi ystyried erioed, nes y bydd dydd y farn wedi taflu ei oleu ar hyny. Yr oedd dy neilldued i'th swydd, a'th ymgymmeriad â hyny, yn cynnwys y llw difrifolaf, a'r adduned ddwysaf. I ddyweyd y gwir, yr oll o'r gwir, a dim ond y gwir. Mae darnguddio llawer o'r gwir yn bod yn fynych. Y mae llawer yn gorphwys yn dra diddig eu meddyliau, wedi bod yn dystion ar ryw achos mewn Llys Gwladol, os byddant wedi dyweyd y gwir a dim ond y gwir, er darnguddio mwy na hanner y gwir mwyaf pwrpasol ac angenrheidiol. Onid tyngu anudon yw hyn? Pa faint o wahaniaeth sydd rhwng cuddio rhan o'r gwir wedi gwneyd llw i'w ddyweyd i gyd, a dyweyd celwydd? Ti fyddi di, a'r rhai a osodwyd dan dy ofal, cyn hir o flaen gorsedd, lle y ceir clywed y gwir, yr oll o'r gwir, a dim ond y gwir, oblegid barn Duw sydd yn ol gwirionedd. Gwyn fyd na bai ystyriaeth o'r orsedd hon ger ein bronau yn ein holl ymwneud â gwaith ein swyddau; canys y gwir a saif pan syrthia'r byd: gan hyny, edrych yn ddyfal fod y gwir yn cael ei le priodol ar y bwrdd yn wastad. Dywed y gwir a'r oll o'r gwir yn ddiduedd. Na wna gam mewn barn; na dderbyn wyneb y tlawd, ac na pharcha wyneb y cadarn; barna dy gymmydog mewn cyfiawnder. Os digwydd ymrafael rhwng y tlawd a'r cadarn, a thithau yn eistedd ar yr achos, cymmer yn dy law y Bibl, llyfr y gyfraith hon, a gwna tuag at y ddau yn ol rheolau y llyfr dwyfol hwnw, heb un olygiaeth ar sefyllfa bydol y naill na'r llall, ond eu sefyllfa dragywyddol, sef eu perthynas fel bodau rhesymol â'r bythol-fyd cywir.

Ond cofia fod parch yn ddyledus i'r cadarn yn dy holl ymdriniaeth âg ef, fel aelod o gymdeithas ddynol, oblegid parchu pawb yn ol eu sefyllfa yn y byd, sydd orchymyn dwyfol; ond ar y faingc, bydded bob tuedd yn mhell oddiwrthyt. 'Gan geryddu ceryddu dy gymmydog, ac na ddyoddef bechod ynddo.' Na ddyoddef bechod heb ei geryddu yn y cyfoethog mwy na'r tlawd, na'r tlawd yn fwy na'r cyfoethog. Nid da derbyn wyneb mewn barn. Fy nghyfaill, y mae yn ofynol dy fod yn yspryd y gwirionedd wrth ei adrodd; a phan y byddi yn yr yspryd hyny, digwydd na dderbynir y gwirionedd yn garedig o'th enau gan bob sefyllfa. Pan na fyddo dim i'w ganfod ond ysbryd y dyn, er dyweyd y gwirionedd, nid yn fynych y gwelir effeithiau dymunol yn gydfynedol âg ef. Yr amaethwr sydd yn parotoi y ddaear i dderbyn yr had—y meddyg sydd yn parotoi'r corph drwy naill feddyginiaeth i dderbyn meddyginiaeth gryfach. Yr ydym yn darllen hefyd fod yr Arglwydd yn parotoi'r galon i dderbyn y gair.

Yr oedd gan Dduw gwyn yn erbyn eglwysi Asia, ond fe ddarfu iddo eu parotoi hwynt i dderbyn y cerydd, trwy ddyweyd yn gyntaf am eu rhinweddau. Fel hyn agorodd ffordd esmwyth i drosglwyddo y gwirionedd mwyaf angenrheidiol mewn modd tra effeithiol, nes yr oeddynt yn ei dderbyn yn y cariad o hono. Cyn dyweyd am feiau yr eglwys, y mae yn canmol ei rhinweddau, 'Mi a adwaen dy weithredoedd,' ebe efe wrth eglwys Ephesus, 'dy lafur a'th amynedd, ac ni elli oddef y rhai drwg. A thi a oddefaist, ac y mae amynedd genyt, ac a gymmeraist boen er mwyn fy enw i, ac ni ddiffygiaist. Eithr y mae genyf beth yn dy erbyn, am i ti ymadael â'th gariad cyntaf.' Dy ddyledswydd yw ystyried llawer ar dymher meddyliol yr eglwys, fel y byddot yn deall y llwybr goreu i'w hennill drwy air y gwirionedd. Bydd yn gysur wrth farw i ti allu troi dy olwg yn ol, a dywedyd dy fod yn ol eithaf dy wybodaeth yn rhydd oddiwrth waed pawb oll. Os fel arall y bydd, digwydd na chai glywed gan dy gydwybod yn ymchwydd yr Iorddonen. Terfynaf hyn o ysgrif etto, yn ngeiriau ysprydoliaeth. 'Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth, aros ynddynt, canys os gwnei hyn, ti a'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat.'—Yr eiddot yn ddiffuant,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

## SYNIADAU BAXTER AM FFURF-LYWODRAETH EGLWYSIG.

GAN fod y gwr duwiol hwn mor enwog fel ysgrifenydd, a chan fod ganddo gymaint o fantais i ffurfio barn gywir am gyfansoddiadau eglwysig, y mae yn naturiol i ni deimlo gradd o awydd i wybod beth oedd ei syniadau. Yn hanes ei fywyd ei hun y mae yn cymeryd golwg ar y gwahanol bleidiau crefyddol yn ei amser; ac fel y gellid dysgwyl y mae ganddo ryw air caredig i'w ddweyd am bob un o honynt. Mewn llyfr a gyhoeddwyd yn ddiweddar o blaid Annibyniaeth, y mae rhan o'r hyn a ddywedir ganddo am yr Independiaid wedi ei roddi i lawr fel y canlyn:—

"Wrth chwilio yr Ysgrythyr a Hynafiaeth, cefais nad oedd yr eglwysi ar y cyntaf ddim mwy o ran rhif nag yw y plwyfydd yn awr. Gwelais os aem unwaith yn mhellach na therfynau cymundeb personol er darlunio dyben Eglwysi neillduol, y gallem wneud Eglwys o genedl gyfan," &c.

Yn awr, dylem sylwi mai son y mae Baxter am eglwys neillduol, yr hon, fel y barna pawb, nis gall fod yn ddim amgen nag un gynulleidfa. Yr hyn a ddywedir ganddo *mewn gwirionedd* sydd fel y canlyn:—

"Wrth chwilio yr Ysgrythyr a Hynafiaeth cefais nad oedd yr Eglwysi ar y cyntaf

ddim mwy o ran rhif nag yw y plwyfydd yn awr. Y rhai hyn oeddynt gymdeithasau o Gristionogion wedi ymuno er mwyn cymundeb personol, ac *nid yn unig* er mwyn cymundeb trwy gyfarfodydd o swyddogion a chynnrychiolwyr mewn cynadleddau fel y mae llawer o eglwysi mewn cymdeithasfa.* Gwelais os aem unwaith yn mhellach na therfynau cymundeb personol er darlunio dyben eglwysi *neillduol*, y gallem wneyd eglwys o genedl gyfan," &c.†

Bellach, gadawaf y darllenydd i farnu drosto ei hun pa beth oedd Baxter, a pha beth yw y dyn hwnw a fedrai roddi y fath ddesgrifiad o hono.

Y mae Orme ei hun, yr hwn oedd Annibynwr, yn addef fod Baxter yn llai o gyfaill i'r Independiaid nag i un blaid arall, ac mai at yr Henaduriaethwyr yr oedd yn gogwyddo fwyaf. Yn mhlith rhagoriaethau ereill a briodolir gan Baxter i'r Henaduriaethwyr y mae yn dweyd mai hwy oedd y blaid fwyaf *heddychol*. "Megis yr oedd yn y dechre," &c.

Ni buaswn yn galw ar y darllenydd i graffu cymaint ar farn y Duwinydd hwn oni bai fod un o'r Independiaid wedi appelio atto. "Gan i ti appelio at Cesar, at Cesar y cei di fyned."

CASAWR TWYLL.

## DIWYGIAD.

MAE y gair Diwygiad yn cael ei arfer yn fynych, a llawer yn ei arfer heb ei ddeall. Dywed y Dr. O. Pugh mai oddiwrth y gair *Gwyg*, adfeiliad, llygriad, &c. y mae *Diwygiad*: adferu o adfeiliad, gwellhau o lygriad a diffyg, dwyn i drefn, &c. yn dyfod o'r llall —*Di-wyg*, &c.

Unwaith y mae y gair yn y Bibl, Heb. 9. 10. Dywedir fod y gair Groeg a ddefnyddir yno yn arwyddo gwellhau, gwneud peth yn iawn, &c.

Arferir y gair genym ni am ymweliad grasol Duw a'i bobl, yn ordinhadau yr efengyl; tywalltiad o'r Ysbryd, a'r canlyniad o hyny; gwellhad o adfeiliad; bywhau o farweidd-dra, &c. a dychwelyd pechaduriaid at Dduw. Y mae y Saeson yn arfer amryw eiriau am yr un peth, megis *revival*, adfywiad; *awakening*, deffroad; *excitement*, cynhyrfiad, cyffroad; *reformation*, adffurfiad, &c.

Y mae yn canlyn ymweliadau grasol Duw bethau sydd yn ateb i'r holl eiriau.

1. *Adfywiad* ar waith grasol Duw yn ei eglwys. Hab. 3. 2. Bywhau ei bobl. Salm 85. 6. Adfywio eu grasau, a gorchwyliaethau ei ras ynddynt. Esa. 57. 15. Adfywio y gweddiau, y pregethau, y mawl, a'r gwrando, &c.

2. *Deffroad.* Deffro yr Eglwys o gwsg a marweidd-dra; adferu rhai gwrthgiliedig. Eph. 5. 14.

3. *Cyffroad.* Pan ymddangoso Duw yn ngallu ei ras, yn ei ordinhadau, cyffroir a chynhyrfir pob math o ddynion. Bydd cynhwrf ym mhlith "esgyrn sychion."

4. *Adffurfiad.* Bydd ffurf newydd ar agweddau proffeswyr duwioldeb, ac ar waith Duw yn eu plith.

5. Nid yn unig hyny ond bydd adgyfodiad hefyd. Codir meirw lawer. Ioan 5. 25. Eph. 2. 1. Dat. 20. 6. Ezec. 37. 1 —10. Sylw. Nid gwir adfywiad ond a wnelo Duw. 'Efe sydd yn bywhau pob-peth.' 1 Tim. 6. 13. Bywhau eneidiau meirw; adfywhau rhai adfeiliedig; bywhau y weinidogaeth, y gweddiau, a'r mawl.

Unig awdwr, cynnaliwr, ac adferwr bywyd, yw Duw. Y mae ef yn gweithio felly trwy ei air.

Pan y byddo yr Ysbryd Glân yn gweithio yn neillduol trwy weinidogaeth yr efengyl, yna bywheir y meirw, deffroir y cysglyd, adferir yr adfeiliedig, adnewyddir a threfnir bucheddau.

Gall gau bethau fod dan enw diwygiadau. Rhyw gyffro, ond nid gan arswyd presennoldeb Duw. Rhyw ddychryn, heb weled cyflwr colledig. Rhyw symudiad, ond nid o farwolaeth i fywyd. Gall rhai gymmeryd proffes gydag unrhyw enwad o Gristionogion heb dduwioldeb, a bod er eu proffes 'yn anianol, heb yr Ysbryd ganddynt.'

Y mae perygl wrth son am ddiwygiad i arwain y bobl i feddwl fod cymmeryd proffes gyda rhyw blaid grefyddol, yn ddigon o grefydd.

Gall dynion gamgymmeryd y ffordd wrth geisio yr hyn a alwant yn ddiwygiad, trwy geisio dychrynu y bobl yn lle eu goleuo. Dangos y perygl o fod heb broffes, yn fwy na bod heb dduwioldeb. Ymdrechu mwy am gael dynion i'w *sect* nag am eu cael hwy at Grist! chwanegu rhifedi yn y blaid yn fwy na chael y bobl i ddiogelwch, eu cael hwy 'o feddiant Satan at Dduw.'

Gall fod ymdrech rhai am y peth a alwent diwygiad i'r dyben i ddangos y gall dyn wneud crefydd heb yr Ysbryd; ac i geisio dangos bod eu plaid yn eu lle, a'u hathrawiaeth yn dda, er yr haera rhai nad ydyw yn gywir.

Ond pan y delo Duw i wneud Diwygiad efe a weithia fel ei hunan. 'Nid oes neb yn dysgu fel efe.' Efe yn unig sydd yn rhoddi bywyd. Cilia a diflana pethau gau pan ymddangoso efe. Llwnge gwialen Moses wiail y swynwyr. Pan tywyno haul ei bresennoldeb â a'r canwyllau o'r golwg.

Y mae y dynion sydd dan ei weithrediadau grasol a sanctaidd ef, deilliaid diwygiad ysbrydol o waith yr Ysbryd, yn wahanol i

* "These were societies of Christians united for personal communion, and not only for communion by meetings of officers and delegates in synods, as many churches in association be."

† Orme's Life of Baxter. p. 76, 77.

bawb ereill. Y maent yn hunan-ymwadol, yn isel yn y llwch, yn gwir gasau pechod, yn galaru o'i blegid, ac yn ffieiddio eu hunain o herwydd eu pechadurusrwydd. Y maent yn rhyfeddu a moliannu gras penarglwyddiaethol Duw, am drefnu ffordd i achub eu bath. 'Nid i ni, ond iddo ef,' yw eu cân oll.

Ond y mae mewn gwir ddiwygiad, 1. *Adfywiad* ar wir grefydd, ar bregethu a phroffesu y wir athrawiaeth, a byw yn addas iddi, ei harddu trwy ymddygiadau addas yn mhob peth, a mwynhau cymdeithas â Duw, a dyddanwch yr Ysbryd Glân.

2. Y mae pechaduriaid yn cael eu *hargyhoeddi*, a'u dychwelyd, a'u dwyn o feddiant Satan at Dduw, trwy Grist. Deuant yn lluoedd i fynydd yr Arglwydd, i ddysgu ei ffyrdd ef.

3. Mewn gwir ddiwygiadau y mae Duw ei hun yn ymddangos, y mae yn dyrchafu a gogoneddu ei ras yn rhyfedd. Yna y mae Crist yn cael ei ddefnyddio, ei werthfawrogi, a'i foliannu. Gwaith yr Ysbryd Glan yn cael ei brofi a'i fawrhau. Athrawiaeth yr efengyl yn cael ei harddu trwy fuchedd y dychweledigion. Pob gras yn dysglaer weithredu, a phob dyledswydd yn cael ei chyflawni yn ffyddlawn.

4. Pan y byddo Duw yn ymweled yn ei ras â phechaduriaid mewn rhyw ardaloedd, ac yn tywallt ei Ysbryd gyda gweinidogaeth yr efengyl, y mae y pryd hyny wahaniaeth hynod yn agwedd y bobl yn moddion gras, ac yn eu hymddygiadau yn mhob peth. Pethau Duw, pethau crefydd fydd testynau penaf eu myfyrdodau, a'u hymddyddanion. Byd tragywyddol a'i bethau yn cael y flaenoriaeth ar bethau y byd hwn yn eu serchiadau. Maent yn 'edrych ar y pethau ni welir.'

Bydd rhai yn barod i ofyn, beth yw yr achos o'r cyfnewidiad mawr yn eu hymddygiadau dan y gair, ragor yr oeddynt o'r blaen? Paham y dychrynant, y galarant, y llawenhant, pan nad yw ereill felly dan yr un pregethau? ïe, dan yr un gwirionedd ag y buont hwy eu hunain yn ddiofal a difraw yn hir?

Ond dylem ystyried pa un o'r agweddau sydd yn fwyaf cyson â'n proffes ein bod yn credu y gwirioneddau hyny? Pa un sydd fwyaf gweddus, a rhesymol, ai darllen, a gwrando Gair Duw heb un effaith arnom, dychryn, galar, na llawenydd? ynte ei fod yn effeithio yn nerthol arnom fel Gair Duw?

Byddai yn briodol gofyn pa fodd na bydd effeithiau nerthol arnom ni wrth ddarllen a gwrando Gair Duw? Gellir ateb,

1. Am nad ydym yn ystyried mai Gair Duw ydyw.

2. Am nad ydym yn credu mai geiriau am bethau sylweddol ydynt, ac nid ffug a chwedlau, &c.

3. Am nad ydym yn golygu eu bod yn perthyn i ni.

Mae peth gweledig yn effeithio ar ddynion am eu bod yn eu golygu yn bethau sylweddol; ond ymddygant at eiriau Duw am bethau ysbrydol, fel at ffug chwedlau di sail. Ond pan y byddo Ysbryd Duw yn gweithio yn achubol ar ddynion y mae yn dwyn y pethau sydd yn y geiriau dwyfol at eu meddyliau a'u cydwybodau fel pethau sydd yn bod yn sylweddol. Clywed Duw yn llefaru yn ei air wrthynt hwy. Gweled gwerth, a theimlo pwys anfeidrol yn mhethau y Bibl. 'Edrych ar y pethau ni welir.'

Pan y byddo Ysbryd Duw yn argyhoeddi pechaduriaid y maent yn gweled bod deddf Duw yn eu gofyn, ac yn eu bygwth hwy. Ac wrth glywed am gyflwr drwg truenus pechaduriaid y maent yn gweled mai hwy yw y pechaduriaid truenus a cholledig hyny, ac y maent yn clywed dedfryd collfarnol oddiar orsedd Duw! Onid yw yn rhesymol dychrynu a galaru? Pwy a saif?

Drachefn, pan y caffont olwg ar Waredwr cyflawn i'r fath rai, a iachawdwriaeth rad o ras yn hollol, pa fodd y gallant beidio llawenhau? Yna y bydd pethau ysbrydol yn llenwi eu bryd. Onid yw yn rhesymol iddynt ganu, a moliannu Duw, ymddifyru yn ei waith, a cheisio byw i ryngu ei fodd? Yna daw gwaeledd y ddaear a phethau amser i'r golwg. Gwelant eu hunain yn ddieithriaid ar y ddaear. Dilynant Grist, gan deithio tua gwlad well, gan ddibrisio y byd.

Pan ymwelo Duw â'i eglwys yn ol ei addewidion, bydd effeithiau yn canlyn a bair i rai waeddi allan, 'Bys Duw yw hyn!'

Nid yw yr eglwys yn teimlo angen diwygiad fel y dymunid. Duw yn unig all wneud Diwygiad o werth. Addawodd, efe a gyflawna. Gweddiwn mewn ffydd yn daer, gan ddysgwyl cyflawniad o'i addewidion gwerthfawr. Gall Duw yn ei ras ddynoethi ei fraich, a rhoi gwir adfywiad, a gwneuthur gwir ddiwygiad. Gweddiwn heb flino—dysgwyliwn heb ddiffygio. Gan ddyfod efe a ddaw. O! brysied, brysied. Amen.——Yr eiddoch, sydd yn sychedu am Ddiwygiad,

JOHN ELIAS.

FRON, *Gorph.* 8. 1840.

---

## HUNAN-AMDDIFFYNIAD CYHOEDDWR Y DRYSORFA.

MAWR yw y twrf, a pharhaus yw y drafferth a gymmer absenwyr i geisio difrio Cyhoeddwr y Drysorfa drwy yr holl Dywysogaeth o achos yr hyn a bassiodd rhyngddo ef â'r Parch. John Roberts, gynt o St. George, yn awr o Lanbrynmair.

Yma dodwn ger bron y byd yr holl Ohebiaeth a bassiodd erioed rhwng y Cyhoeddwr a'r gwr a nodwyd uchod, *air yn air*, fel y gallo y neb a fyno farnu drosto ei hun ar yr achos hwn: a hyn a wnawn er amcanu rhoi pen ar yr absen crybwylledig.

*Llythyr y Parch. John Roberts.*

Mai 28, 1839.

Barchedig Syr,

Dywedyr yn y Gymdogaeth hon mai fy Nghefnder sef Y Parch. R. Williams o *Lerpwl* yw y Pregethwr a'r Gwrandawr sydd yn y Drysorfa. Yr wyf wedi manwl sylwy ar yr ymddiddan fu rhyngddynt am Drosedd Adda, Iawn &c. &c. Nid yw y Gwrandawr yn fy moddloni. Ond nid rhyfedd ei fod mor dyner, a pharod i fyned heibio i wendidau y pregethwr os *un* yw y *ddau*. Ac yr wyf yn meddwl fod y gwrandawyr yn gyffredin yn rhy barod i gymeryd yn ganiataol fod yr hyn a ddywed y pregethwyr yn wirionedd heb chwylio a ydyw y pethau hyn felly. Yr wyf Mr Golygydd am wybod A ganiatewch chwi le yn y Drysorfa i wneuthur sylwadau ar yr Ysgrif ac i holi y pregethwr yn fanylach. Rhoddaf fy enw i chwi iw gyhoeddi ir byd, ac os na bydd fy ysgrif yn efangyledd a bonedd-igaedd, diau mai ar fy mhen fy hun y syrth y gwarth. Mae y defnydd a wna o Enw fy Nhad ar awgrym a rydd fod Mr Jenkyn yn ymylu ar Sosiniaeth yn galw yn gyfiawn am i chwi gydsynio am dymuniad

Ydwyf
Barch Syr
Eich ewyllysiwr da
JOHN ROBERTS.

---

*Ateb y Cyhoeddwr.*

Barchedig Syr,

Pe buasai Ysgrif y Pregethwr yn y Goleuad gynt, neu mewn rhyw Gyhoeddiad o'm heiddo fy hun, buasai yn hawdd i mi ateb eich Gofyniad. Ond gan mai dan Olygiad y Corph o Fethodistiaid Calfinaidd, cynnulledig yn eu Cymdeithasfa, y mae y Drysorfa, ac nad wyf fi ond Is-oruchwyliwr danynt, nis gallaf ei ateb. Ond mi a fyddaf ffyddlawn i osod y peth o'u blaen hwynt, ac a ddangosaf eich Llythyr iddynt, ac mi a ymdrechaf am gael ateb ganddynt.

Ond gadewch i mi roi un peth o flaen eich ystyriaeth, sef yw hyny, Oni fyddai yn well i chwi aros nes dyfod o'r Ymddyddan i ben, cyn gweithredu dim? nis gwn i, ond bernwch chwi; canys yr wyf fi yn dysgwyl y bydd i'r Awdwr roi ei enw wrtho yn y diwedd.——Wyf, Anwyl Syr,

Yr eiddoch,

*Caerlleon, Mai*, 31, 1839. JOHN PARRY.

---

*Ail Lythyr y Cyhoeddwr.*

Barchedig Syr,

Yn ol fy addewid, mi a gyflwynais eich archiad, ac a ddangosais eich Llythyr, i'r rhai sydd yn arfer blaenori yn ngolygiaeth y Drysorfa, yn Nghymdeithasfa y Wyddgrug, a'u hateb oedd hyn:—"Nad oeddynt yn gweled un angenrheidrwydd i chwi wneuthur un sylw ar 'Waith y Pregethwr,' yn y Drysorfa, o herwydd fod genych chwi, yr Annibynwyr, Gyhoeddiad Misol eich hunain, lle y gellwch wneud y sylwadau a fynoch ar ddaliadau y Pregethwr, ac ar yr athrawiaeth a gredir yn ein plith. A phe dechreuid ar ddadl o'r fath yn y Drysorfa anhawdd y ceid byth ben arni."

Yr eiddoch, &c.

*Caerlleon, Hyd.* 25, 1839. JOHN PARRY.

---

## COFIANT

*Mrs. Sudney Jones, o'r Rhosfawr, gerllaw Llanfyllin, yn Swydd Drefaldwyn.*

MAE yn hysbys i bawb a adwaenent Mrs. Jones, ei bod yn un o rai rhagorol y ddaear, a diammau y bydd yn dda ganddynt weled ychydig o goffadwriaeth am dani yn y Drysorfa. Mae y defnyddiau canlynol wedi eu dethol allan o lythyrau a ysgrifenwyd, ar ol ei marwolaeth, at ei mab, Mr. John Jones, Barcer, Llanfyllin, gan amryw bersonau, y rhai oeddynt yn dra chydnabyddus a chyfeillgar â hi ar wahanol dymhorau ei hoes. Am helynt ei dyddiau boreuol, ysgrifena ei brawd, Mr. William Jones, Rhiwaedog, i'r perwyl a ganlyn.

Sudney Jones oedd ferch hynaf John a Jane Jones, Tŷ tan y graig, gerllaw y Bala. Ganwyd hi yn y fl. 1763. Yr oedd rhwysg annuwioldeb yn fawr yn yr ardal y dyddiau hyny. Dechreuodd hithau ei gyrfa yn dra llygredig, yn ol defod gyffredin ieuenctyd yr oes, drwy gyrchu i gyfarfodydd annuwiol, megys ffeiriau, a nosweithiau canu a dawnsio, ac yr oedd yn cael ei chyfrif yn un o'r rhai hynotaf am y cyfryw oferedd.

Cafodd y fraint o ddysgu darllen yn ieuanc, sef pan oedd oddeutu pedair blwydd oed, gyda gwr o'r enw Richard Williams, a anfonasid gan y foneddiges Bevan, i gadw ysgol yn yr ardal. Cafodd ei harferyd er yn blentyn i fyned i'r addoliad yn yr Eglwys Sefydledig; a phan ddeuai rhai o bregethwyr y Methodistiaid i'r ardal, byddai yn myned i wrandaw arnynt, ac anaml y deuai o'r pregethau hyn heb i'r gair effeithio arni. Etto parhau yn wyllt ac anystyriol yr oedd er y cwbl o'i manteision, hyd nes ydoedd ynghylch 20 oed. Yn y cyfamser daeth y pregethwr bywiog a grymus hwnw, Mr. George Griffiths o'r Deheudir, i'r ardal i bregethu, ac aeth hithau fel arferol i'w wrandaw. A rhyfedd o bregeth o rah yr arddelwad arni ydoedd hon. 'Yr oeddwn i, (medd ei brawd) yn bresennol yno, ac yr wyf fel pe bawn yn clywed geiriau y gwr, a'i bloedd ddeffrous hithau yn gwaeddi allan, 'Pa beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?' Y geiriau yr oedd yn llefaru oddiwrthynt oedd am Bartimeus ddall. 'Cyfod, y mae efe yn dy alw di:' Mynych y clywyd hi yn adgoffa yr amgylchiad hwn gyda rhyw sirioldeb neillduol, gan roddi pwyslais nodedig ac anghyffredin ar y geiriau, '*Cyfod, y mae efe yn dy alw di.*'

Yn ganlynol i hyn yr oedd mewn trallod dirfawr: ei chyfeillion o'r blaen wedi myned yn elynion iddi, etto yn ymdrechu, weithiau gyda gwên, weithiau gyda gŵg a gwawd, i'w hennill yn ol i'r hen fyddin, ond yn hollawl ofer. Oddiwrth ei rhieni y cafodd y blinderau chwerwaf: yr oedd ei thad yn eglwyswr manwl ac eiddgar, a pherson y plwyf ydoedd elyn ymroddgar i grefydd ysbrydol. Yr oedd enllibiau hwn yn cynhyrfu ei thad yn ei herbyn, fel y cafodd driniaeth dost ganddo, hyd yn nod ei chau allan lawer noswaith ar ol bod yn gwrandaw pregethau. Cafodd ei nerthu i oddef y cwbl yn dirion ac amyneddgar. Er ei chau allan dros nos, ymaflai yn ei gorchwyl bore dranoeth fel arferol. Un o'r enllibiau â pha rai y gwaradwyddid y bobl ieuainc a fyddent yn myned i wrandaw pregethau yn y dyddiau hyny, oedd, nad ymaflent mwy yn eu gorchwylion bydol, ac y tröent allan yn segurwyr. Yr oedd yn brofedigaeth lem i'w thad i feddwl am ei ferch yn myned i'r fath agwedd, a hithau wedi ei dwyn i fynu yn weithgar o'i mebyd. Ond wedi iddi gael blas ar wrandaw, yr oedd yn dangos mwy-fwy o ffyddlondeb yn ei gorchwylion gwaith, a thrwy hyny gwrth-brofodd yr enllibiaeth hon, fel nad oedd gan y gwrthwynebwr ddim drwg i ddywedyd am dani. Yr oedd gwasgfa ei meddwl yn trymhau am gael ymuno â phobl yr Arglwydd; gofynodd yn ostyngedig i'w thad a gai hi genad i ymuno â'r gymdeithas eglwysig; ond cafodd ateb nacäol a lled sarug. Ymhen yspaid, anturiodd ofyn drachefn; yntau a atebodd, os âi hi at y bobl hyny, na roddai efe iddi ddim cynnysgaeth, (er ei fod yn bwriadu rhoddi iddi yn lled helaeth.) Hithau a ddywedodd yn addfwyn, y boddlonai hi i hyny, ac felly aeth at yr ychydig bobl oedd wedi ymgorffoli yn gymdeithas grefyddol yn yr ardal.* Mwynhaodd lawer o orfoledd yr iachawdwriaeth, ac yr oedd yn hynod am weddio yn y dirgel.

Hi ydoedd blaenffrwyth crefydd yn y teulu. Yr oedd ganddi, dri o frodyr, ac un chwaer. Daeth ei brodyr i broffesu gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a'i chwaer at yr Annibynwyr. Bu yn offerynol i godi addoliad teuluaidd yn nhŷ ei thad, yr hyn oedd yn beth tra anaml yn yr amseroedd hyny; ac o dipyn i beth ennillwyd yr hen wr i wrandaw yr efengyl ac i barchu crefydd, a daeth ei mam yn aelod o'r gymdeithas. Pan oedd o gylch 29 oed, priodwyd hi, ac aeth i drigiannu i Swydd Drefaldwyn, yn Mlaen y Cwm, plwyf y Pennant.

Am ei llafur crefyddol yn yr ardal hono, mae un o'i hen gyfeillion yn ysgrifenu yn debyg i hyn. 'Nid yw Duw yn anghofio ei gwaith a'i llafurus gariad, yr hwn a ddangosodd tuag at ei enw ef,' a diau nad anghofir yn fuan yn y Pennant a Llangynog mo'i llafur egniol i wrthsefyll hen arferion llygredig yr ardal, a'i hymdrech i godi Ysgol Sabbathol, a moddion crefyddol ereill, yn eu lle. Nid peidio a gwneuthur drwg yn unig oedd ei hegwyddor hi, ond hefyd dysgu gwneuthur daioni. Byddai yn teithio dros fynydd y Berwyn i Dre Rhiwaedog, i grefu ar frodyr crefyddol oddiyno ac o'r Bala, i ddyfod i'w chynnorthwyo. Byddai yn poeni ei henaid cyfiawn wrth fyned heibio i Lan y Pennant, a gweled ieuengctyd y gymmydogaeth yn ymgasglu yno i chwarae ar y Sabbathau, yn enwedig ar yr wyl hono a gam-enwir, 'Gwylmabsant.' Unwaith pan oedd yr wyl hono yn nesau, ceisiodd Mrs. Jones gyhoeddiad gwr o'r Bala i bregethu gerllaw y Tafarndŷ. Daeth ei brawd, y diweddar Mr. John Jones, Gwern yr Ewig,* gyda'r Pregethwr, a chadwyd yr oedfa am ddau ar gloch y Sabbath. Meddyliodd rhai na fuasai y fath ddyrnaid o grefyddwyr yn ddigon calonog i wynebu ar y fath lu o annuwiolion, ond cawsant nerth yn ol y dydd. Dechreuodd Mr. J. Jones drwy ddarllen y rhan olaf o'r bummed bennod o Esay, gan dynu addysgiadau priodol i'r amgylchiad, a gweddiodd yn wresog am gymhorth i'r Pregethwr i lefaru gair dros Dduw, ac i'r bobl i wrandaw bob un drosto ei hun. Yna darllenodd y Pregethwr ei destun, Mat. 5. 52. a dangosodd fod Duw yn wrthwynebwr i bechod, a hyny yn gyfiawn; a bod dyn yn elyn i Dduw, a hyny yn anghyfiawn, ac aeth ymlaen gan ddangos trefn Duw i gymmodi y pechadur âg ef ei hun yn ei Fab, a'r angenrheidrwydd sydd ar bechaduriaid i ddyfod i gyttundeb â Duw, a hyny ar frys. Rhwymwyd pawb i wrandaw, a chafwyd dystawrwydd i orphen yr addoliad. Pan oedd adroddydd yr hanes yn troi i fyned adref, safodd y Tafarnwr (oedd wedi ofni am ei elw) ac un arall ar gamfa o'i flaen, gan fwriadu ymosod arno os deuai ymlaen; yntau yn lle gwrthwynebu drwg a droes ffordd arall yr ebrwydd. Ymhen yspaid ar ol hyn, bu farw y tafarnwr, a chan fod Mrs. Jones yn awyddus am dynu i lawr y Gwylmabsant, hi a fu daer ar ei weddw i beidio a'i gynnal, a chan nas cyttunai â hyny, dywedodd wrthi, 'Bydd y pechod yma wrth eich drws chwi.' Yn y

* Gwel goffadwriaeth am amryw o'r bobl dduwiol hyny yn y Drysorfa am y flwyddyn 1836, tu dal. 104, dan yr enwad 'Blaenoriaid Llwyneinion.'

* Gwel ei hanes a'i 'Oriau diweddaf' yn y Drysorfa, 1838, tu dal. 105, a 147. Wedi ysgrifenu y Cofiant uchod, clywais am farwolaeth y brawd arall, yr hybarch Mr. W. Jones, Rhiwaedog. Mae yntau hefyd weithian i'w chwanegu at Flaenoriaid ymadawedig Llwyneinion, a gobeithiaf y cair coffadwriaeth am dano yn fuan yn y Drysorfa.

peth hwn gellir dywedyd am dani, 'Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth.'

Yn ei thŷ hi y dechreuodd yr Ysgol Sabbathol yn y Pennant, a hi a fu ddiwyd iawn i gael ieuenctyd a phobl anwybodus y gymmydogaeth i ddyfod iddi, ac i'w hennill i ddysgu egwyddorion crefydd. Ymhoffai yn fawr yn y gwaith o egwyddori, a byddai yn cael hyfrydwch neillduol yn y bummed bennod o'r HYFFORDDWR 'am y ddau gyfammod.' Gwelwyd hi yn fynych, pan fyddai y bennod hono yn cael ei hadrodd, yn tori allan i ddiolch yn wresog am yr Iachawdwriaeth trwy Grist yn ol trefn y Cyfammod Gras. Cafodd llawer eu dysgu i ddarllen yr ysgrythyrau yn yr ysgol fechan hono, ac y mae etto yn parhau i gael ei chynnal yn Nghwm y Pennant, a gobeithio y pery tra y byddo anghenrheidrwydd am dani.

Yr oedd ei phriod, Mr. David Jones, yn aelod gyda'r Annibynwyr; ond yr oedd y ddau yn dra anwyl a pharchus o'u gilydd, ac o'r gwahanol enwadau i ba rai y perthynent, ac yr oeddynt ill dau yn hynod am eu ffyddlondeb gyda phob ymarferiadau crefyddol. Ond bu farw Mr. Jones yn fuan, a syrthiodd pob gofal teuluaidd arni hi, a diwyd iawn a fu gyda phob dyledswydd. Gofalodd am gynnal yr addoliad teuluaidd fel yn amser ei gwr, yr hyn a wnaeth am 38 mlynedd y bu yn weddw, sef y gweddill o'i hoes, heb esgeuluso un amser, hyd yn nod yn mhrysurdeb y cynhauaf. Un tro, pan ddaeth gwr tra gelynol i grefydd i mewn i'r tŷ ar amser yr addoliad teuluaidd, bu agos iddi a dyrysu, ond pwyllodd, a dywedodd ynddi ei hun, 'Mae UN mwy na neb dynion yn fy ngweled,' ac aeth trwy y gwasanaeth gyda rhwyddineb. Ei gorchwyl cyffredin hir nos gauaf, fyddai egwyddori ei theulu yn yr HYFFORDDWR. Yr oedd yn amlwg i'w theulu fod ei myfyrdod yn mhethau y Bibl, a mynych y byddent yn ei chael o'r neilltu, yn melys gymdeithasu â'r Arglwydd, a'i Thad yr hwn oedd yn ei gweled yn y dirgel oedd yn talu iddi yn yr amlwg.

Gwedi rhoddi heibio drin Blaen y Cwm, treuliodd amryw flynyddoedd yn Llanfyllin gyda'i mab, a'r gweddill o'i gyrfa ddaearol gyda'i merch yn Rhosfawr. Gall ei chyfeillion crefyddol, yn Llangynog a Llanfyllin, dystio na welsant ei chyffelyb am ei duwiol-frydedd, a'i ffyddlondeb yn dyfod i foddion gras. Yn yr Ysgol Sabbathol yr oedd yn Athrawes ragorol; byddai ei sylwadau wrth ddarllen y Bibl yn ei dosparth yn gymhwys a phrofiadol, ac ni welid neb yn gallu bod yn ysgafn a siaradus yn ei phresennoldeb. Ac yn y cyfarfodydd eglwysig, bu ei chlywed yn adrodd ei phrofiadau, mor efengylaidd a thoddedig ei hysbryd, yn wledd hyfryd i'w chyfeillion crefyddol lawer tro. Yn awr wedi ein hamddifadu o honi, gallwn ddywedyd yn ddiau ini golli MAM yn Israel. Yr oedd ei bucheddiad hardd yn anrhydedd i'w phroffes: ni bu un ymddygiad o'i heiddo yn ystod 54 o flynyddoedd y bu yn arddelwi crefydd y fath ag i alw am un gradd o gerydd eglwysig arni.

Yr oedd bob amser yn eiddigeddus dros ogoniant yr Arglwydd. Ni oddefai un pechod, yn enwedig yn ei theulu, heb ddywedyd am ei ddrwg a'r canlyniadau ofnadwy o hono, mewn ysbryd addfwyn a'r dagrau yn gyffredin yn treiglo dros ei gruddiau, nes effeithiai ei dywediadau sobr a'i hagwedd doddedig yn aml ar y troseddwr, nes wylo gyda hi. 'Nid â ei dull yn ceryddu byth o'm cof,' meddai un a gafodd y cyfleusderau goreu i wybod am dani, nac ychwaith, yr wyf yn sicr, allan o gof amryw a fu yn aros yn ei theulu.

Nis dywedodd fawr ar ei gwely angau: yr oedd natur ei hafiechyd y fath nad oedd yn gallu ymddyddan nemor â neb. Yr oedd wedi llefaru yn *dda* yn ei bywyd, drwy yr hyn gadawodd dystiolaeth werthfawr ar ei hol. Dywedodd y pennill hwnw, neu ran o hono,

> O diolch byth fod genyf Dad,
> A chariad yn ei waelod!' &c.

Gorphenodd ei gyrfa, Medi 19. 1838, yn y 75 fl. o'i hoed, a dodwyd ei rhan farwol i orphwys yn mynwent Llanfyllin, i aros bore mawr a gogoneddus yr adgyfodiad. Traddododd y Parch. Abraham Jones bregeth angladdol ar yr achlysur, yn addoldy y Methodistiaid Calfinaidd, oddiwrth Rhuf. 16. 7. a 1 Thes. 4. 14, 'Annerchwch Andronicus a Junia, fy ngheraint a'm cydgarcharorion, y rhai sydd hynod ym mhlith yr apostolion, y rhai hefyd oeddynt yn Nghrist o'm blaen i.' 'Canys os ydym yn credu farw Iesu, a'i adgyfodi; felly y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef;' ac wrth gymhwyso y gwirioneddau pwysig cynnwysedig yn yr adnodau hyn at yr amgylchiad, a choffau ei phroffes ffyddlawn, ei rhodiad hardd, ei gweddiau taerion, ei chynghorion syml, a'i pharhad digwymp hyd y diwedd, yr oedd tymherau y pregethwr a'r rhan amlaf o'r wrandawyr yn methu a dal, ac nid yn fuan y dileir effeithiau y bregeth hon oddiar feddyliau amryw a'i clywsant M. D.

## ARWYDD O BARCH.

DYDD gwyl St. Swithin diweddaf, Gorph. 15. cyflwynwyd Arian-dlws hardd, o werth £5 i Mr. E. Lewis, Llywydd y Gymdeithas Ddirwestol perthynol i Eglwys Loegr yn Lle'rpwll; a'r arwyddair, 'Ymgedwch rhag pob rhith drygioni,' ac argraff briodol arno yn Gymraeg, ac yn Saesneg. Gwr o Gymru, sef mab i Mr. E. Lewis, Tŷ mawr, Llanrwst, yw Mr. Lewis, yn fawr eu barch gan bawb a'u hadwaena.

# BARDDONIAETH.

ENGLYNION

*A gyfansoddwyd wrth glywed yr adar yn canu ar ben borau.*

O frig y goedwig, gwawdiau—gwiw lawen
A glywaf, ac odlau
O fawl syw—ei felys wau
Yn beraidd wneir bob borau.

Sî brig y goedwig, a'i gwawdiau—glwysion
Ogleisiant fy nwydau;
A mwynber dyner dônau
'R adar rhydd, a'u clodydd clau.

Awdlau hyfryd a odlant,—a pheraidd
Hoff arwest a eiliant;
A melys wau eu moliant
Yn dyner i'w Ner a wnant.

Mwynder tra hoff eu meindon—beunydd
Yr boenau o'r galon,
E dyn fraw sy dan y fron,—
O leisiau gwiw melysion!

Enynant ynwyf yn union,—ddilesg
Feddyliau tra mawrion
Am Greawdwr Luniwr lion
Y delaid gread wiwlon.

Y'n ghân y coed mangoed mwyngu—yn ddibaid
A fenaid i fynu
I baradwys gymwys gu,
Ceinwech hardd fro y canu.

*Treffynon.* DEWI GLAN TEGID.

MAT. XXVIII. 6.

"DEUWCH, GWELWCH Y FAN Y GORWEDDODD YR ARGLWYDD."

Llinellau a ysgrifenodd Cyhoeddwr y Drysorfa mewn dwys fyfyrdod ar y geiriau uchod, pan oedd yn glaf, yn agos i angeu, yn y Gauaf, 1838.

'Y fan lle gorweddodd yr Arglwydd,'
Yw enw rhyfeddol y bedd,
Er pan fu'r Mechïnydd yno'n gorwedd
Am dridiau yn waeledd ei wedd.
Fe gododd yn foreu ddydd Sabbath,
Gan agor hen ddorau'r du fedd;
Mae hyn yn rhoi sail imi gredu
Ceir finnau i'r làn ar ei wedd.

Er claddu perth'nasau mwyn tirion,
Ac anwyl gyfeillion 'r un wedd;
'Dyw hyny yn symud mo'r dychryn
Wrth feddwl am fyned i'r bedd.
Ond pan bwy'n myfyrio ar fedd Joseph
Lle claddwyd fy Mhrynwr a'm Duw,
(' Y fan lle gorweddodd yr Arglwydd!')
'Rwy'n dysgwyl er marw ca'i fyw.

Fy nyled ar groesbren a dalwyd,
'Gorphenwyd' ei chlirio hi'n llawn.
Fy Meichiau fu farw ddydd Gwener
Yn gynnar am dri y prydnawn.
Bu'n gorwedd mewn ceufedd gryn dridiau;
Mi gofia'n dragywydd 'y fan;"
Hosanna! mi gana' byth bythoedd,
Mi wela' fy Meichia' ar y làn.

# HANESION GWLADWRIAETHOL.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYMMANFA LLANTRISANT,

Gorphenaf 2, 3, 1840.

AM 5 o'r gloch, Gorph. 2, gweddiodd y Parch. T. Jones, Hendre, a phregethodd y Parch. John Edwards, Fflint, oddiar Heb. 6. 10. a'r Parch. W. Morris, Cilgeran, oddiar 1 Thes. 5. 3.

Am 6, Gorph. 3, gweddiodd Joseph Rees, a phregethodd y Parch. D. Hughes, Nantcaredig, oddiar Diar. 3. 15. a'r Parch. Evan Harris, Sir Frycheiniog, oddiar 2 Tim. 1. 13. Am 10, gweddiodd James Davies, a phregethodd y Parch. John Edwards, Fflint, oddiar Psa. 85. 9. a'r Parch. Morgan Howells, yn Saesonaeg, oddiar Ioan 16. 8. a'r Parch. Thomas Richards, oddiar Esay 52. 7.

Am 2 o'r gloch, gweddiodd W. Williams, Rhymney, a phregethodd y Parch. Morgan Howells, oddiar Ioan 16. 8. a W. Morris, o Gilgeran, oddiar Mat. 11. 28; a'r Nos pregethodd Jonah Phillips, a'r Parch. Mr. Richards, Morganwg.

Nid ydoedd raid gofyn yma fel y gofynodd yr Iuddewon gynt, 'Pa fodd na ddaeth yr athraw mawr i'r wyl?' Wedi i holl foddion y Gymmanfa gael eu cynnal, a thrin yn y Cyfarfodydd neillduol am yr Ysbryd Glan, a'r angenrheidrwydd o hono, tybia rhai nad oedd efe yn nebpell oddiwrthynt.—*Oddiwrth un o'r Gwrandawyr.*

### CYFARFOD DIRWESTOL Y TREUDDYN, GERLLAW Y WYDDGRUG.

AR y 13eg o Orphenaf diweddaf cynnaliwyd y Cyfarfod uchod yn y drefn ganlynol:—Am 6 o'r gloch y boreu, Cyfarfod Gweddio yn Nghapel y Wesleyaid; am 10 yn yr un Capel, dechreuwyd y moddion gan, ac areithiodd J. Phillips, (*Tegidon*) a

phregethodd y Parch. D. Charles, B.A. Bala, ar Dat. 19. 4. Am ½ awr wedi 1, ymffurfiodd yr orymdaith i fyned i gyfarfod Dirwestwyr Coed Llai a'i hamgylchoedd; a phan oedd y ddwy dorf yn ymgyfarfod, cyfarchwyd hwy oddiar y clawdd gan J. Phillips, yn Gymraeg, a Mr. Thomas, o Gaer, yn Saesoneg, yna dychwelasant yn yr un modd (dros 1500 o nifer) tu a Chapel y Trefnyddion Calfinaidd i yfed tê. Wrth i'r Orymdaith bassio y Lodge, palasdŷ C. Harrison, Ysw. daeth y gwr boneddig i'w cyfarfod, ac anrhegodd ef y Gymdeithas a £1. a Mrs. Harrison â 5s. heblaw llawer o anrhegion ereill, am ba haelioni y dychwelodd Mr. Charles, ddiolchgarwch cyhoeddus, yn enw y Gymdeithas. Wedi cyrhaedd y Capel, eisteddodd oddeutu 1150 i yfed tê, y naill fyrddiad ar ol y llall, a thra yr oedd un ran yn derbyn lluniaeth, anerchid y rhan arall gan rai brodyr Dirwestol yn nghapel y Wesleyaid. Am 6, cyfodwyd esgynlawr allan wrth ddrws y Capel, ac wedi dewis y Dirwestwr, aiddgar, ffyddlon, a doniawl y Parch. O. Jones, Wyddgrug, yn Gadeirydd, anerchwyd y dorf gan J. Phillips, ar Gymmwysder dwr fel diod, ei werth, a'i deleidrwydd, Mr. Thomas o Gaer, (yn Saesneg) ar Effeithiau Meddwdod a Dirwest, a'r Parch. D. Charles ar Natur y Diodydd Meddwawl; a Mr. J. Griffiths, (Wesleyaid) i derfynu y Cyfarfod.

Hon oedd Uchelwyl Ddirwestol gyntaf y Treuddyn, a llawen genyf allu hysbysu i'm brodyr yn mhob parth o'r dalaeth, fod lle i gredu nad hon fydd yr olaf—o herwydd nid yn unig ysigwyd gwrthwynebiadau mawrion a chryfion—ond derbyniwyd dros 400 newydd i'r fyddin Ddirwestawl.

J. Jones, Ysgrifenydd.

*Coed Talwrn, Gorph.* 15, 1840.

---

## Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

---

*At Olygydd y Drysorfa.*

Fy hoffus gyfaill,—Ar ddymuniad Cyfeisteddiad y Gymdeithas uchod, danfonwyf i chwi gopi o Reolau y Gymdeithas, i'w cyhoeddi yn y Drysorfa. Mae'n hysbys i'ch darllenwyr fod annogaeth wedi cael ei rhoddi gan Gymdeithasfa Chwarterol Llanfair, i ni, a pha eglwysi ereill bynag a ewyllysiont gydweithredu â ni, i fyned yn mlaen gyda'r achos Cenadol yn ol y Rheolau hyn; a diammheu genyf fod y rhan fwyaf o'n cyfeillion yn y Dywysogaeth yn barod i ddyfod yn mlaen yn llawen i'n cynorthwyo yn yr anturiaeth bwysig hon. Pwysig iawn yn wir ydyw; ac nid heb radd o deimlad o'i phwysfawrogrwydd yr ydym wedi penderfynu dechreu arni. Ond, tra yn crynu weithiau wrth feddwl am fawredd arswydol y gwaith yr ydym wedi ymaflyd ynddo, etto, gan hyderu mai oddiar wir ddymuniad am helaethu teyrnas Immanuel yr ydym wedi gwneyd hyny, teimlwn yn o hyderus y bydd yr Arglwydd yn foddlon i ni, ac y rhydd Efe ei fendith ar ein hymdrechiadau, er mor weiniaid fyddant. Ein bwriad ni yw myned yn mlaen yn ddystaw, gan helaethu'n gweithrediadau yn ol fel y goddefo y moddion arianol a ymddiriedir i ni gan ein cyfeillion; ac yn mhob symudiad o'r eiddom, dymunem gadw ein golwg yn syml ar Ben mawr yr eglwys, am gyfarwyddyd, ac arweiniad ei Ysbryd ef. Byddwn yn ddiolchgar hefyd am bob cymhorth, a chynghor a roddir i ni gan ein tadau a'n brodyr; a chan wybod y bydd arnom eisiau llawer o ddoethineb i ddwyn achosion y Gymdeithas yn mlaen mewn trefn, yr ydym yn deisyf arnynt roddi help llaw i ni yn y gwaith. Dymunwn alw sylw neillduol y brodyr sy'n blaenori yn nghyfarfodydd misol yr amrywiol Siroedd, at y bummed reol; a chawn wybod mor fuan ag y gellir, pwy fydd wedi eu pennodi ganddynt i fod o nifer Cyfarwyddwyr y Gymdeithas, fel y gallwn ymgynghori â hwy pan fyddo achos yn galw.

Dymunwyf hysbysu yn mhellach fod Cyfeisteddiad y Gymdeithas wedi penderfynu danfon ein brawd y Parch. Thomas Jones i Athrofa *Glasgow*, am hanner blwyddyn, i'r dyben iddo gyrhaedd hyny o wybodaeth ag y gallo mewn Physygwriaeth, yr hon wybodaeth a fydd o fawr werth iddo, i ba ran bynag o'r byd y danfonir ef fel Cenadwr. Hyderwn y ceir pob rhwyddineb i'w anfon ef i ryw barth o Hindoostan yn y gwanwyn nesaf.—Ydwyf, hoffus Gyfaill, yr eiddoch yn serchog,

John Roberts,

*Ysgrifenydd y Gymdeithas.*

D.S. Derbynir cyfraniadau at achos y Gymdeithas, gan yr Ysgrifenydd, No. 19. Mount Street; neu y Trysorydd, Mr. David Lewis, *Branch Bank of England, Liverpool.*

### RHEOLAU.

I. Fod y Gymdeithas hon i gael ei galw, 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig.'

II. Dyben y Gymdeithas yw anfoniad yr Efengyl i'r rhai sydd yn amddifaid o honi mewn gwledydd tramor.

III. Fod pob tanysgrifwr o ddeg swllt neu ragor yn flynyddol,—pob ewyllysiwr da i'r Gymdeithas a roddo bum punt neu ragor, a phob *Executor* a dalo gymyn-rodd o ugain punt neu ragor, at wasanaeth y Gymdeithas, i fod yn aelod o honi, a'i enw fel y cyfryw, i gael ei gyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

IV. Fod y Gymdeithas i gael ei dwyn yn mlaen o dan olygiad Llywydd, Rhaglywyddion, Ysgrifenyddion, a Thrysorydd, yn nghyda Chyfarwyddwyr, ac wyth o Gyfeisteddwyr, y rhai a newidir, neu a ailosodir yn eu swyddau bob blwyddyn, a'r

rhai, gyda swyddogion eglwysig y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool, a ffurfiant gyfeisteddiad cyffredinol.

V. Fod y Cyfarwyddwyr i fod yn gynnwysedig o swyddogion y Gymdeithas, ynghyda phedwar eraill, un o bob cynnulleidfa yn y dref, y rhai a bennodir gan y swyddogion eglwysig, ac a gymeradwyir gan yr eglwys i hyny; bod awdurdod i bob Cyfarfod Misol a ymuno â'r Gymdeithas, bennodi dau o'i aelodau i fod o nifer ei Chyfarwyddwyr, a bod hawl i'r cyfryw roddi eu pleidlais ar achosion y Gymdeithas.

VI. Fod y Cyfarwyddwyr lleol i gyfarfod unwaith bob mis,—y cyfeisteddiad cyffredinol pan y byddo angenrheidrwydd yn gofyn, a bod cyfarfod blynyddol y Gymdeithas (pryd y rhoddir Adroddiad am ei gweithrediadau yn y flwyddyn flaenorol, ac y gosodir swyddogion am y flwyddyn ddyfodol) i gael ei gynnal ar yr amser, ac yn y lle a bennodir gan y cyfeisteddiad; a bod yr holl gyfarfodydd i ddechreu a dybenu trwy weddi.

VII. Fod holl daliadau y Trysorydd dros y Gymdeithas i fod tan olygiad y Cyfarwyddwyr, ac na byddo iddynt hwy awdurdodi taliad unrhyw swm uwchlaw £30, heb ganiatad y cyfeisteddiad cyffredinol.

VIII. Fod y Cyfarwyddwyr, cyn derbyn gwasanaeth neb fel Cenadwr dros y Gymdeithas, i ofyn cydsyniad Cymdeithasfa Chwarterol y Corph; ac na byddo iddynt gynyg neb i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa, ond a fyddo wedi ei gymeradwyo ganddi o'r blaen fel pregethwr, a bod yn yr Athrofa berthynol i'r Corph, a rhoddi boddlonrwydd i'w athrawon o barth ei gymhwysderau i'r gwaith.

IX. Fod y Cyfarwyddwyr i ofalu ar fod pob un a dderbynir fel Cenadwr dros y Gymdeithas yn aelod o'r Gymdeithas Ddirwestol, a chael ganddo Ardystiad ysgrifenedig o'i gymeradwyaeth o Gyffes Ffydd y Corph, a'i benderfyniad i ymlynu wrth y cyfryw, cyhyd ag y byddo mewn undeb â'r Gymdeithas.

X. Fod pymtheg o aelodau y cyfeisteddiad cyffredinol, a phump o'r Cyfarwyddwyr yn ddigonol i weithredu ar achosion y Gymdeithas, yn eu cyfarfodydd priodol.

---

CYMMANFA GAERODOR, MEH. 7, 8, 1840.

Nos Sadwrn am 7, cynnaliwyd Cyfarfod Llefarwyr a Blaenoriaid. Am ½ awr wedi 6, boreu ddydd Sabbath, cynnaliwyd Cyfarfod Neillduol, pryd yr ymdriniwyd â'r arferiad pechadurus o esgeuluso moddion gras. Nodwyd, ei fod 1. Yn wrthryfel cyhoeddus yn erbyn awdurdod a chyfraith Duw, &c. Ps. c. 4. Joel ii. 15, 16. 2. Yn ddyrnod ar wraidd teyrnas Mab Duw yn y byd, &c. Luc xiv. 16—21. 3. Yn ddirmyg ar addewid Crist, &c. Ex. xx. 24. Mat. xviii. 20. 4. Mae yn archolli calon gwir Weinidogion ·w, &c. 2 Cor. vi. 1, 2. Heb. x. 24, 25. 5. Y moddion mwyaf effeithiol yw i galedu y byd, &c. 6. Yr esgeuluswr ei hun sy'n cael ei niweidio fwyaf—mae yn diffodd yr Ysbryd, &c. A dylai pob esgeuluswr wneud penderfyniad gonest ar ei fater.

Am hanner awr wedi 10, pregethodd Mr. W. Williams, Talgarth, Ioan xvi. 8. a Mr. W. Prytherch, 1 Pedr ii. 20. Hanner awr wedi 2, pregethodd Mr. R. Thomas (yn Saesneg) Titus ii. 4, 5, 6. Am 6, pregethodd Mr. D. Evans, Capel Drindod, Luc xii. 32. a Mr. W. Morris, Tŷ Ddewi, Act. viii. 5.

Am hanner awr wedi 6, boreu ddydd Llun, â'r holl eglwys ynghyd, rhoddwyd amryw annogaethau i ddwyn ein plant i fynu yn grefyddol, ac yn y mwynhad o'r breintiau a roddodd Pen yr Eglwys iddynt. Hefyd, ymdrechu gwneud iddynt ddeall yr iaith Gymraeg. Cynghorwyd i wneud ymdrech mwy egniol gyd â'r Ysgol Sabbathol. A therfynwyd drwy annog pawb i fod yn Ddirwestwyr; gan gofio mai ffrwyth yr Ysbryd ydyw; a bod y gras sydd yn dwyn iachawdwriaeth yn dysgu dynion i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon. Am hanner awr wedi 10, pregethodd Mr. W. Prytherch, Job v. 26. a Mr. R. Thomas, Mat. xxv. 29. Am hanner awr wedi 2, Mr. W. Williams, Phil. iii. 10. a Mr. D. Evans, Job xxxiii. 27, 28. Ac am 6, Mr. R. Thomas, Ps. 46. 4. a Mr. W. Morris, Dat. v. 8.

Yr oedd y dorf yn lluosog, ac yn gwrando yn astud, a gobeithir y bydd ôl y gwirioneddau arnynt hyd byth.——*A dalfyrwyd allan o Lythyr* W. MORRIS, *Caerodor*.

---

CYFARFOD BLYNYDDOL FFLINT.

Sabbath, Gorph. 19, y cynnaliwyd y Cyfarfod uchod yn Fflint, lle yr ymgasglodd tyrfa luosog i wrando, ac y dangoswyd caredigrwydd mawr gan drigolion y dref. Yr oedd goleu hynod yn y pregethau—yr oedd goreuon iachawdwriaeth ar y bwrdd o flaen pechadur. Anfynych y gwelwyd golwg mwy syml ar gynnulleidfa yn gwrando; a hyderwn mai hir y pery ôl y Cyfarfod blasus hwn. Pregethwyd yn y drefn ganlynol, am 9, yn y boreu, pregethodd Parch. E. Phillips, Wrexham, Esa. 55. 1. ac ar ei ol y Parch. J. Wynne, Ruthin, Eph. 2. 1. Am 2 o'r gloch, gweddiodd Parch. Daniel Roberts, Lodge, a phregethodd y Parch. J. Wynne, Esa. 26. 21, 22. Parch. W. Williams, Manchester, Act. 24. 25. Am 6, yn yr hwyr, gweddiodd y Parch. J. Jones, Wrexham, a phregethodd y Parch. Ellis Phillips, ar Gal. 5. 7. a'r Parch. W. Williams, ar 1 Cor. 15. 20. Wedi hyny gweinyddodd y Parch. E. Phillips yr ordinhad o Swpper yr Arglwydd, ac yna aethom i'n ffordd yn llawen, wedi cael pleser nid bychan. GOMER, *Mynydd*.

---

Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Gorph. 10. Aeth Ysgrif Treth y Coed drwy yr Eisteddfod.

Cytunwyd hefyd âg Adroddiad Diwygiad Corphoraethau y Werddon.

*Tŷ y Cyffredin.* Gorph. 9. Dododd Mr. Hume ei gynnygiad am ddiwygiad ar gyfraith yr Yd heibio am eleni.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Gorph. 13. Hysbysodd Arg. Melbourne i'w Harglwyddi fod ganddo genadwri oddiwrth ei Mawrhydi. Dynoethodd pawb eu penau mewn mynyd. Darllenodd Arg. Ganghellwr y genadwri, fel hyn: 'Mae ansicrwydd bywyd dynol, ynghyd a dwys deimlad o'm dyledswydd tuag at fy neiliaid, yn gosod rhwymau arnaf i ddwyn dan eich ystyriaeth y ddamwain a allddygwydd mewn amser dyfodol, ac i wneuthur y cyfryw rag-barottoad ag a fyddo yr amgylchiadau hyny yn ymddangos i chwi eu bod yn galw am dano tuag at ymdriniaeth yr awdurdod Freninol.

Myfi a fyddaf yn barod i gyduno â chwi yn y cyfryw fesurau ag a fyddont yn ymddangos i chwi yn oreu i'r dyben o ddal i fynu allu a mawrhydi y goron yn ddilwgr, a thrwy hyny cadarnhau y diogelwch sydd yn amddiffyn iawnder a rhyddid fy mhobl.' Penderfynwyd cymmeryd hyn dan ystyriaeth dranoeth.

Darllenwyd Ysgrif Llywodraeth Canada y drydedd waith, a phasiwyd hi.

*Tŷ y Cyffredin.* Gorph. 13. Dyg Arg. J. Russell y cyffelyb genadwri oddiwrth y Frenines ag a ddygwyd ar yr un dydd i Dŷ yr Arglwyddi. Yr achlysur sydd yn galw am y cyfryw ragbarottoad yw yr amgylchiad y mae ei Mawrhydi ynddo yn bresennol, rhag dygwyddo ei marwolaeth hi yn y cyfyngder sydd o'i blaen, fel y parottoer erbyn y gwaethaf: er ein bod oll o un fryd calon yn barod i ddywedyd, 'Na atto Duw i ddim niwed ddygwydd ddi hi.' Er hyny, da yw parottoi erbyn amser o berygl: mae hyn yn ddoethineb.

## HANESION TRAMOR.

### GWRTHRYFEL YN PERSIA.

Ni fu nemawr o ddaioni, na llwydd, na llonyddwch yn Persia ar ol yr anghydfod a ddygwyddodd ychydig amser yn ol, pan ymadawodd Cenadwr Brydain oddiyno. Yn awr mae Cenadwr Ffrainc hefyd ar ymadael oddiyno gyda brys. Mae y Shah, sef Brenin Persia, yn wr afresymol a gorthrymus ryfeddol, fel y mae ei ymddygiad gormesol ef wedi peri i'w bobl godi mewn gwrthryfel cyffredinol yn ei erbyn ef. Mae brawd y brenin wedi gorfod ffoi am ei fywyd i'r Brif ddinas, sef Ispahan, ac mae holl Dywysogion y llywodraeth yn dianc yma a thraw am eu bywyd, yn y cyffelyb fodd.

### RHYFEL A CHINA.

Y llongau rhyfel canlynol ydynt i wneud i fynu y llynges sydd yn cael ei pharottoi gyda brys i ymosod ar China fawr, dan lywyddiaeth y Môr-lywydd, yr Anrhydeddus G. Elliott. Algerine 10, Alligator 18, Blenheim 71, Blonde 42, Childers 16, Columbine 18, Conway 26, Cruizer 16, Druid 44, Favourite 18, Herald 26, Hyacinth 18, Larne 18, Melville 74, Modeste 18, Nimrod 20, Perolus 18, Pylades 18, Volage 26, Wanderer— Wellesly 74. Mae hefyd ddwy o Agerdd-longau rhyfel mawrion, y Queen a Sesostris, yn perthynu i Gyd-fasnachyddion yr India Ddwyreiniol, yn nghyd ag amryw Agerdd-longau o Bombay a Calcutta i'w chwanegu atynt.

*Cyd-Fasnachwyr yr India Ddwyreiniol.*—Mae y Boneddigion masnachol, a chyfoethog hyn yn llwyr-fwriadu arfer moddion i gynnyrchu cotwm yn yr India Ddwyreiniol, er llenwi marchnadoedd a galwad Brydain Fawr, a gwledydd ereill â'r defnydd buddiol hwnw.

---

*Y Gwas a laddodd ei Feistr.*—Profwyd gwas Arglwydd William Russell, a chafwyd ef yn euog o ladd ei feistr trwy dori ei wddf ef âg elyn, ag yntau yn cysgu ei wely, yn ei dy ei hun. Crogwyd ef ar bren yn gosp am ei draha, ac er rhybudd i ereill.

*Edward Oxford.*—Profwyd E. Oxford, yr adyn rhyfygus a saethodd ddau lawddryll at y Frenines, a chafwyd ef yn euog. Eithr barnwyd hefyd ei fod ef allan o'i bwyll ar y pryd. Mae yn debygol y carcharir ef am ei oes.

## PRIODWYD,

Mehefin 5, yn Eglwys Llanfair, Bettws Geraint, Môn, gan y Parch. Mr. Williams, Mr. John Williams, Dilledydd, Llangefni, ('Ieuan Glan Gwyfro,') â Miss Elizabeth Owen, Pen y Garnedd, yn y plwyf blaenaf. Cynnaliwyd y briodas yn unol a'r drefn Ddirwestol.

Gorphenaf 3, yn Machynlleth, Mr. John Jones, ŵyr i'r diweddar Barch. W. Jones, Dol-y-fonddu, â Miss Mary Edwards, merch i'r diweddar Mr. Charles Edwards, Machynlleth, ill dau yn aelodau hardd a llafurus gyda'r Trefnyddion Calfinaidd.

*Machynlleth.* R. Dyfi.

Gorphenaf 9fed, yn St. Martin's, Mr. H. Hughes, Swyddog y Gyllidaeth *(Officer of Excise)* Northampton, diweddar o Langefni, Môn, â Diana, trydedd ferch Mr. Woollans, Ffermwr, ger Croesoswallt, Sir Amwythig. C. G. o Gefni.

## BU FARW.

Bu farw, Mai 23, 1840, yn 75 mlwydd oed, Mr. John Jones, Masnachwr gwlân, Llangollen, wedi bod yn ffyddlon gydag achos yr Arglwydd, yn hardd ei rodiad fel Cristion, a chyfiawn yn ei fasnach fel gwladwr; a dibenodd ei daith ag arwyddion amlwg fod marw yn elw mawr iddo, a'i goffadwriaeth yn fendigedig gan fyd ag eglwys.—John Hughes, *Llangollen.*

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXVII.] MEDI, 1840. [LLYFR X.

## Y DIWEDDAR BARCH. JOHN WILLIAMS,

*Cenadwr yn Ynysoedd Môr y De.*

(Parhad o du dal. 229.)

§ 3. *Y llwyddiant mawr a ddilynodd ei waith.*

CHWYDDAI fy ysgrif i feithder anghymmesur pe y manylwn i'r graddau a ellid ar y dosparth hwn etto, ac am hyny ymfoddloned eich darllenwyr ar ychydig o ddyfyniadau yn unig. Yr oedd oesau ar oesau yn cyflym lithro i dragywyddoldeb heb neb yn meddwl, neu o leiaf yn amlygu hyny, am anfon un efengylwr i gyhoeddi y newyddion da o lawenydd mawr i ganol y tywyllwch caddugawl ag oedd yn gordoi Ynysoedd Môr mawr y De. Ond pan sefydlwyd y Gymdeithas Genadol, yr ymofyniad cyntaf oedd, 'Y'mha le y cawn ddechreu ar ein llafur o drugaredd?' Yn y cyfarfod hwn yr oedd yr enwog Dr. Haweis, offeiriad *All Saints*, Aldwinkle, a Chapelwr i'r Arglwyddes Huntington, yn bresennol, ac efe oedd un o sylfaenwyr y Gymdeithas ar y cyntaf, a phriodol y gellid ei alw yn dad y Genadaeth i Ynysoedd Môr y De; ac mewn Anerchiad i'r perwyl a draddodwyd ganddo yn Nghapel Surrey, yn Llundain, dywedai, 'Y mae y maes sydd o'n blaenau yn eang iawn! O! na allem fyned i mewn trwy fil o byrth! na byddai pob aelod o honom yn dafod; a phob tafod yn udgorn, i ledaenu yr hyfryd sain.' Ac wrth fyned y'mlaen â'i araeth, gan ddarlunio yr binsoddau, yr ieithoedd, defodau ac arferion, a chrefydd y gwledydd cenedlig, gan ddyweyd mai 'o holl dywyll-leoedd y ddaear,' Ynysoedd Môr y De yn unig oedd â lleiaf o anfanteision, a'r golwg ddymunolaf i ddechreu ar y gwaith mawr hwn. A'r canlyniad fu i araeth Mr. Haweis gael ei ffurfio yn benderfyniad yn y fan, a dechreuwyd ar y gwaith yn ddioedi.

Ond erbyn cyrhaedd yno yr oedd anwybodaeth ac ofergoeledd yn eistedd ar eu gorseddfeingciau mewn heddwch, ac ar ddynesiad cyntaf y Cenadon yn barod i daflu cilwg chwerthinllyd ar eu gilydd, ac wrth weled y miloedd oedd ganddynt yn rhwym wrth eu hewyllys yn barod i ofyn, 'A ddygir y caffaeliaid oddiar y cadarn?' ond erbyn heddyw y mae llafur y Cenadon hyny, ac nid y lleiaf o honynt oedd Mr. Williams, wedi cywiro yr ymadrodd, 'Carcharorion y cadarn a ddygir;' &c. ac nid all y syniadau lleiaf o'r llwyddiant mawr â pha un y coronwyd hwy lai na pheri i galon pob Cristion ddychlamu yn ei fonwes o lawenydd, a pheri i'w dafod foliannu Duw ei dadau.

Mewn rhan flaenorol o'r hanes hwn nodwyd yr anwybodaeth dirfawr yr oedd y cenedloedd hyn yn llafurio dano o barth y celfyddydau heb son dim am wir grefydd. Os oedd syndod *penaeth* yn cael ei gynhyrfu gymmaint gan ddau air ysgrifenedig ar ysglodyn, rhaid i ni ddeall fod y *werinos* yn anwybodus dros ben. Ond cyn pen hir iawn cawn fod ysgrifenu wedi myned yn beth lled gyffredin yn yr ynysoedd---ac yn yr ysgrifeniadau hyny y cawn fod pethau mawrion yr efengyl wedi cael lle dwys ar eu meddwl. Yma dodaf un neu ddau o'r llythyrau a ysgrifenwyd gan rai o'r brodorion at Mr. W.

Y llythyr cyntaf a ysgrifenwyd gan blentyn bychan naw mlwydd oed, ac sydd fel y canlyn:---

"Gwas Duw, yr ydym yn gofidio llawer iawn drosoch; mae ein calonau yn ddolurus gan ofid, o herwydd eich bod chwi yn myned i'r wlad bell hono o'r eiddoch, ac yr ydym yn ofni na chawn ni byth weled eich wyneb mwy. Gadewch John i'n dysgu ni tra yr eloch, yna ni a allwn ddysgwyl eich gweled eilwaith; ond os cymmerwch chwi John hefyd yna ni a gollwn bob

gobaith. Ond paham yr ydych yn myned; nid ydych chwi yn hen ddyn ac wedi treulio etto. Aroswch nes y byddoch yn methu gweithio dim yn ychwaneg dros Dduw, ac wedi hyny ewch."

Un tro arall, pan ydoedd Mr. W. yn Tahiti efe a dderbyniodd y llythyr canlynol:—

"*Afareaitu, Medi* 2, 1830.

Anwyl Gyfeillion, Williamu a Miti Papu.*

"Bydded i fendith y gwir Dduw orphwys arnoch chwi, a Iesu Grist ein Gwaredwr. Trwy ddaioni ein Tad y mae genym y gobaith o gael cyfarfod etto. Duw a'ch arweiniodd chwi allan o'r ynysoedd cenedlig, ac a'ch dygodd yn ol mewn diogelwch. Nid yw ei ddaioni byth yn pallu. Wele ryw anerch bychan i chwi eich dau, yn mha un y mae yr holl frodyr yn Afareaitu yn uno. Hysbyswch i ni am yr ynysoedd y gadawsoch ein dau frawd Hatai a Faaruea. Bydded ein holl galonau ni yn *un* am eangu y wybodaeth am enw da Iesu! Yr ydym yn llawenhau na ddarfu y dyfnder eich llyngcu chwi i fynu, fel ag y gwnaeth i rai ereill; ac na chamdriniwyd chwi ychwaith gan drigolion y lleoedd tywyll, fel ag y gwnaed âg ereill. Gallu Duw a'ch cadwodd. Bydded i ni fod yn fwy diwyd nag erioed, frodyr, i geisio chwalu y tywyllwch oddiar y gwledydd cenedlig; a bydded iddynt gael gweled y goleuni dysglaer. Bydded i law nerthol Duw ddiwreiddio pob planhigyn gwenwynig o baganiaeth, fel y delo ein gweddi yn fuan i ben, 'Deled dy deyrnas!'

"Hyn yw ein dymuniad bychan; dowch a gwnewch yn hysbys i ni amgylchiadau eich taith, fel y gwneler ein calonau yn *gynnes*. Ni a ddymunem weled eich wynebau; ond os na ellwch ddyfod ysgrifenwch atom gymmaint ag a alloch. Dyma yr oll sydd genym i'w ddywedyd. Bydded i fendith fawr eich dilyn chwi ill dau trwy Iesu Crist.

Y Brodyr yn Afareaitu."

Dyma rai o'r bobl ag oeddynt ychydig amser yn ol yn offrymu moch, a physgod, a phob peth o werth ag oedd ganddynt i'w duwiau, ïe, yn offrymu dynion hefyd, yn awr yn ysgrifenu am enw Iesu Grist, â'u calonau yn llosgi ynddynt mewn awyddfryd gwresog am gyhoeddi yr enw bendigedig hwn o ynys i ynys hyd eithafoedd y ddaear.

---

* Meistriaid Williams a Barff, y Cenadon.

Yr oedd ganddynt, y mae yn wir, ryw feddwl am sefyllfa wedi marw, a rhyw ddychymmyg am fyd ar ol hwn, ond yr oedd y cyfan wedi ei blethu mor gadarn gyda phob hygoeledd a allai paganiaeth ei ddyfeisio. Credai y Tahitiaid fod dau le o breswylfa i'r ysbrydion— un oedd y baradwys beraroglaidd, a'r llall sydd ry ffiaidd i'w darlunio. Y Rarotongiaid a ddarlunient eu paradwys fel tŷ hir iawn, wedi ei amgylchu â blodau, &c. a'u huffern ydyw bod yn gorfod ymrwyfo oddeutu y tŷ oddiallan, a gweled llawenydd y preswylwyr, a chael eu poeni gan ddymuniad cryf am fod yn un o honynt ond heb allael byth gyrhaeddyd hyny. "Ond gweled y rhai hyn (medd Mr. Williams) yn awr wrth y *miloedd* yn eistedd yn eu dillad ac yn eu hiawn bwyll, mewn lleoedd o addoliad wedi eu hadeiladu ganddynt â'u dwylaw eu hunain, yn gwrando ar wirioneddau yr efengyl gyda dyfalwch rhyfeddol, sydd olygfa mor fawryddig fel nad all y meddwl dynol ei ddychymygu."

Yr oedd duwiau yr ynysoedd hyn, fel y nodwyd, yn lluosog iawn, ond er y cwbl bu cyhoeddi un Duw yn y nefoedd, a'r Ysbryd yn bendithio y genadwri, yn foddion i'w taflu oll oddiar orseddfeinciau eu mawredd, a'u dwyn yn golofnau capelau, yn gynud tân, ac yn anrhegion i Amgueddfa y Gymdeithas. Nid yn unig yr oedd pen teulu yn cael ar ei galon ymwrthod â'i dduwiau, ac offeiriad yn awr a phryd arall yn rhoddi gobaith ei elw o'r neilldu; ond yr oedd ynysoedd cyfain i'w canfod yn eu rhoddi i fynu ar yr un foment. "Un tro," medd Mr. W. "cawsom ar ein meddwl anfon Cenadon i ynys Rurutu; ac wedi i'n heglwys fechan ymgynnull ynghyd gofynasom, pwy yn eu plith a elai. Dau o'r diaconiaid yn ebrwydd a ddywedasant, 'Wele ni, anfonwch ni.' Ac wedi i bob aelod ddwyn anrheg fechan iddynt cyflwynasom hwy i fyned at eu gorchwyl.

"Gan ein bod yn bryderus iawn am wybod pa dderbyniad a gafodd ein brodyr yno, yr oeddym yn hiraethu yn fawr am weled y llong yn dychwelyd. Ym mhen oddeutu mis o ddyddiau canfyddem hi yn dyfod i'r porthladd, ac ym mhell uwchlaw ein dysgwyliad yn llwythog o dduwiau a ennillwyd yn y rhyfel dan faner Tywysog y tangnefedd.

"Yn fuan wedi hyn cynnaliasom gyfarfod yn ein capel mawr fel y gallem adrodd yr hanes i'n pobl ein hunain, ac

ddychwelyd diolchgarwch i Dduw am goroni ein cynnygiad cyntaf â llwyddiant mor ryfeddol. Yr oedd y capel wedi ei oleuo â deg canwyllbren gorwych, ac yn y canwyllbren canol yr oedd deunaw goleu yn llosgi---deuddeg yn y cylch isaf, a chwech yn yr uchaf; ac yn y lleill yr oedd yn rhai ddeg ac yn ereill ddeuddeg. Yn ystod y pryd-nawn yr oedd y duwiau yn cael eu dangos yn gyhoeddus. Ac wrth ddangos un yn neillduol, sef Aa, duw gwladol Rurutu, achoswyd cynhyrfiad nid bychan; yr oedd wedi ei addurno â lluaws o fân dduwiau oddi allan, ac wrth ei fanwl chwilio canfyddwyd dıws bychan yn ei gefn, ac wedi ei agoryd gwelwyd ei fod yn llawn o dduwiau mân, ac nid llai na phedwar ar hugain a dynwyd allan o'i grombil, bob yn un ac un, gan eu dal i fynu i bawb eu gweled. Dywedir mai yr Aa hwn oedd yr henafgwr a boblogodd yr Ynys, ac ar ol iddo farw a wnaethpwyd yn dduw.

"Ar yr achlysur hwn traddodwyd llawer anerchiad difrifol a phwysig; a rhydd y dyfyniad canlynol ryw ddrychfeddwl o honynt. Tuahine, un o'r diaconiaid, a sylwai, 'Fel hyn y dyfethir y duwiau a wnaed â dwylaw. Dyma hwy, wedi eu rhwymo â chortynau! Ië, eu henwau hefyd a newidiwyd. Gynt y gelwid hwy *Te mau Atua*, neu 'y duwiau;' ond yn awr gelwir hwy *Te mau Varu ine*, neu 'ysbrydion drwg.' Eu gogoniant, chwi a welwch, yw ychydig o blyf adar a bydrant yn fuan; ond ein Duw ni sydd yr un byth ac yn dragywydd.'"

Wel yn awr, anwyl ddarllenydd, dyna y fath weithiwr difefl oedd Mr. Williams yn eithafoedd Moroedd y De, dyna i ti fyr ddarluniad o'r peryglon y bu ynddynt---yr anfanteision y bu danynt---a'r llwyddiant mawr a ddilynodd ei waith. Ac yn awr, cyn ymadael, arweiniaf dy fyfyrdod i draeth Errumango i gael golwg ar y sant yn huno; ac yna gollyngaf di i gwympo ar dy liniau yn ochr y clawdd, neu i blith dy frodyr ar y nos Lun cyntaf o'r mis, i weddio yn daer am i'r Arglwydd anfon gweithwyr etto i'w winllan, a phrysuro y dyddiau y byddo yr Iesu yn teyrnasu 'o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd eithafoedd y ddaear.'

---

*Y Diweddglo—Marwolaeth Mr. Williams.*

Wedi i'r llong *Camden*, yn mha un y moriai Mr. Williams a'r Cenadon ereill, ymado o Sydney, yn Neheudir Cymru Newydd, ar y 25ain o Hydref, 1838, a chyrhaedd i Rarotonga yn mis Chwefror, 1839, a gadael yno rai o'r Cenadon, hwyliasant yn mlaen ar eu mordaith ofidus: ac ar y 4ydd o Ragfyr, 1839, ysgrifenai un Gohebydd i'r *Sydney Colonist* y newydd galarus fod Mr. Williams, a'i gyfaill Mr. Harris, wedi cyfarfod â'u hangeu dan ddwylaw gwaedlyd yr anwariaid ar draeth ynys Errumango.

Wrth y llythyr hwn yr ydys yn deall fod yn mryd Mr. W. ymweled â phob ynys Baganaidd, a sefydlu Cenadon ynddynt. Ac i'r dyben hyn cymmerodd gydag ef rai athrawon brodorawl o Samoaid; ac ar y 18fed o Dachwedd cafodd yr hyfrydwch o sefydlu pedwar o honynt yn Empabo, neu Tanna. Gyda golwg ar hyn yr oedd Mr. W. wedi ysgrifenu y nodiad byr canlynol, yr hwn a hynodir yn fwy wedi y dygwyddiad galarus a'i dilynodd, "Hwn yw y dydd a adgofir yn hir; diwrnod a gofféir gan ein hiliogaeth ar ein holau; a chofnodau o ddygwyddiadau heddyw a fyddant mewn bod yn hir wedi i'r rhai a gymmerasant ran ynddynt gilio i gysgodion angof---ac effeithiau y diwrnod hwnw a fydd ——" ac y mae diwedd y frawddeg yn aros i'r byd Cristionogol ei gorphen. Hyd yma y cyrhaeddodd llaw Mr. W. o herwydd ar nawn y dydd canlynol y cyrhaeddodd y llong i olwg Errumango, ar ba un y syrthiodd o flaen ei erlidwyr.

Pan welodd Mr. W. yr ynys yr oedd ei awyddfryd gymmaint am adael Cenadon brodorawl yno fel na allodd gysgu dim y noson hono; ac yr oedd ei fyfyrdod a'i galon wedi ymroddi yn llwyr at gwblhau ei ddymuniad; ond galarus yw dywedyd ddarfod ei siomi ef yn ei amcan, yr hyn a attaliwyd i ryw ddoeth ddybenion, cwbl hysbys iddo ef heddyw ar fryniau Caersalem, ond sydd ac a fydd yn nghudd i bob llygad o gnawd am oesoedd lawer.

Er mwyn rhoddi hanes manylaidd am farwolaeth Mr. W. ni ellir gwneuthur hyny yn gymmwysach na thrwy roddi y cyfieithiad canlynol o lythyr yr Is-lywydd Cunningham, gwr boneddig ag ydoedd gydag ef, ac yn llygad-dyst o'r holl amgylchiad.

"*Tachwedd* 20, 1839.---Wedi bod yn gorwedd allan yn y môr drwy y nos, y boreu hwn ni a hwyliasom tu a'r làn, ac a redasom ar hyd ochr ddeheuol yr ynys, gan chwilio am y gilfach ag y gallai ein cwch lanio ynddo. Yr oedd yr

ochr hon i'r ynys yn gwbl mor anffrwythlon a'r rhan a welsom y prydnawn o'r blaen. Yr oedd heidiau o'r brodorion i'w canfod yn rhedeg ar hyd y creigiau gan waeddi a lleisio wrth weled ein llestr yn llithro yn esmwyth ar hyd wyneb y dyfnder heibio iddynt.

Oddeutu saith o'r gloch cawsom hyd i angorfa eang ar ochr de-orllewinol yr ynys; ac wedi i ni roddi y cwch i lawr o'r llong ni a rwyfasom tu a'r lan---y Cadben Morgan wrth y llyw, a Mr. Harris a minnau gyda Mr. Williams.

Cyn pen hir canfuasom un o gychod y brodorion yn dyfod oddiwrth y creigiau, a chyfeiriasom i'w gyfarfod. Yr oedd y cwch o wneuthuriad anghelfydd ryfeddol, wedi ei naddu o un boncyff mawr o bren; a rhwyfid ef gan dri o ddynion, y rhai a ymddangosent yn gwbl noethion.

Galwasom arnynt yn iaith Tanna, ond yr oedd yn amlwg nad oeddynt yn deall, o herwydd ymddangosent yn ofnus ac yn amheus iawn o honom. Cawsom gryn waith eu hudo yn ddigon agos atom i dderbyn bachau pysgota, a thaclau bychain ereill a roddem iddynt: ac wedi gadael y rhai hyn ni a safasom enyd yn ymyl y creigiau ar ochr ddwyreiniol yr angorfa. Yma cawsom fod y dwfr yn ddwfn, a'r creigiau yn uchel ac yn serth, o liw melyn, ac yn llawn ogofeydd dyfnion, ac yr oedd yr holl fryniau yn ymddangos i mi yn debyg i fynyddoedd Fetuna; ac ychydig o goed *cocoa* a ffrwythau ereill a welid yma ac acw ar hyd y fan. Gwelais un hebog llwyd anferth ar gopa y creigiau, a sylwais mai dyma yr aderyn ysglyfaethus cyntaf a welwyd ar yr ynys---a bod yma faes eang i'r hwn a hoffai astudio adariaeth yn gystal a'r dyngarwr i lafurio ynddo.

O'r pwynt yr oeddym ynddo yn awr i'r ochr ogledd-orllewinol i'r angorfa yr oedd y wlad yn ymddangos yn hardd iawn. Bryn ar fryn, fel tônau y môr, wedi eu harwisgo â glaswellt, a'u tryfritho yma ac acw â thwmpathau gwyrddion, yn ymestyn am filltiroedd meithion i'r gogledd-ddwyrain, a roddai olygfa brydferth ar y fan, tra yr oedd amryw o fynyddoedd cribog yn dyrchafu eu corynau yn y pellder. * * *

Wedi i ni gyrhaedd pen yr angorfa canfyddem ffrwd fawr o ddwfr yn rhedeg, lle y barnem yn fwyaf tebygol fod pentref brodorawl, os oedd un, yn sefyll. Yma y gwelsom oddeutu deuddeg o'r brodorion gyd â'u gilydd, a phan redasom y cwch tu ag atynt, dychrynasant yn ddirfawr, a rhedasant ymaith; a threuliasom gryn amser cyn i ni allu denu neb o honynt yn ddigon agos atom i godi y mân roddion a daflem iddynt i'r lân.

Pan welsant fod genym nwyddau mor werthfawr iddynt, o ychydig i ychydig daethant yn nes atom, a derbyniasant fachau pysgota o law un o honom yn mhen blaen y cwch; ond nis gallasom gael gan un o honynt ddyfod i mewn i'r cwch er i ni wneud ein goreu tu ag at hyny. Ni a rwyfasom o'r man hyn i'r ochr arall i'r ffrwd ddwfr, a'r brodorion a redasant trwodd, ac a'n dilynasant, a ninnau oeddym yn parhau i roddi iddynt fachau, &c. a chwyddodd y gynnulleidfa yn fuan i oddeutu 50, rhwng gwyr a bechgyn, ond nid oedd yno ddim merched, ac yr oeddynt oll wedi ymarfogi â ffyn, ac â bwâau a saethau, cyffelyb i'r brodorion yn Tanna. Rhoddasant i Mr. Harris amryw sypiau o saethau, a phob tro y derbynient anrheg, cynnygient rywbeth yn gyfnewid am dani, megys cnau *cocoa* a'r cyffelyb---ond gwrthodasom eu holl gynnygion, gan geisio dangos iddynt mai er mwyn cyfeillach, ac nid er marchnata, y daethom atynt. Rhoisom ddrych i un o honynt, yr hwn a dynodd sylw cyffredinol y dorf. Estynais ysten o'r cwch iddynt, a gwneuthym arwydd fod arnom eisieu dwfr, a chipiodd un hen wr hi a rhedodd ymaith.

Yna sylwodd Mr. W. na adawai yr un o'r athrawon brodorawl yn yr ynys hon, ond os oedd modd y gadawem argraff ddaionus ar feddyliau y bobl o'n caredigrwydd atynt. Ond pa fodd bynag, yr oedd llawer o'r brodorion na ddaethant yn agos i'r cwch, ond ymgadwent yn y pellder, gan yspio arnom rhwng y twmpathau. A gwelsom lawer o honynt ar bob tu i'r afon ag oedd yn ymddolenu o ganol y wlad. "Ond (ebai Mr. W.) mi a chwennychwn yn fawr weled rhai o'u tai a'u planfeydd." Yna gofynais iddo a oedd efe yn bwriadu lanio, pan yr atebai ei fod efe yn barnu nad oedd y perygl lleiaf.

Wedi gwneuthur arwydd ar y brodorion fod arnom eisieu dwfr hwy a dorasant amryw gnau *cocoa*, ac a'u hestynasant ini i'r cwch---a dychwelodd yr hen wr hefyd â'r ysten yn llawn dwfr, a pharodd hyn i ni ymddiried mwy ynddynt o herwydd eu gonestrwydd.

Yr oedd Mr. Harris yn mhen blaen y cwch ar y pryd yn rhanu bachau, &c. iddynt, a throdd at Mr. W. i ofyn iddo

a oedd ganddo wrthwynebiad iddo fyned i'r lân i'w plith. Mr. W. a atebai, "Nac oes yn sicr." Mr. H. ar hyn a ddiosgai ei esgidiau, ac a neidiai i'r dwfr, a'r brodorion a ddiangasant ymaith yn synedig, ac am beth amser ni ddeuent yn agos ato, hyd oni ddeisyfodd Mr. W. arno eistedd i lawr, ac yna hwy a ddynesasant ato yn arafaidd ac yn wagelog iawn. Wedi hyny laniodd Mr. W. a minnau, a chynnullodd y brodorion o'n deutu.

Ar hyn Mr. H. a ddywedai fod arno chwant cael hynt fechan i fynu i'r tir, yr hyn ni wrthwynebwyd iddo; ac efe a gerddodd yn mlaen, a lluaws o'r brodorion yn ei ddilyn. Mr. W. a minnau a'i dilynodd, gan fyned i fynu ar hyd lân yr afon. Yr oedd dull a golwg y brodorion y fath nad oeddwn yn ei hoffi, ac am hyny y dywedais wrth Mr. W. mai eithaf rhesymol fyddai i ni ofni eu dialedd o herwydd yr anghydfod diweddar fu rhyngddynt â dyeithriaid, yn mha ymgyrch y gallai fod rhai o'u cyfeillion wedi eu lladd.

Nid wyf yn cofio i Mr. W. roddi i mi un atebiad, am ei fod yn prysur adrodd y ffugyrau Samoaidd i haid o fechgyn, un o ba rai oedd yn adrodd ar ei ol. Ac yr oeddwn innau yn ceisio dysgu rhai o enwau y pethau oedd o'n hamgylch, ac yn cerdded yn y blaen. Wrth ganfod rhai cregyn ar fin yr afon codais hwynt i fynu; ac wrth sylwi eu bod o rywogaeth anadnabyddus i mi, ac yn eu rhoddi yn fy llogell, clywn grochfloedd echrydus, ac yn y fan rhedai Mr. Harris allan o'r twmpathau oddeutu 20 llath o'm blaen. Gwelais yn awr fod yn rhaid rhedeg neu farw. Gwaeddais ar Mr. W. i redeg (canys yr oedd efe cyn belled o'm hol ag oedd Mr. Harris o fy mlaen) a rhuthrais trwy ganol y brodorion oedd ar fin yr afon, y rhai, pan y gwelsant fi, a ymagorasant o'm blaen. Troais fy mhen yn ol, a gwelwn Mr. Harris yn syrthio yn y nant, a'r dwfr yn golchi drosto, a lluaws o'r brodorion yn ei guro â ffyn. Ni bu i Mr. W. ddechreu rhedeg pan y gwaeddais arno gyntaf, ac am hyny gelwais arno drachefn, o herwydd nad oedd dim amser i'w golli; a chyfeiriais tu a'r cwch, yr hwn oedd allan o olwg yn nghysgod y twmpathau.

Mr. W. yn lle rhedeg at y cwch, a redai ar hyd y traeth at y dwfr, ac un o'r anwariaid yn ei ddilyn. Yr oedd yn ymddangos i mi mai bwriad Mr. W. oedd nofio allan i'r môr, hyd oni ddaethai y cwch ato. Gyda fy mod yn ngolwg y cwch clywn floedd yn fy ymyl, a phan droais fy mhen gwelwn un o'r brodorion wrth fy sawdl, â ffon yn ei law. Ymgrymais tu a'r ddaear, a chodais gareg a tharewais ef, fel y rhwystrwyd iddo ddyfod yn mhellach.

Wrth ganfod Mr. W. a minnau yn rhedeg gwaeddai y dynion oedd yn y cwch ar y Cadben Morgan am iddo yntau ddianc, am ei fod ar y traeth; a neidiasom ill dau i'r cwch ar unwaith, tra y teflid llawer o gerig ar ein holau. Rhedodd Mr. W. rhag ei flaen i'r dyfnder, ac un o'r anwariaid yn ei ddilyn; ond wrth fyned syrthiodd ar ei wyneb, ac ni cheisiodd nofio, tra y derbyniodd lawer dyrnod ar ei ben a'i freichiau. Efe a gladdodd ei ben ddwywaith dan y dwfr i ysgoi y dyrnodiau, tra yr oedd yr adyn creulon yn sefyll yn ei ymyl i ddysgwyl iddo ei godi drachefn, ac yn barod i'w daro yn y fan. Teflais ddwy gareg allan o'r cwch at un arall o'r brodorion ag oedd yn dilyn, yr hyn a barodd iddo arafu am ychydig. Ond er y cwbl rhuthrodd y ddau ar ein cyfaill hoffusawl, a churent ef yn drwm yn ei ben, &c. Gwelais hwynt yn trywanu ei gorph â llawer iawn o saethau; ac er nad oeddym oddiar bedwar ugain llath oddi wrtho, cyn i ni gyrhaedd hanner y ffordd ato canfyddem yn amlwg ei fod wedi marw, ac oddeutu deuddeg o'r anwariaid yn llusgo ei gorph i'r lân, gan ei guro yn arswydus.

Ar hyn, ymgynnullodd torf o fechgyn o'i ddeutu, a dechreuasant ei guro â cherig, nes oedd y tònau a olchent y minion yn gochion gan waed. Och! i ni yr oedd yn awr o brofedigaeth lem.

Gollyngwyd amryw saethau atom i'r cwch; ac am nad oedd genym arfau milwraidd gyda ni, barnai y dynion mai ynfydrwydd oedd myned yn agos atynt, a bod Mr. W. eisoes wedi marw; ac ar ol cryn anhawsdra cawsant gydsyniad y Cadben Morgan, a rhwyfasom allan o gyrhaedd y saethau. Wedi sefyll ennyd er ymgynghori pa beth i'w wneud, penderfynasom, os byddai yn bossibl, ddyfod â'r llong yn nes i dir, a thrwy gynnorthwy y ddwy fagnel oedd genym ar ei bwrdd, i lanio, a chaffael y cyrph ag oedd y brodorion wedi eu gadael ar y traeth, a'u diosg o'u dillad.

Yna prysurasom ar fwrdd y llestr, a hwyliasom tu a'r fan. Yr oeddym yn gallu gweled y corph yn gorwedd ar y traeth, a'r holl frodorion wedi ei adael, yr hyn a gododd hyder cryf ynom y

gallem achub gweddillion ein cyfaill anwyl o ganol y dyn-fwytawyr creulawn hyn. Yr oeddym yn canfod ychydig o'r brodorion yma a thraw ar hyd y traeth, a gollyngasom un ergyd er eu dychrynu, a pheri iddynt gilio yn mhellach. Nid oedd genym fwledau, ond casglai y dynion ddarnau heiyrn, i'w defnyddio os gwelent angenrheidrwydd. Ond aeth ein holl ymgais yn ofer, a'n gobaith a gollwyd, o herwydd rhedodd llu o'r brodorion i lawr y traeth, ac aethant â'r corph i ffwrdd, pan oeddym o fewn milltir i'r llanerch.

Gyda galar mawr y troisom ein cefnau ar y glànau gwaedlyd hyn; am ein bod wedi colli un a garem yn fawr yn rhwymyn y cariad a ddygai yntau at bawb, ac am y cywirdeb a'r eiddigedd oedd ynddo am ddwyn y newyddion da o heddwch a thangnefedd i'r cenedl-ddyn paganaidd, o dan ddwylaw pa un yr oedd yn awr wedi cwympo!"

Yn awr, gadewir yr hanes galarus hwn i lefaru drosto ei hun. O! Errumango anniolchgar, bychan y gwyddit dy fod yn llofruddio un a wnaethai dy anialwch fel gardd paradwys, ac a ddangosasai y ffordd i'th feibion i breswylfeydd heddychol y Jerusalem uchod. Cwsg dithau ein Williams ffyddlonaf, ac os na chaiff dwylaw dy gyfeillion drwsio dy feddrod, na'u dagrau sirioli y blodau a'i gorchuddiant---cwsg dithau enyd mae swn traed rhyw efengylwr yn addewidion Ior y nefoedd, a dielir dy waed yn nghwymp duwiau Errumango, a daw y meibion i ganu dy alarnad ar y llanerch y llofruddiwyd di gan eu tadau---cwsg dithau ennyd, ac er mai Erumango waedlyd yw gorweddfa Harris a thithau, corn anfeidrol y nefoedd a ddryllia gonglau yr ynys, ac er eich "hau mewn anmharch cyfodir chwi mewn parch," i dragywyddol fwynhau heddwch a thangnefedd ar heolydd Gwynfa yn wobr am eich gwaith.

*Caerlleon.* TEGIDON.

---

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd yn Nghymmanfa Llanerch-y-medd, Môn, yn y flwyddyn* 1837, *gan y diweddar Barch. R. Jones, o'r Bala.*

IOAN 1. 12.

"Ond cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw: sef i'r rhai a gredant yn ei enw ef."

YN yr adnod o flaen y testyn dywedir, 'At yr eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef.' Am Iesu Grist y mae y geiriau yn llefaru. 'Ei eiddo ei hun,' oedd yr Iuddewon; a'r 'dyfod' a sonir am dano oedd dyfod i'r byd. Yr oedd yr Iuddewon yn eiddo iddo mewn llawer ffordd nad oedd ereill. Yn un peth, yr oeddynt yn perthyn yn agos iddo yn ol y cnawd. 'Had Abraham a gymmerodd efe.' 'O had Dafydd yr hanodd Crist yn ol y cnawd.' 'Ac o'r Iuddewon y mae iechydwriaeth,' medd efe ei hun. Fe ddaeth---fe soniwyd llawer am dano, ac fe anfonwyd llawer rhag-redegwr o'i flaen; ond o'r diwedd fe ddaeth. Gallesid meddwl wrth y swn mawr oedd gan yr Iuddewon am dano cyn iddo ddod y buasent am y cyntaf yn ei dderbyn; ond fel arall y bu; 'a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef.' Dywedasant yn eglur na fynent hwy mo hono; canys pan gawsant eu dewis, dim ond un o ddau, gwaeddasant 'Yr Iesu yna, ymaith âg ef, croeshoelier ef. Er gwaethed un yw Barabbas, y mae yn well genym ni Barabbas na'r Iesu yna. Ymaith âg ef, croeshoelier ef.'

Ond nid fel yna yr oedd pawb ychwaith, er fod ymddygiad y genedl yn gyffredinol fel yna. 'Ond cynnifer ag a'i derbyniasant ef.' Fe'i croesawyd, fe'i gwerthfawrogwyd, fe'i cofleidwyd gan rywrai: a'r cynnifer yma ni fyddant yn golledig yn y farn, pwy bynag ydynt, ond cawsant allu, neu hawl, neu awdurdod i fod yn feibion i Dduw. Mae y gallu a'r awdurdod hwn yn anfeidrol yn ei bwys a'i ganlyniadau, ac a bery felly i dragywyddoldeb.

Yn awr, darllenaf y ddwy adnod ac a'u cymhwysaf atoch chwi. At bobl Sir Fôn y daeth y Gwaredwr—gwadwch os medrwch; ni fedrwch chwi ddim. Mae yr efengyl fawr wedi dyfod yma, a chewch chwithau wybod hyny beth bynag yw eich ymddygiad tu ag ati. Ond beth os bydd yn rhaid gwaeddi, A phobl Sir Fôn nis derbyniasant ef. Gobeithio y medrwch wadu hyn yna: ond y mae arnaf ofn mai gwir yw am lawer o'r wlad hon. 'Ond cynnifer ag a'i derbyniasant ef,' pa un bynag ai tlawd ai cyfoethog, 'fe roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r rhai a gredant yn ei enw ef.' Dyna ddigon i wynebu y storom fawr.

Yn awr sylwn ar ddau fatter,

I. Derbyn Crist; dyna yw y pwnc mawr.

II. Y peth cyssylltiedig â'i dderbyn ef.

I. Derbyn Crist. Mae y gair *derbyn* yn cynnwys tybiaeth bod cymhelliad arnom. Dyma yw tystiolaeth yr efengyl, cymhelliad i ddyfod at Grist. Nid i ddifyru clustiau y mae wedi ei hordeinio. Ac nid oes modd bod yn wrandawr yr efengyl heb fod naill ai yn dderbyniwr o Grist, neu yn wrthodwr o hono. Dyma chwi wedi eich dal, ie, pawb o honoch sydd ar y maes heddyw, yr ydych chwi naill ai yn dderbynwyr o Grist, neu ei wrthodwyr. Mae 'n dda genyf ddweyd ei fod ef yn siwr o dderbyn pwy bynag a gynnygio ei hun iddo. Nid rhyfedd pe efe a fuasai y cyndynaf, pe ein troi heibio hyd y tro nesaf y buasai. Ond dywedodd yn gadarn, 'Pwy bynag a ddel ataf fi nis bwriaf efe allan ddim.' Diolch iddo: pa fodd bynag y try hi yn Nghymanfa Llanerch-y-medd, y mae ei ochr ef yn glir. Ni wrthyd yr hen bechadur ar ol gwrando llawer yn anystyriol. 'Nis bwriaf ef allan ddim,' yr wyf yn sicr mai efengyl yw hyn yna, er gwaeled yw y pregethwr.

Derbyn Crist. Rhaid ei adnabod ef, a gweled ei werth ef, a'i weled ef yn addas cyn y derbynir ef. Pe symuder y pridd o dywyllwch a'r anystyriaeth ymaith byddai yma wneud derbyniad o hono, ïe, nid oes arnat ti eisieu dim ond efe. Fe'th gollir byth oni chei di ef; a dywedaf hefyd, fe'th gedwir byth os cei ef.

Yn awr sylwn beth y mae derbyn Crist yn ei gynnwys,

1. Cymmeradwyaeth y meddwl a'r galon o hono fel rhodd fawr Duw. Y rhodd, yr anrheg yw Crist. 'Felly y carodd fel y rhoddodd.' Pan y mae gwr mawr yn myned i roi, dysgwylir iddo roi rhodd fel efe ei hun. Dyma yr anrheg, Iachawdwr. A oes a fynoch chwi a hi, gynnulleidfa?

2. Ei ddewis ef o flaen pob gwrthddrych. Ei ddewis ef mae y pechadur wrth gredu. Y mae yn wir fod gelyniaeth ddirfawr wedi greddfu yn nghalon dyn ag sydd yn groes i'w dderbyn ef, a dyna yr achos na byddai pawb yn ei dderbyn: ac y mae mor wir a hyny nad yw yr Arglwydd yn gorfodogi neb i'w dderbyn ef, ond y mae efe yn eu gweithio i wneud hyny yn ewyllysgar. Yn wir y mae pawb yn dyfod at Iesu o ddewisiad. 'O,' meddai rhywun, 'y mae rhyw etholedigaeth.' Oes, gan ein Duw; ond y pwnc yw, A wyt ti yn ei charu hi? Buasech wedi ei dderbyn ef y llynedd oni bai eich bod yn dewis peidio. O! gorchfyger ein cyndynrwydd?

3. Ymorphwysiad yr enaid arno yn unig am fywyd tragywyddol. Ei dderbyn ef fel sylfaen i bwyso ac i adeiladu arni.

4. Ei dderbyn ef yn ei Swyddau Cyfryngol. Nid oes modd ei dderbyn ef ond fel hyn. Cyfryngwr yw, a rhaid ei dderbyn ef fel ag y mae, neu fod hebddo. Mae hyn yn cynnwys,

(1.) Ymlonyddwch ac ymdawelwch meddwl yn nghanol yr ystorm, yn yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist fel Offeiriad.

(2.) Ymroddiad iddo, ac ymlyniad wrtho fel Prophwyd. A fynwch chwi fod yn ddysgyblion i Grist, wrandawyr? Byddai yn dda i chwi ystyried dysgyblion pwy ydych. A ydych chwi yn cofio yr hanes rhyfedd am y dysgyblion hyny? Yr oedd llawer o honynt yn ddysgyblion i'r Iesu er mwyn cael bwyta heb weithio; ond blinasant yn fuan, a dechreuasant ymgynghori i fyned adref, ac felly fe aeth llawer. A aethant hwy i gyd? Naddo. A fynwch chwithau hefyd fyned ymaith? Ni wyddom ni yn y byd i ba le yr awn ni, yr ym yn methu a chael allan eiriau y bywyd tragywyddol yn un man, ond genyt ti, medd Pedr.

(3.) Ymddarostyngiad iddo fel Brenin. Mae yn rhaid ei dderbyn ef i gyd, neu fod heb ddim o hono.

Ond sylwn yn bresennol ar agwedd y pechadur wrth ei dderbyn ef.

1. Yn groesawgar a diolchgar iawn. Bendigedig fo Duw; mae geiriau y galon yn y Bibl. Beth yw Crist? "Pan ymddangoso Crist." Beth yw? "Ein bywyd ni." Dyma eiriau y galon, "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni."

2. Yn brysur. Mae y pechadur sydd yn derbyn Crist,

(1.) Wedi gweled yr angen am dano.

(2.) A bod Iesu Grist i'w gael yn bresennol. Ac os na dderbyni di ef yn awr, fe allai y colli di y cynnyg am byth, a rhaid i ti naill ai ei dderbyn ef, neu fyned i uffern yn ddigon sicr. Oh, bobl anwyl, derbyniwch ef yn awr, derbyniwch ef yn

awr! Y mae ef i'w gael yn awr; yn yr odfa ddau o'r gloch,—nage, yn awr. Os na dderbyni di ef yn fuan, ni chei di ddim cynnyg arno! "Wele yn awr yr amser cymmeradwy; wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

II. Pethau cysylltiedig a derbyn Crist. Mae mawredd y fraint hon i'w gweled wrth ystyried y pethau cysylltiedig â hi.

1. Y berthynas isel y mae pechadur yn cael ei godi o honi i'r berthynas uchel a dyrchafedig. "Yr annuwiol gan uchder ei ffroen, ni chais Dduw!" Mae yn gywilydd dywedyd i bwy y mae efe yn perthyn,—Plant y diafol! Ond trwy dderbyn Crist, y mae plant y diafol yn dod yn blant i Dduw; Duw yn dod yn Dad, Crist yn briod, a'r holl ddnwiolion yn frodyr!

2. Yr etifeddiaeth ofnadwy y dadgysylltir ef oddi wrthi, a'r un ardderchog a gogoneddus y mae yn dod i hawl o honi. Darllenwch yr xx. o Job, cewch weled ychydig o'r etifeddiaeth y mae yn gysylltiedig a hi: "Dyma ran dyn annuwiol gan Dduw; a'r etifeddiaeth a osodwyd iddo gan Dduw." Ond bendigedig fo Duw, mae rhyw rai yn cael eu dadgysylltu oddi wrthi byth, ac yn cael eu gwneud yn etifeddion i Dduw, a chyd etifeddion â Christ. Etifeddiaeth anllygredig a diddiflanedig yn nghadw yn y nefoedd.

Lle y tarddodd y fraint hon yw o ragluniaeth ac arfaeth Duw. Ystyried pawb hyn, yn ol ei arfaeth y mae ef yn gweithio pob peth. Y modd y gwnaed hi oedd trwy i Fab Duw ymgnawdoli. "Pan ddaeth cyflawnder yr amser, yr anfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd o dan y ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad." Y modd y mae y pechadur yn dod i feddiant o honi, yw trwy undeb ffydd âg ef ei hun.

Mae derbyn Crist yn gynnwysedig mewn credu ynddo. Oh! derbyn Crist, gynnulleidfa! Ni arddela efe neb yn y farn, ond y rhai a'i derbyniodd ef, na wna 'n wir! Oh! ei dderbyn ef; ac mae yn dda genyf gael dweud cyn tewi, mae efe i'w gael heddyw! Oh! gwneler ni oll yn dderbynwyr o hono. Amen.

*Liverpool.* EBENEZER JONES.

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

---

*Pregeth y Parch. Richard Lloyd, Beaumaris, Môn, yn Harlech, Meirion, Sabbath, Medi* 30, 1832.

LUC 13. 3.—'Eithr oni edifarhewch chwi a ddyfethir oll yn yr un modd'

SYLW I. Am yr angenrheidrwydd sydd am edifeirwch.

Lle y mae edifeirwch y mae maddeuant pechodau. A hwn yw y gwaith cdau a nodwydd, yn yr hwn y dygir y ddyweddi at y brenin, sef argyhoeddiad, edifeirwch, maddeuant, cyfiawnhad, sancteiddhad, &c.

II. Am y gwahaniaeth sydd rhwng edifeirwch deddfol ag edifeirwch efengylaidd.

Maent yn gwahaniaethu,

1. Yn eu dull a'u trefn.
2. Yn eu heffeithiau.
3. Yn yr achos o honynt.
4. Yn eu ffrwythau.

Y mae yn ofynol fod gan bob dyn a ail dderbynir i'r eglwys edifeirwch triphlyg, sef,

1. Edifeirwch tu ag at y byd, am iddynt osod trâmgwydd o'u blaen.
2. Tu ag at yr eglwys, am iddynt ei gofidio.
3. Tu ag at Dduw, am iddynt ei ddirmygu.

---

*Gan y Parch. W. Jones, Dol-y-fonddu, Hydref* 20, 1832.

MAT. 5. 3.—'Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd,' &c.

Sylwai 1. Am y rheswm paham y rhaid cael bod yn dlawd yn yr ysbryd, sef nad oes dim gwynfyd yn addawedig i neb ond hwy.

2. Y nodau sydd ar y rhai tlodion yn yr ysbryd. Maent yn deimladwy o'u hangen ysbrydol, ac y maent yn ymdrechgar i gael yr Arglwydd yn mhob moddion.

---

*Gan y Parch. G. Solomon, Tach.* 18, 1832.

ACT. 4. 12.—Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall,' &c.

1. Fod pob dyn wedi myned yn afiach trwy bechod.

2. Nad oes iachawdwriaeth yn neb arall ond yn Nghrist, a thrwyddo ef yn unig y mae cael bywyd tragywyddol.

*Oddiwrth Ohebydd.*

## TRAETHAWD AR DDYSGU PLANT YN FOESOL A CHREFYDDOL.

(Parhad tu dalen 206.)

HEFYD, wrth eu ceryddu dylid dangos *gofal mawr am eu lleshad*, a lleshad eu heneidiau yn benaf; ac i gyrhaedd y dyben uchel hwn dylid gweddïo llawer drostynt pan y'u ceryddir, am i'r cerydd fod yn fendithiol iddynt. Dylai y ceryddwr fod mewn tymher i allu gweddïo drostynt wrth eu ceryddu; canys oni bydd efe yn gallu llywodraethu ei ysbryd ei hun ni bydd yr oruchwyliaeth a weinyddir ar y plant yn gerydd, ond yn ddial; ac felly tori gorchymyn Duw yn hytrach na'i gyflawni.

Wrth rybuddio hefyd dylid gwneuthur hyny *â dagrau*, yr hyn sydd fel rhyw olew gwerthfawr, ac yn dra effeithiol i beri i bob olwyn yn y peiriant hwn, sef addysgu plant, i droi yn llawer rhwyddach. Ië, y'mhob ymddygiad tu ag atynt, dylid bod yn debyg i Monica gynt, (sef mam Awstin) yr hon, medd efe ei hun, a fu mewn mwy o lafur a phoen am fy ngenedigaeth ysbrydol nag a fu ar fy ngenedigaeth naturiol. Dymunol iawn fyddai gweled gwragedd Cymru yn debycach iddi; yna, yr wyf yn tybied, y ceid gweled llawer o fechgyn Cymru yn fuan iawn yn debycach i'r hen Awstin dduwiol.

Yn nesaf, dylid bod yn ofalus wrth addaw. Addewir pethau gwael a phechadurus weithiau yn wobrwyon i'r plant am ufuddhau i'w rhieni, megis rhyw deisenau melysion, ffrwythau coed anaeddfed, neu ryw sothach gwael, a niweidiol i'r cylla a'r iechyd; heblaw ei fod yn ddull effeithiol i wneud y plant yn rhai gwastraffus a moethus. Weithiau addewir gwisgoedd gwychion a gwerthfawr iddynt, y cyfryw a achlysura fagwraeth gynnyddol i'r pryf difaol o falchder sydd yn eu natur. Diammeu fod hyn yn ffolineb mawr mewn rhieni, gwychu eu plant â dillad gwerthfawr pryd y bydd arnynt wir angen am bethau ereill: yn hytrach dylent ddangos i'r plant fod rhai cynes a buddiol yn llawer gwell; ond nid yr hyn sydd oreu a wna llawer, eithr dilyn y *fashion*. A phan y bydd i'r boneddigion wychu a gwisgo eu plant â sidan, porphor, ac ysgarlad, buan y gwelir yr is-radd yn ymdrechu uwchlaw eu gallu i ddilyn eu hol; canys nid yw y blodau sydd yn eu gerddi eu hunain yn ddigon ganddynt, ond ymgripiant yn lladronaidd i erddi eu cymmydogion am ryw flodau i wychu penau eu plant—h. y. ceisio mwy heb dalu am dano nag a fyddys â modd i'w gael. Y mae hyn hefyd yn llwybr effeithiol iawn i ddysgu i'r plant o'u mebyd i wneuthur anghyfiawnder. O! na chai y gair hwnw fwy o le yn ystyriaethau Cristionogion, sef 'yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn.'

Hefyd, addewir i'r plant bethau pechadurus, megis myned i ffeiriau, a lleoedd llygredig ereill. Er engraifft, pan wnelo y plant ryw gampuswaith boddhaol bydd treulio diwrnod mewn ffair yn cael ei addaw yn wobr iddynt. Yna pan ddel y diwrnod, bydd pryderwch mawr ynddynt i weled cynnulliad mor unol â thueddiadau eu natur, a hyny wedi ei gyfreithloni iddynt i raddau trwy addewid eu rhieni. Ac wedi iddynt gyrhaedd y cyfryw leoedd rhy fynych y cyfarfyddant â chwareuwyr twyllodrus, a hudoliaethwyr o bob math, y rhai, trwy ddyhirwch, a lwyddant i ddwyn eu ceiniogau oddi arnynt; ac nid hyny yn unig, rhwydant hwy cyn belled ag i wneud llong-ddrylliad arswydus o'u parch ac o'u henw da. O! rieni, da fyddai i chwi gofio nad ydyw rhinwedd un amser yn coroni ei phlant ar feusydd llygredigaeth; felly, nid addas i chwithau wobrwyo gweithred dda â llawn fwyniant o gyfarfodydd halogedig. 'Fy mrodyr anwyl, ni ddylai y pethau hyn fod felly.'

Ar y llaw arall, na thybied neb fy mod yn beio rhieni am wobrwyo eu plant am wneuthur daioni; etto, y mae addaw, a rhoddi yr hyn a roddir, yn beth sydd i'w feio yn fawr. Oni byddai llyfrau buddiol, ac ysgolion da, yn llawer gwell na'r pethau a addewir yn fynych? oblegid tybia y plentyn bob amser ei fod yn cael y peth goreu yn wobr am wneuthur daioni, pan mewn gwirionedd nad yw yn cael ond y peth gwaethaf. A dylem fod yn wyliadwrus iawn am ddysgu i'r plant wybod rhagor rhwng da a drwg ym moreuddydd eu hoes, ac i farnu am bethau fel y dylid barnu.

Dylid ystyried hefyd pa fodd i addaw. Yr addewid yw y ddadl sydd gan y plentyn; a'r gadwen â pha un y rhwymodd y rhieni eu hunain. Edryched y rhieni gan hyny pa fodd i addaw, rhag iddynt, wrth gywiro eu gair, roddi eu plant yn agored i brofedigaethau lawer, neu, wrth geisio eu rhwystro, rhoi lle i'w plant eu barnu yn dorwyr ammod.

Buasai yn dda genyf allu tadogi yr

arferion hyn i'n henafiaid yn unig; ond rhaid addef "hwynthwy a fwytasant rawnwin surion, ac ar ddannedd y plant y mae y dincod."

Yn awr symudaf gam y'mlaen, a'r rhai nesaf y galwaf eu sylw ydynt Swyddogion Eglwysig, ac Athrawon ac Athrawesau yr Ysgol Sabbathol, a galw arnynt i gynnorthwyo rhieni yn y gwaith mawr hwn. Pan ystyriom mor eang yw y maes hwn, mor lluosog yw y planhigion ag sydd eisieu eu hymgeleddu ynddo, gwelwn fod yma le i bawb weithio. Bernir fod yn Nghymru yn unig ddeuddeng mil a thrugain (72,000) o blant dan flwydd oed; dau gant a thriugain mil (260,000) dan ddeg oed; a dau gant a phedwar ugain a deg (290,000) o filoedd dan ugain oed; a dilys yw fod llawer o'r rhai hyn yn cael eu hesgeuluso i raddau mawr, a'u gadael fel cywion yr estrys yn yr anialwch, yn hollol ddiymgeledd. O! na chaem weled y fraint o gael bod yn llaw yr Arglwydd i roddi dyfroedd iachusol iachawdwriaeth i gywion yr estrys hyn, 'fel y gogonedder ef.'

Gellir barnu fod yr Ysgol Sabbathol yn un o'r moddion mwyaf bendithfawr i blant Cymru a roddwyd erioed i un genedl dan y nefoedd. Ac er yr ymddengys ar yr olwg gyntaf, y mae yn wir, lawer o rwystrau i roddi addysg grefyddol i blant, pan feddyliom am fyrdra gwybodaeth y rhai sydd yn addysgu—maint y ffolineb sy'n rhwym yn nghalon y rhai a ddysgir—a byrdra yr amser sydd i gyflawni y gwaith o addysgu, sef dim ond un dydd o bob saith, a phrin awr a hanner o'r dydd hwnw, etto trwy ffyddlondeb yr athrawon a'r athrawesau, ynghyda bendith Duw ar eu llafur, gwneir pethau anhygoel. O flaen yr arch yma y mae Dagon wedi syrthio ar ei wyneb mewn gwarth a methiant mwy. Trwy y cleddyf hwn, a rydd yr Arglwydd yn llaw Gedeon wrol, y mae byddinoedd lluosog o Fidianiaid gelynol yn diangc ar ffrwst, ac yn lladd eu gilydd mewn cynddaredd, yn ngolwg y lampau tân.

O flaen pelydr dysgleirwych yr haul yma y mae adar y tywyllwch uffernol yn ffoi, sef arferion pechadurus, 'i agenau y creigiau, ac i gopäau y clogwyni, rhag ofn yr Arglwydd, a rhag gogoniant ei fawredd ef.' Ynddi hi y cyfrenir 'i'r bachgen wybodaeth a synwyr;' Ie, o honi hi y ceir y swyddogion eglwysig mwyaf llafurus a defnyddiol a fu erioed yn Nghymru. Onid yma y megir eryrod mawrion o efengylwyr, y rhai a ehedant yn gyflym, megis 'yr angel yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo?' Ie, pa esgob, neu archesgob, athraw yn y celfyddydau, neu ddoctor duwinyddiaeth, erioed yn Lloegr, a fu yn fwy llafurus yn eu hoes, a llwyddiannus yn eu gweinidogaeth na rhai o feibion Cymru, a fagwyd ar liniau yr Ysgol Sabbathol.

Tybiwyf fod yr Ysgol Sabbathol yn rhagori ar bob moddion ereill er cyfranu addysg grefyddol i blant, wrth ystyried y rhai sydd yn dysgu, y modd y cyfrenir yr addysg, a natur yr addysg a gyfrenir. Pa mor wael bynag y gallai athrawon ac athrawesau duwiol fod yn eu golwg eu hunain, etto, os byddant yn deall meddwl Duw yn ei air, ac yn ymdrechgar a ffyddlawn i addysgu y rhai sydd dan eu gofal yn 'y pethau amlwg ag sydd wedi ei roddi i ni ac i'n plant,' ac nid magu rhyw gywreinrwydd ynddynt i yspio i'r 'dirgeledigaethau, y rhai ydynt eiddo yr Arglwydd,' byddent yn fwy o fendith iddynt na phe byddent yn brif athrawon athrofaau penaf y deyrnas heb hyny.

Nid gwybodaeth eang yn mhethau natur sydd yn cymmwyso athrawon yr Ysgol Sabbathol, ond llafur a ffyddlondeb sydd yn anhebgorol angenrheidiol iddynt i lenwi eu swydd. Nid cynnulliad o astronomyddion yn mesur ac yn pwyso y bydoedd uwch ben yw yr Ysgol Sabbathol; neu swp o ddaearyddwyr yn rhanu y ddaear, ac yn eu gosod mewn trefn; na thorf o rai yn dyrysu mewn *mathematics*, a dyfnderoedd Euclid; ond rhai yn ceisio dilyn y seren yn y Bibl 'i weled y mab bychan'—rhai yn chwilio yn ddyfal am yr Iesu, ac yn dwyn eu gilydd i synu ac i ryfeddu uwch ben 'mawr amryw ddoethineb Duw' yn trefnu ffordd i gadw pechadur.

Nid yw yr Ysgol Sabbathol chwaith yn faethle mor fanteisiol i hunan, ac ymffrost, a balchder ag ydyw ysgolion ereill. Y mae mawredd Duw yn ei air, a'i ddoethineb ef, yn ddigon i ddangos i ddyn ei ffolineb a'i dywyllwch, ac i gau pob ymffrost allan am byth.

Y'mysg athrawon fel hyn, wedi eu magu yn yr Ysgol Sabbathol, 'wedi derbyn yn rhad ac yn rhoddi yn rhad,' onid ydyw yn lle manteisiol iawn i gynnorthwyo rhieni i ddwyn eu plant i fynu yn 'Foesol ac yn Grefyddol?'

(I'w barhau.)

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o du dalen 236,)

*Y trydydd dydd o Wythnos y Dyoddefaint, sef dydd Mawrth, yr 11eg o fis Nisan.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 210 | Crist yn melldithio y ffigysbren .. .. .. | xxi. 18---22. | xi. 12--14. | .... | .... | Rhwng Bethania a Jerusalem. |
| 211 | Yn glanhau y deml .. .. .. .. .. | xxi. 12, 13. | xi. 15--19. | xix. 45--48. | .... | Yn y deml. |

*Y pedwerydd dydd o Wythnos y Dyoddefaint, sef dydd Mercher, y 12fed o fis Nisan.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 212 | Yr ymddyddan ynghylch y ffigysbren .. .. | .... | xi. 20--26. | .... | .... | Rhwng Bethania a Jerusalem. |
| 213 | Trwy ba awdurdod yr wyt yn gwneuthur y pethau hyn? | xxi. 23---27. | xi. 27--23. | xx. 1--8. | .... | Yn y deml. |
| 214 | "Yr oedd gan ŵr ddau fab," &c. .. .. .. | xxi. 28---32. | .... | .... | .... | Etto. |
| 215 | Gosod gwinllan i lafurwyr .. .. .. .. | xxi. 33---46 | xii. 1--12. | xx. 9--19. | .... | Etto. |
| 216 | Am y wisg briodas .. .. .. .. .. | xxii. 1---14. | .... | .... | .... | Etto. |
| 217 | Am dalu teyrnged i Cesar, &c. .. .. .. | xxii. 15--22. | xii. 13--17. | xx. 20--26. | .... | Etto. |
| 218 | Ynghylch adgyfodiad y meirw .. .. .. | xxii. 23--33. | xii. 18--27. | xx. 27--40. | .... | Etto. |
| 219 | "Pa un yw y gorchymyn mawr o'r gyfraith?" .. | xxii. 34-40. | xii. 28--34. | .... | .... | Etto. |
| 220 | Am Grist, "mab i bwy ydyw?" .. .. .. | xxii. 41--46. | xii. 35--37. | xx. 41--44. | .... | Etto. |
| 221 | "Ymogelwch rhag yr ysgrifenyddion" .. .. | .... | xii. 38--40. | xx. 45, 46, 47. | .... | Etto. |
| 222 | Gwraig dlawd yn bwrw dwy hatling i'r Drysorfa .. | .... | xii. 41--44. | xxi. 1--4. | .... | Etto. |
| 223 | Anghrediniaeth anfad yr Iuddewon .. .. .. | .... | .... | .... | xii. 37--50. | Etto. |
| 224 | Yn cyhoeddi wyth wae .. .. .. .. | xxiii. | .... | .... | .... | Etto. |
| 225 | Yn prophwydo dinystr Jerusalem .. .. .. | xxiv. 1---44. | xiii. 1--37. | xxi. 5--36. | .... | Mynydd yr Olewydd. |
| 226 | Gwas yn curo ei gyd-weision .. .. .. | xxiv. 45--51. | .... | .... | .... | Etto. |
| 227 | Dammeg y deng morwyn .. .. .. .. | xxv. 1--13. | .... | .... | .... | Etto. |
| 228 | Dammeg y talentau .. .. .. .. .. | xxv. 14--30. | .... | .... | .... | Etto. |
| 229 | Ynghylch y farn ddiweddaf .. .. .. .. | xxv. 31--46. | .... | .... | .... | Etto. |
| 230 | Y Pasc y'mhen y ddeuddydd .. .. .. | xxvi. 1, 2. | xiv. 1. | xxii. 1. | .... | Etto. |
| 231 | Judas yn cytuno i werthu Crist .. .. .. | xxvi.3-5,14-16 | xiv. 1, 2, 10, 11. | xxii. 2--6. | .... | Jerusalem. |
| 232 | Hanes y ddau ddiwrnod olaf o weinidogaeth Crist .. | .... | .... | xxi. 37, 38. | .... | Mynydd yr Olewydd. |

*Y pummed dydd o Wythnos y Dyoddefaint, sef dydd Iau, y 13eg o fis Nisan.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 233 | Gorchymyn parotoi at fwyta y pasc .. .. .. | xxvi. 17--19. | xiv. 12--16. | xxii. 7--13. | .... | Bethania. |

# RHAGORIAETHAU Y BIBL.

## PEN. VI.—DAMMEGION IESU GRIST.

| DAMMEGION. | LLE. | COFFHAD. |
|---|---|---|
| Yr hauwr | Capernaum | Mat. 13. 1—23. |
| Yr efrau | Yr un | Mat. 13. 24—30. a 36—43. |
| Yr had yn tyfu yn anwybodadwy | Yr un | Marc 4 26—29. |
| Y gronyn o had mwstard | Yr un | Mat. 13. 31, 32. |
| Y surdoes | Yr un | Mat. 13. 33. |
| Y trysor cuddiedig | Yr un | Mat. 13. 44. |
| Y perl gwerthfawr | Yr un | Mat. 13. 45, 46. |
| Y rhwyd wedi ei bwrw i'r môr | Yr un | Mat. 13. 47—50. |
| Y ddau ddyledwr | Yr un | Luc 7. 36—50. |
| Y gwas annhrugarog | Yr un | Mat. 18. 23—35. |
| Y Samaritan tosturiol | Jericho | Luc 10. 25—37. |
| Yr ynfyd goludog | Galilea | Luc 12. 16—21. |
| Y gweision yn dysgwyl eu harglwydd | Yr un | Luc 12. 35—48. |
| Y ffigysbren ddiffrwyth | Yr un | Luc 13. 6, 9. |
| Y ddafad a gollesid | Yr un | Luc 15. 3—7. |
| Y darn arian | Yr un | Luc 15. 8—10. |
| Y mab afradlon | Yr un | Luc 15. 11—32. |
| Y goruchwyliwr anghyfiawn | Yr un | Luc 16. 1—12. |
| Y gwr goludog a Lazarus | Yr un | Luc 16. 19—31. |
| Y barnwr anghyfiawn | Perea | Luc 18. 1—8. |
| Y Pharisead a'r publicau | Yr un | Luc 18. 9—14. |
| Y gweithwyr yn y winllan | Yr un | Mat. 20. 1—14. |
| Y deg punt wedi eu rhoddi i farchnata | Jericho | Luc 19: 12—27. |
| Y ddau fab | Jerusalem | Mat. 21. 28—32. |
| Y winllan | Yr un | Mat. 21. 33—46. |
| Y wledd briodas | Yr un | Mat. 22. 1—14. |
| Y deng morwyn | Yr un | Mat. 25. 1—13. |
| Y talentau | Yr un | Mat. 25. 14—30. |
| Y defaid a'r geifr | Yr un | Mat. 25. 31—46. |

---

## TALFYRIAD COFNODOL

*O Bregethau Cymdeithasfa Llanerch-y-medd, Môn; yr hon a gynnaliwyd y 18fed a'r 19eg o Fehefin,* 1840.

(Parhad o tu dalen 239.)

Am chwech o'r gloch, boreu ddydd Gwener, gweddiodd y Parch. Joseph Jones, Aberayron; a phregethodd y Parch. Owen Jones, Plas-gwyn, oddiwrth Rhuf. 8. 15. 'Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; eithr derbyniasoch Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain Abba Dad.'

Sylwodd yn

I. Ar y pethau sydd yn tueddu i fagu ysbryd caethiwed i beri ofn.

1. Ysgrifaethau o bechodau ysgeler a rhyfygus, fel y maent yn eiu rhwymo i gosbedigaeth.

2. Yr oedd yr eglwys dan yr hen oruchwyliaeth yn cael eu hannog i ufudd-dod trwy farnedigaethau a bygythion, fel yr oeddynt 'drus eu holl fywyd dan gaethiwed.' Ond y mae Duw yn cymhell i ufudd-dod, dan yr oruchwyliaeth bresennol, trwy amlygiadau o bethau unol â natur yr oruchwyliaeth, sef 'addewidion mawr iawn a gwerthfawr.'

3. Y mae y ddeddf foesol, fel y mae yr Ysbryd Glân yn ei defnyddio i ddangos trueni sefyllfa dyn wrth natur yn tueddu i fagu ysbryd caethiwed i beri ofn. Y mae yn angenrheidiol cael hyn mewn trefn i roddi Ysbryd mabwysiad. Fe ddaw pob perchen enaid i deimlo ysbryd caethiwed i beri ofn mewn rhywle.

II. Ysbryd mabwysiad. Y mae yma gyfeiriad at y dull o fabwysiadu yn mhlith y Rhufeiniaid.

1. Y tebygolrwydd sydd rhwng gwaith dynion yn mabwysiadu, a gwaith Duw yn mabwysiadu.

(1.) Rheol y mabwysiadwr oedd rhydd-id ei ewyllys ei hun. Felly, 'yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ei hun (y mae Duw) wedi rhagluniaethu (ei bobl) i fabwysiad.'

(2.) Fe fyddai y plentyn yn cael ei wneuthur yn y fan yn blentyn i'r mabwysiadwr. Felly gweithred ar unwaith yw gwneuthur plentyn diafol yn blentyn Duw. 'Yna y gelwir hwynt yn feibion y Duw byw.'

(3.) Byddai y plentyn a fabwysiedid yn gadael ei dad, a'i fam, ei dŷ, a'i deulu, ac yn myned yn gwbl dan ofal y mabwysiadwr. Felly yma, 'symud o feddiant Satan at Dduw,' ac 'i deyrnas ei anwyl Fab.'

2. Y gwahaniaeth sydd rhwng mabwysiad naturiol a mabwysiad ysbrydol.

(1.) Yr achos o fabwysiad naturiol yn gyffredin yw amddifadrwydd o blant; ond nid felly yn y mabwysiad ysbrydol—cariad, gras, a thrugaredd sydd yn dysgleirio yma.

(2.) Parai prydferthwch weithiau i ddynion fabwysiadu, ond nid dim prydferthwch sydd yn peri i Dduw fabwysiadu. Yr oeddym yn gorwedd yn ein gwaed, 'ond dywedais wrthyt yn dy waed, bydd fyw.'

(3.) Nid yw dynion wrth fabwysiadu yn gallu newid anian y mabwysiedig; ond y mae ein Duw ni yn gallu tynu y galon gareg a rhoddi calon newydd.

(4.) Ni byddai plant yn mhlith dynion yn derbyn yr etifeddiaeth tra byddai y mabwysiadwr yn fyw, ac weithiau byddai y plentyn farw cyn hyny; ond nid felly yma, 'Cydetifeddion â Christ,' &c. Gwneler ni oll yn blant i Dduw!!

---

Yna pregethodd y Parch. Robert Evans, Llanidloes, oddiwrth 2 Thes. 1. 10. 'Pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu (o herwydd i'n tystiolaeth ni yn eich mysg chwi gael ei chredu) yn y dydd hwnw.'

Rhanodd ei destyn fel y canlyn, sef,

I. Y gwrthddrychau a nodir 'saint.'

II. Yr amlygiad a wneir o'r hyn a wnaeth y saint yn y byd hwn, 'credu.'

III. Yr amlygiad a wneir o ogoniant Crist yn ngweithredoedd ei ras yn y dyrfa fawr a fydd ar ei ddeheulaw, 'i'w ogoneddu yn ei saint.'

I. Y gwrthddrychau a nodir, 'saint.' Golyga hyn 1. Eu bod wedi eu neillduo i'r Arglwydd. 'Gwybyddwch i'r Arglwydd neillduo y duwiol iddo ei hun.'

2. Eu bod wedi derbyn anian sanctaidd, a than weithrediadau sancteiddiol a glanhaol yr Ysbryd Glân. Maent wedi eu hethol 'fel y byddent sanctaidd'---wedi eu prynu i'w puro oddiwrth bob anwiredd, 'a'u sancteiddio yn eglwys iddo ei hun'---ac wedi eu 'galw i fod yn saint.'

II. Yr amlygiad a wneir o'r hyn a wnaeth y saint yn y byd hwn, 'credu.' Bydd i'w matter gael ei glirio, eu personau eu cymmeradwyo, a'u gwaith ei egluro. Y mae credu yn cynnwys,

1. Credu Duw am bob peth.

2. Derbyn Crist yn ol y dystiolaeth am dano; neu ymddibyniad ar Grist wedi ei groeshoelio yn ngwyneb colledigaeth.

III. Y bydd yn ogoniant i Fab Duw ddangos ei holl blant y dydd hwnw. Fe'i gogoneddir nid yn unig ganddynt ond ynddynt.

1. Fe'i gogoneddir ynddynt fel Brenin.

(1.) Bydd yr holl deulu, er eu bod yn gyndyn, wedi plygu o fodd ei calon i Fab Duw.

(2.) Yr holl dyrfa a blygwyd, wedi cael eu harwain, eu cadw, a'u hamddiffyn ganddo.

2. Fe'i gogoneddir fel Prophwyd. Bydd y cwbl wedi dysgu gwersi na allasai neb arall eu dysgu iddynt byth.

3. Fe'i gogoneddir fel Offeiriad. Byddant oll wedi eu prynu â'i werthfawr waed---y cwbl yr un ddelw, yr un wisg, yr un iaith, 'Iddo Ef yr hwn a'n carodd,' &c.

Gwrandewch! y mae achub pechaduriaid yn ogoniant i Fab Duw: gan hyny, bwriwn ein hunain wrth ei draed.

(I'w barhau.)

---

## ADDEWIDION AMMODOL A DIAMMODOL.

Sylwa y Dr. Owen mewn un man yn ei waith, 'Nid oes neb yn iawn gredu yr addewidion am ras a thrugaredd sydd heb gredu yr addewidion cyssylltiedig â chyflawniad dyledswyddau.'

Gofynir weithiau, yn mherthynas i addewidion y Bibl, a ydynt yn ammodol neu yn ddiammodol? Dymunol fyddai i'n golygiadau fod yn gywir ar hyn; a dichon mai nid afreidiol i bawb fydd y nodiadau canlynol.

1. Gyda golwg ar wrthddrychau cariad tragywyddol dylem bob amser ystyried bod 'cadarn sail Duw yn sefyll,' a bod yr addewidion yn Nghrist yn Ie ac yn amen.' Nid yw y drefn sydd yn sicrhau iachawdwriaeth i had Abraham yn ymddibynu ar gyflawniad un ammod o'u tu hwy. Eu hymafaeliad hwy yn y drefn, a'u troedigaeth oddiwrth gyfeiliorni eu ffordd, y'r hyn y mae'r Arglwydd wedi ymrwymo i'w wneud a'i effeithio ei hun mewn iaith gadarn eilwaith ac eilwaith yn ei air. Yr ysgrythyrau canlynol, yn mhlith lluaws, a ddengys hyn. 'Wele, mi a'i denaf hi, ac a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth fodd ei chalon: dyweddïaf di â mi fy hun mewn ffyddlondeb, a thi a adnabyddi yr Arglwydd.' 'Trugarhaf wrth yr hon ni chawsai drugaredd; ac a ddywedaf wrth y rhai nid oedd bobl i mi, Fy mhobl wyt ti.' 'Rhoddaf iddynt galon i'm hadnabod' 'Mi a osodaf fy ofn yn eu calonau fel na chiliont oddiwrthyf.' Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn, ac a'u hysgrifenaf yn eu calonau hwynt.' Rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch; tynaf hefyd y galon gareg ymaith, a rhoddaf iddynt galon gig, fel y rhodiont yn fy neddfau, ac y cadwont fy marnedigaethau.' 'A minnau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol, ac ni chyfrgollant byth.' Wele yma ddatganiad o fwriadau grasol tragywyddol. Wele ymrwymiadau dwyfol i wneud yn anffaeledig y daioni mwyaf i wrthddrychau, heb ddim tu allan i'r Addawwr ei hun yn achos, yn rheswm, neu yn annogaeth iddo i addaw neu i gyfranu; na dim o hyn i gyd yn gorphwys ac yn ymddibynu ar unpeth yn, neu o eiddo y gwrthddrychau. Sicr drugareddau Dafydd ydynt.

2. Ond y mae dosbarth arall o addewid-

ion yn cyfarch dyn fel deiliad llywodraeth y Goruchaf; yn cyfarch dyn yn ei berthynas â Duw fel creadur rhwym i ufuddhau heb ystyried y cyfammod gras; oblegid nid ar ras y mae dyledswydd dyn yn sylfaenedig, ond ar ei berthynas â'i Wneuthurwr a'i Ddeddf-roddwr. Y mae yr addewidion hyn yn gysylltiedig â chyflawniad dyledswyddau. Eu hiaith yw, 'Os byddwch ufudd ac ewyllysgar ffrwyth y tir a fwytewch; ond os gwrthodwch â'r eleddyf y'ch ysir.' 'Y mae yr Arglwydd gyda chwi tra fyddoch chwi gyd âg Ef,' &c. Y mae wyneb cenadwri fel hyn ar bawb yn ddiwahan. Tybier bod dyn yn gredadyn, ni wneir y ddeddf yn 'ddirym trwy ffydd.' Y mae niweid a cholled i'r duwiol o bob tro y byddo heb gydymffurfio â'r gorchymyn. Pe meddyliem am ddyn ieuanc yn myned i undeb priodasol â merch o feddiannau helaeth gellid dywedyd wrtho, 'Y mae yr hyn sydd eiddo hi yn sicr i chwi; etto cofiwch y bydd gofal, diwydrwydd, ymroad, a ffyddlondeb yn dwyn elw, mantais, a chysur: a'r gwrthwyneb ymddygiad yn sicr o beri colled a gofid.' Wrth ŵr duwiol y dywedodd yr Arglwydd, 'Ymwrola yn lew i gadw ar wneuthur yn ol yr holl gyfraith; na ogwydda oddiwrthi ar y llaw ddehau nac ar y llaw aswy, *fel y ffynech i ba le bynag yr elych*.' 'Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon â'th enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos, canys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac yna y ffyni.' Wrth un arall y dywedodd, 'Os rhodi yn fy ffyrdd i, mi a estynaf dy ddyddiau.'

Gallai fod yn fuddiol ped ystyriem rai o lawer o'r addewidion sydd yn sicrhau daioni a llwydd o gyflawniad ein dyledswyddau.

1. Tu ag at Dduw.

(1.) Mewn canlyniad i ddifrifol ystyriaeth o fywyd ac ymarweddiad drygionus, gofid o'i herwydd, ymwrthodiad â buchedd lygredig, ac ymroddiad i geisio yr Arglwydd, y mae addewidion gwerthfawr, megis y rhai canlynol, 'Wele, os cenedla un fab a wel holl bechodau ei dad y rhai a wnaeth efe, ac a ystyria, ac ni wna felly....am iddo ystyried, a dychwelyd oddiwrth ei holl gamweddau y rhai a wnaeth gan fyw y bydd byw, ac ni bydd marw.' 'Dychwelwch wrth fy ngherydd, wele mi a dywalltaf fy Ysbryd i chwi, fy ngeiriau a hysbysaf i chwi.' 'O! Jerusalem, golch dy galon oddiwrth ddrygioni fel y byddech gadwedig.' 'Dychwelwch ataf fi, medd Arglwydd y lluoedd, a mi a ddychwelaf atoch chwithau.' 'Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, a mi a iachaf eich gwrthnysigrwydd chwi.' 'Os ymostwng eu calon ddienwaededig.... minnau a gofiaf fy nghyfammod....nis gwrthodaf ac nis ffieiddiaf hwynt.' 'Yr hwn a osodo ei ffordd yn iawn, mi a ddangosaf iddo iachawdwriaeth yr Arglwydd,' &c.

(2.) Ceir aml ysgrythyrau yn dal allan fendithion a gwobrwyon gwerthfawr i bobl yr Arglwydd ar eu hymroad i ryngu ei fodd, eu hunan-ymwadiad er ei fwyn, eu hymgyflwyniad a chyssegriad eu meddiannau i'w wasanaeth. 'O herwydd gwneuthur o honot y peth hyn, ac nad attaliaist dy fab, dy unig fab, gan fendithio y'th fendithiaf, a chan amlhau yr amlhaf dy had fel sêr y nefoedd, &c. o achos gwrando o honot ar fy llais.' 'Dygwch yr holl ddegwm i'r trysordŷ, fel y byddo bwyd yn fy nhŷ, a phrofwch fi yr awr hon yn hyn, medd Arglwydd y lluoedd, onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd, a thywallt i chwi fendith fel na byddo digon o le i'w derbyn,' &c. 'Esgynwch i'r mynydd, a dygwch goed, ac adeiledwch y tŷ....o'r dydd hwnw allan y bendithiaf chwi.' 'Nid yw Duw yn anghyfiawn fel yr anghofio eich gwaith a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tu ag at ei enw Ef,' &c.

(3.) Dangosir gwobrwyon yn gysylltiedig â'r holl rasau, a'u gweithrediadau tu ag Dduw, ac â iawn ddefnyddiad talentau dros Dduw. 'Efe a wna ewyllys y rhai a'i *hofnant*, gwrendy hefyd eu llefain ac a'u hachub hwy.' 'Yr Arglwydd sydd yn cadw pawb a'i *carant* Ef.' 'Y rhai a *ymddiriedant* yn yr Arglwydd fyddant fel mynydd Sïon yr hwn ni syflir.' 'Yr hwn a ymddiriedo yn yr Arglwydd a wneir yn fras.' '*Ymddarostyngwch* gan hyny dan alluog law Duw, fel y'ch dyrchafo mewn amser cyfaddas.' 'Y ddaear, yr hon sydd yn yfed y gwlaw sydd yn mynych ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y llafurier hi ganddynt sydd yn derbyn bendith gan Dduw,' &c. Ystyrier y gwynfydedigrwydd sydd yn nglyn â'r amryw rasau a enwir yn Mat. v. Cofier dammeg y talentau. 'Felly, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwn at ein ffydd rinwedd, ac at rinwedd wybodaeth, ac at wybodaeth gymmedrolder, ac at gymmedrolder amynedd, ac at amynedd dduwioldeb, ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol, ac at garedigrwydd brawdol gariad: a byddwn ddiwyd i wneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr; canys tra fyddom yn gwneuthur y pethau hyn ni lithrwn ni ddim byth: canys felly yn helaeth y trefnir i ni fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist.'

(*I'w barhau.*)

---

## GOFYNION.

---

MR. CYHOEDDWR—A fyddwch chwi, neu rai o'ch Gohebwyr deallus, mor hynaws a rhoddi eglurhad ar Col. 4. 16. 'Ac wedi darllen yr epistol hwn gyda chwi, perwch ei ddarllen hefyd yn eglwys y Laodiceaid; a darllen o honoch chwithau yr un o Laodicea. Yn awr, y gofyniad yw, Pa un oedd epistol eglwys Laodicea? ANWYBODUS.

MR. GOLYGYDD—Dymunaf arnoch chwi, neu rai o'ch Gohebwyr deallus, roddi atebiad llawn i'r gofyniad canlynol, sef, A ydyw yr hwn a chwennycho gyflawni gweithred ddrwg, ond o ddiffyg cyfle yn methu cyflawni ei amcan yn weithredol, cynddrwg yn ngolwg deddf Duw a'r hwn a gyflawno y weithred? Neu a ydyw cyflawni y weithred yn mwyhau y pechod gyda golwg ar y troseddwr?

*Tan Sardis* SALMASIUS.

## ATEBION.

*Atebiad i Ofyniad S. Lewis, Caerludd, yn Rhif.* 113, *tu dal.* 144.

MR. GOLYGYDD—Yn eich Rhifyn am fis Mai diweddaf gwelais Ofyniad un o'ch Gohebwyr yn erfyn am eglurhad ar 1 Cor. 11. 10. ac o ddiffyg i chwi dderbyn Atebiad amgenach caniatewch i mi roddi yr ychydig hyn o'i flaen er ei symud o'i ddyryswch.

1. Wrth '*ei phen*,' yn yr adnod hon, y meddylir pen y wraig ei hun, fel y gwelir yn amlwg wrth adn. 5, a 13, o'r un bennod.

2. *Am hyny y dylai y wraig fod ganddi awdurdod ar ei phen o herwydd yr angylion.*—O barth i'r ymadrodd hwn y mae llawer o wahanol farnau. Ond wrth yr 'angylion' yn y testyn y byddaf fi yn deall yr angylion sanctaidd. Ac wrth 'y dylai fod gan y wraig awdurdod ar ei phen o herwydd yr angylion,' y byddaf yn deall y gwylder a'r gostyngeiddrwydd parchus a ddylai fod ar wragedd mewn addoliad cyhoeddus; a hyny trwy iddynt wisgo gorchudd ar neu am eu penau, fel y mae yr angylion sanctaidd wrth roddi addoliad i'r Jehofa anfeidrol yn cuddio eu hwynebau â'u hadenydd yn ei bresennoldeb ef. Fel pe dywedasai yr apostol, gan fod yr angylion sanctaidd yn ymostwng gyd â'r fath wylder i'r Bod a'u gwnaeth, trwy guddio eu hwynebau yn eu hadenydd wrth ei addoli ef, yna y dylai fod 'gan y wraig awdurdod ar ei phen o herwydd yr angylion.'

SION GER Y FONWENT.

*Ateb i Ofyniad W. W. yn Rhif.* 115, *tu dal.* 211, Am hawl i gladdu mewn monwentydd perthynol i Gapeli.

HYD ag y gwn i, er i un gael caniatad i gladdu ei farw yn un o fonwentydd y Capeli, nad oes ganddo ef, na neb o'i berthynasau, un *hawl* i gladdu neb byth drachefn yn y bedd hwnw *heb ei fod ef wedi prynu lle y beddrod gan Ymddiriedolwyr y Capel.* Rhaid cael caniatad o newydd bob tro cyn y gellir claddu yno, hyd oni phryner y lle yn feddrod i'r teulu. Bum yn ymofyn â rhai gwyr doethion a deallus ar yr achlysur hwn, o herwydd fy mod yn ystyried y peth yn fatter o bwys, a dyna oedd eu barn hwythau hefyd. CYHOEDDWR.

*Ateb i Ofyniad I. ap Ioan, yn Rhif.* 118, *tu dal.* 244. *ynghylch* Neh. 13. 24.

1. Pwy oedd 'y ddeubar bobl' yn Neh. 13. 24.?—Ateb. Yr Iuddewon a'r Cenedloedd a enwir yn adn. 23.

2. Beth oedd eu hiaith hwynt?—Ateb. Iaith plant yr Iuddewon a briodasant Asdodeesau oedd cymmysgiaith o iaith yr Iuddewon a'r Asdodiaeg. Iaith plant y cyfryw a briodasant Ammoneesau oedd cymmysgiaith o iaith yr Iuddewon a'r Ammoniaeg. Ac iaith plant yr Iuddewon a briodasant wragedd o'r Moabeesau oedd cymmysgiaith o iaith yr Iuddewon a'r Moabiaeg.

3. Pa beth sydd i ni i'w feddwl yn ysbrydol oddi wrthynt?—Ateb. Yr addysgiadau a gymmerwn i oddiwrth yr amgylchiad ydynt y rhai canlynol, a'u cyffelyb.

(1.) Y pechadurusrwydd a'r perygl sydd o dori gorchymyn Duw dan bob goruchwyliaeth, 'Na ieuer chwi yn anghymarus gyd â'r rhai digred.' Gwel hefyd, Deut 7. 2, 3. Jos. 23. 12, 13. 1 Bren. 11. 1—8.

(2.) Gwelwn ddyledswydd henuriaid eglwysig, yn mrwdfrydedd a ffyddlondeb Nehemiah tu ag at y cyfryw ag a droseddasant y gorchymyn hwn. Adn. 23—25. Er mai nid yn yr un dull y mae i swyddwyr eglwysig dan y Testament Newydd weinyddu eu swydd yn yr eglwys ag yr oedd Nehemiah yn ei wneud fel swyddog gwladol, etto y mae eisieu y cyffelyb zel a ffyddlondeb dan bob Testament.

(3.) Gwelwn y mawr bwys o fod mam plant yn dduwiol, canys y mae cynghorion neu siampl y fam yn cael effaith ryfeddol ar y plant; dan ei golygiad hi y dygir y plant i fynu yn gyntaf.

(4.) Pa un bynag ai y tad neu y fam a fyddo yn annuwiol a digrefydd, mai i ddilyn hwnw neu hono, y mae natur lygredig y plant yn tueddu.

(5.) Fe ddylid cymmeryd gofal mawr i geisio llywodraethu tafod plant, rhag dilyn o honynt iaith lygredig yr oes annuwiol, a geiriau anfad plant anufudd a gwrthnysig y gymmydogaeth. CYHOEDDWR.

*Atebiad i Ofyniad Lles ab Coel.*

MR. GOLYGYDD,—Pan ddarllenais eich Trysorfa am fis Gorphenhaf canfyddais yno Ofyniad hynodawl o barth gweinyddiad Swper yr Arglwydd, gan Lles ab Coel, a theimlais yn fy meddwl awyddfryd i'w ateb, yn ol fy ngolygiadau am dano yn bresennawl. Y gofyniad yw, 'Pa un ai ordinhad i'w gweinyddu yn gyhoeddus, ynte yn mhresennoldeb yr Eglwys yn unig, yw Swper yr Arglwydd?'

Y mae yr ordinhad ddwyfol hon a osodwyd gan Ben mawr yr Eglwys i fod yn ei Eglwys, ac yn ei Eglwys yn unig, hyd ddiweddiad amser.

Y deiliaid cyfranogawl o'r Ordinhad

sanctaidd hon ydynt holl aelodau Eglwys Crist, tra yr ymddygont yn addas i'w proffes er gogoniant i enw yr Arglwydd.

Mi a sylwaf ar y gofyniad fel y canlyn:--- Y mae y rhan hon o addoliad y cyssegr i gael ei chyflawni yn ddirgelaidd, ger gwydd holl aelodau yr Eglwys. Ni feddyliodd yr Arglwydd, mae yn debygol, pan y sefydlwyd yr Ordinhad hon gyntaf, i neb fod yn bresennol, yn amser y gweinyddiad, ond yr Eglwys yn unig. Y mae yn amlwg mai ar y nos y bradychwyd Crist y sefydlwyd yr Ordinhad hon; ac y gweinyddwyd hi mewn goruwch-ystafell fawr gyd â'i ddysgyblion. Wrth fwrw golwg ar ei sylfaeniad canfyddir hi yn pwyso ar gadarnach craig na thybiau dynol, yn crogi ar well hoel na thosturi cnawdol, a naddiadau ei cholofnau yn harddach filoedd o weithiau na holl weithrediadau y celfyddydau amserawl.

Gwelir hyn yn amlwg yn y gorchymyn a roddes Crist i'w ddysgyblion, 'Gwnewch hyn er côf am danaf.' Y mae lle i ni feddwl nad yw neb i fod yn gyfranogion o'r wledd nefol hon, na chwaith i fod yn bresennol pan y'i gweinyddir, ond y sawl a gofiant yn ffyddiog farwolaeth ac Iawn y Messiah.

Canfyddir hyn hefyd yn eithaf amlwg ar sail dangosiad neu siampl Crist ei hun; canys gweinyddwyd hi, fel y dywedwyd o'r blaen, nid mewn mynydd, lle yr arferai Crist athrawiaethu i'r torfeydd, nid yn yr anialwch lle yr ympryd iodd, nid yn y deml ar fwrdd y bara gosod, na chwaith yn yr ardd lle y chwysodd y gwaed, ond mewn goruch ystafell. Pan yn pregethu yn wastadol efe a esgynai i'r mynydd, neu i ryw le cyfleus i'r gwrandawyr, ac yr oedd hyny yn profi ei fod yn ewyllysio i bawb yn gyffredinol gael clywed yr efengyl sanctaidd. Pan yn marw ac yn rhoddi Iawn dyrchafwyd ef ar groesbren ar ben mynydd, i fod yn amlwg ger gwydd nefoedd, daear, ac uffern, er arddangosiad mai efe yw aberth mawr y cyfammod tragywyddol, a bod iachawdwriaeth y sawl a gredant yn hollol ynddo ef. Fe weinyddwyd y wledd hon mewn goruchystafell i ddangos mai ordinhad sanctaidd ydyw, goruwch y byd a'i ddwndwr, o olwg y byd a'i drafferthion, uwchlaw y byd o barth ei dybenion. Dangosir wrth nodi yr ystafell yn fawr mai ewyllys Crist ydoedd fod gweinyddiad o honi i fod yn ddirgelaidd. Nid oedd yn ofynol i'r ystafell fod yn fawr i'r dyben o gynnwys Crist a'i ganlynwyr y pryd hyny, canys ychydig oeddynt; ond canfyddai yn amlwg y byddai ymhelaethiad a chynnydd iad i fod ar ddeiliaid y wledd hon yn mhob oes o'r byd.

Gelwir hi yn ystafell fawr er cadarnhad mai dyledswydd holl aelodau pob cangen eglwysig ydyw cydwledda yn mhresennoldeb Duw ger gwydd eu gilydd.

Terfynaf yn awr, gan ewyllysio llwydd mawr i'r Drysorfa, ac i'ch hybarchus Ohebwyr yn gyffredinol, ac yn neillduol i Les ab Coel; ac os yw ei olygiadau yn amgen i'r hyn a ysgrifenais ewyllysiwn glywed oddiwrtho yn ebrwydd.

*Waunfawr.* THETA.

---

***Ateb i Ofyniad Mr. E. Mathews, Penllyn.***

Barch. Olygydd,—Yn y Drysorfa am fis Mai diweddaf, tu dal. 159, y mae annogaeth oddiwrth Mr. E. Mathews, Penllyn, i ryw un gyfieithu i'r Gymraeg yr Emyn ragorol o eiddo y diweddar Esgob Heber; a dywedai iddi gael argaff ddwys ar ei feddyliau y'ngwyneb yr amgylchiadau cynnwysedig yn ei ysgrif. Ac o herwydd ei bod genyf wrth law yn gyfieithiedig er's amryw flynyddoedd, ufuddhaf i'w hanfon i chwi, i'w hargraffu er dywenydd i'r annogwr a'i gyfeillion, os na cheid cyfieithiad gwell yn mlaen llaw. I. G. ALED.

*Rhuddlan, Mai* 14, 1840.

Rhois fawl i'r ddaear, hardd ei gwedd,
Mewn gwisg o floden gwyrdd eu lliw;
Rhois fawl i'r môr, tra ef mewn hedd,
Ddysgleiriai fel arianlen wiw:
Ond d'wedai 'r môr a'r ddaear fawr,
"Nid yw ein hoes ond mynyd awr."

Rhois fawl i'r haul tra 'i gerbyd dry
Ar aur-olwynion yn y nen;
Rhois fawl i'r lloer, tra 'i llygaid cu
Chwareuai 'n anwyl uwch fy mhen:
Ond d'wedai 'r lloer a'r huan mawr,
"Nid yw ein hoes ond mynyd awr."

Os heirdd yw 'r ceinion tlysion sy
Yn t'wynu ar y werddlen draw;
Pa faint mwy hardd yw 'r Crëwr cu,
Tra hwy nid y'nt ond ol ei law?
Ai drigfan ef! O ddysglaer sedd!
Lle trig y saint mewn bythol hedd!

---

## LLYTHYRAU, &c.

---

### LLYTHYR Y PARCH. J. ELIAS, MON.

AT OLYGWR Y DRYSORFA.

BARCHEDIG AC ANWYL FRAWD—Bum yn rhyfeddu ar yn gofidio wrth weled fod cynnifer o bobl ieuaingc yr oes hon yn hoffi pethau ac ymadroddion newydd a dieithr. Byddaf yn gorfod ofni bod llawer yn proffesu yr efengyl, a rhai yn pregethu, heb 'dderbyn cariad y gwirionedd,' na 'derbyn yr eneiniad' sydd 'yn dysgu pob peth;' heb brofi nerth a blas y gwirionedd; heb erioed 'yfed yr hen win;' felly yn gallu 'chwennych y newydd yn y fan.' Cael eu 'harwain o amgylch âg athrawiaethau amryw a dieithr;' am nad yw eu calonau wedi 'eu cryfhau â gras;' yn rhy debyg i 'blantos yn bwhwman, ac yn cael eu cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth.'

Ar fy nhaith cyfarfyddais â llyfryn bychano waith J. Abercrombie, M.D. '*The Har-*

*mony of Christian Faith, and Christian Character.'* Wrth ddywedyd am wybodaeth o'r gwirionedd, a'r perygl mawr o gyfeiliorni ynghylch pethau o fawr bwys, y mae yr awdwr yn dangos bod rhai yn cyfeiliorni oblegid eu difatterwch am wybod y gwirionedd—ereill oddiar gashau a dirmygu y gwirionedd, &c. Dywedodd bod rhai sydd yn proffesu eu bod yn caru y gwirionedd yn crwydro oddi wrtho trwy dyb siarad, ac ymbyncio, heb ymchwiliad pwyllog i'r gwirionedd, &c. felly yn cael eu twyllo, ac yn twyllo ereill, trwy gymmeryd tybiau a dychymmygion yn lle y gwirionedd. 'Y mae ymadawiad rhai oddiwrth symlrwydd y gwirionedd, oddiar garu bod yn hynod, ac awydd ymddangos yn ddoethach na'u cymmydogion; ïe, mae rhai yn ceisio bod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd. Y maent, trwy feddwl gweithgar, aneamwyth, a dychymmygion bywiog heb farn gywir, &c. yn ffurfio opiniynau ysgafn a dilafur: edrych ar beth âg un golygiad, ar un ochr iddo, &c. cymmeryd seiliau gweiniaid i dybied peth, &c.

Y mae llawer o'r rhai hyn yn hyderu ar eu deall eu hunain: ceisio dangos bod eu galluoedd yn gryfion: y gallant feddwl yn ddyfnach a mwy treiddgar nac ereill; eu bod yn cyrhaedd pethau na all ereill; eu bod hwy o'r ychydig rai goleu sydd yn y byd; ac yn wahanol i'r lluaws sydd yn foddlon i gerdded y llwybrau a gerddodd eu tadau yn yr oesoedd o'u blaen hwy: felly hwy a ddiystyrent y rhai sydd yn meddwl yn wahanol iddynt.

Y ffordd i ochel cyfeiliornadau, a blys pethau dieithr, yw bod yn wir ostyngedig. Cael bod dan arweiniad yr Ysbryd Glân; yn profi a charu y gwirionedd. Rhydd yr Ysbryd oleu, nerth, a doethineb, i ymgadw yn nghanol ffordd y gwirionedd. Yn ei law a than ei arweiniad ef, 'pe ynfydion a fyddent ni chyfeiliornant.'——Wyf, un sydd yn teimlo angen am gael ei arwain yn wastad, yr eiddoch, &c.

JOHN ELIAS.

## SEITHFED LLYTHYR IORWERTH

### *At ei Gyfaill, ar ei neillduad yn Henadur Eglwysig.*

FY NGHYFAILL TRA HOFFUS A CHAREDIG— Yr ydwyf o'r diwedd wedi dyfod o hyd i'r cymmwysder olaf ag yr oedd Moses i edrych am dani yn henuriaid y bobl, sef rhai 'yn casau cybydd-dod.' Gweithwyr, y mae yn debyg, oedd Moses yn ymofyn, a chanddo ddigon o waith iddynt; o ganlyniad yr oedd yn rhesymol iddo chwilio am ddynion rhydd oddiwrth gybydd-dod; o herwydd anmhossibl yw i un gwas wasanaethu dau arglwydd, 'canys naill ai efe a gasâ y naill ac a gar y llall, ai efe a lŷn wrth y naill ac a ddirmyga y llall; ni ellwch wasanaethu Duw a mammon.' Mae digon o waith gan ymenydd a deng ewin y cybydd gyda'r byd hwn, heb son dim am y nesaf, yr hyn sydd yn ei lwyr anghymmwyso i gymmeryd gofal am eglwys Dduw. Eisieu dynion i ofalu sydd; yn foddlon i dreulio ac ymdreulio yn y gwaith; ac ni cheir neb felly ond y rhai sydd foddlon i aberthu pob peth, yn llwybr eu dyledswydd, er mwyn yr efengyl. Y cybydd sydd yn gweled pob awr a dreulir gyda chrefydd cyhyd ag wythnos pan gyd â'r byd. Pob swllt a roddir, yn ei olwg fel darn anghydmarol o arian; pob gwasanaeth yn galedwaith gorthrymus. Mor wahanol ydyw dydd Sul i bob diwrnod arall! Y mae wedi colli ei fywiogrwydd, a gwedd brudd ei wynebpryd yn hysbysu natur teimladau ei fynwes, i bawb sydd yn ei adwaen. Pob creadur allan o'i elfen sy greadur annedwydd ac anghysurus. Mor fuan y cyll y pysgodyn ei deimladau bywiog wedi y tyner ef o'i elfen gynhenid. Y mae yn ymddangos yn union fel pe byddai ei gnawd yn gwywo, ei natur yn adfeilio, a'i galon yn llesghau.

Y dyn sydd yn ymrwyfo yn ei serchiadau a'i ddymuniadau ynghanol y byd, a chwant i ymgyfoethogi wedi berwi ei ymenydd, pan yr ymddengys gyda phethau crefyddol, mae yn hawdd adnabod, wrth ei ddull marwaidd, dieithrwch y meddwl i bethau ysbrydol, a'r diffyg o'r mwyneidd-dra hyny sydd yn hanfodol er eu trin i fuddioldeb, mai creadur ydyw allan o'i elfen. Edrychwch arno yn trin y byd, a gwelwch ef yn fywiog, yn llafurus, ac yn weithgar gyda'i holl ymarferion. Mae serchogrwydd ei wedd, bywiogrwydd ei deimladau, hynawsedd ei eiriau, pan yn ennill ychydig o hono yn hysbysu i'r gwyddfodolion ei fod yn ei elfen ei hun. Os cyll rhyw ddarn, trwy ryw fodd neu gilydd, mor fuan y newid ei wedd, ac mor drwm y bydd ei alar. Y mae yn achub pob cyfle i'w feddiannu, yn defnyddio pob moddion i'w gadw, a phe gallai ni chai neb arall ddim o hono. Y mae yn cofleidio y byd yn ei freichiau wrth fyned i'w wely y nos, yn ei ddadrys yn ei fonwes wrth godi y boreu, a'i wasanaethu mewn gair a gweithred trwy y dydd. Ei dduw ydyw, rhwng yr hwn ag yntau y mae cyfammod sicr. Ei enaid sydd yn blygedig iddo, ac a roddir yn ewyllysgar yn aberth drosto. Y gwasanaeth hyny ag sydd yn ddyledus i neb ond Creawdydd cyrau y ddaear, a gynnygir ac a gyflwynir i'r byd presennol. Ei ewyllys a blyga i'w lywodraeth, ei serchiadau a ymhyfryda yn ei degwch, ei ddeall a fyfyria ar ei rinweddau, ïe, ei holl enaid a'i cyflawn addola. Os dygwydd i grefydd a'r byd gwrdd mewn rhyw heol gul, fel y bydd raid, o angenrheidrwydd, i un o honynt droi yn ol er mwyn i'r llall fyned heibio, gwelwch y cybydd yn dra anfoddlon i'w dduw ef encilio. Bydd bob amser am droi crefydd o ffordd y byd, gan adael i'r byd gael ei lwybr pwy bynag a fetho. Mae

dydd marchnad y byd a dydd marchnad crefydd, yn dygwydd ar yr un diwrnod weithiau; ond yn marchnata gyda'r byd y bydd y cybydd, er, fe allai, na ddygwydd hyny ond unwaith yn y flwyddyn. Yn hyn, fel llawer o bethau ereill, y gwelwn ef yn aberthu bron y cwbl i'r byd, ac yn methu aberthu ond ychydig at achos crefydd. Caiff y byd yn rhwydd y goreu a feddo, ie, yr oll a feddo—ei ddwylaw i'w grafu, ei lygaid i dremiaw arno, ei glustiau i wrando ei dônau soniarus, a'i draed i redeg i'w wasanaeth hoffus. Ië, y mae holl gynneddfau corph, a holl alluoedd enaid, yn cael eu haberthu oll i fynu i ddistryw am delpyn o'r byd presennol. Ond os bydd ganddo rhyw ddafad gloff, neu geffyl dall, a fo yn rhy warthus i ymddangos ar ffair y byd, caiff crefydd gynnyg ar y rhai hyny; a mawr y gymmwynas y mae yr adyn cybyddlyd yn ei dybied y mae yn ei wneud i'r byth-fendigaid Drindod, yr hwn sydd yn berchen ar yr aur, yr arian, yr anifeiliaid, ar fil o fynyddoedd. Gwarthus yw cynnyg sorod y byd i'r hwn sydd yn awdwr ei ragoriaethau penaf—ysgubion y byd i'r hwn sydd yn ymostwng i edrych ar y pethau sydd yn y nef.

Y blaen-ffrwyth oedd i Dduw o bob peth dan yr hen oruchwyliaeth, ac, yn wir, cyn amlygu a gosod yr oruchwyliaeth hono yr oedd dynion yn cydnabod Duw yn deilwng o'u blaen-ffrwythau, ac yn rhoddi hyny iddo yn moreuddydd amser. Er mor annuwiol oedd Cain, cydnabyddodd Dduw yn awdwr ei drugareddau, trwy ddwyn ffrwyth y ddaear yn offrwm iddo. Y mae y cybydd yn waeth na Chain, gan ei fod yn gwrthod talu i Dduw y cydnabyddiaeth hyny sydd yn deilwng iddo fel awdwr ei fodolaeth, ac uchel Arglwydd y greadigaeth. Onid peth gwarthus yw cynnyg y gwasanaeth gwaelaf i'r Bod anrhydeddusaf—y pethau iselaf i'r Bod uchaf—a'r arwydd o'r parch lleiaf i'r Bod teilyngaf? Wele Abel gyfiawn yn neshau at Dduw dan gydnabod, yn natur ei aberth, nid yn unig ben-arglwyddiaeth Duw, ond hefyd yr angenrheidrwydd o Iawn er ymheddychu â Duw. Dygodd flaen-ffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt. Yr oedd Abel yn cydnabod yr angenrheidrwydd o Iawn gwerthfawrocach na myrdd o fydoedd, a gresyn fuasai iddo wneyd hyny â'r peth gwaelaf yn ei feddiant.

Dan yr hen oruchwyliaeth yr ydym yn gweled yr Arglwydd yn hòni hawl i'r cyntaf-anedigion, y blaen-ffrwythau, a'r goreuon. Yr oedd attal hyny oddi wrtho yn gwadu ei awdurdod, ei deilyngdod, a'i ragoriaeth. 'Cyssegra i mi,' ebe Duw wrth Moses, 'bob cyntaf-anedig, sef beth bynag a agoro y groth yn mysg meibion Israel, o ddyn ac anifail, eiddo fi yw. Holl oreuon yr olew, a holl oreuon y gwin a'r ŷd, sef eu blaen-ffrwyth hwynt, yr hwn a roddaist i'r Arglwydd, a roddais i ti, sef yr offeiriaid. Blaen-ffrwyth pob dim yn eu tir hwynt, yr hwn a ddygant i'r Arglwydd, fydd eiddot ti; pob un glân yn dy dŷ a fwyty o hono.'

Yr ysgrythyrau hyn, a'r cyffelyb, sydd yn dangos mai Duw oedd perchen y wlad yr oedd yr Iuddewon yn byw ynddi, a'r peth lleiaf a allesid wneud fel cydnabyddiaeth i uchel Arglwydd y tir, oedd rhoi y blaenffrwyth a'r goreu. Os oedd rhwymau arnynt hwy i anrhydeddu yr Arglwydd â'u cyfoeth, ac â'r peth penaf o'u holl ffrwyth, pa faint mwy nyni? y rhai sydd wedi derbyn yr addewidion, ag oedd iddynt hwy mewn niwl a chwmwl, ac 'o bell yn eu gweled.' Pan edrychwn ar Iesu yn rhoddi ei gorph, yn rhoddi ei enaid, ïe, yn rhoddi ei hun, i farw yn felldigedig dan gondemniad—i farw yn warthus ar bren y groes, a'r cwbl i'n harbed ni, pwy a all attal dim oddiwrtho ag a fyddo yn gynnorthwyol er dygiad ei achos drwy y byd?

Os bydd rhywbeth dros ben, medd y cybydd, rhoddaf hyny i'r Arglwydd. 'Byddai yn anonest ynof roddi at achos crefydd cyn gweled a fydd genyf rywbeth i'w hebgor.' Gelli fod heb ddim i'w hebgor byth, fy nghydymaith. Byddi yn sicr o gael allan ddigon o wasanaeth i'r cwbl. Gallasai yr hen wraig a fwriodd hatling i'r drysorfa gael digon o le i'w threulio ar bethau ereill heb gymmeryd llawer o amser i ragfyfyrio; eithr crefydd oedd y peth blaenaf yn y meddwl, a dangosodd hyny trwy roddi nid yn unig y goreu a feddai, ond yr oll a feddai. Rhoddodd fwy na phawb arall yn nghyfrif Duw, er, efallai, fod y swm yn llai; ond gyda golwg ar ei hamgylchiadau yr oedd yn fwy. 'Canys hwynthwy oll a fwriasant o'r hyn a oedd yn ngweddill ganddynt; ond hon o'i heisieu a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd.' Yr oedd rhoi yr hatling, ac heb arall ar ei hôl, yn llawer mwy o rodd na'r hwn a roddodd ddeg punt, a mil y'ngweddill yn y *Bank*. Galwodd yr Iesu ei ddysgyblion ato, i sylwi ar y weithred ryfeddol hon, a dywedodd wrthynt, 'Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fwrw o'r wraig weddw hon i mewn fwy na'r rhai oll a fwriasant i'r drysorfa.'

Mae sylw y nef ar y 'rhai sydd yn meddwl am ei enw ef.' Wrth y rhai sydd yn meddwl am ei enw ef y mae Duw yn dywedyd ei gyfrinach, ac nid wrth hen gybyddion, y rhai sydd yn meddwl mwy am eu codau, nac am eu heneidiau. Os bydd yn newynog, wrthynt hwy y bydd yn dyweyd, er, fe allai, na bydd nemawr o'r byd yn eu meddiant.

Pe byddai achos Duw yn y cyfyngder mwyaf, ac yn galw am y cynnorthwy buanaf, etto ni chlyw y cybydd, ac ni thynera ei galon. Pe dygwyddai iddo roi rhywbeth rhag cywilydd, byddai yn coffa yn aml am dano, gan feddwl ei fod wedi gwneyd digon i brynu nefoedd y gogoniant. Y cybydd sy'n cofleidio y byd, hyd yn nod pan yn ymdagu âg angeu; a pha ryfedd ei fod mor

anewyllysgar i ymadael âg ef mewn bywyd ac iechyd. Cusanu y byd yw gweithred ddiweddaf y cybydd wrth ymado. Cofus genyf glywed am gybydd, yr hwn, ar ei wely angeu, a gadwai ei bwrs yn ei law rhag i neb ei ysbeilio; ond wrth ei fod yn gwanhau tybiai fod rhywun yn tynu yn y pwrs, gan ei fod yn ei deimlo yn trymhau o herwydd ei wendid, a gwaeddodd yn yr ymdagfa âg angeu, 'Ar ol fy nydd i, ar ol fy nydd i.' Yr ydoedd yn ymdrechu cadw ei bwrs, er nad oedd mynyd rhyngddo â cholli ei enaid, ei unig enaid, am dragywyddoldeb.

Yr oedd rhyw lwyth o gybyddion, y mae yn amlwg, gyda Moses yn yr anialwch, y rhai oedd am lenwi eu pebyll â'r manna er fod yr Arglwydd yn anfon digon bob dydd. A dywedodd Moses wrthynt, Na weddilled neb ddim o hono hyd y boreu. Er hyny ni wrandawsant ar Moses, &c. Yr oedd rhai o'r llwyth hyn yn methu peidio myned allan y seithfed dydd i chwilio am dano, er fod ganddynt ddigon dros y Sabbath.

'Moes etto,' yw llef calon y cybydd, ac ni ddywed byth 'digon.' Wrth ystyried y pethau hyn a'u cyffelyb pa ryfedd fod Jethro yn annog Moses i ymofyn i flaenori y rhai a fyddo yn casau cybydd-dod.

Y mae 'n ofynol fod achos Crist yn flaenaf yn meddwl y blaenor, onidê bydd yn sicr o gael ei anmharchu yn ei ddwylaw. Y byd fyddo yn gwasanaethu crefydd, fy nghyfaill, ac nid crefydd y byd. Os bydd y blaenor yn gybydd, gwna ddrwg mawr i ereill gyd ag ef ei hun. Nid yn unig nis gwna ddim ei hun, ond ni chaiff neb arall wneud dim; o leiaf nid ydyw yn annogaethol iddynt weithio. Mae yn diffrwytho y lle y mae efe ei hun, ac yn diffrwytho pawb a ddaw yn agos ato. Y mae yn esiampl i'r praidd mewn gair ac mewn gweithred y mae yn wir, ond esiampl o gybydd-dod ydyw. Tywysogion y geilw Crist y rhai hyn, y rhai sydd yn cau teyrnas nefoedd o flaen dynion; 'Canys chwi (eb efe) nid ydych yn myned i mewn, a'r rhai sydd yn myned i mewn nis gadewch i fyned i mewn.' Gobeithio, fy nghyfaill, y cei feithrin ysbryd llwyr wahanol i'r cybydd, ac y byddi yn dangos, mewn gair a gweithred, yn ol eithaf dy allu, nad oes dim yn rhy dda i'r Arglwydd.

Gall iddi fyned yn brinach arnat ti na neb arall wrth fod yn rhydd ac yn rhwydd dy galon at achos yr Arglwydd: y mae wedi bendithio, a chwedi addaw etto fendithio y gweddill. Ac yn wir, y dynion sydd helaethaf at bethau allanol yn gyffredin yw y rhai sydd yn derbyn helaethaf o lewyrch y nefoedd er creu rhyddid yn eu hysbrydoedd. 'Os tyni allan dy enaid i'r newynog, a diwallu yr enaid cystuddiedig, yna dy oleuni a gyfyd mewn tywyllwch, a'th dywyllwch fydd fel hanner dydd: a'r Arglwydd a'th arwain yn wastad, ac a ddiwalla dy enaid ar sychder, ac a wna dy esgyrn yn freision; a thi a fyddi fel gardd wedi eu dyfrhau, ac megis ffynon ddwfr, yr hon ni phalla ei dyfroedd.'——Yr eiddot,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

BETH AM Y "MYNEGAIR YSGRYTHYROL" NEWYDD?

YNGHYLCH 29 mlynedd yn ol anturiais ofyn, yn ddwys-ddymungar, i'r diweddar Barch. T. Charles, a wnai efe gymmeryd mewn llaw y gwaith pwysfawrocaf o ysgrifenu a chyhoeddi Esboniad beirniadol a Sylwadau eglurhaol, &c. ar yr holl FIBL? (Byth nid anghofiaf ei atebiad synwyrlawn ef.) Gwyddwn nad oedd neb cymhwysach i'r fath waith cyssegraidd nag oedd efe,—o ran ei dduwioldeb, ei wybodaeth ysgrythyrol, ei alluoedd eneidiol, a'i ddysgeidiaeth. Trwy ddyfal-chwilio yr ysgrythyrau, myfyrio ynddynt ddydd a nos, a hyny gyda mynych a thaer 'weddio yn yr Ysbryd Glân,' yr oedd ei 'gymdeithas ef yn wir (mewn modd arbenig iawn) gyda'r Tad, a chyda'i Fab ef, Iesu Grist!' O! mor debyg oedd ef, o ran agwedd ei feddwl a'i ysbryd i'r hen batrieirch duwiol, i'r prophwydi nefol-frydig, i'r efengylwyr a'r apostolion sanctaidd! Yr Ysbryd a'u harweiniai hwy a'i harweiniodd yntau. Ond, yn ein cydymddyddan y tro hwnw, hysbysodd i mi ei fod yn bwriadu cyhoeddi, 'os yr Arglwydd a'i mynai,' &c. '*Mynegair Ysgrythyrawl, Geiryddawl, a Sylwadawl,' &c. ei fod ef* '*er ys cryn amser yn darparu ato,' &c.* Prin y dichon neb amgyffred mor dda oedd genyf glywed y newydd, yn enwedig pan ddeallais ychydig pa fath Waith a fyddai. Gwelwn y byddai yn Gyfeirydd Ysgrythyrol cywir, manwl, a helaeth, ac yn Drysorgell o Dduwinyddiaeth pur, athrawiaethol, ac ymarferol; ïe, yn llyfr tra-ragorol werthfawr, buddiol, ac *anghenrheidiol*. Ond cyn i'r parchedig Awdwr gael *gorphen* y gwaith hwn, galwodd ei Brynwr ef (*o gariad ac ymhyfrydiad ynddo*) ato ei hun, i'w *dragywyddol orphwysfa*. Ac yn awr, wele (yn ol yr addewid) 'y meibion yn lle y tadau!' Dyma y Parch. D. CHARLES yn cerdded y llwybr a gerddodd yr enwocaf CHARLES,—yn cloddio yr un mwn-gloddiau anmhrisiadwy werthfawr ag a gloddiodd yntau; ac yn cynnyg cyfoethogi ei gydgenedl â thrysor gwell na *holl* drysorau darfodedig y byd i gyd.

Gymry anwyl! byddwn ddiolchgar am ein breintiau—a gochelwn eu hesgeuluso! Dyledswydd *pawb* o honom yw 'chwilio yr Ysgrythyrau.' A pha *fraint* gyffelyb? Ac nis gallwn gael un cynnorthwy o'r fath, o *gyd-werth* a'r 'Mynegair' hwn at gyflawni y cyfryw ddyledswydd anhebgorol angenrheidiol. Synais yn aruthrol wrth ddarllen (yn y Drysorfa am fis Mawrth diweddaf) sylwadau rhyw 'ADDYSGYDD' ar yr Hysbysiad am y 'Mynegair,' &c. Ni feddyliais i ddim fod un *Addysgydd* mor *ffol* a *hunanol* i'w gael yn y flwyddyn 1840; yn enwedig yr un *Cymro*, o unrhyw enwad na phlaid

crefyddol! Ac oni buasai i ryw "T——" sylwi, (yn y mis canlynol) ar ei sylwadau ef, buaswn yn debyg o beri iddo beth anesmwythra meddwl, a chywilydd hefyd, oddieithr fod y *dyn* mor *stupid* ag *asyn*. Ond diolchaf i 'T——' am ei gymmeryd ef mewn llaw. Triniodd ef i *radlau* fel yr haeddai

Gobeithiaf y caiff y 'Mynegair' dderbyniad helaeth a chyffredinol drwy Gymru oll, a chan y Cymry yn nhrefydd Lloegr, &c. hefyd, ac y caiff ei fynych fynych ddefnyddio gan bawb a'i caffo. Bendigedig a fyddo Duw am y chwanegiad hwn at ein haml freintiau gwerthfawr! A dyweded y Cymry oll, 'Amen.'

*Gwrecsam.* DANIEL JONES.

O.Y. Nis gall CHARLES na THEGIDON fod yn fwy awyddus am dderbyniad serchog i'r 'Mynegair' nag wyf finnau. A wyddoch chwi beth? Mae yn rhy anhawdd i neb islaw deugain mlwydd oed amgyffred ond *ychydig* am y rhagoriaethau â pha rai y gwnaeth Duw i'r diweddar Barch. T. Charles ragori. Pan clywais ei farw ef duodd yr holl nefoedd ar fy meddwl, a pharhaodd felly am ynghylch chwe mis, hyd oni ddaeth i'm meddwl fod yr IESU yn ei hoffi ef gymmaint fel y mynai ei gael ef ato ei hun heb aros dim yn hwy!

## AT Y PARCH. LEWIS EDWARDS, M.A.

FY MHARCHEDIG GYFAILL.—Mewn canlyniad i'ch hysbysiad yn y Drysorfa nad ydych yn bwriadu gwneyd atebiad uniongyrchol i Draethodyn y Parch. S. Roberts, y mae amryw o'n brodyr, yr Annibynwyr, wedi gweled yn oraf ddweyd fod ei lyfryn yn anatebadwy; ac mai hyny yw y rheswm na buasech yn sylwi arno. Dyma *Logic* ddigrif, onidê? Yn ngwyneb i chwi hysbysu i'r byd eich bod yn ymaflyd yn y gorchwyl o ysgrifenu yn helaeth ar y pwnc mewn dadl, ac yn bwriadu ateb *pob rheswm* a ddygir yn mlaen yn erbyn yr egwyddor a amddiffynir genych, ar a wyddoch chwi am dani yn Gymraeg, neu yn Saesonaeg, dywed yr Annibynwyr (rhai o leiaf) eich bod yn ystyried llyfryn Mr. R. yn anatebadwy. Rhaid fod yr Annibynwyr yma yn golygu nad oes *rhesymau* yn ngwaith Mr. R. neu o leiaf nad ei resymau ef sydd yn anatebadwy. Ac yn wir, o'm rhan fy hun, yr wyf yn credu fod hyny yn gywir. Od oes rhyw beth yn ngwaith Mr. R. yn anatebadwy nid ei resymau yw. Ymddengys i mi y gall pob meddwl ymchwilgar a diragfarn weled nad pwnc Mr. R. yw rhesymu; ac yn y golygiad hyny nad oes eisieu atebiad iddo.

Etto, tybiwyf fod rhai pethau yn amcan, dull, ac ysbryd Mr. R. yn gofyn atebiad. Ac yn mhellach, er mwyn dangos amryw o'i 'gogoniantau a berthynynt i'r Annibynawl gyfundraeth er llesoli y dynawl deulu yn y bydysawd,' yr wyf yn penderfynu cymmeryd y gorchwyl mewn llaw.

Yr unig 'foneddigeiddrwydd' a amcanwyf ddangos yn fy adolygiad, fydd gwneyd archwiliad manwl i'r prif bwnc mewn dadl—dangos truth Mr. R. yn ei lyfryn—dweyd y gwir ar bob llaw hyd eithaf fy ngwybodaeth—a hyny mewn dull a geiriau 'cryf' a dirodres, cyfatebol i'w *style* annibynol ef.

Cynhwysir fy llyfryn mewn tair pennod —I. Beth yw Annibyniaeth. II. Beth yw Trefnyddiaeth. III. Beth a ddywed yr ysgrythyr. At hyn chwanegir Nodiadau, nid 'er dilyn y *fashion*,' ond o angenrheidrwydd. Rhoddwn hysbysiad helaethach am dano cyn hir.

Ni fydd y *gwir* o'i faeddu gwaeth,
'Fynu e ddaw Trefnyddiaeth.

*Llanidloes, Awst,* 1840. I. G. ALARCH.

## PREGETHAU Y PARCH D. CHARLES, O GAERFYRDDIN.

[Er na fwriadwyd y Llythyr canlynol i'w gyhoeddi, etto, gobeithiwn y maddeua ein Parchedig Gyfaill i ni am wneud hyny, o herwydd ei fod yn tueddu mor hynod i osod allan wiw-glod dyledus y Pregethau uchod sydd yn awr yn y Wasg.]

AT Y CYHOEDDWR.—Fy anwyl Syr, Gyda'r Rhifyn nesaf o Bregethau y Parch. D. Charles, gobeithiwyf y gadewch i ni gael "Wyneb ddalen a Chynnwysiad;" ac na fydd i ddim eich attal rhag cyhoeddi y gweddill o drysorau meddyliol y Difeinydd campusawl hwn i'r cyfeillion Cymreig. I mi, yr hwn a fum yn mynych wrando arno yn ei fywyd, y mae y Pregethau hyn o werth annrhaethol. Ei gyffelyb ni chlywais erioed, ac nid wyf yn dysgwyl byth y caf ychwaith. Yr ydym ni yn gyffredinol yn dywedyd wrth ein gwrandawyr, mai datguddiad o 'anchwiliadwy olud Crist' yw yr efengyl; ond byddai ef yn arferol o ddweyd beth oedd y golud hwnw, megis pe buasai yn bresennol yn ngwneuthuriad y cyfammod, ac yn llygad-dyst o weithrediadau Calfaria.

Yr wyf yn cofio yn dda y pryd y gwrandewais arno yn pregethu y bregeth gyntaf yn Rhif. VIII. (er na thraddodwyd hi yn hollol fel y mae yn ysgrifenedig) pan oeddwn o ran fy nheimladau megis pe buaswn yn canfod y byd anweledig. Efe a gyfarchai yr ysbrydion syrthiedig megis pe buasent yn bresennol rhwng muriau y lle, ac a barodd i rai o honom dori allan i ddywedyd gyda Jacob, 'Mor ofnadwy yw y lle hwn!' Dywedodd ein diweddar gyfaill, y Parch. Ebenezer Morris wrthyf, yn ei ddull nodedig ef, 'Fe ddywedodd bethau heddyw na feddyliodd Dr. Owen erioed am danynt; ac nis gwn pa fodd y gallaf bregethu mwy!'

Er i Mr. Charles fyned trwy y byd heb braidd ei ganfod ganddo, ac hyd yn nod gan y rhan fwyaf o broffeswyr crefydd, fel dyn athrylithfawr a dawnus; er hyny yr wyf fi yn gostyngedig farnu, ei fod yn un

heb ei fath. Hyd yn nod pan oedd wedi adfeilio gan afiechyd, gallem ganfod ynddo ef adfeiliau meddwl mawreddog.

Awyddus obeithiwyf y bydd i chwi gasglu 'yr holl friwfwyd gweddill, fel na choller dim.'——Yr eiddoch, yn ddiffuant,

T. Harris.

Wotten Under Edge. *Awst* 5, 1840.

## LLYTHYR O'R AMERICA.

Liverpool, 1840.

Anwyl a Pharchedig Frawd.—Y llythyr canlynol a gyfarwyddwyd ataf fi, ond wedi i mi ei agor gwelais nad ataf fi yr oedd yr ysgrifenydd yn ei anfon, ond yn hytrach at fy niweddar drangcedig frawd; a chan ei fod ef yn awr wedi cael ei gymmeryd i wlad uwch y ser, lle nad oes cyfleusdra i anfon y llythyr ar ei ol, ac hefyd fod y llythyr hwn yn cynnwys hanes llwydd a llafur y brodyr a fu yr haf diweddaf fel Cenhadwyr dros y Corph yn America, ynghyda byr olwg ar yr achos yn mysg ein cydwladwyr yn y gorllewin fyd, &c. Meddyliais na byddai yn onestrwydd i mi gadw y llythyr yn ddirgel i mi fy hun, gan hyny wele fi yn ei gyflwyno i'r Drysorfa, fel rhodd i'r cyffredin o'm cydwladwyr.——Yr eiddoch, yn ddiffuant,

Samuel Jones.

Remsen, *Mawrth* 28, 1840.

Frawd Caredig—Wedi i mi hir oedi penderfynais o'r diwedd i anfon un llythyr atoch chwi etto: gwn fy mod yn eich dyled, ac y mae yn debyg na thalaf hi yn llwyr yn fy oes. Derbyniais eich caredig lythyr ataf gyd â'r Parch. Moses Parry, a ddyddiwyd yna Ebrill 19, daeth i'm llaw Mai 21, 1839.

Anwyl frawd, a wnewch chwi anfon i mi un llythyr i fynegi i mi pa fodd y mae pethau yna yn debyg o gymmeryd lle mewn perthynas i ni yma, fel ychydig o'ch brodyr sy mewn prinder mawr o fronau gweinidogaethol. Hawdd fyddai i chwi adael i mi wybod yn lled ddystaw, trwy daflu saeth [llythyr] megis Jonathan i Dafydd yn y maes gynt.

Dysgwyliais yn ddyfal am lythyr oddiwrth y Parch. John Elias, ond yn ofer hyd yma. Anfonais lythyr ato ef pan yr oedd y brodyr Rees a Parry yma. Anfonais lythyr er ys amser maith at y Parch. Daniel Jones, Llanllechyd, ond ni chefais yr un yn ol. Anfonais, er y dydd olaf o Hydref, lythyrau at Rees a Parry, ond dim gair o atebiad i'r un o'r ddau nis cefais. Er ein mawr lawenydd derbyniais lythyr oddiwrth y Parch. Henry Rees, Rhagfyr 11eg.

Byddaf weithiau yn lled ddigalon gyda'r achos mawr yn y lle hwn, ac mewn dygn dywyllwch; a thro arall yn lled gysurus pan y caffwyf hamdden i ystyried ar ysgwydd pwy y mae yr achos a'i lwydd. Dymunwn yn fawr wybod a gafodd yr anwyl frodyr a fu yma yr haf diweddaf lawer o siomedigaethau i'w meddyliau. Ysgrifenais lawer a llawer er pan y daethym yma, a byddwn yn wastad, hyd eithaf fy ngwybodaeth, yn rhoddi pob hanes i'r peth neu y pwrpas; ond fe allai eu bod hwy yn cael gwahanol olygiadau ar yr achos crefyddol, &c. gan eu bod yn gweled yn mhellach na mi, hen greadur dwl.

Dymunwn, debygwn o'm calon, weled cyn myned i'r bedd, achos yr Arglwydd yn fwy bywiog, a'r rhai sydd yn proffesu yn fwy ysbrydol a duwiol. Y mae 'r ychydig sydd yma yn llefaru yn hynod ffyddlon a diwyd. Y mae W. G. Pierce tua 70 oed, nis gall ef ond yn anaml fyned i bregethu. Bydd y tri ereill yn gwneud a allant, ac er hyny bydd rhyw ardaloedd bob Sabbath heb un bregeth. Bydd ambell i ardal bedwar Sabbath a rhagor heb bregethwr. Dim ond crynhoi ynghyd i geisio cadw ysgol a chyfarfodydd i weddio. Y mae yma angen mawr am ragor o ddoniau gweinidogaethol cyn y bydd fawr o brydferthwch arnom, tybygwyf fi. Ond gwir yw, 'gyda'n Duw y mae pob peth yn bossibl.' Ond, O na welai ef yn dda ganiatau hyn i ni. Nis gallaf lai na chwennych hyn tra y parhao fel y mae hi yn ein plith; megis y dywedodd y Parch. Moses Parry, 'Eisieu rhywun megis i dreiglo y maen.' Ond er nad oes yma yn fynych ond megis pryd o ddail i'w gael, etto os pryd o ddail y mae yma gariad gydag ef, ac undeb rhyfeddol yn ein plith, ac y mae ei ffrwyth yn rhagorol yn ein casgliadau at achos yr Arglwydd.

Cawsom bob sirioldeb gyda'r casgliadau yn y flwyddyn 1838, ond y flwyddyn ddiweddaf, y mae yn syndod i laweroedd yn y flwyddyn hon, yr ydym wedi llwyr dalu dyled Capel Cerrig yn Remsen. Cewch weled swm ein casgliadau yn y Cyfaill. Y mae genym achos diolch a chydnabod yr Arglwydd yn hyn. Ond er y cyfan yr wyf fel un ar y mur bron a digaloni.

Anfonwch i mi yr hyn a weloch yn addas o hanes pethau. Nid oes ar fy meddwl anfon mwy i'r *Association:* yr wyf yn ystyried y brodyr Rees a Parry mai hwy ydyw ein llythyrau ni. Yr ydym wedi cael addewid y daw y Parch. W. Rowlands yma atom i'n Cyfarfod Chwarterol, Ebrill 8, a 9. Dyma y Cyfarfod mawr cyntaf i ni er pan y bu y brodyr dieithr yma o'r hen wlad. Gellwch weled yn hawdd wrth hyn ein bod yn lled ddigalon, ac onide buasai genym ryw Gyfarfod cyhoeddus cyn hyn.

Anwyl frawd, nis gall neb adrodd gymmaint o leshad a fu ymweliad ein hanwyl ddau frawd, Rees a Parry, yma yn ein plith. *Siriolodd yr achos drwyddo oll yn yr holl eglwysi, a chadarnhawyd hwynt mewn undeb a chariad. Sefydlwyd llawer yn y wir athrawiaeth, a chwanegwyd llawer at yr eglwysi, rhai yn mhob ardal. Y mae chwanegiad mawr yn yr ardal a elwir Floyd, ac fe adeiladwyd yno gapel newydd er pan y buont hwy yno.* Un nodedig, ac yn rhagori mewn annuwioldeb bron ar bawb yn mhlith ein

cenedl yn ol pob arwyddion a achubwyd dan eu gweinidogaeth yn y lle hwn, a fu farw yn ddiweddar. Yr oedd ei droedigaeth mor amlwg fel nad oes neb yn ammeu nad yw ei enaid yn awr yn Mharadwys. Yr oedd yn dad i lawer o blant. Un boreu daeth y plant at eu mam mewn syndod mawr, a gofynasant, 'Pa beth sydd ar fu nhad heddyw? nid oedd efe yn rhegi dim, nac yn curo y gwartheg.' Ni chafodd ond byr amser i broffesu. Bu farw mewn gobaith a'i ymddiried ar Grist croeshoeliedig. Llawer sydd yn dywedyd, pe yr arosasai Rees a Parry yma y buasai golwg newydd arnom, ac y buasai yma, yn mhen ychydig fisoedd, lawer iawn o chwanegiad. Ni buont hwy yma ond tair wythnos, ac O! y llesad a fuont yn yr ysbaid byr hyn o amser. Y mae fy ngwraig yn fy annog i beri i'n hanwyl frawd, Moses Parry, ddyfod yma yn ddioed i holi y plant ac i feithrin zel, ac i roddi bron i'r plant sydd yn yr eglwysi, fel y cynnyddont, ac y sirlolont, yn lle eu bod yn magu math o *decay*. Hefyd, y mae ei dialedd heddyw yn drymach na'i hochenaid o achos i'r brodyr anwyl, Rees a Parry, fyned ymaith i Ohio yn lle aros yma i lafurio yn ngwinllan eu Harglwydd. O! pwy a ddaw yma i godi Jacob, canys bychan yw! Pe deuai y brodyr yma, neu rai o'n hanwyl frodyr o Gymru, nid cynnar y caent fyned i'r ystafell i orphwys.

Cofiwch ni yn anwyl a charedig at ein brodyr ag oedd yn y winllan pan y gadawsom wlad ein genedigaeth. Y mae er hyny 22ain o flynyddoedd; nid llawer y mae yn debyg sydd yn awr yn fyw. Byddaf yn cofio yn felus am lawer odfa a glywais gan fy hen dad, John Davies, Nantglyn. O! mor felus fydd rhai darnau o'i bregethau i'm henaid hyd heddyw. Os yw yn fyw, cofiwch fi ato. Yr wyf yn awr yn cofio yn *fresh* floeddiadau Ebenezer Morris ar fynydd Mynytho, pryd yr oedd y capel yn rhy fach i ddal y dorf rhyw foreu Sabbath, a dyma oedd efe yn ei floeddio, 'Byw yn dduwiol, byw yn dduwiol, byw yn dduwiol.' Y mae ei floeddiadau heb fyned o'm clustiau na'm calon etto, er meithed y tymhor. O! na allwn i fyw felly, ond methu methu yr wyf fi.

Yr wyf yn cofio yn dda hefyd yr hen gyfeillach fu rhyngom â'n gilydd yn y fl. 1796, pan yr oeddych yn yr ochr draw i'ch *Store* yn paratoi i'r Wasg y 'Drych i'r Anllythyrenog,' o waith eich Parchedig dad. Y mae un o'r llyfrau genyf heddyw yn cael ei gadw yn barchus, ac nis gallaf ei gadw yn ddigon parchus, pan y meddyliwyf am ei awdwr. Cofiwch fi yn bennodol at y Parch. J. Elias, yr wyf bob dydd yn dysgwyl llythyr oddiwrtho. Dymunwn yn fawr wybod a dderbyniodd Rees a Parry fy llythyrau ai nad do. Os yw ein parchus frawd, Moses Parry, yn fyw, pa fodd na anfonai ef atom. Byddwn weithiau yn son am dano, ac yn gofyn y naill i'r llall, 'Ai tybed ei fod ef yn fyw? Ai wedi ei gladdu tybed y mae Moses lariaidd? Ai tybed fod ei gorph ef wedi ei gladdu mor guddiedig ac y claddwyd corph Moses gynt, fel nas gwyr neb pa le y mae efe? Pa fodd na chlywem ryw hanes am dano?' Byddwn yn gweled yn y Cyfaill hanes Rees tua Scotland weithiau; a phryd arall yn y Bala yn ordeinio Cenadwr. Ond, Ow, fy mrawd Moses pa le yr wyt ti? Os yn fyw yr wyf yn methu a dirnad paham na anfonai un epistol atom, ac ynddo ryw orchymynion da, a chyfarwyddiadau buddiol.

Y mae y cyfeillion yma oll yn anerch y ddau frawd, Rees a Parry, yn y modd serchocaf; ac felly ninnau fel teulu yn gyduno o'n calon. Dywedwch wrthynt fod y gwr ieuangc hwnw a aeth gyd â'r cerbyd i ddanfon y Parch. Henry Rees i Rome wedi marw er ys wythnos yn ol—ei enw oedd John Jones, gynt o Gefn-y-gaer, Sir Gaernarfon.

Rhaid ymadael etto y tro hwn, anwyl frawd, gan weddio fel hyn, 'Bydded genym ras trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn.'

Etto, dymunaf arnoch anfon i mi 300 neu 400 o Gyffes Ffydd y Methodistiaid Calfinaidd, pris 4c. y pedwerydd argraffiad dros y Corph, mor fuan ag y galloch. Dywedwch wrth ein brodyr, os daw yma ryw un neu rai o'r brodyr yn y Weinidogaeth o anfoniad y Corph, yr ymgeisiaf fy ngoreu eu digolledu. Y mae yma, fel y nodais, fawr angen am y cyfryw ar yr eglwysi, ac ar y cynnulleidfaoedd. Unwaith bob chwech wythnos yr ydym yn cydgyfarfod i drefnu cyhoeddiadau, &c. a phregethu ychydig y noson yn y fan.

Y flwyddyn ddiweddaf cawsom gynhauaf rhagorol, helaethrwydd o ymborth iachus i ddyn ac anifail. Yr oedd prisiau pethau yn gostwng yn niwedd y flwyddyn—baril o beilliaid o 5 i 5½ *dollar*—gwenith am *dollar* y bwshel—ceirch 2s. 6ch. pytatws 1s. 6ch. o'n harian ni—cig moch o 6ct. i 7ct. y can pwys—pob peth arall yn gyffelyb. Buwch gyflo o 25 i 30 *dollar*—ceffyl da o 80 i 180 *dollar* Cyflogau yn uchel iawn.

Cofiwch ni at y Parch. Daniel Jones, Llanllechyd, &c. Yr ydym ein dau yn cyd gofio atoch, anwyl frawd, yn y modd caredicaf; ac felly y diweddaf, dan ganu yn gwynfanus y pennill hwn,

'Mae fy niwrnod bron a darfod,
Mae fy haul bron myn'd i lawr,
Mae pob awel yn fy chwythu
Tua'r tragwyddoldeb mawr.'

O! na allwn fod yn fwy ffyddlon yn hwyr fy mywyd. Anffyddlon ac anfuddiol iawn ydwyf wedi bod hyd yma yn ngwinllan fy Arglwydd, ie, yn wir. Da fod gydag Ef faddeuant fel ei hofner.——Ydwyf, anwyl frawd, yr eiddoch mewn rhwymau cariad,

*Gynt o Wynedd.* IAGO AB OWAIN.

## COFIANT

### AM MRS. MARY JAMES, O LUNDAIN.

Gan fod angeu wedi lluddias i ni, yn yr oes hon, i ganfod namyn lloffion o'r dynion a gafodd y fraint o brofi o'r tywalltiad grymus oedd yn canlyn gweinidogaeth y Parch. Daniel Rowlands, Peter Williams, a William Williams yn y Diwygiad a gymmerodd le yn Neheudir Cymru yn eu dyddiau hwy; ac wrth ystyried fod 'coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig,' ac er cuddio y corph yn llwch y bedd, etto fod yn annheilwng claddu ei goffadwriaeth dros byth yn nhir angof; gan hyny, ar ddymuniad rhai o'm cyfeillion, rhoddaf ychydig o hanes hen fam yn Israel, a orphenodd ei gyrfa yn Llundain, Chwefror 24ain, 1840, yn 82ain mlwydd oed, sef Mary James.

Gwrthddrych y Cofiant hwn ydoedd ferch i Rees Rees, a Mary Rees, o'r Ty-gwyn, yn mhlwyf Llanfair-orllwyn, Swydd Ceredigion. Ganwyd hi ar ddydd Llun, y 5ed o fis Mai, 1758. Yr oedd yn ei hieuengctid yn ysgafn ac yn anystyriol fel ei chyd ieuengctid, am gyflwr ei henaid a'i sefyllfa rhyngddi â Duw: etto, yr oedd yn cyrchu ar amserau i foddion gras. Myned iddynt yr oedd hi, fel y mae llawer etto, i edrych pa beth a welont yn fwy na pha beth a glywant am drefn achub pechadur trwy Iesu Grist. Ond o drugaredd, ïe, trugaredd ag y clywais hi yn diolch llawer yn ystod ei bywyd am dani, sef yn 18 mlwydd oed, yr ymwelodd Duw â hi yn effeithiol drwy ras, dan weinidogaeth y Parch. Daniel Rowlands, oddiar y geiriau hyny yn Ezec. 16. 8.

Yr oedd goruchwyliaeth yr Ysbryd mor rymus yr amser hwn, nes oedd ei gwedd a'i gwaith yn dangos i bawb fod Duw gwedi ymweled â hi godiad haul o'r uchelder. Derbyniwyd hi yn aelod o'r Eglwys Sefydledig, sef Llanfair-orllwyn, lle yr oedd hen Weinidog duwiol, sef Parch. Thos. Griffiths, ffyddlon was i Iesu Grist, a chywir hyfforddwr y pererinion. Ond clywais hi yn dywedyd nad anghofiai byth y pethau, sef y cynghorion a'r rhybuddion difrifol, a'r annogaethau pwysig a gafodd ar ei derbyniad gan y Parch. D. Jones, Llangan, yn achlysurol ar ei gylchdro yno. Un cyngor oedd, 'Dal yr hyn sydd genyt, fel na ddygo neb dy goron di.' A rhybuddiai hi hefyd am iddi wylio rhag myned ar ol ei hen gyfeillion, ac y sicrhâi efe na ddeuent hwy byth ar ei hol hi; a hyn a gafodd argraph ddwys ar ei meddwl, ac a brofodd fod y peth yn wir, a llawer gwaith y cefais yr un cyngor ganddi hithau. Yr oedd allor ei henaid mor frwd at y gwr fu ar y groes, nes oedd yr ymadrodd yn cael y fath argraph ag a barhaodd i raddau trwy ei hoes.

Yr oedd yn hynod am gydnabod o ba ochr yr oedd y gwaith gwedi dechreu, gan goffau 'yr hwn yn ein hisel radd a'n cofiodd ni.' 'Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef.'

Pan oedd hi yn 24ain oed ymwelodd Duw â hi â chystudd trwm iawn, nes yr oedd pawb a'i gwelai yn tybied ei fod yn ei galw ato ei hun. Yn y cystudd hwn nid attaliodd yr Arglwydd o lewyrch ei wyneb oddiwrthi. Ond tanbeidiodd goleu adnewyddol ar y rhan hwnw o'r gair y cafodd ei bywyd ynddo ar y dechreu. Gan ei bod yn meddwl fod ei phabell ar ymddatod gorchymynodd iddynt bregethu oddiar y testyn Ezec. 16. 8. Ond gwelodd Duw yn dda ei hadferu o'r cystudd hwn i ryw ddoeth ddyben.

Yr oedd hi wedi derbyn dawn rhagorol i ganu, ac yr oedd yn canu llawer, ac yn orfoleddus iawn yn canmol y gwr fu farw yn ei lle. Ar amserau ni fyddai ganddi gyfle i fyned i'r dirgel i weddio ar hyd y dydd, ac am hyny byddai yn ymdrechgar i gadw ei meddwl ar y pethau sydd uchod trwy foliannu yr Arglwydd ar gân.

Adroddai i mi yn ei henaint am un hen flaenor yn yr eglwys a arferai yn fynych ei chyfarch, 'Gwna y goreu o'th amser, Mary fach. Rhyfedd yw i mi os pery yr haul mor danbaid arnat. Cofia, ti gei brofi tir garwach—y mae rhiwiau a chloddiau o dy flaen;' a'r amser canlynol a brofodd ei fod yn dywedyd y gwir.

Yna, pan yn gyflawn 31ain oed ymgysylltodd mewn undeb priodasol âg un o'r enw David James, ar y 19eg o fis Mai, 1789, yr hwn oedd yn cadw gwestdŷ tra helaeth yn Nghastell Newydd yn Emlyn, ac yn ŵr o berchen rhyw gymmaint o feddiannau, yr hyn a rwymodd wrthi hi a'i hetifeddion mewn gweithredoedd priodasol. Bu iddynt ddau fab, David a John James.

Yn y flwyddyn gyntaf ar ol eu priodi ymosodai rhyw ŵr, yn anghyfiawn iawn, i geisio traws-feddiannu eu heiddo, yr hyn a barodd iddynt fyned i draul fawr i amddiffyn eu cyfiawnder, a gorfu arnynt godi arian ar eu tir i'w thalu. Etto, er ei thrafferth yn y dymhestl hon nid oedd yn cael ei gadael yn ddiymgeledd.

Dywedai iddi gael llawer gwledd felys ar yr oen gyda'r dail surion yn y dyddiau hyny. Ac yn y flwyddyn ganlynol aeth yn yr hwyr un noson i'r capel, â'i maban ar ei braich, i wrando y Parch. David Morris yn pregethu: a gwelodd gymmaint o ogoniant y Gwaredwr yn y bregeth hono, nes ei gorlenwi â gorfoledd, ac anghofio ei baban a phobpeth arall dan haul. Bu yno hyd y boreu drannoeth, heb wybod pa fodd y collodd ei mab nes dyfod adref.

Felly aeth yn mlaen yn gysurus dros rai blynyddau hyd y blynyddau drudion 1800, ac 1801. Pan oedd pob masnach wedi sefyll braidd, a phrinder mawr o arian yn y wlad, a chan nas gallasai ei gofynwr hebgor ei arian yn hwy, bu gorfod iddynt werthu eu tir. Ond gan ei fod wedi ei rwymo

wrthi hi a'i mab ni chaent neb i'w brynu nes tynu y gweithredoedd priodasol trwy y brawdlys, a chael ei chydsyniad hithau yn Nghaerfyrddin. Yn awr, gallaf ddywedyd i'w holl feddiannau fyned rhwng y cyfreithwyr, &c. namyn dau gini; er hyny y mae genym sail i gredu iddynt gael gafael ar drysor canmil gwell, ac un parhaus.

Yn y flwyddyn 1807 claddodd ei phriod, a bu yn Nghymru hyd y flwyddyn 1815, pryd y daeth i Lundain i ymweled â'i meibion, a threuliodd yno weddill eu hoes. Cafodd lawn fwynhad o'i holl gynneddfau hyd ei mynydau olaf. Yr oedd yn cael ei blino yn fawr gan ddiffyg anadl y blynyddau diweddaf, nes oedd yn methu myned i foddion gras; a hyn oedd yn ofid trwm ar ei hysbryd. Cyfyngai ei hamser gan mwyaf i ddarllen y Bibl, a 'Gorphwysfa y Saint.'

Yr oedd llawer iawn o'r ieuengctid crefyddol yn *Jewin Crescent* yn hoff iawn o honi, ac yn ymweled â hi yn aml, a dywedai yn fynych, 'Yn awr yr wyf am eich gweled tra gallwyf fwynhau eich cyfeillach: byddaf yn fuan iawn yn analluog i hyny.' Dan ddwylaw oerion angeu dywedai yn rhydd wrthynt ei phrofiad, ac annogai hwy i weddio am y pethau ag oedd hi yn deimlo yn angen arni. Gofynodd un o honynt iddi y nos Sabbath olaf ond un y bu byw, 'Anwyl chwaer, beth yw eich meddwl am grefydd Crist? a ydyw hi o ryw werth i chwi yn awr?' 'O! (ebai hithau) tewch a son am *werth*; ni fynegaf i dragywyddoldeb ei gwerth. Os yw hi yn dywyll yn awr arnaf, yr un man yr wyf yn pwyso ag oeddwn driugain mlynedd yn ol. 'Does arnaf ddim ofn y dryllia y cyfammod, er nad yw mor gysurus arnaf ag y dymunwn.'

Felly ymdeithiodd yn mlaen mewn graddau o dywyllwch, yn llefain, 'O! ymddangos Iesu anwyl.' A cheisiai gan bawb a ddeuai i ymweled â hi ddarllen iddi Salm xxxii. Ond ar ddydd Iau, yr 20fed o Chwefror, goleuodd ar ei meddwl—cafodd ei chodi megis i ben Nebo, i weled gwlad Canaan, y breswylfa lonydd. Yn yr ysbaid hwn gorlanwyd ei henaid â gorfoledd yr iachawdwriaeth, nes y canodd yn eglur y pennill hwn,

> Fe gân,
> Y gwaredigion fawr a mân,
> Dragwyddol glod i'w Harglwydd glân,
> Pan ferwo'r môr, pan losgo'r tir,
> Cânt godi eu penau a llawenhau,
> Eu poenus wae â heibio'n wir.

Ac felly ni bu yr un cwmwl ar ei meddwl o hyny allan, nes huno yn yr angeu. 'Wele, (ebai ei merch-yn nghyfraith wrthi y prydnawn Sabbath olaf y bu hi fyw, yn drallodedig ei meddwl gan ei bod yn cwbl gredu mai myned ymaith yr oedd) yr wyf yn gobeithio yr ewch chwi adref yn ddiangol.' 'O! anwyl ferch, peidiwch âg ofni—nid oes dim *os* ynddi, nac oes ddim. Y mae Iesu yn amlygu mai ei eiddo Ef ydwyf,

> Ei hyfryd bresennoldeb gwiw,
> Yn angeu ceidw hyn fi 'n fyw,
> A boddlon wyf yn awr.'

Felly, wedi i'r cyfeillion ymadael ar ol darllen a gweddio am y tro olaf gyda hi, ni ddeallwyd ond ychydig o'i hymadrodd. Ond yn mhen ychydig gwedi treulio y Sabbath daearol mewn cystudd yn nglyn cysgod angeu, galwodd y bugail da ei rhan anfarwol i fwynhau Sabbath tragywyddol, lle ni ddaw cystudd na galar i'w blino mwy. Wedi hyny cludwyd ei rhan farwol ar ysgwyddau y rhai a'i carai yn ei bywyd i *Bunhill Fields*, a thraddodwyd anerch dwys a difrifol iawn i glyw y rhai byw oll, gan y Parch. James Hughes; ac ar y Sabbath canlynol pregethodd ei phregeth angladdol yn *Jewin Crescent*, oddiar Ezec. 16. 8. ac mewn lle arall ar yr un testyn.

---

> Rhybuddion ar rybuddion,
> A geir gan angeu'n gyson, y daw'n agosach;
> Bu'n curo cewri'r cynfyd,
> Ni welwyd yno hefyd gan neb ei hyfach.
> Mae'n wir—ei fod ar fôr a thir,
> Ië, gwedi ei osod mewn awdurdod,
> A'i arf yn barod, digymmod yw ei gur,
> Nid oes i'r natur ddynol rhag marwol rwyg 'r un mur:
> 'Does gloi—rhag hwn, na ffawd le i ffoi,
> Na modd i ennill hedd angeu didduil,
> Ergydion erchyll ei ffrewyll wna 'n cyffroi;
> Daeth hwn i daro f' egwan fam druan heb ymdroi.
>
> Pa fodd y gallaf golli,
> Un fum mor hoff o honi, fy mam fy hunan?
> Un fu yn f' ymgeleddu
> I'm dwyn yn fwyn i fynu pan oeddwn faban.
> O laeth—ei bron ce's foreu faeth,
> Ac wedi i'm dyfu i faintioli
> Y gwnai bob egni er fy hyfforddi'n ffraeth,
> A d'wedai am Waredwr i ddyn mewn cyflwr caeth;
> A'r mael—i mi yn gu ei gael,
> Rhoddai gynghorion i'w geisio 'n brydlon,
> Fod addewidion y Ffyddlon yn ddi ffael,
> Ac nad yw byth yn blino ar wrando gweddi 'r gwael.
>
> Pan dd'wedodd im' un bore,*
> Ei bod hi ar fyn'd adre, ni fedrwn edrych
> Yn ei hoff wyneb siriol, [groensych.
> A gwrando'i geiriau grasol â'm gruddiau 'n
> Gan fraw—yn drist bu raid troi draw,
> Do, do, a'm dagrau yn golchi'm gruddiau,
> Am fod yr angau â'i saethau llym gerllaw,
> Yn barod âg un dyrnod i'r tafod i roi taw.
> A'i saeth—ergydio'n wir a wnaeth,
> Nes troi yn fyddar, ac yn ddilafar,

* Arferwn fyned i ymweled â hi bob boreu yn ei hystafell cyn myned at fy ngwaith.

Fy mam fwyn hawddgar i'w daear o'r lle y daeth, [gelain gaeth.
Hon fu â'i llaw yn f' arwain sy ganddo 'n

Gan edrych draw'n hyderus,
Da foliant canai'n felus, a llawn gorfoledd.
Pan fyddo'r môr yn berwi,
A'r ddaear las i losgi, caf godi heb lesgedd.
Ni ddaw—i'm dychryn 'r ochr draw,
Feddyliau ofer, a fu drwy f' amser
I mi'n orthrymder nac un rhyw brudd-der braw, [gerllaw.
Mi wn fod fy ymwared o'm lludded blin
'Rwy'n syn—er cadarn gredu hyn,
Y caf fy neffro i wel'd haul yn duo,
A'r creigiau'n rhwygo a'r mellt yn lleibio 'r llyn. [gryn.
A mi mewn nefol annedd o gyrhaedd daear

Mae'r drwg a'r da yn gydradd,
Yn yr anniddan neuadd 'nawr yn ddiniwaid.
Daw dydd cânt eu didoli,
A'u dwyn o fedd i fynu, dydd uno enaid.
Rhyw ddydd—heb nos i'w haros fydd,
A dydd i'r ceinion waredigion
Fwynhau y goron i deulu Sion sydd;
Dydd canmol am y cymmod rhad ras â thafod rhydd.
Uwch nen—mewn llys tu draw i'r llen,
Dydd i gludfori y Tad am garu,
A'r Arglwydd Iesu am brynu ar y pren,
A'r Ysbryd am gymmwyso o'r eiddo mwy, Amen. DAFYDD EI MAB.

---

COFIANT MR. E. LLOYD, HENDRE FIGILLT, SIR FFLINT.

GWRTHDDRYCH y Cofiant hwn, sef Mr. Edward Lloyd, o Hendre Figillt, Plwyf Helygen, Sir Fflint, a anwyd yn mis Rhagfyr, 1750, ac a fu farw ar y 19eg o Ebrill, 1840, yn 89 mlwydd oed.

Yr oedd Mr. Lloyd yn fab i Peter a Margaret Lloyd o'r lle uchod, pa rai a ystyrid yn barchus yn eu dydd, ac oeddynt yn zelog dros drefn Eglwys Loegr. Dygwyd yntau i fynu yn aelod o honi, a bu yn derbyn y cymun ynddi flynyddoedd.

Yn y flwyddyn 1788 priododd Margaret Davies, o Aberdine, Llanferas, yr hon, er yn blentyn oedd dan fath o argraffiadau o berthynas i fater ei henaid, er nad oedd yn gwybod ond ychydig am drefn cadw pechadur trwy Gyfryngwr; ond ym mhen ysbaid o amser wedi ei dyfodiad i'r Hendre tueddwyd ei meddwl i fyned i wrando ar y Trefnyddion Calfinaidd, y rhai, y pryd hyny oeddynt yn pregethu yn y lle a elwir Plas-y-Winter, lle y teimlodd ymgeledd i'w henaid: a'r canlyniad a fu iddi ennill ei gwr i wrando gyda hi.

Er nad ydoedd efe, y pryd hyny yn hoff o'r Methodistiaid, etto, o herwydd ei barch at ei wraig efe a ufuddhaodd i fyned gyda hi i wrando; a'r canlyniad fu ei ddal ef—ei ddwyn i bwyll ac ystyriaeth uwch ben ei gyflwr rhyngddo â Duw—newid ei farn o ddrwg i dda am y Methodistiaid—a myned gyd â'i wraig i'r Gymdeithas Neillduol yn Rhosesmore, oddeutu 25 mlynedd yn ol, o'r hon y parhaodd yn aelod ffyddlon a diofid hyd angeu.

Nid oedd ei oes grefyddol, o ran ei broffiad, na dydd na nos, ond daeth goleuni mwy grymus yn yr hwyr. Pan oedd wedi methu myned i'r capel, dangosai gariad mawr at Grist, a serch at ei bobl. Ac er fod yr Arglwydd wedi ei gynnysgaeddu ef â graddau go helaeth o gyfoeth y byd hwn, nid oedd yn werth dim yn ei olwg yn yr amgylchiad presennol; oblegid Crist oedd ei *bobpeth* ef, a theimlai chwant arno i'w ddatod a myned i fyw at Grist.

Dywedai wrth ei blant a'i gyfeillion fod y saint yn rhai rhagorol yn ei olwg, a'i fod yn ymhyfrydu yn fawr yn eu cymdeithas. Dywedai fod Duw wedi gwneud mwy o drugaredd âg ef nac â neb ar y ddaear—rhoi gwraig iddo a fu yn ymgeledd i'w gorph a'i enaid—rhoi arwyddion o ras i'w blant—a bywyd tragywyddol iddo yntau. "O ryfedd ras! O ryfedd ras! (ebai efe) fy achub *I*, y pechadur mwyaf ar y ddaear." Ac felly ymadawodd ei enaid o'r corph, ac o'r fuchedd bresennol i fyned i fyw i fyd y sylwedd tragywyddol, wedi cyrhaedd pedwar ugain a naw oed er Rhagfyr, 1839, wedi ei ddigoni â hir ddyddiau, a gweled iachawdwriaeth Duw.

Yr oedd gwrthddrych y Cofiant hwn yn wr cryf o ran cyfansoddiad corph ac o ansawdd iachus, ac yn un o'r dynion mwyaf cymmedrol yn yr holl ardal—a thebygid nad oes neb all dystio ei weled yn feddw, nac arwydd o yfed i ormodedd arno—ac arferai yn achlysurol, ac yn fynych, bron yn wythnosol, fyned i farchnad y Wyddgrug, &c. er ys *deuddeng mlynedd a thri ugain*, a medrai yn ei ddyddiau diweddaf godi gwydraid o ddwfr at ei enau heb ei golli, a bron yn hollol ddi gryn.

Peth nodedig arall ynddo i sylwi arno oedd *cydymdeimlad a thosturi*, yn yr hyn ni byddai niweid i ereill ymdebygu yn fwy iddo. Mynych y gwelwyd yr anghenus a'r rheidus yn dyfod ato am gynnorthwy. Ar y dechreu llefarai yn o uchel ac yn lled arw; ond wedi gwrando ar eu cwyn, yn y fan ymbwyllai, ystyriai, cydymdeimlai, ac yn y diwedd tosturiai, ac anfynych yr elid oddi wrtho heb fod yn well o ddyfod ato—a mynych y clywid dywedyd 'Pa bryd bynag y bydd Mr. Lloyd farw ni ddaw yr un gwell yn ei le ef:' ond dymunol er hyny fyddai i bawb ymdrechu i flaenori yn yr hyn sydd dda.

Yn ei alwedigaeth hefyd yr oedd yn nodedig o effro, gofalus, cynnil, a diwyd, fel mai ychydig, os neb, yn y wlad a ddeuai i fynu âg ef yn y pethau hyn.

JOHN EDWARDS,
EDWARD ROBERTS.

# BARDDONIAETH.

## CYDNABYDDDIAETH

O DDAIONI DUW YN RHOI GWLAW TU A'R 10FED O FIS MAI DIWEDDAF.

Cydnabyddwn yn ddiolchgar
  Ein Duw tyner doeth a da,
Ior y bydoedd, Craig y nerthoedd,
  Fel addawodd byth y gwna;
Ceidwad ammod a thrugaredd,
  Yw, a'i rinwedd yn ei waith,
Myned heibio 'n du anwiredd—
  Dyma wledd amynedd maith.

Mwydo 'n daear â chawodydd,
  Etto ' newydd wnaeth ein Duw,
Llawn o lysiau ydyw 'n meusydd,
  A gwyrddlas wisg ein gweunydd gwiw,
Defaid hulliant wyneb dolydd,
  Ysgrubliaid leinw'n bronydd braf,
Ochrau 'r neint a llethrau 'r bryniau,
  Amryw liwiau hyfryd haf.

Acw deced yn y goedwig
  Ydyw'r fiwsig rhwng y dail,
Tônau llathraidd tyner llithrig,
  Tra gorodlig—p'le mae 'u hail?
Cynnyrch daear sydd yn canmol
  Y Tragwyddol am y Gwlaw,
Ac yn addef yn ddifrifol
  'Nyni sydd waith anfeidrol law.'

  Ond p'le mae dyn a'i synwyr ffraeth?
  P'le is nen mae pen y byd?
  Pa le mae hwn, na chanai glod,
  Mae 'n syn ei fod e yn fud!

Hyfryd codiad cwmwl dudew
  Pan bo'r wybren fel yn bres;
Hyfryd gan y teithiwr Indiaidd
  Ganfod dwr mewn tanbaid des;
Hyfryd, hyfryd y cawodydd
  Gadd ein meusydd ddyddiau Mai,
Adfyw ydau, deffro ffrwythau,
  Mae Duw beunydd, er ein bai.

Onid hyfryd fyddai, Sion,
  Gael o ddeifron gloywon gras,
Yn gawodydd ar blanhigion,
  Er dwyn blodion, ffrwyth, a blas?
Pwy sydd uchaf tua Charmel?
  Pwy? atebed perchen ffydd;
A oes sicrwydd (cyn rhoi ffarwel)
  Pwy a'i gwel pan del y dydd?

Pyncial adar coedwig Sion,
  Llamai 'r wyn ar fynydd Duw,
Fe brydferthid saint â blodion,
  Ffrwythau 'r hen famogion gwiw:
Pe tywalltid o'r uchelder
  Gynnwys yr addewid fawr,
Arglwydd, tywallt mewn grymusder,
  Doed y gwlaw, O doed yn awr.

*Liverpool.* R. Jones, *Asiedydd.*

## ENGLYNION I'R HIN RADLONUS DDECHREU AWST, 1840.

Mawl a chân aml ychwaneg—a lunier,
  A lanwo 'n bro wiwdeg;
  (Ym Mrydain) dyma 'r adeg,
  Am huan Duw, am hin deg.

O dymor hedd! dyma 'r haf——arnom,
  Nid oernych trwm pruddaf;
  Agorwyd i ni o gariad Naf,
  Cawn hefyd y Cynhauaf.

Cof imi y Cyfamod——â Noah  Gen. 8.22.
  Ni newid Duw uchod;
  Wedi hau diau mae'n dod—addfedrwydd
  O'n da Ior gwiwlwydd hyd i'r gwaelod.

Ein lloni mae Ion â lluniaeth—diolchwn,
  Iē, a molwn ei wir ymweliaeth;
  Cododd ni o'n cyni caeth,
  O bydew anwybodaeth.

*Liverpool.* R. Jones.

## UN CORFF YN NGHRIST.

Cydunwn â'n cyfeillion cu,
Sydd yn mwynhau y gwobrwy fry,
Ar edyn cariad codwn 'nawr
I'r maith lawenydd uwch y llawr.

Cyd-ganed saint y ddaear faith
A'r dyrfa lân ar ben eu taith;
Can's maent yn un, y meirw a'r byw,
Un dorf yw holl was'naethwyr Duw.

Un teulu ydym ynddo Ef,
Un Eglwys fawr trwy'r ddae'r a'r nef,
Er bod Iorddonen oerllyd li'
Yn ysgar enyd rhyngom ni.

Un fyddin hardd dan D'wysog nen,
Yn plygu i'w air, a'i adde'n ben;
Aeth rhan o'r llu trwy'r afon fawr,
Mae rhan yn myned trwyddi 'n awr.

Arwain ni, Iesu yn dy law,
A phan y'n gelwir trwodd draw,
Gwahana ddyfroedd angeu glas,
A dwg ni mewn i'r Ganaan fras.

*Caerfyrddin.* *Cyf.* D. C.

## YR ENGLYNION BUDDUGOL

*I'w rhoddi ar Fedd Mrs. Ann Owen, Llangefni.*

Ni chaf addien ddywenydd——ar ei hol,
  Oer wylo wnaf beunydd;
  Ei thyner fron sy'n llonydd,
  Mewn gobaith yn berffaith bydd.

Rhoddwyd Ann eirian i orwedd,—gwelwch,
  Er galar i'w chydwedd,
  Cyfyd i'r làn o'i hannedd,
  I wlad bur o waelod bedd.

John Hughes.

*Bodedern, Mon.*

# CYMANFA GORFFOREDIG LLANIDLOES.

GORPHENAF 28, 29, 30, a 31, 1840.

DAETH y Cynnrychiolwyr dros Siroedd De a Gwynedd yn nghyd ddydd Mawrth, yr 28ain, a chadwyd Cyfarfod rhagbaratoadawl am dri o'r gloch prydnawn y dydd hwnw. Dewiswyd y Parch. J. JONES, Tremadog, i fod yn Gymedrolwr yn y Cyfarfodydd Cynnadleddol, a threfnwyd amrywiol faterion i sylwi arnynt.

Dydd Mercher, am 7 yn y boreu, bu Cyfarfodydd gan y Pregethwyr, a chan y Blaenoriaid, ar wahan. Am 10, ac am 2, bu Cyfarfodydd ganddynt yn unedig, ac felly hefyd am 7, 10, a 2, y dydd canlynol.

Yn yr amryfal Gyfarfodydd cynnygiwyd a chymeradwywyd y penderfyniadau canlynol, y rhai a gyflwynir etto i Gymdeithasfaoedd Chwarterol y Deheubarth a'r Gogleddbarth i'w cadarnâu.

I. Fod y Gymanfa hon yn ystyried fod yr undeb agosaf rhyngom â'n gilydd fel Corff o Fethodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Neheubarth a Gogleddbarth Cymru; fod parâad yr undeb rhwng y ddwy Dalaeth o bwys, ac na fynem i ddim ei niweidio.

II. Ein bod yn barnu yn fuddiol ac yn angenrheidiol cynnal Cymanfa Gorfforedig, neu Gyfunol, yn flyneddol; y nesaf i'w chynnal yn Aberystwyth. Cyfeisteddfod paratoadol i fod y nos gyntaf, sef nos Fawrth, am 6 o'r gloch; Cyfeisteddfodau i fod am 7, 10 a 2, ar y ddau ddydd canlynol, a phregethu y nosweithiau; Siroedd y Gogledd i gynnorthwyo at draul y Gymanfa a gynnelir yn y Gogledd, a Siroedd y Deheudir at yr eiddynt hwythau.

III. Fod llyfr o hanes, cyfrifon, &c. y Corff, yn ol y cynllun a ddygir ger bron etto, i gael ei argraffu yn flyneddol, yn ddilynol i'r Gymanfa Gorfforedig, a Llythyr at yr Eglwysi, &c. i fod ynddo.

Penodwyd dau frawd, un o bob Talaeth, i gyfansoddi y Llythyr Gweinidogaethol, erbyn y flwyddyn nesaf.

IV. Fod i Ddirprwywyr o Siroedd y De a'r Gogledd, gael eu dewis yn y Cymdeithasfaoedd Chwarterol nesaf, i ystyried a allwn ni, fel Corff trwy y Dywysogaeth, a Threfydd Lloegr, ymffurfio a chydweithredu yn Gymdeithas Genadol Dramor, a bod i'r Dirprwywyr hyn ymgynnull yn rhyw le cyfleus, ryw adeg o'r pryd hwn i'r Nadolig.

V. Fod i bob Cyfarfod Misol edrych yn ofalus ar ol Gweithredoedd (*Leases*) y Capeli, a gwneuthur Ymddiriedolwyr newyddion yn wyneb marwolaeth yr hen rai.

VI. Fod gweinyddiad priodasau yn ein Capeli i gael ei adael at rydd farn pob Cyfarfod Misol.

VII. Fod eisiau cael rhyw fesurau er meddyginiaethu yr adfeiliad sydd ar Bregethu Teithiol sydd yn ein mysg.

VIII. Fod yn angenrheidiol cael rhyw ddull, yn unol â rheolau sylfaenol y Corff, i gynnal Gweinidogion i ofalu am yr Eglwysi, fel na rodder profedigaeth i rai wneuthur hyny mewn llwybr anghytunol â'n trefniadau.

Y blaenoriaid yn eu cyfarfod hwy a gynnygient na byddo i un Eglwys neillduol alw pregethwr i fugeilio ynddi heb ymgynghori â Chyfarfod Misol y Sir.

IX. Fod i Gymdeithasfaoedd Chwarterol y ddwy Dalaeth ymdrechu cael rhyw lwybr i gydweithredu er cynnorthwyo yr achos Cymreig yn yr America.

X. Fod i annerchiad tirion a doeth gael ei anfon o'r ddwy Gymdeithasfa (De a Gogledd) at y brodyr mewn swyddau Eglwysig sydd etto heb ymuno â'r Gymdeithas Ddirwestol, i daer-erfyn arnynt i gydweithredu â'r Corff yn gyffredinol yn yr achos daionus hwn.

Heblaw y pethau uchod, ymdriniwyd âg amryw faterion cysylltiedig â'r Weinidogaeth, yr Athrawiaeth, Dysgyblaeth Eglwysig, ysbrydolrwydd crefydd, &c. yn ein mysg. Rhoddir yma grynodeb o'r materion, a'r sylwadau arnynt:—

I. Yn Nghyfarfod y Pregethwyr sylwyd AR FAWREDD GWAITH Y WEINIDOGAETH EFENGYLAIDD.

Y mae pregethwr mewn lle ofnadwy, a pheth o'r pwys mwyaf iddo ef ei hun a fydd 'ei gael yn ffyddlawn.' Mae 'y pethau a ymddiriedwyd iddo' o werth annrhaethol; y mae i ddanges holl briodoliaethau Duw yn eu gogoniant, heb osod y naill i gymylu y llall. Mae gwrthddrychau ei fugeiliaeth yn bwysig; 'Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod-waed.'

Sylwyd fod pob pregethwr yn sefyll dros rywun—dros Grist neu dros ddiafol; dros Dduw neu drosto ei hun. Os dros Dduw y mae, ei holl amcan yw ei ddyrchafu ef, amlygu ei ogoniant a'i ras, ac ennill pechaduriaid ato: os drosto ei hun y mae, ei holl nod yw dangos a chodi ei hun, a'i ymgais fydd am foddio ei wrandawyr, ac nid boddio Duw.

Gofynwyd a oes rhywbeth i fod yn wahanol yn mhrofiad pregethwr ragor yn mhrofiadau Cristionogion yn gyffredinol. Mae llawer o bobl grefyddol wedi bod yn meddwl fod Duw yn eu hanfon i bregethu, ond dangoswyd, trwy ryw foddion neu gilydd, nad oedd yr Arglwydd yn eu galw i'r rhan hono o'i waith. A oes rhywbeth neillduol yn cael ei roddi i'r gwir bregethwr? Atebwyd, Oes, 'ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod.' 'Duw a'n cymmododd ni âg ef ei hun trwy Iesu Grist;' am hyny yr ydym yn *gyfeillion*: 'ac wedi gosod ynom

ni air y cymmod; am hyny yr ydym ni yn *genadau* dros Grist.' Mae pob Cristion yn gyfaill, ond nid yw pob Cristion yn genadwr. Mae y 'gosod' hwn yn cynnwys fod Duw, ffynnon fawr pob awdurdod, gwladol ac eglwysig, yn awdurdodi dyn i bregethu yr efengyl. Yr oedd ei lygad ar hyn wrth ei ffurfio yn y bru; rhoddodd iddo synwyrau naturiol a galluoedd meddyliol i fod yn fanteisiol at ei swydd; wedi hyny rhoddodd iddo ras i fod yn dduwiol, ac a roddodd rywbeth hefyd i sancteiddio y doniau naturiol. Pe buasai y dyn yn myned yn ngrym ei ddoniau heb hyny, ni buasai ond yn ddilewyrch ac aneffeithiol. Anhawdd dywedyd beth yw y peth hwn, ond y mae'n hawdd ei weled yn y lle y mae. Yr oedd yn anhawdd dweyd beth oedd y *Shecina*, ond yr oedd yn bur ddysglaer, ac ni wnai dim y tro hebddo, o herwydd dyna oedd y gogoniant. Mae goleuni a nerth i raddau yn dilyn y gwir anfoniad. Mae 'ymadrodd gwybodaeth' yn un o'r doniau ysbrydol; nid oes neb yn derbyn gweinidogaeth y cymmod heb fod ei feddwl yn cael ei eangu am drefn y cymmod. Yr oedd gair yr Arglwydd yn rhyw dân yn llosgi yn nghalon ac o fewn esgyrn Jeremiah, fel yr oedd yn methu ymattal rhag ei draddodi. 'Baich gair yr Arglwydd;' yr oedd hwn yn myned yn rhy drwm i'w gario gan yr hen brophwydi heb ei roddi i lawr, sef ei adrodd i'r bobl. Mae peth tebyg i hyna etto y'mhob gwir genadwr. Mae bod hwn yn cael ei alw gan yr eglwys hefyd yn rhan o'r anfoniad. Y mae gweledigaeth Esaiah yn rhyw arlun o ddarpariad ac anfoniad i waith y weinidogaeth. Cafodd y prophwyd olwg ar fawredd Duw, ac yr oedd hyny yn ennyn teimlad o'i waeledd ei hun; yna cafodd brofiad o faddeuant, nes yr oedd yn dweyd 'Wele fi, anfon fi.' Wedi hyny, meddai Duw, 'Dos, a dywed;' a dangosir iddo beth i'w ddywedyd. Y mae holl Weinidogion cymhwys y Testament Newydd wedi cael awdurdodiad oddiwrth Dduw, a chenadwri ganddo.

Sylwyd fod awydd am lwyddo yn ei neges yn hanfodol i wir genadwr. Nid yw bod yn llwyddiannus yn arwydd sicr bob amser o anfoniad oddiwrth Dduw: ond y mae awydd am lwyddo, a galar am aflwyddiant, yn brawf lled gywir o hyny. Er cael rhyw hwyliau anghyffredin i draethu y genadwri, os bydd yn cael lle i ofni na chafodd y genadwri eu derbyn, galaru y mae y cenadwr ffyddlawn. Pa dderbyniad bynag a roddir iddo ef, bydd heb gael ei neges os na dderbynir ei genadwri. Nid awydd llwyddo i chwanegu plaid yw ei awydd ef; ond awydd llwyddo i gael gelynion i gymmod â Duw. Mae hefyd agoswydd mawr rhwng y gwir genadwr â'i genadwri; y mae mwy o ddelw ac ol y genadwri ar y genad nac ar neb; mae argraff y gwirionedd i'w weled arno yn mhob man. Trwm yw gweled y bregeth yn un peth a'r pregethwr yn beth arall; y bregeth yn sanctaidd, a'r pregethwr yn halogedig. Y mae y cenadwr gwladol yn ymohebu â'r llywodraeth, ac yn derbyn ei gyfarwyddiadau oddiyno. Felly y mae y cenadwr efengylaidd yn derbyn ei genadwri yn gyffredin mewn ffordd o atebiad i'w weddiau. Ni ellir bod dros Dduw yn llefaru heb fod gyda Duw yn derbyn. Mae yn fanteisiol i ni gyfeillachu â Duw yn mhob man. Mae 'r *ambassador*, efallai, ar y Cyfandir, a'r Frenines yn Llundain; ond nid felly gyda ni. 'Wele,' meddai ein Brenin, 'yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd.'

Golwg ar fawredd y gwaith a wna i ni ymorchestu am bob peth yn addas iddo, mewn geiriau ac mewn ymddygiad. Er gwybod am bwysfawredd y swydd o ran pwnc, gall y meddwl er hyny fod yn ysgafn ynddi. Mae y weinidogaeth mor isel a thywyll yn nwylaw rhai, fel y mae pawb yn meddwl y gallant wneuthur cystal a hwythau. Adfeiliad yn y Gweinidogion a ddaw a'r Weinidogaeth i saràad. Mae ambell un yn fawr ei drafferth pan fyddo ef ei hunan yn pregethu; ond y mae yn edrych yn eithaf difater pan fyddo ei frodyr yn llefaru. Mae hyny yn dangos nad yw yn meddwl yn onest am bwys y gwaith, ac am ogoniant y Duw a'i piau.

Y mae yr hyn sydd i'w bregethu yn dangos pwys y weinidogaeth. 'Fel hyn y dywed yr Arglwydd,' dyna oedd gan y prophwydi gynt. Yr oedd rhywrai yn eu dynwared hwy, gan waeddi, 'Dywedodd yr Arglwydd,' 'a minnau,' meddai Duw, 'heb ddywedyd, ac heb eu hanfon hwynt.' Y mae yn bwysig i ninnau a ydym yn dweyd y peth a ddywedodd yr Arglwydd: y mae'n beryglus iawn rhag i ni ddweyd dim yn ei enw ef heb ei fod yn ol ei feddwl, ac heb ddyfod oddi wrtho. Ond i ni fod yn glir fod meddwl yr Arglwydd genym, gallwn, a dylem ddweyd hyny beth bynag a fyddo y canlyniad. Pan aeth rhywun at Micheah, gan ddywedyd wrtho, 'Wele yn awr eiriau y prophwydi yn unair yn dda i'r brenin; bydded, attolwg, dy air dithau fel gair un o honynt, a dywed y goreu;' efe atebodd yn wrol a duwiolfrydig, 'Fel mai byw yr Arglwydd, yr hyn a ddywedo yr Arglwydd wrthyf, hyny a lefaraf fi.' Ti a gei dy erlid ynte. Doed a ddelo am hyny, ni ddywedaf fi ond y peth a ddywedo yr Arglwydd. Cafodd Micheah driniaeth chwerw am ddywedyd y gwir, ond yr oedd ganddo gydwybod dawel yn gwmni iddo yn y carchardŷ. Mae yn beryglus rhag i ni yn y dyddiau hyn aberthu gwirionedd Duw ar allor hunan-eswythder.

Dylid pregethu pob pwnc o'r athrawiaeth iachus, a hyny 'yn ol cysondeb y ffydd.' Peth mawr yw gosod allan bob aelod o gorff y gwirionedd yn ei le priodol, heb anffurfio dim o hono. Mae rhai fel dyn yn dangos gwreiddyn pren, ac yn cuddio ei ffrwyth, nes gwneyd iddo edrych yn an-

hardd. Mae dull annoeth o draethu am etholedigaeth gras yn beryglus; heblaw profi ei bod, mae eisieu egluro ei gwerth a'i daioni i bechaduriaid. Mae pob rhangen o'r gwirionedd yn cario gogoniant i Dduw a mantais i bechadur. Mae yn angenrheidiol am ddoethineb mawr i wrthwynebu cyfeiliornadau. Dylid ymdrechu i ddangos pob gwirionedd yn ei gadernid a'i ogoniant, ac nid taeru yn ymrysongar â rhai sydd yn groes iddo. Gallwn gymmeryd yn rheol i amddiffyn y gwirionedd i'r graddau y byddo genym gydwybod dda iddo a chariad ato. Mae yn rhaid i bregethwr ddweyd rhywbeth ar y Sabbath. Wedi iddo fod trwy yr wythnos gyda'r byd, neu gyda rhywbeth, ac heb lafurio dim gyda'r weinidogaeth, mae yn rhaid iddo fyned ati ar y Sabbath, ac hwyrach mui taro, a ffraeo â phobl fydd hawsaf. Mae yn enbydus i un gymeryd arno fod yn zelog dros y gwirionedd mewn enw, a hyny heb fod yn ddim ond cochl dros ddiogi neu angghariad. Mae yn debygol fod genym ni fwy i'w ofni oddiwrth gyfeiliornad mewn ysbryd nag oddiwrth gyfeiliornad mewn athrawiaeth. Y cyfeiliornad mawr yw iechyd calon, hunan, a balchder, a'r holl agweddau sydd yn codi oddiar ddiffyg goruchwyliaeth Ysbryd yr Arglwydd. Pe meddyginiaethid ni yn y fan yma byddai yn hawdd ein trin gyda phob peth. R. E.

(I'w barhau.)

## CYMANFA CHWARTEROL CAERFYRDDIN,

**Awst 4, 5, 6, 1840.**

Yn y Gymanfa hon pregethodd amryw o Barchedigion o Ogledd a Deheudir Cymru, i dyrfaoedd lluosog o wrandawyr. Trwy yr holl Gyfarfodydd yr oedd undeb a brawdgarwch Cristionogol yn amlwg—lletygarwch heb ei anghofio—gwynebau y Gweinidogion fel yn dysgleirio—y pregethau yn awchus ac yn effeithiol—a'r dorf fawr o wrandawyr yn astud a difrifol.

Neillduwyd un brawd i gyflawn waith y weinidogaeth, ac ymdriniwyd âg amryw bethau ereill, cyflawn hanes o ba rai fyddai yn ddymunol iawn yn y Drysorfa, os bydd yr Ysgrifenydd mor fwyn a'u hanfon, fel y gwneir o'r Gogledd.—*Talfyriad o Lythyr* A.B.

## AGORIAD ADDOLDY Y'MHLWYF LLANWYDDYN, TREFALDWYN.

Ar y 14, a'r 15, o Orphenaf diweddaf, cynnaliwyd Cyfarfod i agor Addoldŷ yn nhref ddegwm Rhiw-ar y-gro, plwyf Llanwyddyn, a dywenydd genyf allu ychwanegu ei fod yn Gyfarfod rhagorol iawn. Er ys ychydig o flynyddau yn ol nid oedd ond ychydig bersonau yn y plwyf yn proffesu crefydd, a'r rhai hyny gyda'r Annibynwyr: ond erbyn heddyw y mae gan y Trefnyddion Calfinaidd dri chapel hardd yn gartref i'r achos.

Dangoswyd caredigrwydd a ffyddlondeb rhyfeddol tu ag at yr adeiladaeth hon. Cafwyd y tir gan Mr. R. Ellis, Garnedd-wen, a chludwyd y defnyddiau ato gan bobl yr ardal yn rhad, ac un Dirwestwr aiddgar, Mr. E. Davies, Cwm-eunant, a roddes y swm o £5 at ddwyn traul yr adeiladaeth y'mlaen.

*Talfyriad o Lythyr* Ieuan Wyddyn.

## DIRWEST YN LIVERPOOL.

Wrth ystyried y byddai byr-hanes o weithrediadau diweddar y Gymdeithas Ddirwestol perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn y Dref hon, yn dderbyniol gan y rhan fwyaf o ddarllenwyr lliosawg y Drysorfa, dechreuwn gyd a'r Gylch-wyl ddiweddaf, yr hon a gychwynwyd nos Wener 6ed o Fawrth y flwyddyn hon, ac a barhaodd hyd y nos Wener ganlynol.

Traddodwyd Pregethau dirwestol nos Sabbath yn yr wyth le Addoliad o'r eiddom, a chadwyd Cyfarfod mawr yn mhob un o'r pedwar Capel mwyaf a berthyn i ni, sef Pall Mall, Bedford Street, Rose Place, a Burlington; a llenwid pob un o'r Capeli hyn yn ddirfawr ar yr achlysur. Traddodwyd areithiau brwdfrydig gan y Parchedigion H. Rees, J. Hughes, R. Williams a Thomas Jones y Cenhadwr, ynghyd a chan y Meistri J. Roberts, D. Lewis, E. Williams, gynt o Cilcen ac ereill; a phe buasai terfynau y Drysorfa yn caniatau, hawdd y gallasem ddanfon y rhan fwyaf o honynt air y'ngair fel y'u traddodwyd. Ond boddlonwn weithian ar ryw fyr-grynodeb o'r fath hwn, gan y gwna o leiaf brofi fod y Gymdeithas yn parhau yn fywiog, yn gadarn, ac yn ffynadwy iawn; oblegid fe fu y Gylch-wyl hon yn foddion i ychwanegu dros gant a thri ugain o aelodau newyddion, oll yn ardystio i filwrio rhagllaw dan fanerau Dirwest; yn gwneyd cyfanswm o Dair mil o Gymry dirwestol, yn perthynu i'r corph hwn yn unig, heb son am neb o'r aelodau Cymreig yn perthynu i'r enwadau eraill yn y Dref.

Nid hyn yn unig a wnaethpwyd; y mae un peth arall hynodol, ac anghyffredin i'w grybwyll, sef ddarfod i ddau gant o ddirwestwyr aiddgar gyd-gyfranu a'u gilydd i gasglu dros Bymtheg Punt i'r dyben o anrhegu y Parch. Rich. Williams ag oriawr brydferth a phob peth a berthyn iddi, am ei ffyddlondeb a'i zel fel Cadeirydd yr achos dirwestol; fe wnaed hyn y noson gyntaf o'r wyl yn ngwydd rhai miloedd o edrychwyr. Pennodwyd yr aiddgar Mr. Jones, Great Homer Street gan y cyfeisteddfod i gyflwyno yr anrheg iddo, a gwnaeth y Parchedig Gadeirydd araeth briodol, bèr a chynnwysfawr ar yr achlysur. Yn mysg pethau eraill, dywedai, "Os bu efe erioed yn euog o gadw amser rhy faith yn ei areithiau blaenorawl, y dysged iddo well pethau rhagllaw drwy yr anrheg a gafodd." Cyfeiriodd un areithiwr parchedig at y dernyn hwn o'r araeth yn hynod ffraeth a phert, drwy ddywedyd, "Y byddai yn rhaid iddo yntau gofio i gadw at derfynau amser, neu y byddai raid iddynt roddi oriawr iddo yntau hefyd."

Y rhan ddiweddaf o'r hanes hwn a ddefnyddiwn i hysbysu am liosog Orymdaith yr holl Ddirwestwyr o bob enwad a phob cenedl a berthyn i'r Gymdeithas yn y dref hon. Cymmerodd hyn le ddydd Mercher, 15fed o Gorphenaf. Ac er y cawsom wlaw braidd bob dydd am hir amser cyn hyny, bu yn braf nodedig y diwrnod hwn. Bernid fod deunaw mil yn yr Orymdaith! ac yr oedd ychwaneg na hyny o edrychwyr, y rhai oll ymron a ryfeddant wrth yr olygfa, fod y fath gynnifer o Ddirwestwyr yn Liverpool, a synnent hefyd o herwydd y wedd iachusol a glanwaith oedd ar bawb. Yr ydoedd yn wythnos y *Races* y pryd hwn yma, o ba herwydd cedwid cyfarfodydd dirwestol bob noson gan y Saeson, a chedwid dwy noswaith felly gan y Cymry, i'r dyben nid yn unig i eangu y maes dirwestol, ond hefyd i wrthsefyll un o gestyll cryfaf y gelyn diafol.

Cadwyd y cyfarfod y noson olaf gan y Cymry yn yr *Old Infirmary Yard*, a daeth tyrfa ynghŷd, a fuasai yn llawer rhy fawr i'r Capel mwyaf yn y Dref ei chynnwys. Bernid eu bod oddeutu pum mil. Yr oedd yr holl Olygfa yn nodedig a hynod iawn: areithfan wedi ei chodi i'r Cymry i areithio, yn yr *Open air*, ar ddirwest ynghanol un o Drefydd mwyaf Lloegr. Yr oedd y Parch. Richard Williams yn y Gadair, ac areithiodd ar yr achlysur gyda rhwyddineb a blas anghyffredinol, y Parchedigion J. Hughes. H. Rees, a H. Davies, Meirion, ynghyd a Meistri Edward Foulkes, Dolgelley, ac O. Jones, Wyddgrug.

Clywsom amryw wrth fyned adref yn dyweyd, mai hwn oedd y Cyfarfod Dirwestol goreu a gawsant erioed. Ni a welwn gan hyny mai ymlaen y mae'r diwygiad mawr dirwestol yn myned, ac yn gwella ei afael yn feunyddiol.

*Gorph.* 22. 1840. J. W.

## CYMANFA DDIRWESTAWL LLANGEFNI.

Ar y 29, a'r 30, o Fehefin diweddaf, cynnaliwyd yr Uchelwyl hon, er maint a brophwydwyd i'r gwrthwyneb. Areithiodd amryw Barchedigion o wahanol enwadau ar yr achlysur yn fywiog, effro, a llwyddiannus iawn. Ar ganol dydd aeth yr orymdaith drwy y dref, gan ganu eu Hemynau perseiniawl, nes creu ynom ryw ddrychfeddwl am ddedwyddwch y Milfiwyddiant, pan na bydd swyn y diodydd meddwawl yn halogi y tir. Dilynwyd y Cyfarfod ag effeithiau cysurus iawn.—*Talfyriad o Lythyr Mr.* T. Owen, *Ysgrifenydd.*

## HANESION GWLADWRIAETHOL.

### GOHIRIAD Y SENEDD.

Dydd Mawrth, Awst 11, oedd y diwrnod a benodwyd i ohirio Eisteddfod y Senedd. Agorwyd dorau Tŷ yr Arglwyddi am hanner dydd; ac yn fuan wedi hyny dechreuodd yr arglwyddesau a'r boneddesau, y rhai a gawsent docynau gan yr Arglwydd Ystafellydd, ddyfod i mewn yn lluoedd i'r Tŷ.

Yr oedd yr orsedd, yr orchuddlen, a'r ystol droed wedi eu hail oreuro, ac yr oedd y grisiau oedd yn arwain i'r orsedd wedi eu gorchuddio â llen ardderchog o liw coch tywyll, wedi eu tew fritho â rhosynau Normanaidd gorwychaidd iawn. Ar y llaw aswy i'r orsedd yr oedd cadair ardderchog, wedi ei cherfio a'i goreuro yn harddwych, a'i hulio â melfed cochliw, i'w Uchder Brenhinol, y Tywysog Albert, i eistedd arni. Y gadair hon a osodwyd un gris yn is na'r orsedd; ac ar law ddeheu y Frenines yr oedd dwy gadair ardderchog ereill i Frenin a Brenhines Belgium i eistedd arnynt, y rhai ydynt yn awr ar ymweliad yn Llundain. Y ddwy gadair hyn hefyd oeddynt un gris yn is na'r orsedd.

Am chwarter wedi un eisteddodd yr Arglwydd Ganghellydd ar ei Eisteddle; ac am chwarter cyn dau o'r gloch daeth ei Huchder Breninol, Duges Kent, gyd â'i chyfeilles i mewn, ac a eisteddodd yn union yn wyneb yr orsedd. Yna daeth Brenin a Brenhines Belgium i'r Tŷ, ac a eisteddasant ar eu Cadeiriau Brenhinol. Wedi hyny daeth Duc Cambridge i mewn.

Am chwarter wedi dau saethwyd y magnelau mawrion yn arwydd fod y Frenhines wedi dyfod at y Tŷ. Yn y fan daeth ei Mawrhydi i mewn, a'r holl foneddigion a'r boneddigesau yn sefyll ar eu traed i'w chroesawi hi. O'i blaen y daeth y Cyhoeddwyr a'r Rhingyll, Duc Norfolk, Iarll Marshall, Iarll Abermarle, Arglwydd Ganghellwr, Syr Augustus Clifford, Arglwydd Willoughby D'Eresby, Iarll Shaftsbury i mewn, ac Arglwydd Melbourne yn dwyn cleddyf y Llywodraeth yn ei law.

Y Tywysog Albert a arweiniodd y Frenhines i fynu i'r orsedd, ac a eisteddodd ar ei llaw aswy yn ei Gadair. Yr oedd y Frenhines yn ymddangos yn hynod o siriol ac iachus.

Yna Syr Augustus Clifford a wysiodd Dŷ y Cyffredin i ymddangos o flaen y *bar*. Ac wedi i'r Cadeirydd, a rhai o'r Aelodau ddyfod yn mlaen, efe a gyfarchodd ei Mawrhydi, drwy grybwyll holl ymdriniaethau y Tŷ ar hyd yr Eisteddiad presennol, fel gweision yn galw i gôf eu holl orchwylion am y tymmor, ac yn eu gosod mewn trefn ger bron eu Meistres.

Yna yr Arglwydd Ganghellwr, ac efe ar ei lin, a estynodd gopi o'r Araeth i'r Frenhines, yr hon a ddarllenodd ar goedd yr holl Dŷ yn eglur ac yn ddealladwy.

### YR ARAETH FRENHINOL.

"Fy Arglwyddi a'm Boneddigion—

"Mae agwedd gorchwylion y Llywodraeth yn fy ngalluogi i roi pen ar eisteddfod presennol y Senedd, ac wrth eich rhyddhau chwi oddiwrth eich gweinyddiaeth yr wyf yn diolch i chwi am y gofal a'r dyfalwch a ddangosasoch yn nghyflawniad eich dyledswyddau pwysfawr,

"Yr wyf yn parhau i dderbyn oddiwrth y Gallu-

oedd Tramor sicrwydd o'u tueddfryd cyfeillgar, a'u dymuniad awyddus i gynnal i fynu heddwch a thangnefedd.

"Yr wyf yn eich llawen gyfarch ar derfyniad rhyfel cartrefol yr Hispaen. Dybenion, o herwydd yr hyn y ffurfiwyd y cyfammod pedwarplyg y flwyddyn 1834, yn awr a gyflawnwyd. Y mae gohebiaeth rhyngwyf â Brenhines Hispaen, gydag amcan am alw yn ol y llu morawl, y rhai, mewn canlyniad i'r cyfammod hwnw, a osodais er y pryd hyny hyd yn awr, yn warcheidwaeth sefydlog ar gyffiniau gogleddol Hispaen.

"Mae yn hyfrydwch genyf hysbysu i chwi fod yr ymrafael a fu rhyngof â llywodraeth Naples, sail ac achlysur yr hwn a osodwyd o'ch blaen chwi, wedi cael ei liniaru mewn trefn i'w wastadhau trwy garedigrwydd Brenin Ffraingc yn cyfryngu rhyngom.

"Mae yn llawenydd genyf hefyd fynegi i chwi fod Llywodraeth Portugal wedi llunio trefniadau er boddloni y cyfryw honiad cyfiawn oedd gan ryw nifer o'm deiliaid, ac am daliad rhyw swm o arian oedd yn ddyledus i'r deyrnas hon, dan ammodau y cytundeb a wnaed yn 1827.

"Yr wyf yn rhwymedig mewn cydgyngor âg Ymerawdwr Awstria, Brenin Prussia, Ymerawdwr Rwssia, ac Ymerawdwr Twrci, mewn mesurau amcanedig i sefydlu heddwch yn y Levant, i ddal i fynu yn ddilwgr Ymerodraeth Ottoman, a thrwy hyny beri ychwanegiad cadernid i sefydlu heddwch yn Ewrop.

"Y drygau treisiol a wnaed i rai o'm deiliaid gan swyddogion Ymerawdwr China, ynghyd â'r anfri a gynnygiwyd ei wneud i oruchwyliwr fy nghoron, a'm dirgymhellasant i anfon i dueddau China fyddinoedd tiriogaethawl yn gystal a morawl, i'r dyben o fynu diormessiad a gwneuthuriad Iawn.

"Gyda hyfrydwch mi a roddais fy nghydsyniad i'r Weithred Seneddawl o reoleiddiad Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon.

"Yr wyf yn hyderu y bydd i'r ddeddf a luniasoch er cyflawni yn mhellach Adroddiad y Dirprwywyr Eglwysig effeithio yn llesol i gynnyddu effeithiolrwydd yr Eglwys Sefydledig, ac er gwell darpariaeth at addysg grefyddol fy neiliaid.

"Mi ddeliais sylw, gyda mawr foddlonrwydd, ar ffrwyth eich cydymgynghoriad yn achos Canada, fy nyledswydd i a fydd gosod mewn grym y mesurau a wnaed genych, yn y fath fodd ag na byddo yn gwanhau yr awdurdod gwladwriaethol, ar yr un pryd yn boddloni gwir ddymuniadau fy neiliaid, ac yn darparu er llwyddiant parhaus a diogelwch fy Nhaleithiau yn Ngogledd-dir America.

"Mae yr awdurdodau gwladol yn Jamaica wedi ymroddi i ddarparu cyfreithiau, y cyfryw ag oeddynt yn angenrheidiol, neu yn fuddiol, yn wyneb agwedd cymdeithas fel y mae yno. Y mae eisieu adolygu a gwellhau rhai o'r cyfreithiau hyn, ond y mae genyf bob sail i ddysgwyl cynnorthwy parodawl oddiwrth Eisteddfod Jamaica yn y gwaith iachusol o wellhau sefyllfa, a dyrchafu nodweddiad, trigolion y Sefydliad hwnw. Mae ymddygiad y Negroaid rhyddfreinniol drwy holl India Orllewinol wedi bod yn nodedig o lonydd ac ufudd i'r cyfreithiau, a'u hymarweddiad yn heddychol yn holl amgylchiadau bywyd cyfeillgar.

"Foneddigion Ty y Cyffredin—

"Yr wyf yn ddiolchgar i chwi am y cynnorthwyon a ganiataasoch at wasanaeth y flwyddyn.

"Mae yn alarus genyf fod yn angenrheidiol ychwanegu beichiau fy mhobl, ond yr wyf yn hyderu fod y moddion a luniasoch i'r amcan o gyfarfod angenrheidiau gwasanaeth y Llywodraeth wedi eu trefnu i bwyso cyn lleied ag yr oedd modd ar bob dosparth yn y wladwriaeth.

"Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,—

"Wrth ddychwelyd o honoch i'ch amrywiol wledydd, chwi a ail ymaflwch yn y cyfryw ddyledswyddau, yn nghyflawniad pa rai y bydd i chwi fod mor fuddiol er llesiant a dedwyddyd y Wladwriaeth. Fy nymuniad awyddus i yw cynnal i fynu dangnefedd cartrefol a heddwch tramor. At yr achosion hyn, y rhai ydynt mor hanfodol er llwydd y wlad hon, ac i ddedwyddwch dynolryw yn gyffredinol, y bydd i fy ymdrechiadau i gyfeirio yn ddiffuant a diflino gan wybod yn sicr y bydd i mi gael eich cydweithrediad a'ch cynnorthwy chwi, yr wyf yn gostyngedig ymorphwys ar ofal goruwch-lywodraethol ac amddiffyniad parhaus Dwyfol Ragluniaeth."

**Yna y dywedodd yr Arglwydd Ganghellwr—'Ewyllys ei Mawrhydi ydyw ar fod i'r Senedd hon gael ei gohirio hyd ddydd Iau, yr 8fed o Hydref, ac yna i gael ei chynnal yn y lle hwn.' Ac wedi hyny dychwelodd y cydgordaith brenhinol yn ol, a'r holl gynnulliad gorwych a ymadawodd.**

---

Llanfihangel-y-pennant.—*At Olygydd y Drysorfa.*—*Athraw.*—Yn y Dysgedydd am Mehefin diweddaf, dywedir fod "Eglwys yr Annibynwyr yn Llanfihangel-y-Penant, yn Meirion, wedi traddodi dyn i Satan,* ac yn union cymmerodd y Trefnyddion Calfinaidd swydd yr archangel syrthiedig oddi arno, derbynwyd ef ganddynt yn ddioed, onid myned yn domen ludw i enwadau ereill yw hyn?"

Y mae yn gwbl sicr na dderbyniodd y Trefnyddion Calfinaidd y dyn y cyfeirir ato; ac onid ydyw y sawl sydd yn llunio ac yn cyhoeddi y fath chwedlau yn cael eu harwain gan dad y celwydd? Trefnydd.

*Dyffryn Dysyni, Gorph.* 9, 1840.

---

Cymdeithas Lenyddawl Dinorwig.—Dymuna y Gymdeithas uchod amlygu i'r dywysogaeth y croesawiad a dderbyniodd yn ei chynnygiad gwobrawl cyntaf, yr hwn a ymddangosodd yn Seren Gomer, y Gwladgarwr, yr Athraw, ynghyda'r Protestant, yn Hydref, 1839, sef iddi hi dderbyn cymmaint ag un cyfansoddiad; ac ymddengys i'r cytaill a anfonodd hwnw gamddeall yr Hysbysiad,

Hefyd, dymuna y Cysyl sylwi nad gwiw ganddynt drafferthu y dysgedigion, a addawsent eu gwasanaethu mewn beirniadaeth, i edrych dros y cyfansoddiad uchod, gan gredu y byddai ei anfon iddynt yn anmharch a bwy. Etto, gan eu serch at Ddirwest gadawent y cynnygiad yn *rhydd* hyd Awst 1, 1841, fel y canlyn:—

Bod Un bunt ar hugain o wobr am y Casgliad neu y Cyfansoddiad goreu o y Gwrthddadleuon dygadwy yn erbyn Dirwestiaeth wedi eu cyflawn ateb.

D.S. Gofynir yr iaith yn ddealladwy i'r cyffredin,—Os casglir yr atebau, &c. cydnabydder hyd a ellir.—Enw y llyfr fydd Bacchus.—Rhodded pawb ffug enw yn unig.—Ystyrir y Cyfansoddiadau yn eiddo y Gymdeithas.

Anfoner y Cyfansoddiadau erbyn, neu ar, y dydd 1af o Awst, 1841, wedi eu cyfeiriaw fel hyn—To Mr. Rowland Williams, Dinorwig House, Llanddeiniolen, Caernarfonshire.

Evan Hughes, *Vachwen,*
W. O. Wiliam, *Dinorwig.*

O.Y. Cwynai amrai na ddeallent ein hysbysiad yn 1839, dysgwyliwn y bydd yr uchod yn ddigon *llygredig* ei gyfansoddiad i bawb ei ddeall.

---

* Mae Satan, neu rywun, wedi rhoi y dyn yn ol i'r Annibynwyr.

## ADGYFODIAD, M. C. C.

William Roberts, Pentir.

Araf ac esmwyth.

My....fi yw'r Ad..gyf....od..iad mawr, My..fi yw gwawr y byw....yd.

Gwan

Araf iawn

Caiff pawb a'm cred medd f' Arglwydd

Cydgan.

Dan lais gwan iawn

Cryf a bywiog

Dduw, Er treng.....u fyw mewn ell ...fyd Caiff pawb a'm cred, &c.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXVIII.] HYDREF, 1840. [LLYFR X.

## COFIANT

*Am Mr.* RICHARD JONES, *Llanfaethly, Henuriad yn Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghapel Salem, Llanfwrog, Môn, yr hwn a fu farw Gorph. 9, 1839, yn 54 oed.*

GWRTHDDRYCH ein Cofiant oedd fab i John a Catharine Roberts, Aberalaw, fferm yn agos i Lanfachreth. Gall amryw o'u cydnabod a'u cyfeillion alw i'w côf y ffydd ddiffuant a drigodd yn gyntaf yn ei fam a'i dad; a diameu ei bod ynddo yntau hefyd. Yr oedd yn un o wyth o frodyr—tri o ba rai sydd wedi huno yn yr angeu, a phump ar faes y rhyfel yn filwyr da i Iesu Grist.

Dechreuodd ein hanwyl frawd trancedig ei yrfa grefyddol yn foreu. Ni anrhydeddid plant yr eglwys yn yr oes hono â'r breintiau a fwynheir ganddynt yn yr oes hon, trwy gael eu dwyn i fynu yn yr eglwys; yr hyn, efallai, a deimlai yn anfantais fawr: eithr torodd drwy bob tyrfa i 'gyffwrdd âg ymyl gwisg' ei Iachawdwr, fel y derbyniodd rinwedd ysbrydol oddi wrtho. Ymunodd âg Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd, yr hon a gynnelid y pryd hwnw mewn tŷ a elwid Brynpubyr, pan oedd oddeutu 12 mlwydd oed. Yr oedd yr hen ŵr a breswyliai yn y tŷ uchod yn afiach; ac, o ganlyniad, arferid cadw cyfarfod neillduol yn ei dŷ yn achlysurol. Wedi hyny, parhaodd i gyd-fyned â'i rieni i'r *Society*, yr hon a ymgynnullai i dŷ John Thomas, Gôf, Llanfwrog. Bu achos Crist yn y tŷ hwn am flynyddau cyn adeiladu yr un Capel yn y gymmydogaeth. Pan arferai un o'r gweision ofyn i'n brawd ieuangc pa beth a fyddai yn y *Society*, ei atebiad bob amser fyddai, fel y dywedodd Philip wrth Nathanael, 'Tyred, a gwel.' Yr oedd yn hynod o ran ei sobrwydd a'i ddifrifwch pan yn ieuangc iawn, Ni arferai gyd-redeg â phlant yr ardal i unrhyw ormod rhysedd. Nid ymddangosai i gael ond ychydig, os dim, pleser mewn chwareuyddiaethau. Ac arferai ei fam dduwiol ddywedyd am dano, 'Ni chefais erioed boen oddiwrth un camymddygiad o eiddo Richard.'

Yn mhen oddeutu blwyddyn wedi ei ddyfodiad at grefydd disgynodd rhyw adfywiad neillduol o'r nef ar yr ardal, yr hwn nis angofir gan amryw sydd yn aros hyd yr awrhon. Yr oedd yr ymweliad hwn yn effeithio yn benaf ar y plant. Torodd allan mewn ysgol nos a gynnelid yn Eglwys y plwyf, yn fwyaf cyffredin ar nos Fercher. Yr oedd Mr. Richard Jones fel seren ddydd o flaen toriad gwawr y diwygiad hwn. Anmhosibl yw desgrifio y llawenydd a'r hyfrydwch a deimlai trwy gydol amser yr adfywiad hwn. Yr ydoedd gweithrediadau yr Ysbryd Glân yn nerthol a rhyfeddol ar ei ysbryd ef ei hun, nes ei orlenwi 'â gorfoledd anrhaethadwy a gogoneddus.' Yr oedd yn cynnyddu yr amser yma fel helyg ar lan afonydd dyfroedd, mewn gwybodaeth am athrawiaeth yr efengyl—mewn gras, profiad, a phob rhinwedd, fel yr oedd ei 'gynnydd yn eglur i bawb.' Fel hyn yr oedd fel Abiah, â 'pheth daioni yn ei galon at Arglwydd Dduw Israel;' fel Obadiah, 'yn ofni yr Arglwydd o'i febyd;' ac fel Timotheus yn 'gwybod yr ysgrythyr lân er yn fachgen,' yr hon a fu yn abl i'w wneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Wedi hyn cynnelid cyfarfodydd neillduol yn wythnosol mewn tŷ fferm a elwid Chwaen-wen, yr hwn oedd oddeutu tair neu bedair milltir oddiwrth ei gartref. Bu flynyddoedd yn myned yno, lle yr oedd y Parch John Jones, Bodynolwyn, a Mr. Edward Jones, o Bendre, ac ereill mewn bri ac enwogrwydd. Yn mhen ysbaid o amser gwnawd Capel yn Tŷ'n-y-maen, a symudwyd yr arch o Chwaen-wen yno. Yr oedd llygaid yr eglwys yn barhaus ar Mr. Richard Jones, fel gwr ieuangc

tra addawol i fod er defnydd mawr dros Dduw. Arferai rhai o'r brodyr, ag oedd yn meddu mwyaf o ysbryd barn, ddywedyd am dano, 'Y mae R. J. yn debyg iawn o fod yn ddyn defnyddiol nodedig gydag achos Duw yn y lle hwn, os estynir ei oes.' Ac felly y bu. Neillduwyd ef yn olygwr ar yr eglwys yn y lle uchod pan yn 24ain oed, a chafwyd pob arwyddion ei fod wedi ei gymmwyso, ei alw, a'i osod gan yr Ysbryd Glân, er maeth, cynnydd, ac adeiladaeth yr eglwys,

Gwedi hyn, adeiladwyd Capel Salem, yn Llanfwrog, yr hwn oedd yn nes at ei gartrefle o ddwy filltir a hanner. Ond trwy gymhelliad taer y brodyr yn Nghyfarfod Misol y Sir, arosodd am flynyddoedd yn Tŷ'n-y-maen, hyd nes y cafodd yr eglwys hòno ei hanrhegu â blaenoriaid addas i arolygu y gwaith. Yna neillduodd yn hollol i Lanfwrog, lle y gorphenodd ei daith lafurus a defnyddiol mewn cyssylltiad â'r eglwys yn y lle hwnw. Cafodd yn wir lawer o brofedigaethau a gorthrymderau yn ystod ei fywyd; ond 'yn ol ei ddydd y bu ei nerth.' Meddiannwyd ef â gwroldeb neillduol---profodd yn helaeth o ddyddanwch yr ysgrythyrau---a chadwodd ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd. Bu ffyddlon hyd angeu, a derbyniodd goron y bywyd.

Yn ei flynyddau olaf yr oedd fel tywysen yn aeddfedu i'r cryman; yn dirf ac yn iraidd; gan fynegi yn aml mai uniawn oedd yr Arglwydd ei graig, ac nad oedd anwiredd ynddo. Yn yr amser yma crybwyllai yn fynych fod ei waith ar ddibenu, ac nad oedd ei wasanaeth mwy yn angenrheidiol, yn ei deulu, yn yr eglwys, nac yn y byd; a dywedai pe cawsai ei arbed i adeiladu Capel yn Llanfaethly, y buasai hyny yn ddigon ganddo. A digon fu gan yr Arglwydd iddo ef fod yn offeryn i'w ddechreu; a gadael gorpheniad y gwaith i'w blant, y rhai, gobeithiwn, a gânt y fraint yn mhob ystyr i fod yn oruwch-adeiladwyr ar y sylfaen a werthfawrogodd eu tad.

Un o'i gyfeillion penaf oedd y Parch. W. Roberts, Amlwch, yr hwn a dalodd ymweliad iddo mor gynted ag y cafodd wybodaeth o'i waeledd, er ei fod wedi bod yn absennol o'i gartref am hir ddyddiau. Wedi i'r gwr uchod ymddyddan ychydig âg ef, yn ei lesgedd trwm, dywedodd wrtho, 'Y mae y gwaeledd hwn yn *sicr* o fod yn angeu i mi. Mae gwely angeu yn hollol anfanteisiol er gwellhau dim ar ein hachos i gyfarfod â Duw. Nid oes genyf ond gorphwys ar y modd yr oedd rhyngof âg ef cyn fy nwyn i'r cystudd presennol. Ffarwel, fy anwyl gyfaill.' A chyn pen ychydig oriau profodd y cystudd hwnw yn angeu fel y dywedasai.

Traddodwyd ei bregeth angladdol gan y Parch. W. Roberts, Amlwch, oddiwrth 1 Thes. 4. 13, 14. Tranoeth dilynwyd ei ranfarwol gan bregethwyr, blaenoriaid, ei berthynasau, a'i gyfeillion i fynwent Llanfachreth, lle y rhoddwyd hi i orwedd yn y bedd, mewn sicr a diogel obaith am adgyfodiad i ystad o ogoniant a dedwyddwch dros byth.

Yn awr, ymdrechaf i roddi desgrifiad mor gywir ag a allaf o'n brawd ymadadawedig fel dyn, fel Cristion, ac fel swyddog eglwysig.

Fel dyn, yr oedd o dymherau naturiol lled sydyn a gwyllt; ond fel yr oedd gras Duw yn meddu llywodraeth rymus a helaeth arnynt. Effeithiodd y gras a dderbyniodd gymmaint ar ei nwydau, fel yr oedd mewn llareidd-dra yn debyg i Moses; ac mewn cariad ac anwyldeb yn mhlith ei frodyr, yn debyg i Ioan, y dysgybl anwyl.

Cynnysgaeddwyd ef gan yr Arglwydd â synwyrau cryfion (er na pherthyna i neb ymffrostio yn yr hyn sydd ganddo, gan iddo dderbyn yn rhad gan Dduw) etto parodd hyn fantais fawr i'w ras, a'i dalentau ymddysgleirio yn fwy llewyrchus, ac i'w ddefnyddioldeb fod yn fwy rhagorol yn mysg ei gyd-ddynion tros ei dymmor yn y byd. Anrhydeddwyd ef â chof tra nodedig. Gallai adrodd yn rhwydd a threfnus y pregethau a wrandawai; ac arferai ofyn i'w deulu raniadau y pregethau a wrandawent, ac os byddent ddiffygiol dygai ar gof iddynt.

Meddyliwyf iddo gael manteision dysgeidiaeth dda, o herwydd yr oedd yn ysgrifenydd ac yn rhifydd rhagorol, a chyrhaeddodd wybodaeth lled helaeth yn yr iaith Saesoneg.

Yn ei fasnach yr oedd yn hynod o gyfiawn, 'heb dwyllo na gorthrymu ei frawd mewn dim;' a bendithiodd yr Arglwydd ef â rhan lled helaeth o dda y byd hwn, fel nad oedd yn un math o brofedigaeth iddo ddefnyddio llawer o'i amser at fyfyrdodau ysbrydol, ac at achos crefydd yn gyffredinol.

Fel Cristion, yr oedd archwaeth ei gymdeithas bob amser yn ei nodi fel '*gwr Duw*.' Gall ei gyfeillion anwyl-

af, a mwyaf cydnabyddus âg ef, ddywedyd yn ddiweniaith, ddarfod cuddio ei wendidau oddi wrthynt, yn y fynych gymdeithas a fu rhyngddynt âg ef. Yr hyn oll a ellir ei ddywedyd am ei waeledd yw, 'mai *dyn* oedd;' a dyn a gwynai lawer o herwydd ei lygredd. Ond cafodd y fraint o filwrio yn ei erbyn yn ei fywyd, a llwyr fuddugoliaethu arno yn ei angeu.

Yr oedd ei ddull yn gwrando pregethau yn esampl i bawb a'i gwelai. Er fod ganddo wybodaeth helaeth o athrawiaeth yr efengyl, etto, ymddangosai fel un ag oedd yn ymborthi yn helaeth ar ei gwirioneddau, gan gael archwaeth a blas newydd ar yr hen bethau.

O ran ei ymddygiad yr oedd yn hollol ddiargyhoedd, gan fod yn anrhydedd a harddwch i'r athrawiaeth a broffesai, fel yr oedd tystiolaeth yn mhob cydwybod dyn a'i hadwaenai ei fod yn ddyn duwiol. Yr oedd fel dinas wedi ei gosod ar fryn, yr hon na ellid ei chuddio.

Nid oedd ei olygiadau yn gyfyng am achos y Gwaredwr, eithr barnai yn dyner ac yn anwyl am bob enwad uniawn-gred trwy y byd. Pan y dygwyddai ymddyddan am frodyr crefyddol ereill, na pherthynent i'r un enwad âg ef, siaradai yn serchog am danynt. Parchai arwyddion duwioldeb yn mhawb heb wahaniaeth. Pa gymmaint cymmwysder oedd hyn ynddo i fyned i'r wlad lle mae

Pawb o'r brodyr yn gytun,
Heb neb yn tynu 'n groes.

Gwelodd y Gymdeithas Ddirwestol yn ei chychwyniad cyntaf, fel Cymdeithas a'i thuedd i wneud daioni i'w gyd-greaduriaid; a barnodd yn ddyledswydd arno ei phleidio, a dwyn mawr serch drosti. Teimlai awydd neillduol am weled ei gyd-frodyr, o un galon ac un enaid, gan gydymdrech o blaid yr achos. Traddododd rai areithiau mewn cyfarfodydd neillduol a chyhoeddus ar ei hegwyddorion.

Fel swyddog eglwysig, porthodd yr eglwys dan ei ofal 'â gwybodaeth ac â deall.' Bu yn offeryn lawer gwaith i'w harwain at y 'porfeydd gwelltog, gerllaw y dyfroedd tawel.' Yr oedd yn un o'r rhai mwyaf tyner ei galon at achos Crist. 'Ei galon a ofnai am arch Duw,' fel Eli gynt, pan yr ystyriai ryw berygl yn ymddangos. Gwir lawenhai yn llwydd eglwys Dduw, a hyderai yn ddiysgog am ei hymwared oddiwrth Dduw, pan y byddai dywyllaf yn ngolwg dynion.

Ymdeimlai yn ddwys bob amser âg achos dynion ieuangc a gyfodai i bregethu yr efengyl. Galarai o herwydd unrhyw arwydd eu bod yn ddynion ysgafn, hunan-dybus; ac edrychai ar *ddifrifwch*, ac amcan i fod yn lles i bechaduriaid, yn orchudd dros lawer o anmherffeithrwydd, a bwnglerdra yn y gwaelaf o'i frodyr. Dywedai yn barchus bob amser am y rhai distadlaf ag y barnai eu bod yn ofni Duw.

Adgofiodd yn fynych ddarfod idde, ar ol cael ei alw i fod yn henuriad yn yr eglwys (ag efe yn ŵr ieuangc selog) gyfarfod âg amgylchiad nad oedd ei ddoethineb, ei nerth, na'i ras, ond prin yn ddigonol i'w hwylio trwyddo. Dywedai iddo ddysgu gwersi yn y tro hwnw a fu yn lles iddo ef ei hun, ac o radd o werth i'w frodyr yn yr un eglwys âg ef tra y bu byw. Gwelodd, trwy yr ymdrechfa hòno, 'nad yw y rhyfel yn eiddo y cadarn, na'r rhedfa yn eiddo y cyflym;' ac na allai swyddwr ieuangc mawr ei sêl a'i fedr yn eglwys Dduw wneud pob peth fel y dymunai, heb fod beunydd dan arweiniad yr Ysbryd Glân. Fel hyn y dysgodd amynedd, a thynerwch at ei frodyr, tra y bu gyda hwy. Llawer gwaith y dywedodd, 'Oni buasai i'r Arglwydd fendithio y gwersi hyny i mi nis gwn wrth ba greigiau y buaswn wedi dryllio fy esgyrn.' Fel hyn cymmwysawyd ef i fod yn feddyg doeth ac ysbrydol, yn hytrach nac yn darawydd creulon yn mysg ei gyd-bechaduriaid. Pan ymddangosai rhyw berygl o iselhad ar gymmeriad rhai o'i gyfeillion, dyfeisiai rhyw lwybr bob amser i guddio eu gwendidau, a gobeithiai y goreu er pob drwg. Er hyn oll, ceryddai yn llym pan y byddai angenrheidrwydd am hyny.

Dymunai yn aml weled pob taith Sabbathol yn Môn, dan olygiaeth neillduol rhyw bregethwr, yn enwedig yn y cyfarfodydd neillduol. Barnai, o ran ei deimladau, na ddylai un eglwys fod heb bregethwr i'w dysgu a'i hadeiladu yn ei chyfarfodydd dirgelaidd.

Drwg genyf na allaswn ddwyn ar gof ryw bethau a fuasai yn fwy teilwng o ddyn ag oedd yn Gristion tu ag at bawb; yn henadur teilwng yn yr eglwys; yn ŵr a thad tyner yn ei deulu; yn filwr dewr yn erbyn ei elynion ysbrydol; a heddyw yn fwy na chon-

a'i carodd. Cof-
a all y rhinweddau
ef byth fod yn frychau
arall.

AMICUS.

---

RHESWM.

E llawer o ymddyddan, siarad, a sôn yn yr oes hon am grefydd, a'r pethau perthynol iddi: dymunol a fyddai fod mwy yn profi ei heffeithiau daionus yn eu calonau a'u hymddygiadau.

Dymunol a fyddai ein bod yn deall y geiriau a arferom; a bod genym ddrych-feddyliau cywir am y pethau a gynnwysir ynddynt, neu a osodir allan trwyddynt. Sonir llawer am RHESWM, ac ymresymu ynghylch pethau crefydd, ac athrawiaeth yr efengyl, gan rai heb fod yn deall yn gywir beth yw rheswm, na pha beth yw ei le a'i waith gyda phethau y Bibl.

Rhai a ddirmygant reswm fel pe na byddai gwaith iddo gyda phethau y Bibl a chrefydd. Ereill a'i dyrchafant i le a swydd na threfnodd Duw iddo. Gosodant ef ar faingc i farnu y Datguddiad Dwyfol, a dygant drefn a chyngor Duw at ei orsedd! Ie, y mae rhai yn barod i'w addoli, fel yr anffyddiaid yn Ffraingc gynt: a braidd yr ymgedwir rhag rhoi anrhydedd dwyfol i ddyn, gan ei fod yn greadur rhesymol. A haera rhai fod rheswm wedi ymgadw yn y cwymp rhag cael ei lygru, &c.

Ond mi a amcanaf wneuthur ychydig sylwadau ar reswm, a lle a gwaith rheswm gyda phethau y Datguddiad Dwyfol.

I. Beth yw Rheswm? neu, pa beth sydd i'w feddwl wrth arfer y gair rheswm.

1. Cynneddfau, neu alluoedd, yn yr enaid i ganfod a barnu pethau, i dderbyn drychfeddyliau; i gydmaru pethau â'u gilydd; i wahaniaethu da a drwg, gwir a chelwydd; gallu neu gynneddf yr enaid i ddirnad, cydmaru, a barnu, ac i dynu casgliadau, a phenderfyniadau, oddiar egwyddorion sicr a phrofedig, adnabyddus o'r blaen. Gallu mewn dyn i edrych dros ei ddrych-feddyliau ei hun am bethau, ac i farnu a gydsafant â gwirionedd, a dderbynir yn ddiammeuol am y pethau hyny.

2. Wrth ddywedyd *Rheswm* weithiau y meddylir penderfyniadau, a phrawf eiriau, yn cael eu tynu yn gywir oddiwrth egwyddorion sicr ac amlwg, yn ol y rheolau gosodedig. Nid rheol i farnu yw rheswm, ond ei waith yw barnu wrth reol gywir. Sylw:---Y mae rheswm cywir, ac anghywir a chyfeiliornus yn bod.

(1.) Rheswm cywir, pan byddo y dyn wedi cael ei gynnysgaeddu gan Dduw â digon o oleuni i amgyffred, a barnu yn gywir am bethau fel y maent mewn gwirionedd, ac i dynu casgliadau a phenderfyniadau oddiwrth y gwirionedd, ar egwyddorion safadwy wrth reol uniawn.

(2.) Rheswm anghywir yw rheswm dyn llygredig sydd â'i galon yn ddall, yn dirnad a barnu yn wyrog, oddiar egwyddorion gau, ac wrth reolau anuniawn.

(3.) Y mae rheswm mewn dyn cwympedig wedi ei lygru a'i ddallu. Y mae ei galon yn ddall, ei ddeall yn dywyll (Eph. 4. 18.) ei gydwybod yn halogedig (Tit. 1. 15.) ei ddoethineb yn ynfydrwydd (1 Cor. 1. 20.) felly, 'ofer fuont yn eu rhesymau;' 'pan dybient eu bod yn ddoethion hwy a aethant yn ffyliaid,' (Rhuf. 1. 21, 22.) felly, ni ddylai dyn 'ymddiried i'w ddeall ei hun,' (Diar. 3. 5.) 'oblegid y mae ffordd sydd uniawn yn ngolwg dyn, ond ei diwedd yw ffyrdd angeu,' (Diar. 14, 12.) 'Nid yw dyn anianol yn derbyn, ac ni all wybod, y pethau sydd o Ysbryd Duw.' (1 Cor. 2. 14.)

Felly, gallwn weled yn amlwg nad yw rheswm yn addas i fod yn arweinydd mewn crefydd. Y mae wedi ei ddallu a'i ddyrysu trwy bechod, ac yn cael ei arwain gan ddychymygion a nwydau, i ddewis gau egwyddorion, a thynu cam-gasgliadau, a gwneud penderfyniadau cyfeiliornus oddiwrth hyny. 'Y mae syniad (neu ymresymiad) y cnawd yn elyniaeth yn erbyn Duw.' (Rhuf. 8. 7.)

(4.) Felly y mae yn eglur nad yw Rheswm yn addas i fod yn farnwr mewn pethau crefydd; ac nad yw y Datguddiad dwyfol, nac un gangen o athrawiaeth yr efengyl, i gael eu dwyn at ei faingc, na than ei brawf ef.

[1.] Gwyr Rheswm beth am grefydd natur (etto, y mae rheswm llygredig yn cyfeiliorni yn y pethau hyny) Gall weled bod Duw, a bod yn rhaid ei fod ef yn anfeidrol alluog a doeth---y dylai dyn ei ofni a'i addoli. Nad yw dyn fel y dylai fod, &c.

[2.] Ond ni wyr Rheswm ddim am grefydd goruwch-naturiol, nac am ffordd i gyfodi dyn cwympedig a gwrthryfelgar yn ol i gymmod â Duw,

ac i wir ddedwyddwch. Ni allasai rheswm yn ei berffeithrwydd ond ffurfio ei benderfyniadau oddiwrth egwyddorion safadwy; ond nid oedd ganddo y pryd hyny un egwyddor i seilio penderfyniad arni am barhad ei ddedwyddwch, ond parhad ei sancteiddrwydd a'i ufudd-dod i ddeddf natur. Felly, ni allai rheswm, heb ddatguddiad gan Dduw, wybod am ffordd i wneuthur yr euog yn ddedwydd.

Ni wyr Rheswm dyn llygredig ddim am gyflwr dedwydd dyn cyn y cwymp. Nid yw yn ystyried ei gyflwr truenus dan y cwymp, nac yn deall am ffordd i'w gyfodi o drueni y cwymp, nac am ei gyflwr wedi angeu. Etto y mae rheswm yn y tywyllwch yn ceisio llunio egwyddorion, a seilio canlyniadau arnynt, ond gau, gweiniaid, ac ofer ydynt.

Pan y byddo rheswm yn ei dybied ei hun yn ddigonol i farnu pethau crefydd, a ffordd i wneud dyn yn ddedwydd, y mae yn myned yn ormesdeyrn; ond wrth ymostwng i Dduw, a'r Datguddiad dwyfol, y mae yn wasanaethgar; ac yn eistedd wrth draed ei awdwr Holl-ddoeth; heb hyny y mae yn ofer a gwallgofus iawn. Afresymol fyddai ymddiried mwy i reswm nag i'r datguddiad a roddodd awdwr rheswm.

Y mae dynion yn ymffrostio o'u rheswm, ac yn ei gamddefnyddio i wadu rhyw gangenau o athrawiaeth yr efengyl, ac i lunio gau athrawiaeth, ac o'r diwedd yn gwadu dwyfoldeb yr Ysgrythyrau sanctaidd, a hyny dan rith ymresymu.

Y mae Rheswm yngolwg rhai yn gryfach na'r Ysgrythyrau; am hyny y maent yn ceisio dwyn yr Ysgrythyrau at frawdle Rheswm, ac yn ceisio gan y geiriau Dwyfol blygu i farn rheswm, yn lle peri i reswm blygu i eiriau Duw.

Y mae rhai na foddlonant i gael ffurfio a rheoli eu hopiniwnau wrth yr Ysgrythyrau; a dywedant na allant hwy gredu y pethau sydd yn yr Ysgrythyrau, oni welant hwy bod hyny yn unol â rheswm! Felly, gwrthodant bethau sylfaenol athrawiaeth yr efengyl, megis am y Drindod---cyfammod tragywyddol---Duwdod Crist---ei osodiad yn lle pechaduriaid o ddynolryw---cyflawnder perffaith yr Iawn---cyfrifiad o gyfiawnder Crist i'r rhai a gredo ynddo---gwaith anorchfygol yr Ysbryd Glan yn cyfnewid a dychwelyd pechaduriaid, &c. &c.

Pe na chredem ddim ond a fyddai yn unol â rheswm llygredig buan y gwrthodem yr efengyl, oblegid y mae yno ddyfnderoedd rhy ddwfn i linyn mesur rheswm llygredig, yr hwn sydd yn cydfyw â dychymmygion, a nwydau llygredig yn y dyn, ac yn cael ei lenwi â rhagfarn yn erbyn y gwirionedd. Pe na byddai yn yr efengyl bethau rhy ddwfn i reswm, ni byddai eisieu gwaith yr Ysbryd i ddwyn dynion i'w chredu, mwy nag i ddeall celfyddydau.

Pe na chredem ddim o'r Datguddiad dwyfol ond yr hyn a farnai rheswm llygredig a ddylem ei gredu, felly byddai ein hymddygiad at Dduw fel pe byddai yn llai teilwng i'w gredu na dyn gonest. Pe dywedai dyn geirwir am ryw beth mawr a hynod, 'myfi oeddwn dyst llygaid o'r peth, cymmerwch fy ngair am hyny.' Pe dywedai rhywun wrtho, 'rhaid i mi gael ystyried a ydyw y pethau a ddywedasoch yn rhesymol, os ydyw mi a'i credaf, onidê ni wnaf;' byddai ymddygiad felly yn anmheilwng at ddyn. Pe rheswm fyddai rheol ffydd byddai y Datguddiad dwyfol yn ofer. Felly ni byddai ffydd mewn tystiolaeth ddwyfol, na chredu Duw, os na chydsyniai rheswm; ni rydd y rhai hyn gymmaint o barch i Dduw a'i dystiolaeth ag a roir gan blant i'w rhieni a'u hathrawon.

Gan mai gair Duw yw y Bibl y mae yn gofyn crediniaeth ddiymchwiliad, heb wrthddadl nac amheuaeth, ond ymostyngiad ein deall a'n rheswm i awdurdod Duw. Y mae ei dystiolaeth yn ddigon o amlygrwydd, nid oes gan ein synwyrau waith addasach nag ymostwng. Y mae tystiolaeth Duw yn sail y sicrwydd mwyaf. Y mae ei ddoethineb a'i wirionedd yn anfeidrol.

Y mae ychydig o ostyngeiddrwydd yn ddigon i beri i ni gydnabod nad ydym ni yn farnwyr cymmwys ar drefn a chyngor Duw; ond y mae ei bethau anamgyffredadwy yn wir ac uniawn oll.

Y mae tystiolaeth Duw yn ei air sanctaidd am bethau a fu, a phethau i ddyfod, pethau ysbrydol, anweledig, goruwch-naturiol, allan o gyrhaedd rheswm. Mae rhai pethau yn nghrefydd natur na all rheswm eu cyrhaedd; ond am bethau goruwch natur, pethau Duwinyddiaeth, megis y Drindod---arfaeth a chyngor Duw---Person Crist---gras penarglwyddiaethol----cyfrifiad cyfiawnder, &c. y mae yn dywyll iawn. Er fod yn y Datguddiad dwyfol ddirgeledigaethau mawrion, uwchlaw rheswm, etto nid oes yno un gangen o

athrawiaeth yn erbyn rheswm. Mae Duw uwchlaw ei amgyffred, ac amryw bethau yn ei dystiolaeth am drefn iachawdwriaeth felly. 1 Cor. 2. 9, 10.

Gellir profi i Reswm bod y Bibl yn air Duw: yna y mae yn rhesymol ei gredu oll. Nid swydd rheswm yw chwilio beth i'w dderbyn, ac a oes rhyw beth i'w wrthod, ond ei dderbyn oll, fel gair y digelwyddog Dduw. Nid rheswm, ond tystiolaeth Duw yw sail ffydd (1 Ioan 5. 9, 10.) Nid ymresymu i gredu, ond credu am fod Duw yn tystiolaethu. Y mae yn rhesymol ei gredu ef am bethau nad allwn ni eu hamgyffred. Dylai ein rheswm a'n barn gael eu rheoli gan neu yn ol y Datguddiad dwyfol.

Dylem gredu pob gwirionedd, er na allwn (fe allai) ddeall cyssondeb pob gwirionedd â'u gilydd, etto dylem eu credu, a chredu eu bod yn gysson â'u gilydd, er nad ydym ni yn gallu gweled hyny yn awr. Fel na all gair Duw ond bod yn wir, felly ni all holl eiriau Duw ond bod yn gysson â'u gilydd; y mae Duw yn gweled addasrwydd pethau i'w gilydd pan na welom ni hyny. (Act. 10. 13, 14.)

Y mae rhai dynion yn ceisio ymresymu i ddadleu dros beidio credu y peth nad ydynt yn ewyllysio ei fod yn wir; a chryfhau eu hunain trwy gau ddadl, mewn gau opiniwnau. Dyna yw egwyddorion *philosophi* y natur ddynol yn awr.

Y mae dyn llygredig yn awyddus i geisio llunio rhyw gyfundraeth yn ol ei dueddd, a haeru bod rheswm o'i thu, fel nad yw y profion amlycaf yn erbyn ei duedd, yn cael eu derbyn fel gwirionedd ganddo.

Dylai Rheswm ymostwng i Dduw, yr hwn a'i gwnaeth (Job 35. 11.) a gochel rhag ymgodi yn ei erbyn, na cheisio bod yn farnwr ar ei gyngor a'i air ef. Beth sy gan y dyn cryfaf ei reswm, ond a dderbyniodd gan Dduw? (1 Cor. 4. 7.) Pwy yw dyn i ddadleu yn erbyn Duw? (Rhuf. 9. 20.)

Er bod rheswm wedi ei lygru trwy y cwymp, etto y mae ganddo ei le i fod yn ddefnyddiol mewn pethau crefydd. Y mae Duw yn galw ar ddynion i ymresymu âg ef. (Esa. 1. 18. a 5. 3. Luc 12. 5, 57.) Gallwn ymresymu mewn gwylder â Duw mewn gweddi. (Job 23. 7.) Y mae gan yr hwn sydd yn credu yn Nghrist reswm i'w roddi am y gobaith sydd ynddo. (1 Petr 3. 15.)

Y mae yn rhesymol addoli Duw, ufuddhau iddo, a'i wasanaethu ef, (Rhuf. 12. 1.)

Gall Rheswm weled bod Duw (Rhuf. 1. 20.) a gweled wrth brofion amlwg bod y Bibl yn Air Duw, ac am hyny y dylid ei gredu (heb ammeu) am bob peth. Gellir defnyddio rheswm i geisio deall ystyr geiriau yn y Bibl Sanctaidd, eu perthynas â'u gilydd a'u cyssondeb, &c. Etto y mae perygl ceisio gosod rheswm llygredig ar faingc rhy uchel, a'i roi mewn swydd a gwaith nad yw yn perthyn iddo. Nid ei le yw barnu y Datguddiad dwyfol, nac amgyffred holl gangenau athrawiaeth yr efengyl. Y mae pethau uwchlaw i reswm allu eu dirnad yn nghrefydd natur; felly, er nad oes yn yr efengyl ddim yn erbyn gwir reswm, etto y mae ynddi wirioneddau nad yw rheswm yn eu dirnad, nac yn eu canfod. Y mae egwyddorion yr efengyl uwchlaw rheswm, etto y mae yn rhesymol credu y gwirioneddau a ddatguddiodd Duw.

Dywedodd *Lord Bacon* yn dda, " Y mae awdurdod Duw uwchlaw ein rheswm, a'n hewyllys ni. Dylem ymwadu â'n hunan, ac ymostwng i Dduw; Ufuddhau i'w ddeddf ef pe byddai ein hewyllys yn ei herbyn: a chredu ei Air ef pe byddai ein rheswm yn gwrthwynebu. Pe credem yn unig y pethau unol a'n rheswm credu y matter ac nid yr awdwr fyddai hyny.

" Y mae Duwinyddiaeth wedi ei seilio ar eiriau Duw; nid o oleuni natur na rheswm y tarddodd hi. (Esa. 8. 20.) 'At y gyfraith ac at y dystiolaeth, oni ddywedant yn ol y gair hwn hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt.'" Ni allasai rheswm, heb y Datguddiad dwyfol gael allan bod Duw yn bwriadu maddeu i un pechadur byth; ac ni ellir, trwy oleu y rheswm cryfaf, ond yn y datguddiad dwyfol, weled y ffordd ryfedd a doeth a drefnodd Duw i faddeu pechodau, ac achub pechaduriaid. Ni all rheswm heb oleuni dwyfol ddirnad gogoniant, mawr bwys, a gwerth egwyddorion efengylaidd, na chael golwg ar ras penarglwyddiaethol, a chariad grasol Duw at bechaduriaid euog. Nid all rheswm ddangos y ffordd i wneuthur dyn yn ddedwydd byth, na chynnal pechadur yn ngolwg mawredd Duw, purdeb y gyfraith, atgasrwydd pechod, ac yn wyneb angeu a barn, a myned i'r byd dieithr anweledig. Ond y mae ffydd yn gweled yn y Datguddiad dwyfol, yn efengyl Crist, ffordd i gael maddeu

pechodau, symud yr euogrwydd, a bod yn bur 'ger bron gorseddfaingc Duw,' ffordd i'w hadferu i ddelw Duw, a'u haddasu i fyw byth gyd âg ef. Diolchwn fwy am ddatguddiad o feddwl Duw yn y gair sanctaidd. Ymostynged ein rheswm balch i eiriau Duw, a chymmerwn y datguddiad o feddwl Duw am bob peth yn ddigon o benderfyniad am y peth hyny. Y mae 'saint Duw yn ymlynu wrth ei draed ef, a phob un yn derbyn o'i eiriau.' (Deut. 33. 3.)

Gweddiwn am i'r Ysbryd Glân ein tywys i bob gwirionedd, a'n nerthu i gredu tystiolaeth Duw, gan barchu ei wirionedd a'i awdurdod.

Y mae Duw trwy ei Ysbryd yn egluro i'w bobl 'y pethau na welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn.' (2 Cor. 2. 9, 10.)

Bwrier 'dychymmygion i lawr, a phob uchder sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chaethiwer pob meddwl i ufudd-dod Crist.' (2 Cor. 10. 5.)

JOHN ELIAS,

FRON, Awst 21, 1840.

O.Y. Darllened y rhai sydd yn deall yr iaith Saesonaeg "*Witsius on the use and abuse of Reason.*"

---

SYLWADAU AR ALLU AC ANALLU DYN.

MAE y dyn, trwy y codwm dwfn yn Eden, wedi myned yn greadur gresynol o ran ei gyflwr. Creodd y Creawdwr mawr ef 'ar ei lun a'i ddelw ei hun,' yn sanctaidd, ac yn bur, nid yn unig yn alluog i garu Duw, ond hefyd i ymhyfrydu yn hyny â'i holl galon ac â'i holl enaid. Diammeu ei fod yn cael mwy o hyfrydwch yn caru Duw nag yn holl ogoniant a gorwychder y Baradwys ddaearol yr oedd ei Greawdwr wedi ei osod ynddi. Yr oedd efe yn gallu cyflawni pob dyledswydd oedd yr Arglwydd wedi ei orchymyn iddo, a hyny gyd a'r hyfrydwch mwyaf. Myfi a gefais hyn wrth chwilio wneuthur o Dduw ddyn yn berffaith; ond trwy wrando ar hudoliaeth y sarph collodd ddelw Duw yn llwyr, aeth mor amddifad o sancteiddrwydd a'r diafol ei hun. Ac y mae sancteiddrwydd yn yr enaid yn gyffelyb i fywyd yn y corph. Anian sanctaidd yn yr enaid sydd yn ei dueddu at ddaioni, fel y mae bywyd yn ysgogi y corph.

Yn y fan y bwytaodd y dyn y ffrwyth gwaharddedig yr oedd y ddedfryd mewn grym, yr enaid yn farw, yn amddifad o anian fywiol; a holl gynnwysiad y bygythiad â'i afael ynddo, dim ond i'r Barnwr ei roddi mewn grym. Etto, nid oedd ei gwymp a'i lygredigaeth ef yn dirymu dim ar ofynion ei Greawdwr am berffaith ufudd-dod ganddo, nac yn lleihau ar ei ddyledswydd yntau iddo yn mhob peth. Nid yw y Creawdwr yn gofyn dim gan ddyn ond bod fel y creodd efe ef; ac nis gall y Duw perffaith gyfiawn a sanctaidd ofyn dim llai, er bod y dyn, trwy y cwymp, wedi myned yn analluog i ateb i'r gofynion. Ac nid oes dim llai yn ngofynion cyfiawnder Duw na gofyn perffaith sancteiddrwydd, egwyddor sanctaidd yn yr holl enaid, pob meddwl, pob gair, a phob gweithred yn berffaith bur.

A chan fod pob dyn wedi colli sancteiddrwydd yn llwyr yn Adda, yna nis gall gyflawni un ddyledswydd wrth fodd Duw trwy ei nerth ei hun. Ac nid yn unig y mae wedi llwyr golli sancteiddrwydd trwy y cwymp, ond hefyd y mae ei holl natur wedi ei llenwi â'r peth croesaf i sancteiddrwydd sydd yn bossibl fod, sef âg anian bechadurus. Yn lle cariad at Duw gelyniaeth lonaid yr enaid sydd yn mhob dyn wrth natur. Yn lle galar o herwydd colli sancteiddrwydd, gwrthwynebrwydd i'r eithaf iddo, a'r hoffder mwyaf mewn pechod sydd ynddo. Gelyniaeth at sancteiddrwydd ydyw gelyniaeth dyn. Am fod Duw yn sanctaidd, y mae yn gas gan yr annuwiol ef; ac yn ol y graddau o sancteiddrwydd sydd yn ei bobl ef yn y byd y mae gelyniaeth y byd annychweledig yn ymddangos atynt.

Y mae yn wir na ddifodwyd un gynneddf o'r enaid yn y codwm dwfn yn Eden. Ond y mae mor wir a hyny fod pob cynneddf o'r enaid wedi colli sancteiddrwydd yn llwyr, a'r holl enaid wedi ei lenwi âg anian bechadurus yn lle anian sanctaidd. Y mae gan y dyn serch ond nid oes ynddo un wreichionen o gariad at Dduw, ond y mae ynddo ffwrn o elyniaeth yn ei erbyn. Y mae ganddo ddeall, ond y mae wedi tywyllu, fel na all y dyn anianol ddeall na gwybod y pethau sydd o Ysbryd Duw, oblegid mai yn ysbrydol y bernir hwynt.' Rhuf. 3. 11. 1 Cor. 2. 14. Y mae ganddo ewyllys, ond nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw, ac nis gall ychwaith. Rhuf. 8. 7, 8. Y mae ganddo gydwybod, ond 'halogedig yw hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod.' Y mae ganddo gôf, 'ond nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef.' Ie, y maent

yn hoffi gwneuthur drwg, ond gwneuthur da nid ydynt yn medru arno.

Y mae yr ymadroddion a ddefnyddir gan yr Ysbryd Glân yn y Bibl yn dangos mor ddiallu ydyw dyn, a'i holl anallu yn gwreiddio yn ei ansancteiddrwydd. Y dall, er bod ganddo lygaid nis gall weled. Y byddar, er bod ganddo glustiau nis gall glywed. Y mudau, er bod ganddo dafod nis gall lefaru. Y marw, er fod pob aelod yn ei le nis gall ysgogi. Felly y mae dyn heb anian sanctaidd, er fod pob cynneddf o'r enaid ganddo etto nid oes bywyd yn yr un. Y mae heb sancteiddrwydd. Ni ddichon ddyfod at Grist oddieithr i'r Tad ei dynu ef. Y mae yn ammhossibl gyda dynion fod yn gadwedig, ond y mae yn bossibl gyda Duw. Y mae gan ddyn allu naturiol i beidio meddwi, lladd, godinebu, lladrata, tyngu, &c. Gall blygu ei liniau, dyweyd geiriau gweddi, a'r cyffelyb; ond nis gall gredu i gadwedigaeth, nac edifarhau yn efengylaidd, byw yn sanctaidd, caru Duw â'i holl galon, a'i wasanaethu mewn purdeb; ïe, nis gall wneuthur y pethau hyn heb ei ail eni, a'i wneud yn gyfranog o'r dduwiol anian. Ei bechod ydyw ei anallu.

Ni fyn ddyfod at Grist; ac nis gall ychwaith. Os gall ef gredu yn Nghrist, fe all ddyfod ato, oblegyd yr un ydyw gwir gredu ynddo a dyfod ato. Os gall ef fyw yn sanctaidd, yna y mae yn rhaid ei fod yn greadur sanctaidd, a hyny wrth natur. Os gall efe gyflawni pob dyledswydd a roddodd yr Arlwydd iddo i'w chyflawni, a hyny yn deilwng i Dduw, yna y mae yn rhaid ei fod yn berffaith sanctaidd; oblegid nis gall efe ofyn llai na pherffaith sancteiddrwydd. Os felly, nid yw dyn yn greadur llygredig. Os nad ydyw yn llygredig, pa fodd y mae efe yn pechu? Y mae dyweyd y gall dyn wir gredu, a gwir edifarhau, a gwir garu Duw yn ei nerth ei hun, yn profi fod yr hwn sydd yn dywedyd yn y tywyllwch, hyd y pryd hwn, am sancteiddrwydd Duw a llygredigaeth dyn. Gŵyr pob enaid profiadol beth yw methu edifarhau, credu, a gwir garu Duw, yn ei nerth ei hun.

Ond yn wyneb ein hanallu, y mae yn dda i ni feddwl bod Duw Dad, mewn cyfammod tragywyddol, wedi 'rhoddi ein cymmorth ni ar un cadarn;' ïe, wedi dyrchafu ei anwyl Fab, 'yn dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel a maddeuant pechodau.' Rhodd Duw yw ffydd: ac y mae pob un sydd yn ei derbyn, yn cael ei nerthu yn y ffydd, megis Abraham, gan roddi'r gogoniant i Dduw yn llwyr. Ac y mae efe yn tywallt cariad Crist yn nghalonau y rhai hyn trwy yr Ysbryd Glân yr hwn a roddes efe iddynt, nes ydynt yn ymhyfrydu ynddo â'u holl enaid, ac yn derbyn pob cymmorth trwy Grist yn feunyddiol i gyflawni eu dyledswyddau er ei ogoniant. Y mae yn dywedyd wrth bob un o'r rhai hyn, yn wyneb teimlo eu hanallu, 'Digon i ti fy ngras i, fy nerth i a berffeithir mewn gwendid,' nes ydynt yn nesâu ato am gymmorth yn wastadol.

Ond am y bobl sydd yn tybied fod ganddynt ddigon o allu eu hunain, nid ydynt yn defnyddio ei ras ef na'i nerth, nac yn diolch iddo fel unig gynnorthwywr ei bobl. Gwareded yr Arglwydd ni rhag pob cyfeiliornad, ac arweinied ni â'i Ysbryd daionus hyd angeu, fel na wyrom o'r uniawn ffordd.

*Pentraeth.* D. ELIAS.

---

*Am y gair* 'Arddel,' *pe bai efe yn air hefyd.*—Mae *Arddel* ac *arddeliad* wedi myned, trwy arferiad parhaus, yn eiriau o fawr bwys ymhlith Crefyddwyr, yn yr oes hon. Nid oes gair o'r fath i'w weled yn y Bibl, nac mewn un Geiriadur y gwn i am dano, oddigerth y gall fod mewn rhai diweddar iawn. Fe allai mai llygriad o'r gair *Arddelw*, ac *Arddelwad*, yw y geiriau. Yr ydym yn arfer y gair *arddel* yn fynych iawn wrth weddio, yn enwedig o flaen pregeth; megis *Arddel dy air—arddel dy wirionedd*, &c. Gwir ystyr yr hyn yw, mae yn debygol, Dyro dy *ddelw* ar dy air, Dyro dy *ddelw* ar dy wirionedd. Neu fel y dywed y Sais, *Own thy word.* Addef dy air: hyny yw, mae yn debyg, Dangos mai dy air di ydyw, trwy ei fod yn rymus a nerthol fel gair Duw. Os dyna yw yr ystyr, dylem ddywedyd *Arddelwa* dy air, *Arddelwa* dy wirionedd.

Oni fyddai yn llawer mwy addas i ni ddefnyddio rhyw air neu eiriau ereill mwy dealladwy neu fwy Ysgrythyrol? Ond os gofyn rhywun, gyda golwg ar ddiwygio yn y peth hyn, Pa eiriau a arferwn yn lle y gair gwael *arddel*, mi a hysbysaf fy meddwl ar y peth. Onid mwy addas fyddai dywedyd yn gyffelyb i hyn:—

O Arglwydd, 'par yn awr lwyddiant.'
Bydded dy 'air fel gordd yn dryllio'r graig.'
Par fod 'dy air yn genni ynom.
'Anfon dy lef, a hono yn llef nerthol.'
'Dinoeth fraich dy gadernid.'
'Datguddier braich yr Arglwydd' yn ein plith.
'Tywallt dy Ysbryd' arnom.
'Bedyddier ni â'r Yspryd Glan, ac â thân,' &c.

CYHOEDDWR.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o du dalen 267.)

*Y Swpper diweddaf, yn yr hwyr, ddydd Iau y 14eg dyddd o fis Nisan.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 234 | Yr Iesu yn eistedd gyda'r deuddeg disgybl mewn goruwch ystafell, (llofft) .. .. .. . .. | xxvi. 20. | xiv. 17. | xxii. 14—18. | .... | Yn Jerusalem |
| 235 | Yn golchi traed ei ddisgyblion.. .. .. .. .. | .... | .... | .... | xiii. 1—17. | Etto |
| 236 | Yn torri bara .. .. .. .. .. .. .. .. | xxvi. 26. | xiv. 22. | xxii. 19. | .... | 1 Cor. xi. 23, 24. |
| 237 | Yn rhagddywedyd y bradychid ef .. .. .. .. | xxvi. 21—25. | xiv. 18—21. | xxii. 21—23. | xiii. 18—30. | Jerusalem |
| 238 | Yn rhagddywedyd y byddai i Pedr ei wadu of.. .. | .... | .... | .... | xiii. 31—38. | Etto |
| 239 | Ymryson ymhlith y disgyblion, pwy fyddai fwyaf Rhybuddio Pedr yr ail waith .. .. .. .. | .... | .... | xxii. 24—30. | .... | Etto |
| 240 | Yn cymmeryd y cwpan, a diolch; y rhan olaf o Swpper yr Arglwydd .. .. .. .. .. .. | xxiv. 27—29. | xiv. 23—25. | xxii. 20. | ... | 1 Cor. xi. 25. |
| 241 | Yn ymddyddan â'i ddisgyblion .. .. .. .. .. | .... | .... | .... | xiv. | Jerusalem |
| 242 | Yn ymddyddan ymhellach .. .. .. .. .. .. | .... | .... | .... | xv. | Etto |
| 243 | Yn ymddyddan ymhellach .. .. .. .. .. .. | .... | .... | .... | xvi. | Etto |
| 244 | Yr Iesu yn gweddio ar ei Dad .. .. .. .. .. | .... | .... | .... | xvii. | Etto |
| 245 | Yn myned allan o ystafell y Swpper, ac yn rhybuddio Pedr y drydedd waith .. .. .. .. .. .. | xxvi. 30—35. | xiv. 26—31. | xxii. 39. | xvii. 1. | I fynydd yr Olewydd |

*Yr Iesu yn Ngardd Gethsemane.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 246 | Yn tristau, yn ymofidio, ac yn gweddio .. .. .. | xxvi. 36—39. | xiv. 32—36. | xxii. 40—4. | xviii. 1. | Yn yr Ardd |
| 247 | Yn dyfod at ei ddisgyblion.. .. .. .. .. .. | xxvi. 40, 41. | xiv. 37, 38. | .... | .... | Etto |
| 248 | Yn gweddio yr ail waith .. .. .. .. .. .. | xxvi. 42. | xiv. 39. | .... | .... | Etto |
| 249 | Yn dyfod at ei ddisgyblion yr ail waith .. .. .. | xxvi. 43. | xiv. 40. | .... | .... | Etto |
| 250 | Yn gweddio y drydedd waith .. .. .. ... .. | xxvi. 44. | .... | .... | .... | Etto |
| 251 | Yn dyfod at ei ddisgyblion y drydedd waith .. .. | xxvi. 45, 46. | xiv. 41, 42. | .... | .... | Etto |
| 252 | Yn myned at yr wyth disgybl .. .. .. .. .. | .... | .... | xxii. 45, 46. | .... | Etto |

*Hanes yr hyn oll a ddygwyddodd rhwng yr amser y daeth Judas gyda'r fyddin arfog i'r Ardd, a'r pryd y daliasant yr Iesu, ac y rhwymasant ef i'w ddwyn i Jerusalem.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 253 | Bradychu yr Arglwydd Iesu .. .. .. ... .. | xxvi. 47—56. | xiv. 43—52. | xxii. 47—53. | xviii. 2—11. | Yn yr Ardd |

Yr Iesu a dystiolaethasai, gan ddywedyd, "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddarnaf fi; ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun." Hawdd y gellir gweled hyn, ond darllen yn ystyriol Ioan xviii. 6—9.

TREM FYFYRDODAWL AR 'DDUWDOD YN Y DYN.'—1 Tim. iii. 16.

CANED y nef, gorfoledded y ddaear, a chryned trigolion annwn; wele y 'Duwdod yn y dyn!' Yr amser rhagordeiniedig a ddaeth, a gwelaf yn Bethlehem Euphrata Arglwydd y nef ar y ddaear, a'r cadarn Ior yn ddyn gwan. Dacw y 'Doeth o galon,' yn gorwedd yn nhrigle yr afresymolion. Dacw yr hwn na allai nefoedd y nefoedd ei gynnwys yn rhwymedig mewn cadachau. Dacw yr hwn yr oedd mil o filoedd o angelion yn ei wasanaethu, a myrdd myrddiwn o gerubiaid yn sefyll ger ei fron yn amgylchynedig gan anifeiliaid y maes. Beth yw ei enw? 'Emmanuel, Duw gyda ni.' Efe, yr hwn oedd yn ffurf Duw, yr hwn ni thybiodd yn drais i fod yn ogyfuwch â Duw; ond etto, er iachawdwriaeth teulu yr erchyll godwm, ni thybiodd yn ormod i wisgo cnawd a natur dyn.

O haul, gostwng dy ben; y lloer a'r sêr gwisgwch eich mantellau, gan roddi lle i ddysgleiriach a gogoneddusâch oleuni, yr hwn sydd wedi cyfodi ar ddidrefn ardaloedd tywyllwch ysbrydol. 'Duw a ymddangosodd yn y cnawd.' Deuwch y'mlaen rai sychedig am oleuni gwybodaeth, a thremiwch ar y Gair tragywyddol, wedi ei gael mewn dull fel dyn. Gwelwch ef yn sugno bronau Mair, ac ar yr un pryd yn dal anadl yn ei ffroenau hi. Gwelwch ef yn cael ei gynnal yn faban ar liniau y Forwyn, ac ar yr un amrantiad yn cynnal y bydoedd oll trwy air ei nerth. O Iesu mawr! Ti yw gogoniant ein natur---Ti yw Ceidwad ein bywyd, ac nid yw gywilydd genyt ein galw yn frodyr.

Yn awr, yn absennoldeb haul, pan oedd tywyllwch yn gorchuddio y ddaear, gwelaf, yn disgyn yn ddisymwth oddi fry, ddysglaer dorf o engyl nen, ac yn eu geneuau gân o fawl, am i'r Duw a wnaeth y byd yn nechreuad amser ddyfod yn ei gyflawnder i gael ei wneuthur yn ddyn yn y byd. Clywaf hwynt yn ymbyngcio nes oedd eu peraidd dôn yn rhwygo yr awyr nosawl, a'u hadsain yn treiddio i gilfachau pellaf y Fethlehemaidd fro; bloddient a chanent, 'Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.'

O fugeiliaid! cyfrifer chwi yn fendigedicaf o'r holl ddynion, am ddarfod i chwi yn gyntaf oll glywed am 'Dduwdod yn y dyn.' Bydded eich cân ar Gaersalem fryn yn uchel, uchel, am ddarfod i'ch clustiau chwi y'mlaenaf o bawb glywed sôn am 'Dduwdod yn y dyn.' Er fod eich penau yr adeg hono wedi eu gwlychu gan wlith, a'ch gwallt â defnynau y nos, eto, mwy yw eich anrhydedd na holl goronog benau y ddaear hon, oblegyd clywsoch am 'Dduwdod yn y dyn.'

Chwithau y doethion dwyreiniol, yn hyn yr eglur ddangosasoch eich doethineb; sef trwy ddilyn y seren fore eglur, nes dod o hyd i'r baban breiniol hwnw, ac ymostwng ger bron Duw mewn cnawd. Yn ofer yr ymdrechi, y gormesdeyrn Herod, i ddiddymu uchel benderfyniadau y nef, trwy lunio llwybr ysgeler i ddienyddio yr egwan a'r diniweid fabanod. Ymgysurwch, O! famau, am ddarfod i'ch rhai anwyl gael y fraint o ado'r byd yn achos brenin nef, a myned i wisgo coron gogoniant mor foreuol, ac i ganu'r delyn aur am Dduw a dyn yn un.

Y doctoriaid yn y deml, ychydig a dybiasoch chwithau â phwy yr oeddych yn ymddyddan: ymddyddanasoch â Sanct yr Arglwydd, yr hwn y gelwir ei enw yn Rhyfeddol, a Chynghorwr, y Duw cadarn. Pwy feddyliasai mai 'mab y saer' oedd 'Tad tragywyddoldeb?' pwy feddyliasai mai 'mab Joseph' oedd 'Creawdwr cyrau y ddaear?' pwy feddyliasai mai 'Iesu o Nazareth' oedd â'i 'fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb?

Yn awr mi a'i dilynaf ef trwy ei febyd, ac edrychaf arno yn nesu tua glàn afon yr Iorddonen i gael ei fedyddio gan ei greadur. O Iorddonen, rhyfedd oedd dy weled yn troi yn ol wrth bresennoldeb arch Duw; rhyfedd oedd gweled mantell Elias yn dy rwygo: ond can mil rhyfeddach oedd gweled dy Greawdwr yn dynesu atat mewn cnawd, ac yn ymostwng i gael ei feddyddio â'th ddwfr, pan oedd y nefoedd wen yn agoryd ei dorau, ac Ysbryd y gras yn disgyn arno yn nghyffelybiaeth colomen, a'r Brenin tragywyddol yn amlygu ei foddlonrwydd!

Dilynaf ef yn awr i ardd Gethsemane. Gwelaf ef yn dechreu sathru y gwinwryf ei hunan, heb gymmorth o un man. Dacw fe yn gorwedd ar y ddaear, dan ryw faich anweledig a fuasai yn ddigonol i suddo yr holl ddynol hîl i eithafion diddiweddawl

drueni. Wele ymdrech ei feddwl yn bwrlymu ei werthfawr, sancteiddiawl, waed yn chwysawl ddefnynau i'r llawr! O Iesu mawr! O Enneiniog yr Arglwydd! pa beth yr wyt yn ei wneuthur? O mor fawr yw dy gariad! mor helaeth yw dy drugaredd! ac mor annherfynol yw dy ras! Pa beth oedd yn ormod genyt ei wneuthur, ïe, pa beth nas gwnaethost, er cael ffordd gymwys i achub damniol ddyn?

Yn awr fy enaid, dos ar ol yr Iesu hwn, a dilyn ef tua mangre yr Iawn, sef Golgotha fryn. Edrych ar y goron ddrain ar ei ben, a'r gorsen yn ei law; gwêl ei elynion yn poeri yn ei wyneb, yn aredig ei gefn yn gwysau hirion, gan chwanegu at lymdoster ei boenau trwy loesion y fflangell. Pwy yw efe? Y Brenin, Arglwydd y lluoedd; gelwir ef yr Arglwydd nerthol a chadarn. Pabam y daeth efe yn ddyn 'heb le i roddi ei ben i lawr?' 'Cospedigaeth ein heddwch oedd arno ef.' Pabam y daeth ffynonell bywyd pawb i ddodi ei fywyd ei hun i lawr? 'Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.' Pabam y daeth Craig gadarn Duwdod i wisgo clai breulyd dynoliaeth? Fel trwy rwygiad y llen gnawdol y cyssegrid i ni 'ffordd newydd a bywiol' i nesau at Dduw heb ein damnio â dymchweliad.

Yn awr, edrychaf ar y person hwn yn cychwyn tua'r bryn, â'r groes drymaidd ar ei friwedig gefn. Dacw fe yn awr yn myned i wynebu byddinoedd tanllyd digofaint! Wele, yr Anfeidrol yn hoeliedig ar y pren! Wele yr hwn oedd yn cynnal Calfaria fryn ar gledr ei law yn nerthu ei ddienyddwyr i'w hoelio, ei wawdio, a gwanu ei ystlys â gwaewffon! Gwelaf ddwy o ffrydiau gloewon, dysglaer, o ddwfr a gwaed, yn dylifo allan o'i gorph dihalog, gan ymarllwys am ben tanau arswydlawn llid ei Dad, cynddaredd cythreuliaid, a chreulonder dynion. Wedi iddo fod yn y rhyfelgyrch ofnadwy am chwe awr, dacw yr holl angherddol fflamau wedi eu llwyr ddiffodd, a'r afon frwmstanaidd wedi sychu i fynu byth. 'Gorphenwyd,' meddai'n Prynwr cu, nes adseiniai gwlad yr hêdd, ac yr atebai 'Boddlonwyd.' Yna crynai y ddaear, holltai y creigiau ac ymrwygai llen y deml. Pryd hyn y maeddwyd pyrth uffern, y condemniwyd pechod, y cosbwyd Satan, ac y dygwyd bwriadau Duw cyn bod y byd, i ben. Ymostyngodd Iesu i'r peiriant marwol a wnaethai y diafol, i'r dyben i'w grafangau llymion gael mantais i afael ynddo; ond yr oedd nerth marwolaeth yn rhy wanaidd i'r 'Duwdod yn y dyn.' Ni wnaeth ond 'ysigo sawdl' had y wraig, ond fe wasgwyd pen yr hen sarph yn ei pheiriant ei hun, sef rhwng rholynau marwolaeth yr Oen: fe lethwyd y diafol rhwng dannedd olwynion angeu loes. O syndod! wele y ddeddf yn awr yn gadwedig yn y natur droseddawl, y diafol yn orchfygedig ar ei dir ei hun, a doethineb Duw yn ymorfoleddu ar allu a doethineb gwlad y fagddu fawr.

Dilynaf yr Iesu hwn etto tu ag ystafell y tywyllwch, sef gwlad marwolaeth: gwelaf ef yn tawel orwedd yn y dystaw fedd, yr hwn ydoedd yn naddedig mewn craig. Rhyfedd, rhy ryfedd, dyma 'graig yr oesoedd' yn gorwedd mewn craig a luniodd ei law. Gwelaf hwynt yn ei sicrhau ef yno, trwy osod maen ar enau y bedd, a sêl y rhaglaw ar y maen, a milwyr o amgylch y cyfiawn. Wel, a ddaw Iesu yn rhydd? Daw, fy enaid. Canfyddaf ef 'yn dyfod i fynu o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah, yn hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym.' Yn ei angeu fe ddadymchwelodd Iesu ymerodraeth y bedd, yr hyn a arddangosai cryniad y ddaearen.

Yr oedd ei adgyfodiad hefyd yr un modd yn galw am gryndod yn nghilfachau hon, i ddangos ei fod wedi ennill y chwyldroad o farwolaeth i fywyd, a bod un wedi cyfodi o byrth y bedd yn werth i blant angeu gael golwg arno, a gafael ynddo. Dyma yr amser y cyflawnwyd y brophwydoliaeth, 'am hyny y dyrcha efe ei ben.' Dyma y pryd yr eglurwyd 'y dyn bach' Iesu 'yn Fab Duw mewn gallu.' Bore y trydydd dydd gallasai fyned i edrych ar faes y gwaed, heb ofni llid y ddraig. Tri diwrnod yn ol, yr oedd yr holl fyddinoedd yn awdurdodawl, ond yn awr dacw Galfaria *fynydd* yn *ddyffryn* y gelanedd. Gallasai Iesu ddyweyd wrth y wraig a'i cyfarfyddodd yn yr ardd, gan gyfeirio ei fys tua llanerch y frwydr, Mair, a weli di, dacw y diafol, eu pen tywysog wedi ysigo ei benglog, yr unicorniaid wedi colli eu cyrn, llewod wedi darfod a rhuo, cŵn yn rhy wan i gyfarth, bwâau a saethau yn chwilfriw, tarianau ac estylch heb rifedi yn ddarnau mân; yn daenedig dros yr Aceldama fawr, a minnau wedi cario y dydd.

Yn awr, fy enaid, tro ychydig, ac edrych ar y weledigaeth fawr hon. Wele ' y Duwdod yn y dyn' yn esgyn oddiar fynydd yr Olewydd i'r baradwys fry, i eirjol dros ei saint. Ofnadwy oedd y mawredd a'r gogoniant a welaist ti, Sinai, pan grynaist gynt o flaen Duw; ond annrhaethol fwy oedd y gogoniant a welaist ti, fynydd yr Olewydd, pan esgynodd y Deddfroddwr oddiar dy gospa i wlad y gwawl.

Gwelaf ef yn myned yn arafaidd yn ngodidog gerbydau Duw, ac yn grogedig wrth ei wregys, agoriadau y byd anweledig. O'r diwedd, dacw byrth y nefolaidd Jerusalem yn derchafu eu penau, a'r drysau tragywyddol yn ymagor, a Brenin y Gogoniant yn myned i mewn.

Yn awr y dyrchafaf fy llygad i fynu, ac edrychaf ar yr Iesu hwn yn eistedd ar yr orsedd wen fawr, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Iesu mawr, teyrnasa ar y ddaear; teyrnasa yn fy nghalon. Bellach, deued llawer o'r gogledd, ac o'r gorllewin, o'r dwyrain ac o'r dehau, i eistedd gydag Abraham, Isaac a Jacob yn nheyrnas Dduw; i ddarsyllu ar y diderfyn ryfeddodau byth-drigianol yn Mherson ardderchog yr ordeiniedig Ganolwr, rhwng Duw a llwch y llawr.

Gan foli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes.

*Llanrwst.* H. J.

---

## TALFYRIAD COFNODOL

*O Bregethau Cymdeithasfa Llanerch-y-medd, Môn; yr hon a gynnaliwyd y 18fed a'r 19eg o Chwefin*, 1840.

(Parhad o tu dalen 269.)

Am ddeg o'r gloch, boreu ddydd Gwener, gweddiodd y Parch. William Jones Sir Gaerfyrddin; a phregethodd y Parch. Rees Phillips Llanymddyfri, oddiwrth 2 Cor. 4. 7. ' Eithr y mae genym y trysor hwn mewn llestri pridd, fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw ac nid o honom ni.' Y sylwadau oeddynt fel y canlyn:—

I. Yr enwad y mae gweinidogaeth yr efengyl yn ei gael mewn ffordd o ogoniant a mawrydi dwyfol, Trysor.

II. Y drysorfe, ' Llestr pridd.'

III. Y diben a'r amcan mawr mewn golwg, ' fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw,' &c.

I. Yr enwad a roddir ar weinidogaeth yr efengyl mewn ffordd o ogoniant a mawrhydi dwyfol ' Trysor.' Pan y llefarir am dani fel gair, gelwir hi, ' barnedigaethau ei enau—perffaith gyfraith rhyddid—cyfraith yr Arglwydd,' &c. Pan y llefarir am dani fel gweinidogaeth, gelwir hi, gweinidogaeth yr Ysbryd—gweinidogaeth gogoniant—gweinidogaeth bywyd, &c. ond yma trysor.

1. Trysor, i ddangos gwerth. Fe'i gelwir gan yr angel yn newyddion da. (1) Y mae wedi dyfod o le da. ' Afon bur, o ddwfr y bywyd, dysglaer fel y grisial, yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen ydyw. Nid o orseddfainc Duw heb Oen, pe felly cyfiawnder yn unig fuasai yn y golwg. —Ac nid ychwaith o orseddfainc Oen heb Dduw, pe felly trugaredd yn unig fuasai yn y golwg; ond o orseddfainc Duw a'r Oen; wele, gyfiawnder a thrugaredd yn ymgyfarfod. (2.) Y mae wedi dyfod ar dymor da. Pan droseddodd dyn ddoddfau y nef yn ngardd Eden, rhoddodd Duw yr addewid o hâd y wraig yn brydlawn iddo. (3.) Y mae yn cynwys pethau da. Ceidwad i'r colledig—ffynon i'r aflan—gwisg i'r noeth—maddeuant i'r dyledog, &c.

2. Trysor, i ddangos amrywiaeth. Un corph cyfan yw gweinidogaeth yr efengyl, ond y mae ganddi lawer o ganghenau. Ac y mae yn angenrheidiol pregethu yr holl gyngor—pregethu yr arfaeth—y cyfammod—yr etholedigaeth—prynedigaeth neillduol trwy waed—bygythion y cyngor—addewidion y cyngor, &c.

3. Trysor, i ddangos cyflawnder. Cyflawnder ei gwrthrych. Cyflawnder yn llawn beunydd. Nid ffynon, ac nid môr yn llenwi, a threio; ond ' anchwiliadwy olud Crist.'

II. Y drysorfa, ' llestri pridd.'

1. Llestri. (1.) Y mae hyn yn dangos gwneud. Duw sydd yn eu gwneud. (2.) Yn dangos neillduad, ' yr hwn a'm neillduodd i o groth fy mam.' (3.) Yn dangos eu bod wedi eu *varnishio;* rhag bod blâs y llestr ar y trysor. (4.) Y mae yn rhaid cael y trysor yn y llestr.

2. Llestri pridd. Mae hyn yn fanteisiol iawn i ni. Nid angelion. Pe felly buasai yn ddychryn yn mhob man. Ond ' o'r clai y torwyd gweinidogion yr efengyl. Llestri pridd, y mae yn hawdd eu dryllio. Y mae llawer wedi eu dryllio yn ddiweddar.

III. Yr amcan mawr mewn golwg.' ' Fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw,' &c.

1. Yn nghynnaliad y llestri hyn, yn enwedig yr Apostolion.

2. Yn effeithioldeb gweinidogaeth yr efengyl ' gallu Duw yw hi,' &c.

---

Yna y Parch. Mr. Elias a draddododd araith fer, ond tra chynwysfawr a dyddorol a'r Ddirwest. Dywedai fod arddelwad Duw o ddirwest mor amlwg, mor sicr, a phe gwaeddai o'r cwmwl. ' Y fi piau dirwest.' A bod y rhai sydd yn elynion dirwest yn y

gwrthwyneb i Dduw. A bod bragu yr ŷd i feddwi dynion, mor ddrwg, mewn llawer ystyriaethau, a'i losgi, fel dynion drwg yn Lloegr. Cynghorai y ffermwyr, y rhai a ystyrid yn asgwrn cefn pob rhinwedd, i bleidio yr achos dirwestol â'u holl egni.

---

Am ddau o'r gloch y prydnawn gweddïodd y Parch. David Davies Sir Faesyfed: a phregethodd y Parch. John Jones Blaenannerch oddiwrth Luc 2. 10, 11. "A'r angel a ddywedodd wrthynt, nac ofnwch ....canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd; yr hwn yw Crist yr Arglwydd.' Y sylwadau oeddynt fel hyn.

I. Genedigaeth Crist yr Arglwydd.

II. Dyben mawr ei enedigaeth, 'Ceidwad.'

III. Natur y datguddiad hwnw o Grist wedi ei eni i fod yn geidwad—'newyddion da—i'r holl bobl—ac o lawenydd mawr.'

I. Genedigaeth Crist yr Arglwydd. Yr oedd yn bod, sylwch, cyn cael ei eni.

1. Fe gafodd ei eni yn ddibechod. 'Y peth sanctaidd a enir o honot ti.'

2. Fe gafodd ei eni mewn amgylchiadau isel a thlawd. Rhai tlawd oedd ei rieni, Mair ei fam, a Joseph ei dad cyfrifol. Ganwyd ef mewn dinas anenwog. Bethlehem—mewn lletty isel, ystabl—ei wisgo mewn gwisgoedd gwael, cadachau.

3. Fe gafodd ei eni yn brydlawn. 'Yn nghyflawnder yr amser.' Rhagddywedwyd o ba hâd y byddai, hâd Abraham.—O ba lwyth y codai, llwyth Judah.—O ba deulu y deuai, teulu Dafydd.—Pa fath un a fyddai ei fam ef, morwyn.—Y lle y byddai iddo gael ei eni, Bethlehem. Felly rhagddywedwyd amser ei enedigaeth, yn enwedig gan Jacob y patriarch, a Daniel y proffwyd.

4. Fe gafodd ei enedigaeth ei nodi âg arwyddion gogoneddus. Angel o'r nef yn cyhoeddi ei enedigaeth—lliaws o angelion yn moliannu Duw am ei enedigaeth. Fe gafodd Simeon, Anna, &c. ysbryd i ganu Anthem ei enedigaeth—y seren yn arwain y doethion o'r dwyrain ato, a'r rhai hyny yn syrthio i lawr a'i addoli er ei holl iselder. Dyma Siloh, Jacob—Seren, Balaam —Bachgen, Esaiah—Gwr, Jeremiah—Messiah, Daniel—Blaguryn, Zechariah—Dymuniant, Haggai—a Haul cyfiawnder, Malachi.

II. Dyben mawr ei enedigaeth, 'Ceidwad.' Fe ddaeth i 'geisio ac i gadw'—'i gadw pechaduriaid.'

1. Yr angenrheidrwydd iddo gael ei eni i'r dyben i fod yn geidwad. (1.) Y gwrthrychau oedd wedi eu golygu. Gan mai pechaduriaid o ddynion oedd i gael eu cadw, yr oedd yn rhaid iddo gael ei eni. (2.) Y gwaith pwysig ag oedd i'w gyflawni. Deddf i'w mawrhau—cyfiawnder dwyfol i'w foddloni, ac yr oedd dynion wedi ei anfoddloni. Ac yr oedd yn rhaid i'r gwaith hwn gael ei gyflawni yn y natur a bechodd. Fel ceidwad, fe atebodd i'r ddedf mewn gwreiddiol sancteiddrwydd, ac mewn perffeithrwydd bywyd. Ni phallodd efe. A rhoddodd ei hun yn aberth, a dyoddefodd felldith y ddeddf.

2. Pa fath geidwad ydyw. (1.) Ceidwad o drefniad ac ordeiniad y nefoedd.

2. Ceidwad digonol, 'cred a chadwedig a fyddi. 'Mae efe yn abl i gadw yr hyn a roddir ato erbyn y dydd hwnw.' Y mae ganddo allu i gadw, Hollalluog—teilyngdod i gadw, 'efe yw yr Iawn!—Cyflawnder o ras i gadw, 'Anchwiliadwy olud Crist.' (3.) Unig geidwad. Un arch rhag boddi yn yr hen fyd—un llwybr rhag y dinystrydd yn yr Aipht—un feddyginiaeth yn yr anialwch—felly 'nid oes iachawdwriaeth yn neb arall.'

(4.) Ceidwad ewyllysgar i dderbyn. (5.) Ceidwad ffyddlon. Ffyddlon yn y cyfammod —yn y preseb—wrth esgyn bryn Calfaria— ar y groes ac y'mhob man. Mae'n cadw pan y byddi di yn cysgu, 'ni huna, ac ni chwsg ceidwad Israel.'—Pan y byddi yn trin y byd. 'Y mae yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy.'

III. Natur y datguddiad o enedigaeth Crist yr Arglwydd. 'Newyddion da.'

1. Peth o werth yw Ceidwad. (2.) Y mae yn wirionedd. 'Newyddion da i'r holl bobl,' i'r cenedloedd yn gystal a'r Iuddewon. 'O lawenydd mawr'—i angelion—i bob pechadur teimladwy o'i drueni —pâr lawenydd tragywyddol yn y nefoedd. —Os newydd da o lawenydd mawr yw ei fod wedi ei eni, fe bâr ei wrthod dristwch mawr a rhingcian dannedd i ti byth; am hyny derbyn ef a chadwedig fyddi!

---

Dilynwyd ef gan y Parch. Thomas Elias, Llangammarch, oddiwrth Heb. 12. 24. 'Ac at Iesu, Cyfryngwr y Testament newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel.' Dosparthodd ei destyn fel hyn.

I. Yr enwau a roddir yma ar Grist, 'Iesu, Cyfryngwr y Testament newydd.'

1. Iesu—Gwaredwr. Mae hyn yn dangos fod caethion yn bod. Yr ydym yn gaethion yn ngwyneb deddf y nefoedd—a thrwy draws-feddiant gan Satan. Ond dyma enwad perthynasol iawn, Iesu. 'Ac fel y mae ei enw, felly y mae yntau.' 'Efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau.'

2. Cyfryngwr, mae gelyniaeth rhwng dyn a Duw, y mae yn anghyfiawn o du dyn, ac yn gyfiawn o du Duw. Un canol rhwng y pleidiau yw cyfryngwr. (1) Cyfryngwr o osodiad i'r weinidogaeth yw. (2.) Cyfryngwr a naturiaethau y pleidiau ynddo ydyw. 'Bachgen a aned i ni', dyna ei ddynoliaeth. 'Mab a roddwyd i ni,' dyna ei ddwyfoliaeth. Emmanuel yw, 'Duw gyda ni.' (3.) Cyfryngwr yn ngweinyddiad ei swyddau cyfryngol ydyw. Dwy swydd gyda neillduolrwydd, yn gwynebu tu ag at

ddynion, sef ei swyddau breninol, a phroffwydol. Ac un swydd arall gyd ag arbenigrwydd tu ag Dduw, sef ei swydd offeiriadol.

3. Cyfryngwr y Testament newydd. Y mae yma gyfeiriad at Gyfryngwr yr hen Destament, sef Moses—nid oedd Moses ond gwas; eithr y mae Iesu yn Fab ar ei dŷ ei hun. Yr oedd Moses yn bechadur: ond yr oedd Iesu yn ddihalog, yn ddifeius, a difrycheulyd. Bu swydd Moses farw, pan fu farw yntau; ond yr oedd Iesu yn marw yn ei swydd—yn ei swydd yn myned i lawr i'r bedd—yn ei swydd yn codi—yn myned i'r nef, ac y mae yn ei swydd a'r ddeheulaw y Tad. Gweinidogaeth yr hen Destament yn weinidogaeth angeu. Gweinidogaeth y newydd yn weinidogaeth cyfiawnder: 'ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw.'

II. Y ffurf-eiriad sydd yma, i ddangos haeddiant ei gyfryngdod. 'Gwaed y taenelliad.' Y mae yma gyfeiriad at y gwaed yn cael ei daenellu a'r lyfr y gyfraith. Y gyfraith yn gofyn: gwaed cyfryngwr yn ei mawrhau a'i boddloni. Taenellu ar y bobl hefyd. Mae hyn yn dangos fod y bobl yn euog, ac aflan, a bod gwaed y Cyfryngwr yn puro eu cydwybodau oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw.

III. Rhagoriaeth haeddiant ei Aberth, 'Llefaru pethau gwell na'r eiddo Abel.' Rhagori ar aberth Abel, o gymmaint ag y mae sylwedd yn rhagori ar y cysgod—o gymmaint ac y mae Iawn yn rhagori ar adgoffa pechod, &c. Llefaru pethau gwell na gwaed Abel. 'Y mae llef gwaed dy frawd yn gwaeddi arnaf fi o'r ddaear,' Gwaed Abel yn llefaru cyfiawnder. Gwaed cyfryngwr yn llefaru yn well, cyfiawnder, maddeuant, a gollyngdod i'r troseddwr euog. Nid oedd dim bai ar waed Abel yn gwaeddi am ddial. Ond cyfiawnder mewn Iawn yw llef gwaed cyfryngwr. Y mae yn dweyd yn y canol. Mae yn dweyd dros Dduw wrth ddynion, fod ei ddigofaint wedi ei ddyhuddo mewn Iawn. Y mae yn dweyd dros ddynion wrth Dduw. 'Heddwch trwy waed ei groes ef;' a thrwy orphen a pherffeithio goruchwyliaeth gras yn y galon.

IV. Y mae yn angenrheidiol dyfod ato. Gelli ddod at yr holl ordinhadau heb ddyfod ato. Ato, eneidiau, credu ynddo, ac ymorphwys arno!

(I'w barhau.)

---

## GWEDDIAU MEITHION.

"Pan weddïoch na fyddwch siaradus fel y cenedloedd." Mat. 6. 7.

Yn gyntaf, gweddiau meithion yn yr areithfa.—Yma y mae mawr wahaniaeth rhwng rhai a'u gilydd o ran meithder; deil un ar weddi am ddeg, pymtheg, ugain, deg-ar-hugain, ac ambell un o ddeugain i ddeg-a-deugain o fynydau. Pa mor faith y dylai gweddiau fod? Amlwg yw y dylai yr amser amrywio rhywfaint yn ol yr amgylchiadau. Mae synwyr cyffredin yn ein dysgu, pan fo y gynulleidfa yn blino ac yn anesmwytho, newid eu sefyllfa, ac eistedd, a thrwy hyny yn dangos mai eu dymuniad mwyaf yw i'r gweinidog gael hyd i'r amen, y dylasai efe fod wedi dibenu cyn hyny. Ni gawn allan os chwiliwn yr ysgrythyrau, nad oes ynddynt gynghorion, nac esiamplau, yn bleidol i weddiau hirion yn gyhoeddus. Yr hwyaf a gofnodir, yr wyf yn meddwl, yw hono o eiddo Solomon [ar gyssegriad y deml. (2 Cron. 6.) Yr hon a ellir ei darllen yn araf mewn deng mynyd. Mor bell ag y mae cynghorion Crist ar y pen hwn y maent yn annogaeth i fod yn fyr. 'A phan weddioch, na fyddwch siaradus fel y cenedloedd: canys y maent hwy yn tybied y cânt eu gwrandaw am eu haml eiriau. Na fyddwch gan hyny debyg iddynt hwy: canys gŵyr eich Tad pa beth sydd arnoch eu heisieu cyn gofyn o honoch ganddo.'

Yn ail, gweddiau hirion mewn Cyfarfodydd Eglwysig. Y mae pob rheswm sydd yn erbyn gweddiau meithion yn yr areithfa, yn eu herbyn hefyd yn y Cyfarfodydd Eglwysig, ac ni dylai y cyfryw gyfarfodydd, trwy eu bod yn ol eu henw yn eglwysig, gael eu gormesu â gweddiau mwy nag areithiau hirion, gan un neu ychydig o bersonau. Gweddiau, areithiau, ac emynau byrion yw bywyd y cyfarfodydd hyn. Annhriodol iawn yw treulio pymtheg neu ugain mynyd ar weddi yn y cyfryw gyfarfodydd, ac etto mynych y gwneir hyny.

Yn drydydd, gweddiau meithion yn y teulu. Mi fum ar rai prydiau mewn teuluoedd pan mewn gwirionedd y byddwn yn arswydo gweled awr y weddi deuluaidd yn dyfod. Yn gyntaf, darllenid penned gyfan o'r Bibl, os byddai ynddi 60 adn. hirion, cofrestr o enwau, a llawer o fatterion, dim gwahaniaeth, rhaid ei darllen i gyd oll. Yna y daw y weddi. Fe allai y bydd yn naw o'r gloch y nos, a'r teulu oll yn flinedig a chysglyd; fe'i cedwir ar eu gliniau hyd nes y bo eu natur flinedig yn ymollwng i gwsg. Ychydig ddyddiau yn ol, dygwyddodd i mi weled siampl o'r fath yma. Yr oedd llange bach yn ymofidio wrth weled amser y ddyledswydd yn dyfod; ond nid wyf fi yn petruso pwy oedd fwyaf yn y bai. Nis gallaf fi weled priodoldeb na buddioldeb, y fath feithder afresymol yn y cyfryw gyflawniadau. Dichon y gwrth ddadleuir y dylem fod yn ewyllysgar i wrando gweddiau hirion. Nid wyf fi yn gofalu am hyny; nid yn unig yr wyf yn amheu y gosodiad, ond gwn na wna y cyfryw arferion byth ddangos gwir ddyledswyddau Cristionogol yn y rhai na feddant ond y cyfryw ddefodau diflas a phoenus

i'w dangos. Nid yw meithder ond cydymaith ffurfioldeb; ac amlder geiriau oud cangau oddiar wreiddyn rhagrith. Pe bawn i roi fy marn mewn perthynas i feithder gweddiau, dywedwn yn ddibetrus—ac y mae rheswm, profiad, ac ysgrythyr yn cefnogi hyn—na ddylai gweddiau yn yr areithfa, a chyfarfodydd gweddio, ond anfynych fod dros ddeng mynyd, ac mewn cyfarfodydd eglwysig ni ddylent yn gyffredinol fod dros bum mynyd.

Yn bedwerydd, gweddiau hirion yn y dirgel. Gweddiwch yn y dirgel cyhyd ag y gweloch yn dda. Mae siampl yr hen batriarch Jacob, yr hwn a ymdrechodd gyd â'r angel hyd doriad y wawr, a Christ yr hwn a elai yn fynych i'r diffaethwch a'r mynyddoedd, ac a weddiai drwy y nos, yn eich cyfiawnhau am dreulio llawer o amser mewn ymarferiadau dirgelaidd, ac y mae yn ddiau genyf na fcia neb arnoch. Ond byrdra yn y dirgel sydd yn rhy fynych mewn ymarferiad. Fe ymddengys mai rheolau, neu arwyddair llawer yw, gweddiau hirion yn gyhoeddus, a rhai byrion, neu ddim, yn y dirgel. Onid yw hyn yn ymddangos yn rhagrithiol? Ymddengys y tybia rhai y rhaid iddynt grwydro dros yr holl greadigaeth yn eu gweddiau cyhoeddus. Yn gyntaf, gweddïant dros y gynnulleidfa, yr eglwys, yr anedifeiriol, y gweinidog, yr Ysgol Sabbathol, y milwyr a'r morwyr, y caethion, yr Indiaid, y cenadon, y cenedloedd, a mawredd y dydd olaf. Yna yn ol eilwaith at y gynnulleidfa, gan adrodd y pethau o'r blaen, a chymmysgu pob rhyw beth i'w wneud yn weddi hir dda. Ond nid felly yr oedd yr hen batriarchiaid, Crist, a'i apostolion yn ein dysgu. Gweddi fer yw y weddi a ddysgodd yr Arglwydd i'w ddysgyblion, 'Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd,' &c. ac un matter mawr oedd yn llenwi meddyliau a gweddiau y dysgyblion, a gosodent hwnw yn ddifrifol iawn ger bron Duw.

Sylwch ar y gweddiau a nodwyd, y maent yn fyr, cynwysfawr, syml, cyfeiriol, difrifol, ac effeithiol. Dywed dynion yn fynych nad ewyllysient eu caethiwo i fod yn fyr, mewn gweddi, ond ewyllysient gael gweddio cyhyd ag y mynont. Ond, ai iawn yw teimlad fel hyn? Pwy fynai weddio yn faith pan mai dymuniad mwyaf difrifol ei frodyr yw iddo fod yn fyr. Oni fyddai yn well iddo ymneillduo i'w ystafell a dysgwyl yno wrth Dduw, yr hwn sydd yn gweled yn y dirgel, ac yn addaw talu yn yr amlwg; ac yr wyf yn tybio nad yw y rhai sydd yn arfer meithder yn eu gweddiau yn ystyriol o'r amser y maent yn eu dreulio; ac fe allai y byddai yn dda crybwyll, pe byddai mwy o sylw ar yr awrlais yn cael ei wneuthur y synai rhai yn fawr at hyd eu gweddiau.——A gymmerwyd o'r '*Revivalist*' gan.

*Aberllefeny.* JOHN JONES.

## GWEDDIAU A PHREGETHAU MEITHION.

BARCH. SYR,—Byddaf yn rhyfeddu llawer, ac yn methu dyfeisio beth sydd yn hudo dynion, a rhai dynion synwyrol hefyd, i ymollwng neu ymestyn i feithder anghymmedrol yn eu Gweddïau a'u Pregethau, yn enwedig pan na byddo dim arwyddion neillduol o gymhelliad arddeliadol i hyny, a phan y gallant wybod, (pe mynent wybod hefyd,) nad ydynt drwy hyny yn *boddio neb ond eu hunain*, eithr yn *blino bruidd bawb*, heblaw gwneuthur yr addoliad yn fwy o faich nag o fudd.

Tra yn meddwl am y pethau hyn yn ddiweddar, digwyddodd i mi ddarllen Hanes Bywyd y gwr hynod hwnw, sef y diweddar Barch. Christmas Evans. Llyfr difyr ac addysgiadol anghyffredin, oddigerth y rhaid addef bod yr Ysgrifenydd yn ymddangos yn lled anghyfarwydd mewn ysgrifenyddiaeth Gymreig. Ond pa fodd bynag am hyny, ymysg y buddiol bethau yn y Gwaith, cyfarfyddais ynddo â'r sylwadau nodedig a ganlyn, ynghylch Pregethau a Gweddïau Hirion. A chan fod y sylwadau yn dwyn perthynas â gwŷr o gymmeriad neillduol ynghyfrif y Trefnyddion Calfinaidd, tybiais mai priodol iawn iddynt gael lle yn eu Trysorfa, nid yn unig er dangos golygiadau y cyfryw enwogion ar y mater dan sylw, eithr hefyd er rhybudd i'r rhai sy'n dueddol i'r bai, y rhai, ysgatfydd, nis gwelsant y sylwadau o'r blaen, ac os gwelsant hwynt, ni fydd o niwed yn y byd eu hadgoffa iddynt, gan eu bod mor dueddol i ebargofi rhybuddion o'r fath.

Yn awr, Syr, rhoddaf i chwi adysgrifiad o'r sylwadau allan o'r Llyfr crybwylledig, gan obeithio y cânt dderbyniad i'r Drysorfa, ac y gwnant lês i'w darllenwyr.—Ydwyf, yr eiddoch yn ddiffuant. TREFNYDD.

### *Barn y Parch. Christmas Evans am Bregethau a Gweddïau hirion.*

Yr oedd yn anghymmeradwyo yn fawr oedfaon a phregethau hirion, a thri i bregethu ar ol eu gilydd. Yr oedd yn hyn fel Mr. Robert Hall. Pan y buasai sôn neu grybwyll am fod yr achos yn adfeilio yn rhywle gyda rhyw weinidog, yr hyn a ofynai gyntaf a fyddai, 'A ydyw ef yn pregethu yn faith?' Golygai fod tuedd yn hyny i oeri ac i farweiddio y bobl yn hytrach nâ'u cynhesu.

'Yr wyf yn golygu,' medd Mr. Evans, 'fod hir weddio yn cael ei wahardd yn eglur yn yr ysgrythyr, ac yn cael ei anghefnogi yn yr holl siamplau o weddïau a geir yn y Bibl, yn enwedig yn y cynllun a dynodd Crist o benau gweddi. Gweddi Daniel yn pen ix. ydyw, fe ddichon, yr hwyaf, (oddieithr gweddi Solomon wrth gyssegru y deml) yn y Bibl, a hono dros holl eglwys Dduw yn ei chaethiwed; etto

gellir darllen hòno yn bwyllog mewn llai nâ deng mynyd, pan y mae genym ni weddïau yn parhâu dros hanner awr! Dylai fod undeb dyben mewn gweddi, yn deulnaidd ac o flaen pregeth; dylai gweddi yr Arglwydd fod yn gynllun i grynhoi pethau i gylch byr, a bod ynddi grybwyll. iad am freninoedd, a phawb sydd mewn goruchafiaeth; ond fod deisyfiadau o flaen pregeth yn neillduol am gymhorth yr Ysbryd Glân i bregethu, a bod y gair yn cael ei arddel; yn lle rhygnu dros bob peth fel gweddïau y '*Common Prayer*.' Pe byddech yn gyru deiseb [*petition*] am gael cofrestriad genedigaethau, &c., a hwnw i gael ei gyflwyno gan ryw aelod o'r Seneddr, a bod yno grybwyll am naw neu ddeg o hen ddeisebion, ac wrth fod y ddeiseb yn cael ei ddarllén, fod aelodau y Tŷ yn dweyd, 'Nis gwyddom ni pa un o'r deisyfion y maent yn ei geisio, gan eu bod yn crybwyll am ryddfreinniau er dyddiau y brenin William o Holland: dywedwch fod yn rhaid iddynt anfon eu deiseb yn fwy cryno, ac mewn gweddi ferach o'r hanner.' A fyddai hyny ddim yn gywilydd i ti? Y mae llawer peth yn peri i ni weddïo yn hir heblaw gras; ac y mae llawer yn gweddïo yn hir yn gyhoeddus, pan prin y maent yn gostwng ar eu gliniau yn y dirgel. Y mae yr hanesyn canlynol am Rowlands, Llangeitho, yn moreu ddydd y bywhad yn Nghymru, yn werth sylw. Yn y *Sassiwn* a gynnelid yn y Capel Newydd, yn Sir Benfro, yr oedd pregethwyr wedi pregethu y nos o'r blaen, ond yr oedd yn dra chaled yno; am ddeg ar gloch dranoeth, pregethodd un o'r offeiriaid o flaen Rowlands, ond heb ddim arddeliad, a chaledwch mawr yn gwisgo y gwrandawyr: gwedi i Rowlands godi fynu, cyn rhoi pennill na dim arall, dywedodd wrth bregethwr o'r enw Dafydd, Pwll-y-march, yr hwn oedd hynod am weddi fer i'r pwrpas presennol; 'Dafydd,' eb efe, 'y mae yn rhaid i ti fyned i weddi fer o'm blaen i, i gynnyg rhwygo y cwmwl tew hwn; ni byddi di yn hwy nâ thair neu bedair mynyd wrthi, canys y mae y weddi hir a fu yma o flaen y cyfarfod wedi methu a rhwygo y cwmwl.' Gyda hyny yr oedd Dafydd yn agor ei enau, gan ddywedyd:—Arglwydd Iesu! er mwyn dy waed a'th ing, gwrando fi. Mae dy weision wedi bod yma yn ceisio nithio yn yr hwyr a aeth heibio, a'r boreu heddyw; ni allant wneud dim, Arglwydd—nid oes yma un chwa o wynt nefol wedi dyfod i'r cyfarfod hwn.' Yna efe a ddyblodd erfynu, gan ddywedyd, 'Gwynt, Arglwydd, gwynt, Arglwydd grasol, canys y mae yn dy ddwrn di y gwynt yn awr fel erioed. Amen.' Disgynodd cafod o dynerwch ac wylo ar y gwrandawyr yn y man, a phregethodd Rowlands gyda hwyl hyfryd. Natur yw natur, a gras yw gras bob amser. Pe byddem ninnau yn cyfnewid hirfeithder marwaidd, am daerni byr a bywiog, caem weled mwy o ddeffroad. George Whitfield a ddywedai wrth rywun oedd wedi gweddïo o'i flaen, 'Darfu i ti, frawd, fy ngweddïo unwaith i ysbryd pregethu, a phe tewsit y pryd hyny, buasit er ysgogiad i mi; ond trwy i ti barhau yn hir, tydi a'm gweddïaist allan o hwyl pregethu, wedi fy nyrysu yn nghoedwig hirfeithder a ffurfioldeb, ar ol i ti unwaith y'm gweddïo i hwyl a thymher nefol.'

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

### PREGETH AR GEN. 19. 22. GAN Y PARCH. LEWIS JONES.

Yn hyn sydd yn rhoddi gwerth a gogoniant yn holl athrawiaeth yr efengyl yw y dadguddiad sydd ynddi o drefn rasol Duw i achub pechadur. Dyma yw ei bywyd a'i hanfod. Oni phregethir gras penarglwyddiaethol ac anhaeddiannol nid oes genym un efengyl i wynebu ar fyd o golledigion: a phwy bynag sydd yn tybiad nas gall alw pechadur i edifarhau a chredu yn Nghrist, heb adael penarglwyddiaeth Duw a hollol lygredigaeth dyn o'r naill du, y mae heb ddeall egwyddorion cyntaf y grefydd Gristionogol. 'I'r graddau y mae unrhyw eglwys,' medd Luther, 'yn dal cyfiawnhad trwy ffydd, i'r graddau hyny y gellir dweyd ei bod yn sefyll yn ddilwgr.' Athrawiaeth gras yw athrawiaeth pob gwir ddiwygiad sydd wedi bod yn y byd erioed. O! y fath nerthoedd a welwyd cyn hyn yn cydfyned a'r pregethiad o honi yn Nghymru. Gymaint o nefoedd ar y ddaear a fwynhawyd wrth ganu am ethol Meichiau yn nhragywyddoldeb, cofio am ddyn colledig cyn ei fod, trefn i gyfiawnhau yr annuwiol, cadernid y cyfamod rhwng Tri yn un, a sicrwydd cadwedigaeth ei holl wrthddrychau.

Ar yr un pryd, nis gellir gwadu fod tuedd gref mewn dyn anianol i wyrdroi y gwirioneddau gwerthfawr hyn i'w ddinystr ei hun. Pe medrem eu gosod allan mor gywir a'r Apostol Paul, y mae yn amlwg nas gallem er hyny ddim attal camgasgliadau a chanlyniadau niweidiol i gael eu tynu oddiwrthynt. Ond nid an fynych y maent yn cael eu camddarlunio hyd yn nod gan eu hamddiffynwyr, ac yn cael eu clwyfo yn nhŷ eu caredigion. Anurddir hwynt weithiau mor erchyll gan rai nad ydynt yn eu deall fel nas gellir yn hawdd eu hadnabod. Pa fodd bynag, y mae yn hysbys i bawb ag sydd yn gwybod ychydig am ansawdd ein gwrandawyr fod llawer o honynt yn eu cymeryd fel esgusodion i fyw mewn diffrwythder a difaterwch. Pan y cymhellir hwynt i ddyfod at Grist fel y caffont fywyd, dywedant eu bod yn ofni nad ydynt wedi eu hethol. Pan wasgir arnynt y dyledswyddau a orchymynir yn y gair, attebant nad oes

ganddynt allu i wneyd dim, ac mai ofer yw pob ymdrech nes y daw yr Ysbryd i'w cynorthwyo; ac felly cynygiant eu gelyniaeth at Dduw yn esgus dros eu hannufudddod. Y mae yn wir nad yw yr esgusodion hyn ddim ond rhesymau gau, ac arwyddion o gyndynrwydd dyn, a'i gariad at ei bechodau. Ond y mae yn angenrheidiol dangos hyny yn fynych, fel yr enniller ef, dan fendith Duw, o bob noddfa celwydd, ac y dryoger ef o'i holl hunan-gyfiawnderau. Heb hyn nis gellir pregethu Crist fel y dylid, na'i gyhoeddi yn ddiragrith fel yr unig noddfa i bechadur. Byddai y diweddar Barch. Ebenezer Richard yn arfer dweyd fod gwahaniaeth dirfawr rhwng pregethu o *flaen* y bobl a phregethu *i'r* bobl. Os oes neb yn ein plith—nid ydym yn deall fod, oblegid y mae y Trefnyddion Calfinaidd drwy drugaredd wedi cael eu cadw hyd yma rhag gwyro at Antinomiaeth ar un llaw yn gystal ag Arminiaeth ar y llaw arall—ond os oes neb yn teimlo un gradd o rwystr yn ei feddwl i alw a gwahodd, i annog a chymhell pawb yn ddiwahaniaeth, y mae yn ddiau fod athrawiaeth gras, yn ei chysondeb a'i phrydferthwch yn guddiedig oddiwrth ei lygaid. Yn ei feddwl ef ei hun yn unig y mae yr holl rwystr; nid oes dim yn y Bibl, nac yn ngolygiadau Calfin ar y Bibl.

Dyben y bregeth hon yw dangos nad oes gan bechadur un rheswm dros beidio dyfod at Grist yn ddioed. Y mae wedi ei chyfansoddi mewn iaith ddirodres, ac y mae pob anogaeth yn cael ei chadarnhau gan ryw gymhariaeth, a gellir dweyd am yr holl gymhariaethau sydd ynddi eu bod gan mwyaf yn hynod o happus. Y mae yn amlwg mai dyma *forte* yr Awdwr, a da fyddai pe byddai mwy yn ei efelychu. Mae effeithiau tra daionus wedi canlyn y bregeth hon yn y traddodiad o honi; a gobeithiwn ar ol iddi gael ei hargraffu, y caiff dderbyniad cyffredinol, ac y bydd er bendith sylweddol i laweroedd. Z.

## GRAMADEG CERDDORIAETH.

GAN MR. JOHN MILLS.

Barchedig Syr,—Creir ynof deimladau o lawenydd, wrth ganfod cyfryngau gwybodaeth yn ymhelaethu yn mhlith fy nghydgenedl. Barnwyf na bu, ac nad oes, un genedl yn fwy awyddus ac ymdrechgar i gyrhaedd gwybodaeth gyffredinol nag yw y Cymry yn y dyddiau hyn: hefyd, na bu cynydd unrhyw genedl mewn gwybodaeth, yn un oes, yn gyflymach a helaethach, nag yw eiddo ein cenedl ni, wedi bod yn yr ychydig flynyddau a aethant heibio. Efallai, mai un o wrthrychau penaf gwybodaeth ein cenedl yn y dyddiau hyn yw *Cerddoriaeth;* a pha ryfedd, pan ystyriom y moddion rhagorol sydd ganddi i gyrhaedd hyny; ac hefyd, pan ystyriom y cysylltiad naturiol, uniongyrchol, a dylanwadol sydd rhwng Cerddoriaeth â theimladau y meddwl dynol; ac yn enwedig, pan ystyriom y dylanwad cryf a helaeth sydd ganddi ar deimladau cenedl y Cymry. Bu ein cenedl am amser maith, mewn sefyllfa o anmhosiblrwydd i gyrhaedd gwybodaeth eang o elfenau a rheolau Cerddoriaeth, am nad oedd yn eu hiaith a'u meddiant, hyd yn ddiweddar, unrhyw foddion manteisiol a phriodol, tu ag at gyrhaedd hyny. Pan ystyriom fawr awydd y genedl at Gerddoriaeth, a'i gydmaru a'i hanfantais dirfawr, yn yr amser a aeth heibio, i gyrhaedd gwybodaeth Cerddorawl, casglir ei bod mewn caethiwed mawr, a than deimladau hynod o anghysurus; a diamau y bydd y moddion a'i rhyddhaodd o'r cyfryw gaethiwed, ac a'i gwaredodd oddiwrth y cyfryw deimladau, mewn bri a chymmeradwyaeth uchel ganddi am oesoedd lawer.* Y moddion tra rhagorol hwn ydyw, 'Gramadeg Cerddoriaeth' Mr. John Mills, (*I. G. Alarch,*) Llanidloes, yr hwn a gyhoeddwyd yn y fl. 1838. Pan hysbysodd yr Awdwr ei fwriad o gyhoeddi y 'Gramadeg Cerddoriaeth,' dangosodd y genedl fod 'ysbryd ynddi i gefnogi' awdwyr galluog a chymwys 'ar gelfyddyd ac anianddysg,' yr hyn a brofir oddiwrth y derbyniad helaeth a gafodd y Cyhoeddiad rhagorol hwn ganddi.† Diamau genyf nad oedd neb yn fwy cymwys i'r gorchwyl pwysig hwn na'r Awdwr ei hun, yr hyn a gadarnheir trwy ragoroldeb a theilyngdod ei waith; ac efe yw yr unig un, ar a wyddys am dano hyd yn hyn, a wasanaethodd ei genedl, yn ddyladwy a chydwybodol, mewn gwybodaeth o elfenau a rheolau Cerddoriaeth.‡ Y mae y llafur dirfawr a gymerodd yr Awdwr, i gyfansoddi gwaith mor ddymunol a rhagorol, ynghyd a'i ymgais didwyll ac uniongyrchol, i ddwyn allan i

* Y mae yn ymddangos yn beth rhyfedd i mi, na buasai y rhai hyny o'n cenedl sy'n hyfedr mewn Cerddoriaeth, ac a broffesant aidd dros *Gerddoriaeth Gymreig,* er's blynyddau, wedi ei rhyddhau o'i chaethiwed adfydus.

† Gwel ansawdd y derbyniad helaeth hwn ar amlen y Rhif. cyntaf o'r ail argraffiad.

‡ Gwn fod cyhoeddiadau o eiddo amrai awduron ereill wedi eu cyflwyno i sylw y genedl, ond nid oedd ei mantais i gyrhaedd gwybodaeth eang a chyflawn, o elfenau a rheolau y Gelfyddyd wedi hyny nemawr yn helaethach na chynt:—yn wir, nid oedd ymgais y cyfryw awduron yn eu cyhoeddiadau, yn cyrhaedd ddim pellach bron, na dwyn y genedl i ymarferiad peroriaethol yn unig, a gadael y rhan gelfyddydol, y fwyaf angenrheidiol, heb sylw yn y byd arni.

cyntaf? Ië dymunwn adgoffa, wrth fyned ohenni, elfenau a rheolau cywrain ac ardderchog y gelfyddyd, yn teilyngu y cymeradwyaeth uchaf; ac felly y saif yn awr, ac hyd oesoedd, yn syniadau ei gyd-genedl. Gan fod syched y Cymry yn mwyhau am wybodaeth cerddorawl, a nodweddiad cerddorawl yr awdwr mor uchel, a'i waith mor rhagorol a chymeradwy, yr oedd canoedd o honynt yn dymuno ail argraffiad o'r 'Gramadeg Cerddoriaeth;' cydsyniodd yr awdwr â'u dymuniad. ac erbyn hyn, wele y Rhif. cyntaf o'r ail argraffiad allan o'r wasg. Yn yr argraffiad presenol o hono, dywed yr awdwr y 'chwanegir sylwedd dros hanner cant o dudalenau,' ac yr 'helaethir ar amryw bynciau hanfodol a phwysig; a chwanegir pynciau ereill, yn neillduol pennod ar athroniaeth swn, yn ei berthynas â cherddoriaeth,' yr hyn a chwanega deilyngdod, a rhagoroldeb y cyhoeddiad yn fawr, ac a rydd ddywenydd nid bychan i'r efrydydd cerddorawl. Yr hyn a'm cymhellodd i ysgrifenu y sylwadau hyn yw, awydd dros gynydd gwybodaeth Cerddorawl yn mhlith y Cymry; ac i'w hànog i ddefnyddio y cyfleustra presenol, sy'n dod i'w cyrhaedd, sef yr ail argraffiad o'r 'Gramadeg' i chwanegu a chynyddu eu gwybodaeth o elfenau a rheolau Cerddoriaeth. Am y Rhif. cyntaf o'r ail argraffiad, nis gallaf ddweyd yn amgenach, (yr hyn a brofaf eto, os caniateir i fi) na'i fod yn tra rhagori (yn enwedig, yn y sylwadau sydd ynddo o barth i'r wybodaeth, yn ei *pherthynas â natur*) ar un cyhoeddiad ar Gerddoriaeth a gyflwynwyd i sylw un genedl mewn un oes wybyddus; a diau y gwelir, wrth ansawdd a chynwysiad y Rhifyn hwn, y bydd y Rhifynau ereill yn cynwys yr un rhagoroldeb ac ardderchawgrwydd Cerddorawl. O barth i'r 'Gramadeg,' nid oes angbenrheidrwydd, ïe, annoeth fyddai i mi geisio dangos ei deilyngdod, &c. pan y mae ei gymeradwyaeth mor fawr yn syniadau y rhai uchaf eu nodweddiad cerddorawl o'n cenedl; eto, y mae llawer o'r Cymry yn ymarfer â chanu, nad oes ganddynt nemawr o ddirnadaeth am Gerddoriaeth yn ei dyben, ei defnyddioldeb, a'i harddercbawgrwydd: ac i'r dyben i ddwyn Cerddoriaeth, yn wrthrych sylw y cyfryw rai, dymunaf gyflwyno i'w sylw, y 'Gramadeg Cerddoriaeth' yr hwn sy'n foddion tra rhagorol i'r cyfryw ddyben: felly y bo, medd

*Llanllechyd.* LLECHYDON.

## AM GANU MAWL.

'Cenwch i'r Arglwydd ganiad newydd.'

*Sylw ar* 'Y SALMYDD CYMREIG,' *gan Roger Edwards, Wyddgrug. Cyhoeddedig gan T. Gee, Dinbych.*

Y MAE 'y Salmydd' hwn yn cynnwys *hymnau* hefyd 'addas i addoliad cyhoeddus a neillduedig.' Y mae fel pe bae yn galw sylw cyffredinol ato, 'Y Salmydd *Cymreig;*' 'Y Salmydd Cymreig.' Caniattewch i mi, gan hyny, Mr. Golygydd, wneyd ychydig sylwadau, i edrych a ellir caniattau y titl a ymhonna. Y mae llyfr hymnau yn agored i adolygiad manylach, a gofal mwy na chyffredin wrth ei gymeradwyo. Oblegid am lyfrau ereill, megis 'Gwaith Gurnal' 'Cynnorthwy i'r Myfyriwr, &c. (gwel amlen olaf y Salmydd Cymreig), nid ydynt hwy ond ymgynyg i sylw personau unigol, ond y mae llyfr hymnau yn ymgynyg i sylw ac arferiad *cynnulleidfaol.* Y mae 'Y Salmydd' hwn hefyd yn ffrwyth anturiaeth bersonol y cyhoeddydd, ac nid yn dyfod allan dan nawdd a chyfarwyddyd corph o bobl; yma hefyd gwelir achos i'w fanwl chwilio, a theilyngdod o sylw helaeth o hono. O'm rhan i, nid wyf yn meddwl ddim llai o hono am hyn, ond yn hytrach y ffordd arall. Mae lle i ddysgwyl y bydd mwy o ymgyraedd at berffeithrwydd lle byddo y teimlad o hollol ymddibyniad ar deilyngdod tumewnol a chynenid, ac nid ar amgylchiadau allanol, i ennill cymeradwyaeth.

Yr ydym dan rwymau o ddiolchgarwch i bob un a'n hwylusa mewn unrhyw fodd i ddwyn ymlaen yn deilwng, y rhan ardderchog ac arbenig hono o addoliad cyhoeddus, sef canu mawl. Y mae canu da yn ad-dynu ac yn cynal ynghyd gynulleidfaoedd, ac yn gosod bri ar addoliad cyhoeddus, hyd yn oed pan na bydd ond y gelfyddyd yn ei berffeithio; ond pan bydd canu â'r galon yn gystal ag â'r tafod, â'r 'yspryd' yn gystal ag â'r 'deall' yna, yna, y mae yn 'nefoedd ar y ddaear.' Dywed detholydd 'Y Salmydd Cymreig' rywbeth yn ei ragymadrodd yn erbyn canu 'yr un pennill lawer gwaith drosodd,' ond fe wyr y brawd anwyl, Roger Edwards, fod rhai amserau y rhaid ei dyblu hi, drachefn a thrachefn, dim posibl tewi o'r bron; tra mynyched yr odfaon hyny yn Nghymru! Ond yr wyf yn cydweled âg ef hefyd i raddau—er fod dyblu oddiar *deimlad cryf* yn hyfryd, eto y mae dyblu a threblu heb rywbeth mwy na chyffredin yn *ddiflas.* Am hyny caner yr hymn drwyddi nes cael rhyw achos dyblu o herwydd teimlad wedi ei wresogi.

Bron nad allwn ddarllen agwedd a theimlad crefyddol mewn eglwys neu gynulleidfa wrth ei hagwedd yn canu. Lle y byddo y canu yn llwrf ddiysbryd, mae yn lled debyg fod pob peth crefydd yn lled isel a chyffredin. Lle y byddo yr Yspryd yn dywalltedig, diwygiad grymus yn cymeryd lle, a 'chwanegiad beunydd at y rhai a fyddant cadwedig,' gellid disgwyl, ac fe fydd yno hefyd ganu grymus a chynnes. Pa bryd y cân yr eglwys, os nid pan esgora ar ei meibion a'i merched? Pwy a gân onid chân troedigion ieuaingc yngwres eu cariad

heibio, i'r rhai ieuaingc mewn crefydd, a'r rhai ieuaingc mewn oedran yn neillduol, mai eu gwaith priodol hwy gydag achos eu Gwaredwr, ydyw edrych at y canu cyhoeddus. Y mae eich tadau a'ch hynafiaid mewn crefydd, un ai eu lleisiau wedi darfod, eu teimladau wedi pylu, neu yn bryderus gyda rhanau pwysig ereill o'r gwaith; atoch chwi, oddi wrthych chwi, yr edrych Duw a'r bobl am gynal i fynu y canu yn ei odidawgrwydd.

Fe fyddai pob addoliad cyhoedd yn amherffaith iawn heb ganu mawl, ac yn enwedig fe fyddai diwygiadau yn anfynych, anhwylus, a diflanedig, os nid anmhosibl, heb y canu. Dyma un o'r *channels* anhepgorol, trwy ba un y mae teimladau cronedig a sanctaidd y Cristion i ymarllwys allan. Grym yr ymarllwysiad sydd yn darnodi grym y diwygiad. Fe wyddai Jehofah hyn, ac fe ofalodd yn dyner iawn am Gymru, yn hyn fel ymhob peth angenrheidiol i ddwyn ymlaen y diwygiad mawr crefyddol. Cafodd Cymru ddechreu, ac yn nechreu, ei diwygiad bregethwyr heb eu cyffelyb wedi bod ar y ddaear er yr oes apostolaidd, a hymnydd hefyd, 'peraidd ganiedydd' na bu ei fath mewn un genedl dan y nef er dyddiau 'Dafydd fab Jesse.' 'Yr oedd Williams yn rhagori ymron gymaint ar bawb arall fel cyfansoddwr Emynau, ag yr ydoedd Rowlands yn rhagori ar ereill fel pregethwr,' (Cofiant Rowlands, gan J. Owen, tu dal. 51). 'Rhowch i mi gael gwneyd cerddi cenedl,' meddai rhyw awdwr, 'ac ni waeth gan i pwy a wna ei deddfau.' Ac felly am gerddi Sïon. Bu dylanwad pregethwyr ac ysgrifenwyr y diwygiad yn fawr, ond bron na thybiwn fod yr eiddo hymnau Williams yn fwy. 'Y mae yn nodedig i sylwi arno, mai y dydd y daeth William Williams a'r Llyfr Hymnau a elwir 'Y Mor o Wydr' i Laugeitho, y torodd y diwygiad allan, ar ol yr hir auaf a fuasai yn gorchuddio yr eglwysi,' (Drych yr Amseroedd, t.d. 143). Ond pe canietteid nad oedd dylanwad *uniongyrchol* yr hymnau hyn gymaint a'r eiddo y pregethwyr tanllyd, eto sicrhaf ei fod yn fwy o ran cyffredinolrwydd a pharhad. Aeth llawer un duwiol trwy y byd heb glywed Rowlands, Llangeitho, na Roberts, Clynog; ac heb erioed ddarllain gwaith Charles o'r Bala, &c., ond tybiaf nad aeth prin neb i'r Nef o Gymru, er tua phedwar ugain mlynedd bellach, heb ganu a mwynhau llawer ar hymnau Williams. o Bant y celyn. Bob tro y deuai diwygiad adnewyddol ar grefydd, yr oedd yr hymnau hyn yn dyfod i fias adnewyddol. Mi gofiaf fel yr oedd y diwygiad grymus diweddaf y byddent yn cael eu hatganu yn y ffyrdd i ac o yn gystal ac yn yr addoliad tyrfaog. Mi welaf y gynnulleidfa ar ddiwedd y Sabbath, y fynwes wedi ymlenwi trwy y dydd â than sanctaidd, yn canu y pennill diweddaf cyn ymadael, yr holl dyrfa yn ysgogi yn ol ac ymlaen fel y goedwig dan yr awel dyner, ar gweinidog lluddedig yn y *pwlpud* yn cyd-seinio â hwy, ond yn unig ei fod ef, ac ambell hen frawd, yn canu mewn cwmfachau (*crotchet*), ond hwy mewn banner clychdonau (*semiquavers*) ac felly yn dibenu y penill, pan fyddai y gynnulleidfa tua dechreu y llinell ddiweddaf. Yr oedd yr afreoleidd-dra yn hawdd iawn ei oddef, ïe, yn hyfryd, oblegid yr oedd rywfodd yn rhoddi ar ddeall fod y teimladau wedi croni yn y galon nes torri '*dros pob terfynau*.'

Yn awr, y mae Williams wedi myned adref i'r nef, y man lle yr oedd o ran ei yspryd tra yma ar y ddaear. Dywed yn ei Farwnad i D. Rowlands.

'Mae fy yspryd yn cartrefu
Gyda'r dorf aneirif fawr,
O rai cyntafanedigion
Ag sy yn y nef yn awr.'

Mae efe 'wedi marw yn llefaru etto.' Mae ei hymnau fel pethau cyssegredig i ni bellach, nid oes un hymn-lyfr Cymreig byth i fod hebddynt. Y maent yn hymnau y nef bellach. Tybiaf fod yr hen Robert Jones, Rhos-lan, yn barnu felly, pan alwodd ei lyfr hymnau, 'Grawnsypiau Canaan,' cystal a dywedyd, dyma i chwi enghraifft, dyma i chwi ran, o ganiadau y Ganaan Nefol. Mae rhywbeth hyfryd yn y meddwl ein bod yn canu rhywbeth yr un peth a'n tadau aeth adref uchod.

'Mae eglwys Dduw trwy 'r ddae'r a'r nef
yn un
Y meirw a'r byw a'n cydsain yn gyttun,'

Dafydd Frenin Israel, Edmund Prys a Dr. Watts, a Williams Bant y celyn, a'r holl saint ar fryniau Caersalem, ninnau ar y ddaear, a'r angelion ymhob man, yn cydseinio cân 'Iddo Ef!' Fe fyddent yn dywedyd fod canu yn yr awyr yn amser y diwygiadau gynt, a dynion mor eirwir a bugeiliaid Bethlehem yn tystio iddynt glywed lleisiau mwynion yn yr awyr yn seinio hymnau Cymreig Williams ac ereill, a hymn felys Morgan Rhys,

'Dyma Geidwad i'r colledig
Meddyg i'r gwywedig rai,' &c.

Gan i'r angylion roddi anthem mor ardderchog i ddynion, paham nad allant ymostwng i gymeryd ambell bennill melys yn ol o enau pechaduriaid wedi eu golchi yn ei waed Ef.

Ond nid yn unig y mae emynau Williams yn brif ystôr detholyth hymnau Cymreig oherwydd eu henafiaeth, &c. ond hefyd oherwydd eu rhagoriaeth. Ni ddaeth neb ar ei ol yn debyg iddo, nac yn agos ychwaith, oddieithr fe allai y fenyw dduwiol a seraphaidd, Anne Griffiths, o Lanfihangel, Sir Drefaldwyn. Ond fe aeth hi adref yn rhy fuan i ni. Bu farw yn wraig led ieuangc. Gadawodd ddigon o hymnau

i ddangos beth a allesid ddisgwyl oddiwrthi, pe buasai fyw i fyned trwy holl amgylchiadau profiad y Cristion. Yr oedd ei marwolaeth gynnar yn ennill mawr iddi hi, ond yn golled ddirfawr i eglwysi Cymru. Bron nad ellid meddwl wrth darllain rhai o bennillion athrawi aethol Anne Griffiths, a chyfansoddiad meistrolaidd cadarn yr oll o honynt, ei bod hi a Williams, o ran yr awen, wedi newid ystlen. Mae Williams yn hynod am ryw dynerwch benywaidd, Griffiths am ryw famedigrwydd gwrol—Williams yn aml yn ofnus yn yr anialwch, Griffiths bob amser yn hyderus ar ben Nebo; Williams fel y nabl fwyn, a'r delyn felys, Griffiths fel yr organ gyflawn a'r 'symbalau soniarus.'

(I'w barhau.)

---

## LLYTHYRAU, &c.

### AT Y
### PARCH. J. ROBERTS, O LANBRYNMAIR.
#### LLYTHYR II.

Barchedig Syr,—Wrth ddarllain eich ysgrif, 'Carwr Rhyddid a'r Drysorfa,' yn y Dysgedydd am y mis hwn, gwelafeich bod yn methu gadael llonydd i'r Pregethwr o hyd, er eich bod wedi awgrymu, fwy nag unwaith, na soniech mwy am dano, ac na ddyfynech ddim rhagor o'i waith: ond y mae'n debyg na pheidiech chwi yn eich byw, gan y fath argraff y mae 'Y Pregethwr a'r Gwrandawr' wedi ei roddi ar eich meddwl: yn hyn yr wyf yn eich esgusodi, oblegid yr oeddwn yn awyddus wrth ei ysgrifenu am iddo beri tipyn o argraff ar feddwl pwy bynag a'i darllenai; ac mi feddyliwn eich bod chwithau yn ei ddarllain ac yn meddwl am dano yn ddibaid, dydd a nos, er pan gawsoch ef i'ch meddiant, a phwy a wyr, gan hyny, na enillir chwithau yn fuan i'r un farn a'r Pregethwr?

Nis gwn pwy ydyw 'Carwr Rhyddid,' ac ni fwriadaf ysgrifenu dim fel diffyniad iddo, gadawaf iddo, os myn, amddiffyn ei hun yn y cyhoeddiad 'clodwiw' a elwir 'Y Dysgedydd.' Fodd bynag y mae'n resyn mwy na pheidio eich bod 'wedi diflasu ar y *subject*:' ond, serch hyny, y mae'n debyg mai peth digon diflas yw ysgrifenu ar bwnc dadleuol pan fyddo cydwybod yr ysgrifenydd yn rhyw ddistaw sibrwd wrtho fod ei *system* yn wan.

Bellach goddefwch i mi wneyd rhai dyfyniadau o'ch ysgrif, a chynyg sylw neu ddau arnynt.

1. '*Nid oeddwn yn meddwl y cymeraswn fy arwain mor bell oddiwrth destyn y ddadl. Mae rhai adar, os deuir ar eu traws, a ymdreiglant hyd lawr, ac a arferant bob math o ddichell er twyllo'r aflonyddwr oddiwrth y nyth. Cyfaddefaf fod y Pregethwr wedi gwneyd hyn yn lled gampus.*' Pa un ai ydyw y Pregethwr wedi cadw at ei destyn yn yr Ymddyddanion dan sylw, ai peidio; a pha un ai myfi a'ch arweiniodd chwi, ai chwi a'm harweiniodd i, at bethau anmherthynol i'r ddadl; barned ereill. Nid wyf fi, beth bynag etto, yn deall ddarfod i chwi ymaflyd gyda dim tebyg i degwch mewn cymmaint ag un ymresymiad o eiddo'r Pregethwr yn eich holl ysgrifau; o ganlyniad, anwyl gefnder, nid oedd genyf i'w wneyd ond ymddiffyn fy hun yn wyneb eich ymosodiadau dieithr ac anghefnderawl chwi. Nid wyf yn cofio ddarfod i mi yn fy holl ysgrifau wneyd cymaint [illegible] *ymosodiad* arnoch chwi, y cwbl a w[illegible]m tu ag atoch chwi, hyd yr wyf yn cofio, [illegible]dd *ymddiffyn*, felly nid [illegible]yf yn gwybod d[illegible]fod i mi fyned at dd[illegible] yn hyn o gymhw[illegible]nd yr hyn yr oed[illegible] ymosodiadau fy ngh[illegible]er yn fy arwain yn naturiol ato. Efallai mai gwell peidio manylu efo'ch gorchwyl anrhydeddus *o dynu nythod adar*, rhag i chwi fyned i gwyno eilwaith, fy mod yn eich tynu '*oddiwrth y n[illegible]th.*'

2. '*Beth yw [illegible]laeth Duw am ei Fab?*' At. Yr holl [illegible] nid rhan o hono yn unig. Ac fe[illegible]du'r holl dystiolaeth, ac nid credu [illegible]honi yn unig, yw dyledswydd [illegible], [illegible]yny hefyd sydd yn angenrheidiol [illegible]er iachawdwriaeth. Drachefn, 'Rhaid dadgysylltu tystiolaeth Duw a thystiolaeth y rhai a wadant ddigonolrwydd yr Iawn oddiwrth eu gilydd.' Rhaid. Ond ar ba du dal. y mae'r Pregethwr yn gwadu digonolrwydd yr Iawn?

3. 'Dywed y Pregethwr....Fod gan bawb obaith; mai Crist yw eu gobaith; ac nad oedd a fyno Iawn Crist â neb ond yr eglwys....Dyma dri pheth anghyson a'u gilydd....Ni fedr Anfeidrol Ddoethineb eu cysoni.' 'Ni fedr Anfeidrol Ddoethineb eu cysoni!!' Dyma ddywediad, tebyg i'r dywediad hwnw o'r eiddoch yn eich pregeth a ymddangosodd yn y Dysgedydd am fis Gorph. diweddaf, sef 'Fod y Tad yn methu tynu rhai' at Grist. Nid wyf fi beth bynag yn cenfigenu dim wrth y sawl a arfero'r fath ddywediadau. Yn hytrach na charlamu yn ddibris, *rough shod*, ar y tir yma, bydded i ni wrth son am yr hyn a all, neu na all, y Bod Mawr, ddiosg ein hesgidiau oddiam ein traed.

Nid yw'r Pregethwr wedi dyweyd yr holl eiriau a roddwch chwi yn ei siars, ond dywedodd, ac y mae yn para i ddywedyd, 1. Fod gobaith yn cael ei osod o flaen holl wrandawyr efengyl; 2. Mai Iesu Grist yw ein gobaith; 3. Mai dros ei eglwys, ac nad dros neb arall, y rhoddes efe ei hun. Yrwan sylwch, fe addef Ffwleriaid, 1. Fod gobaith yn cael ei osod o flaen holl wrandawyr efengyl. 2. Fod y gobaith hwnw yn tarddu o dragywyddol fwriad Duw i achub: ond 3. Na fwriadodd Duw achub neb ond ei eglwys. Wel, ni welwn i yn fy myw ond yr un faint, a'r un fath anhawsdra i gysoni y tri pheth cyntaf, ag sydd i

gysoni'r tri pheth olaf; yr wyf etto yn cyfaddef na wn i ddim pa fodd i gysoni y naill na'r llall, ond ni chymerwn i lawer a dywedyd, 'Na fedr Anfeidrol Ddoethineb eu cysoni.' A gobeithio fy mod yn ddigon 'ystwyth' i gredu y pethau a ddywedo y Digelwyddog, er na fedraf ganfod eu cysondeb â'u gilydd.

4. *Dylai (y Pregethwr) gydnabod y gwahaniaeth sydd rhwng pethau uwchlaw ein deall, a phethau annghymodadwy annghyson â'u gilydd.*' Yn awr, pan ydys yn methu a chanfod cysondeb pethau duwinyddol, pwy sydd i farnu, ac wrth ba reol y bernir pa un ai annghyson, ai rhy ddyfnion i'n deall ni ydyw'r pethau? Y mae *infidels* yn dadlu annghysondeb yr Ysgrythyrau fel sail i'w gwadu: y mae Sosiniaid yn dadlu annghysondeb athrawiaeth y Drindod fel sail i'w gwrthod; ydynt, a hyny gyda mwy o *plausibility* nag yr ydych chwi, anwyl Syr, yn dadlu annghysondeb *system* y Pregethwr. Cymeryd canfyddiad dynion o gysondeb pethau â'u gilydd yn *standard* i farnu yr athrawiaeth yw pen ffordd pob cyfeiliornad a ymlusgodd i'r eglwys Gristionogol o ddyddiau Hymeneus ac Alexander hyd y dydd hwn, ïe, dyma ben ffordd i Ddeistiaeth ac Atheistiaeth. Y mae y grefydd Gristionogol wedi ei seilio ar y Datguddiad Dwyfol, ac nid ar Philosphi ddynol, gan hyny wrth y Datguddiad hwnw y rhaid i'w phynciau gael eu profi, ac nid wrth ganfyddiad dynion o gysondeb pethau. Dylai fod digon o 'ystwythder' ynom i gredu tystiolaethau hwn er methu a chanfod eu cysondeb. Nid wyf wrth ddyweyd hyn yn awgrymu fod annghysondeb yn mhethau'r efengyl; ond ein bod ni yn rhy fychain o ysgolheigion i ganfod cysondeb llawer o honynt.

5. '*Nid wyf yn deall y pum peth a ddyfynais fwy nag unwaith o'r blaen, yn cynwys darnodiad y Pregethwr o Iawn; ond yr wyf yn sicr fod ynddynt annghysonderau nas cymmodir byth ganddo ef, na neb arall, am hyny, yr wyf yn eu gwadu.*' Gwadu pa beth? Ai gwadu'r annghysonderau? Purion. Felly yr wyf finnau. Ond os ydych yn gwadu y pum pwynt dan sylw, rhaid eich bod yn gwadu mai 'Efe yw'r Iawn,' oblegid mai hyny ydyw sylwedd un o'r pump. Bu agos i minau ddywedyd y gair '——' yn y fan yma; ond 'Syndod!'

6. '*Dywaid y Pregethwr mai myfi a ddywedodd 'fod Mr. Jones o Ddinbych yn rhoddi celain Mr. Christmas Evans yn ymborth i gythreuliaid'.......Tybia llawer o honynt hwy (darllenwyr y Drysorfa) mai fy ngeiriau i ydynt.*' Yr wyf yn ofni, anwyl gefnder, fod 'drwg moesol' yn hyn etto. Gwyddoch yn burion, ac ni feiddiech wadu, mai eich geiriau chwi ydynt, er eich bod yn ceisio ysgoi y cyhuddiad, drwy ryw drawsawgrymu i'r gwrthwyneb. Os ydyw y ddau beth a enwch yn gynwysedig yn y cyhuddiad; sef 1. Eich bod 'yn arfer iaith annoneddigaidd ac annuwiol,' 2. Eich bod 'yn camgyhuddo Mr. Jones;' yr ydych yn euog o'r ddau, canys y mae'r cyhuddiad yn wir bob gair.

Dywedech fod Mr. Jones, o Ddinbych, wedi canu yn erbyn yr egwyddorion a amddiffyna'r Pregethwr. Wel, fy anwyl Syr, yr wyf etto yn meddwl yn rhy uchel a pharchus am danoch fel 'bod deallawl' i dybio am foment na wyddoch fod gwahaniaeth dirfawr rhwng yr egwyddorion a gondemniai yr hybarch Jones o Ddinbych, a'r eiddo y Pregethwr; ac na byddai ond gwastraff ar amser, papur, ac inc, i ddangos i chwi y gwahaniaeth hwnw. Mewn difrif, anwyl gefnder, os nad ydych wedi 'diflasu' gormod i ysgrifenu etto ar y ddadl, deuwch i ryw ddull tecach o ymresymu; neu gadewch y gorchwyl i'ch brodyr ag sydd yn gweled eich bod eisoes wedi arwain eich hun i ddyryswch, yn ofni yr ewch etto i ddyryswch mwy, ac wedi cynyg yn garedicaf yn Nysgedydd Awst, i gymeryd y gwaith o'ch llaw.

Dichon yr ymddengys rhai pethau, yn hyn o lythyr etto, yn arw i'ch teimladau, ac y mae yn wir ddrwg genyf drosoch, ond chwychwi, drwy eich dull pigog ac annheg o ysgrifenu o ddechreuad y ddadl, sydd wedi tyfu y drwg am eich pen. Am danaf fy hun, coeliwch, yr wyf yn parhau yn gymaint o ewyllysiwr da i chwi ag erioed: yr wyf yn meddwl na chymeraswn gymaint o drafferth i ysgrifenu sylwadau ar lythyrau fel yr eiddoch chwi, oni bai y parch a'r ewyllys da sydd genyf tuag atoch. Ië, yr ydwyf yn gymaint o ewyllysiwr da i chwi ag ydwyf o gefnder.

RICHARD WILLIAMS.

*Liverpool, Medi* 17, 1840.

---

*Llythyr y diweddar Barch. John Roberts, o Langwm, at Mr. Lewis Morris, o Seion, pan ydoedd efe yn glaf yn Nghaernarfon.*

GWYNFRYN, Chwefror, 28, 1827.

Anwyl Frawd,—Daeth eich llythyr atom i'r Cyfarfod Misol i Gwynfryn, a chan nad oedd Robert Griffith yn bresenol, cefais ei ddarllen i'r Corph yn ein cynnulliad; ac er ein bod wedi clywed amryw weithiau ac amryw ffyrdd am eich clefyd poenus, a'ch cystudd trwm, a rhai wedi gofidio yn ddwys, ac mewn difrifwch syml yn cydymdeimlo â chwi, ac yn gydwybodol yn cofio y rhai sydd yn rhwym, megys yn bod yn rhwym gyda hwy, ond ni chlywodd neb o honom am natur eich clefyd, na meithder yr amser yr ydych yn goddef dano. Pan y gwybuom, wrth eich llythyr, am yr amgylchiad isel yr ydych ynddo, effeithiodd yn drwm arnom; etto, achlysurodd radd o lawenydd cysurol i ni glywed fod rhyw raddau o argoelion adferiad arnoch, a bod rhyw foddion yn debyg i ateb y dybenion tuag at

eich iachâd, ac os trefna Duw i hyny fod, rhaid wrth amynedd a dyoddefgarwch, canys ni ellir dysgwyl yn fuan, gan fod ansawdd eich pabell wedi anhwyluso mor drwm.

Pan y clywais gyntaf am eich salwch, yr oedd yn gysurus genyf mai yn Nghaernarfon yr oeddych, ac yr oeddwn yn diolch i'r Arglwydd am ei fawr ddaioni yn ei threfnu felly, gan fy mod yn gwybod cymmaint am garedigrwydd y brodyr a'r cyfeillion yno, a'm hyder hefyd ar dalentau y Dr. Roberts, ac uwchlaw y cwbl am ddaioni Pen-rheolwr nef a daear, wedi trefnu ac yn bendithio moddion, a'u llwyddo i ateb dybenion er cyflawni ei ddybenion doeth a sanctaidd ef, er daioni ei greaduriaid gwan, a gogoniant ei enw mawr. Chwanegwyd at ein cysur yn neillduol yn hyn, sef bod ymgeledd Duw ar eich cyflwr yn ysbrydol, a'i ymweliadau grasol mor dirion a chynnaliaethol i chwi yn y dydd trallod hwn. Yr ydym, fel Corph y Cyfarfod Misol, yn cofio atoch yn y modd mwyaf caredig a brawdol, ac yn dymuno y cyflawna ein Tad tirion ei air i chwi yn barhaol; 'Ni'th roddaf i fynu, ac ni'th lwyr gadawaf chwaith.' Pan elych drwy y tân a'r afonydd mi a fyddaf gyda thi; ac efe a ddichon beri i bob peth gydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; nis gallai Agar weled y ffynon nes ei dangos iddi, ac nis gallai Moses ei hun weled y pren oedd i bereiddio y dyfroedd heb ei ddangos iddo; ac felly ninau, nis deallwn y pethau mwyaf angenrheidiol hyd nes dangosir i ni, a phan y caffom fyned i gysegr Duw, y deallwn ac y gwelwn bob peth yn iawn yn eu lle.

Yr ydym, fel Corph y Cyfarfod Misol, yn dymuno cydnabod ein diolchgarwch diffuant i Mr. a Mrs. Roberts, a Mr. a Mrs. Owens, am eu caredigrwydd gofalus a'u diwydrwydd llafurus yn eu holl ymddygiadau tuag atoch; ac yn dymuno cydnabod ein diolchgarwch gwresocaf mewn cariad at ein holl frodyr, ïe, yr holl eglwys, am eu gwaith a'u llafurus gariad a ddangosasant tuag atoch yn yr angenrhaid presennol, ac yr un modd i bawb yn y dref sydd yn dangos cymmwynasgarwch caredigol i chwi yn eich gwaeledd presennol, gan fod yn sicr na adewir hwy heb eu gwobr.

Eich hen gyfaill o Langwm sydd yn ysgrifenu yr ychydig linellau hyn dros y Corph, i amlygu ein bod yn cofio atoch; a rhaid i'm adael yn fyr gan fod pawb wedi myned dan ddwylaw Mr. Cwag er's enyd. Yr wyf finau yn fwy llesg nag arferol er ys mis, ac wedi gorfod rhoddi i fynu fyned i *Association* Aberystwyth, fel yr oeddwn yn meddwl, y mae yn rhaid i mi ddychwelyd adref gan fy llesgrwydd. Yr wyf yn cofio atoch yn garedig, ac yn eich cofio yn fy ngweddiau, a bydded tangnefedd Duw arnoch, trwy Iesu Grist. Wyf eich &c.

JOHN ROBERTS.

*Llythyr y Parch. Jonathan Edwards, o'r America, at ei Ferch.*

SYR,—Wedi darllen y Llythyr canlynol o eiddo yr enwog Jonathan Edwards o America, at ei ferch, yr hon ydoedd bellder ffordd oddiwrtho ef, meddyliais mai nid anfuddiol fyddai ei gyfieithu a'i anfon i'ch Trysorfa. Y mae y Llythyr nid yn unig yn dangos duwioldeb personol Edwards ei hun; ond yn dangos y cymmwysderau digyffelyb, a'r tân sanctaidd oedd yn gweithio ymhob cynneddf ynddo am iachawdwriaeth dragywyddol ei deulu. Y llythyr hwn, tan fendith Duw, a fyddo yn foddion i gyffroi penau teuluoedd Cymru i anfon Llythyrau cyffelyb pan yn anfon at eu plant.

*Caernarfon.* DAVID WILLIAMS.

Fy anwyl Blentyn,—Chwi a ellwch feddwl yn dda mai peth naturiol ydyw i rieni ofalu am eu plentyn, sydd o gymaint pellder oddi wrthynt, ac mor bell o'r golwg, ac mor bell o gyrhaedd cymdeithasu, oblegid pe byddai i chwi gael eich cymeryd i afael clefyd peryglus yr hwn a derfynai mewn marwolaeth, gallech yn hawdd fod yn eich bedd cyn i ni glywed am eich perygl. Ond etto, fy ngofal penaf ydyw, nid am eich iechyd neu eich llwyddiant tymhorol, ond am ddaioni eich enaid. Er eich bod bellder mor fawr oddi-wrthym ni etto y mae Duw ymhob man. Yr ydych i raddau helaeth allan o gyrhaedd ein gofal ni: ond yr ydych bob moment yn ei ddwylaw ef. Nid ydym ni yn cael yr hyfrydwch o'ch gweled; ond y mae efe yn eich gweled. Y mae ei lygaid ef yn wastadol arnoch. Ac ond i chwi fyw yn agos at Dduw a chael ei bresennoldeb grasol Ef, nid yw o bwys pa mor bell y byddwch oddi wrthym ni. Byddai yn well genyf i chwi fod gannoedd o filltiroedd oddi wrthym ni, a chael Duw yn agos atoch trwy ei Ysbryd, na'ch cael yn wastadol gyda ni a byw y'mhell oddiwrth Dduw. Ac os y newydd nesaf a glywn fydd eich marwolaeth, er y byddai hyny yn beth tra galarus, etto os derbyniwn ar yr un amser, y fath hanes am danoch ag a roddai i ni y sylfaeni goreu i obeithio eich bod wedi marw yn yr Arglwydd, pa faint mwy dymunol a fyddai hyn na phe caem yr hyfrydwch o'ch gweled, a gweinyddu unrhyw gymwynas i chwi, yn eich afiechyd, ymddyddan, a gweddio drosoch chwi, a bod â'r serchiadau anwylaf tuag atoch, yn ein hymadawiad â chwi, ac wedi 'r cwbl yn cael rheswm i farnu eich bod wedi marw heb ffafr a gras Duw? Y mae yn hyfrydwch mawr cael presennoldeb cyfeillion daearol; yn enwedig mewn cystudd a gwely angeu, y peth mawr ydyw cael Duw yn gyfaill, cael ein huno â Christ, yr hwn nis gall farw mwyach; ac oddiwrth pa un nis gall ein marwolaeth ein gwahanu.

Fy nymuniad a'm gweddi wastadol ydyw ar i chwi gael, os ydyw hyny yn unol âg ewyllys sanctaidd Duw, gyfarfod âg ef yn y lle yr ydych, ac i gael llawer o'i ddwyfol ddylanwadau ef ar eich calon, pa le bynag y byddoch. Ac yn amser priodol Duw y caffoch ddychwelyd atom yn ol, y'mhob peth odditan wenau y nefoedd, ac yn neillduol mewn amgylchiad llwyddiannus yn eich enaid, ac y cyfarfyddwch â ni oll yn fyw ac yn iach.

JONATHAN EDWARDS.

## MYFYRDOD AR Y CYNHAUAF.

PAN bo'm yn edrych ar yr amrywiol beryglon sy'n bygwth blaen-darddiad yr ŷd—pan gyfrifom yn ein meddyliau y peryglon oddiwrth sychder neu wlybaniaeth, gwres poeth neu oerfel annhymorol—y deifiad a all lygru y dywysen—y perygl a all ddyfetha y gwreiddyn, a'r holl ofalon ereill, mae y llafurwr yn deimlo neu ofni, nis gallwn fod heb wybod fod angen am ryw beth mwy na diwydrwydd dyn i'w wneud yn ddedwydd neu yn llwyddiannus; ac mai gyda rheswm da yr ydym yn ein gweddiau gwastadol yn gofyn ein bara beunyddiol gan Dduw; gan nad oes yr un dydd yn yr hwn nad yw ei fendith Ef yn angenrheidiol, un ai i gadw yr had, llwyddo y gwelltyn, neu i lenwi y dywysen; i geryddu y felgawod neu yr ystorm, oddiwrth ba rai y mae y cnwd mwy addfed mewn perygl. Ac hyd yn nod pan fyddo ymborth llawer o ddyddiau yn chwifio o flaen ein llygaid, nis gallwn beidio teimlo llawenydd pryderus a diolchgarwch difrifol, ac i ryw raddau galarus, pan gyferbyniom ein hymddygiadau ni â thrugaredd diderfyn Duw; pan gofiom mor lleied ac anfynych y meddyliasom ni am dano Ef, yr hwn sydd yn gofalu am danom ni yn wastadol; a phan y crynom rhag hyd yn nod yn awr i'n pechodau rwystro ffrwd ei drugaredd, ac i'r camddefnydd yr ydym yn rhy aml yn ei wneud o gyflawnder fod yn achos i droi ein digonedd i newyn.—*Esgob Heber*.

Cyf. NIHIL.

*Hopton Wafers.*

## "YR AMSERYDDIAETH YSGRYTHYROL."

BARCH. SYR,—Pan ddeallais eich bod yn parotoi i roddi Hysbysiad ar y clawr am Argraphiad newydd o'r Llyfr tra buddiol hwnw, 'Yr Amseryddiaeth Ysgrythyrol,' tueddwyd fi i erfyn arnoch roddi y sylwad canlynol i mewn ynghorph eich Llyfr.

Dywed un Ysgrifenydd enwog yn yr Iaith Seisnig, yn y geiriau canlynol am genedl y Cymry, 'Pan y meddyliom am y lle penaf a roddir gan y Cymry fel cenedl i'r Ysgrythyrau Sanctaidd, a bod eu dalenau cyssegredig yn cael eu chwilio, a myfyrio arnynt yn fwy nag un llyfr arall, rhaid caniatau fod pob ymgais i gadw ac ychwanegu y tuedd-fryd hwn ynddynt, trwy ychwanegu at y moddion i'w cynnorthwyo, yn deilwng o sylw a chymhorth pawb sydd yn dymuno yn ddaionus i Dywysogaeth Cymru a'i thrigolion.'

Llonychwyd fi yn fawr pan y gwelais y sylw uchod—a llonychir fi etto wrth weled hysbysiad ar hysbysiad am foddion at 'gadw ac ychwanegu y tueddfryd hwn.' Tra y mae rhai cenedloedd, yn agos atom, yn ymflino ac yn blino ereill gyda sothach anffyddiawl a dinystriawl, y mae y Wasg Gymreig etto (hyd ag a wn i) heb ei llychwino â thraethodau cableddus yr *Infidel* na'r *Socialist*—ond caiff y Cymro fantais etto i astudio ei Fibl, ac ymroddi i ddeall ei gynnwysiad gwerthfawr.

Bu amser pan nad allai llawer Cymro wrth farw, ond tynu ei draed i'r gwely, a bendithio ei blant, a gadael iddynt yn gymun-rodd ar ei ol, hen Fibl rhagorol y Parch. Peter Williams, Dilyniad Iesu Grist, a Llyfr Hymnau—ac er y gellid casglu ei fod yn y Llyfrgell fechan hono, a than ddysgeidiaeth y Pen-prophwyd mawr, wedi ei ddysgu yn ddoeth i iechydwriaeth—etto yr oedd ei wybodaeth gyffredinol o droellymadroddion, a chyffelybiaethau, ac *amseryddiaeth* y Gyfrol Sanctaidd yn fychan iawn. Ond erbyn y dyddiau hyn y mae 'llawer yn cynniwair a gwybodaeth yn amlhau.' Ar ol Bibl ar Fibl, Esponiad ar Esponiad, Geiriadur ar Eiriadur, wele etto, ac nid y mwyaf distadl o honynt, anrheg ychwaneg i genedl y Cymry, 'Amseryddiaeth Ysgrythyrol,' wedi ei brofi trwy un argraphiad i fod yn llafur mawr un o enwog ddysgedigion Cymru, ac yn fuddiol iawn i'r myfyriwr ysgrythyrol.

Dilys genyf na buasai raid i'r Cyhoeddwr amgen hysbysiad na hyn, 'Yn fuan y cyhoeddir, Amseryddiaeth Ysgrythyrol, gan y diweddar Barch. S. Lloyd o'r Bala,' na buasai cannoedd yn Nghymru yn barod i gofleidio yr hysbysiad, a lledu eu breichiau, a gwaeddi am dano i'w meddiant yn ddioedi. Ac mai felly y byddo yw hyder, gobaith, a chred eich diffuant ewyllysiwr da,

TEGIDON.

## CYNGHOR MEDDYGOL.

*I iachau y Ddannodd.*—Mewn Cyfarfod Cymdeithas y Meddygon, a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Llundain, hysbysodd Dr. Blake, ei fod ef wedi cael allan foddion i iachau y fath waethaf o'r ddanodd, (os na fyddai yn tarddu oddiar y Cryd Cymmalau). Y moddion ydynt a ganlyn.

Cymmerwch *Alum* wedi ei falu yn llwch mân, 2 *ddram*; a *Nitrous Spirits of Æther*, saith *dram*. Cymmysgwch hwynt, a dodwch yn y dant dolurus.—*Lancet*.

# COFNODAU CYMANFA GORFFOREDIG LLANIDLOES.

Gorph. 28, 29, 30, a 31, 1840. (Parhad o tu dalen 285.)

II. Mewn cyfarfod o Bregethwyr a Diaconiaid, gwnawd amryw sylwadau MEWN PERTHYNAS I'R ATHRAWIAETH SYDD YN OL DUWIOLDEB.

Y mae rhai yn golygu mai peth o ychydig bwys yw gwahanol farnau am byncіau mawrion yr athrawiaeth; gellir meddwl oddiwrthynt na waeth pa athrawiaeth a gredo dyn tu ag at fod yn gadwedig. Ond y mae yn rhaid fod pwys mewn gwirionedd. Y mae gwahaniaeth tragywyddol yn gorphwys rhwng gwir a chelwydd.

1af. Sylwyd ar athrawiaeth y Cyfrifiadau. Sail Cyfrifiad yw Cyfammod. Ni buasai trosedd Adda yn gyfrifol i ni fel ei had, oni buasai fod cyfammod wedi ei wneuthur rhwng Duw âg ef yn ei achos ei hun a'i hiliogaeth. Gosodwyd Adda gan ddoethineb ddwyfol yn ben yn y cyfammod hwnw, i sefyll dros ei holl had fel deiliaid; a chan iddo ef fyned i lawr, y mae ei gamwedd ef yn cael ei osod yn eu herbyn hwy. Gosodwyd Crist mewn Cyfammod yn gynnyrchiolwr ei had ysbrydol; a chan iddo ymrwymo yno dros ei had, trefnwyd iddo gael eu natur, gosodwyd ei berson ef fel Duwddyn yn lle eu personau hwy, a gosodwyd eu hanwireddau yn ei erbyn. Pan y dygir hwy yn weithredol i undeb ysbrydol â Christ, gosodir ei gyfiawnder ef o'u plaid hwythau. Y mae hyn yn addas a chyfiawn yn ol trefn y cyfammod.

Camgymerir weithiau gyda'r cyfrifiad cyntaf. Ni chyfrifir i ni mai nyni a gymerodd ac a fwytâodd y ffrwyth gwaharddedig yn Eden, ond gosodir y trosedd yn ein herbyn fel deiliaid y cyfammod gweithredoedd. Yr ydym yn dorwyr y cyfammod yn unig yn yr ystyr yr oeddym ynddo, sef fel deiliaid; yn ein hundeb cyfammodol âg Adda yr ydym yn bechaduriaid. Yr oedd yr 'un camwedd' yn cael ei gyfrif i ni pan y daethom i'r byd; y mae y peth a wnaeth Crist hefyd yn cael ei gyfrif i'r enaid pan y'i hunir âg ef. Pan y mae pechadur yn credu, 'y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo,' y mae yn gwneuthur droсodd i'r pechadur yn hyn a wnaeth Crist drosto; y mae yn gyntaf yn cyfrif cyfiawnder iddo, ac yna yn ei gyfrif yn gyfiawn. Wele roddiad o ufudd-dod Mab Duw i berson euog y pechadur oedd heb un ufudd-dod iddo ei hun, ac yn hwnw y mae y Barnwr mawr yn edrych yn gymeradwyol arno, ac yn ymweled âg ef i'w ymgeleddu. Trwy anufudd-dod a chamwedd Adda y daeth barn condemniad ar bod dyn; a thrwy ufudd-dod a chyfiawnder y Meichniydd mawr 'y gwneir llawer yn gyfiawn.' Rhoddwyd anwireddau y rhai a gedwir yn erbyn Crist, a dyoddefodd y gosbedigaeth o'u herwydd, fel pe buasai ef ei hun wedi eu cyflawni; ac felly hefyd rhoddir cyfiawnder Crist o du y pechadur, fel pe buasai ef wedi ei wneuthur ei hunan. Y mae rhyw dra rhagorach mawredd mewn bod yn gyfiawn yn Nghrist, na phe buasem wedi gallu gwneuthur cyfiawnder yn ein personau ein hunain. Nid oedd gan Adda yn ei sefyllfa o ddiniweidrwydd ond cyfiawnder dynol; nid oedd gan angelion Duw ond cyfiawnder angelaidd; eithr y mae y pechadur tlawd a gredodd yn Nghrist 'wedi ei wneuthur yn gyfiawnder Duw ynddo ef.'

Sylwyd fod yr athrawiaeth hon o'r pwys mwyaf. Os na roddwyd ein pechodau ni ar Feichnïydd, byddant arnom ein hunain byth, ac os nad yw cyfiawnder y Meichiau hwnw o'n plaid, yr ydym yn ngafaelion colledigaeth.

Y mae yr athrawiaeth hon i'w thrin yn gymhwysiadol. Wrth ei chymhwyso at bechaduriaid, rhaid sicrâu iddynt eu bod dan y cyfrifiad cyntaf, ac nad oes obaith iddynt am ddedwyddwch heb gyfrifiad o gyfiawnder yr Emanuel. Os gofyn rhywun, a roddwyd fy mhechodau i arno? digon o ateb yw, 'Cred, a chadwedig fyddi;' ni chollir pwy bynag a gredo. Pa sicrâad mwy a all pechadur ei ddymuno na hyny, 'Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim.' Mae y ddau beth hwn yn athrawiaeth yr efengyl yn ddysglaer fel yr haul: colledigaeth pechadur yn gwbl o hono ei hun, a'r oll o'i gadwedigaeth o Dduw.

2il. Sylwyd ar y llwybr y dygir pechaduriaid i undeb â Christ, er eu cyfiawnâad.

Mae yr ysgrythyrau yn son am undeb â Christ mewn dau olygiad:—undeb deddfol neu gyfammodol, ac undeb ysbrydol trwy ffydd, mae y naill yn sylfaen i'r llall. Mae yr undeb dirgeledig neu ysbrydol yn cael ei weithredu gan yr Ysbryd Glân. 'Wrth hyn y gwyddom ei fod ef yn aros ynom, sef o'r Ysbryd a roddes efe i ni.' Mae yr enaid yn cael y cyfiawnder pan y'i hunir â'r hwn â'i gwnaeth.

Y mae gwaith yr Ysbryd mor angenrheidiol â gwaith Crist. Yr oedd y fath angenrheidrwydd am yr Ysbryd fel yr oedd yn fuddiol i'r Ysbryd ddyfod. Buddiol oedd i Grist ddyfod i'r byd, ac wedi iddo orphen ei waith, buddiol oedd iddo fyned ymaith o'r byd, er mwyn anfon yr Ysbryd i'r byd. Gyda yr un sail y gallem feddwl y medrem wneyd gwaith Crist drosom âg y medrem wneyd gwaith yr Ysbryd ynom. Mae y naill mor angenrheidiol â'r llall er fod gwahaniaeth yn eu gweithrediadau. Yr oedd Crist yn gweithio hebom ni, ond y mae yr Ysbryd 'yn gweithio ynom ewyllysio a gweithredu.' Nyni sydd i gredu, edifarâu, a charu Duw,

ac y mae efe yn gweithio ynom ni, fel y gwneler hyny genym ni. Nid ydym i olygu y bywyd ysbrydol, neu yr anian ddwyfol a gyfrenir gan Ysbryd Duw, fel *lwmp* o rywbeth, ond fel egwyddor sy'n rheoleiddio yr holl enaid; mae yn oleuni yn y deall, yn gariad yn y serchiadau, yn iawn farn yn y gydwybod, ac yn ufudd-dod yn yr ewyllys. 'Rhoddaf ysbryd newydd o'ch mewn.'

Y mae yn anghenrheidiol i ni wasgu at ddyn ei ddyledswydd a'i gyfrifoldeb, ond gofalwn, ar yr ochr arall roddi, i'r Ysbryd Glan ogoniant ei waith. Ymofynwn am ffrwythau yr Ysbryd arnom ein hunain, a gweddiwn am dywalltiad o hono er argyhoeddi y byd.

III. Sylwyd AR AELODAETH A DYSGYBLAETH EGLWYSIG.

Mae yn arwydd o adfeiliad eglwysig, os bydd parodrwydd i dderbyn pob math i mewn i'r eglwys, ac anmharodrwydd i droi neb ar un achlysur allan o honi. Mae y tair rheol gyntaf o'r Rheolau Dysgyblaethol yn ein cyfarwyddo beth yr ydym i chwilio am danynt wrth dderbyn rhai i'r eglwys. Arwyddion bywyd yw y pethau a ddynodir yno. Os llenwir yr eglwysi âg aelodau meirwon, ceir tal am hyny mewn terfysgoedd a rhwygiadau. Efallai nad oedd cymmaint o berygl i ddynion cnawdol ddyfod i'r eglwys yn nechreuad Methodistiaeth yn Nghymru ag sydd yn awr. Yr oedd byd ac eglwys y pryd hyny yn mhell iawn oddiwrth eu gilydd, a chrefydd yn ddrud i lawer. Ond yr ydym ni yn awr yn cael pob tawelwch, ac y mae effeithiau cyffredinol yr efengyl, a'r Ysgol Sabbathol, wedi gwareiddio llawer iawn ar ein gwlad. Os daw pobl y byd trwy ddiwygiadau cyffredinol atom ni, a ninnau trwy adfeiliad yn myned yn nes atynt hwy, gallwn wneyd *compromise* i fyw yn gytun. Ond dylid cofio fod argyhoeddi ac aileni yr un peth yn awr ag yn yr amser hwnw. Er i'r iawn sylfaen fod genym, gallwn bentyru llawer o bethau arni heblaw aur, arian, a meini gwerthfawr; gallwn oruwchadeiladu coed, gwair, a sofl arni; 'y tân a brawf waith pawb pa fath ydyw.' Llawer tân heblaw tân y farn olaf a ddengys waith llawer Gweinidog.

Dylai swyddogion eglwysig feddu llawer o ysbrydolrwydd meddwl, a phrofiad duwiolfrydig, i edrych i mewn am waith Ysbryd Duw yn yr ymgeiswyr am aelodaeth eglwysig. Y mae hwn yn wir yn lle ofnadwy. Pa fodd y gall pregethwr neu flaenor, wedi bod â'i feddylfryd gyda'r byd trwy yr wythnos, chwilio yn addas am beth mor uchel a sanctaidd a dechreuad dirgeledig 'y gwaith da' yn yr enaid? Y mae llawer o wahaniaeth yn null yr argyhoeddiad; mae rhai â'r gweithrediadau sancteiddiol arnynt yn fwy dystaw a graddol. I drin dynion, rhaid astudio y natur ddynol; ac i dderbyn ac ymgeleddu dynion Duw, rhaid bod yn wybodus am yr anian ddwyfol.

Y mae yn anghenrheidiol fod llygad yr ymdriniaeth eglwysig ar y rhai a ddelo atom, i'w harwain at bechadurusrwydd a cholledigaeth y cyflwr, ac oddiyno at y Gwaredwr. Gwelir rhai wedi dyfod i'r eglwys yn fuan yn dysgu cwyno am waeledd eu crefydd, yn addef eu caledwch neu eu tywyllwch, heb son dim am golledigaeth y cyflwr a threfn y rhyddhad. Dylem ofni llawer ar un llaw rhag magu cnawdolrwydd yn yr eglwys, ac ar y llaw arall rhag diystyru dydd y pethau bychain. Os cawn arwyddion o barch i Dduw, awydd i ryngu ei fodd, chwant hunanymwadu a dilyn Crist, er na bydd y pethau hyny ond bychain, edrychwn arnynt fel 'peth daioni tu ag at Arglwydd Dduw Israel,' a meithrinwn hwy yn ol esiampl Crist, yr hwn 'ni ddryllia gorsen ysig, ac ni ddiffydd lin yn mygu.'

Sylwyd y dylem arfer pob moddion i geisio troi pechaduriaid, ond nid eu hela yn aelodau eglwysig heb eu troi. Gwyliwn osod y *seiat* yn lle Mab Duw. Ymddyddanwn yn grefyddol a'n cymmydogion, a gwnawn bob egni er eu cael at Grist. 'Cymhellwch hwy i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhŷ.' Nid oes dyfod i'r tŷ yn iawn heb ddyfod at Grist.

Gwnawd rhai sylwadau gyda golwg ar y plant a fegir yn yr eglwys. Mae rhai swyddogion eglwysig yn rhy ddiofal gyda hyn, esgeulusant y plant wedi iddynt dyfu i fyny, ac felly rhoddant achlysur iddynt i gilio ymaith. Dylid eu maethu yn addysg ac athrawiaeth Swper yr Arglwydd, fel mewn canghenau eraill, a cheisio addfedu eu meddyliau i ddyfod yn mlaen. Wedi iddynt ddyfod i oedran addas i 'iawn farnu corff yr Arglwydd,' os byddant yn ddiargyhoedd yn eu rhodiad, yn dangos ymlyniad wrth achos Crist, ac yn arwyddo dymuniad i nesu at fwrdd yr Arglwydd, er na byddant yn uchel mewn profiad, ni bydd genym le i'w gwahardd a'u gwrthod. Pan fo plant yn afreolus, yn aflonydd yn y moddion, &c. o saith i ddeg oed, dylid galw y rhieni i gyfrif yn gyntaf. Anaml y mae hyn yn dygwydd ond y lle y byddo diffyg dysgyblaeth deuluaidd. Bu raid i Ismael fyned allan o dŷ Abraham, a bu raid i'w fam fyned ar yr un dydd. Dylai rhieni ddechreu yn fore iawn i ddysgu eu plant, a'u dal mewn ufudd-dod. Y rhai fyddo yn para yn gyndyn ac afreolus wedi dyfod i oedran, ni ellir ond eu diarddel.

Sylwyd ar ranau dysgyblaeth eglwysig. Dysgyblaeth yw cyfranu addysg i'r dysgyblion, a gweini ceryddon yn ol yr angenrhaid. Llawer o bethau sydd i'w dysgu i grefyddwyr ieuainc. Dylid eu hyfforddi pa fodd i ymddwyn yn nhŷ Dduw, yn eu tai eu hunain, ac yn y byd. Yn mhlith pethau eraill, dylid eu dysgu yn nghylch yr ordinhad o weddi. Mae yn

berygl rhoddi rhai i weddio yn gyhoeddus yn rhy fuan, cyn eu sefydlu yn egwyddorion crefydd, pan na byddont yn gallu tymheru zel a gwybodaeth. Mae rhai wedi myned i roddi cyfarfodydd gweddiau o flaen ac yn lle pregethu yn efengyl; mae hyny yn wrthwyneb i ordeiniad Duw. Dylai yr holl gyfarfodydd fod o dan olygiaeth yr eglwys.

Dywedwyd am yr anghenrheidrwydd o ddoethineb a gonestrwydd wrth weini ceryddon eglwysig. Dylid ymogelyd rhag pob peth tebyg i falais ac ymddial ar un tu, a rhag derbyn wyneb a gwyro barn ar y tu arall. Ni ddylai dim ein tueddu i geryddu neb, ond cydwybod dros y gwirionedd, na dim ein tueddu i arbed neb a ymddangoso yn ol y gwirionedd yn haeddol o gerydd. Mae yn rhaid i swyddog eglwysig ymddwyn uwchlaw teimladau hunanol a phersonol; nid yw i ddwyn gormod tynerwch at y troseddwr oblegid rhyw garedigrwydd oddiwrtho, nac i arfer ffyrnigrwydd ato oblegid un annhiriondeb a gafodd oddiwrtho. Mae eisiau arafwch cyn myned i alw un yn gyhoeddus yn yr eglwys am ryw fai; mae llawer wedi gwneuthur hyny yn fyrbwyll, cyn cael seiliau digonol, er heb fwriad drwg; gwelwyd effeithiau niweidiol o hyny yn aros yn hir. Dylem fod yn ddynion rhydd a diduedd, yn gyffelyb i'r hen John Evans, o'r Bala; pan y deuai rhywun i achwyn am rywbeth wrtho ef, ei ateb a fyddai, Mi a ystyriaf y peth pan glywyf yr ochr arall.

Cadarnhâwyd y rheol ynghylch diarddel am briodi rhai digred. Mae priodas ynddi ei hun yn anrhydeddus; ond un o gyfreithiau teyrnas Crist yw, 'Na iauer chwi yn anghymharus gyda y rhai digred. Prioded yn unig yn yr Arglwydd.'

IV. Sylwyd AR YR ANGHENRHEIDRWYDD AM FANYLRWYDD WRTH DDERBYN RHAI I'R WEINIDOGAETH, AC I FLAENORIAETH EGLWYSIG.

Pan y byddo gwr ieuanc wedi hysbysu ei awydd am fyned i bregethu, y peth cyntaf i chwilio am dano ydyw, a oes arwyddion eglur fod ganddo grefydd bur, ac a ydyw ei gymeriad personol a theuluaidd yn dda; ynghyd â hyny, a oes ganddo dipyn o wybodaeth, synwyr, a dawn; ac a oes rhyw lewyrch gyda'i weddio, ei gateceisio, a'i ymarferiad dan y pulpud cyn iddo esgyn yno. Wedi cael boddlonrwydd ynddo i roddi caniatâad iddo dreio, doeth fyddai iddo ddweyd tipyn gyda rhyw hen frawd yn y weinidogaeth, yn awr ac eilwaith; byddai hyny yn fantais erbyn y Cyfarfod Misol i roddi barn am dano, a chyfarwyddiadau iddo.

Mae yn anhawdd bod yn rhy fanwl wrth dderbyn rhai yn ddiaconiaid neu yn flaenoriaid eglwysig. Mae llawer mewn eglwysi yn euog o swyddymgais, yn chwennych y blaen; a gellid meddwl fod rhai eglwysi yn ystyried y gôt fawr a'r ceffyl, neu y sefyllfa gysurus, yn ddigon o gymhwysderau i un fod yn flaenor. Y mae eisiau dwyster mawr cyn ac wrth ddewis rhai i olygu yn eglwys Dduw; dylid gwneuthur hyny mewn ympryd a gweddi, a thrwy gydymgynghoriad pwyllog.

Sylwyd fod adfeiliad crefyddol yn fynych yn tori allan yn y swyddogion mewn tra-arglwyddiaeth, ac yn yr eglwysi mewn diffyg o gydnabyddiaeth o awdurdod y blaenoriaid. Mae rhyw 'lywodraethu yn yr Arglwydd' yn bod, sef bod Duw i'w weled mor amlwg yn y swyddwyr, nes na allo yr aelodau ond ymostwng iddynt.

*(I'w barhau)*

---

# BARDDONIAETH.

## Y BEDD.

Pa le mae'r gorthrymwr a'n llanwai â braw,
Gan ddal y deyrnwialen o aur yn ei law,
Ddychrynai deyrnasoedd pan wgai o'i sedd?
Mae'n wael a dirmygus yn pydru'n y *bedd*.

Pa le mae'r gariad-ferch gan harddwch ei phryd,
A 'styrid yn gampwaith holl natur i gyd;
'Rhon doniai fynwesau gan decaed ei gwedd?
Fel rhosyn fe syrthiodd,—mae'n pydru'n y *bedd*.

Pa le y mae'r nwyf-lanc, oedd gryf megys cawr;
A'i wisg yn odidog, a'i falchder yn fawr;
A'i olwg fel brenin, gan wychder a hedd?
Mae hwnw yn ymborth i bryfaid y *bedd*.

Pa le mae enwogion y byd o bob lle;
Yr adsain sy'n ateb, gan lefain pa le;
Y doeth a'i resymau, y dewr gyda'i gledd?
Maent oll yn ddigyfrwng yn pydru'n y *bedd*.

Pa le mae'r Seryddwr myfyrgar oedd gynt?
Pa le mae'r philosophydd doeth ar ei hynt?
Y *Beirdd* a'r Cerddorion? maent oll yr un wedd,
Yn distadl bydru'n argelfa y *bedd*.

Wel, gwelwn mai ofer rhoi'n hyder a'n ffydd,
Ar bethau y ddaear—gan leied eu budd;
Bydd raid i'r rhai hyny yr awrhon a'n medd
Yn fuan eu gadael a myned i'r *bedd*.

O. R.

# Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

Fy Hoffus Gyfaill,—Ar ol ysgrifenu y llythyr y buoch mor fwyn a'i gyhoeddi yn y *Drysorfa* am fis Awst, gyda Rheolau y Gymdeithas uchod, derbyniais lythyr oddiwrth Genadwr enwog yn yr India Ddwyreiniol, sef Dr. Wilson, Bombay; ac ar ddeisyfiad amryw o frodyr i ba rai y dangosais ef, yr wyf yn awr yn danfon i chwi gyfieithiad o hono, gan hyderu y rhoddwch le iddo yn y rhifyn nesaf o'r *Drysorfa*.

Dealler mai un o genadau Eglwys Scotland yw Dr. Wilson. Sefydlodd Cymanfa Gyffredinol yr eglwys hono Genadaeth yn Bombay tua deng mlynedd yn ol; a chaniateir yn gyffredin fod mwy o lwyddiant wedi bod ar lafur y genadaeth hono, yn mysg yr Europeaid yn gystal a'r brodorion, nag un genadaeth arall sydd yn y parthau hyny. Yn mherthynas i Dr. Wilson, y mae yr Adroddiadau helaeth a dyddorol y mae yn arfer eu danfon i Gyfeisteddwyr y Gymdeithas y perthyna iddi, yn ddigon i brofi ei fod yn wr o ddoniau eang, a chyrhaeddiadau uchel annghyffredin, a bod ei sel yn achos Mab Duw yn ddiflino. Y mae hefyd yn hynod am ei garedigrwydd, ei gydymdeimlad, a'i barodrwydd i groesawu a gwasanaethu i gysur crefyddwyr (o ba enwad bynag y byddont) y rhai a alwant gydag ef. Cafodd fy nghyfaill, y Parch. Josiah Hughes, brawf o hyn, pan ar ei daith i Malacca. Derbyniwyd ef yn siriol gan Dr. Wilson, a bu yn lletya yn ei dŷ am bum' wythnos, gan dderbyn pob ymgeledd a chysur y gallai eu dymuno.* Yn ystod yr amser hwnw, ffurfiwyd cyfeillgarwch agos rhwng y ddau genadwr, a chafodd Mr. Hughes gyfleustcr i wneud ei lettŷwr yn hysbys o farn athrawiaethol, rheolau dysgyblaeth, a gweithrediadau y Trefnyddion Calfinaidd. Mewn llythyr caruaidd a ysgrifenodd Dr. Wilson at Ysgrifenydd Cymdeithasfa y Corph, cyfieithiad o'r hwn a gyhoeddwyd yn y *Drysorfa* (Llyfr II. tu dal. 120.) dywed ei fod yn golygu ein Cyffes Ffydd yn grynodeb byr ac eglur o'r gwirionedd, a bod yn hynod o dda ganddo weled ynddi goffâd pendant o athrawiaeth Etholedigaeth, Prynedigaeth neillduol, a gosodiad Crist yn lle a thros bersonau yr etholedigion. Dywed yn mhellach ei fod yn ystyried ein Rheolau Dysgyblaethol mor ragorol, fel y bu iddo eu cyfieithu i'r iaith Mahrattaeg; a deallwyf fod un o'r ddau gopi o'r cyfieithiad hwnw a anfonodd ef yma, genych chwi. Yr oedd amryw o honom yn hysbys o'r pethau rhag-grybwylledig, a barnasom y byddai yn ddymunol ysgrifenu at Dr. Wilson, i hysbysu iddo ein bod wedi penderfynu sefydlu Cymdeithas Genadol Dramor, os caem ganiatâd y Gymdeithasfa Chwarterol i wneyd hyny, ac i ofyn ei farn ef o barth y lle goreu i sefydlu Cenadaeth, a'r llwybr goreu i'w chynal. Yn ganlynol, ysgrifenais ato yn mis Chwefror diweddaf, ac yn ei atebiad i'm llythyr, cefais brawf ychwanegol o wirionedd yr hyn a glywswn o'r blaen am ei garedigrwydd, a'i barodrwydd i roddi pob cymhorth a allo i ni fel Corph pa bryd bynag y dechreuem weithredu ar ein penau ein hunain gyda'r achos Cenadol. Fel y canlyn y mae ei lythyr ef:—

Bombay, *Mehefin* 22, 1840.

"Fy anwyl Syr,—Y mae eich llythyr, dyddiedig Chwefror 24, wedi cynhyrfu ynof ddiolchgarwch gwresog i'r Hwn a roddodd y cenedloedd yn etifeddiaeth i'w Fab, a therfynau y ddaear i'w feddiant. Yr wyf yn llawenau o'i herwydd, oblegyd y mae'n rhoddi prawf i mi fod cyfran o'r eglwys weledig, ag sydd yn awr yn nodedig am ei phurdeb mewn athrawiaeth, ac am ei *zeal*, ac a gafodd gynt y rhagorfraint o fwynâu gweinidogaeth ysbrydol a nerthol *Harris*, a *Rowlands*, a *Charles*, ar gydnabod y ddyledswydd sy'n gorphwys arni, yn ei 'stâd gorfforedig, i wneyd yr hyn a allo er lledaeniad yr efengyl yn nhywyll leoedd y ddaear. Yr wyf yn llawenau o'i herwydd, oblegyd y mae'n hysbysu i mi fod yr Arglwydd ei hunan wedi tueddu calon un o'ch brodyr ieuaingc,—ffydd yr hwn, debygid, a gafodd ei phrofi yn llym, i ddyweyd, 'Wele fi, anfonwch fi,' hyd yn nod cyn i chwi ofyn, 'Pwy a anfonwn, a phwy a â trosom?' Yr wyf yn llawenau o'i herwydd, oblegyd y mae'n rhoddi lle i hyderu y dechrouir cenadaeth arall yn fuan yn Ngogledd-orllewin yr India, rhan o'r byd sydd wedi cael ei hesgeuluso i fesur mawr hyd yn hyn, er ei bod, oherwydd ei sefyllfa ddaearyddol, y rhan fwyaf pwysig, ef allai, ag sydd yn awr o dan awdurdod llywodraeth Gristionogol.

"Digwyddodd i'ch llythyr fy nghyrhaeddyd pan oeddwn yn nghylch chwe' chan' milltir o *Bombay*, ar daith o ymchwiliad a phregethu; ac mewn trefn i chwi lafurio yn y rhan fwyaf gobeithiol o'r maes sydd etto heb ei meddiannu, bernais yn angenrheidiol a gweddus wneyd y cyfryw ymchwiliadau neillduol ag a allent gynorthwyo eich Cymdeithas i ffurfio barn gywir y'mherthynas i gylch-le ei gweithrediadau. Tueddir fi i'ch cynghori i sefydlu Cenadaeth yn ngogledd-barth Gujarat. Caiff sefyllfa a rhagoriaethau y lle hwnw fod yn destun llythyr arall; ond yn y cyfamser, fel na choller dim amser yn eich rhagbarotoadau,

* Gwel y *Drysorfa* am 1831, tu dal. 172.

cyfeiriaf yn bresennol at y gwahanol faterion y galwasoch fy sylw atynt yn eich llythyr.

"1. Y mae £200 yn y flwyddyn yn ddigonol i gynal Cenadwr (heb briodi) yn gysurus, ac i dalu ardreth ei dŷ, a chostau cyffredin ei deithiau, mewn unrhyw ardal gyfagos i Bombay, ond nid yn y ddinas ei hun. Dylai gwr priod, yn y cyffelyb amgylchiadau, gael £250 am y pum' mlynedd cyntaf o'i drigfa yn India, a £300 wedi hyny (os bydd ei deulu yn lluosogi.) Dylai £60 gael eu rhoi i Genadwr, ar ei ddyfodfa i'r wlad, i'w gynorthwyo i brynu dodrefn, y'nghyda rhyw fath o gerbyd i deithio. Gwell ydyw talu cyflogau mewn symiau pennodol, na chymysgu cyfrifon trwy gadw gwahanol gostau ar eu penau eu hunain. Dyma'r drefn y mae Cymanfa Gyffredinol Eglwys Scotland wedi ei mabwysiadu, a gallaf ddywedyd oddiar brofiad, mai dyma'r drefn sydd fwyaf boddaol i deimladau Cenadwr. Telir cyflogau Cenadon, yn gyffredin, yn chwarterol, naill ai trwy iddynt hwy dynu *Bill* ar y Gymdeithas sydd yn eu cynal, neu i'r Gymdeithas hono anfon *Banker's Bills* iddynt hwy i'w gwerthu. Yr wyf yn barnu mai y llwybr olaf yw y mwyaf cynil ar y cyfan. Y mae cyfraniadau llëawl oddiwrth gyfeillion y Gwaredwr, (o ba rai y gellwch ddysgwyl cael rhan), yn cael eu defnyddio, yn gyffredin, i gynal ysgolion; ac efallai y byddwch chwithau eich hunain yn abl i roddi rhyw symiau i'ch Cenadau tuag at gynal addysg Gristionogol.

"2. Os gall Cenadwr gael 'ymgeledd gymhwys' iddo, chwanegir ei gysur a'i ddefnyddioldeb yn fawr. Dylai gwragedd Cenadon, fel hwy eu hunain, fod yn hynodol am eu duwioldeb, eu *zeal*, eu talentau, a'u cyrhaeddiadau. Fel esiampl o'r hyn a ellir ei gyflawni mewn Cenadaeth trwy fenyw ymroddgar, ac o aliuoedd uchel, cymerwyf y rhyddid o gyfeirio eich sylw at hanes fy hoffus wraig, y trydydd argraffiad o ba un sydd newydd ei gyhoeddi yn Edinburgh. Hyd yn nod pe buasai heb wneyd dim ond fy nghalonogi, a chydymdeimlo â mi yn fy mhrofedigaethau, gyda gwaith yr Arglwydd, buasai achos Crist wedi ei lesau trwy ei hofferynoliaeth hi. Ond yr oedd y drws o ddefnyddioldeb uniongyrchol a agorodd yr Arglwydd o'i blaen hi, yn wir yn eang iawn.

"3. Y mae Mr. Jones, mae'n ddiammheu genyf, wedi derbyn addysg gyffredinol a duwinyddol, ac wedi ymarfer peth a chyfranu gwybodaeth grefyddol i ereill. Fel rhagbarotoad da i'r gwaith Cenadol, cynghorwn i ef i barâu i dreulio peth o'i amser mewn addysgu y tlawd a'r anwybodus, ac mewn ymweled â'r ysgolion a gyfrifir yn oreu, yn mha rai y dysgir gwahanol ddosbeirth o blant. Mae y llyfrau sy'n ymdrin â hanesyddiaeth, henafiaethau, a gau-dduwaeth India, yn dra theilwng o'i sylw.

"4. Tueddir fi yn gyffredin i gynghori ymdeithwŷr i ddyfod i'r India dros y tir. Ond gan fod yr Aifft yn bresennol yn lled gynhyrfus, ac ymdeithwŷr annghynefin yn cyfarfod â rhai pethau anngbysurus gyda'r gwahanol agerdd-longau, cynghorwn Mr. Jones i ddyfod ar hyd y mor, heibio i'r Penrhyn. Gadewch i mi wybod pa bryd y bydd yn hwylio, ac os byddaf byw, byddaf yn barod i'w groesawu ar ei ddyfodiad i India.

"5. Nis gallaf yn awr roddi i chwi hysbysrwydd cywir y'nghylch y ddarpariaeth fydd yn angenrheidiol i Genadwr ei gwneyd o barth dillad; ond dylai olygu y dillad fydd yn rheidiol i'r fordaith,—llawer o honynt yn ysgeifn a gweddus i'r hinsawdd boeth hon;—llyfrgell dda, a dim rhagor o ddodrefn nag a fydd yn angenrheidiol i'r *Cabin*.

"Bydd yn ddywenydd genyf anfon yr '*Oriental Christian Spectator*' i chwi. Cofiwch fi'n garedig at Mr. Hughes. Ni chlywais oddiwrth ei fab (y Parch. Josiah Hughes) er ystalm, ond yr wyf yn dymuno ei lwyddiant gymaint ag erioed. Dywedwch air o galondid trosof wrth Mr. Jones. Ar ffyddlondeb Arglwydd y cynhauaf gall hyderu yn dawel.

"Gan ddymuno fod i fendith Duw orphwys ar yr eglwys yr ydych yn gysylltiedig â hi, ac ar bob ymdrech y gellwch yn bersonol ei gwneyd i ledaenu teyrnas y Gwaredwr,

"Ydwyf, fy anwyl Syr,
Yr eiddoch yn ddiffuant
JOHN WILSON."

Goddefwch i mi'n awr wneyd ychydig sylwadau ar rai pethau yn y llythyr uchod. Nid yw Cyfarwyddwyr y Gymdeithas wedi penderfynu etto pa un a wnant, ai dilyn cynghor Dr. Wilson, a sefydlu Cenadaeth yn Gujarat, ai ynte dechreu ar Fryniau Kassiah, lle y mae'r Parch. J. Tomlin (yr hwn a fu am flynyddoedd yn Genadwr ffyddlon a llafurus yn India, ond sydd yn awr yn preswylio yn Treborth, gerllaw Bangor) yn ein cynghori, er ys blynyddoedd, i anfon Cenadwr. Mewn llythyr a dderbyniais oddiwrth y gwr hwnw ychydig fisoedd yn ol, ac yn yr hwn y mae'n adrodd llawenydd ei galon wrth glywed ein bod wedi derbyn ffydd i ddechreu ar y gwaith da o anfon Cenadau gyda newyddion da efengyl ein hiachawdwriaeth i drigolion y dwyrain pell, dywed fel y canlyn:—"Bûm yn preswylio am agos i flwyddyn yn mysg y Kassiahaid, y rhai sy'n wasgaredig dros res hirfaith o fryniau, o bump i chwe' mil o droedfeddi o uwchder, ac yn trigo mewn pentrefi sy'n amrywio yn lluosogrwydd eu trigolion, ac o dan awdurdod pennaethiaid, un o ba rai sydd yn ben ar 70 o bentrefi. Y maent yn bobl weithgar a diwyd, heb nag eilun, na theml, nac offeiriad, er eu bod yn dra choelgrefyddol; ac y maent yn

llawer mwy parod i dderbyn yr efengyl na *Hindoos* yr isel diroedd. Mae eu hiaith yn un dra hynod; ond gellir ei dysgu mewn blwyddyn neu ddwy gan ddyn o alluoedd cyffredin.* Yr oeddwn i yn gallu ymddyddan â hwy yn lled rwydd, yn mhen wyth neu naw mis; a chyn ymadael â'r bryniau cefais yr hyfrydwch o dystiolaethu wrth y bobl newyddion da yr iachawdwriaeth sydd trwy Iesu Grist, mewn amryw o'u pentrefi.

"Gall Cenadwr a'i deulu fyw yno am hanner y swm a fyddai'n angenrheidiol yn Calcutta, ac am y drydedd neu y bedwaredd ran o'r hyn a gostiai iddo yn Lloegr. Mae ymborth yn hynod o rad yno: ceir buwch am ddeg swllt, dafad neu afr am ddau swllt, wyth o gywion ieir am swllt, can' pwys o *rice* am ddau swllt, a physgod am geiniog neu 1½c y pwys! Gellir codi cloron a bresych ddigon mewn gardd." Dywed yn mhellach fod yr hin, am y rhan fwyaf o'r flwyddyn, yn hyfryd iawn, a bod pob rhwyddineb i'w gael i anfon llythyrau neu arian yno. Ymddengys hefyd fod gwr boneddig o Sais yn preswylio yno, ac yn barod i roddi lletty i Genadwr hyd nes y caffo dŷ iddo ei hun; a mynych y bydd y gwr hwnw yn attolygu ar Mr Tomlin i anfon Cenadwr yno. Yn ngwyneb y pethau hyn tueddir fi i gynghori fod gweithrediadau ein Cymdeithas fabanaidd i ddechreu ar Fryniau Kassiah; er fy mod, yr un pryd, yn ystyried y byddai cael gosod Cenadwr mewn ardal nes i'r fath wr a Dr. Wilson, fel y gallai ofyn ei gyfarwyddyd a'i help, pan fyddai achos, yn beth gwerthfawr iawn, serch i ni orfod talu llawer mwy am ei gynnaliaeth yno. Ond ar gyfer y peth olaf a enwais, gallaf grybwyll fy mod yn dra sicr y byddai yr hyglod Dr. Duff, Cenadwr Eglwys Scotland yn Calcutta, mor barod a Dr. Wilson i wneyd a allai i'n cynnorthwyo, pe danfonem Genadwr i Fryniau Kassiah. Yn mha un bynag o'r ddau le y sefydlwn Genadaeth, bydd yn hawdd iawn i ni drefnu moddion i anfon cymhorth arianol i n Cenadau o'r dref hon. Adwaenom amryw o farsiandwyr galluog, y rhai a'n cynorthwyant yn y peth hwn, gyda phob llawenydd.

O dan pen. 2, crybwylla Dr. Wilson am Gofiant ei Wraig. Yr oeddwn wedi darllen y llyfr hwnw cyn derbyn ei lythyr, ac nid wyf yn cofio i mi gael mwy o ddyfyrwch, gydag adeiladaeth, wrth ddarllen unrhyw gofiant erioed o'r blaen. Yr oedd rhai pigion o'i dydd-lyfr, ac o'i llythyrau, yn peri i mi ofyn mewn syndod, Ai tybied mai gwraig a ysgrifenodd hyn? Pan gaffwyf hamdden, danfonaf i chwi gyfieithiad o ryw ddernyn o'i gwaith, fel y gallo'ch darllenwyr farnu drostynt eu hunain am helaethrwydd doniau y wraig rinweddol hono.

Gan fod Dr. Wilson, yn ei lythyr, yn enwi y Parch. Thomas Jones, efallai mai nid aumhriodol fyddai i mi sicrau yma nad ynganais i air wrtho am ymddygiad Cyfarwyddwyr Cymdeithas Genadol Llundain at y brawd hwnw, ond yn unig eu bod wedi ei wrthod. Pan ddechreuais ysgrifenu y llythyr hwn, tybiais y byddai hynyna o grybwylliad am Mr. Jones yn llawn ddigon; ond er fy mawr syndod a galar, clywais heddyw fod ymosodiad annhrugarog wedi cael ei wneyd ar ei gymmeriad, a'i alluoedd, ar g'oedd Cymdeithasfa Pwllheli. Paham y gwnaed yr ymosodiad hwnw yn absennoldeb Mr. Jones, yn hytrach nag yn ei wyneb, fel y gallesid gwneyd yn Ninbych, os oedd rhaid, ni chymeraf arnaf farnu; ond y mae'n wir yn resyn fod neb o'n brodyr yn iselu eu hunain gymaint trwy ymddygiad mor *anfoneddigaidd*, heb son am *anfrawdol*. Mewn trefn, modd bynag, i ostegu (*os gellir*) yr haeriadau a wneir gan rai personau am annghymhwysder Mr. Jones i'r gwaith Cenadol, ac i symud yr effaith niweidiol y gall fod y cyfryw haeriadau wedi ei gael ar feddyliau ein cyfeillion sydd heb ei adnabod ef, dodaf yma adysgrif o'r dystiolaeth a rydd ei ddiweddar athrawon i'w gymhwysderau; ac ai tybied na chaniatâ hyd yn nod ei enllibwyr fod y brodyr hyny wedi cael gwell mantais i ffurfio barn ar y mater hwn, na hwynt hwy, na fuont erioed (rhai o honynt o leiaf) yn ei gyfeillach am hanner awr.

"Bala, Medi 16, 1840.

"Anwyl Gyfaill,—Yr oedd yn syn genym glywed fod neb o'r Methodistiaid Calfinaidd yn gallu dyweyd am Mr. Thomas Jones, nad yw yn meddu ar y cymhwysderau sydd yn angenrheidiol mewn Cenadwr; pan y mae Cymdeithasfa y Corph hwnw wedi ei gynyg fel y cyfryw i Gyfarwyddwyr Cymdeithas Genadol Llundain, a phan y maent hwythau wedi barnu ei fod yn addas i gael ei anfon allan yn ddioed. Ymddengys eu bod yn ofni nad oedd ei gyfansoddiad yn cyfateb i hinsawdd yr India; ond oddiwrth dystiolaethau rhai o'r Meddygon mwyaf cyfrifol yn y deyrnas, gellir casglu fod yr ofnau hyny yn hollol ddisail. Nis gallwn adael y cyfle hwn i fyned heibio heb grybwyll hefyd fod ein barn ni am dano yn aros heb ei newid na'i siglo yn y mesur lleiaf.—Ydym, anwyl gyfaill, yr eiddoch yn ddiffuant,

LEWIS EDWARDS.
DAVID CHARLES."

Bellach, terfynaf y llythyr maith hwn, trwy ddiolchgar gydnabod i ni dderbyn £29 8s. 9c. at wasanaeth ein Cymdeithas, oddiwrth ein cyfeillion yn Sir Drefaldwyn, £12 16s. oddiwrth Ysgol Sabbathol y Bala, a 13s. 4½c, oddiwrth gynulleidfa fechan

* Felly y tybiwn inau oddiwrth yr hyn a welais o'r iaith, yn y llyfrau y bu Mr. Tomlin mor garedig a'u danfon yma, at wasanaeth y Parch. Thomas Jones.

'Dwysarn,' Sir Feirionydd. I bwy caf yr hyfrydwch o ddiolch nesaf? *Gobeithiwyf* mai i Gymdeithasfa Dolgelley, am roddi annogaeth i holl eglwysi y Corph yn y Gogledd i anfon eu casgliadau i'r 'Gymdeithas Genadol Gymreig,' hyd nes y delo'r Gymdeithasfa Gorphoredig i benderfyniad pa fodd i weithredu gyda'r achos cenadol.—Ydwyf, Hoffus gyfaill, yr eiddoch yn serchog, JOHN ROBERTS.

LIVERPOOL, Medi 17, 1840.

# HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

*Talfyriad o hanes Gweithrediadau a Llafur Cymdeithas Ysgol Sabbathol Ty Ddewi, am y pedair blynedd diweddaf, sef er pan y'i sefydlwyd yn nechreu y fl. 1836.*

**DERBYNIADAU.**

| Bl. | | £ | s. | c. | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1836 | Trysorwr yr Ysgol........ | £3 | 17 | 3 | | | |
| | Aelodau y Gymdeithas .... | 12 | 0 | 11 | | | |
| | Llyfrau a werthwyd ...... | 2 | 12 | 8½ | 18 | 10 | 10½ |
| 1837 | Aelodau y Gymdeithas .... | 12 | 2 | 6½ | | | |
| | Llyfrau a werthwyd ...... | 0 | 14 | 5 | 12 | 16 | 11½ |
| 1838 | Aelodau y Gymdeithas .... | 9 | 18 | 1 | | | |
| | Llyfrau a werthwyd ...... | 0 | 10 | 5 | 10 | 8 | 6 |
| 1839 | Aelodau y Gymdeithas .... | 11 | 3 | 1½ | | | |
| | Llyfrau a werthwyd ...... | 1 | 3 | 11 | 12 | 7 | 0½ |
| | Am y pedair blynedd........ | | | | £54 | 3 | 4½ |

**TREULIADAU.**

| Bl. | | £ | s. | c. | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1836 | Blwch a llyfrau i'r Gymdeithas | 0 | 19 | 4 | | | |
| | Biblau, Testamentau, &c.... | 9 | 5 | 4 | | | |
| | Cyfarfodydd yr Ysgol ...... | 1 | 10 | 0 | | | |
| | Cymdeithas y Biblau ...... | 3 | 0 | 0 | 14 | 14 | 8 |
| 1837 | Biblau, Testamentau, &c.... | 7 | 12 | 5 | | | |
| | Cyfarfodydd yr Ysgol ...... | 1 | 8 | 6 | | | |
| | Cymdeithas y Biblau........ | 4 | 0 | 0 | | | |
| | Ysgoldy Trelethidfawr ...... | 0 | 10 | 0 | 13 | 10 | 11 |
| 1838 | Biblau, Testamentau, &c.... | 3 | 10 | 8 | | | |
| | Cyfarfodydd yr Ysgol ...... | 1 | 10 | 0 | | | |
| | Cymdeithas y Biblau ...... | 2 | 0 | 0 | 7 | 0 | 8 |
| 1839 | Biblau, Testamentau, &c.... | 5 | 9 | 9½ | | | |
| | Cymdeithas y Biblau........ | 2 | 0 | 0 | | | |
| | ,, Genadol (tramor) | 2 | 0 | 0 | | | |
| | Cyfarfodydd yr Ysgol ...... | 2 | 0 | 0 | | | |
| | Dillad i blant tlodion ...... | 3 | 8 | 3 | 14 | 18 | 0½ |
| | Am y pedair blynedd ...... | | | | £50 | 4 | 3½ |
| | Yn llaw y Trysorwr ........ | | | | 3 | 19 | 1 |
| | | | | | £54 | 3 | 4½ |

MAE y Gymdeithas fechan hon wedi bod yn foddion o ddosparthu, yn ystod y pedair blynedd diweddaf, 90 o Fiblau, 92 o Destamentau, a 1492 o lyfrau ysgol cyffredin. Rhoddwyd yn rhad o'r nifer hyn, 77 o Fiblau, 81 o Destamentau, a 1344 o lyfrau ysgol.

Hwyrach, Mr. Golygydd, y bydd hyn o

hanes, os rhoddwch le iddo yn y Drysorfa, yn foddion i ddeffroi ein cydgenedl ieuanc at yr hyn a all fod yn adfywiad cyffredinol i'r Ysgolion Sabbathol. Hyfrydwch fydd-ai genym weled Cymdeithas o'r natur yma mewn cyssylltiad â holl brif Ysgolion Cymru; a diddadl pe bai un neu ddau yn mhob lle ond yn cynnyg y peth i ystyriaeth eu cyd-ysgolheigion y gwelid parodrwydd mawr i gyd-weithredu. Mae llawer o ys-golion eisoes yn gwneud casgliadau hel-aeth yn y flwyddyn heb un Gymdeithas; ond y mae lle i feddwl pe bai yno Gym-deithas, y gwnelsid cymmaint a hyny yn rhagor; ond pa gymmaint o ysgolion sydd fel ffigysbrenau diffrwyth yn yr ystyr hyn, hyd yma; a phaham? Nid eisieu modd, nac eisieu ewyllys, ond diffyg gosod y cyf-ryw ar ben llwybr. Pan fyddo gan Ysgol Sabbathol ei Chymdeithas, fe fydd ganddi drysorfa barhaus at ei gwasanaeth ei hun; gall gadw ei chyfarfodydd mor aml ag y byddo gweddus, heb fod dan yr angen-rheidrwydd o osod y draul ar un drysorfa arall. Gall gymmeryd o berlau teg Cym-deithas y Biblau, a'u dosparthu ym mhlith gwrthddrychau teilyngaf tref a chymmyd-ogaeth. Gall wisgo y noeth mewn dillad addas, a'i gymmell i ddyfod i'r Ysgol Sab-bathol. Mewn gwirionedd, y mae Cym-deithas mewn cyssylltiad âg unrhyw ysgol yn gosod yr ysgol hono fel y dylai fod, sef yn ymddibynol arni ei hun.

Yn awr, Mr. Golygydd, pa faint o gym-morth a farnech chwi a allai sefydliadau o'r natur yma fod i'r Gymdeithas Genadol Gymreig? Os daw holl Ysgolion Sabbath-ol y Trefnyddion Calfinaidd trwy Dde a Gogledd Cymru i'r maes, gallem gyda phob rhwyddineb, anrhegu y Gymdeithas deilwng hon â mil o bunnau bob blwyddyn. Mae o leiaf ddeg cant o Ysgolion Sabbath-ol yn perthyn i'r corph yn bresennol, ac y mae yn eithaf rhesymol i ni ddysgwyl i'r naill gyd a'r llall gasglu punt bob un. Y mae Cymdeithas Ysgol Sabbathol y Ta-bernacle, Tyddewi, yn foddlon dechreu ond i'n brodyr yn Llynlleifiad alw arnom.

Os bydd neb yn dewis gwybod am ein dull ni o fyned ym mlaen, ynghyda Rheol-au ein Cymdeithas, gallwn hysbysu hyny yn un o'r Rhifynau dyfodol. —Ydwyf, yr eiddoch,

*Tyddewi.* E. WILLIAMS.

---

TESTYNAU CYMANFA GORFFOREDIG LLANIDLOES.

Nos Fawrth, Gorph. 28, am 6, gweddiodd Mr. David Hughes, Nant caredig; a phreg-ethodd Mr. John Walters, Ystrad-Gynlais, oddiar Ioan 1. 29, a Mr. H. Rees, Liverpool, oddiar Heb. 4. 12, 13.

Nos Fercher, am 6, gweddiodd Mr. Daniel Evans, Harlech; a phregethodd Mr. David Elias, Môn, oddiar Galat. 3. 13; a Mr. John Jones, Tremadog, oddiar Esay 32. 1, 2.

Dydd Iau, am 5 y prydnawn, ar yr heol, gweddiodd Mr. Daniel Evans, Tyddewi; a phregethodd Mr. William Jones, Rhuddlan, oddiar Luc 1. 32; a Mr David Howells, Abertawe, oddiar Psal. 48. 11.

Dydd Gwener, am 5 yn y boreu, gwedd-iodd Mr. Joseph Williams, Liverpool, a phregethodd Mr. Roger Edwards, y Wydd-grug, oddiar Math. 28. 6.

Am 10, gweddiodd Mr. Evan Evans, Aber-y-ffrwd; a phregethodd Mr. William Havard, oddiar Rhuf. 1. 16; Mr. Richard Lumley, yn Saesoneg, oddiar 1 Cor. 13. 9; a Mr. Henry Rees, oddiar Gen. 17. 4.

Am 2, gweddiodd Mr. Lewis Morris; a phregethodd Mr. John Hughes, Llangollen, oddiar Act. 13. 36; a Mr. Daniel Evans, Capel-y Drindod, oddiar 1 Thes. 5. 2.

Am 6, gweddiodd Mr. Moses Parry; a phregethodd Mr. R. Roberts, Rhosllan-erchrugog, oddiar 1 Ioan 1. 7; a Mr. John Davies, gynt o Nantglyn, oddiar Diar. 8. 20, 21.

---

CYMDEITHASFA PWLLHELI.

Cynnaliwyd y Gymdeithasfa Chwarterol hon, Medi 9, 10, 11, a 12, 1840.

Nos Fercher, Medi 9fed, yn y Capel, gweddiodd Mr John Roberts, Bettws, Aber-gele; a phregethodd Mr. John Hughes, Pont Rhobert, oddiar 1 Ioan 1. 7; a Mr. John Elias, oddiar Ioan 3. 16.

Prydnawn dydd Iau, ar y maes, gwedd-iodd Mr. Benjamin Williams, Pont-y-tŷ pridd, Morganwg; a phregethodd Mr. Ellis Phillips, o Wrecsam, oddiar Esay 44. 3—5; a Mr. Richard Davies, Caio, oddiar Act. 24. 14.

Dydd Gwener, am 6 y boreu, ar y maes, gweddiodd Mr. David Williams, Trefecca; a phregethodd Mr. Daniel Jenkins, Tre-degar, oddiar Ephes. 1. 7; a Mr. Robert Evans, Llanidloes, oddiar Heb. 2. 3.

Am 10, gweddiodd Mr. Cadwalader Owen; a phregethodd Mr. John Jones, Llanbedr Pont Stephan, oddiar Exod. 14. 13; a Mr. John Elias, oddiar Ioan 3. 15.

Am 2, gweddiodd Mr. Roger Edwards; a phregethodd Mr. William Williams, Tal-garth, oddiar Phil. 3. 10; a Mr. William Morris, Tŷ Ddewi, oddiar 2 Cron. 18. 4.

Am hanner awr wedi 5, gweddiodd Mr. Richard Williams, Liverpool; a phregeth-odd Mr. William Williams, Rumney, oddiar Act. 20. 21; a Mr. W. Jones, Rhuddlan, oddiar Luc 15. 2.

Boreu ddydd Sadwrn, am 7, yn y Capel, gweddiodd Mr. John Thomas, Bala; a phregethodd Mr. John Jenkins, Sir Aber-teifi, oddiar Rhuf. 8. 28; a Mr. Lewis Morris, oddiar Heb. 12. 24.

Ni welwyd erioed y fath dorf o bobl yn Mhwllheli ag a welwyd yn yr oedfaon ddeg a dau; a chafwyd arwyddion hyfryd trwy yr holl gyfarfod fod yr Arglwydd gyda ei

weision. Ar ol yr oedfa prydnawn dydd Iau, cadwyd Cyfarfod Dirwestol yn y Capel, yr hwn oedd lawer rhy fychan i gynnwys y dyrfa. Areithiodd y Parchedigion John Elias, W. Williams, Talgarth, Richard Williams, John Jenkins, Rich. Humphreys, a William Morris. Yr holl areithiau oeddynt oleu a grymus iawn, ac yr oedd gwedd y gwrandawyr yn dywedyd, Da yw Dirwest. R. H.

## HANESION TRAMOR.

### YR AIPHT.

Nid oes dim sicrwydd etto am symudiadau a gweithrediadau y Llynges o flaen Alexandria, yn yr Aipht. Mae rhai yn dywedyd fod y llong-borth hwn eisoes wedi ei gau gan y Llyngesydd Stopford; a dywedir yn y *Moniteur* fod un llong Ffrengig wedi ei chymmeryd ag oedd yn llawn arfau a darpariaethau rhyfel i'r Pasha. Ond nid oes dim pwys i'w roddi ar y chwedlau hyn.

Dywed Llythyrau o Alexandria, fod pob rheswm i gredu fod Mehemet Ali, wedi galw Rifaat Bey, un o swyddogion y Porte, a'r *Consuls*, ar ddiwedd y deng niwrnod cyntaf o'r amser a roddwyd iddo gan y Sultan, a deisyf arnynt gynnyg i'r Sultan yr hyn a ganlyn:—y byddai y Pasha yn foddlon ar yr Aipht fel etifeddiaeth serawl, a Syria am ei oes, heb Adana, na Chandia. Cymmerodd Rifaat Bey y gorchwyl arno o gynnyg y peth i sylw y Sultan, a chychwynodd i Gaer Cystenyn. Ond y farn fwyaf cyffredinol yw y gwrthodir y cynnyg. Ac os felly y mae lle i ofni mai rhyfel a ddilyn.

*Ffrainc.*—Dywed rhai Newyddiaduron fod Ffrainc yn llawn cynnwrf rhyfel, a darpariaethau yn cael eu gwneuthur; ac achos ei hanniddigrwydd yw ymddygiad y teyrnasoedd ereill yn yr anghydfod sydd rhwng y Twrc a'r Aipht.

## HANESION CARTREFOL.

*Damwain alarus.*—Dydd Gwener, yr 28 o Awst, digwyddodd amgylchiad a barodd gryn gyffroad yn nhref Corwen a'r gymmydogaeth, drwy i un Jane Owens, gweinidog gyda Mr. Owens, Penybont, syrthio i'r afon a boddi. Yr oedd y drengedig, ar y dydd crybwylledig, yn golchi llestri ar fin yr afon, a digwyddodd i fochyn ddyfod i'r fan a thaflu rhai o'r llestri dros yr ymyl i'r afon, a hithau yn awyddus i gael gafael arnynt, a redodd i waered gyda'r afon i geisio eu cyrhaedd, a syrthiodd i'r dwfr, ac er iddi waeddi allan am gynnorthwy, a bod yno rai yn ei gweled, methwyd a gweinyddu un cynnorthwy iddi, canys erbyn cael ei chorph allan o'r dwfr, yr oedd ei henaid wedi ymadael. Hebryngwyd ei rhan farwol i fynwent Corwen y dydd Llun canlynol, gan amryw o aelodau Cymdeithas Gyfeillgar y Boneddigesau, o ba un yr oedd yn aelod; yr oedd hefyd yn aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, ac yr oedd gair da iddi fel merch grefyddol a gweinidog ffyddlon a gofalus. R. Roberts. *Ty'nddol, Corwen.*

*Llofruddiaeth arswydus*—Yn nghorph yr wythnos ddiweddaf traddodwyd llengcyn ieuanc i gastell y ddinas hon i aros ei brawf am lofruddio ac ysbeilio gwr a gwraig yn Peover, yn y Sir hon. Ceir tystiolaethau cryfion yn ei erbyn.

*Llofruddiaeth etto.*—Ychydig ddyddiau yn ol ymosododd rhyw adyn ar Geidwad helwriaeth Mr. Wilbraham, o fewn ychydig filltiroedd i'r ddinas hona llofruddiodd ef, ac ysbeiliodd ef o £2 8s. pan yn dychwelyd adref o dderbyn ei gyflog. Cafwyd hyd iddo ar lawr gan ei wraig: a mawr oedd ei braw a'i dychryn. Mae y llofrudd etto heb ei ddal.

*Llofruddiaeth arall.*—Yn un o Newyddiaduron diweddaf yr Amwythig, rhoddir hanes am lofruddiaeth ddychrynllyd a gyflawnwyd yn Newcastle-under-Lyme. Wedi i un o swyddogion y *Police* dori i mewn i dŷ un Martha Keeling, cafwyd corph yr hen wraig, a'i phen yn hongian dros erchwyn y gwely, wedi ei llofruddio yn echryslon. Ni buwyd yn hir cyn cael lle i ammeu pwy oedd y llofrudd, yr hwn oedd yn llettya gyda hi ychydig cyn hyny. Cafwyd allan ei fod wedi diangc gyda'r agerdd-gerbydau i Birmingham, ac oddiyno i Hartford, tua Northwich, yn Sir Gaer; a dilynir ef yn awr gan ddyn effro a bywiog iawn. Hyderir y bydd cyn hir yn nwylaw cyfiawnder.

*Hir hoedledd.*—Mae yn awr yn byw yn yr un tŷ, yn Nghastell Dinbych, hen wr a hen wraig, a merch iddynt. Yr hen wr a'r ferch wedi cael eu geni yn y tŷ hwnw. Mae oedran y tri ynghyd yn ddau gant a deuddeg a'r hugain o flynyddoedd. Mae yn debygol nad oes un man yn Nghymru yn lle iachach i breswylio ynddo na'r Castell hwn, canys mae ef ar ben bryn, a hwnw heb fod yn uchel, ac ar gyffin Dyffryn Clwyd. T. C. *Dinbych.*

*Marwolaeth sydyn.*—Syrthiodd Mr. Tomlinson, o Manchester, i lawr yn farw, yn ystafell y cynghwystlo (*betting room*) rhedegfeydd Doncaster; ac oddiyno y galwyd arno i ymddangos o flaen Duw.

## BU FARW,

Ar y 3ydd o Awst diweddaf, yn Llundain, ar ol oddeutu naw diwrnod o afiechyd dwys, Jane, ail ferch Mr. John Jones, Henuriad yn Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Nolgellau. Hebryngwyd ei rhan farwol i orphwys yn monwent Bunhill Fields, i aros y dydd mawr y deffroir y marwolion oll, ar gân yr archangel ac udgorn Duw.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXIX.] TACHWEDD, 1840. [LLYFR X.


## ARFAETH DUW.

"Yr hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun."—PAUL.

"Darfu i Dduw er tragywyddoldeb, arfaethu pob peth a wnai efe mewn amser, ac i dragywyddoldeb."—CYFFES FFYDD.

AMLWG yw fod pob cangen o athrawiaeth yr efengyl yn berffaith unol a chyson â holl briodoliaethau Duw, â holl swyddau y Cyfryngwr, ac â holl weithrediadau yr Ysbryd. Pob cangen o athrawiaeth a dueddo i gymylu un o briodoliaethau Duw, i fychanu un o swyddau y Cyfryngwr, ac i ddiddymu un o weithrediadau Ysbryd y gras, nis gall fod 'yn ol duwioldeb.'

Y mae fod Duw wedi arfaethu pob peth, yn berffaith gyson â gogoniant ei holl briodoliaethau. Ei Hollwybodaeth; 'Hysbys i Dduw ei weithredoedd oll erioed.' Gelwir hi yn arfaeth 'yn ol rhagwybodaeth Duw Dad.' Ei 'fawr amryw ddoethineb.' Gyda golwg ar weithrediadau dyfnion yr Arfaeth y dywedodd Paul, 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw; mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt.' Ei gyflawnder a'i sancteiddrwydd, 'Cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl ffyrdd, a sanctaidd yn ei holl weithredoedd.' Ei ddaioni a'i gariad,---trwyddi y dangosir, 'rhagorol olud ei ras, a'i fawr gariad, trwy ei gymmwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu.' Ei anghyfnewidioldeb; canys, 'Ei gyngor a saif, a'i holl ewyllys a wneir.' 'Diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw.' Ei hunan-ymddibyniaeth; oblegid, 'Pwy a gyfarwyddodd Ysbryd yr Arglwydd, ac yn ŵr o'i gyngor a'i cyfarwyddodd ef? â phwy yr ymgynghorodd efe, ïe, pwy a'i cyfarwyddodd, ac a'i dysgodd yn llwybr barn, ac a ddysgodd iddo wybodaeth, ac a ddangosodd iddo ffordd dealltwriaeth?' Ei awdurdod a'i allu. 'Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch ac arall i anmharch.' Gan hyny, 'Pwy wyt ti, O ddyn, yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? A ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn?'

Teilwng o sylw yw, mai nid ar ei wybodaeth y dibyna yr Arfaeth, ond ar ei ewyllys; oblegid perthyna iddo fel llywodraethwr, attal, goddef, a gwneuthur: am hyny, gelwir hi yn 'gyngor ei *ewyllys* ef,' a 'boddlonrwydd ei *ewyllys* ef.'

Yr athrawiaeth hon hefyd sydd unol â holl swyddau y Cyfryngwr; 'Yr hwn yn wir a ragordeiniwyd cyn sylfaenu y byd,' ac a eneiniwyd 'er tragywyddoldeb, er y dechreuad, cyn bod y ddaear.' Gyda golwg ar ei swydd frenhinol, dywedir, 'A minnau a osodais fy Mrenhin ar Seion, fy mynydd sanctaidd.' 'Ac a'i rhoddes ef yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys.' 'Rhoddwyd i mi bob awdurdod, yn y nefoedd ac ar y ddaear.' 'Efe a roddes bob barn i'r Mab.' Ac 'efe yw yr hwn a ordeiniodd Duw, yn farnwr byw a meirw.' Gyda golwg ar ei swydd brophwydol, dywedir, 'Yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaidd—i gyhoeddi rhyddid i'r caethion.' Y Gair yr hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw, a ddaeth yn oleuni 'i oleuo y cenhedloedd.' 'Yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef.' Gyda golwg ar ei swydd offeiriadol, dywedir, 'Ond hwn trwy lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, ti sydd offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec.' 'Felly Crist nis gogoneddodd ei hun i fod yn Archoffeiriad; ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab; myfi heddyw a'th genhedlais di.' Gan hyny, 'Hwn a osododd Duw yn Iawn.'

Gwnaethpwyd yr Arfaeth 'y'Nghrist Iesu ein Harglwydd, cyn dechreu y

byd.' Efe yw ei phrif wrthddrych. Ei ddyrchafu ef yw eu dyben penaf; a'i holl weithrediadau ydynt wasanaethgar i hyny. Ymddiriedwyd ei chyflawniad i'w ofal: rhoddwyd 'y llywodraeth ar ei ysgwydd ef,' a 'phob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear,' i'r dyben hwnw.

Drachefn, yr athrawiaeth hon sydd gyson â holl weithrediadau yr Ysbryd. 'Yr Ysbryd sydd yn chwilio dyfnion bethau Duw.' 'Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'u carant ef; eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd.' Y mae yn cuddio pethau oddiwrth y doethion, a'r deallus, a'u datguddio i rai bychain; canys felly y rhyngodd bodd iddo.' Sonir am rai 'wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef;' 'wedi eu rhagluniaethu i fabwysiad,' wedi eu 'hethol i ffydd a gwirionedd,' ac fel y byddent sanctaidd,—'trwy sancteiddiad yr Ysbryd i ufudd-dod,'—wedi eu rhaglunio 'i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef'—ac wedi eu rhagbarotoi i ogoniant.'

Yr Arfaeth a gynnwys, nid drychfeddyliau, neu ddychymygion am bethau i ddyfod; ond penderfyniadau sefydlog a digyfnewid y Duwdod, gyda golwg ar ei holl greaduriaid, eu holl amgylchiadau, a'u holl weithrediadau, mewn amser a byth. Nid yw yn gwneuthur dim yn y tywyllwch, heb ddeall, i'r manylrwydd eithaf, pa beth y mae yn ei wneuthur; ac heb y dybenion goreu yn ei olwg; oblegid gŵyr 'y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn nis gwnaed etto.'

Gellir ystyried yr etholedigaeth a'r cyfammod fel canghenau o arfaeth Duw. Yr etholedigaeth sydd weithrediad y Duwdod yn newisiad awdwr, a gwrthddrychau iachawdwriaeth. Geilw y Tad Grist, 'Fy etholedig,' amryw weithiau. A dywedir am wrthddrychau iachawdwriaeth, 'megis yr etholodd efe nyni ynddo ef, cyn seiliad y byd.' Y cyfammod, drachefn, yw cytundeb meddwl y personau, gyda golwg ar y ffordd osodedig yn yr Arfaeth i'w hachub. Y maent yn cytuno, ac yn cyd-ymhyfrydu yn y drefn ryfedd a benderfynwyd ynddi. Yr etholedigaeth a'r cyfammod, gan hyny, ydynt yn dal perthynas neillduol âg iachawdwriaeth pechaduriaid o ddynion; a'r arfaeth a gynnwys hyny, a phob peth arall, perthynol i bob creadur y'mhob byd.

Wrth draethu am arfaeth Duw, ymdrechaf i ochelyd pob camddarluniadau o honi. Rhai a ddywedant, 'Os yw Duw wedi bwriadu eu hachub, na waeth pa bechodau a gyflawnant, na pha fodd y byddont fyw.' Nid yw hyn ddim amgen na gwahanu yr hyn a gyssylltodd Duw. Ethol fel y byddem sanctaidd a wnaeth efe. Ac fe ragddarparwyd gweithredoedd da, fel y rhodiem ni ynddynt. Rhagluniaethwyd y cadwedigion, fel y byddent er mawl i'w ogoniant ef. Ond nid ar yr ammod y byddai iddynt gyflawni gweithredoedd da yr arfaethwyd eu hachub; eithr bwriadwyd eu gwaredu o feddiant y tywyllwch, fel y mynegont 'rinweddau yr hwn a'u galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef.'

Ni ddylem olygu yr arfaeth ychwaith yn achos o bechodau neb. Byddai dywedyd fod Duw yn gorfodogi yr un o'i greaduriaid i bechu yn gabledd; oblegid drwy hyny barnem 'yr hwn sydd gyfiawn odiaeth yn annuwiol;' a diddymem un o sylfeini cyfrifoldeb dyn fel rhydd weithredydd. 'Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtir; canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio neb: yna y temtir pob un, pan y tyner ac y llithier ef gan ei chwant ei hun.' Caf ymhelaethu ar hyn mewn man arall.

Edrychir ar Dduw, gan rai dynion, fel gwr caled, wrth benderfynu cosbi ei elynion, heb ystyried mai pechod yw yr achos. Ni threfnodd y Duw cyfiawn gosbi yr un creadur dibechod. 'Nis gall efe ei wadu ei hun.' Y mae o angenrheidrwydd, fel Duw cyfiawn a sanctaidd, yn rhwym o amddiffyn ei gyfraith a'i lywodraeth, yn ngosbedigaeth gwrthryfelwyr. Amlwg yw, ei *fod* yn cosbi, ac nid yw *arfaethu* cosbi yn waeth na'i *wneuthur*. Gweithred ogoneddus a chyfiawn o eiddo Duw yw hon; oblegid, 'nid arbedodd ei briodfab,' pan yn dwyn pechodau ei bobl 'yn ei gorph ar y pren.'

Ni ddylid byth osod yr arfaeth yn rhwystr ar ffordd pechadur i ddyfod at Grist. Pob peth ynddi sydd fanteisiol er achubiaeth pechaduriaid. Ni buasai yr un Gwaredwr, oni buasai i Dduw ei drefnu. 'Ni buasai gadwedig un cnawd oll;' ac ni buasai maddeuant am yr un pechod, oni buasai fod Duw wedi ordeinio cadw a maddeu. 'Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi, a ddaw ataf fi,' dyna drefn Duw. 'A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan

ddim.' Dyna lwybr agored ô flaen pechadur. Penderfyniad y Duwdod yn ei arfaeth ydyw, 'Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.' 'A'm gelynion hyny, y rhai ni fynasent i mi deyrnasu arnynt, dygwch hwynt yma, a lleddwch hwynt ger fy mron.'

Weithiau, gosodir allan yr arfaeth yn y fath fodd, fel y meddylid, mai ofer yw ymarfer â moddion. Y mae hyn yn hollol ddieithr i air Duw, ac yn diddymu prif ddyben pregethiad yr efengyl, a'r ordinhadau. Arfaethwyd y moddion yn gystal a'r dyben, fel y cawn gyfle i ddangos etto.

Yn awr, ymdrechaf i sylwi ar fanylrwydd, a helaethrwydd, arfaeth Duw. Yr wyf yn aml yn brawychu, ac yn ofni, rhag i mi dywyllu cyngor Duw 'âg ymadroddion heb wybodaeth!' Yr Arglwydd a roddo i mi ysbryd doethineb a datguddiad, fel y caffwyf syniadau cywir am ei ddyfnion bethau!!

I. Arfaeth Duw mewn perthynas i'r greadigaeth fywydol.

II. Arfaeth Duw mewn perthynas i'r greadigaeth ddifywyd.

III. Arfaeth Duw mewn perthynas i bob math o weithredoedd.

I. Mewn perthynas i'r greadigaeth fywydol. Y greadigaeth fywydol sydd i'w dosparthu yn ddwy ran; y rhan resymol, a'r rhan afresymol. Cynnwys y rhan resymol ddau fath o greaduriaid; angelion, a dynion, Y mae dau fath o angelion yn bod, angelion da, ac angelion drwg.

1. Yr angelion da ydynt wrthddrychau arfaeth Duw. Oherwydd ei ewyllys ef y crewyd hwynt; ac 'yn ol ei ewyllys (yn ol ei arfaeth, a'i gyngor tragywyddol) y mae yn gwneuthur â llu y nef.' Ei weision ef ydynt; gwneuthur ei air ef y maent; y maent dan ei awdurdod, ac yn gyfrifol iddo. A'i ewyllys ef hefyd yw yr achos o'u parhad yn eu sancteiddrwydd, eu dedwyddwch, a'u gogoniant. Gelwir hwy 'Yr angelion etholedig.' Gyda golwg ar hyn y gelwir hwy 'yn angelion Duw,' nid yn unig am eu bod yn greaduriaid; yr ysbrydion drwg ydynt felly hefyd; ond oblegid eu bod wedi eu dewis ganddo, a'u hordeinio i fod yn ddedwydd gydag ef am dragywyddoldeb. Mewn cyssylltiad â'r arfaeth y dywedir, 'Fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi yn Nghrist yr holl bethau yn y nefoedd—ynddo ef.' Etholwyd hwy yn Nghrist. Nid ynddo fel Cyfryngwr, oblegid ni wrthryfelasant yn erbyn Duw, am hyny nid oedd angen am gyfryngwr i wneuthur heddwch rhyngddynt â Duw: eithr ynddo fel eu pen, fel eu brenin, i'w llywodraethu, i'w diogelu, a'u cynnal yn eu stad o berffeithrwydd. Ac felly y gelwir Crist yn 'ben pob tywysogaeth ac awdurdod.' Trefnwyd iddynt fod yn wasanaethgar i ddwyn y'mlaen deyrnas Crist ar y ddaear. 'Ysbrydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth.' Ond nid ar gyfrif eu gwasanaeth hwy y dewiswyd hwy; na, nid oedd dim teilyngdod ynddynt hwy na'u gwasanaeth: yn ol boddlonrwydd ewyllys Duw y gwnaed hyny. Y mae y gair wedi ei fritho âg engreifftiau o'u gwasanaeth i etifeddion iachawdwriaeth, rhy faith i'w nodi yn bresennol.

Yn nesaf, ystyriwn arfaeth Duw perthynas i angelion drwg. 'Yr angelion hefyd, y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr a adwasant eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol, dan dywyllwch, i farn y dydd mawr.' Arfaethodd Duw attal oddi wrthynt ddylanwadau ei ras, i'w cynnal yn eu stad sanctaidd a gogoneddus. Yr oedd hyn yn berffaith gyfiawn; oblegid nid oedd deddfau gwreiddiol eu creadigaeth yn ei osod dan un rhwymau i'w parhau iddynt: a ffafr Duw yn unig sydd yn estyn y cyfryw ddylanwadau i'r angelion etholedig. Ond etto, hwy eu hunain oedd yr achos o'u cwymp; nid oedd un math o orfodaeth arnynt o du Dduw, na'i arfaeth. 'Ni chadwasant,'--'a adawsant,' yr hyn sydd yn dangos mai o'u gwirfodd y gwnaethant: y maent yn cael eu cadw 'mewn cadwynau tragywyddol, i farn y dydd mawr.' Wrth y cadwynau y golygir, bwriadau, ac amcanion Duw; y rhai sy yn eu rhwymo, a'u dal, fel nas gallant ymryddhau: y cadwynau ydynt *dragywyddol,* ym mha rai y maent yn cael eu cadw 'dan dywyllwch'—heb y llewyrch lleiaf o obaith ymwared o'u sefyllfa druenus. 'I'r rhai y cadwyd niwl tywyllwch yn dragywydd.' Maent yn cael eu cadw fel hyn, i farn y dydd mawr.' Dywedodd dau o honynt wrth yr Arglwydd Iesu, 'A ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser?' Dengys y geiriau hyn, eu bod yn bresennol yn mwynhau rhyw fath o esmwythder a rhyddid; a bod

rhyw amser pennodedig yn arfaeth Duw, tebygol mai barn y dydd mawr, pryd y bydd eu cadwynau yn dynach, a'u poenau yn fwy ofnadwy. Yr oeddynt yn amser Crist yn cael eu goddef, i feddiannu cyrph dynion; a gallesid dywedyd am y dynion hyny, nad hwy a bechodd, na'u rhieni chwaith, fel y meddiennid hwy, gan gythreuliaid, ond fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddynt hwy. Y maent yn tramwy a'r hyd y ddaear, ac yn ymrodio ynddi, i dwyllo y cenhedloedd, ac i demtio a drygu plant Duw. Ond y gadwyn sydd yn llaw yr arfaethwr, fel nas gallant fyned un fodfedd ym mhellach nag yr ewyllysia efe. Nis gallai y diafol ymaflyd yn Job, cyffwrdd â blewyn o'i ben, nac âg oen o'i braidd, heb ei ganiatâd. Eithr yn nydd y farn fe'u profir, ac fe'u condemnir am yr holl ddrygau hyn. Er eu bod yn cael rhyw fath o bleser yn y cyflawniad o honynt, ar ol y farn disgynant byth ar eu penau eu hunain, er eu gwarth a'u poen tragywyddol. Teflir hwynt 'i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd' iddynt.

*(I'w barhau)*

---

## ADDEWIDION AMMODOL A DIAMMODOL.

(Parhad tu dal. 270.)

Nis gellir disgwyl y gwelir neb nad yw yn ceisio gwneyd ei ddyledswydd tu ag at Dduw, yn ymdrechu nemawr at gyflawni yr hyn sydd orchymynedig tu ag at ei gyd-ddyn.

Cyfeiriwyd yn y Rhifyn am Medi at ysgrythyrau a addawant ddaioni a llwydd o gyflawniad ein dyledswydd at yr Arglwydd. Gan adgofio y gwirionedd a grybwyllwyd o'r blaen, sef—'*Nid oes neb yn iawn-gredu yr addewidion am ras a thrugaredd, nad yw yn credu ac yn derbyn dylanwad oddiwrth yr addewidion sydd gyssylltiedig a chyflawniad dyledswyddau*—Ystyriwn yn.

II. Y daioni a'r lles a addewir o *iawn ymddygiad at ddynion.*

1. Yn llwybr *cyfiawnder, uniondeb, a chywirdeb.* Fel hyn y dywed yr Arglwydd—'Os bydd gwr yn gyfiawn ac yn gwneuthur barn a chyfiawnder . . heb orthrymu neb . . na threisio trais . . ni roddes ei arian ar usuriaeth, ac ni chymmerodd ychwaneg, ei law a dynodd yn ei hol oddiwrth anwiredd, gwir farn a wnaeth rhwng gwr a gwr . . yn fy neddfau y rhodiodd . . . . i wneuthur gwirionedd: *cyfiawn* yw, gan fyw efe a fydd byw medd yr Arglwydd Dduw.' 'Yr hwn a rodia mewn *cyfiawnder*, ac a draetha *uniondeb*, a wrthyd elw trawsder, a ysgydwo ei law rhag derbyn gwobr . . . . . . efe a breswylia yr uchelderau: cestyll y creigiau fydd ei amddiffynfa ef: ei fara a roddir iddo, ei ddwfr fydd sicr.' 'Arglwydd, pwy a drig yn dy babell? pwy a breswylia yn mynydd dy sancteiddrwydd? Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel *gyfiawnder*, ac a ddywed wir yn ei galon . . . . heb wneuthur drwg i'w gymmydog . . . . yr hwn a dwng i'w niwed ei hun ac ni newidia, . . . . a wnelo hyn, nid ysgogir yn dragywydd!'

2. Addewir, *os maddeuwn i ddynion eu camweddau,* y gwna ein Tad nefol faddeu i ninnau. Nid yw ein gwaith ni yn maddeu yn teilyngu i ni faddeuant gan Dduw; eto oni faddeuwn ni faddeu ein Tad i ninnau. Y mae bod dyn yn anfaddeugar yn ei brofi yn anedifeiriol am ei bechod ei hun, onidê efe a faddeuai bechod arall. Ond y mae y maddeugar yn eglur-ddangos ei fod yn dlawd yn yr ysbryd—yr agwedd y rhaid i ddyn fod ynddi mewn trefn i gael maddeuant. Y galon ddrylliog, hawddgar, sydd yn cael cyfiawnhad bywyd. Ond o *ufudd-dod i Dduw* y mae i ni wneuthur hyn, ac nid o feddalder tymher naturiol, cyn y perthyna yr addewid i ni.

Gellir adnabod diffyg maddeugarwch wrth

1. Coleddiad tuedd ddialgar.
2. Dirgel foddlondeb yn wyneb bod drwg yn dygwydd i'r hwn a'n digiodd.
3. Cynnaliad o fai a chamwedd mewn côf, yn barod erbyn bo cyfleusdra i edliw.

Mae ysbryd maddeugar yn cynnwys,

1. Tueddgarwch i gymmwynasu yr hwn a droseddodd i'n herbyn.
2. Hiraeth, a gweddiau am iddo gael y da penaf, sef edifeirwch.
3. Parhau i fyned dros gamwedd er cael ein niweidio *yn fynych.* 'Os pecha dy frawd i'th erbyn saith waith yn y dydd, a saith waith yn y dydd droi atat a dywedyd—y mae yn edifar genyf, maddeu iddo.' Am fod y gwaith yma yn anhawdd i gig a gwaed, rhai derfyn yn wyneb y gorchymyn fel y gwnaeth y dysgyblion gynt, 'Anghwanega ein ffydd;' canys ffydd yn unig a'n galluoga i gyflawni y cyfryw orchestion.

3. Addewir y bydd gwobrwy *am wneuthur da i'r sawl a wnelont ddrwg i ni ac a'n herlidiant.* Addewir cymmeradwyaeth y nefoedd, ac effaith ddaionus ac feddwi y gelyn. 'Os dy elyn a newyna portha ef â bara, ac os sycheda dod iddo ddiod i'w hyfed: canys marwor a bentyri ar ei ben ef: a'r Arglwydd a dâl i ti.' 'Eithr cerwch eich gelynion, a gwnewch dda .... a'ch gwobr a fydd mawr, a phlant fyddwch i'r Goruchaf: canys daionus yw efe i'r rhai annioichgar a drwg.' Am brofion hanesawl o wiredd hyn, gwel Gen. xxxii. a xxxiii. 1 Sam. xxiv. a xxvi. 2 Bren vi. 13—24.

4. Y mae addewidion hefyd i'r *rhai a ymgadwant rhag barnu yn gul*, yn *angharedig*, ac yn *annhirion am ereill.* 'Na fernwch ac ni'ch bernir: na chondemniwch ac ni'ch condemnir: canys â'r un mesur ag y mesuroch, y mesurir i chwi drachefn.' Pa beth a feddylir wrth *farnu?* Rhoddi yr esboniad gwaethaf,caletaf,ar ymddygiad, neu ar amgylchiad perthynol i un;—llettya meddyliau a thybiau annhirion; —cyhoeddi dedfryd gondemniol heb alwad nac achos. Yr hwn sydd 'heb absenu â'i dafod, heb wneuthur drwg i'w gymmydog, ac heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymmydog, a drig yn mhabell yr Arglwydd, ac nid ysgogir yn dragywydd.'

5. Addewir digolllediad, ad-daliad, ac arwyddion boddlonrwydd dwyfol *i'r trugarog, yr haelionus, a'r tosturiol*

'Gwyn ei fyd a ystyria wrth y tlawd, yr Arglwydd a'i gwared yn amser adfyd .. a'i ceidw ac a'i bywha, gwynfydedig fydd ar y ddaear. Yr Arglwydd a'i nertha ef ar ei glaf wely; cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd.' 'Bob amser y mae yn drugarog ac yn rhoi benthyg; a'i had a fendithir.' 'Yr hael ei lygaid a fendithir.' 'Y neb a roddo i'r tlawd ni bydd angen arno.' 'Pan wnelych wledd, galw y tlodion, &c. a dedwydd fyddi .... canys fe a dâlir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn.' 'Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd: canys ti a'i cei ar ol llawer o ddyddiau.' 'Yr hwn sydd yn hau yn helaeth a fêd hefyd yn helaeth.'

Gallesid disgwyl y byddai y fath annogaethau ac addewidion a hyn yn effeithio i beri llawer o elusengarwch ac haelioni; ond tuedd wrthwyneb sydd fwyaf cyffredin. Paham y mae cyn lleied o ymarfer haelioni? Y mae i'w gyfrif,

1. I *ddiffyg teimladau tyner a dyngarol*, megis y gwelwn yn ymddygiad y Lefiad a'r offeiriad yn myned heibio i'r archolledig heb ofalu am dano; ac yn ymddygiad Nabal yn wyneb angenion Dafydd a'i wyr,

2. Y mae annhuedd i gyfrannu yn gyssylltiedig hefyd âg ysbryd trachwantus ac ysfa ymgyfoethogi. Yr hwn y mae ei galon ar ennill a phentyru golud, ni all ymadael a ffrwyth cymmaint pryder ac ymdrech. Ac er y geill diogi ac amgylchiadau anfanteisiol rwystro llawer i *gasglu* a *chynnyddu*, bydd eu serch a'u hymddiried hwythau yn yr hyn sydd ganddynt mor gryf, fel eiddo Micah yn ei dduwiau, y mae yn rhy anhawdd gollwng dim i fyned o'u gafael.

3. Y mae i'w briodoli i ddiffyg sylw ar ac ymddiried yn yr addewidion a nodwyd. Ysbryd ofnus yn darogan tlodi, a lettya graddau gormodol o bryder yn mherthynas i dalu ffordd yn anrhydeddus, heb nemawr o ystyried y ddyledswydd o gyfranu, ac mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn, sydd yn gweithredu yn aml i beri ymddygiad croes i air ac ewyllys yr Arglwydd yn y peth hyn.

4. Y twyll a ddaw i'r golwg mewn gwrthddrychau, a'r cam-ddefnyddio a all fod o gyfraniadau, a gymmerir yn fynych yn achlysur i beidio meithrin y rhinwedd dan sylw; a phob rhinwedd na ymarferir a wanycha ac a wywa. Ond tra y defnyddir gofal a challineb gyda golwg ar y gwrthddrychau y cyfrenir iddynt,—dylid cofio nad yw y gwobrwy yn ymddibynu ar deilyngdod y *gwrthddrych*, ond ar deilyngdod *egwyddor* y cyfranwr.

Gellid meddwl bod angen dwysach ystyriaeth yn y byd crefyddol o'r gwahanol ddyledswyddau a nodwyd uchod, a'r addewidion cyssylltiedig. Pa faint sydd o sylw ffyddiog ar y tystiolaethau dwyfol a grybwyllwyd? Pa faint o rinwedd a dderbyniwyd oddi wrthynt a thrwyddynt, i effeithio yn ddaionus ar ein hymddygiad a'n harferion yn mysg ein cyd-ddynion? Llawer a broffesant ymddiried cadarn ac achubol yn y gras a'r drugaredd a ddatgenir yn yr Ysgrythyrau; ond yn ol golygiad y Duwinydd parchus a dysglaer a enwyd, ac a gadarnheir hefyd gan uwch ac anffaeledig awdurdod, lle bynag y mae hyny mewn gwirionedd, y mae hefyd *gredu pwysigrwydd dyledswyddau, a'r dedwyddwch a gyssylltodd Duw â'u cyflawniad.* 'Ffydd heb weithredoedd, marw yw.' C.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o du dalen 297.)

*Yr hanes am Iesu Grist o'r amser yr arweiniwyd ef at Annas, a'r holi fu arno ger bron Caiaphas yr Archoffeiriad a'r Sanhedrim Iuddewig, &c. hyd y pryd y dygwyd ef ger bron Pilat y Rhaglaw.*

| | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 254 | Yr Iesu yn cael ei ddwyn at Annas | xxvi. 57. | xiv. 53. | xxii. 54. | xviii. 12—14. | Ar y ffordd i Jerusalem |
| 255 | Pedr yn ei ddilyn ef o hirbell | xxvi. 58. | xiv. 54. | xxii. 54, 55. | xviii. 15, 16. | Etto |
| 256 | Yr Iesu yn cael ei ddwyn at Caiaphas | .... | .... | .... | xviii. 19—24. | Llys yr Archoffeiriad. |
| 257 | Yn sefyll o flaen y Sanhedrim, sef y Senedd Iuddewig | xxvi. 59—68. | xiv. 55—65. | xxii. 63—65. | .... | Etto |
| 258 | Pedr yn ei wadu ef y tro cyntaf | xxvi. 69—70. | xiv. 66—68. | xxii. 56, 57. | xviii. 17. | Etto |
| 259 | Pedr yn ei wadu ef yr ail waith | xxvi. 71—72. | xiv. 69—70. | xxii. 58. | xviii. 18—25. | Etto |
| 260 | Pedr yn ei wadu ef y drydedd waith | xxvi. 73—75. | xiv. 70—72. | xxii. 59—62. | xviii. 26, 27. | Etto |
| 261 | Holi yr Iesu y drydedd waith | .... | .... | xxii. 66—71. | .... | Yn ystafell y Gynghorfa |
| 262 | Yn cael ei arwain ger bron Pilat | xxvii. 1—2. | xv. 1. | xxiii. 1. | xviii. 28. | O'r Gynghorfa uchod |
| 263 | Judas yn edifarhau, ac yn ymgrogi | xxvii. 3—10. | .... | .... | .... | Yn Jerusalem |

*Yr amgylchiadau ger bron Pilat, o'r amser y dygwyd yr Iesu o'i flaen ef hyd y pryd yr eisteddodd Pilat ar ei orsedd barn.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 264 | Pilat yn dyfod allan at yr Iuddewon. | .... | .... | .... | xviii. 28—32. | O'r Dadleudy |
| 265 | Yn ymddyddan yn gyfrinachol â'r Iesu | .... | .... | .... | xviii. 33—38. | Yn y Dadleudy |
| 266 | Pilat yn dyfod at yr Iuddewon yr ail waith, ac yn ymhwedd am ryddhau yr Iesu | .... | .... | .... | xviii. 38—40. | O'r Dadleudy |
| 267 | Pilat yn myned i mewn yr ail waith | .... | .... | .... | xix. 1—3. | I'r Dadleudy |
| 268 | Pilat yn dwyn yr Iesu at y bobl, ac yn ymhwedd drosto yr ail waith | .... | .... | .... | xix. 4—8. | O'r Dadleudy |
| 269 | Pilat yn myned i mewn y drydedd waith | .... | .... | .... | xix. 9—11. | I'r Dadleudy |
| 270 | Pilat yn dyfod allan y pedwerydd tro, ac yn ymhwedd dros yr Iesu y drydedd waith | .... | .... | .... | xix. 12. | O'r Dadleudy |
| 271 | Pilat yn eistedd ar yr orseddfainc | .... | .... | .... | xix. 13, 14. | Yn y lle a elwir y Palmant, ac yn Hebraeg Gabbatha. |

Gwelwn yma fod Pilat, Rhaglaw dan Ymerawdwr Rhufain, er ei fod yn bagan, yn llawer mwy cyfiawn a thosturiol na'r Iuddewon. Nid oes neb yn fwy caled na y rhai a broffesant dduwioldeb ac wedi gwadu ei grym hi. Y fath oedd yr Iuddewon; a'r cyffelyb wedi hyny yw y Pabyddion.

# RHAGORIAETHAU Y BIBL.

## PEN. VII—YMDDYDDANION NODEDIG CRIST.

| YMDDYDDANION | LLE | COFFAD |
|---|---|---|
| Ymddyddan â Nicodemus ........................ | Jerusalem | Ioan iii. 1—21. |
| Ymddyddan â'r wraig o Samaria .................... | Sychar .. | iv. 1—42. |
| Ymddyddan yn y Synagog .......................... | Nazareth. | Luc iv. 16—31. |
| Pregeth ar y mynydd ............................ | Yr un.... | Mat. v. vi. vii. |
| Gorchymyn wrth ordeinio yr Apostolion ............ | Galilea .. | x. |
| Arddatganiadau yn erbyn Chorazin .................. | Yr un.... | xi. 20—24. |
| Ymddyddan ynghylch iachau y claf wrth Bethesda .. | Jerusalem | Ioan v. |
| Ymddyddan ynghylch y dysgyblion yn tynu tywys ar y Sabbath .............................. | Judea ... | Mat. xii. 1—8. |
| Dadbrofi y cyhuddiad ei fod yn gwneuthur gwyrthiau trwy Beelzebub ........................ | Capernaum | 22—37. |
| Ymddyddan ynghylch bara y bywyd .............. | Yr un.... | Ioan vi. |
| Ymddyddan am burdeb tumewnol .................. | Yr un.... | Mat. xv. 1—20. |
| Ymddyddan yn erbyn rhoddi a derbyn tramgwydd, a maddeu troseddiadau ...................... | Yr un.... | xviii. |
| Ymddyddan yn ngwyl y pebyll ................ .. | Jerusalem | Ioan vii. |
| Ymddyddan ar achos y wraig odinebus ............ | Yr un.... | viii. 1—11. |
| Ymddyddan ynghylch y defaid .................... | Yr un.... | x. |
| Arddatganiad yn erbyn yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid .................................. | Perea.... | Luc xi. 37 - 45. |
| Ymddyddan ynghylch gostyngeiddrwydd a challineb | Galilea .. | Luc xiv. 7—14. |
| Cyfarwyddiadau pa fodd i gael y nefoedd .......... | Perea.... | Mat. xix. 16—30. |
| Ymddyddanion ynghylch dyoddefiadau Crist ........ | Jerusalem | xx. 17—19. |
| Arddatganiadau yn erbyn y Phariseaid ............ | Yr un.... | xxiii. |
| Rhagfynegiadau ynghylch dinystr Jerusalem ........ | Yr un.... | xxiv. |
| Ymddyddan er cysur i'r dysgyblion .............. | Yr un.... | Ioan xiv—xvii. |
| Ymddyddan ar y ffordd i Gethsemane .............. | Yr un.... | Mat. xxvi. 31—36 |
| Ymddyddan gyda'i ddysgyblion cyn ei esgyniad ...... | Yr un.... | xxviii. 16—20 |

---

## TRAETHAWD AR ADDYSGU PLANT.

(Parhad o du dal. 266.)

WRTH graffu ar yr Ysgol Sabbathol, canfyddwn ynddi lawer o waeleddau, a llawer o wahaniaeth dull hefyd rhwng ei swyddogion yn cyfranu addysg i blant, a rhai mewn oed hefyd. Darllena rhai athrawon gyd â'u dosbeirth saith neu wyth o bennodau meithion, yn amser yr ysgol; pryd y bydd ereill prin wedi darllen pedair, neu bump o adnodau. Yn ddiau, y mae y rhai cyntaf yn darllen gormod, ac yn holi rhy ychydig, ar eu dosbeirth; a'r rhai olaf yn darllen rhy ychydig, ond yn areithio gormod o lawer wrth eu dosbeirth. Y mae y dulliau hyn i'w beio yn fawr. Bernir yn gyffredin, gan ddynion deallus, mai y dull goreu yw darllen dwy, tair, neu bedair, o bennodau; a holi yr hwn a fyddo yn darllen am yr hyn a ddarlleno: tynu addysgiadau buddiol, a'u cymmwyso at ei feddyliau; pa un bynag a'i plentyn ai un mewn oed a fyddo.

Y mae y dull o ymddyddan a chymmwyso, fel hyn, yn llawer mwy buddiol na'r dull o feirniadu ar, ac areithio oddiwrth, ychydig eiriau; megis ag y gwna rhai.

Pa faint bynag o wahaniaeth cymmwysderau a allai fod rhwng athrawon, mewn unrhyw ysgol, nid allaf lai na meddwl nad y rhai goreu a ddylid eu rhoddi at y plant lleiaf; sef y rhai mwyaf eu gras, eu gwybodaeth o'r Bibl, o'r gwaith, a mwyaf eu serch tu ag at blant, &c. O, nac esgeuluser y plant, yn hytrach esgeuluser y prif ddosbarth yn yr ysgol; ïe esgeuluser pob dosbarth cyn yr esgeuluser dosbarth y plant.

Y peth cyntaf a ddylai fod mewn golwg gyd â'r plant yw eu cael i ddarllen yn dda; ac yna i ddeall yr hyn a ddarllenont. Ac i gyrhaedd y dyben hwn, y mae adnabod y llythyrenau yn anhebgorol angenrheidiol. Y mae yr hwn a geisio darllen heb adnabod y llythyrenau, yn debyg i ddyn ffol, yr hwn a amcanai neidio i ben castell uchel, yn lle cerdded ar hyd y grisiau. Y mae y naill mor anhawdd a'r llall. Clywais lawer yn ceisio darllen heb adnabod y llythyrenau, ond ni chlywais neb yn gallu erioed. Clywais un ferch

ieuanc, yn darllen yn dda, heb weled dim; ond nid oedd hono yn gallu darllen heb adnabod y llythyrenau; er mai wrth eu teimlo yr oedd hi yn eu hadnabod hwy.

Y mae tair gris i'w cerdded i gyrhaedd yr amcan a grybwyllwyd; y gyntaf yw adnabod y llythyrenau; a'r ail yw sillebu; a'r drydedd yw cyrhaedd y nod.

Y mae yn amlwg, fod y gyntaf yn anhebgorol angenrheidiol i'r ail; ac felly yr ail i'r drydedd: canys o lythyrenau y gwneir sillebau, ac o sillebau y gwneir geiriau. Yr achos paham fod plant cyhyd o amser yn y llyfrau dechreuol, yw eu bod yn gadael y llyfr *corn*, neu y llythyrenau, yn rhy fuan: pa ryfedd fod rhai flynyddoedd yn ceisio sillebu, pan y byddant yn gorfod myned yn ol, o'r ail ris i'r gyntaf, a hyny, fe allai, bob yn ail sill: ond rhodder y plant yn deg ar yr ail ris: buan iawn y cyrhaeddant y drydedd, sef darllen.

Y peth nesaf sydd yn angenrheidiol tu ag at fagu y plant yn foesol, a *chrefyddol*, yw eu magu, neu eu dwyn i fynu yn eglwys Dduw. Fod gan blant proffeswyr crefydd hawl i'r ragorfraint hon sydd amlwg iawn. Nid wyf fi yn meddwl ceisio ysgrifenu yma amddiffyniad i fedydd babanod, fel *pwnc;* (er, ar yr un pryd, os bydd yn tueddu i hyny, nid gwaeth genyf) ond y cyfan a geisiaf fydd, dangos i broffeswyr crefydd y perygl sydd iddynt o wneuthur anghyfiawnder, nid yn unig trwy iddynt eu hattal rhag y rhagorfreintiau perthynol iddynt, ond trwy fod yn ddiofal a diymdrech i ddwyn eu plant i fwynhau y rhagorfreintiau hyny.

Ac i ddangos hyn, rhaid i mi (yn gyntaf oll) geisio profi, fod gan y cyfryw blant hawl gyfiawn i fedydd; yn gystal a rhagorfreintiau eglwysig ereill.

Y bedydd, mae'n debyg, yw y ragorfraint gyntaf (o ran trefn) o fendith weledig yr eglwys; neu yr un arweinyddawl. Yr oedd dwy ordinhad dan yr hen oruchwyliaeth, sef, yr Enwaediad, a'r Pasg. Yr oedd y naill yn sêl y cyfammod a wnaethai Duw âg Abraham; ac yn dangos yr angenrheidrwydd am waith yr Ysbryd Glân i ail-eni, yr hyn hefyd a elwir yn y Bibl yn enwaediad'r galon: a'r llall yn goffadwriaeth am y waredigaeth fawr hono a roddodd yr Arglwydd i Israel yn yr Aipht rhag yr angel dinystriol. Yr oedd hon, mae yn amlwg, yn rhyw gysgod o'r waredigaeth ryfedd hono, a ddaeth i'r eglwys trwy farwolaeth Crist ar y groes.

Dwy ordinhad arwyddocaol sydd etto dan yr oruchwyliaeth bresenol: sef Bedydd a Swper yr Arglwydd. Y rhai a osodwyd yn lle y rhai a enwyd. Ond am eu newid, y mae digon o reswm am hyny pe na byddai dim ond bod yr oruchwyliaeth wedi newid; a hyny gan yr hwn a'i gosododd. Goruchwyliaeth waedlyd oedd yr hen oruchwyliaeth, a'i sacramentau oeddent gyffelyb; am ba achos (mae'n debyg) y gwelodd y Duw unig ddoeth yn dda, eu newid. Nid oes yr un ordinhad waedlyd dan yr efengyl; a phaham hyny? Ond am fod digon o waed wedi ei dywallt ar y groes, fel nad oes eisiau dim gwaed, hyd yn nod yn arwydd byth mwy.

Ond, dywed rhai nad yw plant i fod yn yr eglwys dan yr oruchwyliaeth bresenol, er yr addefant eu bod ynddi dan yr hen oruchwyliaeth; dywedant hefyd nad oedd y cyfammod a wnaeth Duw âg Abraham, ond yn nghylch bendithion tymhorol, yn unig. Ië, mewn gair, haerant nad yr un eglwys oedd dan y ddwy oruchwyliaeth. Ond, pa fodd y gwna y cyfryw ddeall geiriau yr apostol Paul? yr hwn sydd yn dywedyd yn Rhuf. xi. 16, 17. fod yr eglwys dan y Testament Newydd, wedi ei himpio yn mhlith yr eglwys Iuddewig; a'i gwneuthur yn gyfranog o'r gwreiddyn, ac o frasder yr olewydden? A phan y mae yn son am ddychweliad yr Iuddewon, dywed y bydd iddynt gael eu himpio i mewn i'w holewydden eu hun, adn. 24. Hefyd, y mae yr apostol Petr yn dangos yn amlwg, yn Act. ii. 38, 39 fod gan had yr eglwys hawl yn addewid y cyfammod, megys ag y gwnaed yr addewid gynt, i Abraham, ac i'w had; felly yr awr hon, i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant.

Ni a welwn fod y dull yr addewir yr un, dan bob goruchwyliaeth; ac yn ddiameu, y mae yr hyn a addewir yr un hefyd sef, 'myfi a fyddaf i ti yn Dduw, ac i'th had;' ac os yw addewid y cyfammod i'r had, dilys eu bod yn ddeiliaid cymmwys i dderbyn sel y cyfammod hwnw hefyd; sef, enwaediad gynt, a bedydd yn awr.

Peth arall a deilynga ein sylw yw, bod teuluoedd yn fynych yn cael eu bedyddio gyda'r pen-teulu, megis teulu Lydia, yr hon oedd wraig, ac yn meddu ei theulu.

Yn gyffelyb y dywedir am geidwad y carchar hefyd, bedyddiwyd ef a'i deulu; ac onid yw yn beth tra rhyfedd os teuluoedd heb blant oedd y cyfan y mynegai yr ysgrythyrau am danynt fel hyn. Gair arall sydd i'w weled yn 1 Cor. 7. 14. a ddengys fod gan blant credinwyr hawl i ragorfreintiau yr eglwys yn ddi-ddadl, i'm tyb i, oni bai rhagfarn, a chyndynrwydd dirfawr calon dyn. 'Canys y gwr di-gred a sancteiddir trwy y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy y gwr; pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt:' neu neillduedig, neu gysegredig ydynt: sef rhai i'w cyflwyno i Dduw.

Dywed rhai, am yr ymadrodd 'sanctaidd ydynt' mai, cyfreithlon ydynt; ond pa reswm sydd i feddwl hyny? canys nid oes angen i'r gwr na'r wraig fod yn grefyddol tu ag at i'r plant fod yn rhai cyfreithlon; fel y sylwa y diweddar Dr. Lewis, yn ei Gorph o Dduwinyddiaeth, tu dal. 520. nad yw y gair *sanctaidd* mewn un man, yn arwyddo *cyfreithlon;* ond y mae y gair amryw gannoedd o weithiau yn y Bibl; ac yn arwyddo rhai wedi eu neillduo i'r Arglwydd, fel y gallont gyfranogi o'r ordinhadau sydd yn gwahaniaethu pobl Duw oddiwrth ereill, &c. yn wir, y mae yr adnod hon mor eglur a chlir, fel y byddai treulio amser i'w hegluro hi megis un a oleuai ganwyll i edrych ar yr haul.

Peth arall, a'r peth olaf i geisio profi y mater yma yw, y mynych dystiolaethau a gawn gan ein hynafiaid; rhai yn byw yn yr un ganrif a'r Apostolion eu hunain, a chan ereill diweddarach, fod bedydd plant yn cael ei arfer yn yr eglwys bob amser.

Irenæus, yr hwn a anwyd oddeutu y flwyddyn o oed Crist 97, ac yn byw yn yr un amser a Polycarp, un o ddysgyblion Ioan, efe a ddywed i Grist ddyfod i'r byd i gadw yr holl bersonau hyny a ailanwyd ganddo ef i Dduw; babanod, plant, rhai ieuainc, a rhai mewn oed. Ac wrth eu bod wedi eu hail-eni y meddylia efe, eu bod wedi eu bedyddio; fel y dengys yn amlwg mewn lle arall.

Justin Martyr, yr hwn a anwyd tu a diwedd y ganrif gyntaf, a sylwa, pan yn llefaru am aelodau yr eglwys, fod rhai o honynt yn dri ugain a deg a thriugain oed; y rhai (ebe fe) a wnaed yn ddysgyblion i Grist o'u mebyd. A pha fodd yr oeddent felly, ond trwy fedydd?

Origen, a anwyd yn y flwyddyn 189, a ddywed fod babanod yn cael eu bedyddio, er maddeuant pechodau. A thrachefn i'r eglwys dderbyn traddodiad, oddiwrth yr Apostolion, y dylid gweinyddu bedydd i fabanod.

Cyprian, oedd oeswr âg Origen, a ddywed fod chwech a thriugain o esgobion yn gynnulledig mewn cyngor yn Carthage; a chanddynt y gofyniad hyny wedi ei gyfeirio atynt, sef a ddylid bedyddio plant cyn bod yn wyth niwrnod oed, ai na ddylid?

St. Augustin, yr hwn a anwyd tu a chanol y bedwaredd ganrif, a ddywed fod yr holl eglwys yn arfer bedyddio babanod; nid trwy gynghorau (ebe fe) y gosodwyd ef, ond yr oedd bob amser mewn ymarferiad.

Ym mhellach, rhoddaf ychydig o ddywediadau rhyw berson, yr hwn a ymroddodd i chwilio i'r mater yma, ac a rydd y nodau canlynol fel ffrwyth ei ymchwiliadau.

Yn 1. Yn yspaid y pedwar can mlynedd cyntaf, sef er pan ffurfiwyd yr eglwys Gristionogol, Tertullian a gymhellodd yn unig ohirio bedydd babanod, a hyny mewn rhyw achosion; a Gregory a'i gohiriodd fe allai yn unig i'w blant ei hun. Ond nid oedd na chymdeithas (*society)* o ddynion, na pherson unigol, yn gwadu cyfreithlonrwydd *y weithred* o fedyddio babanod.

Yn 2. Yn y saith gan mlynedd nesaf i hyn, nid oedd na chymdeithas, nac un dyn, a ddadleuai hyd yn nod, am y gohiriad yma: llawer llai un yn gwadu yr uniondeb, neu y ddyledswydd o fedyddio plant.

Yn 3. Yn y flwyddyn 1120, un blaid o'r Waldensiaid a gyhoeddasant yn erbyn bedydd plant; am y tybient eu bob yn anghymmwys o iachawdwriaeth; ond prif gorph y bobl hyny a'i gwrthodasant megys golygiad cyfeiliornus: a'r rhai a'i daliasant a aethant yn fuan i'r dim.

Yn 4. Yr ymddangosiad cyntaf wedi hyny o'r golygiad yma, oedd yn y flwyddyn 1522. Gwel, lawer ychwaneg yn ngwaith y Dr. Dwight. *System of Theology*. Vol. 5. p. 260, 261.

Yn awr gwelwn, os oedd yr arferiad o fedyddio babanod mor gyffredin yn moreuddydd Cristionogaeth, nad oes achos ammeu, un mynyd, nad oedd yn

arferiad hefyd yn nyddiau yr Apostolion. Onid yw yn haws o lawer meddwl iddynt ei dderbyn megis traddodiad oddiwrthynt, nag i'r holl eglwys wneuthur cyfnewidiad, fel hyn, mewn cyn lleied o amser? Ac os yw y tystiolaethau hyn yn wirionedd, a'r esponiad a roddir ar yr adnodau a nodwyd, a llawer ereill, gan y fath luaws o awduron duwiol a dysgedig yn ffyddlon a chywir; y mae yn rhaid fod ymddygiad y rhai a wrthwynebant yr athrawiaeth hon yn bechadurus ac yn anghyfiawn.

Ac a yw gwneuthur anghyfiawnder â'r plant yn llai drwg, nag â rhyw rai ereill? tebygol (os yr un) mai cam â'r gwirion yw'r gwaethaf. Dywed yr apostol Paul yn 1 Tim. v. 8. 'Os oes neb heb ddarbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r diffydd:' ac y mae yn dra thebygol fod dwyn y plant i fynu, fel y crybwyllir yn y 10ed adnod, yn gynwysedig yn y ddyledswydd o ddarparu dros y teulu: (yn gystal a gofalu am bethau tymhorol iddynt); yr hyn hefyd sydd rinwedd cymmwysderol yn y wir weddw: megys y rhinweddau ereill, a welir yn yr un adnod. Nis gwn pa fodd y geill un fod yn waeth na'r diffydd os nad trwy gau teyrnas nefoedd o flaen ei blant. Modd bynag, gwelwn yn amlwg fod plant y rhai diffydd ar lawn cystal tir ag yw plant y proffeswyr hyny a wrthodant dderbyn eu bad i'r eglwys, er fod ganddynt hawl gyfreithlawn iddi: ond plant y rhai diffydd, ni feddant yr hawl-fraint hon; etto nid oes llawer, yn y dyddiau hyn, o rai diffydd mor galon galed ag yr uttaliant eu plant rhag ymuno âg unrhyw gangen o eglwys i Grist pan dueddir eu meddyliau i hyny; fel yr ennillont yr hawl-fraint hon, trwy gyflwyno eu hunain i fynu, i eglwys Duw. Ac yn yr ystyr yma, nid allaf lai na meddwl, nad yw y proffeswyr hyny sydd yn ddiofal yn nghylch cadwedigaeth eu plant yn waeth na'r rhai diffydd, y rhai a rydd ryddid i'w plant i geisio ymgeledd i'w meddyliau lle y mae i'w gael.

Dywed yr Apostol Ioan am 'bob anghyfiawnder, pechod yw;' ond, o'r cyfan, yr anghyfiawnder hwn yw y gelyn anhawsaf ei ddal, ac i ddial arno. Os gwneir cam hyd yn nod â phlant mewn ystyr dymhorol, yn enwedig os bydd ganddynt ychydig o bethau y byd hwn ceir rhyw Gyfreithiwr medrus i gymeryd eu plaid; *Counsellor* dawnus i ddadleu eu cwyn; a Barnwr cyfiawn i eistedd ar eu hachos. Etto, nid yw y gwyr da hyn yn ymdrafferthu i amddiffyn cwyn y rhai diniweid, heb dâl am eu trafferth.

Ond dyma fater, sef ceisio *chwareu teg* i'r plant ni cheir gwobr hyd 'adgyfodiad y rhai cyfiawn,' ie nid yn unig ni cheir cyflog am y drafferth ond ceir dirmygiadau, enllibiau, a chelwyddau. Er hyn oll, mae'n ddywenydd mawr genyf weled rhai wedi dyfod allan, yn llawn zel i amddiffyn y gwirionedd, yn mlaid y plant, er cymaint o ddyfroedd enllib a deflir i'w hwynebau. Ond, a oes dim modd cael rhyw *Counsellor* medrus etto, i'r maes i gymeryd plaid y plant?

Clywais amryw yn dymuno ar fod i'r Parch. L. Edwards, A. C. o'r Bala, gymeryd mewn llaw y gwaith o ysgrifenu Traethawd, helaeth a manwl o amddiffyniad i fedydd plant. Y mae yn debyg fod rhai yn dymuno hyn, oddiwrth yr ychydig a welsant o waith Mr. Edwards, sef y sylw byr ond cynwysfawr iawn a wnaeth efe ar fedydd, yn yr atddodiad at y Traethawd rhagorol hwnw a gyfansoddodd efe ar 'NATUR EGLWYS:' yr hwn y dymunwn o'm calon ar ei fod yn meddiant pob Cymro.

Yr oeddwn yn meddwl ceisio rhoddi ychydig yn ychwaneg o gynghorion i rieni a phlant; ond y mae arnaf ofn blino gormod ar eich amynedd Mr. Cyhoeddwr, canys y mae hwn yn faith iawn; ond hyderaf nad yw yn rhy faith i ymddangos mewn rhyw gongl o'ch Trysorfa glodwiw. Ond, terfynaf megis yn anorphenol, gan ddysgwyl y bydd i ryw un, yn fuan, sylwi ac ysgrifenu ar achos y plant, &c. A'r Arglwydd a fendithio yr hyn sy'n ol ei ewyllys, i droi calonau y tadau at y plant, a chalonau y plant at y tadau,' medd eich cyson ddarllenydd,

*Ger Bangor.* T. H.

---

Gwna y Duw da bob peth yn dda, er daioni i'w bobl. Pan y mae Duw da yn rhwymo dyn â gorchymyn, mae yn rhwymo ei hunan âg addewid—'Gofynwch,' dyna ddyn yn rhwym—'a rhoddir i chwi,' dyna Dduw yn rhwym. 'Ceisiwch,' dyna ddyn yn rhwym—'a chwi a gewch,' dyna Dduw yn rhwym. Y mae mor anhawdd gan Dduw ddiddymu ei addewid a phallu yn ei wirionedd.

### YMOSTYNGIAD GWIRFODDOL I EWYLLYS DUW.

Dyben Duw yn ei holl oruchwyliaethau ydyw ei ogoniant ei hun, a dedwyddwch ei bobl. Dylai yr ystyriaeth yma, nid yn unig eu gwneud yn gymmodlawn â'r hyn oll sydd yn eu cyfarfod ar eu taith trwy y byd hwn, ond hefyd fod yn achos beunyddiol o lawenydd iddynt. Nid yw yn rhyfedd gweled y rhai sydd yn ddieithr i fywyd dwyfol yn eu heneidiau—y rhai sydd heb Dduw yn y byd—y rhai sydd heb weled tu hwnt i 'Wlad y Cydraddolder.'*—y rhai sydd a'u rhan yn y bywyd yma, &c. yn grwgnach ac yn anfoddlawn; ond mae gweled y rhai sydd yn proffesu eu bod wedi eu hargyhoeddi o wagder y byd—y rhai sydd wedi dewis Crist yn rhan iddynt—y rhai sydd yn edrych trwy ffydd ar y pethau ni welir, sef pethau ysbrydol, sylweddol, a thragywyddol,—y rhai sydd â'u serchiadau ar y pethau hyny—y rhai a gynnorthwywyd i wneuthur cyfammod â Duw, yn Nghrist, &c. mae gweled y cyfryw yn ymddigio dan eu beichiau yn dangos afresymoldeb ac anniolchgarwch. Nad oes ganddynt seiliau dros y cyfryw ymddygiad sydd sicr; ac etto fod y cyfryw dueddiad mewn bod sydd yn hollol mor anwadadwy. Gradd bychan o sylw ar ymddyddanion ac ymarweddiad llawer o broffeswyr crefydd a brawf hyn er boddlonrwydd anhyfryd. Nid yw y dianrhydedd a ddwg y cyfryw ar eu proffes, a'r niwed a ddygant arnynt eu hunain, yn beth ysgafn. Hawdd y gellid dangos y canlyniad annedwydd sydd o angenrheidrwydd yn dilyn y cyfryw ymddygiad: ond mae bod y ddau beth a enwyd yn ddigon.

Yn awr, i'r dyben o ymostwng yn siriol i ewyllys Duw, rhaid bod nid yn unig *gydnabyddiaeth* o'i law Ef yn yr hyn oll sydd yn ein cyfarfod, ond y cyfryw gydnabyddiaeth ag sydd yn codi oddiar argyhoeddiad o'i gariad yn y cwbl; y cyfryw gydnabyddiaeth sydd yn codi, nid yn unig oddiar ystyriaeth o'r hyn ydyw Ef fel Bod anfeidrol berffaith; ond bod pob amgylchiad yn ein cyfarfod trwy ei oddefiad a'i gyfeiriad Ef, yr Hwn ni all ymddwyn ar gam, ond eu bod oll wedi eu goddef a'u cyfeirio mewn modd neillduol er ein lleshad. Yr wyf yn meddwl mai dyma sylfaen ymostyngiad siriol i ewyllys Duw; ac nid oes neb yn ei gyrhaeddyd ond gwir gredinwyr yn Iesu Grist; ac mor bell ag y cyrhaeddir hyn, fe fydd cydnabyddiaeth ddiolchgar ac ufudd-dod siriol yn canlyn o angenrheidrwydd. Wrth gydnabyddiaeth ddiolchgar, yr wyf yn meddwl, diolchgarwch i Dduw am yr hyn oll y mae yn attal, yn gystal a'r hyn oll y mae Efe yn gyfranu i ni, ac am fod ein sefyllfaoedd, galwedigaethau, a'n hamgylchiadau, yr hyn ydynt.

Wrth ufudd-dod siriol y deallir, parodrwydd ar bob achlysur i wneuthur a dyoddef yr hyn oll y mae Duw yn galw arnom i wneud, am mai Duw sydd yn gorchymyn. Mai hyn ydyw dyledswydd a braint y credadyn sydd sicr, o herwydd ar Dduw yr ydym yn ymddibynu am bob peth

Gan fod Duw yn Benarglwydd, ac yn anfeidrol berffaith yn ei holl ffyrdd, mae ganddo hawl i wneuthur â'i greaduriaid fel y gwelo Efe yn dda; ac nis gall wneud cam â neb o honynt; ac y mae Efe yn ewyllysio daioni a dedwyddwch ei bobl yn y byd hwn, a gwynfydedigrwydd tragywyddol yn y byd a ddaw; mewn gair mae dedwyddwch y Cristion yn gylymedig wrth y ddyledswydd o ymostwng i ewyllys ei Greawdwr. I'r dyben i ni brofi hyn, bydded i ni ofalu am gael gwybodaeth mai Duw sydd yn cyfarwyddo ein holl amgylchiadau, ac mai Efe yn unig a all weithio ynom y cyfryw ymostyngiad i'w ewyllys, yr hyn sydd o anrhaethol leshad i ni yma, ac a fydd, trwy Iesu Grist, yn flaenbrawf o'r llawenydd a'r dedwyddwch sydd yn ein haros yn y trigfanau fry, lle mae ewyllys Duw yn cael ei gyflawni, a dedwyddwch yn teyrnasu yn y gradd uchaf o berffeithrwydd, a gweler ni oll yno, yw taer erfyniadau

*Hopton.* NIHIL.

* Gwel Rhifyn 115. tu dalen 207. o'r Drysorfa.

---

### TALFYRIAD COFNODOL

*O Bregethau Cymdeithasfa Llanerch-y-medd, Mon, yr hon a gynnaliwyd y 18fed a'r 19eg o Fehefin,* 1810.

Am 6 y prydnawn, gweddiodd y Parch. Morgan Morgan, Sir Gaerfyrddin, a phregethodd y Parch. William Morris, Llanelli, oddiwrth Iago 4. 7. 'Ymddarostyngwch gan hyny i Dduw.' Y rhaniadau oeddynt fel y canlyn:—

1. Y mae dyn yn greadur ag y mae yn rhaid iddo ymddarostwng i Dduw, naill ai o'i fodd, neu o'i anfodd. Y mae yn rhaid condemnio pechod mewn un o ddau llŷs, naill ai fe'i condemnir genym ein hunain yn llŷs y gydwybod, er darostyngiad i'n balchder yn nydd gras; neu fe'i condemnia Duw ef mewn llŷs barn er dy ddarostwng yn dragywyddol. Y mae Duw yn galw arnom i wneud iawn farn arnom ein hunain; ac yn dywedyd wrthym. 'Pe iawn farnem ni ein hunain, ni'n bernid,' Y mae dyn yn oedi yn barhaus; ond 'y mae y barnwr yn sefyll wrth y drws,' ac 'a wna farn yn erbyn pawb, gan lwyr argyhoeddi yr holl rai annuwiol.'

II. Pwy bynag o honom sydd am heddwch â Duw y mae yn rhaid ymddarostwng iddo.

1. Pa beth yw ymddarostwng?

2. Pa fodd y dylid ymddarostwng.

3. Yr annogaeth 'Ymddarostyngwch.'

1. Beth yw ymddarostwng i Dduw. Y mae yn cynnwys holl ddyledswydd y blaid iselaf i'r blaid uchaf—y blaid a droseddodd i'r blaid y troseddwyd yn ei herbyn. Os daw fel hyn, bydd yr heddwch wedi ei wneud. Ymddarostwng i ewyllys dat-guddiedig Duw yn ei air. Yr oll o ddyn, ei serchiadau, ei ddymuniadau, a'i fwriadau yn ymddarostwng i'r oll o ewyllys Duw. Dyn yn colli ei ewyllys ei hunan yn ewyllys Duw. Fel y mae yr afonydd yn colli eu hunain pan yn y môr.

2. Pa fodd y dylid ymddarostwng i Dduw.

(1.) Yn gywir a gwirioneddol. Y mae plygu pen fel brwynen, ymddarostwng yn rhagrithiol, yn bod; ond ni wna hyn mo'r tro i *Dduw*. Ymddarostwng i ewyllys Duw, am mai ewyllys Duw ydyw. Wel, ïe, ymddarostwng er mwyn cael fy arbed—er mwyn iddo beidio fy nharo; nagê, fe fyddai yn werth i ti ymddarostwng iddo pe damnai di oddiwrth ei draed. Y mae yn ewyllysio dy weled yn plygu iddo.

(2.) Ymddarostwng yn ebrwydd iddo; heb ymddadleu âg *ef*, heb ymgynghori â chig a gwaed.

3. Yr annogaeth 'Ymddarostyngwch i Dduw.'

1. Y mae eisiau i chwi ymddarostwng iddo. Gair gwan yw *eisiau*, onidê; dywedaf ynte, y mae yn *rhaid* i ti ymddarostwng iddo. Y mae yn gryfach na thi. Y mae wedi tyngu y myn dy weled wrth ei draed. 'I mi fy hun y tyngais, mai i mi y plyga pob glin,' &c. 'A gryfha dy galon, ac a gyfnertha dy ddwylaw, yn y dydd y bydd i mi a wnelwyf â thi?'

2. Ymddarostyngwch. Y mae ymddarostwng i Dduw yn anrhydedd i ddyn. Y mae mor bell oddiwrth fod yn gaethiwed, fel nas gŵyr dyn pa beth yw rhyddid nes ymddarostwng i Dduw.

3. Ymddarostyngwch, y mae wedi gwneud llawer dros y gostyngedig erioed. Pan ddaeth y wraig o Ganaan yn ddigon gostyngedig i gymmeryd y briwsion, fe gafodd y dorth i gyd. Y mae yn rhoi cerbyd i rai, palas i ereill—*state* fawr i ereill, a'u damnio wedy'n; ond y mae yn rhoi *gras* i'r gostyngedig. Y mae dyffryn gostyngeiddrwydd mor llawn o borfa ag erioed; a phe deuem ychydig yn is iddo, mae yno 'afon a'i ffrydiau a lawenhant ddinas Duw.'

Yna y Parch. Daniel Jones, Llanllechyd, a bregethodd oddiwrth 2 Cor. 5. 1. 'Canys ni a wyddom os ein daearol dŷ o'r babell *hon* a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ, nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd.' Y mae wedi troi yn dda ar y rhai hyn byth, debygwn i. Gweinidogion yr efengyl oedd y rhai hyn. Yr oeddynt yn cael tywydd mawr. Yr oedd pobl yn byw yn nyddiau yr Apostolion, ag oedd yn gas iawn, yn dyweyd celwyddau mawr arnynt. Ond yr oeddynt yn gwaeddi allan, 'Ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, ac yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni.' Fe aiff y dymmestl drosodd yn mhen ychydig. 'Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir.' 'Canys ni a *wyddom*;' *Clywed! clywed!* na, y mae wedi myned yn mhellach na chlywed, 'ni a wyddom,' nid peth hanesiol ac arwynebol yw y wybodaeth hon, ond gwybodaeth wedi ei chael oddi uchod. Mynwch gael crefydd, a gwybod ynddi. Wel, onid ydym yn gwybod pethau anghyffredin? onid ydym yn gwybod llyfr yr egwyddorion? Wel, da iawn; ond y mae eisiau gwybod oddifewn. A ydych yn gwybod ei bod yn dda rhyngoch â'r nefoedd? A ydych yn gwybod pe baech yn myned i farw heno, fod genych dŷ yn y nefoedd? 'Os ein daearol dŷ,' y corph yma yw hwnw. Pridd ydyw; ond pridd wedi ei wneud yn hardd iawn. Nid oedd dim rhyfedd i'r Salmydd ddywedyd, 'Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed.' 'Daearol dŷ.' Tŷ wedi ei wneud o'r ddaear; tŷ yn cael ei gynnal o'r ddaear; a thŷ aiff i lawr i'r ddaear. Y mae hwn i gael ei ddattod. Trwm meddwl am yr annuwiol a'i dŷ o bridd yn myned i lawr heb yr un tŷ arall. Beth a wnewch, bobl! Rhaid i chwi fod allan yn y ddrycin fawr, os heb yr un tŷ ar ol marw. Beth bynag sydd yn y maglau tân a brwmstan—yn y cleddyf wedi ei hogi, chwi a gewch wybod, os byddwch heb y tŷ tragywyddol yma. Hebddo yr ydym wedi haeddu bod i gyd. O! y mae yma lawer wedi *buildio*, a chanddynt *lease* ar eu tai hefyd. Ond nid hyny ydwyf fi yn ei feddwl, a oes genyt ti dŷ yn y nefoedd pan yr ai di i farw. Ai tybed mai marw heb Grist a wnai di? 'A ddattodir.' Y mae llawer yn gwrando ag y bydd eu daearol dŷ wedi ei ddattod cyn y bydd yr un Gymmanfa yn Llanerch-y-medd etto. Ond cyn i chwi fyned ar dân, cyn i'r corwynt cael gafael arnoch, y mae yn dda genyf gael dyweyd y mae drws y tŷ heb ei gau. Y mae Duw yn ail-eni heddyw—mae yn cymmodi heb gyfrif heddyw—y mae yn maddeu i'r amlaf ei bechodau—y mae yn golchi y duaf—mae yn diogelu dynion rhag y llid a fydd. Y mae modd cael gafael ar dŷ erbyn y dymmestl. 'Tŷ nid o waith llaw.' Dyma dŷ *braf*. Y mae tri, a thri yn un, wedi bod yn ei *blanio*, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. 'Tragywyddol yn y nefoedd.' A ddarfu i chwi feddwl, bobl, mai rhai tragywyddol ydych? Bachgen tragywyddol, geneth dragywyddol, gwr tragywyddol, gwraig dragywyddol; ond diolch, dyma dŷ tragywyddol. Fe ddeil hwn yn y farn heb *gracio*. Nis gwn pa beth a ddaw o'r tai, a'r trefydd yma; ond fe ddeil hwn yn ddigryn. 'A phabell fydd yn gysgod y dydd rhag gwres, ac yn noddfa ac yn ddiddos rhag tymmestl a rhag

gwlaw.' A ddowch chwi yrwan wrth fyned adref, gyfeillion bach, i ymofyn am dŷ newydd? Ni thal yr hen dŷ ddim byd; ond mae tŷ newydd i'w gael. Ymofynwn am dano. Amen.

Cafwyd hin lled gysurus, ac arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd. Gwisgwyd y gweinidogion âg iawnder, a gwnaethpwyd dewisol bobl yr Arglwydd yn llawen.

Y farn gyffredin yw na chynnaliwyd cyfarfod blynyddol yn Sir Fon er's llawer blwyddyn, a chymmaint o weddeidd-dra a sobrwydd yn ffynu ynddo, a'r cyfarfod hwn.

*Caergybi.* W. R.

---

DYFYNIAD O WAITH Y PARCH. CHRISTMAS EVANS.

"Yr oedd Prynwr Job i'w waredu ef o dan allu marwolaeth, pen. 19. 23—27, canys yr oedd efe yn gweled rhyw elyn o'i flaen, a fyddai yn mynu ei groen yn fwyd pryfed; ac nid i ddyfetha ei anifeiliaid, fel y Sabeaid, 'ond y corph hwn,' medd Job, 'yr hwn a ddiangodd oddiwrth farwolaeth, trwy farw ei hun yn ei le.' Ymafiodd yn y gwaith hwn pan yn teithio gwlad Judea, i ddangos fod ganddo ef ryfel yn erbyn angeu. Ymosododd ar angeu yn nhŷ Jairus, pan oedd wedi lladd ei anrhaith; ar heol Nain, pan oedd fel llew yn myned â'i ysglyfaeth adref; ac yn Bethania pan oedd wedi myned â'i yspail i'w ffau er ys pedwar niwrnod. Ni allasai wrthsefyll Mab Mair; ond *ildio* i fynu ei ysglyfaeth ar ei air ef. Ni safai cythreuliaid, byddarion, na mudion Judea ddim o'i flaen ef; ond hwy a doddent o flaen ei allu.

"Fel hyn y bu am dair blynedd fel gwr o ryfel (*man of war*) yn hwylio ar y môr, ac yn amddiffyn plant angeu o ddwylaw y cawr glâs, er llâwenydd a syndod, o Samaria i dueddau Tyrus a Sidon. Ond ar brydnawn byth i'w gofio, yr oedd fel gwr o ryfel yn nesu at hyrdd-gloddiau Sinai; saethwyd ato, nes ydoedd yn chwysu megis dafnau o waed. Cadwyd tân gwastadol arno trwy yr holl noson y bradychwyd ef, o hen fagnel Eden, 'Gan farw ti a fyddi farw,' hyd nes ydoedd o gylch tri y prydnawn dranoeth, ac yntau wedi cymmeryd ei sefyllfa rhwng ei eglwys a'r ergydion. Ond dyma yr ergyd mawr yn dyfod, nes oedd ei enaid bron yn ymadael â'i gorph, ac yntau yn dolefain, 'Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?' Gwelwn y gwr o ryfel yn soddi yn môr-gerwyn angeu yn Nghalfaria, gyda rhyw gynhwrf goruwch-naturiol;—crynodd y ddaear, holltodd y creigiau, duodd yr haul, ac agorodd y beddau, megis pe buasai holl gymmalau natur yn rhyw le yn cyd-ddal â rhyw un oedd yn marw!

"'Llonyddodd y rhyferthwy wedi i'r eigion ei lyncu ef; ond ni soddodd y Gwr hwn o ryfel fel ereill a fuasent yn soddi o'i flaen. Aeth i lawr a'i hwyliau i fynu, a'i gof-lyfr (*register*) gydag ef; a rhyw arwyddion megis mai nid o wendid y soddodd, ac nad oedd neb yn abl soddi ei lestr o'i anfodd; ond mai hwylio i lawr i'r gwaelodion a wnaeth, er mwyn cyfodi rhyw luoedd i fynu oedd yn gorwedd yn ngharchar angeu. Nid oedd fawr yn gwybod ei amcan ef, am hyny ei gyfeillion a dorasent eu calonau, a'i elynion a ymwrolodd, ac aethant i gau y Gwr o ryfel yn ddigon sicr yn y bedd, gan osod maen mawr rhyngddo a'r làn, a sel Cæsar i'w gadw i lawr. 'Chwi a ellwch beidio a'ch ffwdan a'ch traul i'w gauad ef yn y gwaelod,' oedd iaith yr holl brophwydi, 'ni threulia efe ond amser byr yn y dyfnder.'

Gyda gwawr boreu y trydydd dydd, dyma y ddaear yn cael llewygfa o gryndod, a rhyw ferw o eigion cerwyn marwolaeth, fel pe buasai rhyw beth yn gwneud ei ffordd i fynu, ac wedi cylymu ei hun â byd etholedig o farwolion, ac yn *picio* i wyneb y dyfroedd, a'i lwyth mawr gydag ef, cylymedig wrth ei lestr,—yn gyflawn hwyliau, ac enw newydd ar *stern* ei wr o ryfel, sef 'Yr Adgyfodiad a'r Bywyd,' ac yntau yn gwaeddi, 'Henffych well,' i'w ddysgyblion, 'Myfi yr hwn a fum farw.' A gollaist ti ddim yn y gwaelod, O fendigedig Arglwydd? Naddo; mae llyfr y bywyd genyf heb wlychu. Mae bywyd fy mhobl genyf. Dyma eu cyfiawnhad yn rhinweddol, wedi ei arwyddo gan fy Nhad, trwy waed y cyfammod tragywyddol. Mae *cable* ffydd, mae angor gobaith, a hwyliau cariad wedi dyfod gyda mi i fynu o'r dyfnder, ac nid ânt yno mwy.'

Ysg. gan JOSEPH WILLIAMS.

*Llerpwll.*

---

## GOFYNION.

Dygwyddodd yn ddiweddar fod cyfarfod ysgolion mewn lle cyfagos i'r ardal yr ydym yn byw ynddi, lle yr oedd gweinidog Efengyl yn egwyddori yr Ysgol ar y bennod gyntaf o'r Hyfforddwr—ac wrth egwyddori oddiar yr atebion gofynodd—"A fydd yr Arglwydd Iesu yn gweinyddu ei swyddau cyfryngol yn y nefoedd i dragywyddoldeb?" Atebwyd, Y byddai;—Atebodd un arall, Na byddai—galwyd ar y ddwy blaid—i brofi eu hatebion—y cyntaf a ddywedodd y gair hwnw. 'Ti wyt offeiriad yn dragwydd;' a'r llall yr adnod hono, 'Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i fynu i Dduw a'r Tad'—ac y mae amryw o'r dorf yn rhanedig ar y mater hyd yma; am hyny dymunwn arnoch chwi, neu ryw un, roddi eglurhâd ar y matter, a hyny gyd a brys. S. S. JONES.

---

Y CYFAMMOD GWEITHREDOEDD A'R DDEDDF FOESOL.

BARCHEDIG OLYGYDD,—Wrth ddarllen yn

eich Rhifyn am y mis Gorphenaf diweddaf sylwad ar y Cyfamod Gweithredoedd, dywedodd un o'm gwrandawyr, mai yr un peth oedd y Cyfamod Gweithredoedd a'r Ddeddf foesol: ond yr wyf fi yn methu a chredu hyny. Ac wrth edrych i waith hen ysgrifenwyr ar hyny, mae yn anhawdd i'r dwl a'r anwybodus benderfynu pa fodd y mae. Oblegid y maent hwythau yn dywedyd, un fel hyn a'r llall fel arall. O herwydd hyny, yr wyf yn dymuno cael genych chwi, neu un o'ch Gohebwyr, trwy gyfrwng y Drysorfa atebiad i'r tri pheth canlynol:—

1. Pa un a oes ai nad oes gwahaniaeth rhwng y Cyfammod Gweithredoedd, a'r Ddeddf foesol, os oes, pa beth ydyw?

2. Pa beth y mae y Cyfammod Gweithredoedd yn ei ofyn i ddyn yn bresennol?

3. Pa beth mae'r Ddeddf foesol, yn ei ofyn i ddyn yn bresennol?

Yr wyf yn ewyllysio cael eglurhad amlwg, a hawdd ar y pethau hyn, i'r dwl i'w ddeall: oblegid, mae gair uwchradd yn effeithiol i roi terfyn ar ymryson isradd.

AP GWILYM.

---

SYR,—Dymunwn wybod pa fodd yr arferir cysoni yr adnodau canlynol, sef Mat. x. 10. a Marc vi. 8. Dywed Matthew, 'Nac ysgrepan i'r daith, na dwy bais, nac esgidiau, na ffon; canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd.' Marc a ddywed, 'Ac a orchymynodd iddynt, na chymmerent ddim i'r daith ond llaw-ffon yn unig; nac ysgrepan, na bara, nac arian yn eu pyrsau.

*Ruthin* MYFYR.

---

SYR,—Byddaf ddiolchgar i chwi, neu rai o'ch Gohebwyr, os gwnewch ddangos cysondeb yr adnodau hyn â'u gilydd, Psalm xci. 10. a Preg. ix. 2.

*Dyffryn.* IOLO.

---

SYR,—Pa wahaniaeth sy rhwng 'corph anianol,' a 'chorph ysbrydol,' os gwyddoch? 1 Cor. 15. 44.

YMCHWILIWR.

---

BARCH. OLYGYDD,—Dymunwn gael eglurhad ar y Gofyniad canlynol, trwy gyfrwng y 'Drysorfa,' mor fuan ac y galloch, sef,

1. Pa beth sydd i'w ddeall wrth y gair 'Nazaread?'

Gobeithio na bydd i chwi droi hyn ymaith yn ddiystyr, oblegid nid gofyn er mwyn gofyn yr ydwyf, ond er mwyn cael gwybod.

Ydwyf, yr eiddoch,

*Mon.* GAMALIEL.

## ATEBION.

---

*Atebiad i Ofyniadau S. Lewis, Rhif.* 113. *tu dal.* 144. *allan o Esboniad Dr. Guyse ar y lle.*

GAN hyny (*dia toulo*) yn enwedig mewn gweithredoedd o addoliad cyhoeddus, fe ddylai'r wraig wisgo am ei phen fel arwydd adnabyddus o weddeidd-dra, ac o awdurdod y gwr arni, mewn amddiffyniad o awdurdod uwch gweinidogion Crist, y rhai a anfonodd efe i bregethu a blaenori yn nghynulleidfaoedd yr eglwys, fel na byddo dim yn ymddangos ei bod hi am gystadlu a'r dyn yn yr awdurdod o ddysgu. A hi a ddylai fod yn fwy gofalus am hyn dan yr ystyriaeth o bresennoldeb yr angylion da a drwg, fel yr ydys yn meddwl, yn ein cyfarfodydd crefyddol, fel y gallo hi ymddwyn gyda pharch gweddus i un, a pheidio a gwneud ei hun yn agored i ddirgel ddywediad o falchder neu anweddeidd-dra, gan neu oddiwrth y llall. NIHIL.

*Hopton.*

---

*Sylw ar Ofynion Dewi Ial, Rhif.* 113. *Tu dal*, 144.

YR ydwyf wedi manwl sylwi ar holl erthyglau Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, (mae yn debyg mai eu Cyffes hwy a feddylir) ac mae yn ddyledswydd, yr wyf yn meddwl, ar bawb o'r aelodau proffesedig wneud yr un modd, ac yr wyf wedi eu rhoddi y'nghlorian y cyssegr (a thybiwn mai yn ddifwriad y rhoddodd Dewi ei ofyniad cyntaf o chwith, fel pe buasai Cyffes Ffydd yn faen prawf ar unrhyw bwngc crefyddol yn lle yr ysgrythyr) ac nis gwelais ddim a allwn alw yn anghysondeb. Cynghorwn y Gofynydd i ddarllen ysgrif y Parch T. Charles, o dan y gair *Arfaeth*, yn ei waith tra rhagorol 'Y Geiriadur Ysgrythyrol,' ac os na bydd yn cael ei foddloni anfoned ofynion yn fwy neillduol ar y mater; a phe bawn addas i nodi diffygion, mi ddywedwn fod aml un o'r gofynion a anfonir i'r Drysorfa yn rhy gyffredinol. Os gwelir anghysondeb rhwng y naill beth a'r llall dylid nodi pa beth ydyw. O barth i'w Ofyniad arall, beiddiaf ateb mai un ffydd gadwedigol sydd yn cael son am dani yn y Bibl, a bod y lleill yn hollol wahanol iddi. NIHIL.

*Hopton.*

---

*Atebiad i Ofyniad 'Carwr Gwybodaeth,' mewn perthynas i gyssondeb* 2 Chron. v. 10. a Heb. ix. 4.

MAE y diweddar Barch T. Charles, yn ei Eiriadur Ysgrythyrol, dan y gair *Manna*, yn myned ym mlaen i sylwi fel hyn—'Rhoddwyd lloniaid omer o hono mewn crochan i'w gadw ger bron yr Arglwydd

ynghadw. Dywed awdwr yr Epistol at yr Hebreaid mai crochan *aur* oedd, er nad yw hyny yn cael ei enwi gan Moses. Yr oedd pob peth perthynol i'r Arch yn awr wedi eu goreuro. Dywed hefyd fod y crochan aur yn yr Arch. Heb. ix. 4. Ond dywed Moses mai 'ger bron y dystiolaeth yr oedd.' Dywedir hefyd, 'Nad oedd dim *yn* yr Arch ond y ddwy lech faen a osodasai Moses yno yn Horeb.' 1 Bren. viii. 9. 2 Chron. v. 10. Nid oedd dim *yn yr* Arch *dan y drugareddfa*, mae yn eglur, ond y llechau; ond yr ydym yn darllen fod 'Llyfr y gyfraith wedi ei osod ar *ystlys* Arch cyfammod yr Arglwydd.' Deut. xxxi. 26. Felly yn ddiameu yr oedd y *crochan aur*, a gwialen Aaron, ar ystlys yr Arch, neu ger bron y dystiolaeth, ac yn agos ati.' Yna y mae yn rhoddi esiamplau fod y rhagddod yn Hebraeg a Groeg yn arwyddo nid yn unig *yn* ond *wrth*, yn *agos at, yn nglyn wrth*, gwel Job xix. 20. Hos. iv. 3. Luc. i. 17. Math. xxi. 12. Jos. v. 13. 1 Bren. xvi. 3. Col. iii. 1. 'Oddiwrth y lleoedd hyn, ac amryw ereill a ellir gael, mae meddwl yr Apostol yn hollol amlwg, yn gytun â geiriau Moses; nid yn yr Arch, dan y drugareddfa, yr oedd y crochan a'r *manna*, ond yn ei hystlys neu wrthi tu allan iddi.' NIHIL.

*Hopton.*

---

*Attebion i dri Gofynion I. ap Ioan, Rhif.* 113. *Tu dal.* 244.

I. Yr Iuddewon a briodasent y rhai yr oedd Duw wedi gorchymyn yn bennodol iddynt beidio, ynghyd a'u gwragedd.

II. Cymmysgedd o'r Asdodiaeg a iaith yr Iuddewon.

III. Yr wyf yn hollol gredu fod 'yr *holl* ysgrythyr wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw' ac etto nid wyf yn barnu fod pob hanes cynnwysedig yn y Bibl i'w ysprydoli fel dammeg, &c. ond oddiwrth hanes y bobl hyn mae amryw addysgiadau buddiol ac ysprydol yn ymddangos yn eglur i'r darllenydd ystyriol. Am hyny bydded i ni gymmeryd esiampl oddiwrth ymarweddiad y rhai drygionus a gochel dilyn ol eu traed. NIHIL.

*Hopton.*

---

## HANES

*Dechreuad a chynnydd achos yr Arglwydd yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghorris, Meirion; ynghyd a'r rhan grefyddol o fywyd Dafydd Humphrey, Aber-Corris; yr hwn a fu ffyddlon a diwyd gyda'r achos o'i sefydliad hyd oni hunodd efe mewn tangnefedd, Rhagfyr* 19, 1839.

WRTH ymofyn am yr amlygiadau cyntaf o wawr ar drigolion Corris a'i chymoedd, 'y rhai a eisteddent yn mro a chysgod angeu,' rhaid i ni edrych ar Ragluniaeth fawr y nefoedd yn mudo gwraig wedi cael trugaredd i'n hardal i fyw. Y wraig oedd Jane Roberts, yr hon a breswyliai cyn dyfod yma yn y Nanau, gerllaw Llanfachreth. Wedi clywed o honi fod yr Annibynwyr yn pregethu yn Maes yr-afallen, rhwng Dolgelley a'r Bermo, hi a lanwodd sach â gwair, ac a'i gosododd dani ar geffyl ryw Sabbath, a hyny rhag i neb dybied mai myned i'r bregeth yr oedd, ac a aeth yno i wrando. Erbyn myned yno, digwyddodd mai yr hen batriarch, John Evans, o'r Bala, oedd wedi dyfod yn lle y gweinidog arferol, yr hwn a luddiesid gan ryw beth anhysbys i ni

Bendithiwyd y bregeth hon i ddeffroi meddwl Jane Roberts am ei chyflwr. Ac er doethed oedd John Evans, o'r Bala, yr hwn a sylwodd ar y wraig yn myned i, ac yn dychwelyd o'r oedfa, ni fedrai ddirnad i ba beth y dygai hi y sached gwair dani trwy y dydd. Ond efe a'i clywodd hi yn dyweyd ei dyben lawer gwaith wedi hyny.

Fel y sylwyd, daeth Jane Roberts i ardal Corris i fyw; ond nid oedd yno ddim moddion gras gan y Trefnyddion na neb arall y pryd hyny, oddieithr a oedd yn Llan y plwyf. Ymhen rhyw yspaid wedi ei dyfod hi yma, clywodd fod Thomas Evans, Waunfawr, Caernarfon, i fod yn pregethu yn Abergynolwyn. Yna annogodd ei merch, Elizabeth, a Dafydd Humphrey, y rhai oeddynt newydd briodi, i fyned gyda hi i'r bregeth hono. Yr oedd D. Humphrey yn 25 oed y pryd hyny; a hono oedd y bregeth gyntaf a glywodd efe gan un o'r Trefnyddion, yn yr hon yr oedd tyrfa luosog wedi ymgasglu, gan mwyaf i'r dyben o aflonyddu ac erlid; canys nid oedd odid un o honynt a welsai bregethwr, nac ychwaith broffeswr crefydd, erioed o'r blaen. Ond cafwyd llonydd i gynnal yr oedfa, fel y gwelir yn Nrych yr Amseroedd, gan Robert Jones, Rhoslan, tu dal. 122, trwy i ryw ddyn aruthrol o gryf gael ei annog gan ewyllysiwr da i'r achos i fygwth y rhai a fwriadent erlid; yna ofnai y terfysgwyr aflonyddu pan godai hwnw ei ddwrn i arwyddo iddynt fod yn llonydd. Yn y bregeth hono cafodd D. H. ryw beth a barodd iddo golli y blas ar y fyddin ddu fel o'r blaen.

Ymhen y flwyddyn, a dim cynt, sef 1781, y cafodd D. H. gyfleustra i wrando pregethu eilwaith, ar Fawnog Ystraedgwyn: aflonyddu ac erlid oedd yno hefyd. Yna, yn mhen rhyw yspaid, cafwyd un o hen bregethwyr cyntaf y Bala (ni wyddis ei enw) ryw Sabbath i bregethu wrth y ffordd fawr yn Nghorris. Yma yr oedd y diafol wedi annog rhai o'i weision i ddwyn llestri *tin* a phres i'w curo, rhag i'r dyrfa glywed a bod yn gadwedig. Ond rhyw un o awydd i glywed beth oedd gan y pregethwr i ddywedyd, a gipiodd *forter* pres o law un o *ddrummers* uffern, ac a'i chwyrndaflodd i'r

afon, ac erbyn myned i'w geisio eilwaith, yr oedd wedi *cracio* fel na thalai ddim mwy i'r gwasanaeth hwnw.

Wedi hyny bu pregethu mor fynych ag y ceid rhyw un i bregethu mewn tŷ annedd a elwir Llain-y-groes: ond ymlidiwyd ni yn fuan oddiyno. Yna cafodd y gwr a oedd yn byw yn Scubor-goch ar ei feddwl agor ei ddrws i'r pregethu am ddwy flynedd; a bu agos iddo golli ei dyddyn o'r achos. Fel hyny yr oedd uffern a'i hofferynau yn bryderus iawn rhag i arch Duw Israel gael aros yn ein plith; er hyny, yr oedd trugaredd wedi dechreu ymgeleddu D. Humphrey a'i wraig, ynghyd a dwy wragedd ereill, sef Jane Jones, Aberllefeny, a Betty Lewis, Hen shop: y rhai hyn oeddynt flaenffrwyth Corris: dioch i Dduw, mae cnwd mawr yn canlyn.

Wedi i bob drws gau, fel y soniwyd, anturiodd D. Humphrey roi lle i bregethu efengyl Crist ar ben careg, wrth ddrws tŷ annedd, ar ei dir ei hun. Yn fuan wedi hyny, trwy i'r teulu a drigai yn y tŷ hwnw, sef hen Gastell, ymadael o hono, gosododd D. H. ef am ychydig o ardreth i ryw wr a ewyllysiai yn dda iddo, a hwnw i'w adael yn rhydd i gael pregethu ynddo,* a hyny er mwyn bod yn glir a chyfraith y tir, yr hon ni oddefai y pryd hyny mwy nag yn awr i bregethu mewn tŷ heb ei *recordio*.

Gan fod y dywededig J. Roberts a'i gwr yn ddeiliaid i foneddwr erlidgar, cawsant rybudd i ymadael o'u tyddyn, sef y Rigog. Pan aeth y gwr i ofyn am dano eilwaith, dywedwyd mai ar yr ammod i Jane ymadael a'r crefyddwyr y ceid ef. Wedi ei ddyfod ef adre, gofynodd Jane, 'Wel, John bach, sut y fu hi?' 'Canolig,' ebe John, 'ond gallasai fod yn waeth: dywedwyd y caem ni y tir etto, ond i ti ymadael â'r bobl yna.' 'Wel, John bach, os ydych chwi yn tybied y bydd yn well i chwi ac i'n plant ni, (y rhai oedd 11 o rifedi) i mi ymadael er mwyn i chwi gael y lle, ymadawaf fi a chwi, ond nid byth â chrefydd.' Ond mae yn debyg i brofi Jane y gwnawd hyny; oblegid cawsant y tyddyn heb iddi hi ymadael â chrefydd: gwyddent yn dda mai nid hawdd y caent neb gonestach a ffyddlonach i'w meistr tir na Jane.

Yn y flwyddyn 1796, mae'n debyg i'r diafol ofni y collai efe y dydd yn Nghorris; yna, rhag i hyny fod, annogodd yr un boneddwr erlidgar i'n herlid am geisio addoli ein Duw. Daeth a 10 neu 12 a filwyr dan arfau i'n dal. Tra yr oeddynt yn dyfod ar hyd y ffordd, deallodd rhyw ewyllysiwr da i ni eu neges hwy, a rhedasant i'n hysbysu fel hyn:—Rhedai un tra parhäai ei wynt, yna anfonai hwnw yr ail, rhedai yr ail yntau hyd y daliai ei wynt, yna anfonodd y trydydd, &c. Felly, fel rhyw *delegraphs* cyflym, rhybuddiasant ni o'n perygl cyn i'r *Squire* a'i filwyr arfog gyrhaedd atom.

'Yna,' ebe D. Humphrey, brysiais a chymmerais y pwlpit o'r Hengastell, codais ef ar fy nghefn, a chuddiais ef dau wellt yn fy meudŷ. Yna ymguddiais mewn rhedyn yn ngolwg y ffordd; a gwelwn y fyddin arfog yn dyfod dan saethu nes oedd y mwg yn llenwi cwm Corris o ben bwy gilydd. Anfonwyd un o'r gweision i ymofyn am danaf fi; a phan ddywedodd fy ngwraig nad oeddwn yn tŷ, dywedodd am i mi fyned at ei feistr dranoeth. Felly ymadawsant heb niweidio ein Castell ein pwlpit, na ninnau chwaith. Bore drannoeth, aethym at y gwr boneddig; a gofynodd i mi, A oeddwn yn gosod y tŷ i bregethu ynddo? Minnau a ddywedais fy mod. Gofynodd, I bwy? Minnau a ddywedais i Vaughan Jones. Yna nid oedd a wnelai efe a mi, ond â'r gwr hwnw. Ond gan faint ei frys, a'i elyniaeth i geisio ein drygu, aeth â'r mater i chwarter *Session*, i'r Bala, cyn cael hyd i V. J. trwy ei fod yn gweithio oddicartref. Am nad oedd a wnelai efe â bychan nac â mawr, ond â V. J. yn unig, a hwnw heb fod i'w gael, methodd y *Squire* a chael yr un cyfreithiwr i'w bleidio; ond cymmerodd Mr. David Francis Jones, cyfreithiwr o Gaerlleon, ein hachos ni, ac ennillodd y dydd.

Wedi hyny *recordiwyd* yr hen Gastell i bregethu; ac yn ganlynol cadwynodd y gyfraith wladol y boneddwr hwnw fel na allodd ein drygu byth mwy: er y dywedodd efe mewn ymffrost, flynyddau wedi hyny, wrth Humphrey Davies, mab D. H. 'Towlson ni hen pwlpit nhw dros ceulan i'r afon:' Mae yn debyg i'w weision ddweyd wrtho ef iddynt hwy wneyd hyny. Wedi i'r erledigaeth uchod, aeth yr olwg yn isel iawn arnom gan ein digalondid a'n hofn; ond ni lwyr ddiffoddwyd y tân sanctaidd yn eneidiau y ffyddloniaid. Pan geid ambell bregethwr i'n plith, dygai yr hen wragedd damaid iddynt mewn napcyn, ac a'i gosodent mewn twll yn y mur tra parhäai yr oedfa: byddai hwnw yn bur flasus. Trwy y weinidogaeth yn yr amserau hyny deffrowyd amryw am eu cyflwr, nes cynnyddu o'r eglwys i o 15 i 20 o rifedi. Galwyd Richard Anthony, a Lewis Pugh: bu y blaenaf a'i ysgwyddau yn ffyddlon dan yr arch hyd ei fedd; ac mae yr olaf yn aros felly etto yn Llwyngwril, yn y Sir hon. Daeth un John Richards o ardal Llanuwchllyn yma i fyw: hwnw hefyd oedd wr deallus, a defnyddiol hyd angeu.

Yn yr amseroedd tywyll ac anwybodus hyny, bu y brodyr a gadwent ysgolion Mr. Charles, o'r Bala, yn fendithiol iawn yn ein hardal, trwy egwyddori a chynghori y plant, heblaw eu dysgu i ddarllen. Pan oedd un

* Y pryd hwn oddeutu y fl. 1790, y dechreuwyd cynnal cyfarfod eglwysig, a dim ond D. H. a'i wraig a'r tair gwraig ereill, Jane Roberts, Jane Jones, a Betty Lewis, ynddo.

o'r athrawon hyny yma, a elwid Robert Morgan, aeth rhyw un ag oedd yn bur lawn o ragfarn a gelyniaeth i mewn i'r ysgol; ac oblegid y byddai R. M. yn egwyddori, cynghori, a gweddio gyda'r plant, tynodd ei het oddi am ei ben, a thaflodd hi i'r ceunant o flaen yr Hengastell. Twymnodd tymmerau y plant bach dros eu meistr, fel, oni bai eu lluddias ganddo, y buasent yn debyg o andwyo yr erlidodd. Bu y brawd Lewis Williams, Llanfachreth yn llafurus a llwyddiannus iawn, pan oedd yma gyda'r ysgol a enwyd, i gynnorthwyo ein tadau i sefydlu Ysgol Sabbathol yn ein plith. Gan fod pregethu mor anfynych y dyddiau hyny yn ein gwlad, âi yr hen bobl i gyd, eto heb wybod i'w gilydd os gallent, i wrando; yna yr hen wragedd yn unig fyddai yn cadw yr Ysgol y Sabbath hwnw.

Byddai dyfodiad Mr. Charles, o'r Bala, yn cael ei ganlyn yn gyffredinol â rhyw ddeffroad gyda phob rhan o achos yr Arglwydd. Un tro pan oedd D. H. yn ei hebrwng o Corris i olwg Ystraedgwyn, gofynodd Charles iddo, 'A oes yr un ceiliog yn canu yn ardal Ystraedgwyn, Dafydd?' Nac oes yr un, Syr, ebe D. Ow, ow, ebe Charles, codwch Ysgol Sabbathol yma. Yna dechreuodd D. H. ynghyd â rhai o'n hen dadau, ganu yno fel ceiliogod ar doriad y wawr, trwy gadw Ysgol Sabbathol, cyfarfodydd gweddio, ac ambell bregeth; er y byddai yno yn gyffredinol aflonyddu ac erlid gan ddeiliaid rhagfarn, fel y bu gorfod ar y diweddar Barchedig J. Roberts, Llangwm, droi o'r maes heb bregethu, a'i adael i wyr y bel droed; ond cafodd hamdden i lefaru i'r dorf wrth y ffordd cyn ymadael wedi hyny. Yn awr, mae yr haul mawr wedi codi ar y dyffryn hwnw hefyd. Mae yno gapel 8 llath ysgwar; ac o ddeg i bymtheg ar hugain o haid a aeth o hen gwch Corris yn perthyn iddo.

Yn oes yr Hengastell sefydlwyd hefyd Ysgol Sabbathol yn ardal Aberllefeny. Aeth hòno yn dair. Ac yn awr mae Col. Jones, Cyf.fronnydd, Sir Drefaldwyn, wedi bod mor haelionus ag adeiladu ysgoldŷ yn yr ardal hòno, o ddeutu 9 llath ysgwar, oll ar ei draul ei hun; ac yn cenhadu i'r Trefnyddion gynnal pob moddion o ras ynddo. Mae yr haid sy'n perthyn i Corris yn yr ardal hòno yn awr o gwmpas 60 o rifedi.

Ond i ddychwelyd, wedi i'r ysgol a'r gwrandawyr gynnyddu nes eu myned yn fwy na llonaid yr Hengastell; barnwyd yn angenrheidiol cael Capel, os byddai bosibl. Yn y fl. 1816, ymosodwyd at ei adeiladu; er fod yr olwg ar amryw bethau yn bur ddigalon: ychydig cyn hyny, bu yr ychydig grefyddwyr oedd yma am ryw yspaid heb gynnal yr un cyfarfod eglwysig, a hyny oblegid rhyw wangalondid nad gweddus adrodd yr achlysur o hono; ac yr oedd y flwyddyn hòno yn un ddrud a phrin iawn. Rhoddodd D. H. dir ato; a'i bwngc ef y pryd hyny, fel bob amser, oedd, newid dau achos â'r Arglwydd. Gweithiai ef â'i ddwylaw, â'i weision, ac â'i anifeiliaid ar y capel bron bob dydd; ac ni chai chwarelwyr yr ardal lonydd ganddo heb weithio wrtho bob prydnawn Sadwrn. Ymddengys heddyw ddarfod i'r Arglwydd weled yn dda gytuno â D. H. yn y *fargen* o newid dau achos; oblegid po fwyaf a wnai efe a'i deulu yn mhob ystyr at achos yr Arglwydd, mwyaf i gyd y llwyddent yn y byd. Ac er eu bod wedi, ac yn, llettya canlynwyr tlodion yr Arglwydd Iesu o'r de a'r gogledd er ys dros hanner can mlynedd, heb feddwl am dal yn y byd ond a obeithient gael yn adgyfodiad y rhai cyfiawn; etto, tybiem mai gwir yw iddynt dderbyn yn yr un bore o law Rhagluniaeth gyflawn dâl am eu holl lafurus gariad. Mewn perthynas i'r holl lefarwyr sy'n galw yn Abercorris, dywedwn, fel y dywedwyd ar achos arall, 'mae y plant yn rhyddion.'

Yn y fl. 1819, wedi hir ddysgwyl am wawr, wele hi yn tori; galwyd 6 neu 8 o benau teuluoedd at grefydd. Gad oeddynt: canlynodd tyrfa fawr. Grymus iawn fu gweithrediadau yr Ysbryd y flwyddyn hòno: ychwanegwyd at yr eglwys o 65 i 70. Wedi yr ymweliad hyny, dywedai D. H. wrth i mi chwilio am blant yr Ysgol Sabbathol gynt, wele hwynt yn awr agos i gyd yn yr eglwys:—Dyma ddigon o dâl am lafurio blynyddoedd meithion gyda'r Ysgol. Rhif yr eglwys, wedi'r ymweliad hyny, oedd 80; ond trwy symmudiad, marwolaeth, ac efallai, gwrthgiliad, aethant yn ol i 60 mewn rhyw yspaid o flynyddoedd.

Yn y fl. 1834,* bu farw Elizabeth, gwraig D. H., a Jane ei ferch; ill dwyoedd o fynwes yr eglwys, ac er galar a cholled i'r eglwys.

Gan fod yr ardal yn lluosogi mewn poblogrwydd, trwy ddyfodiad chwarelwyr iddi, &c. aeth y capel cyntaf yn rhy fychan o lawer; ac ymosodwyd at yr ail yn y fl. 1836. Ymddygodd yr ardalwyr yn garedig iawn yn eu haddewidion tuag ato. Ac fel yr oedd llawer o'r rhai digrefydd yn addaw ac yn rhoddi eu harian at y tŷ, deuent eu hunain i ymofyn am le yn Seion; fel pe tybiasent nad iawn iddynt roi yr eiddynt heb roi eu hunain hefyd: ac yno y maent etto.

Yn y flwyddyn hòno hefyd yr ymwelodd y bendefiges Dirwest â ni. Cyn ei dyfodiad hi yma, yr oedd ein hardal wedi myned yn *wleb* iawn; ond lleipiodd y dyfroedd melldigedig o'n dwylaw, a'n geneuau, a hyny o'n gwirfodd; a disgynodd y tân sanctaidd ar ugeiniau o honom mewn canlyniad. O! ryfedd ras!—(*I'w barhau.*)

* Cyn hyny, sef yn y fl. 1828, y collasom chwaer hynod mewn duwioldeb o ferched D. Humphrey, sef Mary, gwraig Ffynnonbadarn. Mynych y byddai ei hyspryd hi yn y nefoedd, cyn myned o honi yno i fyw.

## LLYTHYRAU.

*At Olygydd y Drysorfa.*

Barchedig Syr.—Fy amcan wrth ysgrifenu am 'Natur Eglwys' oedd dangos ei bod yn fuddiol ac ysgrythyrol i wahanol eglwysi ymuno mewn Cymdeithasfaoedd. Y mae yn amlwg nad oes a fyno hyn â *Deeds* addoldai. Ond gan fod yr Annibynwyr, yn lle ysgrifenu ar y pwnc fel pwnc, yn dewis myned i chwilio 'pa beth yw Trefnyddiaeth,' ac yn ei chymmeryd yn orchwyl i 'sychu y llwch a'r llwydni oddiar hen grwyn hen *leases* yr hen Gyffes,' a chan fy mod yn bwriadu cadw at y pwnc dechreuol yn fy llyfr addawedig, nid oes genyf ond rhoddi ambell dro allan o'r llwybr i gyfarfod â hwynt.

Yr hyn sydd yn peri i mi eich blino y waith hon yw ychydig o ddiffyg cydwelediad rhyngof â Mr. S. Roberts o barth y *Constitutional Deed*, ynghyd ag un neu ddau o achosion eraill. Yr oeddwn wedi dweyd nad oes dim yn y *Deed* grybwylledig yn gwahardd *discussion* ar erthyglau Cyffes Ffydd yn mhob man ond mewn Cymdeithasfa. Y mae Mr. R. yn gwadu hyn eilwaith ac eilwaith: a'r gofyniad yw, Pwy sydd yn iawn? Mi feddyliwn mai y ffordd oreu i benderfynu y ddadl yw dodi y geiriau eu hunain ger bron fel y maent yn y Crynodeb, neu y *Syllabus* o'r *Deed*, cyfargraff o ba un, medd Mr. R. sydd yn ei feddiant. Tu dalen 27, dywedir fel y canlyn.

Eighthly, That the General Assemblies or Quarterly Associations of the said Welch Calvinistic Methodist Connexion shall be under the following Rules and Regulations (that is to say). Yna rhoddir y rheolau at ddwyn yn mlaen y Gymdeithasfa chwarterol ar lawr mewn trefn; a'r nawfed o'r rheolau hyny sydd fel y canlyn:

Ninthly, That the Quarterly Asociations shall have a religious view in all their resolutions, and all resolutions shall be consistent with those regulations of the connexion which are declared by these presents or already acted upon—and if at any time it shall be deemed necessary to set aside, or vary from any rule adopted by the connexion, then such omission or variation shall be proposed, and shall be discussed seriously and considerately in two quarterly associations at the least; and if approved by such associations, then it shall be again proposed at a quarterly association; and it the members composing that association be unanimous, or there be a majority of three-fourths at the least for such omission or variation; then the rule shall be amended, altered, or cancelled; or a new rule substituted in its stead as the case may require: but that no alteration in the confession of faith, or the tenets or doctrines to be taught and maintained by the said connexion shall be at any time allowed or even discussed.

At y geiriau hyn y mae Mr. R. yn ei lyfr yn cyfeirio yn benodol, gan fynychhaeru eu bod yn gwahardd pob *discussion* athrawiaethol ar unrhyw achlysur; ac yn ei nodiadau ar y llythyr diweddaf a anfonais i'r Drysorfa y mae 'etto yn dweyd yr un peth.' Neu os goddefir i mi am dro fenthyca ei ddull ef o ysgrifenu, y mae y geiriau uchod, yn ol ei farn ef, yn peri na all *un* Methodist, mewn *un* man, neu mewn *un* amgylchiad, neu ar *un* amser gynal *un* gyfiafaredd, nac *un* cymhwyll, ag *un* Methodist arall, am *un* erthygl, nac *un* pwnc mewn *un* rhan o'r Cyffes Ffydd. Ac y mae hyn oll yn cael ei effeithio, sofier, gan y rheol uchod. Pa esgus o sail sydd ganddo i ddweyd felly sydd fwy nag a fedraf ei amgyffred. Rheol ydyw i drefnu cyfarfodydd chwarterol y Gymdeithasfa, ac at y cyfarfodydd hyny yn unig y mae yn cyfeirio. Fel y dywed yntau, 'Rhaid fod *un* o honom yn camgymeryd, a dylai syrthio ar ei fai.' A gallaf sicrhau iddo fod pawb ag y bum i yn ymddyddan a hwy ar y pwnc yn barnu mai *efe* sydd. Pa fodd bynag, dyma y geiriau eu hunain ger bron y darllenydd, ac yn awr barned y diduedd rhyngom.

Ond drachefn, yr wyf dan rwymau i gydnabod fy mod o herwydd nad oedd y Syllabus yn fy ymyl ar y pryd, mewn un peth wedi camgymeryd, ac oblegyd hyny wedi gwneyd cam â'r *deed* druan—ond cam hollol wahanol i'r un y sonia Mr. R. am dano. Y mae yn amlwg nad oes yn y geiriau uchod ddim gwaharddiad i *ddiscussio* pynciau Cyffes Ffydd hyd yn nod mewn cymdeithasfa. Beth a ddywed yr Annibynwyr erbyn hyn? Gan fod rhai o honynt yn bur hwyrdrwm eu deall, dywedaf etto fod pob rhyddid, o ran dim sydd yn y *deed*, i ymddyddan yn frawdol, ac i ddadleu os bydd achos, ar bynciau Cyffes Ffydd hyd yn nod mewn Cymdeithasfa. Yr hyn a ddywedir yn y Deed yw, nad oes un cyfnewidiad i gael ei gynyg yn Nghyffes y Methodistiaid. Ond ceir pob rhyddid i chwilio pa beth a ddywed y Bibl, a chwilio hefyd a ydyw unrhyw erthygl yn y Gyffes Ffydd yn unol â'r Bibl. Os bydd rhyw rai ar ol ymchwiliad felly yn barnu yn gydwybodol nad ydynt yn cydsefyll, nid oes un gorfodaeth arnynt i wneuthur cam â'u cydwybodau. Dylent gadw at y Bibl, a llunio Cyffes Ffydd yn unol a'u golygiadau hwy ar y Bibl. Wel, a ddylent hwy amcanu gosod y Gyffes ffydd hono yn rheol ac yn ddeddf i'r lleill nad ydynt yn ei chredu. Na ddylent yn ddiammeu: ond eu dyledswydd yw ymadael mewn heddwch, codi addoldai newyddion os-dewisant, a gadael yr hen addoldai i'r rhai sydd yn foddlon i bregethu ynddynt yr athrawiaeth

hòno er mwyn pa un y cawsant eu hadeiladu. Pe byddai y personau a ymadawant wedi adeiladu addoldai ar eu traul eu hunain yn gyfan-gwbl; etto yr un peth fyddai gofyn am eu cael yn ol wrth ymadael a phe bai y Trefnyddion Calfinaidd yn codi Cymdeithas Genadol eu hunain, ac yn gofyn yn ol yr holl filoedd o bunnau a gyfranasant i Gymdeithas Genadol Llundain.

Gellid meddwl fod Mr. R. dan llywodraeth rhyw anallu naturiol i weled canol y ffordd ar y mater hwn. Mor gynted ag y codais ef yn y modd caredicaf o'r pydew ar un ochr, dyma ef ar ei ben i'r ffôs yr ochr arall. Ar ol dweyd nad oes gan y Methodistiaid ddim rhyddid mewn un gradd, y mae yn myned yn mlaen i haeru, 'nid o falais *gobeithiaf*,' fy mod inau yn dadleu dros y fath eithafion o ryddid na feddyliodd fy ngalon erioed am dano, sef rhyddid i *aros* gyda'r Methodistiaid i ddysgu a phregethu athrawiaethau hollol groes i'r hyn a broffesir ganddynt. Yr wyf wedi dweyd mor amlwg ag y mae yn ddichonadwy na fydd y cyfryw yn Fethodistiaid Calfinaidd mwyach. Y cwbl yr wyf yn dadleu drosto yw fod rhyddid iddynt gael *discussio* unrhyw fater yn deg ac yn drwyadl ar dir yr Ysgrythyr. Rhoddir cyfle i'w hadferu yn ol, os bydd modd, i farn y cyfundeb; a rhoddir cyfle iddynt hwythau ennill eu brodyr i'w barn hwy. Ond yr wyf yn dweyd etto, am gynifer o aelodau y Gymdeithasfa a arosant, ar ol *discussion* brawdol a digonol, yn groes eu barn i Gyffes Ffydd y Methodistiaid, eu dyledswydd yw ymadael. Dyma y cwbl yr wyf yn dadleu drosto, ac mi feddyliwn mai dyma y cwbl sydd yn y *Deed*, heb ddim mwy na dim llai. Hwyrach y gofynir etto, Pa les sydd mewn *discussion* o'r fath yma? Llawer yn mhob rhyw fodd. Y mae yr un lles yn tarddu o hono gyda'r Methodistiaid ag yn mhob man arall. Meddylier fod eglwys Annibynol Llanbrynmair wedi myned i gyd yn Arminiaid: a meddylier fod fy nghyfaill, Mr. R. wrth ddarllen y llyfr rhagorol hwnw a elwir 'Y Pregethwr a'r Gwrandawr,' yn cael ei ennill i'r ffydd Galfinaidd; os bydd yr eglwys yn Arminiaid cydwybodol, y maent yn rhwym o'i alw i gyfrif. Er hyny ni ddylent gyhoeddi dedfryd arno heb roddi cyfle iddo amddiffyn ei hun. Dichon y medrant ei ennill yn ol at Arminiaeth, neu y llwydda efe i'w cael hwy yn Galfiniaid. Ond os na ddeuant i gydweled, y mae yn rhaid i ymwahaniad ddygwydd gydag ef yr un modd a chyda ninau. Yr holl wahaniaeth rhyngom yw hyn; fod addoldai y Methodistiaid yn cael eu cadw at eu dybenion cyntefig; ac nad ydynt felly gyda'r Annibynwyr. Os *discussion* er mwyn ennill yr addoldai sydd yn eisiau, addefaf nad yw hyny i'w gael gan y Methodistiaid; ond os *discussion* er mwyn deall pa beth sydd wirionedd, y mae hyny mor hawdd i'w gael gyda'r Methodistiaid ag un enwad arall.

Ond er bod cryn wahaniaeth rhyngom hyd yn hyn, y mae yn hyfrydwch genyf fyned rhagof at un peth ag yr ydym yn lled gydfynedol yn ein golygiadau arno. Pwy a ŵyr na ddeuwn at ein gilydd yn hollol bob yn dipyn? Yr oeddwn wedi dweyd nas gall eglwys Annibynol droi ymaith ei gweinidog tra na fyddo yn euog o heresi neu gamfucheddiad. Nid yw Mr. Roberts yn gwadu hyn. Y mae yn wir ei fod yn dangos awydd i gilio oddiwrtho, a myned i siarad am ryw faterion eraill. Ond er nad yw, ynddo ei hun, mewn un modd yn bwnc hoff genyf finau, etto y mae mor dda genyf fedru cydweled âg ef am unwaith fel y dymunwn aros yma ychydig ymhellach. Nid yw dweyd y *dylai* y gweinidogion ymadael o honynt eu hunain yn ddim gwell na dweyd y *dylent* fyw yn heddychol, ac y *dylent* dystiolaethu y gwir bob amser a dim ond y gwir am y *Constitutional Deed*. Ond y gofyniad yw, A *wnant* hyny? Beth os bydd un o honynt yn teimlo annhueddgarwch i fudo ei berson, a'i deulu, a'r oll sydd ganddo nas gŵyr i ba le? Dyma Annibyniaeth yr eglwys wedi myned yr un ffordd ag yr aeth hen athrawiaeth yr hen *Ddissenters*. 'Beth,' medd rhywun, 'a ydych yn dweyd nas gallwn droi ymaith y gweinidog pan fyddo yr eglwys yn dewis?" Felly y dywed eich oraclau penaf chwi eich hunain. 'Wel, y mae wedi myn'd! A ninau yn fodau deallawl, ac yn darganfod cyfundraethau newyddion bob lleuad.' Darganfyddwch faint a fynoch, y mae yn rhaid i chwi ymfoddloni ar yr un gweinidog, neu ei newynu allan o'r Capel. Os wyf yn camsynied, cymeraf fy nghyfarwyddo yn ddiolchgar; ac os nad wyf, hyderaf y bydd yr Annibynwyr yn ddiolchgar i minau am ddangos 'gogoniantau nefoeddawl' yr oruchwyliaeth y maent dani.

Ymddengys fod rhai yn methu gweled cysondeb y dysgrifiad uchod a'r hyn a ddywedwyd genyf o'r blaen ynghylch bod y gweinidog dan awdurdod yr eglwys. A ddarfu i'r cyfryw erioed glywed yr hen ddywediad hwnw, *extremes often meet*. Ond gan fod mor anhawdd cael gan rai pobl ddeall dim yn groes i'w rhagfarn, cymerer enghraifft er mwyn eglurhad. Dyma weinidog ffyddlon heb ddim i fyw arno ond a dderbynio oddiwrth ei ddiadell; y mae yn eglur nad oes neb yn llai annibynol ar wyneb y ddaear. Diammau y gall fod o ran ei feddwl mor annibynol fel na phlyg i wneyd dim yn groes i'w gydwybod: ond dichon iddo fod felly mewn carchardŷ. Er nas gallant ei droi ymaith, etto gallant attal y *supplies*, a rhaid iddo gael rhyw beth i fyw arno heblaw a dyfo ar lawr y capel. Ond golyger fod ganddo fodd i fyw heb ym-

ddibynu arnynt, neu fod *ychydig o bersonau cufoethog* yn cymeryd ei blaid, yna y mae yn rhaid i'r eglwys blygu, neu ynte ymofyn am ryw adeilad arall.

Ond caniataer etto, er mwyn ymresymu, fod holl weinidogion yr Annibynwyr mor hynod o hunan-ymwadol, eu bod y fath wyn gwirion fel na feddylient byth am drawsfeddiannu y Capeli. Caniataer fod y nifer fwyaf yn yr eglwys yn cael yr holl awdurdod yn eu dwylaw; pa sicrwydd sydd gan y rhai a gyfranant eu harian at godi eu capeli, pa seiliau rhesymol sydd ganddynt i ddysgwyl, na fydd y capeli hyny cyn pen ychydig yn eiddo Sociniaid? Y mae amryw wedi myned felly mewn gwahanol barthau o'r deyrnas. Ac am ein hanwyl frodyr yn Nghymru, er eu bod yn annibynol, fe ŵyr pawb nad ydynt yn anghyfnewidiol. Ond sylwer mai nid â'u gwaith yn newid y mae a fynwyf yn bresennol, ond â'u gwaith yn cadw y capeli ar ol newid. Pan y mae un o honynt yn cymeryd *case* y capel ar hyd y wlad trwy Gymru, Lloegr, a Scotland, nis gall addaw dim wrth ofyn arian tuag atto ond yn unig y bydd y Bibl yn cael ei arfer ynddo. Ond gall y Sociniaid ddweyd yr un peth. A phe dilynid egwyddorion Mr. R. gyda chysondeb dylid gadael y Bibl hefyd allan o'r *case*, fel y byddo cyflawn ryddid i'r eglwys gadw y Capel pe troent oll yn *Socialists*. Yn awr y gwahaniaeth rhyngom yn y matter hwn sydd fel y canlyn. Pan y mae y Methodistiaid yn gofyn cymhorth i adeiladu capel, gallant ddweyd fel hyn: sylfaen ein crefydd a'n cred yw y Bibl. Nid oes neb yn darllen ac yn dysgu mwy arno. Ac os dymunech wybod beth yw ein golygiadau ni ar y Bibl, gellwch eu gweled yn argraffedig yn ein Cyffes Ffydd. Nid ydym yn proffesu nas gallwn ninau newid fel eraill; ond pa bryd bynag y newidiwn gymaint fel nas gallwn bregethu yr athrawiaeth sydd yn Nghyffes y Methodistiaid, yr ydym yn ymrwymo y gadawn y Capel, ac na fydd un athrawiaeth arall yn cael ei phregethu ynddo. Ond pan y mae yr Annibynwr yn myned i gasglu, hyny yw, yr Annibynwr sydd yn foddlon i weithredu yn ol cynllun Mr. R. y mae yn rhaid i'r ymddyddan fod yn debyg i hyn. A welwch chwi yn dda, Syr, gyfranu tipyn at godi Capel yn y fan a'r fan? 'Gyda'r parodrwydd mwyaf, ond i mi gael gwybod Capel i ba beth ydyw.' Capel i'r Annibynwyr, Syr. 'Ië, ond y mae eglwysi Sociniaidd yn Annibynol. Beth yw eich daliadau? Beth yr ydych yn feddwl bregethu ynddo?' Os dywedaf y gwir, y mae hwna yn bwnc na ddichon neb ei atteb. Gwaith Jenkin oedd ein Cyffes ffydd ychydig yn ol, a *Lectures* Finney yw ein Cyffes Ffydd yn awr; ond beth fydd ein Cyffes Ffydd y mis nesaf nis gwyddom etto. 'Yr wyf yn tybied ynte y rhoddwch y Capel i fynu i ryw rai eraill mor gynted ag y newidiwch eich golygiadau.' O na; dim gadael y Capel. Pe byddem mor ffol a hyny, byddai yn rhaid i ni ddechreu adeiladu rhai newyddion o hyd cyn gorphen yr hen rai. 'Wel, bydd yn dda genyf roddi ychydig yn ol fy ngallu bob amser at godi addoldai, tra y caf sicrwydd, mai efengyl a bregethir ynddynt: ond nid wyf yn dewis cyfranu heb wybod at ba beth; gan hyny, boreu da i chwi.'

Y mae ystyriaeth arall yn deilwng o sylw yn y fan hyn. Yn ol cynllun Mr. R. ni fyddai dim yn haws na gorthrymu pob eglwys fechan allan o'r byd. Gadewch fod unrhyw eglwys yn cynnwys saith o aelodau Calfinaidd. Dim ond i wyth o Arminiaid fyned attynt, os na fydd ganddynt ddim yn erbyn eu bucheddau, y maent yn rhwym o'u derbyn, ac yn ddioed dyna yr Arminiaid yn llywodraethu y Capel ac yn dewis y gweinidog. Nid yw y cynllun hwn yn atteb yn berffaith i freuddwyd Pharao, oblegid nis gall saith ddyfetha saith; ond mor gynted ag y caiff y rhai culion ddim ond un attynt, dyna hwy yn llyncu yr holl rai tewion yn ddiattreg—a'r Capel hefyd: ac felly, mewn llawer parth o'r bydysawd ni fyddai dim i'w weled ond gwartheg Pharao yn llyncu eu gilydd.

Dywedir yn fynych fod anghyfiawnder mewn cymeryd addoldŷ oddiar y rhai a fuasent yn foddion i'w adeiladu. Y mae yn syn na welai yr Annibynwyr, os oes anghyfiawnder yn hyn, ei fod yn cael ei arfer yn eu plith hwy eu hunain; ac nid yn unig lle y mae yr eglwys yn wan, fel y tybiwyd uchod, ond yn ol cynllun Llanbrynmair y mae yn rhaid ei arfer mewn eglwysi Annibynol yn gyffredinol. Mor fuan ag yr ychwanegir mwy at yr eglwys nag sydd yn fyw o'r rhai a godasant yr addoldŷ, y mae y rhai a lafuriasant i'w adeiladu yn colli pob awdurdod yn y fan: ac os bydd yr *hen bobl* yn cadw at athrawiaeth yr *hen Ddissenters*, rhaid iddynt edrych am ryw le arall i addoli. Os dywedir mai ar y dybiaeth hòno yr oeddynt yn ei adeiladu, gellir atteb mai ar y dybiaeth fod pob addoldŷ yn eiddo i'r cyfundeb y maent yn cael eu hadeiladu gan y Methodistiaid.

Ond cofier yn barhaus fod tybiaeth arall yn ofynol gyda golwg ar ein brodyr Annibynol, sef *y gwna* y gweinidog ymadael pan fyddo y nifer fwyaf o'r cymunwyr yn dewis. Ac ar ol cael yr holl dybiaethau hyn at eu gilydd, nid oes ganddynt ddim mwy o gyfiawnder nag sydd genym ninau.

Ond nid yw Mr. R. yn aros ar hyn. Nid yn unig y mae yn dweyd y dylai pawb wrth gyfranu adael yr eglwys yn rhydd i ddefnyddio yr arian at unrhyw ddybenion a welo yn oreu: ond y mae yn myned yn mlaen i ddadleu, os bydd arian wedi eu gadael at ryw ddybenion neillduol, fod gan

yr eglwys hawl i'w troi at ddybenion hollol wahanol. Er engraifft, pan y bydd tir wedi ei roddi i adeiladu Capel, neu gymynrodd wedi ei gadael, ar yr ammod fod y meddiant hwnw i gael ei ddefnyddio i gynal pregethwr Calfinaidd, y mae yn gyfiawn i'r eglwys wyrdroi y cwbl i gynnal Ariad neu Antimoniad. Nid ammheuir nad yw hyny yn groes i'r gyfraith wladol: ond os ceir tipyn o *smuggling* yn ddystaw, pa achos son am na chwrt na chyfraith? Pa niwed sydd mewn cyflawni rhyw fân ddrygau, megis tori ewyllys neu wyrdroi y *lease*, er mwyn yr achos? Nid yw hyn i gyd ddim ond *pious fraud*, nid yw ond dichell hynod o sanctaidd, os bydd yn *tueddbenu er llesoli y dynol deulu*, ac i gynal i fynu y wir grefydd, sef Annibyniaeth. Dylai pawb fod yn llonydd a thangnefeddus: ac os bydd neb yn 'gwthio' yr hen *deed*, neu yr hen ewyllys i sylw, nid yw hwnw ddim yn amgen na therfysgwr, dyn o ysbryd anefengylaidd, ac nid yw yn addas i fod yn perthyn i'r Annibynwyr. Hyny yw, os bydd neb yn barnu yn gydwybodol na ddylid gwyrdroi y *deed* neu yr ewyllys, a throseddu cyfraith y tir, dylid ei esgymuno allan o'r eglwys. Diau y bydd llawer o'ch darllenwyr yn methu credu fod hyn yn ddysgrifiad cywir o ddywediadau Mr. R. ac yn wir braidd y gallaswn gredu fy llygaid fy hun ar y cyntaf. Ond y mae Mr. R. yn adrodd hyn fel pob peth arall a adroddir ganddo, drachefn a thrachefn. Cymmerer ei eiriau ef ei hun ar y matter. 'Digon tebyg fod gweddillion cyfyngiadau yr hen *Deeds* Presbyteraidd wedi gweithio eu ffordd i *Lease* Addoldy ambell i eglwys wir Gynulleidfaol, ond nid ydys byth yn meddwl am danynt wrth na chanu, na gweddio, na phregethu, na chymuno, na derbyn aelodau, na gweinyddu dysgyblaeth; ac ond i'r eglwys fagu ysbryd yr efengyl, ni raid iddi byth sychu na'r llwch, na'r llwydni oddiar hen groen melyn hen *lease* yr hen gyffes: a phwy bynag a gyfyd mewn eglwys gynulleidfaol i wthio cyffes hen *Deed* dduwinyddol yn erbyn pleidlais deg yr eglwys; ac a sonia am fenthycca awdurdod a doniau o lys gwladol i gaethblygu argyhoeddiad yr eglwys at gyffes yr hen *deed*, dywedaf fod y dyn hwnw yn brad-wadu yr egwyddor gynulleidfaol.' &c. Dyma ei eiriau ef ei hun. Ac yn awr, ar ol gadael allan y *bombast* sydd ynddynt, y maent yn arwyddo, mi feddyliwn, y gall dyn fod yn cydweled â'r eglwys yn hollol mewn athrawiaeth a dysgyblaeth; ac etto os barna y dylai y gyfraith wladol gael trefnu materion gwladol, megis olyniad meddiannau, y mae yn haeddu diarddeliad. Fel rheswm dros y gyfundraeth hon dywedir nad oedd gan ein hynafiaid, ddim awdurdod i'n rhwymo ni wrth eu dull hwy o addoli. Gellid meddwl wrth hyn fod ein brodyr Annibynol dan ryw gaethiwed nas gwyddom ni ddim am dano. Y mae gan bobl eraill ryddid i adael y Capel pan na allant gydymffurfio â'r dull sydd ynddynt o addoli; ac os yw rhai eglwysi Annibynol wedi eu rhwymo at ryw ddull pennodol; y mae yn rhaid mai wedi eu rhwymo y maent i gadw y Capeli, bodd neu anfodd, *for ever hereafter*.

Nid oes dim yn ymddangos i mi yn fwy amlwg nag y dylai pawb ag sydd yn derbyn neu yn dal unrhyw feddiant tymhorol ymwrthod ag ef yn gyfangwbl, neu gydymffurfio â gofynion y gyfraith wladol; ac o angenrheidrwydd yr wyf yn addef fod gan y llywodraeth hawl i newid olyniad meddiannau *mewn rhyw amgylchiadau*. Ond yn ol cyfundraeth Llanbrynmair dylai pob cynnulleidfa yn Eglwys Loegr gadw y meddiannau sydd yn perthyn iddi, hyd yn nod pe troai yr holl aelodau yn Babyddion neu Fahometaniaid. Yn ol barn Mr. R. y mae y neb a ysgrifeno neu a areithio yn erbyn y degwm 'yn brad-wadu yr egwyddor gynnulleidfaol, wedi dringo i'w chorlan yn lladronaidd, yn elyniaethol i rydd-ymofyniad, yn ofni y goleuni, yn hyf-groesi egwyddorion y Testament Newydd, a than rym *Deed* rhyw Gyfundeb Corfforedig y byddai *ffitia* iddo fyw.' Wele, os yw ein brodyr annibynol yn penderfynu peidio ymyraeth â'r degwm byth mwy, nid am hyny yr wyf yn eu beio; ond am eu bod yn dadleu dros hawl unrhyw eglwys i 'hyf-groesi' egwyddorion cyfiawnder, a chadw meddiannau *yn erbyn* y gyfraith wladol. Er hyny, y mae yn iawn i mi gydnabod nad ydynt yn sefyll dros yr egwyddor yma yn mhob amgylchiad. Pan aeth arian Lady Hewley i ddwylaw Sociniaid, hwy oedd uchaf eu cri am eu tynu oddiwrthynt; ac ar y tir hwn yr oedd eu cyhoeddiad hwy eu hunain, y *Congregational Magazine*, yn dadleu dros hyny, sef nad oedd yr arian yn cael eu defnyddio at y dybenion y rhoddwyd hwynt. Felly ni a welwn fod gan yr Annibynwyr dair ffordd i ymddwyn mewn achosion o'r fath hyn. Yn gyntaf, y mae gan bob eglwys sydd yr un peth a mi fy hun awdurdod i gadw meddiannau yn groes i'r gyfraith; yn ail, os bydd un eglwys arall yn cynyg gwneyd hyny, dylid eu cymeryd oddiarni; ac yn drydydd, os na fydd dim arian wedi ei adael i ryw eglwys, dyledswydd bendant yr eglwys hono yw gwrthod y cwbl.

Un peth arall ag sydd yn gorphwys yn drwm ar feddwl fy anwyl gyfaill o Lanbrynmair yw y derbyniad a gafodd dau o weinidogion y Methodistiaid gan y Seceders yn Edinburgh. Ymddengys fod y ddau frawd hyny wedi cael eu croesawi yn dra siriol gan y *Presbytery*; a rhoddwyd hanes y tro, heb fod ganddynt hwy un llaw yn hyny, mewn lluaws o bapyrau newyddion drwy y deyrnas. Y fath *insult* i'r Anni-

bynwyr! Ac fel pe na fyddai hyn yn ddigon o flinder iddynt dyma dri o gyfeillion, ïe, *tri* o honynt sylwer mewn llythyrenau Italaidd yn ymddyddan a'u gilydd yn nhŷ Capel Surrey, Llundain. Nid oes ond y gofid yn dylifo am ben yr Annibynwyr o Scotland a Lloegr. A phan edrychir drachefn ar agwedd Cymru, y mae yn ddigon a thori calon. Ar ol eu holl ymdrechiadau canmoladwy i oleuo eu cydwladwyr, y mae y bobl mor ffol yn y diwedd a mynu gwrandaw y Methodistiaid, a gwelir fod eu cymanfoedd yn cynyddu bob blwyddyn. Oni bai fod ein brodyr yn meddu ar amynedd Job, buasent wedi rhoddi y wlad i fynu cyn hyn i galongaledwch.

Y mae fy nghyfaill yn lled awyddus i ddarbwyllo yr Annibynwyr i gredu fy mod wedi cilio o'r maes. Wel, yr wyf wedi ymrwymo i geisio atteb pob *rheswm* a ddygir yn erbyn Henaduriaeth; ac os na fydd hyn yn atteb i'w lyfr ef, y mae yn rhaid mai nid rhesymau sydd ynddo. Gan fy mod yn bwriadu gwrthbrofi rhesymau yr holl Annibynwyr, yr wyf yn gadael y maes; ond pe buaswn yn cyfyngu fy hun at resymau Mr. R. yn unig buaswn yn aros ar y maes; ac felly, yn ol y *logic* yma, pe buaswn yn peidio sylwi ar un o'u rhesymau buaswn wedi ennill y maes ar unwaith. Yn mhlith yr achosion sydd yn peri i mi beidio cyfyngu fy hun at lyfr Mr. R. yn unig, heblaw fod eraill wedi ysgrifenu yn llawer rhagorach, gellid crybwyll hefyd fod un o'r rhesymau penaf a ddygais yn mlaen o blaid Henaduriaeth wedi ei adael ganddo heb un cynyg i'w atteb: sef fod yr eglwys yn Jerusalem yn cynwys amryw gynulleidfaoedd mewn undeb â'u gilydd. Ail-goffawyd ef yn fy llythyr cyntaf i'r Drysorfa, ac er hyny ni welais byth un sylw arno.

Drachefn, am ei attebion i'r lleill, nid wyf yn gweled eu bod yn ddim amgen na chyfaddefiad, mewn dull arall, eu bod yn anattebadwy. Er troi cryn lawer oddeutu rhai o honynt, y mae yn eu gadael yn y diwedd heb gyffwrdd â hwynt. Cymerer y rhai a ganlyn yn fyr fel angreifftiau, a barned y darllenydd.

1. Y mae yr holl gymdeithasau daionus sydd yn ein gwlad yn gweithredu ar un egwyddor henaduriaethol, sef trwy gyfrwng cynnrychiolwyr. Atteb. Nid oes neb yn cael eu gorfodogi i ymuno â hwynt.

2. Y mae y cymdeithasau cenadol yn arfer cymmaint, os nid mwy o awdurdod dros eu cenadon a'u heglwysi nag a arferir gan y Trefnyddion. Atteb. Ond nid ydynt yn arfer dim awdurdod dros yr eglwysi gartref.

3. Nodwyd amryw ddrygau ag y mae Annibyniaeth yn arwain iddynt. Atteb. Y mae drygau cyffelyb wedi eu cyflawni gan Esgobion, neu gan y Pab, neu gan Ymerawdwr China, &c.

4. Y gynadledd yn Jerusalem. Atteb. Yr oedd yr holl eglwys yn ymgynghori. Digon tebyg fod rhai Annibynwyr yn credu fod perthynas rhwng hyn â'r pwnc, ac mai eglwys Jerusalem oedd yn trefnu *ei hamgylchiadau a'i hachos ei hun.* Ond y gwirionedd yw mai *court of appeal* ydoedd, yn eistedd ar achos eglwys Antiochia, ac yn arfer cymmaint o awdurdod dros yr eglwys hòno ag a arferwyd erioed gan gymdeithasfa y Trefnyddion. Attebir yn fynych fod y llys hwnw yn ysbrydoledig. Yn awr, nis dichon i'r ddau atteb fod yn gywir. Y mae y cyntaf wedi dadsylfaenu yr ail. Ond o ran hyny, y mae Mr. R. yn addef nad oedd eglwys Antiochia yn Annibynol, ond dywed er hyny mai mewn cyflwr babanaidd yr ydoedd. Felly, yr oedd yr eglwysi *ar ol* dyddiau yr Apostolion wedi dirywio, ac nid oedd yr eglwysi *yn* eu dyddiau hwy ddim ond babandod; a cyr ydym ninau wedi ein gadael heb un siampl i'w dilyn.

Mewn perthynas i'r Gymdeithas Genadol, y mae un gair yn ddigon; nid wyf yn sylfaenu ein hymlyniad na'n hysgariad ar sail mor wan a thebygolrwydd neu anhebygolrwydd mewn ffurf eglwysig. Ac y mae un gair yn ddigon hefyd am y Cynulleidfawyr, Os Annibynwyr ydynt, paham y maent wedi gwadu hyny lawer gwaith, ac wedi llwyr-ymwrthod â'r enw yn y *Congregational Magazine?* Pa fodd bynag nis gallant fod yr un peth a *llawer* o Annibynwyr Cymru; oblegid nid yw Annibynwyr Cymru yr un peth a'u gilydd. Y maent yn methu cydweled, nid mewn amgylchiadau dibwys, ond yn eu golygiadau ar hanfod y *system* Annibynol. Rhaid i ni fyned o Gymru os mynem wybod pwy sydd weinidogion Annibynol, neu pa beth yw Annibyniaeth.

Cyn ysgrifenu ymhellach ar y ddadl hon, onid gwell fyddai i Mr. R. ddarllen ychydig o waith yr Awdwyr a goffeir ganddo. Gan na chefais gyfle i ddarllen dim o'i waith ef ond a grybwyllir yn yr ysgrif hon, gall fod, am a wn i, yn ddigon gwybodus mewn pethau eraill. Ond gyda golwg ar y ddadl bresennol, yr wyf yn rhwym o gredu un o ddau beth—un ai ei fod yn euog o gamddarlunio rhai o'r Awdwyr enwocaf yn y modd mwyaf gwarthus, neu yn berffaith anwybodus o'i hysgrifeniadau. Pe darllenasai waith Mosheim a Barrow, cawsai weled fod y ddau yn barnu fod amryw gynulleidfaoedd yn Jerusalem, mewn undeb â'u gilydd, yn gwneyd i fynu un eglwys. A phe darllenasai waith Lord King, cawsai weled mai ei farn ef oedd, fod Synodau yn arferedig er yr oes apostolaidd. Rhaid i mi addef nas gwn yn iawn pa fodd i esbonio ei ymddygiad tuag at yr hen

Baxter dduwiol, yn gadael allan linellau o ganol y dyfyniad, yr hyn sydd yn newid yr ystyr yn hollol: fel pe gwelai yn ngwaith rhyw un yr ymadrodd, Nid oes ond un Duw yn bod, ac fel pe gadawai allan y gair 'ond,' gan haeru fod yr Awdwr yn dweyd, nid oes un Duw yn bod. Os gwnaeth hyn yn fwriadol, y mae nid yn unig wedi dwyn gwarth ar ei enw fel gweinidog yr efengyl, ond y mae yn annheilwng o gael edrych arno fel dyn gonest. Na, na: nis medraf gynwys y fath feddwl am fynyd. Gan hyny, rhaid i mi adael ei ymddygiad at Baxter yn mhlith y dirgeledigaethau hyny ag y mae yn rhaid eu credu heb eu hamgyffred.

Dygwyddodd i mi unwaith yn ddifeddwl arfer y gair 'boneddigaidd,' ac y mae gwaith Mr. R. yn ei fynych-adrodd byth a hefyd yn dangos ei fod wedi effeithio yn ddwys ar holl nwydau ei natur, ac wedi treiddio trwy ei holl gyfansoddiad. Y mae yn debyg iawn i fel y gwelwyd ambell un lled glwyfus ei feddwl, yn siarad rhyngddo ag ef ei hun yr un peth drosodd a throsodd. 'Bonedigaidd ddywedodd e?' Ni ddim gwyr bon'ddigions! Ni y bodau deallawl! O'r darnguddiwr Jesuitaidd. Dim boneddigaidd, ai e?' ac felly yn y blaen hyd ddiwedd y llyfr. Wele, os yw hyny yn rhyw beth ganddynt, hawdd iawn i mi yw gadael i'n hanwyl frodyr gael holl fonedd-igeiddrwydd Arglwydd Chesterfield iddynt eu hunain. A gobeithiaf y teimlant eu meddyliau o hyn allan yn dawel a chysurus.

Mi feddyliwn y gallaf orphwys bellach am rai misoedd. Os nad wyf yn camsynied y mae yma ddigon o destyn i'r Annibynwyr ysgrifenu a phregethu arno am un hanner blwyddyn o leiaf. Diammeu y bydd pob dyn diragfarn yn barnu fy mod wedi eu trin y waith hon etto yn rhy dyner o lawer: ond gwell genyf, hyd y gallaf, yw arfer y moddion mwyaf esmwyth a thirion; ac os na fydd y rhai hyn yn tycio, cânt y ffiangell yn drymach y tro nesaf.

Yr eiddoch, &c.

*Bala.* L. Edwards.

---

### AT Y TREFNYDDION CALFINAIDD.

Fy Mrodyr Anwyl—Nid gormod yw dywedyd ein bod fel cyfundeb wedi ennill y nodweddiad o fod yn heddychlawn. Yr ydym er ys blynyddoedd bellach yn dyoddef cabledd a gwawd oddiwrth ei brodyr(!) o enwadau ereill heb wneuthur nemawr neu ddim sylw o honynt. Y mae hyn yn wirionedd mor amlwg, fel y mae hyd yn nod ein herlidwyr yn gorfod ei dystio. Ac y mae yr ysbryd dyoddefgar yma wedi achlysuro i'n brodyr yr Annibynwyr yn neillduol, ymyfhau arnom i raddau tra anngharedig ac annghristaidd. Prawf o hyn (at luaws yn chwaneg a allesid enwi) yw yr ymosodiad penboeth a wnaeth fy nghymydog o Lanbrynmair ar Draethawd ein brawd Parchedig o'r Bala. Traethawd y beiddaf ddweyd, sydd yn anrhydedd i'n cenedl, ac heb nemawr o'i gyffelyb yn ein hiaith. Ymddengys i mi ei bod yn llawn bryd i ni ddweyd yn ngeiriau yr hen Ddiareb, '*Gormod* o ddim nid yw dda.' Gormod o ddyoddef nid yw dda, pan y mae y gwirionedd mewn perygl trwy hyny. Dylem bellach ddyfod allan i'r maes yn wrol o blaid y gwir.

Yn y Drysorfa am Fehefin, hysbysais fy mod yn bwriadu amddiffyn golygiadau fy nghyfaill o'r Bala ar 'Natur Eglwys.' Ymddengys i mi oddiwrth ei iaith ymffrostgar yn y Dysgydydd am y mis hwn, fod y Goliath Annibynawl yn lled awyddus am frwydyr; a digon tebyg ei fod yn barod i ddweyd mewn dirmyg am ei wrthwynebydd presennol 'y rhydd efe ei gnawd ef yn fwyd i ehediaid yr awyr.' Ond o'm rhan fy hun yr wyf yn ymdeimlo yn bur ddiofn Etto nid wyf am fy marnu fy hun —mae yr ymdrech i fod mor gyhoeddus, fel y gall y Cymry oll fod yn dystion; a barned yr edrychwyr. Amser a esbonia beth ydyw nerth ein gewynau. A safo, safed, a syrthio, syrthied.

Yr wyf wedi dosparthu fy llyfryn yn bedair pennod.

Pen. I. Beth yw Annibyniaeth? lle y chwilir prif egwyddorion y bennod gyntaf yn ngwaith Mr. Roberts—lle yr eglurir y rhyddid gwirioneddol sy gan bob Annibynwr, yn nghydâ'r berthynas sy rhwng Eglwysi Annibynol.

Pen. II. A gynwys sylwadau ar holl wrthddadeuon Mr. Roberts. Helaethir ar bob un sydd yn hanfodol i'r ddadl, ac eglurir yr oll trwy resymau a ffeithiau: a gall Mr. Roberts benderfynu, '*That facts are stubborn things.*'

Pen. III. Beth yw Trefnyddiaeth? yn cynwys prawf o ymwybyddiaeth Mr. Roberts, a'i anallu i wrthbrofi Mr. Edwards. Ei fwnglerwaith yn ceisio difrio cydmariaethau Mr. Edwards. Ei anwybodaeth philosophyddol i allu gwahaniaethu rhwng rhwymau yn *rhyddid*, a rhwymau yn *gaethiwed*, *&c*.

Pen. IV. Beth a ddywed y Bibl? Dadymchweliad trwyadl i adeiliad Mr. Roberts trwy egluro ei gau-esboniadau. Archwiliad ysgrythyrol i'r cwestiwnau, 1, 'Pa un ai Eglwys, ai Swyddogion Eglwys, sydd â'r awdurdod Eglwysig? ac yn 2. Pa berthynas a ddylai fod rhwng Eglwysi a'u gilydd.

Cedwir y llyfryn presennol ar y ddadl o fewn cylch bychan o bris. Y mae yn awr yn y wasg, a bydd yn barod i'w anfon efo y Cyhoeddiadau Misol am Ragfyr.

I. G. Alarch.

*Llanidloes Hyd.* 1840.

## ATHROFA TREFECCA.

### CYFARCHIAD Y DIRPRWYWYR.

Y MAE yn annichonadwy sylwi ar ddechreuad a chynnydd yr adfywiad mawr hwnw ar grefydd. â pha un y mae TREFNYDDIAETH yn gysylltiedig, heb gydnabod cyfryngiad grasol, a bendith neillduol yr Hollalluog DDUW.

Yn y cyfarchiad byr hwn, ni thybir yn angenrheidiol rhoddi hanes manwl o ymddangosiad cyntaf, a llwyddiant cynnyddol y rhan hono o'r Eglwys Gristionogol a adwaenir wrth yr enw TREFNYDDION CALFINAIDD.

Pa fodd bynag, gellir crybwyll i'r gwaith mawr ddechreu yn y Dywysogaeth yn y flwyddyn 1735, trwy bregethiad rhyfeddol yr enwog HOWELL HARRIES, o Drefecca; â'r hwn, yn fuan wedi hyny, yr ymunodd y rhagorol DANIEL ROWLANDS, o Langeithio, yn nghyd ag amryw o weinidogion duwiol a gwresog yr Eglwys Sefydledig. Daeth yr hyawdl WHITFIELD hefyd yn foreu i gynnorthwyo y brodyr Cymreig, a dewiswyd ef yn Gymmedrolwr yn y Gymdeithasfa Gyffredinol gyntaf a gynhaliwyd yn Nghymru.

Parhaodd y gwaith i lwyddo, chwanegodd nifer y dychweledigion, a sefydlwyd cymdeithasau crefyddol trwy yr holl wlad. Yn mhen amser daeth TREFECCA, preswylfa un o sylfaenwyr Trefnyddiaeth, yn orsafle Athrofa, yr hon a sefydlwyd, ac a gynhaliwyd yn benaf gan y llafurus a'r dduwiol ARGLWYDDES HUNTINGDON; ac er i'r sefydliad hwn gael ei fwriadu yn benaf i godi pregethu i weinidogaethu yn y lleoedd a berthynent iddi hi, etto teimlwyd ei effaith, a mwynhawyd ei lesiant trwy yr holl deyrnas.

Ar farwolaeth y Bendefiges grybwylledig, symudwyd yr Athrofa i Cheshunt, gerllaw Llundain, (lle y mae yn parhau yn flodeuog hyd y dydd hwn;) ac o'r pryd hwnw y mae Trefnyddion Calfinaidd Cymru wedi hanfodi a llafurio yn fwy neillduedig; yn enwedig lle mae yr iaith Gymraeg mewn ymarferiad. Ond er mor neillduedig y gall y Cyfundeb fod, ac er mor gyfyng yw maes eu llafur, dichon y cydnabyddir yn gyffredinol bwysfawrogrwydd a gwerth eu gweinidogaeth, ac nad yw eu rhifedi yn y Dywysogaeth yn llai, na'u llafur hunan-ymwadol,—na'u gofal am y genhedlaeth sydd yn codi,—na'u gwresogrwydd o blaid Sefydliadau Cyhoeddus,—na'u hymdrechiadau i wrthsefyll pechodau cynnyddol yr oes, *ddim yn ol* i unrhyw enwad arall o Gristionogion: ac iddynt hwy y mae yn destun gwir ddiolchgarwch fod Pen mawr yr eglwys wedi eu defnyddio fel offerynau gwaelion yn ei law i ddwyn yn mlaen ddaioni a lles ysbrydol eu hanwyl wlad.

Diwellid y Cyfundeb gynt, i raddau helaeth, â gweinidogaeth ddysgedig, a gellir cyfeirio yn ol at amser pan yr oedd nifer o Offeiriaid duwiol ac ymroddgar yn teithio trwy Gymru i bregethu yr efengyl, y rhai hefyd oeddynt aelodau o'r Gymdeithasfa; yn mhlith pa rai yr oedd Howell Davies, o Swydd Benfro,—W. Davies, Castell-Nedd,—y ddau Williams, o Bantycolyn,—D. Jones, o Langan, T. Charles, o'r Bala, yn nghyd ag amryw eraill, y rhai y mae eu henwau yn barchus hyd heddyw; ond y mae y cyfryw gynnorthwyon weithian wedi darfod, ac nid oes ganddynt yn bresennol ond y moddion gweinidogaethol cynnefin yn eu plith eu hunain.

Mae sefydlu ATHROFA wedi bod er ys amser bellach ar feddwl nifer mawr o aelodau mwyaf duwiol a chyfrifol y Cyfundeb, a theimlir yn dra chyffredinol fod yr amser, ïe, yr amser nodedig wedi dyfod, i wneyd ymdrechiadau egniol er cyflawni yr amcan dymunol hwn.

Mae y Dirprwywyr a bennodwyd gan y Gymmanfa Gyffredinol yn y Deheubarth, wrth roddi yr Annerchiad hwn allan, yn tybied mai afreidiol yw gwneyd adroddiad helaeth, neu ddefnyddio rhesymau er dangos yr angenrheidrwydd am y fath sefydliad, a'r buddioldeb a ddysgwylir oddiwrtho. Gellir meddwl y byddai adnabyddiaeth gyffredin o amgylchiadau ein gwlad, a sylw ystyriol o'r amserau hynod yr ydym yn byw ynddynt, yn ddigon i beri addefiad cyffredinol fod gweinidogaeth ddysgedig a deallgar o'r pwys a'r gwerth mwyaf.

Gan gredu y bydd y sefydliad a amcenir yn foddion addas i ychwanegu defnyddioldeb y Corph, i gynnysgaeddu yr eglwys â pharhad o weinidogion cymhwys y Testament Newydd, 'dynion llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glan,' ac y caiff y cenadiaethau cartrefol a thramor eu diwallu â gweithwyr ychwanegol trwy ei offerynoldeb, y mae y Dirprwywyr yn dymuno defnyddio y moddion mwyaf tebygol, dan fendith Duw, i ateb y dybenion pwysfawr hyn.

Ystyriant yn arwydd o nawdd Rhagluniaeth, fod yr adeiladaeth helaeth sydd yn Nhrefecca, a'r hyn a berthyn iddo, wedi dyfod yn feddiannaeth i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghymru. Penderfynodd y Cyfundeb bellach fod i'r lle gael ei neillduo i fod yn sefyllfa Athrofa, tuag at roddi manteision dysgeidiaeth i ddynion ieuanc duwiol a chymmeradwy a ymroddant i'r weinidogaeth yn eu plith; dan gymhelliad mwy neillduol i fabwysiadu y mesur hwn, am nad oes ganddynt unrhyw sefydliad o'r fath yn Neheubarth Cymru.

Mewn trefn i osod yr Athrofa ar sail gadarn a sefydlog, tybir yn oreu ffurfio TRYSORFA, (*Fund*,) i ddiogelu yn barhaus gyflog yr ATHRAW, neu yr ATHRAWON, ac

i ddarpar hefyd cyn belled ag y gellir er cynnaliaeth yr EFRYDWYR, (*Students*,) heblaw y swm sydd angenrheidiol er adgyweirio yr adeilad.

I gyflawni yr amcan hwn, cyfeiria y Dirprwywyr at holl aelodau a chyfeillion y Cylundeb, gan eu hannog yn barchus i ddangos haelioni anarferol ar amser o bwys arbenig,—sef terfyniad y GANRIF gyntaf i Drefnyddiaeth Galfinaidd yn Nghymru.

Ar achos mor dda, ac at amcan o'r fath bwys, hyderant y bydd yr offrymau gwirfoddol a osodir ar allor cariad, yn cyfateb i'w dysgwyliad; ac er yr ymddibynant yn benaf ar gydweithrediad gwresog aelodau eu Cyfundeb eu hunain, gobeithiant hefyd am gyd-ymdeimlad, gweddiau, ac hefyd am gynnorthwy arianol holl ewyllyswyr da achos IESU GRIST yn y byd.

Dan deimladau o ddiolchgarch am ein breintiau ein hunain, a thosturi at eneidiau dynion,—dan gymhelliadau cariad CRIST yn ein calonau,—a chan gadw o flaen ein llygaid esamplau ardderchog ein brodyr o enwadau eraill,—defnyddiwn ein holl egni, rhown allan ein holl rym, a chysegrwn ran helaeth o'n meddiant bydol, er dwyn yn mlaen yr amcan arbenig hwn. Fe lwydda Duw y gwaith, ac fe dderbynir ein hoffrymau gostyngedig; caiff yr oes hon a'r oesoedd a ddaw fwynhau y buddioldeb, a bydd y byd yn well o'n hymdrechiadau.

'Iddo Ef y byddo y gogoniant yn yr Eglwys trwy GRIST IESU, dros yr holl genhedlaethau, hyd yn oes oesoedd. Amen.'

Dros y Dirprwywyr,

D. CHARLES,
B. WATKINS.

*Rhoddion o thanysgrifeniadau at y Sefydliad, a dderbynir gan J. Walters, Ysw. Hwlffordd, y Trysorydd; gan D. Charles, Caerfyrddin, a B. Watkins, Aberhonddu; gan Weinidogion y Cyfundeb, a'r Casglyddion a bennodir.*

---

*Y penderfyniadau canlynol o eiddo y Dirprwywyr, ydynt wedi eu cymmeradwyo a'u cadarnhau gan Gymdeithasfa y Dehau.*

1. Fod Cyfarchiad y *Committee* i gael ei gyhoeddi mewn Newyddiaduron a Chyhoeddiadau misol; a bod deisyfiad yn cael ei anfon at Olygwyr y DRYSORFA a'r ATHRAW ar iddynt alw sylw eu darllenwyr at yr achos pwysig hwn.

2. Fod Cyfarfodydd Cyhoeddus i gael eu cynnal yn mhob Capel yn Neheudir Cymru a berthyna i'r Cyfundeb er taenu gwybodaeth am y Sefyliad; ac i'r dyben hwn fod y Siroedd yn cael eu rhannu yn ddosparthiadau, i fod o dan ofal dau weinidog a dau flaenor, y rhai a enwir gan Is-gyfeisteddfod pob Sir.

3. Fod y personau a enwir felly, i osod Trysorydd, Ysgrifenydd, a Chasglyddion yn mhob lle, ac i ddeisyf ar ddiwedd y Cyfarfodydd am gyfraniadau arianol, ac i ddarpar llyfrau, papyrau, ac unrhyw hysbysiadau angenrheidiol.

4. Fod i'r ddau Ysgrifenydd cyffredinol, ynghyd âg unrhyw bersonau a wahoddant i barottoi llyfrau, *cardiau*, a phapyrau at wasanaeth Casglyddion a Swyddwyr pob lle; a bydd yn angenrheidiol fod y cyfryw lyfrau yn nwylaw y Cenadon gosodedig (*Deputation*) cyn iddynt gynbal y Cyfarfodydd Cyhoeddus.

5. Fod i enw pob tanysgrifiwr i gael ei ysgrifenu yn y llyfrau a barotoir felly, ac os bydd yn ddewisach gan neb, derbynier yr hyn a addawai bob yn ychydig, (*by instalments*) a bod tanysgrifiadau o *bum swllt* ac uchod, i gael eu cyhoeddi yn yr adroddiad cyffredinol a gyhoeddir rhagllaw.

6. Fod yr arian a gesglir i gael eu talu i'r Trysorydd *lleawl*, a thrwyddo ef i'r Trysorydd *Sirol*, yr hwn a'u trosglwydda bob mis drwy'r *Ariandy* i'r Trysorydd *Cyffredinol*.

7. Na fwriedir i'r Cynlluniau cynnygiedig hyn gau allan unrhyw lwybr arall o geisio cymhorth arianol: ond bod i'r ddau ysgrifenydd, a phwy bynag a dueddir i gael eu hannog i geisio tanysgrifiadau yn bersonol, neu trwy lythyr, yn y modd a farnant yn oreu.

8. Os gwelir fod y tanysgrifiadau yn annigonol, bydd i Gasgliad cynnulleidfaol gael ei wneuthur trwy Gapeli y Cyfundeb mewn amser dyfodol.

9. Fod Trysorfa (*Fund*) y Sefydliad hwn i fod yn *ddeng mil o bunnau*; ac na laeswn ddim yn ein hymdrechiadau, nes i hyny gael ei gyflawni.

10. Fod i'r arian a gesglir gael eu gosod allan ar dir, neu mewn ffyrdd ereill a fernir oreu gan y Dirprwywyr: a'r llog o honynt i gael ei ddefnyddio at gynhaliaeth yr Athrofa.

---

"GWELLIANT GWALL."

SYR,—Mae pob peth wedi dyfod i amlygrwydd mewn perthynas i gasgliad Sir Benfro, tuag at yr achos Cymreig yn Dublin. Anfonwyd £14 gan Mr. Harris, Abergwaen, trwy law y Parch. David Elias; y rhai a gyflwynwyd i'm gofal yn Nghymmanfa Bangor, yr 11eg o Fedi, 1838. Eithr o herwydd mai yn Nghymmanfa *Aberteifi* y derbyniodd efe hwy, gwnaethum gamgymmeriad yn fy nghof-lyfr, ac o ganlyniad yn y 'Drysorfa,' trwy ysgrifenu mai *o Sr Aberteifi* y derbyniwyd hwy, ac nid *o Sir Benfro*.

Gobeithiwyf y defnyddiwch y cyfleusdra cyntaf i wneuthur y camgymmeriad yn hysbys, a gwellhau y gwalliant uchod, trwy gyfrwng eich Cyhoeddiad buddiol.

Derbyniais hefyd £21 0s. 10d. o Sir Feirionydd, at yr un achos yn Nghymmanfa ddiweddaf Pwllheli; a dymunaf arnoch wneuthur hyn hefyd yn amlwg.

JOHN ROBERTS.

*Caergybi, Medi 21, 1840.*

# COFNODAU CYMDEITHASFA PWLLHELI, 1840.

Y Gweinidogion a Chynnrychiolwyr y Siroedd a gyfarfuant am 3 o'r glocb brydnawn dydd Mercher, Medi y 9fed, pan y rhagolygwyd ar amrywiol faterion i fod tan sylw y Gymdeithasfa. Cadwyd cyfeisteddfod hefyd am 8 o'r gloch bore y dydd canlynol. Dewiswyd y Parch. E. PHILLIPS yn Gymedrolwr y Cyfarfodydd Neillduol.

*Cyfarfod y pregethwyr, am 10 o'r gloch, bore ddydd Iau, Medi y 10fed.*

1. Gwnaed rhai sylwadau ar bregethu yr Arglwydd Iesu, fel mater mawr gweinidogaeth yr efengyl.

Sylwyd mai peth mawr yw i ni roddi ei le priodol i bob gwirionedd. Mae rhyw wirionedd i fod yn *ffront* yr adeilad yn fwy nag arall. Crist yw pob peth gweinidogaeth yr efengyl, a Christ sydd i fod yn mhob peth ynddi. Mae pob gwirionedd perthynol i'r weinidogaeth fel *spokes* yn olwyn men; maent oll yn cyfarfod yn y both. Mae holl wirioneddau yr efengyl yn cyfarfod yn Nghrist. Ei bregethu ef yn ei berson, ei swyddau, ei waith, a'i oludoedd yw prif beth y weinidogaeth.

Wrth bregethu Crist, mae yn angenrheidiol arddangos cyflwr pechadur y fath fel y mae eisiau y cyfryw Waredwr arno. Mae rhai yn darlunio cyflyrau dynion yn gyffelyb fel y chwedleuir am y Tylwyth Teg: nid oes y fath gyflyrau yn bod. I geisio a chadw y rhai colledig y daeth Crist, a golwg ar y golledigaeth a amlyga werth y Ceidwad.

Sylwyd ar bregethu dyledswyddau yn eu perthynas â Christ. Ni ddaeth Crist i dynu neb oddiwrth eu dyledswydd. Mae yn ddyledswydd rwymedig ar holl ddynolryw yn awr i gadw deddf Duw yn berffaith; mae'n ddyledswydd arnynt i gadw y ddeddf foesol a roddwyd i Adda mor berffaith âg y dylasai Adda ei chadw. Nid yw dyledswydd dyn diras, na dyledswydd dyn yn Nghrist, wedi ei lleiâu. Dylai pawb wneuthur pob peth y mae Duw yn ofyn oddiwrthynt; rheol dyledswydd dyn yw gorchymyn Duw. Ond wrth bregethu dyledswyddau i ddynolryw. rhaid eu hystyried yn golledigion, dan felldith y ddeddf ac yn droseddwyr o honi holl ddyddiau eu bywyd. Nid oes modd eu hachub hwy a sarâu y ddeddf; rhaid cyhoeddi iachawdwriaeth trwy yr hwn a fawräodd y gyfraith, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus, a galw ar bechaduriaid i gredu ynddo ef. Mae yn ddyledswydd ar bob un a glywo am natur pechod edifarâu am bechod; mae yn ddyledswydd ar bob un a glywo am Grist gredu yn Nghrist; ond y mae yn beryglus troi yr efengyl yn rhyw ail gyfammod gweithredoedd, a gosod edifeirwch a ffydd yn ammodau yn y cyfammod gras, fel pe byddai bywyd i'w gael *am* edifarâu a chredu yn lle *trwy* hyny. Nid oes dim sydd yn perthyn i deulu syrthiedig i'w godi i fod yn gwmwl ar ogoniant gras Duw. Rhaid cael tuedd i edifarâu a chredu o ryw le heblaw o wreiddyn a wywodd, onide gweithredoedd meirwon a fyddant. Yr Adda diweddaf sydd Ysbryd yn bywâu; oddiyma y ceir y grym i fyw i'r hwn a fu farw drosom. Mae yn rhaid ein gwneyd yn eiddo gwr arall cyn y dygwn ffrwyth i Dduw; ni wyr natur syrthiedig ddim am ufudd-dod ffydd.

Y mae pregethu Crist fel y'i darlunir yn yr efengyl yn effeithio i gefnogi ac amlhau gweithredoedd da. Y mae Dr. Chalmers yn sylwi nad oes, hyd y gwyr ef, ddim pulpudau yn cael eu cadw mor lân oddiwrth gyfeiliornadau â phulpudau Ysgotland, ac nad yw moesau un wlad mor dda â'r eiddo y wlad hòno; mae y peth hwn yn dweyd mwy na llyfrau am effeithiolrwydd pregethu yr efengyl er cynnyrchu moesau da. Sylwyd fod perygl o bob ochr; ar un llaw rhag codi rhywbeth o eiddo y pechadur i gymylu gogoniant Crist, ac ar y llaw arall rhag roddi mantais i neb gymeryd gras ac Iawn Crist yn achlysur i fyw yn benrhydd. Nid yw yn bosibl gweithredu ffydd ar waith Crist, heb ymestyn am rodio fel y rhodiodd Crist; nis gall fod ffydd yn Nghrist mewn dyn balch, neu ddyn anonest, neu ddyn anfaddeugar, &c. Cyfeirier y colledig yn glir at Geidwad fel na byddo yn ymddyrysu tu a godre Sinai; ac wedi ei gael yno, cyfarwydder ef i fyw i Dduw.

2. Ymddyddanwyd â phump o bregethwyr ieuainc o Sir Gaernarfon, o'r enwau Ellis Humphreys, John Jones, David Morris, Benjamin Jones, a Griffith Williams.

Holwyd hwy gan y Parch. RICHARD DAVIES, Llansadwrn, am eu profiadau; gan y Parch. WILLIAM MORRIS, Tŷ Ddewi, am eu golygiadau athrawiaethol; a chan y Parch. JOHN ELIAS am eu cymhelliadau i waith y weinidogaeth.

Yr oedd eu hatebion yn foddlonol iawn. Wrth eu cynghori sylwyd mai peth ofnadwy yw i ddyn redeg heb ei anfon; dywedyd am Grist heb adnabod Crist. Gall pregethwr ei adnabod ei hun wrth ei ddybenion. 'Y mae yr hwn sydd yn llefaru o hono ei hun,' meddai Mab Duw, 'yn ceisio ei ogoniant ei hun; ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnw sydd eirwir, ac anghyfiawnder nid oes ynddo ef.' Gyda gwneuthur lles i bechaduriaid, y mae pregethwr yn sefyll yn dyst dros

Dduw, i ddal ei wirionedd i fynu; 'i dystiolaethu efengyl gras Duw." Y mae yn oruchwyliwr Duw, oblegid ymddiriedwyd iddo am yr efengyl. Y mae fel y gŵr yn Nhŵr Llundain sydd yn cadw y coronau; mae y *diamonds* o werth mawr, a phwysig yw colli un o honynt. Yr ydym wedi cael y weinidogaeth dan ei choron gan ein hen dadau; na fydded i un o'r meini gwerthfawr golli yn ein dydd ni. Adroddwyd y geiriau hyny o eiddo Ioan: 'Hwynthwy o'r byd y maent.' Pwy yw y rhai hyny? Pregethwyr; rhai a aethant i'r weinidogaeth heb eu hanfon gan Iesu. 'Hwynthwy o'r byd y maent' o ran eu cyflwr a'u hegwyddorion. 'Am hyny y llefarant am y byd;' dyna archwaeth a blas eu gweinidogaeth; eu hawydd yw boddio archwaeth yr oes. 'A'r byd a wrendy arnynt;' am eu bod yn iselu athrawiaeth gras er eu difyru. Annogwyd y brodyr ieuainc i gyfeirio eu dybenion ac ymagweddu yn mhob peth fel dynion Duw.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

1. Hysbyswyd fod Cymanfa ABERGELE i gael ei chynnal Ionawr 5, 6, a 7fed, 1841. Cyfeisteddfod y Siroedd i gyfarfod ar y 5ed, am 3 o'r gloch y prydnawn; y 6ed, am 10, cyfarfod i'r pregethwyr a'r blaenoriaid ynghyd, ac am 2, cyfarfod i athrawon ac athrawesau yr Ysgol Sabbathol; y Siroedd i anfon yno gyfrifon yr Ysgol am y flwyddyn hon.

2. Derbyniwyd y brodyr ieuainc a holwyd yn Nghyfarfod y Pregethwyr yn aelodau o'r Gymdeithasfa.

3. Cydsyniwyd â chais y brodyr o Birmingham am eu cynnorthwyo i adeiladu capel yno; nid oeddynt yn gofyn ond ceiniog oddiwrth bob aelod o'r Corff yn Nghymdeithasfa Gwynedd. Y casgliad i gael ei wneuthur yr wythnos gyntaf ar ol Tachwedd 12fed.

4. Annogwyd i wneuthur casgliad egniol at yr achos Cenadol yn y flwyddyn hon.

5. Dywedwyd am yr angenrheidrwydd o ddiogelu *leases* y Capeli, trwy sicrâu Ymddiriedolwyr newyddion, cadw y gweithredoedd yn yr un gist yn mhob Sir, &c. Ni ddylid adeiladu un capel heb wneuthur gweithred gyfreithiol yn mherthynas iddo, a dodi y weithred hono yn meddiant y Corff. Dylid dodi adran yn y weithred ynghylch diawdurdodiad yr Ymddiriedolwyr a ddiarddelir am ddrwgfuchedd neu gau athrawiaeth.

6. Sylwyd am yr angenrheidrwydd i ni fel Corff o grefyddwyr fod yn un yn mhob peth.

Mewn undeb y mae nerth. Y peth a welodd cynghorau uffern yn llwyddo yn oreu yn erbyn Eglwys Dduw, oedd anmharu yr undeb o'i mewn. Dylem fod yn ddiolchgar i Dduw am yr undeb rhagorol sydd wedi para yn ein mysg er ys dros gan mlynedd. Gochelwn wneuthur dim ar air neu ar weithred a fyddo yn milwrio yn erbyn yr undeb. Yr oedd undeb yr Eglwys yn ngolwg Duw wrth ei phlanu, ac am undeb y taer weddiodd Crist cyn iddo farw; 'fel y byddent o'l yn un.' Tu ag at i ni gydweithio yn un rhaid i hunan golli y dydd. Y mae mynu ein ffordd ein hunain, doed a ddelo, yn lladd pob cydgordiad. Coffäwyd rhai pethau neillduol i amcanu at fod yn unffurf ynddynt.

7. Annogwyd y brodyr sydd heb ymuno etto â'r Gymdeithas Ddirwestol i ddyfod yn mlaen i'w pleidio; a phenderfynwyd ysgrifenu llythyr caredig at y swyddogion annirwestol.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid* 8 *o'r gloch bore ddydd Gwener, Medi yr* 11*eg.*

Yn y cyfarfod hwn, sylwyd ar Athrawiaeth y Cyfrifiad, un o'r materion a fu dan sylw yn Nghymanfa Gorfforedig LLANIDLOES.

Sylwyd fod yr athrawiaeth am y Cyfrifiadau i'w chanfod yn eglur yn yr ysgrythyrau. 'Trwy anufudd-dod un y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid;' dyna wneuthur mewn barn, a rhaid fod hyny trwy gyfrifiad. Y mae cyfrif cyfiawnder yr ail Adda yn eiriedig yn y Bibl. Gosodir y ddau Adda yn gyferbyniol i'w gilydd. Yr oedd Adda y cyntaf 'yn ffurf yr un oedd ar ddyfod;' y mae yn anhawdd gweled pa fodd yr oedd ef felly os nad oedd yn sefyll fel Pen-cyfammodwr, a'r hyn a gyflawni efe yn y sefyllfa hòno yn gyfrifedig i'w had fel deiliaid. Wrth gyfrifiad y deallir gosod yn erbyn neu o blaid. Ni buasai cyfrifiad oni buasai gyfammod, y mae yn cymeryd lle ar sail yr undeb cyfammodol.

Beth sydd yn cael ei gyfrif? Y weithred o eiddo Adda yn tori y cyfammod, hòno a osodir yn erbyn ei had fel deiliaid y cyfammod. Pechodau y rhai a gedwir a roddwyd yn gyfrifol ar Grist. Yr hyn a gyflawnodd Crist yn nyddiau ei gnawd yw y cyfiawnder a gyfrifir i'r rhai a gredant ynddo; nid rhywbeth wedi ei brynu ganddo yw y cyfiawnder, ond purdeb ei natur, sancteiddrwydd ei fywyd, ei ddyoddefiadau a'i angeu, y cwbl yn y cysylltiad â mawredd ei Berson;—dyma y peth a osodir o blaid y pechadur a unir â Christ.

Yr oedd dyn fel creadur rhesymol dan y ddeddf wrth ei greu, yr oedd yn rhwym i ufudd-dod heb un addewid; ond ni wyddai pa faint o amser y cai fyw, na pheth a ddeuai o hono; ni wyddai na wnai ei Greawdwr ei ollwng i ddyddymdra. Ond ymostyngodd y Creawdwr mawr i wneuthur cyfammod âg ef; rhoddodd orchymyn penarglwyddiaethol i'w rwymo fel prawf o'i ufudd-dod i'r gyfraith, ac addewid am fywyd os cadwai yr ammod. Ond Adda a dorodd y cyfammod, ac o herwydd fod pob

dyn mewn undeb cyfammodol âg ef, 'trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad.'

Y mae grym mewn cyfammod; y mae awdurdod Duw ynddo, gan hyny nid siarad gwag mo hono. Beth sydd yn dwyn babanod dan ergyd angeu er eu bod heb bechu yn weithredol? Grym cyfammod. Beth a ddarostyngodd Berson yr Emmanuel i angeu y groes? nid oedd un lle ond y nefoedd yn gweddu foment i'w ddynoliaeth wedi ei huno âg ef, eto hi a fu farw o farwolaeth felldigedig; beth a'i darostyngodd fel hyn; Grym cyfammod. Beth sydd wedi codi llaweroedd o iselder y codwm i ffafr Duw? Grym cyfammod. Ni chyfrifasid camwedd Adda i'w had oni bai am yr undeb cyfammodol; ac ni buasai cyfiawnder Crist yn cael ei gyfrif i'w had yntau, oni bai ei fod ef yn ei gyflawni yn y sefyllfa fachnïol.

Sylwyd fod dyn o naturiaeth yn llygredig, am ei fod yn cael ei ffurfio yn greadur sydd yn ddeiliad o gyfammod wedi ei dori, a bod grym y cyfrifiad yn cadw draw ffafr a dylanwadau grasol Duw; ac felly y mae yn rhwym o fod yn llygredig. 'Wele mewn anwiredd y'm lluniwyd;' y mae felly am ei fod yn lluniad ar greadur sydd yn ddeiliad cyfammod tuedig. Mae yn rhaid i ni olygu dyn mewn bod cyn ei olygu yn bechadur. Ni chyfrifwyd pechodau y cadwedigion ar Grist nes iddo fyned i'w deddfle yn eu natur; ni chyfrifir cyfiawnder y cyfryngwr i neb nes eu huno âg ef trwy ffydd; felly hefyd ni chyfrifir camwedd Adda i ddynion nes eu bod yn bersonau.

Y mae arnom eisiau golygiadau cedyrn ar sefyllfa dyn dan y cyfammod toredig; y mae yn anobeithiol ei wellâu heb ei symud i gyfammod arall. Gan fod holl deulu Adda yn lluniedig mewn anwiredd, mae ffynon sancteiddrwydd wedi ei chau am byth yn y llwybr hwnw. Mae y ddedfryd am dori y cyfammod ar y ffordd rhwng plant dynion â dedwyddwch; mae yn anmhosibl i sancteiddrwydd redeg i'n natur ni ond ar hyd ffrydle Iawn y groes. 'Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd;' dyna yr ymwared a ddaeth i ni o le arall. Nid cyfrif fod Crist wedi gwneuthur y pechodau, ond rhoi y pechodau a wnaethpwyd gan eraill yn ei erbyn ef fel Machnïydd; nid cyfrif i ninnau mai nyni a wnaeth y cyfiawnder, ond rhoi o'n plaid yr hyn o wnaeth Ef yn ein lle. 'Yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod trosom ni, fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.' Pan y mae pechadur dan argyhoeddiadau achubol Ysbryd Duw, mae yn myned i'r fath amgylchiadau fel y mae yn anobeithio byw heb gyfrifiad o gyfiawnder Crist. Y mae dan y gollfarn yn gyfiawn; ni all y Barnwr newid ei ddeddf na llychwino ei orsedd, ac felly nid oes modd ei gadw heb iddo gael cyfiawnder perffaith a ddeil fanylrwydd gorsedd Duw. Yn nghyfiawnder Crist y mae Duw 'yn cyfiawnâu'r annuwiol.' Mae y dyn yn myned at y fainc yn annuwiol; mae y treial yn pasio arno ac yn ei gael yn annuwiol, ac felly y mae yntau yn ei gael ei hun; ond ni ddaw oddiwrth y fainc yn annuwiol; gwneir ef yn dduwiol yn yr un foment âg y gwneir ef yn gyfiawn; yn yr un fynyd y mae y pechadur yn credu a Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo. Wedi iddo dwyn i afael y cyfiawnder, mae y pechadur yna mewn cyflwr i'w ymgeleddu gan Ysbryd Duw, ac o dan yr ymgeledd y bydd nes ei wneuthur yr un ffurf â delw ei Fab ef. Mae Crist wedi ei wneuthur yn sancteiddrwydd yn gystal ag yn gyfiawnder. 'Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn.' Nid oes modd bod dyn yn gyfiawn yn nghyfiawnder Crist, ac yn anghyfiawn yn ei fasnach fydol.

Cynghorwyd ni i ymgadw at eiriau y Bibl, ac arfer ymadroddion Ysbryd Duw, wrth osod allan athrawiaeth yr efengyl. Cofiwn fod y dirgeledigaethau yn eiddo yr Arglwydd, ac mai y pethau amlwg a roddwyd i ni. Rhyfeddwn fod yn bosibl gwneuthur rhywbeth â phechadur heb ei golli, a gadawn y pethau sydd uwchlaw ein hamgyffred i Dduw.

R. E. Ysg.

---

# BARDDONIAETH.

---

## PENNILLION.

"O Arglwydd, bywâ dy waith y'nghanol y blynyddoedd."

Bywa dy waith, O Arglwydd mawr,
Dros holl derfynau daear lawr;
Trwy roi tywalltiad nerthol iawn
O'r Ysbryd Glan, â'i ddwyfol ddawn.

Bywâ dy waith,—a dyger llu
O feddiant y tywyllwch du,
A rhwymau Satan, y'mhob gwlâd,
I deyrnas wiw yr Iesu mâd

Bywâ dy waith,—a thrwy ein tir,
Arddeliad mawr fo ar y gwir;
Mewn nerth y bo'r efengyl lawn,
Er iachawdwriaeth llawer iawn,

Bywâ dy waith o fewn dy dŷ,
A gwna dy weision oll yn hy';
Gwisg hwynt â nerth yr Ysbryd Glân,
A'th air o'u mewn fo megis tân.

Bywâ dy waith, a Sion wiw
Gynyddo'n hardd gan gynydd Duw;
Dysgleiried ei sancteiddrwydd hi,
Er mawl i'th ras a'th Ysbryd di.

Bywâ dy waith, O Arglwydd mawr,
O fewn fy nghalon innau'n awr;
Er cynydd pob rhyw nefol ras,
A marwâd i'm llygredd cas.

*Liverpool.* MINIMUS.

### LLINELLAU ANERCHIADOL

*I Robert Williams, Aberystwyth, diweddar o Ddinbych, ar farwolaeth ei anwyl gyfaill, Charles Mellish,* yr hyn a gymmerodd le ar yr 28ain o Orphenaf diwieddaf.*

Anhawdd ydyw coeliaw mae'n wir,
Fod *Mellish* yr awrhon yn huno;
Palmwydden oedd gynau mor îr,
Mor ebrwydd i'w gwaelod yn crino!

Gadewaist† ef ddoe ar ei daith
Yn arfog yn myddin Duw Seion,
A llwyddiant y gwersyll a'r gwaith
Yn ddyben ei amryw ymdrechion.

Yn fedrus a ffyddlawn er lles,
Holl ddeiliaid yr Ysgol Sabbathol,
A'i galon yn berwi o wres,
Am lwyddiant yr achos dirwestol.

Meddylit tra'n cychwyn i'th hynt,
Am ddychwel yn fuan i'w fynwes,
I dreulio aml awr megys cynt,
Mewn cwmni rhagorol o gynnes.

Adgofion hiraethlawn y sy
Yn gwaedu y galon a gerfiwyd
Gan serchog gyfeillach a fu
Rhwng dwyfron a gadarn gylymwyd.

Adgofio'r boddineb a gaech,
Yn siriol uwch ben rhyw lyfrynau;
Cyd-yfed gwybodaeth a wnaech,
A dadrys rhyw benbleth o bynciau.

Bydd dawel, os Charles a wnaeth frys
I adael y byd a'i aflwyddiant,
'Roedd engyl yn dysgwyl y wŷs,
I'w alw i wlad y gogoniant.

Yn filwr dewr ieuanc fe roes
Ei arfau o'r neilldu ganol-ddydd;
Er byred fu ystod ei oes,
Aeth adref yn fwy na gorchfygydd.

*Glan Conwy.* I. D. FFRAID.

* Yr oedd C. M. yn fab i William Mellish, Canwyllwr, Dinbych, ac yn nai i Mr. Charles Mellish, Pregethwr gyda y Trefnyddion Calfinaidd. Ei oed oedd 27ain, ac, er pan yn ieuanc, yr oedd yn aelod gyd â'r Corph y Calfiniaid, yn Ninbych, ac yn ysgrifenydd yr Ysgol Sabbathol.

† Nid oes ond ychydig wythnosau er pan ymadawodd R. W. â Ddinbych.

### MYFYRDOD UWCH MARWRESTR Y DRYSORFA AM FAI 1840.

Gwanwr drwy Dde a Gwynedd—yw'r angeu
Oer ringill, echryswedd
Tori'r uniawn, tarianwedd
A'r annuw balch i'r un bedd.

Golwythog rwyg alaethus—i'r Eglwys
Arogliad trychinus,
O ddwyn iawn wiw rawn o'r ûs
Wele'n Bala'n helbulus.

Y duwch sydd amdoawl—a Gwalia
Yn gwelwi'n hiraethawl
Fe wylir lli o golli gwawl,
Hoenus y wlad frenhinawl.

Duw Iesu y mawr D'wysog—a godo
Ei gedyrn wyr enwog.
I araith grym nerth ei grôg,
I'w eglwysi gwan gleisiog.

*Lle'rpwll.* ASIEDYDD.

# HANESIAETH CENADOL.

### Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

*At Olygydd y Drysorfa.*

Liverpool, Hydref 19, 1840.

Fy Hoffus Gyfaill,—Y drydedd waith hon yr wyf yn ysgrifenu atoch, yn achos y Gymdeithas uchod; ac oni bai fy mod yn gwybod eich bod chwi, a lluaws o'ch darllenwyr, yn teimlo gradd fawr o ddyddoreb yn nghylch gweithrediadau y Gymdeithas, byddai arnaf beth ofn rhag fy mod yn gwneud yn rhy hŷf arnoch trwy ofyn i chwi gyhoeddi yr Ysgrif hon yn y Rhifyn nesaf. Ond gan fod hysbysiad o bwys yn gynnwysedig yn y llythyr canlynol, yr hwn a anfonwyd i Gymdeithasfa Dolgellau, nid wyf yn ammheu y cydsyniwch â'm cais y tro hwn etto. Y llythyr y cyfeiriwyf ato sydd fel y canlyn;—

At Gynddrychiolwyr Corph y Trefnyddion Calfinaidd cynulledig yn Dolgellau.

Anwyl Dadau a Brodyr,—Yr ydym ni, Cyfarwyddwyr a Chyfeisteddwyr 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig' yn cymeryd y rhyddid i'ch annerch, gan ddymuno ar fod

a mewn undeb cyfammo
nwedd un y daeth ba
ıdemniad.'
Y mae grym mewn
durdod Duw ynddi
ag mo hono.
panod dan er
phu yn weith
th a ddaros
i angeu
oedd yn
di ei
wola
I f
ld

...sud d
...res eang o
...d o'n blaen
...ystyried fod y
...ol, ac na byddai
...yno ond ychydig
...gem, fyddai cael li
...yn Cymdeithas ddechr
...haiau.

...ym, ychydig fisoedd yn ol, w
...asom danfon Mr. Jones i Athro
... am hanner blwyddyn, i'r dyben
... gyrhaedd mesur o wybodaeth mewn
...ngwriaeth, gan hyderu y ceid cyfleus-
...i'w anfon i India yn y gwanwyn nesaf;
...ond tueddwyd ni i newid y bwriad hwnw,
...c i benderfynu ei anfon ymaith yn ddioedi,
...rwy dderbyn o honom yn ddiweddar, gyn-
ygiad tra manteisiol i wneud hyny, nad
es genym ddim lle i ddysgwyl ei fath, y
hawg, os byth etto. Y mae yma long yn
wytho, ac i hwylio tua'r chweched o'r mis
esaf, i *Calcutta* (y porthladd agosaf i
ryniau Kassiah), ac y mae perchenog a
ywydd y llestr wedi addaw cludo Mr.
ones a'i wraig yno am tua hanner can'
unt llai nag y byddis arfer o godi am yr
rian cludiad *(passage money)* i'r porthladd
wnw. Barnasom mai annoethineb mawr
ddai i ni wrthod y cyfryw gynygiad, a
ıan ei olygu fel arwydd o ffafr a boddlon-
rydd yr Arglwydd tuag at ein cymdeithas
n ei mabandod, yr ydym wedi cytuno am
llong-lôg; ac o ganlyniad, bydd ein
rawd a'i briod yn cychwyn ar eu mordaith
ıa'r amser rhag-grybwylledig. Hyderwn
bydd yr hyn a wnaethom yn foddaol gen-
ch; ac na chymerwch yn angharedig os
ofynwn i chwi anfon cenadwri at amryw-
l eglwysi y Corph, i ddymuno arnynt
yd-nesâu at orseddfaingc y gras, ar nos y
ydd a enwyd, i ofyn nodded y Goruchaf
n cyfeillion ar eu mordaith, ei gyfarwydd-
l iddynt yn y gorchwyl pwysfawr y maent
n gwynebu arno, a'i fendith Ef ar eu llafur
wy, a pha ymdrechiadau bynag ereill y
affo ein cymdeithas y fraint o wneud rhag-
aw tuag at ledaenu teyrnas Emmanuel yn
gwledydd pell y byd.

Cyn terfynu, goddefwch i ni grybwyll y
yddwn yn dra diolchgar i bwy bynag
ydd a chanddynt arian mewn llaw i'w
roddi at wasanaeth y gymdeithas, os bydd-
nt mor fwyn a'u danfon i'r Trysorydd yn
dioedi, canys bydd, o angenrheidrwydd,

m
oli
gry
olchg
ol, ond
allant i
wraig ar
cyrhaedd
wed y Parc
bychain br
rhoddi ar dy
tlodion, llawer
aml o eisiau dil
o'n cyfeillion ein
au, neu â gwlan
Jones, a'u danfon y
rhoddi ar fwrdd y R
'Jamaica,') cyn idd
wasanaeth mawr i'r gym
yn o sicr, pe buasai yr
ei roddi yn gynt y bua
cyfeillion yn dylifo atom
o'r braidd y gellid cael digon
fwrdd y llong; ond gan na
leuster i hyny, nid oes genym
yr hyn a gaffom,—ac ni a w
gyda diolchgarwch diffuant.

Ydwyf, hoffus gyfaill,
Yr eiddoch yn s
JOHN R

## HANESION TRAMOR.

### RHYFEL YN SYRIA.

MAE yn hysbys i rai o'n darllenwyr fod gwlad yr Aipht a Syria dan lywodraeth Ymerawdwr Twrci. Yn ddiweddar wrolodd llywydd yr Aipht, ac efe a ryfelodd yn erbyn llywodraeth orth... y Twrc, ac efe a lwyddodd yn rhyfeloddol i

i Ben mawr ei Eglwys roddi ei bresennoldeb yn amlwg iawn yn eich plith, yn eich cynulliad.

Ar ol y penderfyniad a wnaed yn Nghymdeithasfa Llanfair, 'fod ein brawd, y Parch. Thomas Jones, i gael ei anfon allan mor fuan ag y gellir,' gwnaethom bob ymchwiliad a fedrem, gyda golwg ar y lle mwyaf ffafrol i sefydlu cenadaeth; ac ar ol dwys ystyriaeth, yr ydym wedi penderfynu, anfon y brawd rhag-grybwylledig i *Fryniau Kassiah*, yn yr India ddwyreiniol. Ymddengys i ni fod drws eang o ddefnyddioldeb wedi ei agoryd o'n blaen yn y fan hono; ac wrth ystyried fod yr hinsawdd mor hynod o ffafrol, ac na bydd y gost o gynnal cenadau yno ond ychydig iawn,—anhawdd, tebygem, fyddai cael lle mwy dymunol i'n Cymdeithas ddechreu ei gweithrediadau.

Yr oeddym, ychydig fisoedd yn ol, wedi penderfynu danfon Mr. Jones i Athrofa *Glasgow* am hanner blwyddyn, i'r dyben iddo gyrhaedd mesur o wybodaeth mewn physigwriaeth, gan hyderu y ceid cyfleuster i'w anfon i India yn y gwanwyn nesaf; ond tueddwyd ni i newid y bwriad hwnw, ac i benderfynu ei anfon ymaith yn ddioedi, trwy dderbyn o honom yn ddiweddar, gynnygiad tra manteisiol i wneud hyny, nad oes genym ddim lle i ddysgwyl ei fath, y rhawg, os byth etto. Y mae yma long yn llwytho, ac i hwylio tua'r chweched o'r mis nesaf, i *Calcutta* (y porthladd agosaf i Fryniau Kassiah), ac y mae perchenog a llywydd y llestr wedi addaw cludo Mr. Jones a'i wraig yno am tua hanner can' punt llai nag y byddis arfer o godi am yr arian cludiad (*passage money*) i'r porthladd hwnw. Barnasom mai annoethineb mawr fyddai i ni wrthod y cyfryw gynygiad, a chan ei olygu fel arwydd o ffafr a boddlonrwydd yr Arglwydd tuag at ein cymdeithas yn ei mabandod, yr ydym wedi cytuno am y llong-lôg; ac o ganlyniad, bydd ein brawd a'i briod yn cychwyn ar eu mordaith tua'r amser rhag-grybwylledig. Hyderwn y bydd yr hyn a wnaethom yn foddaol genych; ac na chymerwch yn angharedig os gofynwn i chwi anfon cenadwri at amrywiol eglwysi y Corph, i ddymuno arnynt gyd-nesâu at orseddfaingc y gras, ar nos y dydd a enwyd, i ofyn nodded y Goruchaf i'n cyfeillion ar eu mordaith, ei gyfarwyddyd iddynt yn y gorchwyl pwysfawr y maent yn gwynebu arno, a'i fendith Ef ar eu llafur hwy, a pha ymdrechiadau bynag ereill y caffo ein cymdeithas y fraint o wneud rhagllaw tuag at ledaenu teyrnas Emmanuel yn ngwledydd pell y byd.

Cyn terfynu, goddefwch i ni grybwyll y byddwn yn dra diolchgar i bwy bynag sydd a chanddynt arian mewn llaw i'w rhoddi at wasanaeth y gymdeithas, os byddant mor fwyn a'u danfon i'r Trysorydd yn ddioedi, canys bydd, o angenrheidrwydd, eisiau swm go fawr i ddwyn y draul o anfon Mr. Jones i'r lle a bennodwyd, ac i'n galluogi i drefnu cynorthwy arianol iddo erbyn y cyrhaeddo efe ben ei daith: a hyn a wnawn trwy dalu swm o arian i rai o farsiandwyr y dref hon, a cheisio ganddynt hwythau lythyr at eu cyd-gyfranogion (*partners*) yn Calcutta, i awdurdodi Mr. Jones i alw ar y cyfryw am yr arian pan, ac fel y byddo yn dewis.—Ydym, anwyl dadau a brodyr, yr eiddoch, gyda phob parch,

*Arwyddwyd gan* 19 *o'r Cyfarwyddwyr a'r Cyfeisteddwyr*

Yn ychwanegol at y llythyr uchod, dymunwyf hysbysu ein bod yn bwriadu cynnal cyfarfod cyhoeddus, nos Fercher, Tachwedd 4ydd, i'r dyben i dderbyn cyfarchiad ymadawol ein brawd, Mr. Jones, pryd y dysgwyliwn amryw o weinidogion o'r Dywysogaeth i'w annerch yntau, ac i areithio ar yr achos cenadol, yn gyffredinol, ac y gwneir casgliad tuag at draul y gymdeithas. Afreidiol yw i mi chwanegu y bydd cyfraniadau ein cyfeillion yn y Dywysogaeth, a manau ereill, yn bur dderbyniol, a goreu oll po gynted y delont i law. Dymunwn grybwyll yn mhellach y byddwn yn dra diolchgar, nid yn unig am gyfroddion arianol, ond hefyd am unrhyw bethau ereill a allant fod yn ddefnyddiol i'r cenadwr a'i wraig ar eu taith dros y weilgi, neu wedi cyrhaedd o honynt Fryniau Kassiah. Dywed y Parch. Mr. Tomlin y bydd blancedi bychain breision yn werthfawr iawn, i'w rhoddi ar dymmor gwlybyrog i'r trigolion tlodion, llawer o ba rai sydd yn trengu yn aml o eisiau dillad cynhes. Os gall neb o'n cyfeillion ein hanrhegu â'r cyfryw bethau, neu â gwlanenida at wasanaeth Mr. Jones, a'u danfon yma yn ddigon buan i'w rhoddi ar fwrdd y llong (enw yr hon yw 'Jamaica,') cyn iddi gychwyn, gwnant wasanaeth mawr i'r gymdeithas. Teimlwyf yn o sicr, pe buasai yr awgrym hwn wedi ei roddi yn gynt y buasai rhoddion ein cyfeillion yn dylifo atom o bob parth, fel o'r braidd y gellid cael digon o le iddynt ar fwrdd y llong; ond gan na chafwyd cyfleuster i hyny, nid oes genym ond derbyn yr hyn a gaffom,—ac ni a wnawn hyny gyda diolchgarwch diffuant.

Ydwyf, hoffus gyfaill,
Yr eiddoch yn serchog,
JOHN ROBERTS.

## HANESION TRAMOR.

### RHYFEL YN SYRIA.

MAE yn hysbys i rai o'n darllenwyr fod gwlad yr Aipht a Syria dan lywodraeth Ymerawdwr Twrci. Yn ddiweddar fe ymwrolodd llywydd yr Aipht, ac efe a wrthryfelodd yn erbyn llywodraeth orthrymus y Twrc, ac efe a lwyddodd yn rhyfeddol i

ysgwyd ymaith ei iau ef oddiarno; a'i filwyr ef, dan y Cadlywydd Ibraham Pasha, a aethant y'mlaen yn eu buddugoliaethau, ac a gymmerasant feddiant o'i lynges ef, ac a'i dygasant i Alexandria yn yr Aipht. Yna aethant i Syria, ac a ddechreuasant ennill y wlad hono hefyd o law y Twrc. Wedi hyny penderfynodd yr Aiphtiaid gymmeryd meddiant o Constantinople, prif ddinas y Twrc, canys nid oedd dim a safai o'u blaen hwynt.

Ond rhag i Ymerodraeth y Twrc gael ei llwyr ddinystrio, fe ddarfu i Frydain, Rwssia, Prwssia, ac Awstria, ymrwymo mewn cyngrair y bydd iddynt amddiffyn y Twrc, a'i waredu ef o law ei orchfygwr; ac felly hwy a wnaethant gynnygiad i lywydd yr Aipht: y bydd iddo gael gwlad yr Aipht i'w llywodraethu, a Syria hefyd am ei oes, os bydd iddo wneud heddwch â'r Twrc ar yr ammodau hyny; ond efe ni wrandawai arnynt. Yna aeth y Cyngreirwyr a'u llongau a'u gwyr arfog tua Syria mewn llawn fwriad i gymmeryd y wlad hono oddiar lywydd yr Aipht, a'i rhoi hi yn ol i'r Twrc. Dechreuodd y Cyngreirwyr ar dref yn Syria a elwir Beyrout, ac a'i cymmerasant hi, wedi gwneud yn gyntaf gryn alanastra ar yr amddiffynfa, a rhai o'r tai a'r trigolion. Eithr Ffrainc ni fynai ymuno â'r pedwar galluoedd uchod i fynu chwareu teg i'r Tyrciaid, gan farnu fod y Twrc yn haeddu cael ei lachio a'i dynu i lawr o'i orseddfa, os nad ei lwyr ddinystrio. Mae yr anghydweled hwn rhwng Ffrainc a'r Cyngreirwyr yn peri i rai ofni y cyfyd Ffrainc gyda llywydd yr Aipht yn erbyn Brydain, &c. Ond yr ydym ni y'mhell oddiwrth feddwl y bydd y wlad ryfelgar hòno mor ryfygus a chynnyg codi llaw yn erbyn y fath rym cyngreiriol.

---

## HANESION CARTREFOL.

*Agoriad Capel Newydd Saesoneg Pentre Moch, rhwng Llaneurgain a Phen-ar-lay, Sir Flint.*

Agorwyd y Capel hwn. Medi 12ed a 13eg, 1840. Cynnaliwyd y moddion yn y drefn ganlynol, Nos Sadwrn pregethodd y Parch. W. Hughes, Tabernacle ar Job 14. 10.

Bore Sabbath, am 10, Mr. John Jones, Wrexham, ar Act. 24. 16. a Mr. D. Charles, B. A, Bala, ar Dat. 1. 8. Am 2. Mr. Joseph Williams, Llerpwll, ar Esa. 2. 3. a Mr. D. Charles, ar Dat. 1. 7. Am 6. Mr. W. Edwards, Wrexham, ar Ecs. 12. 13. a'r Parch. W. Hughes, ar Luc. 10. 11.

Yr oedd y gwrandawyr yn lliosog iawn, y pregethau yn rhagorol iawn, a'r casgliad yn dda iawn, sef deuddeg punt. Hysbyswyd hefyd yn un o'r cyfarfodydd ddarfod i Amaethwyr y Gymmydogaeth gludo y rhan fwyaf o'r defnyddiau tu ag at adeiladu'r Capel, yr hyn oedd mewn effaith yn gystal ag arian gloywon.

Carwn, cyn rhoi fy ysgrifell o'm llaw, erfyn ar i'n holl gyfeillion yn mhob man ddanfon hysbysiad i'r Drysorfa o'n Capeli newyddion, er mwyn cael coffhad argraffyddol o honynt i'r oes a ddel.

Yr ydym yn ddiffygiol o amryw a agorwyd yn ddiweddar, Pa le y mae hanes am gapel newydd Mancot, Gwersyllt, Cymman, Pentre yn ymyl Harwood, Helygen, Rhosesmor, Llaneurgain, &c. &c.

Ac y mae peth hynod iawn gwedi cymeryd lle yn ddiweddar yn Llanelli, yn y Deheubarth, sef Capel Newydd mawr a hardd gwedi cael ei agoryd, a chasglwyd ar ddiwrnod yr agoriad dros £300. O na ddeuai hanes manol am y tro o ryw le!

EWYLLYSIWR DA I'R GOROR.

---

## LLYFRGELL YR ATHROFA.

CYFLWYNIR y diolchgarwch gwresocaf i'r cyfeillion caredig a haelionus hyny, a ddanfonasant eu hanrhegion o lyfrau i'r Athrofa yn y Bala. Dymunir cydnabod derbyniad o'r llyfrau canlynol, gan obeithio y teimla amrai o'n cyfeillion etto awydd ar eu meddwl i ychwanego atynt.

Gan R. W. PRICE, Ysw. Rhiwlas, ger Bala.

- Horace & Juvenal, 1 Gyfrol
- Education, 1 Gyfrol
- History of the Heavens, 1 Gyfrol
- Recreations Mathematiques, 1 Gyfrol
- Simson's Euclid, 1 Gyfrol
- French Grammar, 1 Gyfrol.
- Pliny's Epistles, 1 Gyfrol
- Manners of Ancient Christians, 1 Gyfrol

Gan J. RADLEY, Ysw. Llundain.

- Septuagint, 1 Gyfrol, 4to
- 4 Bibl Hebraeg, 8vo
- 12 Testamentau Groeg
- Gibbon's Roman History, 12 Cyfrol
- Doddrige's Expositor, 5 Cyfrol
- Horne's Introduction to the Bible 4 Cyf.
- Buffon's Natural History, 8 Cyfrol
- Russel's Modern Europe, 6 Cyfrol
- Smith's Wealth of Nations. 3 Cyfrol

Gan MR. BAYNES, Llundain.

- Buxtorff's Hebrew Lexicon, 1 Gyfrol
- Dawson's Greek Lexicon, 1 Gyfrol
- Xenophon's Curon paideia, 1 Gyfrol
- 4 Schrevelius's Lexicon

Gan y PARCH. J. A. JAMES, Birmingham.

- Dawson's Greek Lexicon, 1 Gyfrol
- Bonnycastle's Algebra, 1 Gyfrol
- Ovid, 1 Gyfrol
- Cicero de officiis, 1 Gyfrol
- Collectanea Græca Majora, 2 Cyfrol
- Schrevelius's Lexicon, 1 Gyfrol
- Hederic's Lexicon, 4to. 1 Gyfrol

Buxtorf's Hebrew Lexicon, 1 Gyfrol
Horace, (Eton Edition) 1 Gyfrol
Valerius Maximus, 1 Gyfrol
Victorini Bythneri Analysis critico Mac. tica Osalmorum, 1 Gyfrol
Ciceronis Orationes, 1 Gyfrol
Walker's Latin Phrases, 1 Gyfrol
Morell's History of England, 1 Gyfrol
Perrin's French Dictionary, 1 Gyfrol
Epictetus, 1 Gyfrol
Howard's Latin Exercises, 1 Gyfrol
Howard's Greek Exercises, 1 Gyfrol
Poetical Chronology, 1 Gyfrol
Enfield on Elocution, 1 Gyfrol
Butler's Atlas of Ancient Geography, 1 Gyfrol
Pinkerton's Atlas, 1 Gyfrol
Ancient Geography, 1 Gyfrol
C. Julii Cæsaris Opera, 1 Gyfrol
Valpy's Latin Grammar, 1 Gyfrol
Ruddiman's Latin Grammar, 1 Gyfrol
Phœdri Fabulæ, 1 Gyfrol
Greek Delectus, 1 Gyfrol
Latin Delectus, 1 Gyfrol

(*I'w barhau*)

Mae yr engreifftiau uchod o haelioni er lleshad cyffredinol yr Efrydwyr ieuainc yn yr Athrofa, yn nodedig o deilwng i'w hefelychu gan bob Gwladgarwr a fyddo mewn gallu i hyny; canys hyn a gyfoethoga eu Llyfrgell â llyfrau buddiol, er llesiant y Dywysogaeth yn yr oes hon, a'r oesoedd dyfodol. Y CYHOEDDWR.

---

*Tân mawr yn Plymouth Dock Yard.*—Lle mawr am adeiladu llongau rhyfel yw Plymouth Dock. Ar y Sabbath, Medi 27, oddeutu pedwar ar gloch y boreu, canfuwyd tân yn ymgymmeryd yn un o'r llongau rhyfel, yr hon oedd yn cael ei thaclu a'i pharottoi i droi allan i'r môr. Y llong hon a elwid Talavera, yr hon a gariai 74 o fagnelau. Yr oedd llong arall o'r un maintioli yn gorwedd gyda hi yn yr un angorfa, a elwid Minden. Yn y fan galwyd gwyr yr Ermygau tân a'r milwyr i fynu, i wneud pob ymdrech i attal yr elfen feistrolgar rhag difa y cyfan o'i blaen, Ond er pob ymdrech i fwrw dwfr arno, mynodd y tân losgi y ddwy long fawr, a darn losgi un arall. Llosgodd hefyd yr uchlofft cynnwysfawr a chostus oedd ger llaw. Yn yr uchlofft hon yr oedd amryw o bethau gwerthfawr iawn yngolwg y genedl, sef cofnodau goruchafiaethau Brydain ar y môr; nodawl ddarnau o'r llongau a fuont mewn brwydrau gorchfygawl; llummanau a gymmerwyd mewn rhyfelodd morawl; ac uwchlaw y cwbl llumman llong yr enwog Nelson, dan yr hon yr ymladdodd ei frwydr olaf, ac y gorchfygodd, ar y bu farw, &c. Y rhai hyn oll a losgwyd yn ulw. Pwy ni wel law ddirgelaidd Duw yn nhrefn ei ragluniaeth yn goddef i'r tân difaol hwn wneud y fath ddifrod. Canys gŵyr ein cydwybod, ein bod, fel cenedl, yn ymffrostio gormod yn ein Llyngesau, a'n grym morawl, ac yn anghofio i fesur mawr, mai 'yr Arglwydd sydd ryfelwr,' ac mai yn ei law ef yn unig y mae llwyddiant arfau rhyfel.

*Damwain Angeuol.*—Ar ddydd Gwener, Hydref 9, fel yr oedd amryw ddynion yn gweithio ar y gledr-ffordd rhwng Caer a Birkenhead, syrthiodd rhan o'r ddaear ar George Savage, 40 oed, a rhwygodd ei ganol mor arswyddus nes oedd ei goluddion yn rhedeg allan, a'i goes yn yfflon, a'i gorph wedi ei friwo yn dost. Yr oedd yn fyw pan y cadasant ef i'r fèn i'w ddwyn i'r Infirmary; ond erbyn corhaedd yma yr oedd y rhan anfarwol o hono wedi hedeg i fyd arall. Gadawodd, weddw a swp o blant amddifaid i alaru ar ei ol.

---

*Diwgyddiad galarus.*—Ar ddydd Llun, Hyd. 13, fel yr oedd llanc ieuanc 30 oed, o'r enw James Jeffreys yn tynhau *screw* oddi tan un o'r agerdd-gerbyddau, ar ffordd haiarn Caer o Birkenhead, cyn gorphen o hono neidiodd dau o'r *engineers* i fynu a gosodasant hi i gychwyn trwy ddiofalwch medd rhai, ac aeth yr olwyn dros un goes iddo gan ei malu yn ddarnau. Dygwyd ef i'r Infirmary yn ddioedi, ac wedi i amryw feddygon ymgynghori ar ei achos. Barnwyd nad oedd modd achub ei fywyd heb ei chael i ffordd yn llwyr—ac er y driniaeth dost hono, hyd yn hyn mae yn dyfod ymlaen yr rhagorol.

*Infirmary, Caerlleon.* T. J. WILLIAMS.

*New Zealand.*—Mae y Sefydliad newydd yn yr Ynys fawr hon yn myned yn mlaen yn llwyddiannus. Mae yno eisoes bedair mil o drigolion, yn ddeiliaid i Frenhines Brydain. Cadpen Hobson, R. N. sydd wedi ei bennodi i fod yn llywydd y Sefydliad. Gwerthir y tir yno, i'r neb a fyno ei brynu, am 12 swllt yr Erw, am byth.

*Cymdeithas Genadol Llundain.*—Cynnaliwyd Cyfarfod blynyddol perthynol i'r Gymdeithas hon yn Nghaerlleon, y Sabbath a'r Llun diweddaf, Hyd. 18, 19. Pryd y pregethodd, neu yr areithiodd amryw weinidogion ar yr achlysur.

---

## MARW RESTR.

MEDI 24, 1840, yn Llanberis, Swydd Gaernarfon, bu farw Hugh Owen, yr Hafod, (Hafdy) yn 85 mlwydd oed; wedi bod yn aelod hardd gyda'r Trefnyddion Calfinaidd 62 o flynyddoedd; a bu yn blaenori yn yr Eglwys oddeutu 60 mlwydd. Cafodd y fraint o ddwyn yr iau yn ei ieuengctid, a chafodd ei gynnal yn ddiachos dolur llygaid i'r eglwys, nes tynu ei gwys i ben mewn llawenydd. Efe a fu farw wedi cyrhaedd profiad yr hen Simeon, 'Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd yn ol dy air.'

*Prasairon.* W. HUGHES.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXX.] RHAGFYR, 1840. [LLYFR X.

## ARFAETH DUW.

(Parhad o tu dalen 324.)

AWN y'mlaen i ystyried arfaeth Duw mewn perthynas i ddynion. Y mae bodolaeth pob dyn a fu, y sydd, ac a ddaw, wedi ei benderfynu er tragywyddoldeb; 'O herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt.' Ein lluniad yn y groth, a munud ein dyfodiad i'r byd, sydd unol a bwriadau Duw. 'Dy lygaid a welsant fy annelwwig ddefnydd; ac yn dy lyfr di yr ysgrifenwyd hwynt oll, y dydd y lluniwyd hwynt, pan nad oedd yr un o honynt.' A sonia y gŵr doeth am 'amser i eni.' Ordeiniwyd pob anaf, anharddwch, neu ddiffyg ar gyrph dynion. 'Pwy a wnaeth enau i ddyn, neu pwy a ordeiniodd fudan, neu fyddar, neu y neb sydd yn gweled, neu y dall? Onid myfi yr Arglwydd?' 'Pob cnawd taw yn ngolwg yr Arglwydd.' Onid oes ganddo awdurdod i wneud fel y myno? Holl ddamweiniau bywyd dyn: hawddfyd ac adfyd, tlodi a llawnder, iechyd ac afiechyd, gwarth ac anrhydedd, tristwch a llawenydd, a phob amgylchiad perthynol i hyny, ydynt wedi eu trefnu yn ngyngor Duw. 'Yn amser gwynfyd, bydd lawen; ond yn amser adfyd, ystyria: Duw a wnaeth y naill a'r gyfer y llall.' Efe a bènodd yr amseroedd rhagosodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt.'

Y mae cyfeillion a pherthynasau wedi eu rhagddarparu. 'Y wraig a ddarparodd yr Arglwydd i fab fy meistr.' Nid oes un briodas yn cymeryd lle dan haul, ond yn ol arfaeth Duw. Ond etto, y mae pob dyn yn gweithredu yn hollol rydd, yn newisiad gwrthrych ei serch, heb y radd leiaf o orfodaeth arno, o du yr arfaeth. Nid oes neb yn priodi unrhyw berson am fod yr arfaeth wedi trefnu; ond am ei fod yn teimlo rhyw beth ynddo ei hun, neu fod rhyw beth yn ei amgylchiadau yn ei dueddu i wneuthur y cyfryw ddewisiad: er fod y dewisiad a phob peth cyssylltiol âg ef, wedi ei benderfynu. Pan y mae 'gwraig dda' yn 'rhodd yr Arglwydd,' yn ei foddlonrwydd, y mae 'gwraig anynad' naill ai yn gerydd ar ddyn am ryw bechod neu bechodau, neu ynte i'w brofi, ac i ddysgu iddo amryw gangenau o'i ddyledswyddau. 'Y neb sydd dda gan Dduw a waredir oddi wrthi hi; ond y pechadur a ddelir ganddi.'

Ordeiniwyd pob peth cyssylltiol âg iachawdwriaeth dynion. Yr oedd yr hyn oll ag yw Crist, yr hyn oll a wnaeth Crist, a'r hyn oll a ddyoddefodd Crist, yn unol â'r hyn a 'ragluniodd llaw, a chyngor Duw ei wneuthur.' Ei ymgnawdoliaeth, amser ei ddyfodiad i'r byd, yr hyn oll a ddyoddefodd yn y byd, oddiwrth ei Dad, oddiwrth ddynion, ac oddiwrth gythreuliaid; ei ddyoddefaint, ei farwolaeth, a'u holl amgylchiadau; ei adgyfodiad, a'i esgyniad, oeddynt yn ol 'rhagderfynedig gyngor Duw.' 'Pan ddaeth cyflawnder yr amser y danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf,' &c. 'Hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gyngor, a rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch..yr hwn a gyfododd Duw.' Dywedodd am dano ei hun, 'Ac yn wir, y mae mab y dyn yn myned, megis y mae wedi ei luniaethu'—'canys y mae diben i'r pethau am danaf fi.' Gan hyny, 'Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?'

Dychweliad pechaduriaid at Grist ynghyd a'r moddion angenrheidiol i ddwyn hyny oddi amgylch, ydynt wedi eu happwyntio. Gelwir hwy, nid yn ol eu gweithredoedd, ond 'yn ol ei arfaeth

ei hun, a'i ras, yr hwn a roddwyd iddynt y'Nghrist cyn dechreu y byd.' 'Y rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a alwodd efe.' Y modd yr oedd Paul yn gwybod fod y Thessaloniaid wedi eu hethol oedd, 'Oblegid ni bu ein hefengyl ni tu ag atoch chwi mewn gair yn unig; ond hefyd mewn nerth, ac yn yr Yspryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr.' 'O'i wir ewyllys' y maent yn cael eu hennill (eu hadgenhedlu) trwy air y gwirionedd.' 'Ewyllys Duw' yw eu 'sancteiddiad,' a sancteiddiad yn y gwirionedd ydyw.

Arfaethwyd y gwrthrychau a elwid, a ail-enid, a sancteiddid, ac a ogoneddid. Dywedodd Crist ei hun, 'Yr wyf yn diolch i ti, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn oddiwrth y doethion a'r deallus, a'u datguddio o honot i rai bychain: ïe, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd i ti.' 'A'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt.' 'Canys yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, (ebai Paul) nad llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion a alwyd. Eithr Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan-bethau y byd a etholodd Duw, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn; a phethau distadl y byd, a phethau dirmygus, a ddewisodd Duw, a'r pethau nid ydynt fel y diddymai y pethau y sydd; fel na orfoleddai un cnawd ger ei fron ef.' 'Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd, i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef—a'r rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe.' Trefnwyd dwyn y rhai hyn at y moddion, ac iddynt hwythau ymarfer â'r moddion, trwy ba rai y 'gwelodd Duw yn dda gadw y rhai sydd yn credu.' Rhai a ddywedant, Os yw Duw wedi arfaethu ein cadw, ni a fyddwn gadwedig; am hyny, ofer yw i ni ymarfer â moddion tu ag at ddwyn hyny oddi amgylch.' Oddiar yr un egwyddor a hon, y mae y Mahometaniaid yn gwrthod arfer unrhyw foddion tu ag at wellhau y pla ag sydd mor fynych yn eu gwlad. Y mae yn gywilydd fod neb, a alwant eu hunain yn Gristionogion, mor ofergoelus a thywyll a Mahometaniaid. Onid yw y moddion yn gystal a'r dyben wedi eu hordeinio? Gallwn gael amryw esamplau o hyn yn yr Ysgrythyrau.

Bwriadodd Duw gadw Noah rhag y diluw. A phe dywedasid wrtho, 'Noah, y mae yr Arglwydd wedi penderfynu dy ddiogelu yn y distryw mawr sydd i ddyfod ar y byd. Y mae yn Hollalluog, a'i gyngor yn ddigyfnewid; ac felly nid yw ond ynfydrwydd i ti ymdrafferthu i adeiladu arch; waith fe'th gedwir heb i ti arfer unrhyw foddion felly er dy ddiogelwch.' Dywedasai yn ddioed, 'O, na, yr wyf fi yn well *divine* na hyny. Y mae gan yr arfaeth ei llwybr ei hun i achub. Trefnodd i mi adeiladu arch, yn gystal a'm cadw yn fyw.' Gallasai Duw, pe mynasai, roddi digon o ffydd iddo, i allu rhodio ar y dyfroedd heb suddo, fel Pedr: neu ei gipio i'r drydedd nef, fel Paul, nes i'r dyfroedd dreio; ond nid dyna ei drefn.

Drachefn, yr oedd Duw wedi trefnu, yn ei gyngor tragywyddol, iachau Namaan y Syriad o'i wahanglwyf. Eithr ofer fuasai i Namaan ddywedyd, Nid yw o un dyben i mi wrando ar lais yr eneth yma o wlad Israel, parotoi fy ngherbyd, a myned at y Prophwyd yn Samaria. Ac wedi myned at ŵr Duw, bu bron iddo wrthod ufuddhau i'w gais; ond trwy gyfryngaeth ei was, fe aeth i'r Iorddonen, ac a ymolchodd seithwaith, ac aeth ei gnawd fel cnawd dyn bach. Erbyn hyn gwelodd ei ynfydrwydd. Yr oedd Duw wedi arfaethu i'r eneth fyned i'w wasanaethu; iddo yntau barotoi ei gerbyd, myned at y Prophwyd, ac ymolchi yn yr Iorddonen, yn gystal a'i iachau.

Ym mhellach, amlwg yw, fod y nefoedd wedi penderfynu gwaredu yr Iuddewon yn amser Ahasferus. Gallesid dweyd wrth Esther, 'Daw ymwared i'r Iuddewon yn ddiau; canys y mae hyny wedi ei ordeinio; am hyny bydd lawen, nac ymddyrysa ynghylch y pwngc, nac arfer unrhyw foddion.' O! na, nid felly yr ymddygodd: eithr ymprydiodd, gweddiodd, a phenderfynodd fyned at y brenin, er nad oedd galwad iddi, ac er y gallasai hyny beryglu ei bywyd. Ond trwy y moddion hyn estynwyd gwaredigaeth i'r Iuddewon. Eglur yw fod y moddion, yn gystal a'r dyben wedi eu hordeinio, oherwydd 'erbyn y fath amser a hyn y daeth Esther i'r frenhiniaeth.'

Hefyd, hysbyswyd i Daniel y gwaredid yr Iuddewon o gaethiwed Babilon, ynghyd ag amseriad eu rhyddhâd, ond etto, ni a gawn ei fod yn gweddio

yn daer ger bron ei Dduw am gyflawniad o'i addewid.

Drachefn, datguddiwyd i Paul pan yn y llong, gan angel Duw, yr hwn a'i prodd, na byddai colled am einioes un o honynt; ac etto ni a'i clywn ef yn dywedyd wrth y canwriad, pan y meddyliodd y llongwyr ddiangc, 'Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig.' Yma y gwelwn mai llwybr yr arfaeth i'w hachub oedd i bawb aros yn y llong. Felly gallwn ninnau ddywedyd wrth wrandawyr yr efengyl, 'Oni ddarllenwch y gair—oni weddiwch am drugaredd—oni wrandewch ar weinidogaeth yr efengyl—oni edifarhewch am eich pechodau—oni ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng, ni ellwch chwi fod yn gadwedig.' Ni threfnodd arfaeth Duw achub neb mewn oedran heb iddynt ymarfer â moddion gras—heb iddynt weithio yn ngwinllan Crist, a milwrio dan faner Crist.

Nid wyf yn gweled un rheswm paham na ellir arfer ymadroddion o'r un natur gyda golwg ar bethau naturiol yn gystal a phethau ysbrydol. Onid ynfydrwydd o'r mwyaf fyddai i unrhyw amaethwr ddywedyd, 'os ydwyf i gael cynhauaf eleni, mi a'i câf; am hyny nid yw o un dyben i mi aredig, hau, na llyfnu y tir; ac os nad yw Duw wedi bwriadu rhoi cynhauaf i mi, ni châf yr un er i mi lafurio a gwneuthur fy ngoreu.' Ac onid mor ynfyd a fyddai i'r myfyriwr ddywedyd, 'Os ydwyf i fod yn ysgolhaig enwog, yn astronomydd gwych, yn fferyllydd doeth, &c. a chyrhaedd i'r uwchafiaeth mwyaf mewn dysgeidiaeth, mi a fyddaf; am hyny nid yw ond ynfydrwydd i mi lafurio mewn myfyrdod dwys ddydd a nos; gallaf gysgu yn dawel, treulio fy amser mewn oferedd, ac esgeuluso fy holl wersi; waith os yw arfaeth Duw wedi trefnu i mi fod yn ddyn dysgedig, mi a fyddaf.' Cyfrifai pawb ddynion fel hyn yn wallgof; ond nid ydynt yn fwy gwallgof na llawer o wrandawyr yr efengyl, ag sydd yn dysgwyl i arfaeth Duw eu hachub, heb iddynt hwy ymarfer â'r moddion ag y mae yr arfaeth wedi eu hordeinio i achub trwyddynt. Meddyliwyf y gallai fod digon wedi ei draethu ar y mater yma.

*(I'w barhau)*

---

## CYFIAWNHAD A SANCTEIDDHAD.

(*O waith Dr. Bennett.*)

Cyfiawnhad a Sancteiddhad a gyttunant yn y pethau canlynol:—Y mae y ddau yn anhepgorol er ein hiachawdwriaeth o'n sefyllfa syrthiedig, a'r peryglon yr ydym yn agored iddynt.—Y mae y ddau yn rhadau penarglwyddiaethol Duw ein hiachawdwriaeth.—Y mae y ddau yn deilliaw i ni trwy'r prynedigaeth sydd yn Nghrist.—Yn y ddau y mae yr Yspryd Glân yn cymhwyso gwaith Crist.—Arfaethwyd y ddau er anrhydeddu y ddeddf, llywodraeth, a gras Duw.—Y ddau ydynt mewn mwynhad gan yr holl gredinwyr, a chan gredinwyr yn unig.

Ond y ddwy fendith a amrywiant mewn amryw o ffyrdd.

Cyfiawnhad sydd berthynol i uniondeb llywodraeth Duw; Sancteiddhad sy'n perthyn i sancteiddrwydd natur Duw.

Cyfiawnhad sydd weithred; sancteiddhad sydd waith graddol a sicr.

Cyfiawnhad sydd gyhoeddiad y Tad fel llywodraethwr moesol, oddiar orseddfaingc ei ras; sancteiddhad yw gwaith yr Yspryd Glân yn nheml y galon.

Cyfiawnhad sydd gyfnewidiad ein sefyllfa; sancteiddhad yw cyfnewidiad ein natur a'n cymeriad.

Trwy gyfiawnhad y cyhoeddir ni yn gyfiawn; trwy sancteiddhad y gwneir ni yn sanctaidd.

Cyfiawnhad sydd dderbyniad ein person i ffafr Duw; sancteiddhad sydd adnewyddiad ein calon i ddelw Duw.

Yn y cyfiawnhad symudir euogrwydd pechod; trwy sancteiddhad y glanheir ei aflendid.

Cyfiawnhad a rydd hawl i ni o'r nefoedd; sancteiddhad a'n cymhwysa i fyned iddi.

Cyfiawnhad sydd ddeilliedig trwy ein hundeb â Christ fel cyflawnder a chyflawnwr y ddeddf; sancteiddhad trwy undeb âg ef fel ein purwr.

Cyfiawnhad sy'n dyfod yn eiddo i ni trwy ein hundeb â Christ fel ein deddfwr; sancteiddhad trwy ein undeb âg ef fel ein pen bywydol.

Cyfiawnhad sydd trwy ffydd yn unig o'n hochr ni; sancteiddhad trwy amryw foddion, ond yn benaf y gair a gweddi, ac hefyd trwy ordinhadau a chystuddiau o dan ddylanwad yr Yspryd Glân.

Cyfiawnhad sydd berffaith y moment y credwn; sancteiddhad a ddechreuir yna mewn llawer o amherffeithrwydd.

Gellir olrhain cyfiawnhad i amser penodol; sancteiddhad sydd dros yr holl fywyd.

Mewn cyfiawnhad nid oes ragor rhwng credinwyr; mewn sancteiddhad y mae yr amrywiaeth yn fawr.

Cyfiawnhad sydd yn dyfod yn gyntaf fel y gwreiddyn; sancteiddhad sydd yn dilyn fel y ffrwyth.

Gellir adnabod cyfiawnhad trwy, ac wrth sancteiddhad.

JOHN JONES.

*Rhyl.*

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o du dalen 326.)

(Parhad o du dalen 326.)

*Barnu yr Iesu; sef, yr amgylchiadau o'r amser yr eisteddodd Pilat ar yr orseddfainc, hyd y pryd y traddodwyd ef i'w groeshoelio.*

| | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 272 | Yr Iesu yn sefyll o flaen y frawdle i'w farnu ...... | xxvii. 11—14. | xv. 2—5. | xxiii. 2, 3. | .... | Ger bron Pilat |
| 273 | Pilat yn ymhwedd yn achos yr Iesu y 4edd waith .. | .... | .... | xxiii. 4, 5. | .... | Yn yr un man |
| 274 | Anfon yr Iesu at Herod y Tetrarch .............. | .... | .... | xxiii. 6, 7. | .... | Gan Pilat |
| 275 | Yr Iesu ger bron Herod ...................... | .... | .... | xxiii. 8—11. | .... | Yn Jerusalem |
| 276 | Yn cael ei anfon yn ei ol .................... | .... | .... | xxiii. 11, 12. | .... | At Pilat |
| 277 | 'Wele eich Brenin'............................ | .... | .... | .... | xix. 14, 15. | Medd Pilat wrth yr Iuddewon |
| 278 | Pilat yn ymhwedd dros yr Iesu y 5ed waith ...... | .... | .... | xxiii. 13—16. | .... | Etto |
| 279 | Pilat yn ymhwedd y chweched waith ............ | xxvii. 15—18. | xv. 6—11. | xxiii. 17—19. | .... | Etto |
| 280 | Cenadwri at Pilat ............................ | xxvii. 19, 20. | .... | .... | .... | Oddiwrth ei wraig ef |
| 281 | Pilat yn ymhwedd y 7fed waith am arbed yr Iesu .. | xxvii. 21—25. | xv. 12—14. | xxiii. 20—23. | .... | Gan Pilat |
| 282 | Fflangellu yr Iesu ............................ | xxvii. 26. | xv. 15. | xxiii. 24, 25. | xix. 16. | Drwy orchymyn Pilat |

*Yr amgylchiadau o'r amser y traddodwyd Crist i'w groeshoelio hyd y pryd yr hoeliwyd ef wrth y groes.*

| | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 283 | Coroni yr Iesu â choron o ddrain ................ | xxvii. 27—31. | xv. 16—20. | .... | .... | Yn y Dadleudy neu y llys o elwir Pretorium |
| 284 | Ei arwain ef i'w groeshoelio .................... | xxvii. 31, 32. | xv. 20—21. | xxiii. 26. | xix. 16, 17. | Ar Galfaria, yr hwn a elwir hefyd Lle'r benglog |
| 285 | Yr Iesu a drôdd, ac a ddywedodd, Wele y dyddiau, &c | .... | .... | xxiii. 27—31. | .... | Ar y ffordd |
| 286 | Y ddau leidr a groeshoeliwyd.................... | .... | .... | xxiii. 32. | .... | Ar Galfaria |
| 287 | Cynnyg gwinegr a bustl i'r Iesu.................. | xxvii. 33, 34. | xv. 22, 23. | .... | xix. 17. | Etto |
| 288 | Croeshoelio yr Iesu ............................ | .... | .... | xxiii. 33. | xix. 18. | Etto |
| 289 | Yr Iesu yn gweddio, 'O Dad, maddeu iddynt' .... | .... | ... | xxiii. 34. | .... | Etto |
| 290 | Ysgrifenu titl i'w ddodi ar y groes................ | .... | .... | .... | xix. 19—22. | Etto |
| 291 | Rhanu dillad yr Iesu wrth goelbren.............. | xxvii. 35. | xv. 24. | xxiii. 34. | xix. 23, 24. | Etto |
| 292 | Eistedd i lawr i'w wylied ef .................... | xxvii. 36—38. | xv. 25—28. | .... | .... | Etto |

## WYTHFED LLYTHYR IORWERTH

*At ei Gyfaill, ar ei neilltuad yn Henadur Eglwysig.*

FY HOFFUS GYFAILL,—Gobeithio na flini arnaf o herwydd curo ychydig ar yr un hoel yn fy llythyr hwn a'r un diweddaf. Y mae'r pechod o gybydd-dod mor gyffredin, ac etto yn fwy disylw na nemawr o bechodau ereill, fel y mae yn wir anghenrheidiol, wedi i ni ddyfod hyd ato ei guro cymmaint ag y medrwn, a'i erlid o blith y brodyr. Y mae meddwdod, godineb, cabledd, torri Sabbathau, &c. wedi ac yn cael eu curo yn ddewr, gan eu herlid allan o'r eglwys i'r byd, ac nis cânt eu goddef i mewn er dim. Etto y mae cybydd-dod yn llechu dan ryw gymmeriadau heblaw yr eiddo ei hun, fel y mae yn dra anhawdd cael gafael arno. Y mae yn ymdroi mewn rhyw glogynau sidanaidd, yn ymliwio ac â'r lliw harddaf, nes ymddangos yn rhith angel y goleuni. Yn lle ei alw yn gybydd-dod noethlymun, gelwir ef yn gynnildeb, a bod dippyn yn glôs, &c. Yn aml iawn y ceir ef yn ymguddio dan adain cyfreithlonrwydd; megis gofalu am y teulu, peidio afradloni, a'r cyffelyb. Gwir iawn mai dyledswydd dyn yw ceisio cysur ei deulu; ond, ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir yn ychwaneg. Pechod yn ddiau yw afradloni trugareddau dwyfol; eithr pan y bydd achos crefydd mewn cyfyngder, a thithau dippyn yn glòs yn ngwyneb hyny, pan y mae gwir angenrheidrwydd arnat i fod yn hael, beth yw hyny ond enw arall ar gybydd-dod? Mae defnyddio crefydd a moesgarwch fel hyn yn glogynau i guddio pechodau yn arwydd o galedwch mawr iawn. Galwer yr enw a fyner ar y pechod hwn, yr un fydd yn ei natur, a'i ganlyniadau, wedi y cwbl. 'Canys barn ddi-drugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd. Oni wyddoch chwi na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? na thwyller chwi, ni chaiff na godinebwyr, nac eilunaddolwyr, na thorwyr priodas, na masweddwyr, na gwrryw-gydwyr, na lladron, cybyddion, na meddwon, na difenwyr, na chribddeilwyr etifeddu teyrnas Dduw.' Ar ba enw bynag y geilw dynion gybydd-dod, gwelwn ei fod yn nghyfrif y Bibl yn cael ei ystyried ar yr un tir a meddwdod, lladrad, &c. ac na chaiff y neb sydd dan ei awdurdod etifeddu teyrnas nefoedd. Drwg yw cybydd-dod yn mhob man; ond anferth o ddrwg ydyw pan yn blaenori yn nghalon y blaenor, ac yn llywodraethu ei weithrediadau, a gweithrediadau y rhai sydd dan ei ofal gydag achos yr Arglwydd. Prin yw y cyfraniadau at pob peth da lle byddo y cwbl yn cael ei ddwyn yn mlaen dan lywodraeth cybydd-dod. Bydd cybydd-dod yn eistedd ar y fainge, ac yn mesur y gweithrediadau cyn dechreu cyfranu, gan ddywedyd, os gallwn ni wneyd cymmaint a chymmaint, bydd hyny yn burion; pan y mae yr achos yn galw am ddeg cymmaint. A phe buasai pawb yn cael chwareu teg, yn nghyd ag annogaethau cryfion i weithio, gwnelsid hyny yn hawdd, heb fod yn faich ar neb ond hen gybyddion.

Y mae'r cybydd yn ofni gadael ereill at eu hewyllysiau eu hunain, rhag ofn y byddai hyny yn achosi iddo ef orfod rhag cywilydd i fyned yn ddyfnach i'w logell. Ni wna ddim ei hun, ac ni chaiff neb arall wneud o'i fodd ef. Os na ellir cael dynion i flaenori yn casau cybydd-dod, gwell yw bod hebddynt.

Yr wyf yn meddwl fod ôl cybydd-dod yn drwm ar bethau cyssegredig yn Nghymru y dyddiau hyn. Tŷ yr Arglwydd mewn llawer man yw'r tŷ gwaelaf a mwyaf diaddurn yn y gymmydogaeth. Mae hyn yn cael ei briodoli yn aml i dlodi yr eglwys a'r ardal, pan, mewn gwirionedd, y byddai llawer cyfiawnach ei briodoli i gybydd-dod. Dylid ymdrechu yn gydwybodol i wneud tŷ'r Arglwydd mor addas ag a fyddo bossibl i'w Fawrhydi drigfanu. Pa fodd y gallwn ddysgwyl i Arglwydd y lluoedd drigfanu mewn tŷ nad oes ôl dim ar ei furiau, ei dô, a'i holl ranau tufewnol, ond cybydd-dod? Ar ol gwneud pob peth hyd eithaf ein gallu (nid yw Duw yn edrych am ragor,) bydd yn anfeidrol ymostyngiad yn Nuw, i gymmeryd ei eisteddle, a gwneud ei drigfa yno.

Yr oedd Solomon yn cydnabod hyny, er fod y tŷ hwnw yn ardderchog dros ben, heb ôl bysedd cybydd arno. Pe buasai wedi ei ddwyn yn mlaen dan olygiaeth cybydd-dod ni fuasai wedi ei wisgo âg aur pur. Yr oedd yno allor aur: a'r canwyllbrenau, a'r lampau, i oleuo yn ol y ddefod o flaen y gafell, o aur pur. Y blodau hefyd, a'r lampau, a'r gefeiliau oedd aur, a hwnw yn aur perffaith. Y saltringau hefyd, a'r cawgiau, a'r llwyau, a'r thuserau, oedd aur pur; a drws y tŷ, a'i ddorau, o du fewn y cyssegr sancteiddiolaf, a dorau tŷ y deml oedd aur. Etto, y mae y brenin fel pe bai yn amheu fod yn bosibl i Dduw gyfaneddu yn mhlith y fath waeledd o ddefnyddiau'r llawr. 'Ai gwir yw,' ebe efe, 'y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear! Wele y nefoedd, a nefoedd y nefoedd ni allent dy amgyffred, pa faint llai y dichon y tŷ hwn a adeiledais i?'

Mor wahanol oedd Solomon yn ei deimladau i'r cybydd; yr oedd y brenin yn golygu pethau goreu'r ddaear yn rhy wael i Dduw; ond y cybydd sydd yn gweled pethau gwaelaf y greadigaeth yn ddigon da iddo.

Ni fu gwlad erioed a chymmaint o'i chynnyrch yn cael ei gyflwyno at achos crefydd a gwlad Canaan, ac ni adwaenid gwlad mor llawn ei thrugareddau wedi y cwbl. Po fwyaf yr oeddynt hwy yn roddi i Dduw, mwy o hyd y byddai y ddaear yn roddi iddynt hwythau. Y mae y Salmydd

yn cymmeryd hyn yn destyn cân, ryw ddiwrnod, gan ddywedyd, 'Yr wyt yn ymweled a'r ddaear ac yn ei dyfrhau hi: yr ydwyt yn ei chyfoethogi hi yn ddirfawr âg afon Duw, yr hon sydd yn llawn dwfr: yr wyt yn parotoi ŷd iddynt pan ddarperaist felly iddi. Gan ddyfrhau ei chefnau, a gostwng ei rhychau, yr ydwyt yn ei mwydo hi â chafodau, ac yn bendithio ei chnwd hi. Coroni yr ydwyt y flwyddyn â'th ddaioni, a'th lwybrau a ddiferant fraster.'

Ni bu neb yn dlotach erioed o ymgeleddu achos Duw; mae llawer wedi bod yn gyfoethocach. Y tri mis yr arhosodd arch Duw yn nhŷ Obed-Edom oedd ond odid y rhai dedwyddaf a gyfarfu yn ei fywyd; ac am a wn i, dechreu ei lwyddiant yn y byd. 'Yr Arglwydd a fendithiodd dŷ Obed-Edom, a'r hyn oll oedd ganddo, er mwyn arch Duw.'

Mae llawer o gybyddion yn ceisio dywedyd mai crefydd sydd wedi achosi tlodi amryw o ddynion; ond, pe bai y cyfryw yn edrych i air Duw, ac yno weled gweithrediadau dwyfol tuag at y rhai ewyllysgar o galon, ymddengys y peth yn llwyr wahanol. Mae rheol i bob peth; dilyn hono yn gydwybodol yw'r ffordd sicraf i gyflawni ein dyledswyddau. Y rheol oreu gyda hyn yw cynhilo gyda phob peth ein hunain, fel y'n galluoger i fod yn 'helaethion gyda gwaith yr Arglwydd yn wastadol.'

Mae rhai dynion yn ddigon helaeth atynt eu hunain yn mhob rhyw fodd, ac etto yn gybyddion at achos yr Arglwydd i'r eithaf. Y mae y dynion hyn yn fwy eu pechod o'r ddau na'r cybyddion, oblegid y maent yn bwyta'r bras, yn gwisgo'r gwlan, &c. ac yn cynnyg y gweddillion i Dduw. Am y cyntaf, y gweddillion a'r gwaelaf y mae yn ei gymmeryd ei hun, o ganlyniad, nid yw yn gwneud cymmaint o wahaniaeth rhyngddo ei hun a Duw a'r llall. Ni arbedant un draul i addurno eu tai eu hunain, a'u dodrefn, llestri, dillad, &c. ac fe allai mai cwpan bridd neu elydr (*pewter*) fydd yn nhŷ yr Arglwydd, yn dal y defnydd cyssegredig hwnw, sydd yn gwneud côf am angeu drudfawr Iachawdwr y byd.

Yr oedd y genedl Iuddewig mewn sefyllfa wrthgiliedig yn dywedyd, 'Ni ddaeth yr amser,' yr amser i adeiladu tŷ yr Arglwydd. Pan y byddai rhyw un yn dywedyd am sefyllfa adfeiliedig tŷ yr Arglwydd, dywedent, nad oedd yr amser wedi dyfod i wneud dim iddo. Rhyw esgus yn lle taro at y gorchwyl, a chlog dros eu cybydd-dod. 'Ai amser yw i chwi (ebe yr Arglwydd) drigo yn eich tai byrddiedig, a'r tŷ hwn yn anghyfanedd?' Nid oedd y dynion hyn yn arbed dim i'w tai eu hunain, a chan gymmeryd eu hesmwythdra, a'u cysur ynddynt, nid oeddynt yn meddwl dim am dŷ yr Arglwydd. Ac yn wir, y mae llawer o'u brodyr yn y byd etto; ond y mae rhai, trwy drugaredd, fel y brenin Dafydd, yn methu cysgu y nos, na chymmeryd cysur y dydd, ynghanol gorwychedd y byd, heb i arch Duw gael rhan. 'Yna y dywedodd y brenin wrth Nathan y prophwyd, Wele yn awr, fi yn preswylio mewn tŷ o gedrwydd, ac arch Duw yn aros o fewn y cortenau. Ni ddeuaf i fewn pabell fy nhŷ, ni ddringaf ar erchwyn fy ngwely, ni roddaf gwsg i'm llygaid, na hûn i'm hamrantau, hyd oni chaffwyf le i'r Arglwydd, preswylfod i rymus Dduw Jacob.' Yr oedd Duw a'i arch yn meddwl y gwr duwiol hwn, o flaen ei gysur personol ei hun; ac felly y mae yn rhaid bod gyda phawb cyn y gellir dywedyd eu bod yn casau cybydddod. Mae bod cybyddion yn llywyddu achos crefydd wedi effeithio yn drwm ar 'safn yr ŷch sydd yn dyrnu,' ie, ei groen a'i gnawd hefyd.

Gobeithio, fy nghyfaill, yr ymdrechi i ddangos yr achos i'r eglwys, yn nghyd â'r angenrheidrwydd o weithio a llafurio gyd âg ef. Y mae yn warthus meddwl fod mwy o arian yn cael eu treulio gan gannoedd o grefyddwyr am fyglys i'w fygu, nag sydd yn cael ei gyfranu at achos crefydd yn ei holl ranau.

Y mae llawer o ddynion gyda chrefydd, yn dywedyd nas gallant roi dim; ac yn wir yr ydym yn barod i gydsynio â hwynt, a chyfreithloni eu dywediadau; ac etto pan edrychwn i mewn, canfyddwn fod y gwr yn defnyddio hanner chwarter o fyglys yn yr wythnos, yr hyn sydd werth saith geiniog; a'r wraig yn aml yn cymmeryd wns o drewlwch, yr hyn sydd werth saith geiniog arall; dyna bedair ar ddeg at fyglys a threwlwch, ac yn methu rhoi y peth nesaf i ddim at achos crefydd.

A wyt yn meddwl, fy nghyfaill, fod y nefoedd yn edrych yn garedig ar hyn? Clywir y dynion hyn yn dywedyd, mai Crist a'i achos yw'r peth blaenaf yn eu meddyliau, a'r unig gysur a feddant yn y byd. Pwy yn ei synwyr a gred beth fel yna? Crist a'i achos yn flaenaf! ac etto yn aberthu fwy ddeg o weithiau at y grefft o fygu myglys, a defnyddio trewlwch, nag at ddwyn ei achos trwy'r byd!!

Bod yn gybyddlyd at achos yr Arglwydd, ac etto yn gwastraffu trugareddau am bethau mor wael a diangen sydd y tu hwnt i bob dadl yn bechod aruthrol, ac yn galw am fwy o sylw nag sydd hyd yn hyn wedi ei wneud arno. Dylit roi heibio bethau afreidiol, fel y byddo genyt beth i'w gyfranu, ac fel y gallot dywedyd yn hyf wrth ereill am ddilyn dy esiampl.

Pa mor ddistadl bynag y byddo llawer yn edrych ar gynghorion o'r natur yma, [illegible] gweled, ond eu pwyso yn gydwybodol yn nghlorian y cyssegr, eu bod yn bethau sydd ag angen eu dirgymell ar feddyliau dynion; a'th ddyledswydd di, fel blaenor, yw dywedyd, pa un a wnelont ai gwrando ai peidio, canys felly y glanhei dy ddwylaw oddiwrth

waed pawb oll. Terfynaf hyn o ysgrifell etto yn ngeiriau yr Apostol, 'Gwneuthur daioni a chyfranu nac anghofiwch; canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw.

Yr eiddot,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

"ADOLYGIAD Y PARCH. S. ROBERTS, LLANBRYNMAIR."

BARCHEDIG SYR,—Gwelais yn ddiweddar yn y Dysgedydd annogaeth daer i'r Methodistiaid Calfinaidd ddarllen Adolygiad y Parch. S. Roberts, Llanbrynmair, ar Draethawd y Parch. L. Edwards, A.C. ar 'Natur Eglwys.' Tebygol y golygai yr Ysgrifenydd nad ydym ond fel plantos yn bwhwman, a'u bod mor sigledig yn ein barn am ffurf llywodraeth Eglwys Crist, fel nas gwyddom ar ba law i droi. Ond yn hyn efe a gamgymerodd. Dewisasom y ffurf lywodraethol a ddilynwn o herwydd mai hi yw y debycaf o'r holl ffurfiau y darllenasom, neu y clywsom, am danynt erioed i'r ffurf a ddefnyddiai yr Apostolion yn llywodraethiad cyntaf yr eglwysi dan yr oruchwyliaeth newydd. Yr hon ffurf yn ddiammeu a ddysgodd yr Arglwydd Iesu i'w Apostolion yn yspaid y deugain niwrnod y bu yn weledig iddynt wedi ei adgyfodi. Mae'n gynnwysedig yn y pethau a ddywedodd efe wrthynt a berthynant i deyrnas Dduw. A diau i'r Apostol Paul ei derbyn ganddo ef mewn modd uniongyrchol ar ol ei esgyniad i'r nefoedd.

Yn ddiweddar, fel yr oeddwn, ar brydnawn, yn lled gynar wedi gorphen fy ngorchwyl, mewn tref lle yr oedd raid im' aros hyd dranoeth, a chan nad oedd genyf ddim neillduol i'm difyru, aethum a phrynais Adolygiad Mr. Roberts, a darllenais ef, nid gydag un math o ddysgwyliad y byddai i mi gyfarfod äg unrhyw reswm ynddo a effeithiai er siglo fy ngolygiadau; ac yn wir, rhaid i mi addef na chyfarfyddais o'i fewn a chymmaint ag un rheswm teg a grymus yn tueddu at hyny.

Fel y mae yn naturiol dysgwyl am ddynion a broffesant ddysgeidiaeth, ac a fwynhant foddion er ei chyrhaedd yn ei hamrywiol ganghenau, eu bod yn ddysgedig, felly amser yn ol, pan y cyfarfyddwn a Thraethawd o waith Ymneillduwr, dysgwyliwn ei ganfod wedi ei adeiladu ar resymau cedyrn eu sylfaeni. Ond yn bresennol y mae yn eglur i bawb a agorynt eu llygaid fod amrai o'r Annibynwyr yn ymresymu ar sylfaeni hynod o'r arwynebol. Tebygol fod y gangen berthynol i iawn ddefnyddiad rheswm (*logic,*) fel agos bob canghen arall o ddysgeidiaeth yn gynnwysedig o wybodaeth anymarferol neu olyg-ddysg, a gwybodaeth brofiadol neu ymarferiaeth, (*theory and practice.*)

Nid oes i'm bryd yngan gair yn mhellach yn nghylch rhesymau Mr. Roberts, na cheisio eu dynoethi, nac arddangos eu harwynebolrwydd, gadawaf hyny yn hollol i Mr. Edwards; mae ef yn arfog a galluog i'r gorchwyl. Mae y cyffro a achlysurodd ei Draethawd ar Natur Eglwys yn ngwersyll y rhai a'u gwrthwynebant, yn ddigon, yn ol *logic* rhai, i gasglu a phenderfynu oddiwrtho, y bydd iddo oruchafiaeth. Ac y mae ystyried mai ef sydd ar yr iawn, yn sicrhad cadarnach i ereill o'i fuddugoliaeth. Clywais un Athraw parchus a Rhesymegydd da, yn dywedyd fod ei Draethawd bychan yn werth mwy na'i bwysau o aur. Nid o herwydd ei fod yn dwyn unrhyw beth newydd ger bron, ond ei fod yn foddion i gadarnhau meddyliau ieuengctyd ac ereill yn y gwirionedd perthynol i ffurf llywodraeth Eglwys Crist yn y byd; am yr hyn nad oedd ganddynt yn flaenorol i'w ymddangosiad, ond drychfeddyliau rhy ansefydlog ac ansicr. Gan hyny, darllener ac ystyrier y Traethawd. Rhwyddhynt a llwydd i'r Awdwr parchedig fyned yn mlaen yn ol ei fwriad i ysgrifenu etto yn helaethach ar 'Natur Eglwys,' a chwilio allan ac arddangos twyll y ffug resymau a ddygir yn mlaen i ddadleu yn erbyn, ac i geisio gwrthsefyll yr hen ffurf-lywodraeth apostolaidd a breiniol.

Ond deisyfwyf ryddid i ddywedyd, na pheidiaswn yn fy myw wrth ddarllen Adolygiad Mr. Roberts, yn enwedig y rhanau o hono, yn y rhai y traetha am ein Gweithred Gorphoredig, (*Constitutional Deed*) a chofio a meddwl am araith Rabsaceh, gwas Senacherib, brenin Assyria, yn mhrif ffordd maes y pannwr, wrth weision Hezeciah, brenin Juda. Fel yr oedd araith y gwr hwnw yn llawn gweniaith, traha, a chabledd, nid yw yn ymddangos, i'm deall i, fod yr adolygiad dan sylw yn lân oddiwrth fod yn anadlu o'r un ysbryd, er, efallai, y golygai rhai yn dynerach.

Fy nyben yn ysgrifenu y llinellau hyn, ydyw gofyn, gan fod, fel y dywed Mr. Edwards, 'mwy nag ychydig o gamddarluniad wedi ei arfer o bryd i bryd, ynghylch y *Constitutional Deed*,' naill ai o gamgymmeriad neu o egwyddor faleisus, ac efallai, y galler dysgwyl ychwaneg etto, oni byddai dymunol ac adeiladol i ni y Trefnyddion Calfinaidd, gael taeniad mwy cyffredinol o'r weithred yn ein plith? Ac os cyfleus, yn yr iaith Gymraeg, naill ai yn y 'Drysorfa,' neu ar ddull traethodyn? Nid yw y dymuniad a gynnouodd ynof am hyn, yn tarddu o unrhyw ofn na phryder am gynnwysiad y weithred, mae genyf fwy o ymddiried i ddeall da, a gonestrwydd y gwyr anrhydeddus a'i dygasant i fod, nac yr ofnwn felly am dani. Etto, efallai y dichon i gamddarluniadau o honi weithredu yn niweidiol i rai, yn enwedig pan y'i camddarlunier mewn dull dengar a gwenieithus. Gwybodaeth fwy helaeth a chyffredinol o honi a roddai ergyd ac attalfa i hyn ar un-

waith, ac am byth. Cofier hefyd, pe y cyhuddid fi o ofn, nas galler fy nghyhuddo ond o ofnl yn debyg fel yr ofnai gweision Hezeciah, pan y dywedent wrth was brenin Assyria, 'Llefara, atolwg, wrth dy weision yn Syriaeg, ac na lefara wrthym yn iaith yr Iuddewon, lle y clywo'r bobl ar y mur.' Ond fel nad oedd gwir achos i Hezeciah a'i bobl ofni tra y nesâent, ac yr ymgadwent yn agos at yr Arglwydd; felly ni bydd achos i ninnau, y Methodistiaid Calfinaidd, tra y dilynom eu hol yn hyn. 'Yr hwn sydd yn trigo yn nirgelwch y Goruchaf, a erys yn nghysgod yr Hollalluog.'

UN O'R GENEDL.

---

## HAD YR EGLWYS

SYR,—Fel yr oeddwn yn ddiweddar ar fy nhaith trwy Ogledd Cymru, tueddwyd fy meddwl i graffu yn lled fanwl ar drefn yr Eglwys, ac agweddau y cynnulleidfaoedd perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn addoli. A chefais, er fy mawr lawenydd, fod llawer o gyfnewidiad er gwell yn hyn, ragor y peth a welais i, yn mhlith fy nghyd genedl anwyl a hoff.

Ond y rhyfeddod fwyaf a welais, a'r peth a dynodd fy sylw yn benaf, oedd yr hyn a gyfarfum mewn tref a elwir Llanrwst, Swydd Dinbych, ar foreu Sabbath, fel y canlyn:—

Ar ol gorphen y bregeth, gweddio, a chanu, cyhoeddwyd *Society*, neu Gymdeithas Eglwysig, arhosais yno, a chyda fod y gynnulleidfa yn ymwasgaru, gwelwn dorf o blant yn ymgasglu i lawr y Capel, ac yn cael eu gosod i eistedd yn drefnus yn ol eu hoedran. Gofynais i un oedd yn fy ymyl, ai plant yr Ysgol Sabbathol oeddynt? Nage, medd yntau, (er eu bod yn perthynu i'r Ysgol i gyd, ac yn Ddirwestwyr i gyd,) *y rhai hyn ydynt Had yr Eglwys hon*. Edrychais o'm hamgylch, a gofynais drachefn, Pa faint yw rhif yr Eglwys. Atebodd, mai oddeutu 240. Ac y mae genych gymmaint a hyn o blant? Oes. Wele syndod, meddwn, yn wir y mae bendith llwyth Aser wedi disgyn yn helaeth arnoch chwi; a diameu genyf mai dyma yr Had a fendithiodd yr Arglwydd. Attolwg i chwi, meddwn, pa le yr oeddynt ar y bregeth? O, medd yntau, yr oedd pob un tan ofal ei rieni y pryd hwnw. Erbyn hyn yr oedd pob peth yn dawel, a phawb yn ei le yn brydferth iawn, Sefais ac edrychais yn graff ar yr olygfa ardderchog oedd o'm blaen, a dyma i chwi ddisgrifiad o honynt.

Yr oedd y ddwy fainc nesaf i'r Pulpit yn llawn o blant o 3 blwydd oed hyd yn 5, tebygwn, bechgyn ar un, a genethod ar y llall, yn un rhes hardd, a'u dwylaw bach yn mhleth mor llonydd ac astud a hen bobl.

Ar y ddwy fainc tu ol iddynt, yr oedd plant o 5 oed hyd yn 8, bechgyn ar un, a genethod ar y llall, a'r olwg arnynt yndebyg.

Yn y drydedd res yr oedd dwy fainc o rai o 8 oed hyd yn 12, bechgyn ar un, a genethod ar y llall, yr un modd.

Yn y bedwerydd res yr oedd tair mainc, yn cynnwys rhai o 12 oed hyd yn 16, yn yr un drefn a'r lleill, ac o'r rhai'n yr oedd mwyaf.

Ac mewn dwy *seat* y tu ol iddynt, yr oedd oddeutu 20 o rai oedd wedi cael eu derbyn yn ddiweddar oddiwrthynt i gymmundeb, a golwg ddymunol iawn arnynt. Meddyliwn bod eu rhifedi i gyd o 140 i 160.

Yna yr oedd yr Eglwys, sef y bobl mewn oed, o'u hamgylch fel yn eu hamddiffyn, yr hyn oedd yn dangos i mi eu cariad mawr atynt, a'u hanwyldeb o honynt.

Ac o'u blaen yr oedd y Gweinidogion a'r Diaconiaid, y rhai oedd yn eu porthi â gwybodaeth ac â deall. Yr oeddynt yn hynod o lân a phrydferth, dim dillad coegfalch, nac un ymddygiad gwamal ni welais yn eu plith. Yr oedd y Diaconiaid yn gofyn am y testynau a'r pregethau iddynt, ac yr oeddynt yn ateb yn rhagorol dda. Yna yr oedd un o'r gweinidogion yn ymddyddan â'r rhai hynaf o honynt, gan wasgu atynt yn ddifrifol yr angenrheidrwydd am brofiad ysbrydol o bethau crefydd; ac ar ol cynghori ychydig arnynt yn gyffredinol, yr oedd penill yn cael ei roi allan i'w ganu, ac un o honynt hwy oedd yn dechreu canu. A hynod y canu oedd yno; yr oedd eu gwynebau llon, eu lleisiau soniarus, a'u cyd-gordiad rhagorol yn fy rhyfeddu yn fawr, pob un â'i holl egni yn cyd-blethu mawl i Dduw.

Ar ol i un o'r brodyr weddio, yr oeddynt yn myned allan yn rheolaidd, y bechgyn i un drws, a'r genethod i'r llall, bob yn un ag un, gan ddechreu o'r hynaf hyd yr ieuengaf; ac yna yr Eglwys yn eu dilyn. Yn wir, Syr, dyna yr olygfa brydferthaf a welais i erioed; a diameu genyf nad oedd breninès Seba, yn mhalas gorwych Solomon, ddim mewn mwy o syndod nac oeddwn innau yn mhlith y dorf ogoneddus hon. O, dywedais yn fy nghalon, gwyn fyd y plant hyn, gwynfyd y rhieni a'u piau, a gwyn fyd yr Eglwys sydd yn eu magu. Byddai yn werth i Ddiaconiaid Eglwysi Cymru fyned i Lanrwst i weled eu trefn, ac i efelychu eu hesiampl.

Yn awr, Syr, dymunaf eich cenad i gyfarch Swyddogion tŷ Dduw trwy gyfrwng y Drysorfa ar y mater yma. Fy anwyl frodyr, a ydym yn gwneuthur cyfiawnder â Had yr Eglwys, ac yn gofalu am eu magu a'u dwyn i fynu i'r Arglwydd ar ol eu bedyddio, gan eu hystyried yn berlau gwerthfawr wedi eu hymddiried i'n gofal gan Dduw? Yr wyf yn ofni mai bylchog iawn ydyw hyn mewn llawer man.

Nid allwn ymesgusodi, a thaflu hyn wrth ddrws eu rhieni, oblegid nid yw dyledswydd y rhieni yn lleihau dim ar ddyledswydd yr

Eglwys, na dyledswydd yr Eglwys yn lleihau dim ar ddyledswydd y rhieni; ond dylai y naill a'r llall gydweithredu yn egniol i gael had duwiol, a chenedl sanctaidd i'r Arglwydd.

Pa le y cawn ddefaid oni ofalwn am yr ŵyn? Beth a wnein am ychain oni fegir y lloi? Pa le y ceir Eglwys yr oes nesaf, os byddwn yn esgeulus am y plant a roddes Duw o'i ras i ni. Gan hyny, deffrown yn gyfiawn, ac na phechwn, porthwn yr ŵyn ar mynod tyner, gerllaw pebyll y bugeiliaid.

Cymmerir enwau yr holl blant i lyfr yr Eglwys pan eu bedyddir,—gofaler am eu cael i gyd tan addysg yr Eglwys pan y deuant i oedran addas i dderbyn addysg. Neillduer rhyw gyfran o amser bob Sabbath i'r plant yn mhob Eglwys, a bydded yr Eglwys i gyd yn bresennol, a phorther hwy yno â gwybodaeth, ac â deall, yn ol y dull uchod. Yna yn sicr o hyn y daw ini ddaioni, a bydd bendith yr Arglwydd ar ein llafur. Nid rhaid i ni eu troi ymaith yn ddiystyr, rhag iddynt fyned yn rhagrithwyr. Ynfydrwydd yw hyny; yn hytrach gwnawn ein dyledswydd gyda hwy, a gweddiwn lawer trostynt; oblegid y mae digon yn addewid Duw i'w gwneuthur yn saint; oblegid hwy, fel Isaac, ydynt blant yr addewid; a dyma hi. O! y mae yn llawn o felusder ac yn etifeddiaeth fwy na'r ddwy India. 'Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a'th wnaeth ac a'th luniodd o'r groth, efe a'th gynnorthwya, nac ofna, fy ngwas Jacob, a thi Jesurun, yr hwn a ddewisais, canys tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir; tywalltaf fy Ysbryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth. A hwy a dyfant megis yn mysg glaswellt, fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd. Hwn a ddywed eiddo yr Arglwydd ydwyf fi, a'r llall a'i geilw ei hun ar enw Jacob, ac arall a ysgrifena â'i law, Eiddo yr Arglwydd ydwyf, ac a ymgyfenwa ar enw Israel.' Esa. 44. 2, 3, 4, 5. YMDEITHYDD.

---

## CYFARCHIAD SABBATHOL JOHN NEWTON.

BARCH. SYR.—Am y gwyddwn nad destlus genych gruglwytho eich dalenau â lluaws o gyfieithiadau, y gohiriais anfon i chwi y Llythyr melys hwn yn gynt; er i fy nheimladau fy nirgymhell i wneuthur hyny lawer gwaith; ond pan welais *gyfieithiad* o Lythyr y Parch. Jonathan Edwards, o'r America, yn eich Rhifyn diweddaf ond un—dywedwn wrthyf fy hunau, os oes *rhywbeth* yn *hwn* yn teilyngu iddo gongl yn y Drysorfa, dilys genyf fod *rhywbeth* hefyd yn Llythyr John Newton a deilyngai iddo yr un ragorfraint; ac o'r ystyriaeth yna y cododd yr anturiaeth hon; a llyma y llythyr i chwi, gwnewch â fo fel y gweloch yn oreu.—Felly y gorphwysa, yr eiddoch,

*Caerlleon*, 1840. TEGIDON.

## CYFARCHIAD AR FOREU SABBATH.

*Llythyr at Gyfaill.*

RHAG. 3, 1780.

FY ANWYL SYR.—Yr Arglwydd a gyfododd yn wir. Ei ddydd ef yw heddyw, pan elwir arnom i gyd-gyfarfod yn ei dŷ, (ac yn y rhan o'r teulu) i orfoleddu wrth ei fwrdd. Bwriedais ysgrifenu atoch ddoe, ond fe'm lluddiwyd. Yr wyf yn hyderu nad yw yn anghydweddol â dyben a breintiau y dydd hwn i roddi i chwi gyfarchiad boreuol yn ei enw Ef; a dywodyd, 'Deuwch, mawrhewch yr Arglwydd gyda mi; a dyrchafwn ei enw ynghyd.' Os nad wyf yn camgymmeryd, mi a'ch cyfarfyddais chwi heddyw y boreu yn barod. A oeddych chwi ddim yn Gethsemane? a fuoch chwi ddim ar gopa Golgotha? a welais i mo'noch chwi wrth y bedd? Dyma y rhodfeydd arferol i chwi ac i minnau, ar y boreuau hyn; ac yn wir *bob boreu;* canys pa fanau ereill sydd o werth ymweled â hwy? pa wrthddrychau ereill sydd o werth edrych arnynt? O! y cariad rhyfeddol hwn; O! y gwaed hwn sydd yn anfeidrol yn ei effeithiau! O! y feddyginiaeth anffaeledig ag sydd yn lladd pechod, yn meddyginiaethu y pechadur—yn rhoi golwg i'r dall, a bywyd i'r marw! A pha mor fynych y gwn iddo fod yn effeithiol i droi tristwch yn orfoledd!

O! tydi Iachawdwr a Haul yr enaid, llewyrcha yn dy nerth y boreu hwn, a llawenhâ ein calonau. Tywyna arnaf fi a'm heiddo, ar bawb oll a garwyf, ac ar bawb oll sydd yn dy garu di! Tywyna yn dy nerth ar fy nghyfeillion, a gâd i ni bro fi dy fod di mor agos atom oll, er ein bod ni ar wahân oddiwrth ein gilydd.

Rhaid i mi brysuro at fy moreufwyd, a gwisgo am danaf, ac yna ar frys i'r Llys. O! am gael golwg ar y brenin! ac O! am ei glywed yn llefaru! Canys y mae ei lais yn beraidd, a'r olwg arno yn hardd. Pan ddywedo efe, 'Cofia fi,' a phan bo'r galon yn clywed hyny, y fath rês o ddygwyddiadau sydd ar unwaith yn cael eu galw i gôf—o'r preseb i'r groes,—yr hyn a ddywedodd, a'r hyn a wnaeth—fel y carodd, ac fel y bu farw—y mae y cyfan yn rhyfeddol, yn gynhyrfiol, yn serchiadol, ac yn bêrlewygol! Yr wyf yn meddwl y gwn pa beth a fyddwn, a pha beth a wnawn hefyd pe gallwn. Mor agos iddo yr awn! mor isel y syrthiwn o'i flaen! ac fel y wylwn ac y canwn â'r un anadl! a chyd â'r fath ddyfalwch a difrifwch y cymhellwn ef i fy nghyd-bechaduriaid!! Ond, O! pan yr elwyf fi i wneuthur da, y mae y drwg yn bresennol gyda mi bob amser! Gweddiwch droswyf, a chynnorthwywch fi hefyd i folianu yr Arglwydd; o herwydd y mae ei drugaredd of yn newydd bob dydd a phob moment.

Yr eiddoch, yn serchus,

JOHN NEWTON.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOSIAH HUGHES, O MALACCA.

Mae y rhan fwyaf o'n darllenwyr yn cofio Mr. Josiah Hughes, mab i Mr. J. Hughes, Henuriad Eglwys y Rose Place, Liverpool. Aelod oedd efe yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool; ac efe a ordeiniwyd yn y dref hono i fyned yn Genadwr, dan olygiad Cymdeithas Genadol Llundain, i Malacca, lle y mae efe hyd heddyw yn llafurio yn llwyddiannus yn Ngwinllan ei Arglwydd. Mae amryw hefyd yn hysbys ymhellach yn ei gylch, ddarfod iddo, yn lled fyrbwyll, gael ei alw gan Oruchwylwyr y Gymdeithas i ddyfod adref. Ac mai yn lle dyfod adref felly, efe a gymmerodd ei ordeinio gan yr Esgob Wilson, o Calcutta, i fod yn Weinidog yn yr Eglwys Sefydliedig yn y wlad hono. Ac yn y sefyllfa hono y mae efe yn awr yn pregethu yr efengyl, ac yn gweinyddu yr Ordinhadau, mewn eglwys newydd dan yr Esgob duwiol a llafurus hwnw, yn Malacca.

Wedi clywed o Mr. Josiah Hughes mewn llythyr galarus oddiwrth ei dad, am farwolaeth ei anwyl fam, y mae efe yn anfon yn ol at ei dad i Liverpool, y llythyr canlynol.

"Malacca Ebrill 20, 1840.

"Fy Mharchus a'm Hanwyl Dad,—Daeth eich llythyr, dyddiedig Tachwedd 29, i'm llaw ar ddydd y Pasc, yn y prydnawn. Ac yr wyf yn prysuro i'w ateb, rhag colli o honof y cyfleusdra gyda'r Llong *John Dugdale*. Nis gellwch ddisgwyl am nemawr o gyssondeb a threfn ar yr hyn a ysgrifenwyf, canys mewn gwirionedd, yr wyf yn teimlo fy meddwl mewn agwedd derfysglyd ac annhrefnus iawn.

O! fy anwyl Fam! O na buaswn wrth erchwyn dy wely angeu i dderbyn dy fendith ymadawol! Tydi a roddaist ffarwel i dy holl brofedigaethau gofidus, a'th gystuddiau. Ac ni chlywir mo honot mwy yn achwyn, mewn geiriau hiraethlawn ac ymadroddion cwynfanus, oherwydd fod dy Anwylyd yn oedi ei ddyfodiad; canys yn awr ti a'i gweli ef wyneb yn wyneb, ac yr ydwyt yn debyg iddo. Gwir yw fod dy sylfaen di yn sicr; sef 'Crist yr Arglwydd,' ac am hyny ti a sefaist yn ddiysgog ynghanol ymosodiadau terfysglyd ystormydd a thymhestloedd; a phan oeddit yn yfed yn helaeth o gwpan cystudd, yr oedd presennoldeb dy Waredwr yn melysu y gwpan chwerw. Ond, O fy anwyl Fam! nis gallaf lai na galaru oherwydd dy ymadawiad, canys cu iawn oeddit genyf fi: mae fy nghalon orhoffus braidd yn gwrthod ei dyddanu. Mae dy ofal tyner am fy llwyddiant yn moreu fy nyddiau, a'th bryder mamaidd pan yn troedio lwybrau llithrig ieuenctyd, ïe dy aberthiad arddderchog hwnw o deimladau mam i'r fam am dy ddyledswydd, o roi dy gydsyniad i'm hymadawiad i o wlad fy ngenedigaeth, fe allai am byth; mae yr ystyriaethau adgoffaol o hyn, meddaf, yn ymruthro i fy meddwl, ac agos yn yn fy ngorlenwi â theimlad o ddiolchgarwch, a rhwymedigaethau mabaidd. Ond aros! braidd na chlywn dy leferydd dystaw yn dondio fy nghalon alarus, gan ddywedyd,—Fy mab, nac wyla fel rhai heb obaith, am y rhai a hunasant yn yr Iesu. Mae yn wir i'm gwynfan yn ddwys lawer tro oherwydd pla'r galon, a'i throion chwerwon chwith. Cefais ambell i archoll gan bicellau tanllyd y fall; ac ofnais, yn ngwendid fy ffydd, y syrthiwn ryw ddydd yn ysgyfaeth i'r llew rhuadwy. Ond bendigedig fyddo ei enw, yr oedd fy Nhad yn fwy na hwynt oll, yr hwn â'i freichiau tragywyddol a'm daliodd yn ddiogel; ac wele fi yn awr yn fwy na chongcwerwr trwy yr hwn a'm carodd. Y gelynion hyny ni welaf byth mwy—methrais hwynt dan fy nhraed, yn nerth fy Iachawdwr mawr—ffarweliais yn llwyr â phob briw, a braw, a phoen—a thestyn fy nghân hyd byth yw, mewn pereiddiaf sain, yn nghwmni yr holl nefol lu, 'Teilwng yw yr Oen a laddwyd, ac a'm golchodd yn ei waed ei hun.' Fy ngorph gwael, yr hwn a barodd i mi lawer o lewygfeydd o dro i dro, ac a adewais ar ol yn mhriddellau y dyffryn i'w falurio yn llwch y ddaear, sydd dan nodded Ceidwad Israel, yr hwn ni huna ac ni chwsg, hyd yr adgyfodiad mawr, pryd y'i cyfnewidir; ac fe'i gwneir yn un ffurff a'i gorph gogoneddus ef. Gan hyny, cymmer gysur, O fy Mab, a dyddana dy feddwl â'r ymadroddion hyn. Nid yw ein gwahaniad ond am ennyd fach; ac yna ni a gawn etto ymgyfarfod mewn gwlad heb un ymadawiad mwy. Ond, O! er pob peth, bydd wyliadwrus, bydded dy ganwyll yn oleu, a'th lwynau wedi eu gwregysu, am na wyddost y dydd na'r awr y'th elwir dithau i ymado â phob peth a welir. Ymdrecha ymdrech deg, cadw y ffydd, ac yn y man ti a gai goron y bywyd.

Anwyl dad, mae fy nghalon yn llawn, ac nis gallaf ymhelaethu. Da y gwnaethoch anfon i mi hanes trefn y claddedigaeth i fanylrwydd, canys yr oedd yn beth o esmwythad i'm hysbryd clwyfus, i gael gweled y parch a ddangoswyd i'w hanwyl weddillion. O! yr oedd hi yn fam dyner iawn; agos yn rhy dyner: ac O! na bai modd i mi ymarllwys yn helaeth o'm dagrau o ddiolchgarwch ar y fan lle y mae gweddillion ei rhan farwol hi yn gorwedd ynddo.

Yr wyf fi yn teimlo pryder mawr mewn perthynas i chwi eich hun. Yr ydych yn awr wedi cael eich gadael yn wir unig. Ond mae hyn yn gysur i chwi, 'Nid wyf yn unig, canys y mae y Tad gyda mi.' Mi a ysgrifenaf yn helaethach atoch yn bur fuan. Ydwyf, fy anwyl Dad, eich ufudd fab mewn galar trwm,

Josiah Hughes.

## HANES

*Dechreuad a Chynnydd y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghorris, Meirion, &c.*

(Parhad o du dal. 337.)

Rhagfyr 13, 1838, clafychodd Dafydd Humphrey o'r clefyd y bu farw o hono. Ar yr 17eg, galwodd ar y brawd Rees Jones, Bermo, at ei wely, a dywedodd wrtho, 'Mewn perthynas i'r cyfeiliornadau sy'n codi y dyddiau hyn ynghylch gwaith yr Ysbryd Glân, dymunaf i chwi adael chwareu teg i'r Tri ddyfod i'r maes yn iachawdwriaeth pechadur. Cedwch ddigon o glychau o'u deutu; a gweddiwch lawer na chaffoch byth eich gollwng i'r fath dir, a gwadu yr angen am ei waith.' Yna dywedodd ddarfod i'r Arglwydd addaw y byddai efe yn Dduw iddo, er dechreu ei grefydd; a bod y cyfammod yn dal yn y dymestl. Wedi hyny, canodd

"'Does fwlch yn hwn, fel modrwy grwn y mae,
A'i glw'm mor glos, heb os nac oni bae.'

Gweddiai ar ei Dad ysgafnhau y wialen, os gwelai yn dda; a dywedai, 'Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd.' Dywedodd y byddai efe yn ymadael âg yma yn fuan, i fyned i'w deyrnas a'i etifeddiaeth. 'Er fod y croesau,' ebe fe, 'yn drymion, mae yr amcan yn dda: tynu ymaith yr anwiredd. Mae y ffordd hefyd yn bur wastad, ond bod un boncyn [angeu] i fyned drosto.' Pan ofynodd ei ferch ynghyfraith iddo, A ewyllysiai efe gael gwellau drachefn? Dywedai, Na byddai yn wir, &c. gwell genyf farw na byw, os câf: o herwydd llawer iawn gwell ydyw. Pan ofynodd dau o'n blaenoriaid, W. R. ac O. J. iddo, 'A oedd ganddo ddim i'w ddweyd wrth yr eglwys?' 'Oes,' ebe fe, 'dywedwch wrthynt oll am ymofyn am grefydd dda: mae crefydd llawer yn darfod yn angeu.' Wedi galw ei wyrion ato, dywedodd, 'Byddwch byw yn dduwiol;—rhodiwch ar hyd canol llwybrau barn. Gweddiwch, a gwyliwch rhag i chwi byth wrthgilio a gadael eglwys Dduw.

Rhagfyr 19, wedi ocheneidio a dyweyd, 'O! na chawn orwedd a marw; O! na welai fy Nhad yn dda fy ngollwng heddyw.' Megis y dymunodd, felly y bu, mewn tangnefedd, yn ol ei gais. Hwyliodd ei lestr i'r porthladd dymunol dan ei llawn hwyliau. Cafodd y fraint a fawr ddymunai yn wastad o weled ei blant a'i wyrion oll yn proffesu crefydd. Bob amser sylwai yn moddion gras, pwy fyddai yn cael eu nodi dan y Gair; yna ai yn ddioed i ymofyn am y cyfryw i'r tŷ, gan ddweyd wrtho, 'Tyred, mae Efe yn dy alw di.' Ai ei hun yn fynych hyd flaenau cymoedd Corris, i wahodd pawb i'r Ysgol Sabbathol; a'r rhai y byddai dim ar eu meddwl am eu cyflwr, dangosai iddynt y croesaw sydd iddynt yn yr eglwys, ac yn nhrugaredd Duw. Dymunem i ni ein hunain, yn nghyda holl Gristionogion y byd, fod yn debyg iddo yn hyn. Dygwyd llawer o honom ni i'r ysgol, ac i'r eglwys hefyd, trwy fendith ar ei wahoddiadau.

Wele yn awr o 180 i 190 o blant wedi eu gadael yn amddifaid o'u tadau oll, heblaw o 100 i 120 o'n had, y rhai a amcanwn borthi ger llaw pebyll y bugeiliaid, gan gofio y tystiolaethu, 'Wele, plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd, ei wobr ef yw ffrwyth y groth. Ac efe a fendithiodd dy blant o'th fewn.' Ein dymuniad yn awr yw, ar i Dad yr amddifaid ofalu am danom, a chadarnhau bàrau ein pyrth; gwneuthur ein bro yn heddychol, a'u diwallu â brasder gwenith.

Meddyliwn mai cadarnhau bárau pyrth Seion rhag y gelyn y mae Efe trwy y Gymdeithas Ddirwestol a Chymdeithas Diweirdeb. A'i fod yn bwriadu codi yr oes hon yn Nazareaid o'r bru i'r bedd, ac yn wyryfon hyd ddydd eu priodas.

Mae Capel Corris oddeutu 13 llath bob ffordd. Perthyn i'r ardal hon bedair cangen ysgol, y rhai a gynhelir yn y Capel, Tymawr Corris, Cwmeiddew, ac Esgergeiliog. Mae ysgoldy yn awr ar waith yn yr ardal olaf, yn 7 llath wrth 8 o faintioli. Perthyn i Aberllefeny, dair cangen ysgol, y rhai a gynhelir yn yr Ysgoldy, Cwmcelli, a Fronfraith. Mae o 30 i 150 o eneidiau yn y gwahanol gangenau ysgol; y cwbl o ddeutu 400. Dysgodd llawer ddarllen, ïe, a rhai wedi myned mewn gwth o oedran, trwy yr ysgol. Yr ydym wedi sylwi fod yr Arglwydd yn anfon yr Ysgol Sabbathol, fel y gwnai efe gynt â'r deg a thriugain, i bob dinas a man lle mae efe ei hun ar fedr dyfod. Mae achub yn canlyn sefydliad yr ysgol yn mhob man.——A ysgrifenwyd dros yr eglwys gan D. Evans.

*Corris, Medi* 15, 1840.

O. Y. Gan mai ymdeithydd ydwyf fi yma, a fy mod wrth ymdaith wedi gweled ychydig o wahanol eglwysi, hwyrach y goddefir i mi ddyweyd yn mhellach ychydig o'r hyn a welais ac a glywais am y lle hwn.

1. Clywais mai golwg isel iawn fu ar achos yr Arglwydd yn Nghorris am y deugain mlynedd cyntaf; ond wele ef yn awr yn ddyrchafedig goruwch y bryniau, a lluoedd yn dylifo ato. Gan hyny, nid rhaid i neb, yn un man, anobeithio am lwyddiant teyrnas yr Emmanuel, pa mor isel bynag y bo, tra fo hi yn uchel yn addewidion y Gair.

2. Clywaf a gwelaf fod cariad brawdol yn dlws gwerthfawr yn eu golwg, ae ymdrechant i'w gadw. Mae ganddynt gyfeisteddfod a wneir i fynu o'r blaenoriaid, ac 8 neu 10 o'r brodyr mwyaf mewn gwybodaeth a barn yn yr eglwys, i eistedd ar bob achos cyn ei gychwyn; ac yna ymosodant ato oll fel un gwr.

3. Maent yn ddiwyd a ffyddlon yn dwyn eu plant i fynu yn yr eglwys. Egwyddorir hwynt, ac ymofynir am destynau a phenau y pregethau am yr wythnos a basiodd, bob cyfarfod eglwysig. Maent wedi cael eneidiau yn wobr am eu gwaith, a diau y cânt lawer etto.——A gymmeradwywyd gan JOHN JONES.

*Penparc.*

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

### AM GANU MAWL.

*Sylw ar* "Y SALMYDD CYMREIG," *gan Roger Edwards, Wyddgrug: Cyhoeddedig gan T. Gee, Dinbych.*

(Parhad o du dal. 308.)

Y MAE llawer o feirdd enwog wedi bod yn Nghymru ar ol y rhai hyn, ac amrai wedi cyfansoddi ar destynau cyssegredig, ond rhywfodd, nid oes neb wedi myned heibio, os yn wir y daethant i fynu i'r rhai hyn. Dywed rhyw awdwr Seisnig nad yw yn bosibl prydyddu yn ardderchog ar byngciau yr iechydwriaeth, eu bod hwy yn ymddangos ddisgleiriaf yn eu symledd mawreddig eu hunain, fod amcanu eu hardderchogi, trwy gywreinrwydd cerdd, fel ceisio 'goreuro y diamwnt.' Tybiaf mae nid fel gwirioneddau *abstract* y gwelir amlycaf ogoniant egwyddorion yr efengyl, ond yn eu perthynas i, a'u dylanwad ar, enaid y dyn. Er nad ellir trwy rym awenydd ddangos mwy o ogoniant yn yr arddangosiad o'r athrawiaethau ynddynt eu hunain, eto gellir rhoddi trwy hyn ddarluniad cryfach o *deimlad bywiog* o honynt. Y mae dau beth, gan hyny, yn angenrheidiol i gyfansoddydd hymnau, sef dawn awenyddol, a *phrofiad* tanbaid o destyn y gân. Tywallt ysbryd defosiynol i'r bennill yw'r gamp; crybwyll profiadau a syniadau ag a dueddant y meddwl i ddiolchgarwch, a rhyfeddod o Dduw a'i drefn; a chyffwrdd â'r tannau hyny ag y mae teimladau pob Cristion yn sicr o daro arnynt yn rhyw ran o'i bererindod. Hawdd iawn genyf gredu yr hyn a ddywedir am William Williams, yn Nghofiant Daniel Rowlands, tu dal. 45. 'Nid oedd neb i'w gystadlu yn ei ddydd â W. Williams, yn y gwaith o drin profiadau yn y Cymdeithasau Neillduol.' Da iawn y canodd y Parch. Thomas Jones, Dinbych, iddo,

'Do, fe ganodd hymnau nefol
Yn dra melus a phrofiadol,
Nid wrth fanol drefn prydyddiaeth
Ond trwy rin ysbrydol archwaeth.'

Y mae un peth yn hynodi hymnau Cymreig yn gyffredinol, ac sydd yn eu tra addasu i addoliad personol neu neillduedig yn gystal a chyhoeddus, sef eu bod, gan mwyaf, wedi eu cyfansoddi yn y *person cyntaf, rhif unigol.*

'*Fy* Nuw, *fy* anwyl Iesu,' &c.
'Tydi *fy* Nuw, tydi i gyd,' &c.
''*Rwy'n* morio tua chartre'*m* Ner,' &c.

Mae y rhan fwyaf o hymnau Seisnig yn y rhif luosog, megis,

'Come let *us* join *our* cheerful songs,' &c.

ac felly yn fwyaf priodol i addoliad cyhoeddus. Gwell gan i y Cymreig o'r ddau. Dyma'r achos, gyda eu cyfaddasrwydd profiadol, fod yr hen hymnau Cymreig, megis yn ymryson âg adnodau y Bibl am eu mabwysiadu gan brofiad y pererin. Fe glywir y dyn duwiol yn Nghymru yn fynych iawn, yn murmuro rhyw benill melus o hymn. Hyfryd wrth deithio y ffordd faw yn yr hwyr, yn ngoleu tawel y lloer, glywed llais teimladol rhyw lengcyn yn croesi'r caeau tua thref o'r addoliad hwyrol, yn lle chwibaniad gwag, neu hen gerdd fasweddol, yn perseinio ar yr awel, ar dôn fwyn-brudd 'Hiraeth Cymro,'

'O Dduw rho *im'* dy hedd,' &c.

Ië, gall y Cristion ganu yn unigedd ei boll helyntion personol, ac hyd yn oed, ar ei wely angau, yr hyn a ganodd gyda chynnulleidfa yr Arglwydd lawer gwaith, megis,

'Cyfaill yw yn afon angau
Ddeil *fy* mhen *i* uwchlaw'r don,' &c.

Ond i ddychwelyd at 'Y Salmydd Cymreig.' Y mae y llyfr hymnau hwn yn rhagori ar bob un fu genym o'r blaen, oblegid y mae yn dwyn yr hen hymnau oedd genym i well trefn, ac yn ychwanegu llawer o hymnau newyddion atynt, a'r cyfan wedi eu rhestru yn y fath fodd, fel y gellir yn hawdd gael amrywiaeth o rai priodol ar unrhyw fater neu achlysur gofynedig; gyda thaflenau llawnion o bob Penill a Mater.

Y mae y Cymry y'mhell ar ol yn eu dygiad y'mlaen o addoliad cyhoeddus yn yr hyn a eilw y Sais *unity*, unoliaeth. Parhaus gyrchu at yr un nod, heb wasgaru y sylw, yw y ffordd i effeithio ar y côf a'r teimlad. Yn groes i hyn, fe glywir pregeth yn aml, a phedair neu bump o athrawiaethau, neu brif faterion dan sylw. Darllenir pennod hefyd, fe allai o hanesiaeth Iuddewig, cenir hymn ar gymdeithas â'r saint, pregethir ar edifeirwch, a gweddier am bob peth ond yr hyn a annogid ato yn y bregeth. Tybiaf mae beius yw hyn. Er mai ar Ysbryd Duw y dibynir am y fendith, eto, trwy offerynoliaeth ddynol, ac os offerynoliaeth ddynol oll, onid rhesymol defnyddio yr offerynoliaeth debycaf o lwyddo yn ol y cyfansoddiad dynol? Y mae detholydd 'Y Salmydd Cymreig,' wedi gwneud ei ran tuag at ddiwygiad yn hyn, o'r hyn lleiaf yn y rhan arbenig hono o addoliad, sef canu mawl. Am hymnau

W. Williams, ymddengys nad oedd fawr o drefn arnynt o ran olynoliaeth yn y cyhoeddiadau cyntaf o honynt. Rhyw

'Orient pearls at random strung,'

oedd eu penillion melys. Fe roddodd Morys Davies titlau, neu enwau testynau, wrth bob emyn yn ei lyfr rhagorol, ond addefa fod 'yn anhawdd cynnwys, mewn ymadroddion byrion, gyflawn olygiad amryw o honynt,' hyny oblegid fod y rhan fwyaf o honynt yn cynnwys penillion ar *wahanol* faterion. Yn 'Y Salmydd Cymreig,' y mae y Detholydd, (a buasai yn anhawdd cael neb arall, oherwydd cywirdeb ei archwaeth, mor addas i'r gorehwyl) wedi dethol, a rhestru yr holl benillion a'u gwneud i fynu yn emynau y gellir eu canu trwyddynt oll *heb gyfnewid y mater*. Ac nid yn unig y mae pod penill yn mhob emyn ar yr un mater, ond y mae pob emyn yn y llyfr ar yr un mater, wedi eu gosod yn olynol, ac am hyny, fe ellir dewis, gydag ychydig iawn o drafferth, yr hymn fwyaf priodol i unrhyw amgylchiad.

Cynnwysa y gyfrol hon, gyda'r hymnau a gynnwysid yn y llyfrau arferedig genym o'r blaen o waith amryw awdwyr, nifer led helaeth o hymnau na buant yn argraffedig o'r blaen.

Y mae enwau y Parchedigion, Roger Edwards, Lewis Edwards, Evan Evans, Robert Roberts, &c. yn selio cymeradwyaeth i'w cyfansoddiadau. Nid ydyw mor rydd i ganmol y byw a'r meirw: digon yw dywedyd ein bod yn ystyried eu gwaith yn ddigon teilwng i'w cydrwymo, a'u cyd-arfer â'r hen hymnau, heb son am eu bod yn cwblhau y diffygion o hymnau ar rai testynau na adawyd dim arnynt gan ein tadau.

Da genym sylwi ar ddiwylliant y wasg Gymreig, fel y gwelir yn 'Y Salmydd Cymreig.'

Fe fu amser pan yr oedd llyfrau Cymry yn hynod o dlodaidd yr olwg arnynt; rhyw papyr tryfrith anwastad, a llythyrenau geirwon brycheulyd, fyddai yn dolurio ein llygaid, ac wedi ei rhwymo mewn rhyw dipyn o bapyr llwyd neu las fel y digwyddai. Ond wele yma gyfrol fechan delaid, papyr da dillyn esmwyth, llythyren lân eglur, a'r cyfan wedi ei rwymo yn hardd ac yn gadarn, yn ol dull Caerludd, a'r cyfan am ychydig iawn o bris.

Dymunol fyddai i flaenoriaid eglwysi, a'r rhai y mae gofal y cyssegr arnynt ofalu am gael 'Y Salmydd Cymreig' i bob pulpud.

Y mae y llyfr hymnau yn ddigon candryll mewn llawer man, a dim dau prin yr un fath; a phe na byddai felly, ni byddai fawr niwed prynu hwn at y llall er mwyn hwylusdod ac *unffurfiaeth*. Ond ar ieuengctyd Cymru, a'r rhai sydd yn blaenori gyda'r canu, y dibyna ei ddwyn i arferiad cyffredinol. Mae yn dra thebyg y cenir emynau trwyddynt yn dra mynych bellach, am hyny, annogwn yr ieuengctyd oll i SPARIO y ddau swllt neu hanner coron cyntaf i brynu 'Y Salmydd Cymreig,' o ddetholiad Mr. Roger Edwards, a'r Arglwydd a'i gwnelo yn fendith i laweroedd, medd yr eiddoch, U. W. Y.

---

## GRAMMADEG CERDDORIAETH

MR. JOHN MILLS, (*I. G. Alarch.*)

MR. GOLYGYDD,—Gan na wnaethum adolygiad uniongyrchol ar y 'Grammadeg' hwn yn fy Ysgrif am Hydref, dymunaf ganiatâd genych i gyflwyno yr hyn a ganlyn o barth iddo, drwy gyfrwng eich Trysorfa, i sylw fy nghyd-genedl, yn enwedig y dosbarth hwnw o honi, ag sydd yn caru diwylliant 'Cerddoriaeth Eglwysig.'

Barnwyf, yn ol eangder fy syniadau cerddorol, na welais hyd yn hyn Rammadeg Cerddoriaeth o waith un awdwr yn y Saesonaeg, yn fwy rhagorol a theilwng na'r un crybwylledig. Mae ei deilyngdod i Gerddoriaeth yn ei 'holl berthynasau elfenol neu wyddoregol,' ei ffurfiad celfyddydol, a'i defnyddiad 'caniadaethol;'—i natur 'cerddoriaeth eglwysig,' ac i arddull cerddoriaeth y Cymry, i'm tyb i, yn sefyll yn y radd uwchaf.

Gwnaf ychydig o sylwadau byrion arno yn ol y dosparthiad a wna yr Awdwr o'i gynnwysiad.

Y dosparth 1af a gynwys eglurhad ar *Nodiant Cerddoriaeth*. Gan fod rhai awduron wedi ysgrifenu yn helaethach ar y pwngc hwn nag a wnaeth Awdwr y 'Grammadeg,' eto, heb daflu nemawr o oleuni arno drwy y cwbl, ïe, ddarfod i rai o honynt drwy eu dull annghelfydd yn ei drin, ei wneud i ymddangos i'r efrydydd yn fwy tywyll ac annealladwy, nag ydoedd yn ymddangos cyn iddynt ddechreu: buasai yn deilyngach iddynt ysgrifenu *llai* (a hyny yn ddealladwy) arno, ac egluro *mwy* ar bynciau ereill o'r gelfyddyd sydd a mwy o bwys ynddynt na hwn, a mwy o angenrheidrwydd ar yr efrydydd eu gwybod a'u deall. Er nad yw sylwadau yr Awdwr yn helaeth ar y pwngc, eto, maent yn briodol ac eglur, ac yn cynwys ei hanfod, a chymaint o eglurhad arno ag a wasanaetha i 'Gerddoriaeth arwest.' Am yr amrywiol *foddau* a berthyn i Amser mewn Cerddoriaeth, y rhai nad yw ef yn sylwi arnynt, nid ŷnt ond ffurfiad cyfansawdd o'r *ddau fodd* a eglurir, a gall yr efrydydd oddiwrth yr eglurhad a roir ar y *ddau fodd* hyn yn y 'Grammadeg,' drwy ychydig o lafur ac efrydiad, ddeall ffurfiad a symudiadau y *moddau* ereill. Pa neillduolrwydd bynag a ellir ei wneud mewn Peroriaeth neu Gerddoriaeth drwy y moddau cyfansawdd hyny, i'm barn i, gellir gwneud y cyfryw gyda yr un priodoldeb, drwy rym y moddau a eglurir yn y Grammadeg', Amcan yr Awdwr wrth egluro y pwngc hwn ydoedd ei 'wneud yn ddealladwy mewn

mor ychydig o le ag a allesid, er mwyn *ymhelaethu* ar ranau mwy *pwysig* a *dyrithr*.'

Yr 2il ddosparth a gynwys eglurhad ar *Berorïaeth*. Adrenir y pwngc hwn fel y canlyn,—Graddfäau, Cyweiriau, Trawsddodiad, Trawsgyweiriant, ac Aceniaeth. Mae ei sylwadau ar y Graddfäau, sef y Raddfa Naturiol, (*diatonic scale*) y Raddfa Oslefol, (*chromatic scale*) a'r Raddfa Orseiniol (*enharmonic, or extremely musical scale*) yn dra manwl a phriodol; eglurir eu ffurfiad celfyddydol â natur eu cyfryngau, a gosodir ger bron yr efrydydd *gyfundraeth* reolaidd a chywir o brif safon Perorïaeth a Chynghanedd.* Mae ei sylwadau ar y Cyweiriau hefyd yn rhagorol a theilwng, lle y dangosir pa beth yw cywair, pa sawl cywair *naturiol* y sydd, pa sawl cywair *celfyddydol* y sydd, a pha yw eu perthynas a'r Graddfäau, sef y Naturiol a'r Oslefol: gwneir hyn oll drwy engreifftiau priodol ac eglur. Sylwir hefyd yn fyr ar y pwngc hwn yn athronyddol, yn egluro natur a pherthynas y ddau gywair naturiol C ac A.

Yn nesaf sylwir ar *Drawsddodiad*, sef y 'cyfnewidiadau celfyddydol' a wneir yn y Raddfa Naturiol o barth ffurfiad y Cyweiriau; eglurir hyn hefyd yn rhagorol drwy engreifftiau priodol yn holl gyfryngau y Raddfa. Yn nesaf, sylwir ar *Drawsgyweiriant*, sef y mynedfäau celfyddydol o'r Gwreiddgywair i'w gyweiriau perthynol, neu ddylyniant rheolaidd a chelfyddydol o Drawsddodiad. Cyfeiriaf yr efrydydd i'r 'Grammadeg,' lle y ceiff eglurhad rhagorol ar y pwngc yn ei holl 'gyfnewidiadau celfyddydol,' yn nghyd âg eglurhad ar y *deddfau* sy'n *llywodraethu* y cyfnewidiadau, neu y mynedfäau (*passages*) hyn. Yn olaf dan y pen hwn, sylwir ar *Aceniaeth*, sef y cyssylltiad mydryddol sydd rhwng Cerddoriaeth a Barddoniaeth,' eglurir y pwngc hwn yn ei berthynas â 'Barddoniaeth Eglwysig Cymreig' yn helaeth a rhagorol iawn.

Y 3ydd dosparth a gynnwys eglurhad ar *Gynghanedd*. Gwn, fel y dywed yr Awdwr ei hun ei fod yn gwrthwynebu rhai awduron wrth egluro y pwngc hwn; gwn gystal a hyny, nad yw yn gwneud ond ar dir eithaf cadarn a diysog. Nid canlyn y cyfryw awduron yn 'nefnyddiad y cordiau' a wnaeth ef, canys gwyddai os gwnai hyny, yr arweiniai yr efrydydd i 'ddyryswch ac annghysonderau;' ond chwiliwyd i mewn i natur y cyfryngau, olrheiniwyd eu perthynas â'u gilydd, a ffurfiwyd bob cord yn rheolaidd yn ol ei berthynas a'i wreiddyn; ac nid oes un cord yn rheolaidd, (o barth i'w sawd, neu ei wreiddyn) ond a eglurir yn y 'Grammadeg.' Sylwir hefyd ar ddefnyddiad y cydseiniad, yn nghyda 'pharatoad, tarawiad, ac adferiad yr anghydseiniad. Gwneir sylwadau rhagorol hefyd ar amryw bethau hanfodol ereill dan y pen hwn, na chaf fi grybwyll am danynt yn bresenol. Nid wyf yn gwybod am un awdwr yn mysg y Saeson, a eglurodd y pwngc hwn yn rhagorach nag a wna Awdwr y 'Grammadeg Cerddoriaeth:' pe bai angenrheidrwydd, byddai yn hawdd i mi ddangos nad yw *Corfe* yn ei waith ar *Thorough Bass*, *Kollman* yn ei *Bractical Guide to Thorough Bass*, *Burrows* yn ei *Thorough Bass Primer*, *Hamilton* yn ei *Gatecism of the Rudiments of Harmony and Thorough Bass*, na *Callcott* yn ei *Fusical Grammar*, yn egluro y pwngc hwn yn rhagorach, nag a wna yr Awdwr yn ei Rammadeg Cerddoriaeth yntau. Mae yn llawenydd genyf feddwl fod gan y Cymro uniaith erbyn hyn, foddion mor rhagorol i gyraedd gwybodaeth eang a chywir o'r pwngc hwn; gan hyny, efryded y 'Grammadeg,' a sicrhawyf iddo y bydd yn fuan yn alluog i gysodi Cerddoriaeth yn drefnus a rheolaidd.*

Y 4ydd dosparth a gynwys eglurhad ar *Gyfansoddiant*. Dyma bwngc nad yw llawer o'r rhai a broffesant eu bod yn Gyfansoddwyr Cerddoriaeth, yn gwybod nemawr, os dim am dano; a pha ryfedd fod y peth a gyfansoddir ganddynt, ac a alwant yn Gerddoriaeth, mor ddieffaith a diflywyd: y gwirionedd am y cyfryw yw, nad oes ganddynt olygiadau amgenach ar Gerddoriaeth, nad rhyw gynnyrchiad damweiniol o seiniau disynwyr ydyw, heb un amcan neillduol mewn golwg, namyn boddloni eu chwaeth a'u mympwy gwâg eu hunain; mae y gwirionedd o hyn yn hybrawfus oddi wrth eu gwaith, ac y mae y cyfryw olygiadau yn hollol farbaraidd a chyfeiliornus. Gallwn ddwyn yr un cyhuddiad yn erbyn y rhai uwchaf eu nodweddiad cerddorawl a

* Dymunol buasai genyf gael rhoddi *The Ancient Diapason of the Greek*, *Aristoxenius' System*, a *Guido's System*, ger bron yr efrydydd, er mwyn cael dangos iddo ar ba dir yr oedd y gyfundraeth yn sefyll y pryd hwnw, ac i'w chydmaru â'i hansawdd hi yn bresenol, fel y gosodir hi ger bron yn y 'Grammadeg,' fel y gallai weled ei rhagoroldeb a'i pherffeithrwydd yn bresenol, rhagor ydoedd hi gan y Groegiaid, &c. Ond gan nad yw amgylchiadau yn rhoi, mi a'i cyfeiriaf ef i *Dr. Burney's History of Music*, i *A. Burgh's Anecdotes of Music*, ac i *Grassineau's Musical Dictionary*, dan y geiriau, *Diagram*, *Genus*, *Music*, *System*, *&c.* lle y caiff eglurhad helaeth arni, yn ei hansawdd gyntefig.

* Diau y byddai yn beth buddiol i'r efrydydd wrth efrydu y 'Grammadeg,' er ei ddeall yn dda, ac er ei hyrwyddiant mewn gwybodaeth o 'gyfansoddiant cerddoriaeth,' iddo ddal sylw manol ar weithiodd awduron celfyddgar a medrus: nis gallaf gyflwyno i'w sylw gwell gwaith na 'Caniadau Seion,' yn mha un y ceiff weled dospeirth o weithiodd cerddorol, yn teilyngu eu rhestra gyda phigion gweithiodd cerddorol yr oesoedd.

fu yn oesi yn y canrifoedd diweddaf, a'r rhai y ystyrir uwchaf yn y dyddiau hyn hefyd, a chadarnhau ei wirionedd drwy engreifftiau o'i gweithiodd cerddorol, a dangos nad oes ond yr anghydweddiad mwyaf yn bod, rhwng yr hyn a alwant yn Gerddoriaeth a'r hyn a ystyrir yn destyn. Diau mai effaith anwybodaeth o Gyfansoddiant yn ei ystyr briodol, yw y cyfryw anghydweddiad; nid anwybodaeth o hono yn ei berthynas a 'symudiad y Beroriaeth,' neu drefniant y Gynghanedd a feddyliaf; ond anwybodaeth o hono yn ei berthynas â 'phriodoleddau sain, iaith, a theimladau y natur ddynol.' Mae yn wir fod pob cenedl, i raddau mwy neu lai, wedi bod, a llawer o honynt yn bod eto o ran hyny, dan anfanteision dirfawr i allu cyraedd gwybodaeth eang a rheolaidd o'r pwngc hwn. Nid wyf fi wedi gweled mewn un *History of Music*, fod neb o un genedl, mewn un oes, wedi sylwi ac ysgrifenu arno fel pwngc, a'i ddwyn allan i oleuni a threfn. Bernir mai y Groegiaid, yn yr oesoedd gynt, ydoedd y rhai uwchaf eu nodweddiad cerddorol yn mysg y gwahanol genedloedd, a dywedir fod grym a dylanwad eu cerddoriaeth y'mhell uwchlaw eiddo yr Aiphtiaid, y Rhufeiniaid, &c. pa ydoedd y grym hwnw oedd yn perthyn i'w Cerddoriaeth, nis gallaf fi weled ei fod yn ddim amgenach na threfniant mydryddol, ac nid medrusrwydd y cyfansoddwr yn darlunio ei ddrychfeddyliau yn ei Beroriaeth, &c. gallai y cyfryw ddylanwad gael ei achosi gan lawer o bethau ereill hefyd, nad oeddynt yn y modd lleiaf yn dwyn perthynas â'r Gerddoriaeth. Wrth adael Cyfansoddiant yn ei berthynas â iaith a 'theimladau y natur ddynol,' heb sylw yn y byd arno yn y Grammadegau, nid yw y Wybodaeth Gerddorol felly, ond wedi haner ei hegluro; yn wir nid yw yn cyraedd hyny, canys pa fudd yw deall rheolau Cynghanedd, &c. yn gywir, heb ddeall pa fodd i ffurfio seiniau yn Beroriaeth, ac eilio y Gynghanedd i osod allan deimladau y meddwl yn cael eu creu drwy ddirnadaeth a syniad cywir o ddrychfeddwl y testyn, yr hyn yw gwir Gerddoriaeth, diau nid yw ddim budd. Mae yn ddywenydd genyf gael dyweyd, fod Awdwr y 'Grammadeg Cerddoriaeth' wedi traethu yn fanol, helaeth, a rhagorol iawn ar y pwngc hwn yn ei gyssylltiad â iaith a theimladau y meddwl, yn enwedig yn ei gyssylltiad â iaith a theimladau y Cymry: diau fod ei sylwadau yn ei Ragdraeth ar Gyfansoddiant, yn enwogi ei Rammadeg uwchlaw eiddo neb awdwr arall sy'n hysbys i mi beth bynag.* Yr wyf yn ystyried yn brif addurn fy holl lyfrau cerddorol; ac yn meddwl na fethaf wrth ddyweyd fod gan y Cymry yn bresenol yn eu hiaith eu hunain, foddion i ddwyn eu cerddoriaeth i gymaint beth bynag, os nad i fwy, o enwogrwydd nag un genedl arall; os wyf yn methu, byddaf ddiolchgar i ryw un am fy argyhoeddi o wyrni fy syniad.

Nid yw yn un dyben i mi chwanegu fy sylwadau ar y pwngc hwn yn ei berthynas â'r 'Grammadeg,' canys y mae ei ragoroldeb a'i deilyngdod yn hysbys bellach i bob cerddor deallus yn mhlith fy nghenedl, gan hyny, terfynaf, gyda rhoi gair o anogaeth i'r efrydydd, a phawb o'm cydgenedl ag ydynt yn ymyryd â Cherddoriaeth. Y rhai ydych yn tybied eich bod yn gyfansoddwyr Cerddoriaeth, ag ydych eto heb gyraedd nemawr o berffeithrwydd yn yr hyn sy'n angenrheidiol i gyfansoddi cerddoriaeth yn rymus ac effeithiol, fel y gellir gweled wrth eich gweithiodd, efrydwch Ragdraeth yr Awdwr ar gyfansoddiant, a diau y cewch olygiadau gwahanol ar Gerddoriaeth rhagor sydd genych, ac y galluogir chwi i gynnyrchu cerddoriaeth deilwng ac effeithiol: a chwithau, y rhai nad ydych ond yn ymarfer â'r rhan 'ganiadaethol' o'r gelfyddyd, heb ymgais am wybodaeth o elfenau Cerddoriaeth, darllenwch ac efrydwch y Rhagdraeth hwn, a chewch chwithau weled fod Cerddoriaeth yn gofyn mwy o'ch sylw nag a gafodd hyd yn hyn, a'i bod yn cynwys mwy o ardderchawgrwydd a defnyddioldeb nag a dybiasoch erioed, a bod gwybodaeth eang o'r gelfyddyd yn fanteisiol ac yn angenrheidiol, i gyflawni yr ordinhad o ganu mawl yn addas a theilwng i addoliad y gwir Dduw.

Dymunaf i'r 'Grammadeg Cerddoriaeth' fod yn foddion i ddiwyllio 'Cerddoriaeth Eglwysig' yn mhlith fy nghydgenedl y Cymry, ac i'w dwyn i feddu syniadau priodol a theilwng am Gerddoriaeth.

*Lle'rpwll.* LLECHYDON.

---

* Os oedd yr argraffiad cyntaf yn rhagorol a theilwng, fel mae yn eglur ei fod, diau y bydd yr ail argraffiad yn rhagorach fyth. Gwel y Drysorfa am Hydref.

---

*Casgliad o Hymnau a Salmau.* Dan olygiad Mrd. Richard Williams a Joseph Williams, Liverpool.

Mae yn ddywenydd genyf gael cyfleusdra i arwyddo fy niffuant gymeradwyaeth o'r Casgliad rhagorol o Hymnau a Salmau sydd newydd ei gyhoeddi, o dan olygiad Mrd. Richard a Joseph Williams, a'r ddymuniad Gweinidogion a Henuriaid y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool, mewn Cyfarfod Misol. Yr wyf yn barnu fod y Casgliad hwn yn rhagori ar bob un a gyhoeddwyd o'r blaen, o ran helaethrwydd materion, amrywiaeth yr Hymnau, a'u cyfaddasrwydd at bob math o brofiad, cyflwr, ac amgylchiad a allai gyfarfod y Cristion ar ei bererindod trwy anialwch y byd profedigaethus hwn.

Mae y detholwyr, ar ddymuniad amryw o'u brodyr, wedi cadw at gyfansoddaid cyntefig yr holl Hymnau gan y gwahanol

awduron, heb wneuthur dim cyfnewidiad mewn gair na chynganedd; fel y caffai pob awdwr ymddangos yn ei wisg a'i ddull priodol ei hun: er mai hawdd fuasai diwygio ychydig ar yr iaith mewn rhai geiriau, a llyfnâu ychydig ar y farddoniaeth mewn ambell linell lle y ceir sill yn ormod i'r mesur.

Ond ar y cyfan yr wyf yn barnu y cydnabyddir yn gyffredinol, fod y Casgliad yn rhagorol, a'r detholiad yn dangos archwaeth, barn, a medrusrwydd y detholwyr. Tu ag at wneuthur y Llyfr yn fwy difyrus a buddiol, ceir ynddo ddangoseg gyflawn o'r holl Hymnau, ac hefyd o bob pennill yn mhob Hymn; a dangoseg arall yn hysbysu testun neu gynnwysiad pob Hymn. Hyderaf y bydd i filoedd gael budd ac adeiladaeth trwy y Llyfr hwn, ac y bydd i dân defosiwn a chlodforedd sanctaidd gael ei ennyn yn ysbrydoedd y pererinion a fforddolion Seion ar eu taith trwy anialwch y byd tu a'r Ganaan nefol; yr hyn yw dymuniad eu hannheilwng frawd a'u cydbererin, PETER JONES.

*Liverpool.*

## ATEBION.

*Ateb i ofyniad Ymchwiliwr yn Rhifyn* 118, *tu dalen* 334, Ynghylch 'corph anianol a chorph ysbrydol.' 1 Cor. 15. 44. 'Y mae corph anianol, ac y mae corph ysprydol.'

1. 'Corph anianol,' yw ein corph ni yn y byd hwn. Gelwir ef yn gorph anianol oherwydd ei fod yn gyffelyb i gorph anifail, yn ei anghenion, chwantau, poenau, afiechyd, a marwolaeth. Ac wedi marw o hono y mae efe yn troi yn bridd yn hollol fel corph anifail.

2. 'Corph ysprydol,' fydd corph pob un o'r saint ar ol yr adgyfodiad.

(1.) Fe fydd corph ysprydol yn gallu cyfranogi o orchwyliaeth, addoliad, a dedwyddwch y nefoedd.

(2.) Bydd wedi ei lwyr buro oddiwrth bob sorod anianol a chwantau gwaelion ac isel.

(3.) Ni bydd arno mwyach ddim angen am fwyd, gorphwys, cwsg nac adfywiad.

(4.) Ni bydd mwyach yn gallu dymuno nac archwaethu difyrwch cnawdol o un math.

(5.) Ni bydd mwyach yn un rhwystr i weithrediadau ysbrydol a chyflym yr enaid, eithr yn gynnorthwyol iddo yn ei holl weithrediadau. Yr oedd cyrph Moses ac Elias felly, pryd yr ymddangosasant gyda'r Iesu yn ei wedd-newidiad ar y mynydd, ac yr ymddyddanasant âg ef yno. Mat. 17. 1, 2. Gwel hefyd 1 Thes. 4. 16, 17.

'Y mae corph anianol,' yn addas i'n sefyllfa yma ar y ddaear; 'ac y mae corph ysbrydol,' yn addas i'n sefyllfa yn y dryd-edd nef.

Yn ein sefyllfa yma, yr ydym yn gorfod gwasanaethu ein cyrph, ac ymwrando ar eu hangenion; ac mewn mesur mawr yr ydym yn ymorphwys ar ein cyrph ynghyflawniad gweithrediadau y meddwl.

Eithr yn ein sefyllfa ddedwydd yn y nefoedd, bydd ein cyrph yn hollol at wasanaeth yr enaid, ac yn parhaus weini iddo, yn ymddibynu arno; ac oherwydd hyny gellir galw y corph yn 'gorph ysbrydol,'—*Y Parch. T. Scott.*

DARLLENYDD.

---

*Ateb i Ofyniad Iolo yn Rhif.* 119, *tu dalen* 334, *am gyssondeb Psal.* 91. 10. *a Preg.* 9. 2.

Mae Solomon yn Preg. 9. 2. yn dangos trefn rhagluniaeth Duw *yn gyffredinol*, mewn perthynas i ddamweiniau y bywyd hwn, pan y mae yn dywedyd, 'Yr un peth a ddamwain i bawb fel eu gilydd.' Gwyddom yn dda mai felly y mae *yn gyffredinol.* Eithr yn Ps. 91. 10. mae y Psalmydd yn datgan addewid bennodol Duw i'w bobl neillduol ef ar *amserau nodedig* o farnedigaethau Duw ar ddynion am eu hanfad feiau, megis ar amser pla, &c. 'Ni ddigwydd i ti niwed, ac ni ddaw pla yn agos i'th babell.' Gwyddom hefyd am amgylchiadau felly ar *amserau neillduol.* Pan darawodd yr Arglwydd yr Aiphtiaid â phläau mawrion, yr oedd Israel Duw yn ddiogel yn eu hymyl. Pan darawodd yr Arglwydd Israel yn meddau y blys, â phla mawr iawn; ni ddaeth yn agos at Moses ac Aaron. Num. 11. 33, &c. &c. &c.

CYHOEDDWR.

---

*Atebiad i Ofyniad Gamaliel, Rhif.* 119, *tu dal.* 334 *ynghylch 'Nazaread.'*

Wrth y gair 'Nazaread' y meddylir, un wedi ei neillduaw, neu ymneillduaw, oddiwrth arferiad o rai pethau, ac ymgysegru at wasanaeth Duw; neu gwedi rhwymo drwy adduned naill ai dros amser pennodol neu dros oes: rhoddir hanes cyflawn am hyn yn Num. 6. yr oedd i ymgadw oddiwrth win, diod gadarn, a phob peth a wnaed o ffrwyth y winwydden, Gwel adn. 3. 4. Yr oedd i adael cydynau ei wallt i dyfu heb ei dori holl ddyddiau ei Nazareaeth: Gwel adn. 5. Yr oedd i ymgadw rhag ymhalogi wrth y marw, adn. 6. 7. Yr oedd i gael ei ryddau oddiwrth ei adduned. (pan gyflawnid dyddiau ei Nazareaeth) trwy ddwyn offrwm at ddrws pabell y cyfarfod, adn. 13.

Fe neillduodd Duw rai Nazareaid, megis Samson a Ioan Fedyddiwr; eraill trwy osodiadau dynion megis Samuel; 1 Sam. 1. 11. yr oedd y tri hyn yn Nazareaid o groth eu mamau hyd ddiwedd eu heinioes. Mae y gair ymneillduo i'r Arglwydd yn dangos fod dyben y cyfryw addunedauyn

grefyddol, er cynydd ffydd, er cydnabyddiaeth o ddiolchgarwch i'r Arglwydd, 1 Sam. 1. 11. byddent yn ei gyfrif yn ffafr oddiwrth Dduw, pan y cyfodai y cyfryw yn eu plith. Amos 2. 11.——Ydwyf yr eiddoch,

R. AB. GWILYM.

---

*Ateb i Ofyniad Myfyr yn Rhif.* 119. *tu dalen* 334, ynghylch cysondeb Mat. 10. 10. a Marc 6. 8. Dywed Matthew. 'Nac ysgrepan i'r daith, na dwy bais, nac esgidiau, na ffon,' Dywed Marc, 'Ac a orchymynodd iddynt na chymmerent ddim i'r daith, ond llaw-ffon yn unig.'

Att. Yn y Bibl Saesoneg, mae y gair yn Matthew, 'na ffyn,' (*nor staves*). Ac yn y Gymraeg a'r Saesoneg, yn Luc, ar yr un achlysur, fe ddywedir, 'na ffyn,' Luc 9. 3. Yn Marc yn unig y dywedir,' ond llaw-ffon yn unig.' Yr ystyr yn ddiau yw, 'Na chymmerwch un math o ffon i'ch taith, ond 'llaw-ffon,' sef *ffon-dan law* i'ch cynnorthwyo i gerdded fel pererinion.' Canys ar eu traed yr oeddynt i fyned drwy yr holl wlad i bregethu, yn gyffelyb i'w Hathraw, ac nid mewn cerbyd, nac ar farch, asyn, na mul. Mae amrywiol fath o ffyn, heblaw 'llaw-ffon' dan law i daith. Mae 'gwaewffon;' mae 'ffon dafl,' &c. Na chymmerwch 'waew-ffon' gyda chwi i ladd pobl; na chymmerwch 'ffon dafl' i luchio cerrig at y rhai a ymosodant yn eich erbyn; nac ychwaith ffon i ffonodio neb â hi fel y gwnai Balaam i'w asyn. Na chymmerwch 'ffyn,' ond yn unig un 'law ffon' bob un, er cysur a chynnorthwy i'ch taith. Meibion tangnefedd ydych.

CYHOEDDWR.

---

*Atebion i Ofynion Ap Gwilym yn Rhif.* 119, *tu dalen* 334, ynghylch y Ddeddf a'r Cyfammod Gweithred odd.

Gof. A oes gwahaniaeth rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Ddeddf Foesol?

Att. Oes.

Gof. Beth yw y gwahaniaeth?

Att. Nid y Cyfammod Gweithredoedd yw y Ddeddf, ac nid y Ddeddf yw y Cyfammod. Eithr yr oedd perffaith ufudd-dod i'r Ddeddf yn ammod yn y Cyfammod hwnw. Ac yr oedd pethau yn y Cyfammod heblaw yr ammod o ufudd-dod i'r Ddeddf, megis pleidiau ac addewid. Ni bu y Ddeddf Foesol erioed yn Gyfammod ynddi ei hun; ac er hynny ni wnaed yr un Cyfammod heb roi ei lle priodol i'r Ddeddf Foesol ynddo.

Gof. Pa beth mae y Cyfammod Gweithredoedd yn ei ofyn i ddyn yn bresennol?

Att. Perffaith ufudd-dod i'r Ddeddf Foesol, ac Iawn anfeidrol am y troseddau a gyflawnwyd.

Gof. Pa beth mae 'r Ddeddf Foesol yn ei ofyn i ddyn yn bresennol?

Att. Perffaith ufudd-dod. Canys tra byddo dyn yn aros heb ei symud o dan y cyfammod Gweithredoedd trwy gael ei ddwyn i undeb â Christ, y mae'r Ddeddf Foesol yn ei ofyn o berffaith ufudd-dod, ac yn ei felldithio am anufudd-dod. A phan symudir pechadur i undeb â Christ, y mae efe yn rhydd oddiwrth y Ddeddf fel ag yr oedd yn sefyll yn ammod bywyd yn y Cyfammod Gweithredoedd, ac oddiwrth ei melldithion hi. Ond y mae efe dan y ddeddf i Grist. Ac nid ydyw y ddeddf yn gofyn llai na pherffaith ufudd-dod gan neb. Eithr y mae y credadyn mewn cyflwr ag y mae ganddo le i ymofyn am faddeuant o'i anmherffeithrwydd, a than oruchwyliaeth ag sydd yn ei gydffurfio yn raddol â'r ddeddf; ac ni bydd efe byth yn berffaith ddedwydd nes ei berffaith gydffurfio â hi.

*Pont Robert.* J. HUGHES.

---

*Ateb i Ofyniad S. S. Jones, yn Rhif.* 119, *tu dalen* 333, ynghylch gweinyddiad Crist o'i Swyddau Cyfryngol yn y nefoedd.

Gof. A fydd yr Arglwydd Iesu yn gweinyddu ei Swyddau Cyfryngol yn y nefoedd i dragywyddoldeb?

Att. Bydd yn ddiau. Efe a fydd yn Gyfryngwr rhwng Duw a'i bobl i dragywyddoldeb. Ac felly efe a fydd yn Brophwyd, ac yn Offeiriad, ac yn Frenin i'r saint yn oes oesoedd. Fe ddywedir am Grist fel Prophwyd yn y nefoedd byth, "Ei goleuni hi (sef y nefoedd) ydyw yr Oen." Dat. 21. 23. Esa. 60. 19. Ac am ei swydd Offeiriadol, fe ddywedir, "Tyngodd yr Arglwydd, ac nid edifarhaodd, Ti wyt offeiriad yn dragywydd." Psal. 110. 4. Heb. 7. 3, 24, 25, 28. Ac hefyd am ei swydd Frenhinol fe dystiolaethir, "Ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd." Esa. 9. 7. Luc 1. 33. Ei orsedd ef a fydd byth. Ps. 45. 0.

Ond, wrth "roddi y deyrnas i Dduw a'r Tad," 1 Cor. 15. 24. y meddylir, nid fod Crist yn rhoddi i fynu fod yn Gyfryngwr ac yn ben i'w Eglwys, canys "efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd," ac y "mae offeiriadaeth dragywyddol ganddo." Ond efe a rydd y deyrnas, yn ei deiliaid, i fynu i "Dduw a'r Tad," i ddangos na bydd yr un o'r rhai a roddwyd iddo ar goll, ac na bydd yr un heb ei berffeithio.

Eithr ni bydd Crist *yn gweinyddu* ei swyddau cyfryngol yn yr un dull wedi y farn ddiweddaf ag y mae yn ei gweinyddu yn bresennol; ac nid ydyw yn ei gweinyddu yn bresennol yn yr un dull ag yr ydoedd yn gweinyddu yn nyddiau ei gnawd.

Fe fydd yr Arglwydd Iesu yn gweinyddu ei swyddau cyfryngol yn y nefoedd i dragywyddoldeb, mewn rhyw ddull tra gogoneddus, y tu hwnt i'n hamgyffred ni tra y byddom yma yn y cnawd.

*Pont Robert.* J. HUGHES.

*Ateb i Ofyniad Amwybodus, yn Rhif.* 117, *tu dalen* 270, mewn perthynas i "Epistol Eglwys Laodicea." Col. 4. 16.

Y Gofyniad yw, Pa un oedd epistol Eglwys Laodicea?

Att. Barna rhai fod yr Apostol Paul wedi ysgrifenu Epistol at Eglwys Laodicea, ac mai am hwnw y mae efe yn son pan ddywed wrth y Colosiaid, "Ac wedi darllen yr epistol hwn gyda chwi, perwch ei ddarllen hefyd yn eglwys y Laodiceaid; a darllen o honoch chwithau yr un o Laodicea;" ond fod hwnw wedi ei golli. Mae yn debygol fod Paul wedi ysgrifenu amryw lythyrau nad yw yn hysbys i ni am danynt; ac nid rhaid i ni ychwaith wrthynt, canys y mae ei holl ysgrifeniadau ag oedd yn wir angenrheidiol wedi eu cadw i ni yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Ereill a farnant fod yr Apostol wedi derbyn llythyr oddiwrth y Laodiceaid, a bod yr Epistol at y Colosiaid yn cynnwys atebion i amryw ofynion oedd yn hwnw, a'i fod yntau yn ei anfon yn ol drwy ddwylaw y Colosiaid, ac yn dymuno arnynt ei ddarllen ef. Ond ereill a feddyliant drachefn mai Epistol Paul at yr Ephesiaid, yr hwn sydd yn ein Biblau ni, a elwir yn "Epistol Eglwys Laodicea," o herwydd fod Ephesus yn brif ddinas Laodicea. Ond nid oes sicrwydd genym am y peth, ac nid yw o ddim pwys, hyd y gwn i.

CYHOEDDWR.

---

*Ateb i Ofyniad Artophagus, yn Cyfrol* VIII, *tu dalen* 214, ynghylch sefyllfa Efa yn Mharadwys.

Y Gofyniad yw, A oedd Efa yn y Cyfammod Gweithredoedd?

Att. Fy marn i yw, ei bod hi. Er i Dduw wneud y Cyfammod Gweithredoedd âg Adda, (Gen. 2. 16, 17.) cyn creu Efa, (Gen. 9. 21, 22.) etto yr oedd Efa yn sylweddol yn Adda pan greodd Duw ef, canys o hono ef y cymmerwyd ei defnydd hi. Yr oedd y gorchymyn pendant a roddwyd i Adda, adn. 16, 17, wedi ei roi hefyd i Efa, fel y mae hi ei hun yn cyfaddef, yn Pen. 3. 2, 3. Pan bechodd Efa nid oedd y Cyfammod a wnaeth Duw âg Adda a'i hiliogaeth ddim wedi ei dori. Ni thorwyd y Cyfammod yn y golygiad hwnw hyd oni phechodd Adda, yr hwn oedd yn ben yn y Cyfammod. Er hyny, trwy bechu, fe dorodd Efa y Ddeddf Foesol, perffaith ufudd-dod i'r hon oedd ammod yn y Cyfammod Gweithredoedd; a hi a dorrodd y gorchymmyn pendant yr hwn oedd megis arwydd gweledig y pryd hwnw o'r Cyfammod. A thrwy iddi felly dori ammod y Cyfammod, hi a lwyr gollodd ei hawl i addewid y Cyfammod, cyn pechu o'i gwr yr hwn oedd yn ben y Cyfammod. Yr un cyffelyb drosedd yn hollol a gyflawnodd Adda ac Efa: yr un gorchymyn pendant a dorrasant, a'r un Ddeddf Foesol a droseddasant. Collasant eu hawl yn yr un addewid, a dygasant fygythiad y Cyfammod i'w herbyn, y naill fel y llall. Ond yr oeddynt mewn gwahanol sefyllfa. Yr oedd Adda yn ben yn y Cyfammod, am hyny fe gyfrifwyd ei gamwedd ef iw holl had naturiol, "Trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad." Eithr ni chyfrifwyd ei gamwedd ef i'r wraig, o herwydd yr oedd hi yn berson gwahanol oddiwrtho ef pan bechodd efe, ac nid oedd hi ynddo ef y pryd hwnw yn y modd ag yr oedd ei hiliogaeth ynddo. Ni chyfrifwyd ei gamwedd ef i neb ond i'r rhai ag oedd yn sylweddol ynddo pan droseddodd efe. Ond am Efa, gan nad oedd hi yn ben y Cyfammod, yn unig fel yr oedd hi yn bersonol yn y Cyfammod y torodd hi ef, ac am hyny nid yw ei chamwedd hi yn cael ei roi yn erbyn neb ond yn ei herbyn hi ei hun yn bersonol. Dyma fy marn i; ond yr wyf yn barod i gymmeryd fy nysgu yn fanylach yn y peth hwn. Ac yn wir yr wyf yn cydnabod nad yw yn fuddiol myned yn rhy fanylaidd yn y peth hwn, ac mi a ddymunwn gael fy nghadw mewn gwyliadwriaeth rhag ymgais am fyned ddim pellach nag y mae y datguddiad dwyfol yn tywys. Am hyny terfynaf gan ryfeddu fod Cyfammod tragywyddol wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr i godi dyn syrthiedig i'r lân trwy Gyfryngwr.

CYHOEDDWR.

---

*Attebiad arall i Ofyniad Carwr Gwybodaeth yn Rhifyn Awst,* ynghylch cysoni 2 Chron. 5. 10. a Heb. 9. 4.

Yr wyf yn barnu mai yn y Cyssegr, ac nid yn yr Arch, yr oedd yr Apostol yn golygu: oblegid am y Cyssegr y mae yn ysgrifenu. Wrth ystlys yr Arch fel llyfr y Gyfraith, (sef Cyfraith Moses) yr oedd y Crochan Aur a'r Manna, a Gwialen Aaron. Gwel Exod. 16. 33, 34. a Num. 17. 10. Dyben gwneuthuriad yr Arch oedd cadw Llechau y dystiolaeth, Gwel Exod. 25. 16, 21. a Deut. 10. 1, 5. Ac y mae yn eglur wrth chwilio a chysoni, nad oedd dim yn yr Arch, ond Llechau y dystiolaeth. Gwel Exod. 40. 20. 1 Bren. 8. 9. a 2 Chron. 5. 10.

*Portmadoc.* IOTA GLAN MENAI.

---

*Atebiad i Ofyniad Myfyr, tu dalen* 334.

Y gair *ffon* yn yr adnod a ddyfynwyd o Mathew, a gyfieithiwyd *ffyn* yn ny Bibl Saesonaeg. Mae un Duwinydd yn sylwi ar y lle fel hyn:—"Ond ewch fel ag yr ydych, pob un gyda'r gôt, esgidiau, a'r ffon sydd ganddo yn awr, (fel hyn mae yr adnod hon sydd yn gwahardd i'r dysgyblion ddarparu ffon" (*ychwanegol*) "yn cyduno a Marc 7. 8, lle y goddefir iddynt gymeryd ffon) heb ddarparu dim dillad, esgidiau, na ffon ychwanegol, neu god lluniaeth i'r daith. Canys tra yr ydych yn gwasanaethu a llafurio er lleshâd a buddioldeb tragywyddol ereill,

gellwch yn rhesymol ddysgwyl cael eich cynnal ganddynt am yr amser presennol." Os bydd i hyn foddloni y gofynydd bydd yn dda gan. NIHIL.

*Hopton.*

---

*Sylw ar Ofyniad Ymchwiliwr, tu dal.* 334.

Corph anianol yw corph sydd yn cael ei gynnal trwy offerynoliaeth trugareddau natur megis bwyd, diod, cwsg, &c. Corph ysbrydol yw corph a fywiocceir ac a gynhelir gan yr enaid, heb wasanaeth y moddion hyny ag sydd yn awr yn anghenrheidiol iddo. Cawn wybod llawer mwy am y gwahaniaeth mawr sydd rhyngddynt pan gawn brofiad o hyny. O! am ymchwilio am adnabyddiaeth o'r Hwn a gyfnewidia ein cyrph gwael ni fel ac y gwneler hwy yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef.

*Hopton.* NIHIL.

---

*Ateb i Ofyniad Gamaliel,* ynghylch ystyr y gair Nazaread.

Dr. Guyse, wrth sylwi ar Mat. 2. 23, a ysgrifena fel y canlyn:—"Ac mewn trefn i wneud eu sefyllfa yn y wlad, hwy a ddaethant i ddinas a elwid Nazareth, yr hyn a drefnwyd trwy ragluniaeth Duw, am fod hyny gwedi ei ragfynegi gan amryw o'r Prophwydi am y Messiah, a'i gyflawni yn yr Iesu; sef y byddai ef, yn Netzer; h. y, Y Blaguryn, yn ol arwyddoccad y gair Nazareth a Nazaread, gwedi ei sancteiddio a'i gyflwyno mewn modd neillduol i Dduw o'r groth; ac felly yr Iesu yn sylwedd yr hyn ag oedd yn cael ei gysgodi yn Samson, Barn. 13, 5. a'r holl Nazareaid: ac oblegid ei fod wedi cael ei ddwyn i fynu yn Nazareth bu hyny yn achos iddo ef gael llawer o wawd, a diystyrwch." Gwel hefyd y Geiriadur Ysgrythyrol dan y gair Nazaread.

*Hopton.* Ysg. gan NIHIL.

---

## DOCTOR CHALMERS A CHALFINIAETH

MR. CYHOEDDWR.—Wrth ddarllain "Cofnodau Cymdeithasfa Pwllheli," yn eich Rhifyn diweddaf, gwelais fel hyn, "Y mae Dr. Chalmers yn sylwi nad oes, hyd y gwyr ef, ddim pwlpudau yn cael eu cadw mor *lân oddiwrth gyfeiliornadau* a phulpudau Ysgotland, ac nad yw moesau un wlad mor dda a'r eiddo y wlad hono; y mae y peth hwn yn dyweyd mwy na llyfrau am effeithiolrwydd pregethu'r *efengyl* er cynnyrchu moesau da."

Byddai'r dywediad uchod yn agos i'w le, pe rhoddid y gair "*Calfinaidd*" yn lle "*glân oddiwrth gyfeiliornadau,*" a'r ymadrodd "*egwyddorion iachawdwriaeth trwy ras,*" yn lle'r gair "*yr efengyl.*"

Gwnaed cymaint a hyna o gamgymeriad drwy amryfusedd y dywedwr, neu y cofnodwr, neu fe allai bob un o'r ddau: ac nid ydyw ddrwg iawn genyf fi iddo gael ei wneyd; oblegid yr wyf trwy hyny yn cael esgusawd i osod dywediad yr hybarch Ddoctor yn fwy cyflawn ger bron darllenwyr y Drysorfa; yr hwn o'i gyfieithu sydd yn debyg i fel y canlyn,

"Ond er fod y fath dduwinyddiaeth (athrawiaeth cyfiawnhad drwy ffydd) yn gweinyddu heddwch; eto gellir ammheu y dichon iddi weinyddu santeiddrwydd. Yn awr, i'r rhai sydd yn coleddu'r fath ammheuaeth, i'r rhai a osodent allan athrawiaeth cyfiawnhad drwy ffydd,—yr erthygl, chwedl Luther, wrth ba un y mae eglwys yn sefyll, neu'n syrthio,—fel yn wrthwyneb i gynnydd rhinwedd; rhoddwn un cwestiwn, a dymunwn iddynt ei ateb.—*Pa fodd y mae Scotland, yr hon sydd fwyaf nodedig o holl wledydd Europe, am Galfiniaeth fanol ei phulpudau, yn fwyaf nodedig hefyd am y godidowgrwydd moesol a eistedd ar drem ei phoblogaeth yn gyffredinol?* Pa fodd, yn enw dirgelwch, y mae'n dygwydd fod y fath dduwinyddiaeth a'r eiddom ni, yn cael ei chysylltu a'r boblogaeth fwyaf dilwgr ymhlith cenedloedd Cred?

"Yr haeriad yn erbyn ein heglwysydd ni ydyw, fod y bobl, ynghanol ein dadleuon egwyddorol ac athrawiaethol yn cael eu hysgolheigio cyn lleied i'r cyflawniad o weithredoedd da. Pa fodd gan hyny y mae, fod yn ein brawdlysoedd ni, wrth eu cymharu a chalendet ein chwaer deyrnas, gymaint yn llai i'w wneuthur efo drwgweithredoedd? Yn sicr, y mae hyn yn brawf pwysig iawn, mai yn y wlad lle mae *mwyaf o Galfiniaeth y mae lleiaf o ddrwgweithredoedd,*—mai yr hon a elwir y genedl fwyaf athrawiaethgar yn Europe, sydd, ar yr un pryd, y lleiaf ei llygredigaeth,—ac mai y wlad lle mae'r bobl wedi eu hegwyddori ddyfnaf âg *egwyddorion iachawdwriaeth trwy ras,* sydd yn cael eu hafiachau leiaf gan ddrwg fochedd beunyddiol neu halogiad Sabbathol ei thrigolion.

"Pan ddaeth Knox drosodd o ysgol Geneva, dug ei *horthodoxy* manwl (a dilwgr y pryd hwnw) gydag ef, ac a roddes ei harchwaeth drwy holl ffurflyfrau yr eglwys a sylfaenwyd ganddo; ac nid yn unig yr oedd yn ffaunio allan o'n holl bulpudau, ond hefyd drwy ein hysgolion a'n hegwyddorlyfrau, dygwyd hi i lawr i fechgyn ein tŷ ac o'r naill genedlaeth i'r llall, cafodd ieuenctyd Scotland eu cynefino â'i swn o'u mabandod: ac er mor annhebyg y gallai y fath ddysgeidiaeth ymddangos yngolwg y moes-athraw ysgolaidd, i ddwyn i fynu genedl rinweddol, y mae'n sicr ei bod wedi cynnyrchu y boblogaeth fwyaf moesgar yn holl Europe."—*Gwel Chalmers' Works, Vol.* xi. *Page* 142—144.

Yr wyf yn meddwl y gellir dywedyd am Gymru, yn gystal ag am Scotland, nad oes un wlad wedi bod, y can mlynedd diweddaf, yn fwy Calfinaidd ei phulpudau na hi, nac

un wlad wedi bod, at eu gilydd, yn well ei moesau. Nid ydyw calender y drwgweithredwyr, a brofwyd yn ei brawdlysoedd, ond bychan mewn cymhariaeth i'r eiddo gwledydd ereill; ac am ei moesgarwch beunyddiol, os nad am ei chadwraeth cyffredinol o'r Sabbath, nid wyf yn meddwl fod Scotland, ei hun yn rhagori nemawr arni. "Wyt lanerch" ebe'r Bardd am Gymru,

'Wyt lanerch ddystaw lonydd,—ddiochain
Heddychol dy fröydd:
* * * * *
A gwelir ei thrigolion
Yn finteioedd, lluoedd llon;
Ant yn gyson, moddion mad,
Yn ddilesg i'r addoliad;
Yn eu plith y ceir y plant,
Am wir addysg ymroddant;
Hwy gerddant i dy'r Gwir-Ddnw
Eu goreu daag yw Gair Duw;
Hyf ddilesg grefyddolion,
Mawr eu llwydd yw 'r Cymmry llon."
*Y Parch. E. Evans.*

Pe sylwid yn fanwl ar yr amrywiol gynulleidfaoedd crefyddol sydd yn Nghymru, yr wyf yn meddwl mai y rhai Calfineiddiaf yw y rhai manylaf hefyd yn eu dysgyblaeth eglwysig, mwyaf diargyhoedd eu hymarweddiad, a mwyaf haelionus eu cyfraniadau at achosion crefyddol. Y mae hyn, Syr, yn brawf diammheuol i fy meddwl i fod Calfiniaeth a phenrhyddid yn groes i'w gilydd,—mai Calfiniaeth yw'r *system* oreu mewn ystyr ymarferol yn gystal ag athrawiaethol,—fod y Doctor Chalmers yn dyweyd y gwir, "mai 'r wlad lle bo mwyaf o Galfiniaeth, yw'r wlad lle mae lleiaf o ddrwgweithredu,"—pe byddai mwy o Galfiniaeth yn Lloegr, y byddai llai o bob drygfoes ynddi, llai o garcharu, llai o alltudio, a llai o ddienyddio,—ac o'r tu arall, pe lleihai Calfiniaeth yn Nghymru, y byddai ynddi fwy o anfuchedd, mwy o waith i geisbyliaid ac ustusiaid heddwch, mwy o garcharu, a mwy o gosbi. Y mae'r athrawiaeth o *gadwedigaeth pechaduriaid trwy ras*, nid yn unig yn cymhwyso dynion at fyd arall; ond hefyd yn eu gwella gyda golwg ar y byd presenol. Y mae ein perthynas a'r ddau fyd yn galw arnom i "ymdrech yn mhlaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint."

R. WILLIAMS.

*Liverpool Tach.* 10ed, 1840.

O. Y. Efallai, Mr. Cyhoeddwr, y dysgwylia rhai genyf wneuthur rhyw sylw ar ysgrif Jenkyn Fuller Williams,* a ymddangosodd yn y Dysgedydd diweddaf. Ond rhaid cael rhywun craffach na myfi, i ganfod ynddi un wrthddadl na chyfodwyd gan y "Gwrandawr" ac na atebwyd gan y "Pregethwr:" ac hefyd yn fy llythyrau atoch chwi a Mr. R. ac y mae J. F. W. yn ymddangos yn rhy ddigalon i wneyd un ymosodiad ar yr atebion hyny, ac yn rhy ofnus i roddi ei enw priodol, ac enw y fan lle y mae'n byw, wrth ei ysgrif.

Os dangosais gymaint o dueddgarwch (*partiality*) i'm cyfaill a'm cefnder caredig, fel ag i'w ateb eilwaith ac eilwaith am yr un peth; ac os cydnabyddais rai sylwadau o'r eiddo ef, a haeddasent eu pasio mewn *silent contempt* pe daethent oddiwrth estron; 'ddyliwn i nad yw hyny yn rhoi un sail *resymawl* i neb arall ddysgwyl yr un fath diriondeb, yn enwedig pan nas gwn pwy ydyw'r ysgrifenydd, nac o ba le y mae'n dyfod.

Yr ydys yn gwybod, yn Llanbrynmair, Syr, mai cryn fantais mewn dadl, yw i ddyn adnabod ei wrthwynebydd, fel y gallo wybod rhywbeth am "*fesur ei droed*," neu "*hyd ei denyn.*" R. W.

* Gall dyn fod yn Jenkyn, yn Fuller, ac yn Williams, mewn rhyw bethau; ie, yn Galfin, yn Armin ac yn Socin, sef yw hyny, yn dal rhyw bethau yn gyffredinol gyda phob un o'r gwyr uchod; ond fod yr ysgrifenydd yn lled arwyddo ei fod o'r un farn a Jenkyn, Fuller, a Williams am bynciau y ddadl rhwng y "Pregethwr a'r Gwrandawr" a Roberts o Lanbrynmair, sydd yn ddigon i beri i ddyn feddwl fod y gwr, naill ai yn anwybodus am olygiadau Jenkyn, Fuller, a Williams, neu ei fod yn un o'r bodau rhyfeddaf yn y bydesyn, ie, yn yr holl *fydysawd deallawl:* canys gwyr pawb a ddarllenodd waith y gwyr hyny, eu bod yn wahanol iawn eu barnau am bynciau y ddadl hon.

## COFIANT AM WILLIAM JONES,

*Un o Henuriaid yr Eglwys yn Amlwch, yr hwn a fu farw y 18ed, o Fawrth*, 1840.

Ganwyd William Jones yn mhlwyf Maelog; nid ydoedd ei rieni, John ac Elisabeth Jones, ond isel o ran eu sefyllfa yn y byd; ac o herwydd hyny bu raid iddo ef droi allan yn ieuanc i wasanaethu. Pan ydoedd tuag 20 mlwydd oed daeth i Fynydd Paris i fwn gloddio y Copr; dilynodd yr alwedigaeth hono oddeutu 30 o flynyddoedd. Wedi treulio cymaint a hyny o amser yn y gorchwyl o godi y mwn; cyfarfu ag amgylchiad a barodd iddo feddwl am ennill ei fywiolaeth, a chynnal ei deulu, drwy ryw foddion arall; sef, marwolaeth un o'i gydweithwyr; drwy i ddarn o ddaear syrthio arno a'i ladd yn ddisymwth; a hyny o fewn llathen i W. J; yr hyn a ddygwyddodd, pan oedd y gweithwyr ar ymadael oddiwrth eu gilydd, i fyned at eu gwaith, wedi bod yn bwyta; ac er na chyffyrddodd dim âg ef, o'r hyn a fu yn achos o angeu y llall; fe effeithiodd y trychineb yn ddwys ar ei feddwl; ac ymadawodd yn fuan o'r mynydd; ac o hyny allan dilynodd yr alwad o fasnachu mewn amrywiol ddefnyddiau ymborth, hyd ddiwedd ei oes.

Derbyniwyd William Jones yn aelod o Gymdeithas y Trefnyddion Calfinaidd, yn mhen ychydig o flynyddoedd wedi iddo ddyfod i breswylio yn Amlwch; a gwasanaethodd yr Eglwys yn y swydd o Henuriad am yr 20 mlynedd olaf o'i fywyd; yn yr hyn y bu yn ffyddlawn, yn ol y ddawn oedd ganddo. Fe drefnodd rhaglunniaeth sefyllfa gysurus iddo ef; er nad oedd yn meddu llawer o gyfoeth, yr ydoedd yn hynod o haelionus yn ei gyfraniadau at achos Duw bob amser: ac fel Trysorydd Casgliadau y Gymdeithas efe a'i dosbarthai yn ffyddlawn, yn ol cyfarwyddyd, a thrwy gydsynied ei frodyr. Dilynai gyfarfodydd misol y wlad, braidd yn ddigoll; hyd oni attaliwyd ef gan yr afiechyd a aeth â'i fywyd. Y mae Henuriaid ffyddlawn yn rhoi mwy o wasanaeth rhad i'r Eglwysi nag y maent yn ei ystyried, wrth deithio drostynt, i gyfarfodydd misol, i ymofyn am gyhoeddiadau rhai i bregethu yr efengyl iddynt.

Yr afiechyd a fu yn achos o angeu W. J. oedd math o ddiffyg anadl, a chaethiwed; efe a fu am rai misoedd heb fyned o'i dŷ i un lle, heblaw i'r Capel, yr hwn sydd o fewn ychydig o latheni i'w drigfan. Yr oedd efe yn hynod o dawel ac o ymostyngar i oruchwyliaeth yr Arglwydd, yn ysbaid ei afiechyd, gan ystyried fod ei ymddatodiad yn nesâu. Nid ydoedd efe yn ddyn o duedd siaradus, pan oedd yn mwynhau ei iechyd, ond yr oedd ei sobrwydd a'i ddifrifwch yn amlwg i bawb o'i amgylch; felly yn ei waeledd nid llawer a ddywedai; ond byddai dan loesion trymion ar rai prydiau, yn adrodd y darn penill hwnw,—

"A pob gwahan-glwyf ymaith,
Glan fuddugoliaeth mwy;
Rwy'n canu wrth gofio'r boreu
Na welir arna'i glwy'."

Gadawodd weddw i alaru ar ei ol, o'r hon y bu iddo 9 o blant; ac y mae 6 o honynt yn fyw eto.

Yr oedd ein cyfaill trancedig yn un neillduol o ran tymher heddychol, yn ei lafur gydag achos crefydd, os na byddai yn cydweled a rhyw fesurau, o eiddo eraill, ni wrthddywedai un amser; fe'i perchid hefyd yn nodedig gan bawb a'i hadwaenai o herwydd ei eirwirdeb, a'i gyfiawnder mewn masnach; ac yr oedd efe yn mhob ymddygiad fel Cristion, yn hynod o hoffus gan ei holl gyfeillion crefyddol. "Ffydd y rhai dilynwch gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwy.

*Amlwch.* THOMAS JONES.

## IACHUSRWYDD PREGETHU!

Bu yn fy Nhy yn lletya yn ddiweddar ddau bregethwr, pa rai, os cant fyw un flwyddyn etto, a fyddant yn pregethu er ys CAN MLYNEDD rhyngddynt!! Y maent yn edrych yn dda, ag yn pregethu yn felys, a dim tebyg i'r blewyn melyn main (chwedi Mr. John Jones, gynt o Dreffynon,) yn yr athrawiaeth y maent yn ei thraddodi; eu henwau ydyw, Mr. Edward Foulkes. Dolgellau, a Mr. John Williams, Drenewydd.

## ADOLYGIAD HANES Y METHODISTIAID CALFINAIDD YN MANCHESTER.

LLAWER o bleser a gefais wrth ddarllen yr hanes a ymddangosodd yn y Drysorfa am y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn y dref hon, a pharod oeddwn i lefain, Wele ni yn awr yn BUMP o finteioedd! Dywedodd amryw wrthyf iddynt gael pleser cyffelyb yn ei ddarllen; mae yn cynwys adgofion rhy werthfawr i'w colli, ond trwy ryw angof diangodd un peth heb ei grybwyll, sef i Mr. John Roberts, Bettws Abergele, hefyd, ddechreu llefaru yma, heblaw y rhai a nodwyd yn yr hanes.

'*Yr ydych yn cyfeiliorni am na wyddoch yr Ysgrythyrau.*'—IESU GRIST.

PAN oedd un hen Bregethwr, Mr. J—— W——, o'r D—— yn dychwelyd o Gymdeithasfa ddiweddar Dinbych, fe ganfu wr ieuangc, â pha un y buasai gynt yn gydnabyddus; dechreuodd ei holi, 'A oedd efe yn parhau i wrando, a myn'd i'r Ysgol Sabbathol, fel arferol? Atebai yntau, 'Na, nid wyf yn myned i'ch Capelydd chwi yn awr, yr wyf wedi ymuno â'r ——— ac yn Weinidog yn eu plith. Ymlaen yr aed i ymddyddan am yr amser hyfryd hyny y bydd pob anghytundeb wedi peidio yn Eglwys Crist; 'Y mae,' medd yn hen bregethwr, 'John Hughes, Sir Drefaldwyn, wedi pregethu yn ddiweddar am Dywalltiad o'r Ysbryd'— 'O!' meddai yr ieuangc ''dwy fi ddim yn barnu y tywelltir dim mwy o hono nag a dywalltwyd ar ddydd y Pentecost; mae pobl yn myned gallach yn yr oes yma." 'Wel,' medd yr hen wr, 'pa fodd y ceir pobl i gredu hebddo?' 'O,' medd yntau, 'eu perswadio, a gosod o'u blaen fywyd ac angeu!' 'Ai ê' medd yr hynafgwr, 'beth a wnewch i'r gair hyny, 'Y rhai ydym yn credu trwy weithrediad nerth ei gadernid ef.' 'Does (medd yr ieuangc) yr un gair fel hyna yn y Beibl!!' 'Wel, wel,' meddai yr hen-wr 'y mae yn fy Meibl I, ac ni fynwn er y byd i gyd ei fod allan o hono!'

W. WILLIAMS.

*5, St. John's Place, Manchester*

## GALAR AM YSGAFNDER.

YR oedd digrifoldeb Mr. Hill yn brofedigaeth lem iddo, fel yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ganlyn. gan y Parch. A. Reed, "Pan ofynais i Mr. H. unwaith yn Bristol. pa fodd yr oedd?" "O! (ebe yntau) bum yn curo fy mhen yn mhyst y gwely trwy y nos neithiwr o achos fy ymddyddanion ysgeifn prydnawn ddoe."

J. F.

# BARDDONIAETH.

---

## PENNILLION

*A gyfansoddwyd ar ddymuniad y Parch. Moses Parry, gan Hugh Hughes, neu Eos Conwy.*

C'rwydro wnai fy myfyrdodau
 Draw i'r gorllewin-fyd mawr,
Gado Cymru fach a wnaethum
 Fel ar edyn gwyllt y wawr;
Aethum dros yr anferth weilgi,
 Yn fwy heini ar fy hynt
Nac yr âi, er mor galonog,
 'R hen Golumbus enwog gynt.

Gwelwn yno epil Gomer
 Yn preswylio llawer lle,
Iaith fy ngwlad yn glir a glywwn,
 Trown ar aswy, trown ar dde;
Yn dra effro, a diflino,
 Yn llafurio ar y llawr
Amryw filoedd mewn dyfalwch,
 Yn yr hen anialwch mawr.

Ceisiwn chwilio i ddirgelion
 Hen arfaethau dyfnion Duw,
I gael dirnad yr hen fwriad
 O'u hanfoniad yno i fyw,
Uwch eu penau y myfyriwn;
 Yno safwn yn dra syn;
Dywedwyd wrthyf, 'ti gai wybod
 Eto yn hynod ar ol hyn.'

Aethum etto i fanwl chwilio
 Am ganlynwyr Brenin nef,
Am y 'cwmwl' oedd yn meddwl
 Am ei enw anwyl ef,
Mewn iselder yn y dyfnder,
 A mawr bryder 'roedd ei braidd.
Gwelwn yno ôl ysgleifio,
 Gwânu a blino gan y blaidd.

Wedi edrych draw ac yma,
 A chael gwir olygfa lawn:
Daethum i fy mro hyfrydol,
 Yn fy ol yn ddistaw iawn;
Ac ni chefais prin ond cyraedd,
 Clywn o'm hol ryw groywaidd gri,
'Deuwch trosodd a thostriuwch,
 Deuwch 'cynnorthwywch hi.'

Wele ymysgaroedd Seion
 Oll yn cyffro wrth eu cwyn,
Yn y cydymdeimlad cynes,
 Toddai mynwes er ei mwyn,
Gan ddywedyd 'Pwy anfonwn ?'
 'Pwy yn awr â drosom ni ?'
Dywedai 'nghalon yn ddirgelaidd,
 'Wele fi, anfoner fi.'

Wedi'r coelbren arnaf syrthio,
 I ado 'm genedigol wlad,
Mi ddechreuais ddweud yn ddifri,
 'Beth wyf fi a thy fy Nhad ?'
Clywn fy nghalon yn ymferwi
 I ymgynghori â chig a gwaed,
Nes y rhoddai angrhediniaeth
 Im' arw driniaeth dan ei draed.

Wedi hyny fel rhyw donnau,
 Wele'r ofnau yn ddiri,
Yn ymdaflu o fy neutu,
 Am fy llethu megis lli,
Ofni erlid, ofni goflid,
 Ofni'm gwendid, ofni'r gwaith,
Ofni'm calon, a'm dybenion,
 Ofni dynion, ofni'r daith.

D'wedai Iesu, cofia f' enw;
 Arnaf bwrw dy holl bwn,
Fel Gedeon ymwrola,
 'Dos yn dy rymusder hwn,'
Byddaf noddfa i ti 'n addfwyn,
 Cofia'n fwyn addewid fawr,
Fy mod gyda thithau beunydd,
 Wyf yn llywydd Nef a llawr.

Anwyl Frodyr ewch yn wrol,
 At yr orsedd freiniol fry,
'Fel y rhodder im ymadrodd,'
 'Trwy agoryd genau yn hy,'
I hysbysu'r hen ddirgelwch
 I drueiniaid sydd yn drist,
'Llai na'r lleiaf wyf i draethu,
 'Anchwiliadwy olud Crist.'

---

## Y 'CYFAMMOD GRAS.'

'Cyfammod tragywyddol a wnaeth Efe a mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr.'—Dafydd.

---

A chariad rhad trag'wy
 Fe garodd Duw y dyn,—
A chariad annherfynol,
 Etholodd iddo ei hun,
Rhyw dyrfa ddi-rifedi
 O blant y codwm drud,
I 'etifeddu'r deyrnas,
 Bar'tow'd cyn seilio'r byd.'

A'i lonaid o'r un cariad,
 Fe roes y Mab ei hun,
I dd'od i barthau'r ddaear,
 I wisgo natur dyn;—
Ac yn y natur hòno
 Bu farw yn eu lle,—
A throstynt mae bob amser
 Yn eiriol yn y ne.

Ac hefyd rhoes yr Yspryd
 Ei hun yn eiddo 'rhai'n,
I'w puro a'u cymmwyso
 I wisgo'r 'lliain main:'
O Dduw, 'rhwn a addewaist
 Ddyhidlo ar fân a mawr,
O'th rasol Ysbryd sanctaidd,—
 '*O anfon ef i lawr.*'

*Bangor.* GLAN LLYN.

# COFNODAU CYMANFA GORFFOREDIG LLANIDLOES.

(Parhad o du dal. 314.)

V. Yn y cyfarfod Eglwysig cyffredinol, sylwyd AR YR ORDINHAD O WEDDI:

Y mae yn debygol fod mwy o weddio, o ran yr ymarferiad allanol yn y byd crefyddol yn awr, nag a fu erioed; ond y mae perygl rhag i ni fod fel yr Iuddewon, yn cadw uchelwyliau a chymanfaoedd, heb wybod dim am gymdeithasu â Duw yn eu hymarferiadau.

Y mae mewn gweddi gydnabyddiaeth o fawredd anfeidrol y Gwrthddrych y mae a wnelom âg ef; addefiadau o'n pechadurusrwydd a'n hannheilyngdod ein hunain; deisyfiadau, yn enw y Cyfryngwr, ac mewn golwg gredinIol ar addewidion Duw; a diolchiadau i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i ni. Mae gan rai ryw ddull o areithio wrth weddio, yr hyn sydd eithaf anmhriodol; gofyniadau pwysig, byrion, a gafaelgar, sydd briodol i weddi.

Nid oes dim yn eglurach na bod yn ddyledswydd arnom weddio ar Dduw. Y mae anghenrheidrwydd a rhwymedigaeth arnom i wneuthur hyn. Cawn y Paganiaid yn galw yn daer ar eilunod meirwon; ac oni alwn ni ar y gwir a'r bywiol Dduw?

Nid oes genym un esgus dros beidio gweddio. Mae Gwrthddrych gweddi yn un anfeidrol drugarog; nid oes eisiau doniau i fyned ato; gwna gruddfanau ac ocheneidiau y tro ger ei fron; y mae pob croesaw i bechadur tlawd nesu ato yn nhrefn ei ras. Mae yn ddyledswydd ar ddyn fel creadur rhesymol i ymostwng ger bron Duw; ac chan ei fod wedi myned yn bechadur, nid oes dim yn weddeiddiach nag iddo addef ei fai, a gofyn am faddeuant ei Lywydd a'i Farnwr. Mae yr Arglwydd yn gorchymyn i ni ei geisio; dangosir i ni yn y gair fod yn rhaid gweddio, a gweddio yn wastad ac heb ddiffygio. Mae tystiolaeth yn nghydwybodau pobl gwlad efengyl pwy ydyw gwir wrthddrych gweddi, ac y dylent weddio, ond, oddiar ddifaterwch a gelyniaeth, ni fynant alw ar Dduw. Bydd euogrwydd esgeuluso gweddio yn un o'r pethau trymaf yn uffern. Gall dynion sydd heb duedd i weddio benderfynu eu bod yn annuwiol. 'Am yn hyn y gweddia pob duwiol arnat ti, yn yr amser y'th geffir.' Ni fedr y neb a gafodd y dduwiol anian o'r nef, beidio anfon gweddiau i'r nef. Mae yn naturiol i bob creadur geisio y cynnaliaeth priodol iddo; ceir y plentyn bach, er ei fod heb adwaen ei fam, na gallu dywedyd gair, yn llefain am y fron; felly y mae anghenrhaid yn gyru y pechadur gwir argyhoeddedig at orsedd gras; mae'n ei weled ei hun ar drengu; nid oes ganddo amser i gwmpasu tir a môr yn ei weddi, ond efe a â rhag ei flaen i ofyn ei fywyd. Nid oes dim mor dda â theimlad o'r anghen i'n dysgu i weddio yn iawn. 'Yr wyf yn dlawd ac yn anghenus,' meddai y Brenin Dafydd; yr oedd ef felly, nid o ran pethau y byd yma, ond yn ei olwg ei hun.

Dylid arfer 'pob rhyw weddi.' Gweddi fyfyriol, neu saeth-weddi; dyma ydyw gweddio yn ddi-baid; rhywbeth rhwng ein henaid â Duw yn barâus. Gweddi ddirgel; 'dos i'th ystafell.' Gweddi deuluaidd, a gweddi gynnulleidfaol. Mae yn dra thebygol mai mewn gweddio yr ydym brinaf o'n holl ddyledswyddau, ac yn enwedig mewn gweddio yn y dirgel. Mae yn bosibl i un fod yn lled hoff o weddio yn gyhoeddus, ac yn casau gweddio yn ddirgel. Ni waeth gan hunan gael tamaid wrth weddio mwy nag wrth rywbeth arall; ond nid oes cymaint i'w gael gan hunan yn y weddi ddirgel. Mae ambell un yn digio os na chaiff weddio yn gyhoeddus, pan efallai, na bu yn gweddio yn y dirgel er ys hanner blwyddyn. Os nad ydym yn ymarfer â gweddi ddirgel, gallwn benderfynu nad oes genym grefydd bur. Peth mawr yw i ni fod mor gydnabyddus â ni ein hunain, nes adnabod fod ynom wrthwynebrwydd at weddi ddirgel, ac eto dal ati gyda'r weddi hono nes cael gradd o oruchafiaeth ar y cnawd. Nid yw y cnawd yn gymmaint yn erbyn y ddyledswydd âg yn erbyn Duw yn y ddyledswydd. Os ceisia y truan fyned at Dduw, daw y cnawd â llu o esgusodion er mwyn ei attal. Dywed, Pa flinder yw? daw yn haws gweddio eto; bydd yn haws i ti gael hamdden i weddio a chymdeithasu â Duw ar ol magu y plant; rhaid edrych ar ol yr amgylchiadau; mae tipyn o anhwylder corfforol arnat; bydd yn haws i ti fyned at hyn bore y foru, &c. Cryn beth yw ymladd a'r gwrthwynebrwydd yna; mae yr enaid afael yn ngafael â gelyn a ysgar rhyngddo â Duw am dragywyddoldeb os na leddir ef. Dybena hyna ei dipyn crefydd mewn ymadael â Duw byth, os na ennilla yr oruchafiaeth. Teimlo yr elyniaeth at ddyledswyddau ysbrydol yw bod yn y frwydr. Braint fawr yw cael nerth i ymdrech â'r hen galon nes cario y dydd. Dywedwn wrthi, Beth sydd arnat? paham yr wyt yn casâu y Duw anfeidrol dda? Daliwn i llefain yn ei herbyn; awn â'r Bibl gyda ni ar ein gliniau; hwyrach mai gyda darlleniad rhyw air fel hwnw, 'Tynaf y galon gareg ymaith o'ch cnawd chwi,' y cawn oruchafiaeth arni. Trwy ddal yn egniol, a llygadu ar yr Emmanuel, diweddodd llawer gweddi yn dda wedi dechreu yn anhwylus. Y mae rhai nad ydynt byth yn cario y ddyledswydd o weddi mor bell â

myned i ddeffroi y peth drwg sydd ynddynt. Mae yn dda i ni adnabod fod rhywbeth ynom yn gwrthwynebu ysbrydolrwydd dyledswydd, ac wedi ei adnabod, peidio rhoddi i fynu nes cael gradd o goncwest arno.

Yr ydym i weddio 'bob amser,' yn gystal ag 'â phob rhyw weddi.' Beth bynag a adawom heb ei wneuthur, ni ddylem adael gweddi ar ol. Mae lle i ofni mai ychydig o'n hamser sydd yn myned at weddio. Os nad ydym yn gweddio heblaw ar y prydiau yr ydym yn myned ar ein gliniau, nid yw ein gweddiau ond ychydig iawn.

Y mae gwir weddio yn beth pwysig iawn. Mae yr enwau a roddir ar weddi yn y Bibl, ac agweddau gweddiwyr y Bibl, yn dangos hyn. Da fyddai i ni ein cynmharu ein hunain â hwy. Darlunir gweddi yn dywalltiad y galon, tywallt y myfyrdod, treiglo y ffordd ar y Arglwydd, bwrw y baich arno, nesau at Dduw; y mae geiriau fel yna yn dangos mawr-bwysigrwydd y gwaith o weddio. Pe siarad yn unig a fyddai gweddio, deuem trwy y gorchwyl yn hawdd; ond pechadur yn nesu at Dduw ydyw. Meddwl ystyriol o hyn a fyddai yn falasarn yn ein llestri, i'n cadw yn ostyngedig a theimladol. Mae y rhagrithiwr yn gweddio, ac yn hir weddio, ond arwynebol yw y cwbl; nid oes dim a fyno ei galon â Duw. Yr oedd Saul o Tarsis, pan yn Pharisead, wedi bod aml waith yn adrodd gweddiau, a llawer yn ei glywed; ond wedi ei droedigaeth, yr oedd ei fater wedi myned yn gwbl rhyngddo â Duw, a Duw yn unig yn ei glywed, 'Wele,' meddai yr Arglwydd, 'y mae yn gweddio.' Anystyriaeth o bwys gweddi yw yr achos fod rhai yn arfer rhyw hyfdra cnawdol wrth alw ar Dduw. Adnabyddiaeth ysbrydol o Dduw, ac o honom ein hunain, a wna i ni fyned ato 'gyda gwylder a pharchedig ofn;' a golwg ar Grist ar yr un pryd a wna i ni fyned mewn ffydd, heb ammeu dim.' Nid oes modd i ni anrhydeddu Duw heb weddio mewn ffydd. Pa anrhydedd i Dduw yw gweled dyn yn cordeddu geiriau mawrion, ac yn gwneyd llais nadu wrth weddio, a'i galon fel y gareg, a'i enaid heb ddysgwyl dim oddiwrth Dduw? Dylem ddysgwyl am fendithion gras yn hiraethlawn ac awyddus. Nid meddwl am eu cael mewn rhyw amser i ddyfod; nid oes genym sicrâad o ddim amser ond yr awr hon. 'Wele, yn awr yr amser cymeradwy.' Yn awr yw yr adeg i ofyn a derbyn. Y mae gweddiwyr Duw yn llwyddo wrth orsedd gras i gael digon i wynebu gorsedd barn. Mae adnewyddiad pob gras yn enaid y Cristion yn cael ei ddwyn ynmlaen trwy weddi.

Y mae testunau gweddi yn aneirif. Mae ein hanghenion ein hunain yn fynych ac yn amrywiol; ac os ydym yn gweddio yn gywir drosom ein hunain, y mae gofasgfa ar ein calonau yn achos rhai ereill. Y mae genym deuluoedd, perthynasau, cyfeillion, a chymydogion yn myned i'r farn, ac arwyddion ar lawer o honynt eu bod yn myned yno yn annuwiol. Ni charem eu gweled mewn blinderau mawrion yn y byd yma, ond beth am eu damnedigaeth bythol yn y byd a ddaw! A ydyw gwir ewyllys ein calon, a'n gweddi ar Dduw drostynt er iachawdwriaeth?

Sylwyd ychydig ar y ddyledswydd o weddio dros Lywiawdwyr gwladol. Y mae hyn yn orchymynedig yn Ngair Duw. 'Cynghori yr ydwyf am hyny, yn mlaen pob peth, fod ymbiliau, gweddiau, deisyfiadau, a thalu diolch dros bob dyn; dros freninoedd, a phawb sydd mewn goruchafiaeth; fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol, mewn pob duwioldeb ac onestrwydd. Canys hyn sydd dda a chymeradwy ger bron Duw ein ceidwad.' Rhydd y Bibl ddarluniad erchyll iawn o'r dynion sydd o dueddfryd gwahanol i hyn. Yr oedd rhai felly wedi ymlusgo i fysg crefyddwyr yn amser Pedr. 'Y rhai sydd yn diystyru llywodraeth; rhyfygus ydynt, cyndyn; nid ydynt yn arswydo cablu urddas; lle nid yw yr angelion, y rhai sydd fwy mewn gallu a nerth, yn rhoddi cablaidd farn yn eu herbyn hwynt ger bron yr Arglwydd.' Mae yr angelion yn adwaen y rhai sydd mewn urddas, ac yn gwybod am eu colliadau a'u pechodau yn y well nag y gŵyr dynion; ond y mae ganddynt gymaint o barch i osodiad Duw, fel na roddant gablaidd farn yn eu herbyn. Pa fath ddynion sydd yn gwneuthur hyny? Dynion sydd 'megis anifeiliaid anrhesymol, anianol, y rhai a wnaed i'w dal ac i'w dyfetha, a gablant y pethau ni wyddant oddiwrthynt, ac a ddyfethir yn eu llygredigaeth eu hunain.' Y mae eisiau i ni deimlo awdurdod Duw ar ein cydwybodau yn y mater hwn. 'Ni feiddiodd Michael yr archangel ddwyn barn gablaidd ar ddiafol.' Ni bu un Amherawdwr Paganaidd erioed cynddrwg â diafol; eto nid oedd yr archangel yn caru dwyn cablaidd farn ar hwnw, ond gadawodd rhwng Duw âg ef. Efe a ddywedodd, Cerydded yr Arglwydd dydi.' Yr oedd yr archangel yn hollol dda, a diafol yn hollol ddrwg: mae yn ein llywodraethwyr ni lawer o bethau da, ac y mae ynom ninnau lawer o bethau drwg; dylem ni, rai drwg, gyd-ddwyn a'n gilydd, a gweddio dros ein gilydd. Wrth geisio gweddio dros ein Brenines a'n Llywiawdwyr, bydd ein meddwl yn cael ei ddwyn i gydymdeimlo â hwy, yn lle eu collfarnau a'u difrïo. Y mae yn alarus fod cwmwl du wedi tywyllu rhai manau yn Nghymru yn ddiweddar; y mae yn drwm fod neb o'n cenedl ni wedi codi yn wrthryfelwyr yn erbyn y llywodraeth. Ond y mae yn hyfryd coffâu nad oedd un o aelodau y Methodistiaid Calfin-

aidd wedi ymuno â'r terfysgwyr. Paréed hyn yn goron ar ein Cyfundeb.

VI. Sylwyd ar Ddyledswyddau Rhieni tu ag at eu plant.

Nid digon yw i rieni crefyddol ddwyn eu plant i fynu yn y gymdeithas eglwysig; y maent i'w llywodraethu yn yr Arglwydd, ac i arfer eu hawdurdod tu ag atynt i'w meithrin yn ffyrdd crefydd. Daeth y farn ar Eli am na ddaliodd i fynu lywodraeth deuluaidd. Yr oedd yr Arglwydd yn canmol Abraham am ei ddyfalwch crefyddol gyda'i deulu. 'Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn, fel y dygo yr Arglwydd ar Abraham, yr hyn a lefarodd efe am dano.' Gwnaethpwyd Abraham yn dad y ffyddloniaid, ac y mae ei blant ysbrydol i ymdebygu iddo yn y mater hwn fel mewn pethau eraill.

Y mae llawer o rieni yn benderfynol am i'w plant wneuthur pob peth sy'n perthyn iddynt hwy, ond yn ddiofal am eu cael i ufuddâu i orchymynion Duw. Maddeuant yn nghynt iddynt am droseddu deddf Duw nag am dori rhywbeth o werth ceiniog. Y maent yn llywodraethu eu teulu yn rhwydd, efallai, ar ddyddiau yr wythnos, ond yn eu gadael yn ddilywodraeth ar ddydd yr Arglwydd. O! y fath les a wnaed yn y wlad pe ceid penau teuluoedd i'w lle, i ddal a defnyddio eu hawdurdod o blaid Duw a'i wirionedd! Melldith fawr i'r wlad yw gweled plant crefyddwyr yn troi allan yn gelyd ac yn annuwiol. Gadael y plant heb iau llywodraeth deuluaidd yw y ffordd i'w gwneyd, fel meibion Eli, yn feibion Belial, y rhai oeddynt y fath waethaf yn Israel. Y mae eisiau llawer o ddoethineb, a phob cysondeb, tu ag at lywodraethu yn deuluaidd. Gwelir y tad ambell ddiwrnod yn blentyn, a'r plentyn yn feistr arno; wedi rhoddi y llywodraeth i'w blentyn yn y dydd hwn, anhawdd fydd iddo ei chael yn ol y dydd canlynol. 'Yr hwn sydd yn llywodraethu, gwnaed mewn diwydrwydd.' Y mae addysg i fod yn gyssylltiedig â'r llywodraeth. Ni ddylid llywodraethu plant fel lywodraethu anifeiliaid. 'Yr ydym yn rhoddi ffrwynau yn mhenau y meirch, i'w gwneuthur yn ufudd i ni,' ond dylai plant gael eu haddysgu yn foesol a chrefyddol, yn ngwirioneddau, ac yn ol rheolau, Gair yr Arglwydd. Y mae ymddygiadau y rhieni i gydfyned a'u haddysgiadau, oblegid y mae esiamplau yn fwy effeithiol na geiriau. Dylai pob pen teulu ddywedyd fel Gedeon, 'Edrychwch arnaf fi, a gwnewch yr un ffunud.'

Sylwyd fod llawer o bobl ieuainc a fagwyd yn yr eglwys yr edrych yn ysgafn ar briodi rhai digred. Dylai rhieni crefyddol ddangos a dysgu i'w plant fod gwahaniaeth mawr rhwng dyn duwiol a dyn annuwiol, rhwng un wedi rhoddi ei hun dau iau Crist ac un yn sefyll mewn gwrthryfel yn ei erbyn; ac mai peth brawychus yw ymgysyllbu â gelynion Duw. Bydd y gwahaniaeth rhwng *freeholder* a llafurwr wedi darfod yn fuan; ond y gwahaniaeth rhwng credadyn ac anghredadyn a welir pan fo Iesu ar gymylau'r nef, ac a bery byth. Y mae rhyw bethau neillduol yn perthyn i blant credinwyr na pherthynant i blant anghredinwyr. Y mae Duw wedi rhoddi llawer o addewidion i'w bobl gyda golwg ar eu plant; a cheir gweled yn nydd y farn, wedi cael plant yr oesoedd at eu gilydd, fod Duw wedi sefyll at ei addewid. 'Byddaf yn Dduw i ti, ac i'th had.' Y mae cyfammod ac addewidion Duw i fod, nid yn esgus dros ein diogi, ond yn sail i'n gweddiau, ac yn annogaeth i'n hymdrechiadau. Y mae y llafurwr yn hau yn nghanol oerni y gauaf, oherwydd y mae cyfammod Duw â'r ddaear yn sicrâad am gynhauaf iddo; felly dylai rhieni crediniol fod yn ffyddlawn i gyflawni eu dyledswyddau at eu plant, gan ymddiried yn yr Hwn a ddywedodd, 'Tywalltaf fy Ysbryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth.'

Roger Edwards.

---

# COFNODAU CYMDEITHASFA DOLGELLAU.

## Hydref 21, a 22, 1840.

*Cadeirydd*, Y Parch. J. Hughes.

*Cyfarfod y Pregethwyr am* 10 *o'r gloch, Dydd Mercher, Hydref* 21.

Y materion dan sylw yn y Cyfarfod hwn oeddynt fel y canlyn:—

I. Beth yw ysbryd gweinidogaeth yr efengyl? neu beth yw y peth hwnw sydd yn hanfodol i gymhwyso gweinidogion yr efengyl i'w swydd bwysfawr?

Sonir yn fynych am ysbryd gweddi, ac felly y mae ysbryd y weinidogaeth yn bod, yr hyn sydd yn addasu y gweinidog i'w waith. Anhawdd dywedyd beth ydyw hwn ynddo ei hun, ond gallwn ei adnabod yn yr arwyddion o hono. Ni ellir dysgrifio bywyd y corff ond yn ei effeithiau, a chyffelyb ydyw ysbryd y weinidogaeth; ei weithrediad a'i dengys oreu.

Beth yw y weinidogaeth? Cyhoeddiad "bod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Beth yw ysbryd y weinidogaeth? "Acwedi gosod ynom ni air y cymmod; am hyny yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom

yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." Mae yn angheнrheidiol i weinidog yr efengyl ymwneyd â Duw ac â'r bobl. Ymwneyd â'r bobl yw y weinidogaeth, ac ymwneyd â Duw yw ei hysbryd.

Gallwn edrych ar bregethwyr yr efengyl mewn tri golygiad:—

1. Fel tystion dros Dduw, i dystiolaethu efengyl ei ras, i egluro ei wirionedd i'r byd.

2. Fel cenadau dros Grist at fyd colledig, i gyhoeddi trefn y cymmod.

3. Fel bugeiliaid ar eglwys Dduw, i arwain a phorthi praidd Crist.

Y mae y rhai a dderbyniasant ysbryd y weinidogaeth yn ymddwyn yn gyfaddas i'r cymeriadau yna. Pa fath un a ddylai tyst fod? Dylai fod yn gywir, gonest, a chadarn, yn gwybod yn sicr, ac yn dywedyd yn oleu. Dylai pregethwr ystyried ei fod ar ei lw na ddywedo ond yr hyn y mae Duw yn ei ddywedyd, ac na chuddio ddim o'i eiriau ef. Mae y cenadwr gwladol i ddal i fynu anrhydedd ei wlad, ac i fod yn egniol am lwyddo yn y neges yr anfonwyd ef o'i herwydd; felly y mae cenad dros Grist i ddyrchafu enw Crist, ac i ymawyddu am ennill pechaduriaid ato. Y mae bugail i fod yn amyneddgar, diwyd, a gwyliadwrus, ac felly y dylai gweinidogion y gair arfer pob dyfalwch gyda'u gwaith, a dangos mai ysbryd i borthi sydd ynddynt. Y mae rhywbeth neilldol yn ysbryd y weinidogaeth nad ydyw gan y saint yn gyffredinol: nid yw byth yn cael ei roddi i ddyn heb roddi y weinidogaeth gydag ef. Mae Duw yn gosod gair y cymmod yn yr holl rai y mae yn rhoddi gweinidogaeth y cymmod iddynt.

Y mae ysbryd y weinidogaeth yn un profiadol a phersonol. Ni all y pregethwr anmhrofiadol fod yn bregethwr ysbrydol. Rhaid i ni fod wedi derbyn y cymmod ein hunain, cyn y gallwn, yn ddiffuant ac yn effeithiol, alw eraill i gymmod. Nid oes bregethwr o anfoniad Duw, heb wybod am farw i'r ddeddf, a byw trwy ffydd Mab Duw. Y mae y gweinidog ffyddlawn a chywir yn dweyd wrth y bobl am golledigaeth a deimlodd ef ei hun, ac am iachawdwriaeth a brofodd ef ei hun. Nid yw yn son wrthynt am waredwr na welodd ei werth, nac yn eu galw i amddiffynfa na chafodd gysgod ynddi. Ni thâl i dyst, ddywedyd, Mi glywais ddweyd; ond y mae yn rhaid ei fod wedi gweled neu glywed ei hun. Y mae pregethu profiadol yn perthyn i ysbryd y weinidogaeth.

Y mae yr ysbryd hwn yn ysbryd cariad. "Y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." Y mae yr elfen hon yn llwyr angheнrheidiol i fod o fewn i ysbryd pregethwr; cariad at yr Hwn a'i hanfonodd, ac at y rhai yr anfonwyd ef atynt. Ysbryd ennillgar yw ysbryd cariad, Dyma oedd rhagorgamp Mr. Whitfield; un calon-gynhesol a serchiadol iawn ydoedd yn ei holl ymddygiadau.

Y mae yn ysbryd zel ac ymroddiad. Mae y rhai sydd yn ei feddu yn llawn awydd i ddyrchafu enw Duw fel Duw iachawdwriaeth. Amlygiad o drefn Duw yn cadw pechadur yw athrawiaeth yr efengyl, ac y mae Duw yn bwriadu cael mwy o glod oddiwrth y drefn hon nac oddiwrth bob peth arall. Y mae awyddfryd y gwir bregethwr am ddyrchafu Duw yn Nghrist; ei wir ddymuniad yw cael bod yn offeryn yn llaw yr Arglwydd i lydaenu ei ogoniant.

II. Pa fodd y mae i ni amcanu at fod yn fuddiol trwy bregethu?

Tu ag at bregethu yn fuddiol y mae yn rhaid "iawn gyfranu gair y gwirionedd." Dylid rhanu y gwrandawyr wrth bregethu, a dangos fod yno ddau gyflwr gwahanol, gan roddi i bob un ei gyfran ei hun. Efallai fod yr ymadrodd "iawn gyfranu," neu iawn ranu, yn cyfeirio at ddull yr offeiriad Iuddewig yn difynio yn aberth, ac yn gwahanu pob rhan yn ol y cysylltiadau. Gwaith manwl yw trin gair Duw yn iawn. Y mae rhai yn anerch eu gwrandawyr yn fwy fel dynion nag fel dynion wedi cwympo. Cyfarchant y creadur, a gadawant y pechadur o'r neilldu. Dylid cofio fod yr efengyl wedi ei rhoddi i ddynion fel colledigion, ac mai fel y cyfryw yn unig y mae arnynt eisiau Ceidwad.

Nid oes modd pregethu yn fuddiol heb bregethu yn eglur. "Egluráu y gair trwy bregethu." Dylid pregethu yn iaith y bobl, ac arfer eu dulleiriad hwy cân belled ag y byddo yn weddaidd: llefaru "nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glan." Y mae Dr. Owen yn sylwi mai yr achos o ddull tywyll o bregethu, yw fod y pregethwr heb weled yn iawn. Yr hwn sydd yn gweled yn egluraf a lefara yn egluraf. Nid oes arnom eisiau pethau dyeithr i'w cyhoeddi, na dull dyeithr i adrodd y pethau sydd genym. Y mae dynion cyffredin heb ddechreu meddwl dim, yn cymeryd yn ganiatäol fod pob peth yn iawn fel y'u dysgwyd; mae y rhai sydd yn dechreu chwilio i bethau, yn fynych yn cymeryd yn ganiatäol eu bod wedi dysgu yn gyfeiliornus, ac ar ymddiosg o'u cyffes; ond y mae rhai sydd wedi iawn astudio, yn dychwelyd yn ol i'r man yr oeddynt yn dechreu, at yr hen wirioneddau yn mha rai y mae bywyd ysbryd y credadyn.

I fod o les wrth bregethu, dylai pregethwyr ddeall pa le y mae y bobl; mae o bwys mawr fod eu llygaid ar syniadau y genedl, ar agwedd y wlad, fel y byddont yn anelu yn deg yn erbyn y pechodau y mae y bobl yn ymdroi ynddynt, ac yn eu hela allan o'u holl lochesau gau. Mae angheнrhaid wedi ei ddodi ar bregethwr i rybuddio y drygioni us. "Ti annuwiol, gan farw y byddi farw;" dyna ddweyd eglur iawn, a phwysig iawn. Y pwnc mawr i bregethwr, ydyw, beth yw ei ddyledswydd dros Dduw at y bobl. Cenadwr ydyw dros Dduw, ac nid dros y bobl; nid ydyw i foddio archwaeth y bobl, ond i

ddal ochr Duw i fynu; dylai yn onest gymhwyso gwirioneddau Duw at sefyllfa yr oes.

Y mae ysbryd llafur yn gwbl angenrheidiol at weinidogaeth effeithiol. Heb astudrwydd llafurus, mae y weinidogaeth yn sicr o rydu yn meddyliau y pregethwyr, ac o ysgogi yn rhydlyd yn y cyhoedd. Y mae eisiau myned a'n crymanau bylchog yn aml at y maen llifo. Dylid darllen llawer iawn ar y Bibl mewn agwedd weddiol. Dyma y llafur sydd yn debyg o droi allan yn fuddiol; ymdrech yr enaid o flaen gorsedd gras am adnabod meddwl Duw yn ei air, ac am bob cymhorth i draethu y meddwl hwnw.

III. Yr anghenrheidrwydd i bregethwyr ymddwyn yn mhob man yn addas i'r weinidogaeth.

Gan eu bod yn lle Crist, dylent fod yn mhob man yn debyg i Grist, mewn purdeb, ac mewn daioni.

Gwerthfawr yw gweled pregethwr yn gadael arogl hyfryd ar ei ol yn y teiau y bu. Mae rhai yn methu trwy fod yn rhy ysgafn yn eu hymddyddanion. Nid oes modd bod dyn yn sobr iawn yn y pulpud, ac yn gellweirus iawn wrth y pentan. Y mae eraill yn dueddol i fod yn rhy *peevish*, ac i ymddangos fel pe na byddai dim wrth eu bodd. Dylem ymdrechu am ymddwyn yn wastad mewn "mwyneidd-dra doethineb." fel na rodder iselâad o'u herwydd ar y weinidogaeth

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

1. Penderfynwyd newid diwrnod ar Gymdeithasfa ABERGELE. Yn lle Ionawr 5, 6, a 7fed, cynnelir hi Ionawr 6, 7, a'r 8fed, 1841.

Ceir gwybyddiaeth am le ac amser Cymdeithasfa Chwarterol Sir Drefaldwyn yn Nghyfarfod Abergele.

Cymdeithasfa y BALA i fod Mehefin 15, 16, a 17, 1841.

2. Coffäwyd am y casgliad at adeiladu capel Birmingham, a'r casgliad at gapel Dublin.

3. Penderfynwyd gwneuthur Casgliad Cenadol mor egnïol ag y gellir yn y flwyddyn hon, a'i fod i'w ranu o dan olygiaeth y Gymdeithasfa. Y lleoedd a fyddo yn dymuno neillduo eu cyfraniadau at y Gymdeithasfa Genadol Gymreig, neu sefydliadau penodol eraill, i hysbysu hyny wrth anfon eu casgliadau neu eu cyfrifon i mewn. Y Casgliadau, neu gyfrif o honynt, i'w hanfon i Gyfarfod Abergele.

Penderfynwyd fod i Gyfarfod Neillduol gael ei gynnal yn NINBYCH, Ionawr 4 a 5ed, 1841, i olygu yr achos Cenadol; y Siroedd yn eu Cyfarfodydd Misol i ddewis eu Cynnrychiolwyr i ymgyfarfod yno.

Adroddwyd hysbysiad a dderbyniwyd oddiwrth Gyfarwyddwyr y Gymdeithas Genadol Gymreig, fod y brawd THOMAS JONES a'i briod, yn cychwyn ar eu mordaith i India ar neu oddeutu y 6ed o Dachwedd; a dymunwyd ar i'r Eglwysi eu rhoddi yn neillduol i ofal Duw ar y nos Lun cyntaf o'r mis nesaf.

4. Rhoddwyd adroddiad cysurus gan amryw o frodyr am yr adfywiad crefyddol sydd yn Sir Feirionydd yn y dyddiau hyn. Hysbyswyd fod chwanegiadau mawrion at amryw o eglwysi, hen wrandawyr moesol wedi dyfod yn bechaduriaid mawr yn eu golwg eu hunain, ac arwyddion fod Duw yn achub plant yr eglwys. Mynegwyd fod yr adfywiad yn cael ei ragflaenori gan y Gymdeithas Ddirwestol, cyfarfodydd gweddiau, a thaliad dyled y Capeli.

Crybwyllwyd hefyd am yr arwyddion gobeithiol y sydd fod crefydd yn ymlydaenu yn mysg morwyr Cymru, a bod hyny yn annogaeth i weddio drostynt. ac i ymdrechu yn eu hachos.

5. Chwanegwyd rhai o bob Sir yn Ngwynedd at nifer Cyfarwyddwyr Athrofa y Bala; a phenderfynwyd cyhoeddi Anerchiad, yn Gymraeg ac yn Saesonaeg, ar ran yr Athrofa.

(I'w orphen yn yr Attodiad.)

---

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### LLYTHYR O BIRMINGHAM.

MR. CYHOEDDWR—Llonwyd fy meddwl yn fynych wrth weled yn y Drysorfa hanes dechreuad a chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd mewn amryw fanau. Mynych ofnais mai hanes am eu dechreuad a'u diwedd fyddai raid anfon o Birmingham. Ond y mae yr addewid a wnaed yn Nghymmanfa Pwllheli yn cryfhau fy ngobaith nad felly y bydd. Ac yr ydwyf wedi cael prawf y cawn fwy o gynnorthwy nag a addawyd o rai manau os nad o bob man.

Mae y brodyr yn Manchester wedi rhoi mwy na chwe cheiniog bob un. Casglwyd yno ar y Sabbath, Tach. 8fed, £14 8s. 0½c. ac nid oes yno iawn 500 o aelodau Eglwysig. Y mae yn hawdd addaw ceiniog, ac y mae yn hawdd ei thalu; ond cryn drafferth sydd i'w cael ynghyd o'r gwahanol Eglwysi; dymunir yn ostyngedig ar i bob Cyfarfod Misol yn Ngwynedd i anfon eu casgliad i Gymmanfa Abergele. Ac fe fydd Mr. Price yno yn eu derbyn.

Y mae yr ychydig frodyr sydd yma yn gweithio yn dra egniol, wedi clywed y gwna pob aelod Eglwysig yn Nghyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd roi ceiniog yr un i'w cynnorthwyo. Y maent yn bwriadu casglu yn eu plith eu hunain oddeutu £70; ac y maent yn dra hyderus, pan ddel y casgliad ynghyd o chwe Sir Gogledd Cymru, a threfydd Lloegr, y bydd ganddynt ddigon i dalu am adeiladu eu capel. Ac fe fydd yn werth mwy na cheiniog gan bob brawd a chwaer glywed fod gan yr hwn a dalodd eu dyled â'i waed dŷ yn Birmingham heb ddim dyled arno.

BRAWD O BIRMING[HAM]

O.Y. Os bydd neb yn ewyllysio ymofyn am ansawdd yr achos yn Birmingham, gallant anfon at Mr. E. Price, 113, Pope-street, Birmingham.

## CYMMANFA ABERGELE.

Syr—Nid wyf yn cofio weled o honof nodiad ar amser ein Cymdeithasfa ni yn y Drysorfa.

Y mae i fod ar y 6, 7, a'r 8fed o Ionawr, 1841, yn y drefn ganlynol:—

6ed, Cyfeisteddfod y Siroedd, am 3 o'r gloch; a dwy bregeth am 6.

7fed, Cyfarfod y Pregethwyr a'r Henuriaid am 10; Cyfarfod i Athrawon yr Ysgolion Sabbathol am 2; Dwy bregeth am 5.

8fed, Pregethau am 6 y boreu; Cyfarfod Pregethwyr a Henuriaid am 8; a Phregethau wedi hyny yn ol y drefn arferol.

Darperir Tocynau mewn pryd i'w trefnu i bob man cyfagos, &c. fel y gallo y rhai sydd yn Athrawon ac Athrawesau gael dyfod i'r Cyfarfod Athrawon. A dymunir ar y rhai a'u caffont eu dosparthu yn gydwybodol; a gwybydder na ollyngir neb i mewn ond trwy fod ganddo un o honynt.—Yr eiddoch, JOHN FFOULKES.

*Abergele, Tach.* 12, 1840.

## AGORIAD CAPELI.

CWYNAI un o'ch Gohebwyr yn ddiweddar na chawsoch hanes agoriad Capeli Rhosesmor a Phentre Helygeu, yn Sir Fflint, a thu ag at wneud y diffyg i fynu anfonais i chwi yr hyn a ganlyn.

Agorwyd Capel Rhosesmor ar y 15fed a'r 16eg, o Hydref, 1838, lle yr oedd amryw o Weinidogion o Ogledd a Deheudir Cymru yn pregethu ar yr achlysur. Yr ydoedd Addoldŷ lled helaeth yno o'r blaen, ond cafwyd digon o achos i'w wneuthur yn fwy. Casglwyd ar amser ei agoriad £81 2s. 1g. a bu ffyddlondeb mawr yno; a chynnydd ar ol hyny.

Agorwyd Capel Pentre Helygen ar y 23 a'r 24 o Fehefin diweddaf; a thraddodwyd pregethau rhagorol, yn Saesneg a Chymraeg, ar yr achlysur. Casglwyd y diwrnod hwnw £22 7s. 3½c. a mawr fu y ffyddlondeb a ddangoswyd. Mae yno lwyddiant mawr yn y canlyniad. Mae yr Ysgol Sabbothol wedi ychwanegu dros gant.——A dalfyrwyd o Lythyr JOSEPH BOWEN.

## CYMDEITHASFA ABERGWAUN.

Cynnaliwyd y Gymdeithasfa Chwarterol hon Hydref 12, 13, a 14, 1840.

Nos Lun, Hydref 12fed, yn y capel, gweddiodd Mr. Robert Hughes, Sir Gaernarfon; a phregethodd Mr. John Walters, Ystrad-Gynlais, oddiar Col. 1. 12, a Mr. J. Jones, Llanllyfni, oddiar Rhuf. 12. 11.

Am 3, dydd Mawrth, ar yr heol, gweddiodd Mr. Daniel Evans, Capel y Drindod; a phregethodd Mr. Roger Edwards, Wyddgrug, oddiar Phil. 1. 5, a Mr. John Jones, Llanllyfni, oddiar 1 Bren. 18. 21.

Am 6, yn nghapel yr Anymddibynwyr, gweddiodd Mr. Thomas Rowlands, Sir Gaerfyrddin; a phregethodd Mr. Daniel Evans, Capel y Drindod, oddiar Luc 24. 26. Ar yr un amser, yn nghapel y Bedyddwyr, gweddiodd Mr. E. Jones, Llangeitho; a phregethodd Mr. John Prytherch, o Fon, oddiar Ps. 57. 3.

Am 6, yn nghapel "Goodie," gweddiodd Mr. Thomas Davies, Sir Gaerfyrddin; a phregethodd Mr. William Lewis, Llaneirwg, oddiar Luc 18. 13, a Mr. W. Morris, Sir Gaerfyrddin, oddiar Gal. 1. 4

Boreu ddydd Mercher, am 6, yn y capel, gweddiodd Mr. William James, Castellnedd, a phregethodd Mr. John Bowen, Llanelli, oddiar 2 Cor. 5. 1, a Mr. Daniel Evans, Harlech, oddiar Diar. 20. 9.

Am ddeg, ar yr heol, gweddiodd Mr. R. Hughes, Sir Gaernarfon; a phregethodd Mr. D. Howells, Caerfyrddin, (yn Saesneg) oddiar Actau 28. 30, a 31, a Mr. J. Jones, Llanllyfni, oddiar Phil. 2. 13.

Am 2, yn yr un lle, gweddiodd Mr. Rees Phillips, Llanymddyfri; a phregethodd Mr. William Evans, Tanyrefail, oddiar Ps. 51. 3, a Mr. John Prytherch, o Fon, oddiar 1 Sam. 12. 24.

Am 6, yn y capel, gweddiodd Mr. John Rees, Tregaron; a phregethodd Mr. John Jones, Llambed, oddiar Gen. 45. 28, a Mr. William Havard, oddiar Diar. 4. 23.

*Tŷ Ddewi.* E. WILLIAMS.

## HANESION TRAMOR.

### NEW ZEALAND.

Mae yn dda genym ddeall fod llywodraethiad y ddwy ynys fawr hyn wedi ei drosglwyddo i law Brydain, trwy gyttundeb diweddar a wnaed rhwng y Penaethiaid a llywodraeth y deyrnas hon. Bydd hyn yn agoriad drws helaeth i roi addysg i'r trigolion anwybodus ac anwâr hyny, ac i anfon yr efengyl i'w mysg.

### FFRAINC.

Mae Brenin y Ffrancod wedi newid Swyddogion y Wladwriaeth. Mae y Prif Swyddog M. Thiers allan o Swydd; ac mae y Cadlywydd Soult wedi cael ei osod yn Arglwydd y Cynghor, ac yn Ben Swyddwr Rhyfel—a M. Guizot yn Swyddog yr Achosion Tramor. Felly y mae llywodraeth Ffrainc yn debyg o gadw undeb heddychlawn â Brydain Fawr fel o'r blaen. Gelwir y Swyddogaeth newydd yn Swyddogaeth Soult-Guizot.

### SYRIA.

Parhau y mae y rhyfel yn Syria. Ond mae y cynghreirwyr yn ennill bob brwydr. Ynfydrwydd i'r radd eithaf yw i Lywydd yr Aipht geisio dal her yn erbyn Cyng-

reirwyr cryfion Brydain, Prwssia, Rwsia, ac Awstria. Diau fod Ibrahaim Pacha yn rhyfelwr dewr iawn, a'i filwyr yn lliosog a rhyfelgar, ond beth er hyny, pan fyddo cynnifer i'w erbyn. Mae efe yn awr yn casglu ei fyddinoedd i Damascus, yr hen brif ddinas fu yn enwog gynt; ac mae yn debygol mai yno y bydd yr ymgyrch gwaedlyd nesaf. Gwyr ein darllenwyr, gan mwyaf, mai dyben y Cyngreirwyr yw dwyn Syria yn ol dan lywodraeth y Twrc, gan farnu mai trwy ormes a gorthrech yr ennillodd llywydd yr Aipht hi oddiarno ef.

YSPAEN.

Mae pethau yn dyfod i well trefn yn yr Yspaen, ar ol troi mam y Frenhines o'i Swydd o lywyddu y Wladwriaeth dros ei merch pan y mae hi dan oed. Bernir ei bod hi yn gorthrymu y deiliaid yn dost. Mae y llyw yn llaw y Penrhyfelwr Espartero yn awr. Gobeithir y bydd efe yn ffyddlawn i'w Frenhines, megis y bu hyd yma. Mae efe wedi bod yn brif offeryn i waredu y Frenhines a'i theyrnas o law y gwrthryfelwr, ei hewythr, Don Carlos. Yn awr y mae llonyddwch yn y wlad derfysglyd hono.

CHINA.

Mae newyddion wedi cyrhaeddyd y deyrnas hon o China bell. Mae lluoedd o'n Llongau rhyfel o bob math wedi cyrhaeddyd hyd yno, o Frydain ac o'r India ddwyreiniol. Mae rhai o honynt yn gwarchae ar borthladd y ddinas fawr, boblogaidd, a masnachol, Canton; ac mae ereill wedi myned ymlaen dan lywyddiaeth y Cadpen Elliott, i gymmeryd meddiant o'r Ynys a elwir Chuson, lle y gall ein Llynges a'n milwyr ymgartrefu ar gyffiniau China fawr. Fe gafwyd allan ystryw dinystriol yn y Chineaid; hwy ddodasant wenwyn marwol yn gymmysg a'r tê, ac a'i gwnaethant i fynu mewn cistiau bychain ac a anfonasant ddynion, y rhai a gymmerasant arnynt eu bod yn ei *smugglio* i'w werthu yn ddirgelaidd i'n llongwyr, i'r dyben o'u lladd hwynt. Ond trwy diriondeb rhagluniaeth Duw fe'i cafwyd allan cyn ei ddefnyddio. Ac yn rhyw fodd, y Chineaid eu hunain a yfasant gryn lawer o hono yn ddiarwybod; a bu feirw amryw o honynt. 'Cloddiodd bwll,' eb y Salmydd am y drygionus, 'syrthiodd yn y ffos a wnaeth.' Mor wir yw gair yr Arglwydd!

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### LLYFRGELL YR ATHROFA.

(Parhad o du dal. 351.)

Gan y Parch John Roberts, Lle'rpwll.

- Holl waith Dr. Chalmers, 18 Cyfrol
- Bridges' Christian Ministry, 1 Gyfrol
- Macgill's Lectures on Rhetoric, 1 Gyfrol

Gan Mr. D. Davies, Seel Street, Lle'rpwll.

- Thesaums Græcæ Lingua, by Robertson, 1 Gyfrol
- Ewing's English and Greek Lexicon, 1 Gyfrol
- Exempla Moralia, 2 Gyfrol
- Robertson's Historical Disquisition concerning Ancient India, 1 Gyfrol
- Camden's Greek Grammar, 1 Gyfrol
- Newton's Hebrew Grammar, 1 Gyfrol
- Synopsis Communium Cocorum, 1 Gyfrol
- Huntingford's Introduction to Greek, 1 Gyfrol
- Abridgment of Paley's Evidences of Christianity, 1 Gyfrol
- Exercises to Latin Prosody, 1 Gyfrol
- Adam's Lectiones Selectæ, 1 Gyfrol
- Valpy's Greek Grammar, 1 Gyfrol
- Valpy's Elegantia Latina, 1 Gyfrol
- Cornelius Nepos, 1 Gyfrol
- Aldrich's Arshogica, 1 Gyfrol

Gan Mr. Samuel Davies, Paradise Street, Lle'rpwll.

- Playfair's System of Geography, 6 Cyfrol

Gan Mrs. Jones, Bedford Street, Lle'rpwll.

- Newton's Dissertation on the Prophecies, 2 Gyfrol
- Clarke's Homer, 2 Gyfrol
- Virgil (Delphini), 1 Gyfrol
- Collectanea Græca Majora, 2 Gyfrol
- Homer, 1 Gyfrol
- Dunbar's Greek Exercises, 1 Gyfrol
- Collectanea Græca Minora, 1 Gyfrol
- Xenophon's Cyropædia, 1 Gyfrol
- Voyage de Anacharsis, 1 Gyfrol
- Goldsmith's History of Greece, 1 Gyfrol
- Goldsmith's History of Rome, 1 Gyfrol
- Levizac's French Grammar, 1 Gyfrol
- Recueil Choisi, 2 Gyfrol
- Fenelon's Telemaque, 1 Gyfrol
- Novelle Morali, 1 Gyfrol
- Murray's English Grammar, 1 Gyfrol
- Bonnycastle's Mensuration, 1 Gyfrol
- Decerpha ex Ovidii Mataph: 1 Gyfrol
- Tate's Greek Grammar, 1 Gyfrol
- Horace (Latin), 1 Gyfrol
- Terentii Comœdiæ, 1 Gyfrol
- Horace (Delphini), 1 Gyfrol
- Cæsar (Latin), 1 Gyfrol
- Latin Grammar, 1 Gyfrol
- Christianæ pietatis prima Institutio, 1 Gyfrol
- La Henriade de Voltaire, 1 Gyfrol
- Hunter's Livy, first 5 Books, 1 Gyfrol
- Ewing's Rhetorical Exercises, 1 Gyfrol

Gan Mrs. Catharine Griffiths, Cerrig-y-druidion.

- West on the Resurrection, 1 Gyfrol
- Butler's Lives of the Fathers and Martyrs, 1 Gyfrol
- Williams' Discovery of America, 1 Gyfrol
- Life of Sir Richard Whittington, 1 Gyfrol

Gan Mr. CADWALADR LLOYD, Llanfihangel

Jourdain's Melanges Historiques, 1 Gyf.

Gan y PARCH JOHN PARRY, Caerlleon.

German Grammar, 1 Gyfrol

Gan MR. RICHARD HUGHES, Gwrecsam.

Dawson's Greek Lexicon, 1 Gyfrol
Greek Testament, 1 Gyfrol
Greek Grammar, 1 Gyfrol

Gan MR. R. SAUNDERSON, Ieu. Bala.

Jenning's Jewish Antiquities, 1 Gyfrol

Gan MR. ROBERT MICHAEL ROBERTS, Bala.

Cruttwell's Concordance, 1 Gyfrol
Burkitt on the New Testament, 1 Gyfrol

Gan MR. J. MILLS, Llanidloes.

Grammadeg Cerddoriaeth, 1 Gyfrol
Hyfforddwr yr Efrydydd, 1 Gyfrol

Gan y PARCH J. JONES, Borth, Swydd Aberteifi.

Homer's Iliad (Greek) 1 Gyfrol

*(I'w barhau)*

---

Y FRENHINES VICTORIA.

DYDD Sadwrn, Tachwedd 21, ddeng munud cyn dau ar gloch brydnawn, esgorodd y Frenhines yn llwyddiannus ar Dywysoges yn Llys Buckingham; yr hyn a barodd lawenydd mawr yn Llundain, a thrwy yr holl deyrnas. Saethwyd y Magnelau mawrion; a chanwyd y Clychau, &c. Mae yn hyfryd genym hysbysu fod y Rhadlonaf Fam, a'r Ferch fach, yn parhau i ddyfod ymlaen yn dda ragorol. Yr oedd y Frenhines mor iach a heini, fel yr oedd hi allan yn rhodio gyda'r Tywysog Albert yn Ngerddi Llys Buckingham brydnawn y dydd Gwener blaenorol. Mae Arch-Esgob Canterbury wedi parottoi ffurf o ddiolchgarwch i'w harferyd yn yr holl Eglwysydd drwy yr holl Deyrnas am yr ymwared a gafodd ein Brenhines yn y tro.

---

LLADRON, LLADRON!—Ar foreu dydd Mawrth, Tachwedd 17eg, torwyd tŷ Mrs. Roberts, gweddw y diweddar R. Roberts Ysw., Rhiwarth, Llangynog, Swydd Drefaldwyn, a lledratawyd, rhwng arian, llestri arian, dilladau, a phethau gwerthfawr eraill, werth oddeutu triugain punt. Cymerais yr hanes o enau Mrs. Roberts ei hun, fel y canlyn:—Yr oedd y gwynt mor ystormus nos Lun, fel na chysgodd Mrs. Roberts na'i morwyn, Mary Humphreys, (yr hon sydd oddeutu 70 mlwydd oed.) Oddeutu tri o'r gloch y boreu, clywent y ci mawr oedd gyda hwynt yn yr ystafell yn chwyrnu; ar hyny clywent swn tori y to uwch eu penau; wrth draed gwely Mary Humphreys gwelent dwll yn y to, a dyn yn ceisio ymwthio drwodd. Ar hyn cododd Mary Humphreys, gan annog y ci, pan y ceisiwyd ei frathu â phigfforch. Ymafiodd Mary yn mhigau y bigfforch, nes daeth y pigau yn rhydd o'r coes; gwnaeth hithau ddefnydd o honynt i'w gyru i wddf y lleidr. Ar hyn dyma ddyn arall yn ceisio ei brathu hithau â phigfforch arall; hithau a ymafiodd yn hono, a daeth y pigau yn rhydd fel y llall. Yna daethant oll (tri o nifer), wedi duo eu hwynebau, i mewn, a tharawsant Mary Humphreys nes oedd yn annheimladwy ar lawr. Yr oedd Mrs. R. ar y pryd ar y grisiau yn gwaeddi "*murdwr!*" a phan welodd ei hen forwyn wedi ei lladd, a'r ci hefyd yr un modd (yn ei meddwl), hi a aeth i'r *cellar*, ac a ymguddiodd. Daeth M. H. ati ei hun, a gwelai y tri wedi goleu eu canwyllau, yn tori ei chist ddillad. Gofynasant iddi pa le yr oedd ei meistres; dywedai, na wyddai. Un o honynt a'i tarawai â choes y bigfforch ar ei phen, nes oedd fel o'r blaen, ar lawr yn haner marw. Yna aethant i chwilio am Mrs. R., a chawsant hi yn y *cellar;* parasant iddi ddyfod oddiyno er iddynt eu lladd. Aethant a hi i'r gegin, a chymerasant y *poker*, gan ddangos iddi y modd y curent hi, drwy daro y bwrdd, a'i ergydio, fel y gwnaed ef yn ddarnau man! Dywedasant y byddai raid iddi ddangos ei harian iddynt cyn ei lladd. Yna daeth Mary Humphreys i lawr o'r llofft, a cheisiodd am y drws; un o honynt a ddywedai, "Mae byw rhyfedd yn yr hen dd—l yma: hi a'm brathodd i â'r bigfforch;" ar hyny tarawodd hi â'i ffon ar ei chlust nes oedd i lawr, a'i gwaed yn llifo. Yna aethant i'r llofft, ac ar ol cymeryd yr holl arian, dillad, llwyau arian, a phob peth gwerthfawr, dywedasant, "Mae un *job* etto, sef eich lladd eich dwy. Dowch, *madam*, tynwch eich modrwy aur." Cychwynent dori ei bys; hithau a ymbiliodd am iddi gael ei thynu ei hun. Gofynasant iddi am *watch* ei gwr; hithau a wiriodd nad oedd ganddi. Yna dywedasant ei bod yn wirion iawn i gadw y fath gi mor ddiddefnydd; a gwedi llawer o wawdiaith farbaraidd arall, aethant allan â'u beichiau ar eu cefnau, gan geisio eu cloi yn y tŷ. Yr oeddynt wedi gadael eu pigffyrch ar eu hol, a ffon fawr, (pa rai sydd o dan fy ngofal.) Bu tri dyn o'r fath mewn tŷ bach, yn agos i Mrs. R. ddydd Sadwrn, yn holi am Mrs. R., ac yr oedd y ffon uchod ganddynt. Mae pob ymchwil yn cael ei wneud am y fileiniaid.

SAMUEL EVANS, *Constable.*

Mae cyrchu o bob cwr i edrych am Mrs. R., canys nid oes ei gwell wrth y tlodion, a phob caredigwydd i bawb. Y noson ganlynol, Tachwedd 18fed, bu tri o ddynion wedi duo eu hwynebau yn ceisio tori amrai dai annedd yn agos i'r Bala; ond yr oedd y bobl yn rhy effro, ni wnaethent niweid. Cododd y gymmydogaeth fel un gwr i'w herlid; dranoeth daliasant hwy, ond methwyd cael prawf boddhaol i'w carcharu.

S. R.

X Thomas Jones ...

# ATTODIAD I'R DRYSORFA.

RHAGFYR 15, 1840.

## Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

### At Olygydd y Drysorfa.

Fy hoffus gyfaill.—Ar ol y crybwylliad a wnaethum yn fy llythyr diweddaf y'nghlych y cyfarfod a gynaliwyd yma y 4ydd o Dachwedd, i dderbyn cyfarchiad ymadawol ein brawd Thomas Jones, diammheu genyf y bydd eich darllenwyr yn gyffredinol yn dysgwyl gweled rhyw adroddiad am y dull y treuliwyd y cyfarfod hwnw; a byddaf yn ddiolchgar, gan hyny, os caniatewch i'r hanes canlynol (yr hwn sydd ddyfyniad o lythyr at gyfaill) ymddangos yn yr Attodiad nesaf i'r Drysorfa.

Garedig Frawd,

Mewn atebiad i'ch holiadau o barth ein cyfarfod cyhoeddus, y mae'n ddywenydd mawr genyf eich hysbysu iddo fod yn gyfarfod tra rhagorol. Siomwyd ni gan rai o'r brodyr a ddysgwylid genym, ond daeth ein Meistr mawr ei hunan atom, a chawsom arwyddion amlwg a boddaol iawn ei fod yn foddlon i'n cynulliad. Addefwyf fod hyn yn beth mawr i'w ddyweyd; a gwyddoch fy mod i bob amser yn lled hwyrfrydig i benderfynu, oddiar ryw deimladau hyfryd a gaffwyf mewn cyfarfodydd crefyddol, fod yr Arglwydd yn rhoi ei bresennoldeb a'i gymhorth grasol ynddynt. Ond nid oes dim petrusder ynof wrth ddyweyd felly am y cyfarfod diweddar; ac ni chyfaryddais etto â neb a fu ynddo a deimlai unrhyw ammheuaeth ar y mater. Yr oedd pob congl o gapel *Rose Place* yn llawn; a deallwyf fod llawerodd wedi gorfod myned ymaith heb allu dyfod i mewn. Buom yno am agos i dair awr a hanner, ac er mor annghysurus ydoedd gan maint y tyndra a'r gwres, arosodd y dorf fawr yn siriol yn eu lleoedd, a gellid meddwl, wrth edrych arnynt, eu bod oll o galon yn cyd ddiolch â'n brawd Mr. Hughes yn niwedd y cyfarfod, am yr arwyddion y gwelodd yr Arglwydd yn dda eu rhoi o'i bresennoldeb a'i foddlonrwydd. Buasai yn dda genyf pe buasai holl wrthwynebwŷr ein Cymdeithas wedi dyfod yno, canys nid wyf yn meddwl y clywsid neb o honynt yn dyweyd gair yn ei herbyn byth yn rhagor.

Dewiswyd y Parch. R. Williams yn Llywydd i'r cyfarfod, a dechreuwyd trwy ganu rhan o'r Emyn ganlynol, ar y dôn *Calcutta*;—

Am efengyl y tangnefedd,
A'i newyddion hyfryd hi,
Y dyrchafwn lais clodforedd,
Ac y cyd folianwn ni,
Mawl diddiwedd.
Fyddo, Arglwydd Ior, i ti.

Dros y cefnfor maith prysured,
Ffyddlon weision Brenin nef;
Buan trwy'r holl ddaear eled,
Hyfryd-lais efengyl gref;
A chroesawed
Pawb yn llon ei pheraidd lef.

Bydded llwydd i weinidogaeth
Holl genadau Iesu mâd,
Sy'n cyhoeddi gwaredigaeth
I golledig ddyn, yn rhad;
Iachawdwriaeth
Fyddo'n adsain trwy bob gwlad.

Treiddied sain efengyl Iesu
I bob ardal is y nen;
Doed y bobloedd i'w broffesu
Fel eu Ceidwad, fel eu Pen;
A'i gyffesu
Ef yn Arglwydd byth, Amen.

Yna darllenodd y Parch. John Parry, Caer, Esaia xi. gan wneyd sylwadau difyrus a buddiol wrth fyned yn mlaen; ac ar ol iddo ef weddio, agorwyd y cyfarfod gan y Cadeirydd, yr hwn a ddywedai fod arnom eisiau rhyw *enneiniad* mewn cyfarfod o'r fath hwn, a chynghorai ni i weddio am y peth y crybwyllasai Mr. Parry oedd yn gorphwys yn ddifesur ar y Pen mawr, sef yr Ysbryd Glan, yn "ysbryd doethineb a deall, ysbryd cynghor a chadernid, ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd." Y mae amryw (eb efe) wedi danfon symiau o arian i ddwyn achos y Gymdeithas yn mlaen, a da iawn genym gael hyny; ond gadewch i ni ofyn yn gyntaf am yr enneiniad; os cawn ni gymhorth i weddio am hyn, bydd yn rhyw ernes i ni y llwydda'r Gymdeithas, ac yr â achos yr efengyl yn mlaen, nes y bo gwybodaeth gogoniant yr Arglwydd yn llenwi'r ddaear, fel y toa y dyfroedd y môr.

Wedi darllen enwau y swyddogion,* gal-

* Nid oes genym le yn y rhifyn hwn i restr y swyddogion; caiff ymddangos yn y nesaf.

wyd ar y Parch. Ellis Phillips i'w cynyg i gymeradwyaeth y cyfarfod. Galwai ef ein sylw at ein dyledswydd tuag at yr achos Cenadol, a dywedai fod y ddyledswydd hon yn dwyn perthynas â phob un sydd yn clywed yr efengyl, yn enwedig y rhai sydd wedi enwi eu hunain ar enw'r Arglwydd Iesu. Efe oedd y Pen-cenadwr mawr, ac ordeiniodd ef i'w eglwys fod yn eglwys genadol, i fyned allan i'r holl fyd, a dysgu'r holl genedloedd. Y peth cyntaf y gelwir am dano, wrth ddechreu Cymdeithas fel hon, yw eich gweddi daer ar yr Arglwydd ar yr achos. Achos teilwng iawn ydyw; achos Mab Duw trwy'r holl fyd; ac wrth weddio yn yr achos hwn, nid am beth personol yr ydym yn gweddio, ond dros holl eglwys Dduw: a gweddio yr ydym am beth na ddylai fod dim ammheuaeth ynom y cawn ein gwrando, oblegyd y mae Mab Duw wedi rhoi ei einioes dros ei eglwys, ac y mae Duw trwy rinwedd yr aberth hwnw yn barod i wrando'n gweddiau am lwyddiant teyrnas ei Fab.

Dylem weddio'n bennodol dros y rhai a gynygir fel swyddogion, oblegyd y mae ymddiried mawr wedi ei roddi iddynt, ac y mae pob achos yn byw neu yn marw yn ei swyddogion. Gweddiwch chwithau am iddynt gael bod yn ddynion ysbrydol,—enwog dros Fab Duw,—ac wedi eu donio gan yr Ysbryd Glân i'r gorchwyl hwn. Y mae arnynt eisiau *doethineb* mawr. 'Pwy sydd was ffyddlon a doeth?' Os yw achos teulu, neu un eglwys, yn gofyn doethineb, pa faint mwy pan y mae'r *byd* o flaen y swyddogion. Y mae ysbryd doethineb a deall yn angenrheidiol neillduol iddynt, i drefnu holl achosion y gymdeithas; ac y mae'n dda i ni gofio fod hyny i'w gael ond ei geisio, "Od oes ar neb eisiau doethineb, gofyned gan Dduw," &c.—Gweddiwch am iddynt gael ysbryd *nerth*, o ran hwy a gyfarfyddant â llawer bwlch y bydd eisiau nerth mawr. Mae'n o debyg y daw rhwystrau i'w cyfarfod, ïe, fe allai o'r manau y maent hwy yn dysgwyl fyddant yn fwyaf rhydd. Dichon Duw brofi'r brodyr hyn am dymmor; ond y mae'r Duw hwnw wedi addaw rhoi nerth, a chyflawni pob diffyg: gweddiwch gan hyny am iddo Ef eu cadw mewn nerth, yn effro a bywiog eu hysbryd gyda'i waith. Hefyd, gyda chyfeiriad at ddewisiad cenadau, &c.; gweddiwn am i Ysbryd Duw eu dysgu yn helaeth, fel y gwybyddont ragor rhwng rhyw flys anianol, a thybiaeth o gymhwysder i'r gwaith cenadol, a gwir awydd i fod o wasanaeth i achos yr efengyl.

Y mae Duw nid yn unig yn gofyn eich gweddiau, ond fe ddaw heibio i ofyn rhyw beth heblaw hyny. A feddwn ni galon i roi y peth a roes Duw i ni? Nid yn unig ein gweddillion; ond a fedrwn ni aberthu rhyw gysuron er mwyn cysegru mwy at wasanaeth Duw? Ni roddasom ni fawr etto heblaw ein gweddiau. Gadewch i'n gweddiau ystwytho tippyn ar ein dwylaw i fyned i'n pocedi.—Hwyrach hefyd, y daw Duw heibio nid yn unig i ofyn eich arian, ond eich plant bach. A fyddwch chwi'n foddlon i'w rhoi? Os ydych yn caru Mab Duw, ni wrthodwch chwi ddim a gais efe genych, ond byddwch foddlon i ollwng y bechgyn yr ydych yn meddwl eu magu yn aerod i'ch meddianau, i fyned yn genadau trosto i wlad bell.

Cefnogwyd y cynygiad gan y Parch. Moses Parry, ac yntau hefyd a'n hannogai i gyd-ymostwng, a nesâu at yr Arglwydd, am ei bleidgarwch a'i nawdd i'r Gymdeithas, yn neillduol ei swyddogion. I'r dyben (meddai) i'n dwyn i fwy o ystyriaeth o'n rhwymedigaeth a'n dyledswydd, byddai'n dda i ni feddwl llawer am bwysfawrogrwydd y peth yr ydym gydag ef. Sefydliad Cymdeithas Genadol yw y peth mwyaf pwysig ar y ddaear. Ni buasai cyfarfod â'n gilydd ynghylch rhyw bethau gwladol, pa mor bwysfawr bynag, ond megys chwareu mewn cymhariaeth i hyn. Fy anwyl frodyr,—y swyddogion,—yr ydych fel llywyddion a dirprwywyr &c. yn *oruchwylwŷr*; a goruchwylwŷr nid i bendefigion byd, ac i'r rhai uwchaf a fedd y greadigaeth, ond i Dduw; rhai yn ll , o dan, i olygu ar, achosion y gymdeithas dros Dduw. "Felly cyfrifed dyn nyni, megys gweinidogion i Grist, a goruchwylwŷr ar ddirgeledigaethau Duw." Cofiwch hyn o hyd;—nid ar ryw bethau allanol yn unig yr ydych yn oruchwylwŷr, ond pethau mwy neillduol, y pethau uwchaf eu pwys. Pan ystyriom y dyben mawr a gogoneddus yr amcenir ato yn y sefydliad hwn, sef gogoniant Mab Duw, ac achubiaeth dynion, mae'n ddiau mai dyma'r peth mwyaf pwysfawr, a'r unig beth sydd o werth yn ein byd ni. "Goruchwylwŷr ar ddirgeledigaethau Duw:"—pwy sydd gymhwys i fod yn y fath swydd? Neb, heb gymhorth Duw, ac arweiniad yr Ysbryd Glân. Byddwn sicr o fyned i ddyryswch ar ryw ochr neu gilydd, ond fel y caffom fod tan arweiniad Ysbryd Duw ei hun. Rhai *o dan*, yn *golygu tros* un yw goruchwylwŷr; peidiwch chwithau a myned ymlaen mewn dim heb ofyn cydsyniad eich Meistr. Mae'n rhaid i chwi adael heibio eich doethineb, a'ch holl hyfrydwch eich hunain, a bod yn blygedig hollol i arweiniad eich Meistr. Peth anmhriodol ac annheilwng mewn goruchwyliwr, yw myned y'mlaen yn ol ei amcan a'i dyb ei hunan, heb ymgynghori â'i feistr, a gofyn ei gyfarwyddyd, a'i ewyllys ef. Am yr amcan sydd i sefydliad y gymdeithas hon, mae'n hysbys i ni beth yw ewyllys yr Arglwydd. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur:" ond gweddai i chwi fyned bob tro am ei ganiatad, ei ewyllys da, a'i arweiniad ef, bob cam o'r ffordd.

"Am ben hyn, yr ydys yn dysgwyl mewn goruchwylwyr, gael un yn ffyddlon." "Pwy sydd was ffyddlon?" Mae'n rhaid bod yn ffyddlon tuag at Dduw, a dynion, ac yn

ffyddlon o hyd. Dywedaf hyn er calondid i chwi,—y mae'n bosibl i rai fod yn ffyddlon *ar ychydig*. Y mae'r gwaith yr ydym gydag ef yn ormod i bawb o honom; ond y mae modd bod yn ffyddlon, pob un ar yr ychydig a roes Duw iddo, trwy gymhorth ei ras ef.

Fel swyddogion, cofiwch eich bod yn gyfrifol. Os o dan, yn lle, a thros yr Arglwydd yr ydych, cofiwch y bydd eich Meistr yn galw i gyfrif, ac yn dyweyd wrth bob un ar ei ben ei hun, "Dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth." Yr ydych wedi enwi 'Golygwyr y cyfrifon;' yn rhestr y swyddogion ond meddyliwch yn aml y bydd raid i chwi oll fyned tros eich cyfrifon o flaen Un uwch na phawb!

Cofiwch hyn hefyd, nad ydych yn gyfrifol am lwyddiant eich ymdrechiadau. Os na lwyddwn, ni chondemnir mo honom, oblegyd nid yn ein llaw ni, na holl genadau Duw y mae'r llwyddiant, ond "Duw sydd yn rhoddi y cynydd." Ein braint ni yw gweithio'n egniol, a ffyddlon, a chysurus iawn yw gweled llwyddiant ar ein hymdrechiadau; ond nid yw ein bod ni heb lwyddo ddim yn ddigon o brawf nad yw'r amcan yn gywir. Mae llawer o rai cywir a ffyddlon y'ngwinllan Crist wedi bod yn aflwyddiannus lawer pryd. Eich golwg, yn eich holl ymdrechiadau, a fyddo yn barâus ar yr Arglwydd, am iddo ef roi y cynydd.

Y peth nesaf fu i'r cadeirydd alw ar Mr. Jones i annerch y cyfarfod, yr hyn a wnaeth mewn dull tra effeithiol. Yr oedd llaweroedd (yn enwedig o'r benywod) yn wylo'n hidl; a chyfryw oedd fy nheimladau cynhyrfus inau, fel mai ofer oedd ceisio ysgrifenu yr hyn a ddywedai fy nghyfaill gyda dim cysondeb. Rhoddaf i chwi, modd bynag, ambell frawddeg o'i gyfarchiad. "Y mae'n debyg eich bod i gyd yn gwybod nad rhyw beth byrbwyll iawn ydyw hyn, oblegyd y mae rhyw son am danaf fel un yn bwriadu myned allan yn Genadwr er's amryw o flynyddoedd bellach. Y mae rhyw ddymuniad, yn fy meddwl er ys llawer blwyddyn, am fod yn bregethwr a chenadwr, os gwelai yr Arglwydd yn dda fy ngwneud yn addas. Yr oedd yn alarus genyf ddeall fod miloedd o'm cyd-ddynion heb gymaint a chlywed son am Dduw a Christ; a phan y daeth rhyw beth mwy difrifol at fy meddwl am fy achos fy hun, ac y gwelais fwy o ogoniant y Gwaredwr, penderfynais dreulio'r hyn oedd yn ol o fy oes i ddweyd am dano ef wrth baganiaid. Nid oeddwn yn meddwl y buasai yr un gymdeithas yn fy anfon allan byth, ond etto yn meddwl myned ryw ffordd neu gilydd. Aeth amser maith heibio cyn i ddim penderfyniad gael ei wneud yn fy achos, a bum lawer gwaith bron a dyrysu yn meddwl fod rhyw beth wedi dygwydd i fy synwyrau, a byddwn yn ceisio gweddio am i'r Arglwydd fy adferu i'm mhwyll. O'r diwedd penderfynodd fy mrodyr i mi wneyd rhyw barotoad at y gwaith yr oedd fy meddwl wedi rhedeg cymaint arno; ac wedi hyny dechreuais geisio dysgu tippyn, a theimlais yn fwy hapus fy meddwl. Ond meddyliais lawer gwaith y byddwn farw heb fyned, ac etto yr oedd y penderfyniad yn aros, a'r egwyddor yn parâu. Fel y byddwn yn cael rhyw ymweliad oddiwrth Dduw, ac fel y byddai cariad at y Gwaredwr yn cael ei gryfâu yn fy enaid, byddai yr awydd i fyned yn chwanegu; ond pan fyddai y cariad hwnw yn oeri, byddai rhyw deimlad o hunan-gariad yn codi oddifewn, a minau'n rhyw ymholi, 'Paham y rhaid i mi adael fy ngwlad, a'm cyfeillion, mwy na neb arall?' &c. Nid wyf heb feddu teimladau fel chwithau; a gwelais lawer diwrnod a noswaith pan fyddai meddwl am ymadael â fy nhad a'm mam, yn rhwygo fy nghalon. Nid rhyw dippyn o beth yw meddwl ymadael tros byth! Ond bum gannoedd o weithiau yn gwneyd hyny, a rhyw deimlad parâus ynwyf ei bod yn ddyledswydd arnaf aberthu pob peth er mwyn efengyl Mab Duw. Ac yn wir, i ddweyd i chwi y cwbl, byddwn yn dorwr ammod pe bawn yn peidio myned; oblegid yr wyf wedi gwneyd cyfammod â'r Arglwydd ar yr achos. 'Does dim achos i mi ddyweyd pa beth oeddwn i yn ei geisio gan Dduw; ond mi a ddywedais wrtho lawer gwaith os rhoddai ef yr hyn oeddwn yn ei ofyn, y rhoddwn inau fy hunan i fynu iddo ef a'i wasanaeth am byth; a bydd fy nghydwybod yn dechreu chwipio yn y fan, pan ddechreuwyf feddwl am aros gartref. Byddaf yn meddwl mai yr Arglwydd sydd wedi fy nghynhyrfu at hyn, ond y mae arnaf ofn siarad yn rhy gryf am hyny; etto gallaf ddywedyd yn onest nad wyf ddim heb fod yn gweddio llawer, "Arglwydd anfon di fi, ac nac arwain fi oddiyma onid â dy wyneb gyda mi," a dymunwn weddio felly hyd ddiwedd fy nyddiau.

Yr un adeg ag y daeth y peth hwn ar fy meddwl, daeth yr *India* ar fy meddwl, ac nid allais erioed gael fy hun yn hollol foddlon i fyned i un lle arall. Nid oeddwn yn gallu gwneyd i fynu fy meddwl pa barth o India yr awn iddo, a byddwn yn teimlo yn ddig wrthyf fy hun nad allwn sefydlu ar ryw un man yn fwy na'i gilydd; ond rhyw le tua'r afon *Ganges* oedd yn fwyaf dewisol genyf. Byddwn weithiau yn meddwl am *Burma*, ac yn barod i benderfynu mai yno yr awn; a phryd arall byddai *Hindostan* yn codi o fy mlaen, gyda'i myrddiynau o drigolion, a minau yn mron a gwneyd fy meddwl i fynu i fyned yno. Ond erbyn hyn y mae'r brodyr yma wedi penderfynu fy ngosod ar y terfyn, rhwng y ddwy grefydd, sef yn *Bryniau Kassiah*. Ar y naill law y mae crefydd *Burma*, ac ar y llall *Hindooaeth*; ac ymddengys yn bur amlwg i mi mai dyma'r *spot* y mae oreu i mi fyned.

"Byddai blys arnaf er ys talm i wneyd tippyn o bob peth; nid oedd dim braidd nad oedd arnaf eisiau treio fy llaw gydag

ef. Yr oedd yn rhyw ddiflas genyf aros gyda'r un peth yn hir, ond byddwn weithiau yn ceisio gwneyd gwaith saer, pryd arall gwaith *cooper*, weithiau hefo'r felin, ac waith arall yn ffermio, &c.; nid oeddwn yn gampus iawn ar y naill beth na'r llall, ond dysgais dippyn o bob math oddigerth gwaith *taeliwr*. A dyma fi'n cael fy anfon yrwan i fan lle y bydd raid i mi wneyd pob peth fy hunan, neu ynte fod hebddo. Ni chaf yr un tŷ i fyw ynddo, os na wnaf dŷ i mi fy hun; na chig i'w fwyta heb droi yn *futcher*; na bara heb drin y tir fy hunan, neu ddysgu ereill i wneyd hyny; na llestri llaeth, &c. heb eu gwneyd fy hunan; ac ni fydd yno ddim gwell *doctor* na mi fy hun. Felly ymddengys mai nid i ddim pwrpas y bum yn ceisio dysgu tippyn o bob math ar waith. Wedi hyny daeth rhyw dro arnaf, pan nas gallwn wneyd dim ond darllen.

Y mae rhyw fwriad genyf i wneyd llawer, ond nid hyny sydd yn fy nerthu; eithr gweled llwybr fy nyledswydd yn oleu o'm blaen, a cheisio pwyso ar addewid Duw. Ac yn awr yr wyf yn gofyn fel yr apostol, 'O frodyr, gweddiwch drosof.' Cefais lythyr heddyw yn fy hysbysu fod fy hen gyfeillion, efrydwŷr yn ysgol y Bala, wedi cytuno i gyfarfod â'u gilydd i weddio yn fy achos, ac y mae clywed hyny wedi sirioli llawer ar fy meddwl. Gwnaethant yr un peth o'r blaen, pan oeddwn ar ymadael â hwy, ac ni welais erioed y fath werth mewn gweddi â'r tro hwnw; cofiaf am y cyfarfod gweddi hwnw byth. Yma y dug eu gweddiau hwy fi, a pheidiwch a galaru os dwg eich gweddiau chwithau fi yn fy ol. Maent yn dweyd fod y '*Jamaica*' yn llong dda, a meddyliwn fod y cadben yn ddyn *ffeind*; ond bydd genyf well ymddiried yr awn i ben ein taith yn eich gweddiau chwi na dim o'r pethau hyny. Gweddiwch am i mi gael cymhorth i orchfygu calon ddrwg; bydd hon gyda mi yn mhob man; nis gallaf ei gadael ar ol ar y *George's Pier*, onide mi a wnawn. Ond dymunwch ar i'r Arglwydd fy nghadw rhag yr holl bethau drwg sydd oddifewn, a phob peth drwg oddiallan. Bydd yn fraint a thrugaredd fawr os caf fy nghadw rhag gwneyd llawer o ddrwg; ond ni fyddaf ddim yn foddlon ar hyny 'chwaith, heb gael gwneyd rhyw ddaioni. Carwn fyw i weled llawer o bethau;—trin tir, ac adeiladu capeli, &c.; ond pa fodd bynag am hyny, dymunwn i chwi fod yn daer iawn am i mi gael byw ychydig o flynyddoedd, nes i mi ddysgu'r iaith, a chael pregethu Crist i'r bobl. Ni fum i erioed yn gallu meddwl am hyn, heb fod yn foddlon i farw;—boddi yn y môr, *starvio* yn yr anialwch, cael fy llarpio gan *tigers* India, neu fy lladd gan farbariaid; ac nid wyf yn meddwl myned yrwan heb fod yn foddlon i hyny os yr Arglwydd a'i myn. Ond beth bynag a ddaw o honof fi, peidiwch chwi a llaesu dwylaw, oblegyd mae eich amcan yn eithaf da,—rhoi pregethwr yn iaith *Kassiah*. Peidiwch a galaru ar ol yr arian a dreulir arnom, y mae ein bywydau ni yn fwy gwerthfawr na'ch arian a'ch aur i gyd, 'Wele fi,—gwnaed yr Arglwydd â mi fel y byddo da yn ei olwg.' Pan aethum gyntaf ar fwrdd y 'Jamaica,' yr oeddwn yn methu peidio gofyn, 'Ai i'r farn ai ynte i India yr ei di a mi, dywed?' Os aiff yr amcan hwn i awr, ni fedr neb byth brofi nad yw yn ddyledswydd arnoch yru'r efengyl i'r Kassiaid; am hyny byddwch wrol a ffyddlon. Fe geisiodd y diafol rwystro Paul i fyned i bregethu, a diau y caf finau lawer o rwystrau; ond ni chwynaf fi ddim, os deallaf eich bod chwi yn parâu yn ffyddlon i weddio drosof."

Ar ol i Mr. Jones eistedd, darllenodd y cadeirydd Reol. IX. yr hon sydd yn gofyn bod i bob Cenadwr a anfoner allan gan y Gymdeithas law-arwyddo Ardystiad o'i gymeradwyaeth o'r Gyffes Ffydd, &c., a gofynodd i Mr. Jones a oedd ef yn foddlon i roi ei enw wrth yr ymrwymiad canlynol:—"*Yr ydwyf fi, Thomas Jones, ar fy anfoniad allan yn Genadwr dros 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig,' i Fryniau Kassiah, yn yr India Ddwyreiniol, yn ardystio fy nghymeradwyaeth o Erthyglau Athrawiaethol y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig, fel eu gosodir allan yn y Cyffes Ffydd, y'nghyda ffurf eglwysig Henaduriaethol, a Rheolau dysgyblaeth y Corff; ac na ddysgaf, yn un man, tra byddwyf yn ngwasanaeth y Gymdeithas, unrhyw athrawiaeth a fyddo yn groes i'r Erthyglau rhag-ddywededig, ac yr ymgadwaf yn gydwybodol at y ffurf eglwysig, a'r rheolau crybwylledig, hyd y goddefo amgylchiadau y genedl y byddwyf yn llafurio yn eu plith.*' Codai Mr. Jones drachefn, ac adroddai y brofedigaeth y bu ei feddwl ynddi, flynyddoedd yn ol, y'nghylch yr athrawiaeth, a'r modd y daeth, wedi manwl chwilio, a dyfal weddio, i lwyr benderfyniad fod Erthyglau y corff yn gyson â gair Duw; a dywedai fod yn hawdd ganddo ef arwyddo yr Ardystiad, gan ei bod yn ei *ffitio* yr un modd a'i groen. Yna rhoddodd ei enw wrth yr Ymrwymiad, yn llyfr y Gymdeithas, ger gwydd y dorf; ac ymddangosai i mi fel ped fai llawer yn teimlo fod hyn yn un o ranau mwyaf pwysig a difrifol y cyfarfod.

Yna galwyd ar y Parch. John Hughes, Pont Robert, i gyfarch y Cenadwr. Dechreuai trwy ddywedyd ei fod yn ystyried y peth hwn yn dra phwysfawr, ac y byddai'n dda i ni oll gofio fod pwysfawrogrwydd gwaith y weinidogaeth ynddi ei hun yn fawr iawn. Coffaodd yr adnodau a adroddid gan Mr. Parry (1 Cor. iv. 1, 2), a dywedodd fod cael un ffyddlon yn weinidog, goruchwyliwr mewn pethau cyffredin, o bwys mawr, ond bod *Cenadwr* yn oruchwyliwr mewn ystyr llawer uwch,—ei fod dros Grist, ac yn sefyll yn ei le. Efe yw Pen-cenadwr heddwch,

c y mae'r holl genadon o'i anfoniad ef yn ..yll yn ei le, yn erfyn tros neu yn lle Crist, ..moder chwi â Duw." Y mae mawr bwys ..nidogaeth ynddi ei hun yn galw am ..daerion weddiau dros bawb o honom ..ynddi, nag a arferir, 'rwyf yn ofni, ..ae pwysfawrogrwydd gwaith Cen..'n myned dros Dduw a Christ at ..aid, yn ymddangos, mewn rhyw ys..aethau, yn fwy. Er fod y pethau a adroddodd y brawd am helynt ei feddwl, yn lled arwyddo, mor belled ag y gallwn ni farnu, fod yr Arglwydd yn ei alw at y gwaith hwn, nis gallwn fod yn sicr o'r canlyniadau; ond gobeithiaf y caiff gymhorth i fod yn ffyddlon ac yn ddefnyddiol. Bydd raid iddo lafurio gydag egni mawr i ddysgu iaith y bobl; y mae hyn o bwys mawr. A chyda hyny bydd raid iddo ddisgyn yn isel iawn at y bobl, i geisio eu dysgu yn mhethau Duw; a bydd eisiau doethineb mawr i osod y pethau hyny yn eglur a dealladwy o flaen rhai mor anwybodus. Bydded iddo ef, a ninau trosto, nesâu at Dduw i ofyn y doethineb hwn iddo. Dichon Duw ei ddysgu i ddweyd yn ddigon uchel i'w bethau Ef, ac yn ddigon isel i'r paganiaid ei ddeall. Ni ellir dysgwyl iddo fod yn fuddiol oddieithr iddo gael llwybr i fyned yn agos at y bobl. Gwaith Ysbryd Duw yw llwyddo yr ymdrech; efe biau goleuo y galon; ond mae'n rhaid i ninau weithio ar y llwybrau y gallwn ddisgwyl ei fendith a'i lwyddiant ef. Gobeithio y caiff ein brawd gymhorth i ymgais at hyn, bod yn ddigon agos at y bobl, ac etto dyweyd pethau Duw fel y bo'n gweddu i'w mawredd; ac edrych am lwyddiant yn gwbl o law yr Arglwydd. Mae'r anfanteision i ddysgu iaith y bobl yn fawr, —bydd raid iddo wneyd hyny i raddau mawr o'u genenau hwy eu hunain; ond fe ddichon yr Arglwydd ei nerthu i wneyd hyny. Y mae ef wedi gwneyd pethau rhyfedd iawn yn ein dyddiau ni, ïe, pethau gwyrthiol bron."

Yna coffâodd Mr. Hughes am Dr. Morrison a Dr. Carey, y rhai, o ddechreuad isel, ac er maint yr holl anfanteision y daethant trwyddynt, a fuont yn ddau o'r Cenadau mwyaf enwog yn eu hoes. Cyfieithiwyd y Bibl gan y blaenaf i'r iaith Chineaidd, a chan y llall i nifer o ganghen-ieithoedd yr India.

Gellir crybwyll esiampl arall, meddai'r areithydd, am wr o'n gwlad ni, sydd wedi bod yn genadwr er ys deugain mlynedd bellach, sef John Davies. Llawer o anfanteision a gafodd yntau; yr holl ysgol a gafodd oedd am dri neu bedwar mis yn un o ysgolion *Madam Bevan*; a phan aeth allan i un o Ynysoedd Môr y De', nid oedd yr un llyfr i'w gael yn iaith y wlad; efe â'i bin a'i inc a'i rhoes ar lyfr gyntaf erioed; ond o dippyn i beth, trwy lafur a diwydrwydd, a bendith Duw ar hyny, daeth i allu cyfieithu rhanau helaeth o'r Bibl o'r Hebraeg a'r Groeg i iaith y wlad hòno. Felly, er bod y brawd hwn yn myned allan o dan lawer o anfanteision, etto, ond iddo arfer diwydrwydd, ac i Dduw roi ei fendith, gall fod yn ddefnyddiol iawn.

Y mae angenrheidrwydd mawr i genadwr fod yn serchog iawn o'r rhai y byddo'n llafurio yn eu plith; yn gyfeillgar a siriol, ac etto cadw y terfyn. Nid pob cenadwr sydd yn ddigon gostyngedig yn y llwybr hwn; ond gobeithio y ceir ein brawd yn ganmoladwy iawn yn hyn;—dangos serch mawr at y bobl, er na fydd dim ynddynt hwy yn galw ond am dosturi yn achos eu heneidiau.

Ac am ei briod,—os caiff hi gymhorth i ddysgu'r iaith, gall wneyd llawer iawn. Dichon fod yn gynaliaeth i'w feddwl ef; gall hi fod ar làn pan fyddo ef ar lawr, &c. Gobeithio y cânt eill dau gymhorth i roi eu hunain i'r Arglwydd; cysgod ei law ef fydd yn ddigon i'w cadw yn fyw yn mhob perygion, ac yn ei law ef y byddant o ddefnydd.

Yna gweddiodd Mr. Hughes, ac wedi gwneyd casgliad, a chanu pennill ar y dôn *Liston*, galwyd ar y Parch. John Parry, Caer, i gyfarch y gynulleidfa.

Y mae llawer (eb efe) yn meddwl mai peth newydd yw *Missionary Society*, ond camgymeriad yw hyny. Y Gymdeithas Genadol gyntaf a fu erioed oedd yn Jerusalem; oddiyno anfonwyd cenadau at y cenedloedd; ac oddeutu y flwyddyn 45 o oed Crist y sefydlwyd canghen gymdeithas yn Antioch, ac yr anfonodd yr eglwys hòno ddau genadwr allan. (Gwel Actau xiii. 1—3. Sylfaen pob Cymdeithas Genadol yw gorchymyn Crist,—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur;" ac "Ewch a dysgwch yr holl genhedloedd," &c. Y mae dros ddeunaw can' mlynedd er pan roddodd Crist y gorchymyn hwn, ac y mae'r peth heb ei wneyd etto; y mae miliwnau o hiliogaeth Adda heb wybod fod gan Dduw Fab; mae'r efengyl heb gael ei phregethu etto "i bob creadur," er fod y peth a ddywedodd Crist wrth ei ddisgyblion mewn llawn rym hyd y dydd hwn. Ond beth a feddylir wrth *bob creadur;* Yr un peth ag oedd yn cael ei ddangos i Pedr (efe oedd y cenadwr cyntaf at y Cenedloedd) yn ngweledigaeth y llen lliain fawr, yr hon oedd wedi rhwymo ei phedair congl, ac ynddi bob math o greaduriaid, i arwyddo dynion o bob gwlad a chenedl dan y nef. Yr oedd cyndynrwydd, hyd yn nod yn y disgyblion, i fyned i'r holl fyd; ac y mae'r un fath gyndynrwydd ynom ninau.

Y mae'r Arglwydd Iesu ar orseddfainc y nef yn dywedyd "Ewch;" ond pwy a aiff? Nid ewch *chwi* ddim, meddai Mr. Parry wrth J. H. *Bont*, yr ydych chwi yn rhy hen. Nid âf finnau ddim, yr wyf finnau yn rhy hen ac afiach. Dyma frawd arall,

fe ddywed ef ei fod yn rhy wan, &c.; ac o holl bregethwyr Liverpool nid oes yr un yn barod i fyned; ond, gan gyfeirio at Mr. T. Jones, eb efe, dyma frawd yn dyweyd *Mi dyf fi;* ac yr ydwyf fi yn credu oddiar yr hyn a ddywedodd efe o'i brofiad, oni buasai fod rhyw rai yn ei anfon mai magu y *consumption* a wnaethai yn fuan o herwydd fod y peth yn gorphwys mor ddwys ar ei feddwl. Yr wyf yn addef i mi fod yn bur isel fy meddwl ar yr achos hwn cyn dyfod yma,—yn methu cysgu'n dawel y nos, rhag ofn i mi wrth ddyfod i gynorthwyo'r brodyr yn yr achos hwn wneud dim i ddigio'r Arglwydd; ond erbyn hyn yr wyf yn credu yn ddiysgog mai peth oddiwrth Dduw yw yr hyn sydd wedi bod ar feddwl y brawd hwn i fyned yn genadwr i'r India, ac mai dyledswydd y brodyr yma yw ei anfon yno. Nyni sy'n cael y fraint o'i anfon; nid awn ni ddim ein hunain; ond gobeithio y bydd llawer etto yn ei ddilyn.

"Ewch i'r holl fyd," meddai Crist; "Deuwch ataf fi," y mae'n ei ddyweyd wrth bechaduriaid; ond "Ewch" wrth ei weision; eithr nid "*ewch oddiwrthyf.*" Na! "Wele (eb efe) yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Credwch chwi ei air, (meddai'r areithydd wrth y Cenadwr, gan ysgwyd llaw âg ef) a dyma air braf i fyned gyda chwi: "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Mae'n rhaid mai fel Cyfryngwr yr oedd yn llefaru am dano ei hun wrth ddyweyd y geiriau hyn, oblegyd ni allai neb *roi* dim awdurdod iddo fel yr oedd yn Dduw; ac oddiar yr awdurdod a roddwyd iddo fel Cyfryngwr, y mae'n dyweyd "Ewch." I ba le? "I'r holl fyd." I Fryniau Khassiah? Ië,—a dyma'r brawd ar fyned yno; a llwyddiant iddo! "Ewch, *gan hynny*, a dysgwch yr holl genhedloedd." Ewch; i ba beth? I bregethu'r efengyl: nid oes dim arall yn werth ei bregethu, ac fe dal hon i fyned "i'r holl fyd," ac i "bob creadur." "Newyddion da o lawenydd mawr i'r holl bobl" yw yr efengyl, sef y newydd da "ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid."

Yna trodd y llefarwr ei olygon tu a'r *gallery*, lle yr oedd gwraig y Cenadwr yn eistedd, ac a ddywedodd, Braidd na chlywn ei briod yn dywedyd, Nid wyf fi ddim yn bregethwr, beth sydd i mi i'w wneud? "Ewch chwithau, a dysgwch—dysgwch ferched a phlant Kassiah gymaint ag y medrooh; dysgwch yn eich esiampl; dysgwch trwy fod o bob cynorthwy i'ch gwr. Yn wir yr wyf yn meddwl fod tippyn o'r *Missionary spirit* ynoch chwithau, onide ni buasech yn priodi dyn fel hwn oedd wedi penderfynu gadael ei wlad a'i gyfeillion. A chofiwch eich dau addewid y Pen mawr, "Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd:" gellir cymeryd y gair hwn mewn dau olygiad,—hyd bellder eithaf y byd, a hyd oriau olaf y byd."

Yna gweddiodd y Parch. John Hughes, *Liverpool*, ac yr oedd ei weddi yn wir, fel y dywed y Sais, *a most beautiful prayer.* Dybenwyd y cyfarfod trwy ganu yr Emyn ganlynol.—

"BRYNIAU KASSIA."

I'r dwyreiniol India draw,
  Y danfonwn,
Ior, dy genad, ac i'th law,
  Ei cyflwynwn;
Tan dy aden rasol gref,
  Boed ei drigfa,
Ac yn iach cyrhaedded ef
  Fryniau Kassia.

Y mae'r gwynt, O Arglwydd Ior,
  Yn dy ddyrnau,
Llywodraetha di y môr,
  A'i holl donau;
I hwyluso'r fordaith faith,
  Iddynt archa',
Nes y delo i ben ei daith,
  Bryniau Kassia.

Arglwydd, dyro di i'th was
  Wedd dy wyneb,
Pob rhyw nefol ddawn a gras,
  A doethineb;
I gyhoeddi efengyl lawn,
  Draw yn India,
Mewn ardaloedd tywyll iawn,
  Bryniau Kassia.

Yr ymadrodd am y groes,
  A bregether,
Ganddo'n gyson trwy ei oes,
  Ac a lwydder;
Son am Grist a'i farwol glwy',
  Ar Galfaria,
Dreiddio'n fuan trwyddynt hwy,
  Fryniau Kassia.

Dyger lluoedd maith yn llon,
  At yr Iesu,
I addoli ger ei fron,
  A'i gyffesu;
A soniarus uchel lef,
  Bryniau Kassia,
Fyddo'n adsain "Iddo Ef,"
  Haleluia.

Dyma i chwi hanes lled faith o'r dull y treuliwyd y cyfarfod; ond anmhosibl yw trosglwyddo ar bapur yr *unction* nefol oedd ar holl ranau y gwasanaeth. Diammheu genyf y cofia llaweroedd am dano, gyda llawenydd, am amser maith.

Yn ychwanegol at yr hanes uchod, y mae genyf i'w hysbysu i ddarllenwyr y Drysorfa, i'r llong "Jamaica" gael ei chadw yma tan ddydd Mercher diweddaf, pryd yr hwyliodd gyda gwynt teg. Lluddiwyd ei mynediad ymaith yn gynt gan y tywydd gwlybyrog, a'r gwynt gwrthwynebus, yr hyn a barodd ohiriad yn y llwytho; ond mae'n deilwng o sylw, cyn gynted ag y cafwyd y llestr yn barod, trodd y gwynt, a newidiodd yr hin; ac o'r braidd y gellid

dymuno diwrnod mwy ffafriol nag a gafodd ein cyfeillion i gychwyn ar eu mordaith. Efallai y dywed rhai nad oedd hyn ond *siawns;* minau a'i cyfrifaf fel arwydd o ffafr a boddlonrwydd yr Arglwydd, mewn atebiad i weddiau ei bobl. Cwynai fy nghyfaill yn aml oblegyd cael ei gadw cyhyd tros yr amser apwyntiedig; ond wrth weled y tywydd yn parâu mor anffafrol, ac wedi deall fod llongau ereill wedi myned yn ddrylliau, a llawer o fywydau wedi eu colli, yn y dymhestl a gymerodd le ychydig ddyddiau cyn iddo gychwyn, cyfaddefai yn ddiolchgar fod ei Dad nefol wedi gofalu yn well am dano ef a'i briod, nag y gwnaethai ef ei hun pe buasai wedi cael ei ddymuniad o gael myned ymaith wythnos neu ddwy yn gynt

Cadwyd cyfarfod gweddi yn ei achos y noswaith cyn iddo ymadael, a thranoeth daeth rhai cannoedd o'n cyfeillion at y *Pier-head,* i weled y llong yn cychwyn; a lluosog oedd y dagrau a dywalltwyd gan feibion a merched, wrth ganu yn iach i'n brawd a'n chwaer, gwynebau pa rai, mae'n dra thebyg, ni welir gan lawer (os gan neb) o honom, byth ond hyny. Aeth rhai o honom ychydig filltiroedd gyda'r llestr, a gadawsom Mr. a Mrs. Jones yn iach a chalonog. Ni chlywsom ddim am y "Jamaica" ar ol hyny; ond gan fod y gwynt wedi parâu yn deg hyd yn hyn, gallwn hyderu ei bod bellach wedi cyrhaedd yn mhell i'r *Atlantic.*

Yr ydym ni yma yn bwriadu cadw cyfarfod gweddi yn mhob un o'n capeli, am bump o'r gloch prydnawn bob Sabbath o flaen y nos Llun cyntaf yn y mis, i ofyn nodded y Goruchaf i'n cyfeillion ar eu mordaith; a deallwyf fod ein brodyr mewn rhai manau yn y Dywysogaeth, megys Bala, Aberystwyth, &c. wedi penderfynu gwneud yr un modd. Hyderu yn gryf yr wyf fi y cawn glywed erbyn Cymdeithasfa Bala, fod yr Arglwydd wedi dangos mai gwrandawr gweddi ydyw, trwy ddwyn y 'Jamaica' i'r hafan ddymunol mewn diogelwch, ac i'n brawd, Mr. Jones, fod yn offerynol yn llaw Ysbryd Duw i ddwyn rhai o ddwylaw y llong i ystyried eu ffyrdd a dychwelyd at yr Arglwydd. Nid anmhriodol, debygwyf, yw i mi grybwyll yma, fod gwr ieuanc, brodor o Hindustan, ar fwrdd y llong. Daeth y llanc hwn at y llywydd ychydig ddyddiau cyn iddi gychwyn, i ddeisyfu arno ei gludo ef adref i *Calcutta,* a chyttunodd yntau i wneud hyny, ar yr ammod o fod iddo wneuthur a allai i gynnorthwyo y dwylaw. Y mae'n medru siarad Saesonaeg; a phwy a wyr na fydd o wasanaeth mawr i Mr. Jones ar y fordaith, trwy ei ddysgu ef yn yr iaith *Bengalee,* yn yr hon iaith y mae hyny o lyfrau a gyhoeddwyd yn iaith trigolion Kassiah wedi eu hargraffu. Ië, pwy a wyr na chaiff y gwr ieuanc hwn ei ddwyn, trwy offerynoliaeth ein brawd, i adnabod y Gwaredwr, a bod yn genadwr trosto yn mysg ei genedl luosog ei hun! Mae hyn yn bosibl gyda'n Duw holl-ddoeth ni; ac ni ddigia efe ddim wrthym ninau am ofyn iddo wneuthur hyn.

Mae'n llawen genym ddeall fod y penderfyniad a wnaethom i anfon Mr. Jones ymaith fel y gwnaed, wedi bod yn foddâol i'n cyfeillion yn gyffredinol trwy'r Dywysogaeth. Cawsom lawer prawf *sylweddol* o ewyllys da ein cyfeillion, fel y gwelir wrth y rhestr isod o'r symiau a dderbyniasom tuag at ddwyn traul y Gymdeithas ar gychwyniad ei gweithrediadau. Cymerwn y cyfleustra presennol i ddiolch i'r Cyfranwyr am eu caredigrwydd. Dymunem hefyd gydnabod ein rhwymedigaeth i'n brodyr am y caniatâd a roddwyd yn Nghymdeithasfa Dolgellau i ba Siroedd neu eglwysi bynag a ewyllysiant anfon eu harian i ni, i wneuthur hyny, ond iddynt anfon cyfrif o'r symiau i Gymdeithasfa Abergele. Derbynir cyfraniadau gan y Trysorydd, Mr. D. Lewis,—fy nghyd-ysgrifenydd Mr. Joseph Williams, neu Yr eiddoch, &c.

*Liverpool.* JOHN ROBERTS.

*Cyfrif o'r arian a dderbyniwyd at wasanaeth 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig,' yn ychwanegol at y symiau a gydnabyddwyd eisoes.*

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cyfroddion oddiwrth amryw gyfeillion yn Liverpool ...... | £121 | 6 | 0 |
| Casgliadau y'nghapel Rose Place noswaith y cyfarfod ........ | 33 | 18 | 8 |
| O'r Amwythig ............... | 13 | 0 | 0 |
| Capel 'Blaenplwyf,' (Aberteifi) | 3 | 11 | 6 |
| " 'Aberarth,' do. .. | 3 | 1 | 8 |
| " 'Elim,' do. .. | 1 | 10 | 2 |
| Aberystwyth do. .. | 40 | 0 | 0 |
| Ysgol Sabbathol Dolgellau .. .. | 5 | 0 | 0 |
| Mr. W. Williams do. ..... | 5 | 0 | 0 |
| Swydd Gaernarfon ........... | 60 | 0 | 0 |
| Mr. J. Williams, Fron gorh, Môn | 5 | 0 | 0 |
| Mr. W. Roberts, Caer........ | 5 | 0 | 0 |
| Mrs. Roberts, do. ........ | 5 | 0 | 0 |
| Mrs. Edw. Evans, do. ........ | 5 | 0 | 0 |
| Mr. Edw. Peters, do. ........ | 5 | 0 | 0 |
| Mrs. Jones, Talwrn, ......... | 1 | 0 | 0 |
| Mostyn (Sir Flint) .......... | 17 | 0 | 0 |
| Y cyfan.................... | £329 | 8 | 0 |

Heblaw y symiau uchod, derbyniwyd bwrnel o amrywiol bethau at wasanaeth y Cenadwr a'i briod, oddiwrth gyfeillion yn y Bala; un arall o anrhegion i'r Kassiahaid oddiwrth Mr. Joseph Roberts, Aberystwyth; ac un arall, gwerth £6 16s. oddiwrth gyfeillion yn Wrexham.

---

### LLINELLAU ANERCHIADOL

*I'r Parch. T. Jones a'i Briod, ar eu cychwyniad i efengylu i drigolion mynyddau a dyffrynau Kassiah, yn yr India ddwyreiniol.*

HIN dirion a iawnderau,
Awel deg i hwyliaw dau;
Ffrwyned NER ei ddyfnderau
Trfysgol, dan ddoniol ddau;

Ewch rai dewr, O ewch er da,
Er undyn, ewch i'r India.

Ewch draw heb un braw, bu ar bren—Iesu,
Danghosydd ffordd addien;
Ef o hyd i'n byd sy'n ben,
Hylwydd, a'i ras yn halen.

Crist fo'ch craig, efo'ch gwraig wen,
Nefol-fwys fo'ch hyf elfen:
Y llewyrch a'ch gwna'n llawen—iwch, cyfyl
O efengyl, a wir ŷf angen.

Cenhadon cu'n ehedeg—a fyddoch
O feddwl diattreg;
A chwaeth, iechydwriaeth chweg,
A ddyrn'ch egwyddoreg.

Ceisio tylwythau'r Cassiaid—i ddyfod
Yn ddifai wir ddeiliaid
I Dduw'r hedd (mae'n addaw) rhaid
Eu dofi'n ŵyn a defaid.

Y dynion na adwaenant,—y Duwdod
Am gymmod ymgomiant;
Y llu chwith, a ddeall chwant,
A berthyn i ffydd borthiant.

Cyngor oddeutu'r *Ganges*,
O dan lwydd a daeno les:
Goleuni i gael annog:
Y tlawd trist at Grist, a'i grôg.
Y Pagan druan o draw,
A welwch gwn yn wylaw,
Ennill wnewch hwn o'i annuw,
Arall a ddeall am Dduw;
Rhif y ser ar fyrder fydd,
Dyfod mae meibion Dofydd.
Tynwch o geuneint annuw,
Gassiaid oll i geisio Duw.

Boed iechyd hyfryd a hedd,—a llwyddiant,
Ië a mwyniant o amynedd
Ichwi, er gweini, a gwedd—Duw arnoch
Fel hyn y rhedoch i fawl anrhydedd.

R. J. (*Asiedydd.*)

---

O ewch, O ewch fy nghyfeill mad,
O ewch, O ewch yn llon;
Er gadaw eich cyfeillion llad
Na fyddwch drist eich bron;
Er myn'd i blith anwaraidd haid
O'ch hyfryd wlad i fyw,
Na fyddwch drist, cewch Ef yn blaid
Eich enw fydd "Gwr Duw."*

O ewch yn llon mewn llawen fryd,
Dros ffrochwyllt donau'r mor,
Cyhoeddwch Ef, Iachawdwr byd,
I'r pagan du yn Bor:
Mawrhewch eich braint, cyhoeddwch Ef,
Yr hwn o'i gariad mawr
A ddaeth o'i fodd o'r drydedd nef
I achub llwch y llawr.

Jehofah ichwi fydd yn Bor,
I'ch cynnal ar eich hynt,
Tra'n nofio y tryferwawg fôr
Fe'ch ceidw Tad y gwynt;
Efe sydd yn rheoli'r gwlaw,
Ei olwg ddofa'r don,
Mae cuchiou'r stormydd yn ei law,
O ewch, O ewch yn llon,

Eich mynwes fyddo'n llawn a hyd
O Grist i'r Negro du.
Hylwybro'r gwael i,r noddfa glyd
Fo ichwi'n orchwyl cu;
A'u dysgu i ganmol rhin y gwaed
A seinio enw'r Oen,
Gan waeddi'n llon, "Iachawdwr gaed,
Bu'n dyoddef ing a phoen."

O treiddied swn efengyl hedd
O bawl i bawl y byd.
Nes coffa'r pagan felys wledd
Yn Nghrist y noddfa glyd;
Aed son am Grist drwy bob rhyw gell
A chwr o'r ddaear lawr,
O fryniau rhewlyd *Greenland* bell
Hyd rydau'r *Ganges* fawr.

Hon a newidia dywyll wedd
Trigolion *Hindoostan*,
Gan roddi iddynt hyfryd hedd,
A phur oleuni cân.
Hi ddysg i'r wraig* roi tyner drem,
Ar wedd ei baban cu,
Gan ddweyd 'Bu baban Bethlehem
Yn ddyoddef trosot ti.'

Hon ddysg i fab† Hindoo yn llon,
Gan wenu yn ddi nam,
I dywalit olew hedd i fron,
Drist, drist ei weddw fam;
Rhydd iddi destun yn ddi ffrom,
I ganu dan ei chroes,
Rhydd heddwch pur i'w mynwes drom,
Drwy son am angeu loes.

O ewch, O ewch, pregethwch hon,
Er teimlo yspryd gwan;
O ewch dros y grychferwawg don,
Cewch wobr yn y man;
Cewch fyn'd i blith seraphiaid glân,
O fewn i Salem wen,
I chwyddo y dragywyddol gân,
A'r goron ar eich pen.

D. ROBERTS, (Glan Tegid.)

---

* Y geiriau oddiwrth pa rai y darfu y Parch. J. Hughes, Lle'rpwll, ei gyfarch.

* Mewn cyfeiriad at arferiad gwragedd y lle hwn o daflu eu babanod yn ysglyfaeth i'r *Crocodile*, fel aberth i'w crefydd.

† Cyfeiriad at grefydd y wlad, yn gwneud i'r mab edrych ar gladdu ei fam weddw yn fyw gyda chorph marw ei gwr.

---

CAERLLEON ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY.

# Y DRYSORFA;

YN CYNNWYS AMRYWIAETH

O BETHAU AR AMCAN CREFYDDOL, YN ATHRAWIAETHOL, ANNOGAETHOL, A HANESIOL;

YNGHYD A

HANESIAETH CENADOL A GWLADWRIAETHOL:

AC AMRYWIOL GYFANSODDIADAU MEWN

BARDDONIAETH A PHERORIAETH.

---

A gyhoeddwyd dan Olygiad y Trefnyddion Calfinaidd,

GAN JOHN PARRY.

---

LLYFR XI.

---

CAERLLEON;

ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY.

MDCCCXLI.

# RHAGYMADRODD,

NEU

## LYTHYR Y CYHOEDDWR AT EI GYDWLADWYR Y CYMRY.

---

ANWYL GYDWLADWYR,

WRTH drosglwyddo yr unfed Gyfrol ar ddeg o'r Drysorfa i'th llaw, nis gallwn lai na meddwl am barhaus ddaioni Duw yn ei ragluniaeth dirion tuag atom ni, y Trefnyddion Calfinaidd, yn Nghymru. Mae y gwaith mawr yn llwyddo yn ein plith. Ar ddechreuad Cyhoeddiad y Drysorfa, nid oedd yn cael ei chyhoeddi ond bob tri mis. A phan ddechreuwyd ei chyhoeddi yn fisol, nid oeddis yn passio ond un mil a naw cant o honynt. Eithr yn awr, yr ydym yn passio o honynt dros ddwy fil a chwe chant a thrugain bob mis, heblaw amrywiol lyfrau ereill sydd yn dyfod allan o'r wasg yn barhaus yn ein plith. Mae hyn yn profi yn ddiymwad fod cynnydd mawr ar foddion gwybodaeth, ac ar ddarllen yn ein plith.

Mae y flwyddyn hon hefyd yn un nodedig am i "Gymdeithas Genhadol Dramor y Trefnyddion Calfinaidd" anfon ei Chenhadwr cyntaf allan i'r Cynhauaf mawr. A phwy, wrth ddarllen ei hanes, o'i gychwyniad allan o Borthladd Liverpool i Calcutta, ac oddiyno i faes ei lafur, Bryniau Cassia, a all lai na gweled llaw yr Arglwydd yn ei amddiffyniad ef a'i briod ar fôr a thir, a'i chydnabod gyda gostyngeiddrwydd a diolchgarwch.

Ac er ein bod fel hyn yn cael testynau lawer i fod yn ddiolchgar i'r Hollalluog Dduw "am ei ddaioni a'i ryfeddodau i feibion dynion," gan ddywedyd, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen;" etto dymunem "lawenhau mewn dychryn," oblegid yn y flwyddyn hon hefyd y collasom oddiar y maes, un o'r gweithwyr mwyaf difefl a llafurus y gwybuom erioed am dano yn Nghymru, ein Parchedig frawd Mr. J. Elias, o Fôn. Taer weddiwn am i'r Duw a'i cyfododd ef, ac a'i defnyddiodd yn ei law i fod yn offeryn mor fuddiol, gyfodi llawer etto o'i gyffelyb, a rhoi deuparth o'r Ysbryd oedd arno ef, ar y rhai sydd wedi eu gadael ar ei ol ef ar y maes.

Mae genym gynnifer o ysgrifeniadau buddiol ar law, ac y mae cynnifer o'n Gohebwyr llafurus a ffyddlawn yn parhau i anfon i ni o ffrwyth eu llafur ar amrywiol achosion pwysfawr, a phynciau angenrheidiol eu cyhoeddi, a ninnau yn methu eu hargraffu o eisiau lle, fel y'n gorfodir ni etto i ddeisyfu ar ysgrifenwyr Cofiaint, i dalfyru llawer iawn ar eu hysgrifiau ar y pen hwn, oddieithr yn unig am wyr enwog a chyhoeddus yn ngwaith yr Arglwydd yn ein gwlad. Pe bai ein hanwyl frodyr hefyd yn llafurio yn nghyd â'r rhai hynaf gyda chrefydd, i gofnodi rhyw gymmaint o hanes cywir am rai o'r enwogion a fuont yn llafurio ar y maes, ag ydynt wedi myned i'r orphwysfa, yn nghyd a rhyw bethau hynod a ddygwyddasant yn eu hoes, ac yn eu hanfon i ni, byddem yn dra diolchgar iddynt.

Mewn perthynas i'r Gofynion afrifed sydd yn parhaus ddylifo i'n dwylaw dymunem alw sylw Henuriaid ein Heglwysi, ac Athrawon ein Hysgolion Sabbathol, at yr angenrheidrwydd o addysgu ieuenctyd yr oes mewn pethau sylweddol datguddiedig yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, ac ymdrechu i alw eu sylw yn fwy at ranau athrawiaethol, profiadol, ac ymarferol gair Duw, a'u hattal, hyd y gellir, rhag i'w meddyliau redeg at bethau diles ac anfuddiol. Mae cryn lawer o'r Gofyniadau yn tarddu oddiar ysbryd ymddadleu ac ymgecru, ac ereill yn arwyddo gwagter ac ysgyfalrwydd y meddwl, uwch ben Llyfr Duw.

Pell ydym, wrth ddywedyd fel hyn, oddiwrth dueddu at roddi un attaliad ar bobl ieuainc, ac ereill, rhag anfon i ni Ofynion buddiol, nac un rhwystr ychwaith ar eu ffordd i fyned yn mlaen mewn llafur am wybodaeth; ond yn hytrach rhoddwn bob annogaeth iddynt: yn unig, edrychant ar fod y Gofyniadau o bwys, ac y byddai eu hateb yn tueddu at fuddioldeb ein darllenyddion lluosog.

Mae yn amlwg fod rhyw athrawiaethau amryw a dyeithr yn cael eu taenu ar led, a'u coleddu yn ormodol yn y dyddiau hyn yn Nghymru aml ei breintiau: byddai yn dda genym gael cynnorthwy ein Gohebwyr dealltus a medrus i ddangos gwrthuni ac afresymoldeb y cyfeiliornadau hyny, yn nghyd â'u anghysondeb â'r Ysgrythyr Lan.

Ar fod bendith yr Arglwydd yn cydfyned â phob ymgais difrifol ar dafod ac ar bapur, am achub eneidiau dynion, am ddadymchwelyd cyfeiliornadau yr oes, a moesoli y genedl, y taer ddymuna eich gwir Ewyllysiwr da,

A'ch Cyfaill diffuant,

Yr eiddoch,

JOHN PARRY

*Caerlleon, Rhagfyr* 1, 1841.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXI.] IONAWR, 1841. [LLYFR XI

## COFIANT Y PARCH. GRIFFITH SOLOMON,

*Awdwr "Esboniad ar Lyfr y Pregethwr," &c.; gynt o Lanbedrog, Sir Gaernarfon; Gweinidog defnyddiol gyd â'r Trefnyddion Calfinaidd, yr hwn a fu farw Tach. 9, 1839.*

GRIFFITH SOLOMON ydoedd fab i Solomon Jones, o blwyf Llandwrog, yn Arfon, yr hwn ydoedd yn byw mewn tyddyn bychan ar dir Tal-y-sarn; ac wrth ei alwedigaeth yn Chwarelwr.

Ganwyd G. Solomon oddeutu y fl. 1774. Cafodd ychydig ysgol, a dysgodd ddarllen yn dda. Pan oedd yn ieuanc cynnwysai feddyliau sobr am grefydd yn wastadol; ac yn ddeuddeng mlwydd oed ymunodd â'r gymdeithas grefyddol yn Bryn-yr-odyn; ond cafodd ei dynu a'i lithio ar ol hyny gan demtasiynau y byd drwg presennol i rodio yn ol helynt yr oes.

Pan ydoedd oddeutu 16 oed teimlodd rym cenadwri yr efengyl yn effeithiol-iawn dan weinidogaeth y Parch. J. Jones, o Edeyrn, gynt. Wedi hyny cymmerodd yr iau arno yn ewyllysgar hyd ddiwedd ei oes.

Am nad oedd yn meddu cymmwysderau naturiol i weithio yn y Chwarelau, aeth i ysgol a gedwid yn Bryn-yr-odyn; ac er cael ychwaneg o addysg bu gyda'r Parch. E. Richardson, yn Nghaerynarfon, a Mr. D. Wilson, yn Llandegai; felly, trwy ychydig o fanteision, a llawn ddiwydrwydd, cynnyddodd mewn dysg a gwybodaeth yn fwy na llawer.

Bu wedi hyny yn cadw ysgol ei hunan mewn gwahanol fanau yn Arfon, sef Waunfawr, Bryn-yr-odyn, ac Aberpwll: a dechreuodd bregethu yn y lle olaf, yn nhŷ Mr. William Evans.

Oddeutu y flwyddyn 1800 daeth i Leyn i gadw ysgol. Cartrefodd gyda pherthynas iddo yn Llanbedrog; ac yn Lleyn y bu terfynau ei breswylfod hyd ddiwedd ei oes. Bu tros ychydig amser yn Tydweiliog, gyda Mr. Roberts, o Gaergybi, yn cael ei ddysgu er ychwanegu ei ddefnyddioldeb.

Teithiai lawer yn y dyddiau hyny i gyflawni ei gyhoeddiadau, ac hefyd i wrando pregethau, a hyny ar ei draed. Rhoddodd gwbl ddiwydrwydd i wrando'r gair megys y gwnai eraill o'i gyfoedion yn yr amser hwnw.

Yr oedd efe yn rhagori er hyny mewn tri pheth; sef

1. Ei weddiau taerion. Dyrchafai ddwylaw sanctaidd yn y cynulleidfaoedd heb na digter na dadl, a disgynai rhyw ddylanwadau tra effeithiol ar y cynulleidfaoedd wrth ei glywed.

2. Yn ei gof. Gallai ddal yn ei gof swm yr hyn a glywai yn y pregethau, ac hefyd yn y Cyfarfodydd Misol a'r Cymanfaau; heb gofnodi nac ysgrifenu.

3. Ynghywirdeb ei olygiadau ar yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb. Gwrthwynebai bob cyfeiliornad yn gadarn yn y ffydd. Goruwch-adeiladwyd ef ar sail yr Apostolion a'r Prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen.

Yn mhen ychydig ar ol iddo ddyfod i Leyn priododd, a bu iddo bedwar o blant, tri mab ac un ferch.

Wedi bod yn cadw'r ysgol yn Pig Street, ac yn cyflawni ei deithiau Sabbathawl am yspaid o amser, trefnwyd ef gan y corph i gadw yr ysgol rad a gynhelid yn Lleyn: a gadawai yr ysgol ar amserau gan fyned trwy ranau o Siroedd y Gogledd, yn ol galwad ei frodyr, i bregethu efengyl y deyrnas.

Yr oedd ei gynydd yn eglur i bawb, yn enwedig yn ei ddawn a'i fedrusrwydd i esbonio yr ysgrythyrau, rhoddai allan y synwyr mewn modd eglur wrth eu darllen; dywedai ychydig er eglurhâd ar yr hyn a ddarllenai; a dyma ydoedd ei ddull cyffredinol o bregethu, sef agoryd i ni yr ysgrythyrau.

Dywedodd un gwr dysgedig wrthyf, yn ddiweddar, sef y Parch. J. Parry, Caerlleon, ei fod yn rhagori fel esboniwr, yn ol ei farn ef, ar y cyffredinol-

rwydd yn ei oes. Yr un modd hefyd y dywedoedd y Parch. W. Williams, Ficer Pwllheli, am ei Esboniad ar lyfr y Pregethwr. Felly os dwy dalent a roddwyd ato fe ennillodd yntau ddwy eraill atynt trwy lafur a ffyddlondeb; gosodwyd ef ar lawer. Gallai draethu i eraill yr hyn a glywai yn ei flas a'i oleu; ac yn hyn yr oedd yn un o'r rhai tirfion ac iraidd yn ei henaint.

Byddai yr ychydig a ddywedai yn derfyn cyffredinol ar yr ymresymiad. "Geiriau y doethion sydd megys symbylau, ac fel hoelion wedi ei sicrhâu gan feistriaid y gynnulleidfa."

Teithiodd lawer trwy Siroedd y Gogledd ar Dehau, ynghyd a rhai o drefydd Lloegr; a bu hefyd yn y brif ddinas, (Llundain.) Perchid ef yn fawr gan y Cymry, o herwydd ei fedrusrwydd yn yr iaith; a chan y dysgedig o herwydd ei wybodaeth. Felly yr oedd y cyfiawn hwnynblodeuo fel y balmwydden, ac yn cynhyddu fel y gedrwydden yn Libanus.

Gellir dweyd am gywirdeb ei athrawiaeth, mai cyfraith gwirionedd oedd yn ei enau ef; ac anghywirdeb ni chafwyd yn ei wefusau. Mewn hedd ac uniondeb y rhodiodd yngwasanaeth ei Dduw, a llawer a drodd efe oddiwrth anwiredd. Trwy gwbl ddiwydrwydd ychwanegodd at ffydd rinwedd; ac at rinwedd wybodaeth. Daeth i'r winllan yn forau, bu yno hyd yr hwyr. Felly, dyoddefodd bwys y dydd a'r gwres; a threuliodd ei oes yn weithiwr difefl yn ngwaith ei Arglwydd, a bu ffyddlon hyd angau, a rhoddwyd iddo goron y bywyd.

Parwyd iddo ddeall mai trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid myned i dir y bywyd. Bu y saethyddion yn chwerw wrtho, er hyny arhôdd ei fwa ef yn gryf, a breichiau ei ddwylaw ef a gryfhasant, trwy ddwylaw grymus Duw Jacob. Felly er amledd ei brofedigaethau a'i orthrymderau ni fwriwyd ef i lawr; eithr cynhaliodd Duw ef a'i law, aeth o nerth i nerth; yn ddiffygiol, etto yn erlid ei elynion. Gorchfygodd trwy waed yr Oen.

Dywed gwas yr Arglwydd mai mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro; gan hyny gweddus ydyw addef na bu ein brawd hwn heb ei lithriadau; ond gofynaf, gyda gwylder, i'm brodyr parchedig, a welwyd arwyddion amlycach o wir ymostyngiad o flaen Duw ei dadau, ac o adferiad yn ei sefyllfa eglwysig fel aelod, neu yn ei swydd fel gweinidog cyhoeddus, ar neb yn gyffredinol ag ar y brawd hwn? Cymerwyd ymaith y dillad budron oddi am dano ef, a gwisgwyd ef mewn newid dillad. Rhoddwyd meitr teg ar ei ben, ac yna bu traed yr efengylwr hwn, o hyny hyd ddiwedd ei oes, yn weddaidd ar y mynyddoedd—rhodiodd yn ofn yr Arglwydd ac yn niddanwch yr Ysbryd Glan.

Cymeradwyai yn fawr y Gymdeithas Ddirwestaidd yn ei phrif ddibenion, sef dileu meddwdod a phleidio sobrwydd. Bu yn bob cynhorthwy iddi yn ei athrawiaeth, ei ymddiddanion, a'i fuchedd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw.

Yn y flwyddyn 1836 ordeiniwyd ef i weini yr ordinhadau. Ymddygodd yn wylaidd a thra sobr yn y rhan hon o'r swydd sanctaidd, hyd ddiwedd ei oes. Daeth yn amlycach ar ol hyn mewn dau beth; sef, anwyldeb y frawdoliaeth a ffyddlondeb y weinidogaeth—brawd anwyl a gweinidog ffyddlon. Anfynych y gwelais ef yn tori bara yngweinyddiad y sacrament, na byddai ei enaid mewn agwedd ddrylliog wrth gofio y dryllio ar y groes.

Anmharodd yn ei iechyd ar ei daith yn y Deheudir, yn agos i Ferthyr Tydfil. Ac erbyn ei ddyfod yn ol i'r Abermaw, yr ydoedd yn glaf iawn o'r clefyd y bu farw o hono, ac nis gallodd fyned i'r Capel. Tranoeth, sef dydd Iau, aeth o'r Abermaw i'r Dyffryn, i dŷ Mrs. G. Pugh; a bu yno yn gorwedd hyd ddydd Llun, mewn gwaeledd mawr. Daeth oddiyno drwy lawer o anhawsdra i Talsarnau, i dy Mr. John Jones, Tŷ Mawr; a lletyodd yno ddydd Mawrth: anfonwyd ef gan John Jones i'r Tywyn, i dŷ Capt. Richards; a daeth yn yr hwyr i dŷ Mr. R. Roberts, Ystumlleyn, a lletyodd yno. Tranoeth, sef dydd Mercher daeth yn llesg iawn i dŷ Mr. J. Jones, Glynn, bu yno tros nos. Daeth ei fab yno i'w gyfarfod, cafodd fenthyg cerbyd bychan, ac yn hwnw trwy helbul mawr daeth adref yn yr hwyr.

Cyrhaeddodd i'w dŷ ei hun erbyn pedwar o'r gloch ddydd Iau, y 7ed o Tachwedd, yn analluog i siarad ond ychydig; felly dydd Sadwrn, am chwech yn yr hwyr, fe aeth i dangnefedd, yn 66 oed. Nos Fercher y 13eg, y perthynasau a'r cyfeillion, ynghyd a'r gynulleidfa a ymgynnullasant i'r Capel, lle y traddodwyd pregeth fer ar yr achlysur gan ei hen gyfaill oddiar Ioan 6. 40. Dydd Iau, 14eg, ymgynhullodd tyrfa liosog (er ei bod yn dywydd gwlyb iawn) i'r Capel erbyn 10 o'r gloch. Wedi i frawd ddar-

llen rhanau addas o'r gair sanctaidd, a gweddio, traddodwyd pregeth dra sobr a chynwysfawr, gan y Parch. J. Hughes Lleyn, oddiar Dat. 14. 13.

Cariwyd ef gan ei gyfeillion ar ei hysgwyddau i Llanbedrog. Canwyd Emynau addas hyd y ffordd, yngwasanaeth y claddedigaeth, ac hefyd wrth y bedd, yna ymadawyd yn alarus.

*Lleyn.* THOMAS PRICHART.

## ARFAETH DUW.

(Parhad o tu dalen 355.)

Y gosodiad nesaf, teilwng o'n sylw ydyw, fod parhad arosiad pob dyn yn y byd hwn; amser, dull, a moddion ei fynediad o'r byd hwn, yn nghyd â'i sefydliad tragywyddol, a digyfnewid mewn byd arall, wedi eu penderfynu yn Ngyngor Duw. Mynych esamplau y sydd o rai yn marw yn eu mabandod, ereill yn eu hieuengctid, ereill mewn canol-oedran, ac ereill mewn henaint teg. Rhai yn cael eu boddi yn y môr, ereill eu llosgi yn y tân; rhai eu lladd â'r cleddyf, ereill gan glefydau a heintiau; rhai yn disgyn i'r bedd trwy ddamweiniau echrydus a disymmwth, ereill trwy hir nychdod a gwendid; rhai trwy hunan-leiddiad gwallgofus, ereill trwy ddwylaw anwir a gwaedlyd. Y rhai hyn ydynt yn cyfarfod âg angau ar wahanol amserau, ac mewn gwahanol fanau. Rhai yn y nos, ereill yn y dydd; rhai yn y boreu, ereill yn y prydnawn. Rhai yn yr haf, ereill yn y gauaf. Rhai yn y maes, ereill yn eu hanneddau; rhai yn eu gwelyau, ereill ar eu cadeiriau; rhai yn yr addoldŷ, ereill yn y tafarndŷ; rhai wrth eu gorchwylion, ereill mewn diofalwch; rhai ar y môr, ereill ar y tir. Ond y mae 'agoriadau uffern a marwolaeth,' h.y. y byd anweledig yn llaw yr arfaethwr, fel nad oes neb yn marw yn gynt, nac yn aros yn hwy, nag y rhoddo dro yn yr agoriad. Efe sydd yn ysgaru yr enaid a'r corph oddiwrth eu gilydd; efe sydd yn agor dorau y bedd i'r corph marwol; efe sydd yn agor dorau tragywyddoldeb i'r enaid gwerthfawr, gan ei sefydlu mewn sefyllfa ddigyfnewid; ac efe a egyr ddorau y bedd etto, ac a adgyfyd y corph, i'w uno yn dragywyddol â'r enaid, a'r cwbl yn ol ei arfaeth dragywyddol. 'Onid oes amser terfynedig i ddyn ar y ddaear.' Onid yw 'ei ddyddiau ef wedi eu rhagderfynu, rhifedi ei fisoedd ef (gyda Duw) a'i derfynau wedi eu gosod fel nad el drostynt.'

Efallai fod rhai yn barod i wrthddadleu, gan ddywedyd, 'Pa fodd, gan hyny, y dywed y gwr doeth,' 'Na fydd ry annuwiol; ac na fydd ry ffol; paham y byddit farw cyn dy amser? A pha fodd y sonir am rai yn marw cyn hanner eu dyddiau—a pha fodd y chwanegwyd pymtheng mlynedd at oes Hezeciah.

Angenrheidiol, yn ddiau, yw ymdrechu i gysoni yr Ysgrythyrau a ymddangosant ar yr olwg gyntaf fel pe baent yn gwrth-ddweyd y naill y llall, fel y gweler y cydgordiad rhyfeddol sydd rhyngddynt. Yn y ddwy ysgrythyr gyntaf a enwyd, y geiriad sydd amlwg, 'cyn *dy* amser,' 'cyn hanner *eu* dyddiau.' Nid cyn amser Duw, nid cyn dyddiau rhagderfynedig Duw; ond cyn yr amser, a chyn hanner y dyddiau, ag y gallasent yn ol trefn gyffredin natur eu cyraedd; a chyn yr amser, a hanner y dyddiau y meddyliasent hwy eu hunain eu mwynhau. Diau fod y gwr doeth yn cyfeirio at farwolaeth mewn un o bedwar amgylchiad, a hyny oblegid gormodiaeth mewn annuwioldeb. 1. Marwolaeth dan farn uniongyrchol o eiddo Duw, megis Corah, Dathan, ac Abiram, am eu gwrthryfel yn erbyn Duw a Moses; Nadab ac Abihu, am offrymu â thân dieithr; Ananias a Sapphira, am ddyweyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân; a llawer ereill a allesid eu henwi. 2. Marwolaeth trwy weithrediad gryniaus cyfraith y tir; megis llabyddiad Acan, am ladratta y llafn aur, a'r fantell Babilonig dêg; a'r 'gwr o Israel,' a gablodd enw yr Arglwydd. Onid oes genym esamplau, yn ein gwlad ein hunain, o ddynion ieuaingc, heinyf, a chryfion, oblegid eu heithafion mewn annuwioldeb, wedi eu crogi ar bren, ac felly yn cyfarfod â marwolaeth anamserol. 3. Marwolaeth dan farn Duw, yn cael ei dwyn oddiamgylch trwy offerynau; megis Absalom am wrthryfela yn erbyn ei dad. Yma yr oedd gweithrediad rhagluniaeth yn dra chywrain. Cafwyd ef yn grogedig wrth ei wallt mewn derwen, fel y caffai Joab fwy o fantais i'w drywanu. 4. Marwolaeth dan farn o galedwch. Y Duw cyfiawn a rydd rai dynion i fynu 'i feddyliau anghymmeradwy,' 'i gyflawni pob aflendid yn un chwant,' fel y maent 'fel yr ŷch yn myned i'r lladdfa,' 'hyd oni ddryllio y saeth' eu hafu hwynt.

ac fel y maent yn marw yn ddychrynadwy dan afiechyd trwm. Goddefa yr Arglwydd i ereill roi terfyn ar eu heinioes eu hunain, fel Ahitophel a Judas.

Yn yr holl amgylchiadau hyn, gallasai y personau a enwyd fyw yn hwy, yn ol trefn gyffredin natur; ond oblegid eu heithafion mewn annuwioldeb buont oll farw cyn yr amser hwnw; ond nid cyn amser terfynedig Duw iddynt.

Am chwanegiad pymtheng mlynedd at ddyddiau Hezeciah, amlwg yw, nad oes dim pennodiad ar yr amser y byddai farw, yn y genadwri a anfonir ato; ond yn unig, 'Trefna dy dŷ; canys marw fyddi, ac ni byddi byw.' Gwir yw i Hezeciah feddwl y byddai farw yn ddisymwth; a gallem feddwl fod ei glefyd o natur farwol; 'eithr nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, medd yr Arglwydd.' Yr oedd yr Arglwydd yn ei arfaeth dragywyddol wedi penderfynu anfon cenadwri ato fel y gwnaeth; iddo yntau ymostwng ger ei fron, ac erfyn yn daer am ymwared, rhwymo plastr ar y cornwyd, a chwanegu pymtheng mlynedd at ei einioes. Yr oedd y chwanegiad yma, yn chwanegiad yn ol meddwl Hezeciah ei hun, ond nid yn ol meddwl a bwriad Duw. Ac yr oedd digon o waith i'r brenin drefnu ei dŷ, trwy gorph y pymtheng mlynedd hyn.

Yn nesaf, dylem ystyried ychydig yn nghylch arfaeth Duw, mewn perthynas i'r rhan afresymol o'r greadigaeth fywydol. Y creaduriaid afresymol yn eu rhifedi, maintioli, nerth, cyflymder, neu arafwch, harddwch, neu anharddwch, rhywogaeth, amseriad eu bodolaeth, dull eu bywoliaeth, eu gwasanaethgarwch i ddynion, terfyniad eu bywyd, a phob amgylchiad perthynol iddynt, ydynt unol â bwriadau Duw. 'O herwydd ei ewyllys ef y maent ac y crewyd hwynt.' O'i ewyllys da y mae yn porthi yr holl greaduriaid afresymol, y rhai oll a ddisgwyliant wrtho am eu bwyd yn ei bryd; a roddo iddynt a gasglant, a dim yn ychwaneg. Weithiau cuddia ei wyneb oddiwrthynt, hwythau a drallodir, dwg ymaith eu hanadl a threngant, a dychwelant i'w llwch. Eithr nid oes un aderyn y to yn syrthio i'r ddaear, heb ein Tad ni.

II. Arfaeth Duw mewn perthynas i'r greadigaeth difywyd.

Y byd, a phob peth sydd ynddo, a grewyd yn ol ewyllys, ac Arfaeth Duw. 'Teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, canys ti a greaist bob peth, ac o herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt.'

Y bodau wybrenol; eu creadigaeth, eu rhifedi, eu maintioli, eu sefyllfa, eu defnydd y naill i'r llall, ac i'n daear ni, eu dibyniad am oleuni, ac adfywiad y naill ar y llall, eu parhad, eu mynediad heibio, a'u dilyniad gan nefoedd newydd, ydynt yn ol bwriadau y Goruchaf Dduw. 'Efe a wnaeth y lleuad i amserau nodedig; yr haul a edwyn ei fachludiad.' Geilw y Psalmydd ar yr haul, a'r lleuad, holl sêr goleuni, a nef y nefoedd i foliannu enw yr Arglwydd, gan ddywedyd, 'Gwnaeth iddynt barhau byth yn dragywydd; gosododd ddeddf, ac nis troseddir hi.' A 'nefoedd newydd, (medd yr Apostol) ydym ni yn ol ei addewid ef yn ei ddisgwyl.'

Y ddaear yn ei gwahanol ddull, cyn a chwedi y diluw, ei pharhad, a'i distryw diweddaf, yn nghyda'r amser y cymmer hyny le, sydd yn ol cyngor Duw. 'Canys y mae hyn yn ddiarwybod iddynt, o'u gwirfodd, mai trwy air Duw yr oedd y nefoedd er ys talm, a'r ddaear yn cydsefyll o'r dwfr, a thrwy y dwfr. O herwydd paham y byd a oedd y pryd hwnw, wedi ei orchuddio â dwfr, a ddifethwyd. Eithr y nefoedd a'r ddaear sydd yr awr hon, ydynt trwy yr un gair wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion.' A rhaid, oblegid cyngor Duw, i'r nefoedd fyned heibio gyda thwrf, 'a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir.'

Drachefn, y môr; lle ei arosiad, ei derfynau, y tywod, dros yr hwn ni all fyned, ydynt wedi eu penderfynu yn yr arfaeth dragywyddol. 'A phwy a gauodd y môr â dorau, pan ruthrodd efe allan, megis pe deuai o'r groth? Pan osodais fy ngorchymyn arno, a phan osodais drosolion â dorau, gan ddywedyd, Hyd yma y deui ac nid yn mhellach; ac yma yr attelir ymchwydd dy dônau di.' 'Pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd, na thorrent ei orchymyn ef; pan osododd efe sylfeini y ddaear; yna yr oeddwn i gydag ef, *megis* un wedi ei feithrin gydag ef.' 'Onid ofnwch chwi fi? medd yr Arglwydd: oni chrynwch rhag fy mron, yr hwn a osodais y tywod yn derfyn i'r môr, trwy ddeddf dragywyddol, fel nad elo dros hwnw; er i'r tonau ymgyrchu,

etto ni thyccia iddynt; er iddynt derfysgu, etto ni ddeuant dros hwnw.'

Y gwlaw etto, yr hwn, weithiau, sydd er daioni, er peri i'r ddaear ffrwythloni; bryd arall i'w ddaear, pan na ellir dywedyd ei fod yn fendith nac yn felldith; a phryd arall yn gosbedigaeth, pan anfonir gormodaeth o hono; a'i attaliad sydd yn ol gair, ewyllys, a bwriad Duw. Pan wnaeth efe ddeddf i'r gwlaw, a ffordd i fellt y taranau.' 'Hefyd efe a flina gwmwl yn dyfrhau; efe a wasgar gwmwl goleu. 'Ac y mae hwnw yn ymdroi oddiamgylch wrth ei lywodraeth ef; fel y gwnelont hwy beth bynag a orchymyno efe iddynt, ar hyd wyneb y byd, ar y ddaear. Pa un bynag ai yn gospedigaeth, a'i i'w ddaear, ai er daioni, efe a bâr iddo ddyfod. 'Myfi hefyd a atteliais y gwlaw rhagoch, pan oedd etto dri mis hyd y cynhauaf: gwlawiais hefyd ar un ddinas, ac ni wlawiais ar ddinas arall: un rhan a gafodd wlaw, a'r rhan ni chafodd wlaw a wywodd.' 'Ceisiwch (gan hyny) yr hwn a wnaeth y saith seren, ac Orion, ac a dry gysgod angau yn foreu ddydd, ac a dywylla y dydd yn nos; yr hwn a eilw ddyfroedd y môr, ac a'u tywallt ar wyneb y ddaear: yr Arglwydd yw ei Enw.'

(*I'w barhau.*)

---

## TYMHERAU RHWYSTREDIG I FRAWDGARWCH.

GAN fod gorchymyn mor aml yn yr Ysgrythyrau i gynnal a meithrin brawdgarwch, y mae yn teilyngu ymholiad pa bethau mewn tymher, neu agwedd ysbryd, a eill weithredu yn niweidiol ac anfanteisiol; oblegid i'r dyben o ragori mewn unrhyw beth, dylid ceisio cael allan, ac yna symud ymaith a gochelyd, yr hyn a fydd yn attal ei lwydd a'i gynnydd.

Tra yr ystyriom rai pethau, nad ydynt anhawdd eu canfod mewn llawer Eglwys, yn difa serchogrwydd, eu pwysigrwydd niweidiol a'u gwrthuni a ymddengys yn anwadadwy yn ngoleuni y pelydr nefol hwnw,—'*Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd: fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd.*'

Os ydym am barhad brawdgarwch, rhaid bod yn wyliadwrus rhag

I. Tymher dramgwyddedig, neu duedd i ymrwystro wrth ychydig, a chadw mewn cof yr hyn a fydd yn wrthwyneb i ein meddwl, a dal surni a dig o'i herwydd. Nid yw hyn yn un anrhydedd i ddyn, oblegid 'gwell yw y dyoddefgar o ysbryd na'r balch o ysbryd, a gwell yw yr hwn a reola ei ysbryd na'r hwn a ynnillo ddinas.' 'Anrhydedd yw i wr beidio âg ymryson.' 'Y diog i ddigofaint sydd yn llawn o synwyr.' Y mae tuedd dramgwyddedig yn dangos bod ein crefydd a'n hysbrydolrwydd yn isel. Y mae cariad sanctaidd yn dyoddef pob dim. Pethau ysgafn a geir yn myned ymaith gyda phob awel. Y mân ûs sydd yn derchafu wrth bob chwyth, tra yr erys y gwenith yn ddigyffro. Er cael ymwared oddiwrth y gwaeledd hwn, dylem ddarllen llawer ar y gair a'i condemnia, gweddio yn ei erbyn, ac ystyried pa faint sydd gan ereill i'w ddyoddef ynom *ni* ac oddiwrthym; a pheidio gosod ein meddwl ar bob gair a ddywedir; na chyfrif ein cyfeillion yn droseddwyr o herwydd gair.

II. Rhaid dyfal-ymdrechu yn erbyn tymher *eiddigus genfigenus*, a'n gwnelom yn annyoddefus o neb a dybiom yn fwy parchus, ac yn uwch na ni mewn unrhyw beth; neu a fyddo yn ein golwg am gystadlu â ni; neu, yn wir, am ein canlyn ac ymdebygu i ni, a ninnau am fod heb ein bath yn y peth neu y pethau a fo yn achlysuro ein cenfigen. 'Pwy a ddichon sefyll o flaen cenfigen?' Pa ddrygau bynag a wneir i'w wrthddrych, efe a effeithia fyth yn waeth i'r *cenfigenus ei hun*. Y dymher ddieflig yma ei hun sydd eithaf cosp. 'Cenfigen a bydra yr esgyrn.' Cariad ysbrydol, pan yn llywodraethu, nid yw yn cenfigenu, ond cyd-lawenhau y mae â'r hwn a gaffo ddaioni. Felly yr ymddygodd Moses foneddigaidd, pan ddywedodd, 'O na byddai holl bobl yr Arglwydd yn brophwydi, a rhoddi o'r Arglwydd ei Ysbryd arnynt.' Dyma dymher urddasawl a thywysogaidd: ond tra fyddom genfigenus, onid ydym yn gnawdol,—'yn rhodio yn ol y cnawd, ac nid yn ol yr ysbryd.' Y mae yr ysbryd hwn yn fwyall wrth wraidd cariad brawdol, gan daro yn uniongyrch yn ei erbyn. 'Nac ymgenfigenwn,' gan hyny, 'yn erbyn ein gilydd.' 'Nid yw y doethineb hwn yn disgyn oddiuchod, ond daearol, anianol, cythreulig yw; canys lle y mae cenfigen, yno y mae terfysg, a phob gweithred ddrwg.' Gan nad oes neb yn cenfigenu, ond oblegid pethau y mae yn llettya cyfrif rhy uchel arnynt megis meddiannau, doniau, swyddau,

parch, breintiau, prydferthwch gwedd, gwychder gwisgoedd, dylem ymdrechu unioni ein barn o barth y pethau hyn, fel na byddont mor werthfawr a dymunol yn ein golwg: yna ni a beidiwn genfigenu wrth y rhai sydd yn eu meddu; neu os ydym ni yn eu meddu, ni bydd chwith genym i ereill hefyd eu cael. Nid ydynt ond sothach yn wir, mewn cydmariaeth â chariad, yr hwn a eilw yr Apostol yn ffordd dra rhagorol. Diau y gall genfigenu wrth wrando adrodd profiad crefyddol a fyddo yn uwch na'u heiddo hwy; neu yn wyneb amlygiad o rinweddau a feddiennir gan ereill yn ynnill canmoliaeth: ond nid oblegid cydnabyddiaeth o wir werth y pethau hyn y cenfigenent, ond oblegid y gymmeradwyaeth a'r clod a fyddai iddynt. Carent fod yn enwog am bethau na werthfawrogant, ond ar gyfrif y ganmoliaeth a ganlyn. Ystyriwn mor wael a dirmygedig yw tymher fel hyn —tristau a digio o herwydd rhagoroldeb neu fwyniant fy nghyd-ddyn! Gochelwn ddangos cymmaint anfri ac anmharch i'r Arglwydd ac ymddigio am ei garedigrwydd i ereill, a ffromi os bydd neb yn cyfranogi o hono ond nyni ein hunain. Anfeidrol ddoethineb a ŵyr i bwy, ac i ba helaethder y mae yn weddus i gyfranu; ac haerllugrwydd ofnadwy yw bod ein hwyneb yn syrthio pan ddewiso Rhagluniaeth wenu ar, a chysuro ein brawd.

III. Tymher arall, dra gelynol i gariad yw tymher *ddrwg-dybus* a esyd esboniad annhirion ar bob ymddygiad ac amgylchiad perthynol i ereill a ddaw dan ein sylw. Y brenin Saul a gymmerai olwg fel hyn ar bethau hollol ddiniwed a fyddai yn llwybr Dafydd. Tristwch Nehemiah a ystyrid gan y brenin yn anniddigrwydd ac yn sarugrwydd, heb ddim yn sail i hyny, ond ei dymer ddrwg-dybus.' 'Cariad ni feddwl ddrwg.' Na fyddwn farnwyr meddyliau drwg,' ac na feddyliwn bethau isel am ein gilydd heb sylfeini a phrofion digonol. Gochelwn ddringo i'r orsedd, a dedfrydu ar bob achlysur ar cael dychymygion, Na ryfygwn i geisio treiddio i galonau ereill a'u dybenion ar antur ac amcan. Os amgen, ni all gwir gariad a hyder flaguro yn yr eglwys. Eithr gobeithiwn bob dim, a chredwn bob dim o ochr pob brawd, ac yn ffafrol iddo, hyd y gallwn, nes y caffom brofion diammheuol i'r gwrthwyneb. Ansawdd meddwl fel hyn sydd yn *arwydd* o gariad, ac yn *cenedlu* cariad; a'r gwrthwyneb, yn brawf *nad oes* gariad, ac a *genedla gas*.

IV. Tymher *uchelfrydig* drachefn, mewn aelod eglwysig a effeithia yn dra anfanteisiol i gydfod a brawdgarwch. 'Gwr uchel ei feddwl (medd yr Ysgrythyr) a ennyn gynnen.' Mewn lle arall dywedir, 'Trwy falchedd, yn unig, y cyffry cynnen.' Cael ei hun, ei olygiadau a'i drefniadau i anrhydedd, ystyriaeth, a bri, goruwch ereill, a'u syniadau, yw amcan a nôd anghyfnewidiol ysbryd balch; ac os digwydd siomedigaeth iddo yn hyn, ar unrhyw achlysur, nid oes dim i'w ddysgwyl amgen, na chynhwrf a therfysg. Y Gair Sanctaidd a fynych draetha yr angenrheidrwydd o fod aelodau cymdeithas yn marweiddio eu tueddiadau hunanol, a'u huchel dybiau, os ydynt am gyddrigo mewn hyfrydwch a chysur. Cyngborir ni, gan hyny, i dybied ein gilydd yn well na ni ein hunain; ac na ddylem edrych, bob un ar ei bethau ei hun, ond pob un ar bethau ereill hefyd. Trwy ddarfod felly a gorbriso ein hewyllys a'n golygiadau ein hunain, darfyddai y siomedigaeth, yr anfoddlonrwydd, a'r anniddigrwydd, yn wyneb gwrthsyniadau, a gwrthddywediadau sydd yn terfynu yn aml mewn ymryson a digasedd.

V. Yn dwyn agos berthynas â'r hyn a nodwyd olaf, ac yn tarddu oddiwrtho debygid, yw y dymher *ystyfnig ac anmhlygedig*. Synwyr a rheswm a ddengys y dylai aelod cymdeithas ymroddi i gyd-ymffurfio âg ewyllys a llais ei gyfeillion, a chydweithredu â hwynt; canys yr oedd ei waith yn ymuno â hwynt yn gyhoeddiad o'i barodrwydd i hyny; ac y mae y gwrthwyneb ymddygiad yn anghysonder o'r mwyaf. Ni all cymdeithas fod yn gariadus, os myn pob aelod ei ffordd, er mor groes bynag i feddyliau ei frodyr y byddo ei fympwy. Nis *gall garu*, ac nis *cerir* ef, y dyn sydd a'i gariad i gyd ar ei *opiniwn* ei hun. Ond y mae y dwyfol wirionedd (annogaethau yr hwn sydd oll at feithrin brawdgarwch) yn ein rhwymo i fod yn hawddgar, ystwyth, a hunan-ymwadol, gan 'ymddarostwng i ein gilydd yn ofn Duw,' a bod 'yn ostyngedig i'n gilydd bawb, ac ymdrwsio oddifewn â gostyngeiddrwydd.' Y canlyniad o hyn fyddai, cariadus aberthiad o ein golygiadau ein hunain, ond pan y byddai ein cydwybod yn galw arnom i sefyll dros y gwirionedd ar bwngc tra

phwysig. Condemnir gwrthnysigrwydd yn aml yn y Bibl mewn iaith rymus fel y canlyn:—'Gwr cyndyn ei galon a ddiystyrir.' Dyn cyndyn a bair ymryson,'—'ni chaiff ddaioni,—'drain, a maglau sydd yn ei ffordd,'—'y neb a gadwo ei enaid fydd bell oddiwrtho.' I ochelyd yr agwedd anhawddgar hon, ystyriwn y gwirioneddau ysgrythyrol hyn—nac ymddiriedwn yn ein dyall ein hunain;—a chanlynwn esampl y Pen mawr; yr hwn, pan ymneillduai i fwynhau unigrwydd, llonyddwch, a thawelwch y mynydd, neu'r anialwch; etto, os deuai y torfeydd ato i'w meddyginiaethu a'u dysgu, aberthai yn ddi-rwgnach ei amcan a'i bleser ei hun er boddhau a lleshau ereill.

VI. Y mae mawr niwed i frawdgarwch, eilwaith, oddiwrth dymher *gyfrwys, ddichellgar.* Y mae dyn a arfero ymddwyn gyda chyfrwysdra yn sicr o leihau hyder a hoffder ei gyfeillion ynddo. Un o'r fath yma nid yw byth yn gweithredu yn oleu, yn amlwg, ac yn syml; ond y mae yn caru cael ei amcan mewn ffordd gwmpasog, ddofn, ystrywgar. Y mae dull sarffaidd, torchog a niwlog, o effeithio ein dyben yn groes i onestrwydd a symledd Cristionogol, yn peri amheuaeth am ein cywirdeb, ac yn ein hymddifadu yn anocheladwy o serch pob dyn, o ysbryd gwrol, didwyll, a boneddigaidd. 'Cas yw y gwr ddichellgar.'

VII. Y duedd chwedleugar, goganus, ac enllibus mewn eglwysi, a weithreda, hefyd, annhraethadwy ddrwg i estroni aelodau a'u hoeri at eu gilydd. Yr Apostol a ofnai iddo gael goganau ac hustyngau ymhlith y Corinthiaid. Yr hustyngwr (sef yr hwn sydd yn hela ac yn sibrwd chwedlau drwg am ereill) a neillduа dywysogion.' Y mae ei 'eiriau megis archollion yn disgyn i gilfachau y bol.' Yr hwn a gaiff drigo yn mhabell yr Arglwydd, yw y dyn 'nad yw yn absenu, yn gwneud drwg i'w gymmydog, nac yn derbyn enllib yn erbyn ei gymmydog,' Dynionach a fyddont o'r duedd yma a'u prif hyfrydwch mewn gwrando ac adrodd pa beth bynag a iselhâ gymmeriad a pharch ereill, nid ydynt, yn gyffredin, yn ofalus iawn am *eirwiredd.* Yr hauesion a drosglwyddant sydd bron bob amser yn *chwyddo* wrth fyned trwy eu dwylaw. Y chwedl a hebryngant a fydd yn dra gwahanol i'r hyn ydoedd pan y'i cawsant. Gosodant liw arall ar amgylchiadau, ac ychwanegiadau atynt, fel na bydd y gyfran o wir a adroddant yn dwyn ond ychydig gyfartalwch i'r helaethrwydd a fydd o anghywirdeb a chamddarluniad. Gofid a melldith mewn cymmydogaethau ac Eglwysi yw yr oferwyr hyn sydd yn ymyraeth â'r hyn ni pherthyn iddynt,—ac yn peri dyeithrwch ac anghariad lle bynag y cyrhaedd eu mall. Rhag y cyfryw, a'u harferion ein gweddi a fyddo yn wastadol—"Gwared ni, Arglwydd daionus!"

Yn bresenol, holwn ein hunain yn wyneb y gwreiddiau chwerwedd hyn sydd yn llygru llawer: ac os ein calon a'n condemnia, yn ddioed carthwn allan yr hen lefain, sef lefain malais a drygioni, fel y byddom does newydd. Gristionogion! nac ymrysonwn ar y ffordd, canys brodyr ydym ni, "Corff Crist, ac aelodau o ran." Na fydded anghydfod yn y corff. Eithr pa un bynag ai dyoddef a wna un aelod, bydded i'r holl gorff gyd-ddyoddef; ac anrhydeddu a wneir un aelod, bydded i'r holl gorff gyd lawenhâu. Trwy bob anhawsderau dilynwn gariad; fel y gallom yn unfryd, o un genau, ogoneddu Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist! C.

---

FFYDD YN NGHRIST.

Y Parch. J. Hyatt, pan oedd ar ei wely angeu, ymwelodd y Parch. Matthew Wilks âg ef. Yr oedd Mr. Hyatt yn gydlafurwr â Mr. Wilks yn y *Tabernacl*, a Chapel *Tottenham Court*, Llundain. Pan ddaeth Mr. Wilks ato, gofynodd iddo, 'A ydyw pob peth yn iawn at y byd a ddaw?'

'Yr wyf yn ddedwydd iawn,' ebe Mr. Hyatt.

Mr. Wilks a ofynodd wedi hyny, 'A wnaethoch eich ewyllys?' 'Ewyllys yr Arglwydd a wneler,' ebe yntau, gan gamgymmeryd y gofyniad.

'A gaf fi weddio gyda chwi?'

'Cewch,' ebe yntau, 'os gellwch,' gan gyfeirio at deimladau Mr. Wilks ar y pryd.

Ar ol y weddi, dywedai Mr. Wilks, 'Wel, fy mrawd, pe byddai genych gant o eneidiau, fel yr arferech ddywed yd, a ymddiriedech chwi hwy oll ar Grist heddyw?'

Yntau, gyda rhyw egni hynod, a atebodd, 'Miliwn heddyw.' J. .F

---

Mae dau nod ar ddefaid Crist; nod y glust, 'Fy nefaid i sydd yn gwrando ar fy llais:'—a nod y troed, 'A hwy a'm canlynant i.'

J. D. Nantglyn.

(Parhad o tu dal. 356.)

*Dirmygu yr Iesu; sef hanes yr amgylchiadau o'r amser yr hoeliwyd ef wrth y groes, hyd y pryd y rhoddodd efe i fynu yr ysbryd ac y bu farw, am dri ar gloch brydnawn.*

| Rhif. | Y Cyfundrefn. | Mat. | Marc. | Luc. | Ioan. | Y Lle. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 293 | Y rhai oeddynt yn myned heibio a'i cablasant ef .. | xxvii. 39—43. | xv. 20—32. | xxiii. 35. | .... | Calfaria |
| 294 | Y milwyr yn cynnyg iddo finegr.................. | .... | .... | xxiii. 36—38. | .... | Etto |
| 295 | Y ddau leidr yn ei ddirmygu.................. | xxvii. 44. | xv. 32. | .... | .... | Etto |
| 296 | Un o'r lladron yn ei ddirmygu ef ... ........... | .. . | .... | xxiii. 39. | .... | Etto |
| 297 | Y llall yn edifarhau, ac yn gweddio ............ | .... | .... | xxiii. 40—43. | .... | Etto |
| 298 | Rhoi gofal ei fam i Ioan y disgybl .............. | .... | .... | .. | xix. 25...27. | Etto |
| 299 | Tywyllwch o'r 6ed hyd y 9fed awr.... .. ........ | xxvii. 45—47. | xv. 33—35. | xxiii. 44, 45. | .... | Ar yr holl ddaear |
| 300 | Efe a ddywedodd, 'y mae syched arnaf.' ......... | .... | .... | .... | xix. 28. | Calfaria |
| 301 | Cynnyg iddo ysbwng llawn o finegr ............. | xxvii. 48, 49. | xv. 36. | .... | xix. 29. | Etto |
| 302 | Efe a ddywedodd, 'Gorphenwyd,' ac 'i'th ddwylaw di, O Dad, y gorchymynaf fy ysbryd.' Ac wedi iddo ddywedyd hyn, 'efe a roddodd i fynu yr ysbryd.' .......................... | xxvii. 50. | xv. 37. | xxiii. 46. | xix. 30. | Etto |

*Yr amgylchiadau o'r amser y rhoddodd yr Iesu i fynu yr ysbryd, hyd y pryd y cymmerwyd ei gorph oddiar y groes, ac y claddwyd ef, yn medd newydd Joseph, mewn gardd, yn agos i Galfaria.*

| Rhif. | Y Cyfundrefn. | Mat. | Marc. | Luc. | Ioan. | Y Lle. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 303 | Llen y deml yn rhwygo oddifynu hyd i waered .... | xxvii. 51. | xv. 38. | xxiii. 45. | .... | Yn Jerusalem |
| 304 | Y ddaear yn crynu, y creigiau yn hollti, a'r beddau yn agor .............................. | xxvii. 52, 53. | .... | .... | .... | Etto |
| 305 | Y Canwriad yn cyffesu mai Mab Duw oedd yr Iesu | xxvii. 54—56. | xv. 30—41. | xxiii. 47...49. | .... | Calfaria |
| 306 | Trywanu yr Iesu â gwaewffon....... ............ | .... | .... | .... | xix. 31...37. | Etto |
| 307 | Ei gymmeryd oddiar y groes ......... ......... .. | xxvii. 57—59. | xv. 42—46. | xxiii. 50...53. | xix. 38...40 | Etto |
| 308 | Claddu ei gorph yn medd Joseph ............... | xxvii. 60—61. | xv. 46, 47. | xxiii. 53...56. | xix. 41, 42. | Mewn Gardd |
| 309 | Gwylied y bedd............................ | xxvii. 62—66. | .... | .... | .... | Etto |

I'w orphen yn y nesaf.

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### PEN. VIII.—SECTAU IUDDEWAIDD.

AR adferiad yr eglwys Iuddewig, ar ol caethiwed Babilon, cyfododd dwy blaid yn eu plith y rhai a ddangosent barch i grefydd. Un o honynt a ymlynent wrth yr ysgrythyrau yn unig, gan wrthod pob traddodiadau dynol. Gan broffesu cadw yr holl gyfraith hwy a gymmerasant yr enw Zadikim, y cyfiawn. Oddiwrth y rhai hyn y deilliodd y Samariaid a'r Saduceaid. Y blaid arall, heblaw yr ysgrythyrau ysprydoledig, a ychwanegent draddodiadau yr hynafiaid; ac oddiwrth radd uwch tybygedig o sancteiddrwydd hwy a elwid Chasidim, y duwiol. O'r rhai hyn y cyfododd y Phariseaid a'r Esseniaid

1. Y Samariaid yn wreiddiol oeddynt olynwyr eilunaddolgar y deg llwyth, rhan o ba rai a anfonwyd gan frenin Assyria i uno gyd â'r ychydig gwasgaredig i ad-boblogi Samaria a gwlad Israel. Yn y dechreu, fel cosp am eu heilun-addoliaeth, blinid hwy gan lewod; ond wedi crybwyll hyn i frenin Assyria, anfonid offeiriad o blith y gaethglud i'w haddysgu hwy yn nghyfraith Dduw. "Felly hwy a ofnasant yr ARGLWYDD, ac a wnaethant iddynt rai o'u gwehilion yn offeiriaid yr uchelfeydd, y rhai a wnaethant aberthau iddynt yn nhai yr uchelfeydd, a gwasanaethu yr oeddynt eu duwiau yn ol defod y cenhedloedd y rhai a ddygasant oddi yno." 2 Bren. xvii. 24—33

Wedi hyny hwy a ddiwygiasant mewn rhan, a derbyniasant ysgrifeniadau Moses, a adeiladasant deml ar fynydd Garizim, ac a addolasant Dduw Israel. Oddiwrth ymddiddan y wraig o Samaria, yr ydym yn deall fod hyd yn nod gan y dosparth mwyaf llygredig ryw wybodaeth am y Messia, a disgwyliad am ei ddyfodiad. Ioan iv. 25.

2. Y Saduceaid oeddynt fath o ddeistiaid. Derbyniasant eu henwad oddiwrth Sadoc eu sylfaenwr, yr hwn ydoedd yn byw C. C. 280 o flynyddoedd. Yn y dechreu hwy a wrthodent yn unig draddodiadau yr hynafiaid, fel yn amddifad o ddwyfol awdurdod, ond ar ol hyny hwy a fabwysiadent amryw dybiau annuwiol fel yr eiddo Epicurus, philosophydd cenedlig, ac a wrthodent yr holl ysgrifeniadau sanctaidd oddieithr pum llyfr Moses. Hwy a wadent adgyfodiad y meirw, ac anfarwoldeb yr enaid. Hwy a addefent hanfodiad a rhagluniaeth yr Hollalluog Dduw; ond gwrthodent yr athrawiaeth o wobr a chosp mewn cyflwr dyfodol. Josephus, yr hanesydd Iuddewig, a sylwa, "Pa bryd bynag yr eisteddent mewn barn ar ddrwg-weithredwyr, byddent yn wastadol am y ddedfryd lemaf yn eu herbyn." Dywed hefyd, "Eu nifer hwy ydoedd y lleiaf o holl sectau yr Iuddewon: ond yr oeddynt yn unig y rhai hyny o'r radd uwchaf, ac o'r cyfoeth mwyaf yn eu plith."

3. Y Phariseaid oeddynt y sect benaf yn mysg yr Iuddewon; ac er eu bod yn ddirmygwyr trahaus o'r bobl gyffredin, cynnwysai y werin y fath dyb am eu sancteiddrwydd, fel y daeth yn farn gyffredin yn eu plith, mai pe dau ddyn yn unig a dderbynid i'r nefoedd y byddai yn rhaid i un o honynt fod yn pharisead. Y rhan fwyaf o ddoctoriaid y gyfraith a'r ysgrifenyddion oeddynt o'r blaid hon. Hwy a barchent draddodiadau y doethion fel yn meddu o'r braidd gystal awdurdod â gair Duw, ac yn gyffredin yn rhoddi iddynt hwy y flaenoriaeth! Yr oeddynt yn annyoddefol o feilchion o'u cyrhaeddiadau crefyddol; gan dybied eu hunain yn teilyngu ffafr Duw trwy eu dyledswyddau a'u cyflawniadau. Ar y cyfrifon hyn darlunid hwy yn gywir gan ein Harglwydd fel yn dra rhagrithiol ac yn mhellach o deyrnas Dduw nac hyd yn nod y publicanod a'r putteiniaid.

4. Yr Esseniaid oeddynt sect fanol o'r Iuddewon, cangen o'r Phariseaid; arferent ffordd fwy marweiddiol o fyw, ac oeddynt, mae yn debygol, yn fwy rhydd oddiwrth ragrith. Er fod ein Hiachawdwr yn fynych yn ceryddu y sectau eraill, nid oes genym hanes ei fod yn eu crybwyll hwy; ac nid ydynt wedi eu nodi yn neillduol gan ysgrifenwyr y Testament Newydd. Rhoddir cyfrif am hyn trwy eu bod yn byw mewn lleoedd unig, rywbeth yn gyffelyb i'r mynachod Rhufeinaidd, ac oddiwrth eu bod ond anfynych yn dyfod i'r deml neu i gynnulleidfaoedd cyhoeddus. Llawer a dybient fod Ioan Fedyddiwr yn byw yn eu mysg. Hwy a gredent mewn cyflwr dyfodol o ddedwyddwch, ond oeddynt yn amheu am yr adgyfodiad. Yr oeddynt gan mwyaf yn gwrthwynebu priodi, ac yn mabwysiadu plant y tlodion i'w dwyn i fynu yn eu hegwyddorion. Ymgeiswyr am gymundeb gyd â hwy a fyddent ar brawf am dair blynedd, a phan eu cyflawn dderbynid, gofynid iddynt i rwymo eu hunain i wasanaethu Duw, i ymarferyd cyflawnder, i beidio

celu dim o'u dirgelion oddiwrth neb o'r gymdeithas, ac i beidio a'u hyspysu i neb arall, hyd yn nod i achub eu bywydau. Hwy a ddirmygent gyfoeth, ac a roddent eu heiddo yn gyffredin; yr oeddynt yn hynod o ymattalgar, yn bwyta ar fwrdd cyffredin, ac yn dra dysyml yn eu gwisgoedd.

5. Yr Ysgrifenyddion yn mhlith yr Iuddewon nid oeddynt sect neillduol, ond yn adysgrifenwyr y llyfrau sanctaidd; hefyd y rhai a hunan-ymroddent i olrheiniadau dysgedigol: esponwyr y gyfraith ac addysgwyr y bobl oeddynt.

6. Yr Herodianiaid nid oeddynt gymmaint fel sect grefyddol ag fel plaid wladol. Hwy a ymgydweddent â llawer o arferion cenedlig i ddwyn eu hunain i ffafr Herod a'i noddwyr Rhufeinaidd.

7. Y Galileaid, neu'r Gauloniaid, sydd yn ymddangos i fod yn blaid wladol derfysgus yn mhlith yr Iuddewon, yn hytrach na sect grefyddol. Eu blaenor cyntaf ydoedd Judas, y Galilead, Act. v. 37.

8. Y Libertiniaid, Act. vi. 9, oeddynt y cyfryw Iuddewon neu broselytiaid ag oeddynt yn ddinaswyr rhyddion o Rufain, a chanddynt synagog neillduol iddynt eu hunain yn Jerusalem.

---

## SYLWADAU AR JERUSALEM.

Jerusalem sydd yn sefyll rhwng Arabia, Syria, a'r Aipht, yn mharthau gorllewinol Asia, ynghylch 32 gradd o ledred gogleddol a 35 gradd o hydred dwyreiniol, ac yn brif ddinas Palestina yn Nhwrci, ac yn gorwedd ynghylch 100 milldir i'r dehau orllewin o Damascus (yr hon a fu gynt yn brif ddinas Syria), a 34 o filldiroedd i'r dehau ddwyrain o Joppa neu Jaffa.[1]

Bu y ddinas hon gynt yn harddwch y gwledydd dwyreiniol, a'r enwocaf trwy'r holl fyd, ond yn bresenol wedi ei diosg o'i holl orwychder cyntefig, ac er gwaeled yr olwg arni hi ynghyd a'r gymmydogaeth oddi amgylch, ceir gweled miloedd o'r Arabiaid ynghyd a'r Pererinion yn cyrchu iddi o bob parth o'r greadigaeth.

Y cedrwydd ynghyd a'r gwinllanoedd harddwych, sydd megys wedi eu diwreiddio o'r tir, a meibion Jacob, pa rhai a gerid rhagor un genedl dan haul, sydd wedi eu gyru allan o'u gwlad eu hunain a'u gwasgaru dros wyneb yr holl ddaear, fel nad oes i'w ganfod yno yn bresenol ond carneddau o weddillion dadfeiliedig er côf o farnedigaeth Duw ar breswylwyr y ddinas enwog hon, rhagoroldeb pa un yn benaf oedd yn gynnwysedig, rhagor un ddinas arall, am mai hi oedd "*dinas y brenin mawr.*"

Ni welir mewn hanesyddiaeth o greadigaeth y byd hyd yn bresenol y fath gynhyrfiadau a chwyldroadau ofnadwy ac a gymmerasant le yma, ac ni chanfyddir dim tu fewn na thu allan i'r muriau adfeiliedig ar nad yw yn dwyn i feddwl pob dyn ystyriol, yr Arfaeth dragywyddol o brynedigaeth dynolryw, ynghyd a genedigaeth, dioddefiadau, a marwolaeth yr Arglwydd bendigedig ar bren garw y groes. Y mae iaith yn rhy ddiffygiol er gosod allan y teimladau a weddai fod yn meddiannu pob Cristion wrth ddarlunio y lle yn mha un y dygwyd ym mlaen waith ag sydd yn dwyn perthynas a a dynolryw, er eu tragywyddol iachawdwriaeth.

Meddylir mai Melchisedec a sylfaenodd y ddinas hon gyntaf, ynghylch y flwyddyn o oed y byd 2023, ac y gelwid hi Jebus, oddi wrth mab Canaan, ac wyr Ham, o'r enw hwnw. Tebygol mai hi a feddylir wrth y *Salem* yn Gen. 14. 18. lle y crybwyllir am dani gyntaf yn yr ysgrythyrau sanctaidd, ond y pryd, neu ar ba achlysur, y cafodd yr enw *Jerusalem* sydd ansicr, ond meddylir iddi dderbyn yr enw Jerusalem (ystyr yr hwn yw "gweledigaeth heddwch,") oddiwrth Melchisedec ei sylfaenydd cyntaf, yr hwn wedi hyny a fu yn frenin arni, ac yn arwyddo "Brenin heddwch;" ac yn hyn, yr oedd y gwr enwog hwnw yn cysgodi yr Arglwydd Iesu, yr hwn yw Tywysog tangnefedd.

Er fod Jerusalem yn ddinas gadarn, a'r fwyaf enwog unwaith yn ngwlad Canaan, etto anrheithiwyd hi ddwy waith ar bymtheg, a bu yn faes gorchestion i arfau y Rhufeiniaid, y Persiaid, a'r Saraceniaid am lawer o flynyddoedd, a mwydwyd hi gan waed ei lladdedigion yn oesoedd y *Crusades*, neu filwyr y groes.[2]

Yn mhen hanner can mlynedd wedi adeiladu y ddinas gan Melchisedec, cymmerwyd hi gan y Jebusiaid, ac a'u galwasant hi Jerusalem, ac a adeiladasant y dref uchaf ar fynydd Sion; a Josuah, wedi ei ddyfod i dir yr addewid, a aeth yn Llywydd ar y dref isaf, ac ni chafodd yr Israeliaid feddiant o'r dref uchaf, yr hon a elwir 'amddiffynfa Sion" hyd amser Dafydd, felly Dafydd a drigodd yn nhwr Sion, neu'r

---

[1] Yn agos i Joppa y parodd *Buonaparte* saethu 4000 o'r Tyrciaid wedi eu cymmeryd yn garcharorion, ac y gwenwynodd lawer o'i filwyr cleifion ag oedd yn rhy sâl i'w cymmeryd ymaith.

[2] *Y Crusade*, neu Ryfel-gyrch y Tywysogion Cristionogol er goresgyn y tir sanctaidd, yn mha un yr oedd pob milwr yn dwyn arwydd y groes ar ei fynwes fel arwyddocâd o'r filwriaeth ysprydol; ac er eu calonogi yn yr anturiaeth hon yr oedd y Pab, neu Esgob Rhufain, yn addaw i bob un ar a fuasai yn colli ei fywyd yn yr ymgyrch, fynediad gologyrchol i mewn i Nef y gogoniant.

amddiffynfa, ac a'i galwodd Dinas Dafydd.[3]

Wedi i Solomon adeiladu y deml ar fynydd Moriah, efe a addurnodd y ddinas â phob rhyw addurniadau; ond ynghylch pum mlynedd ar ol marw Solomon, anrheithiwyd y ddinas gan Sesec brenin yr Aipht; ac yn ganlynol gan Joas brenin Israel; a thrachefn gan yr Assyriaid o dan deyrnasiad Manasseh; ac aeth Pharaoh Necho hefyd i mewn iddi pan wnaed Jehoiacim yn frenin, er nad ydym yn darllen iddo ei hanrheithio.

Yn y flwyddyn 3513, a Nebuchodonosor wedi gyru ei phreswylwyr i Babilon, a ddifrododd y ddinas fwy nag unwaith, ac wedi gwarchae arni dros ddwy flynedd, llosgodd y ddinas ynghyd a'r deml â thân yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i Zedeciah. Ynghylch 136 o flynyddoedd ar ol ei distrywio ail adeiladwyd hi gan Zerubbabel, Esdras, Nehemiah, Eliasib, ac eraill.

Ar ol talm o amser, *Antioch fawr* wedi ail gymmeryd y ddinas, a'i rhoddodd hi i fynu i *Ptolemy Evergetes*, brenin yr Aipht, yr hwn a ddygodd ynghylch 100,000 o Iuddewon i'r Aipht; ac wedi hyny difrodwyd hi yn ofnadwy gan un *Antiochus the Illustrious*, neu *Antiochus Epiphanes*, yr hwn a laddodd o'r trigolion ynghylch 40,000 ac a osododd yr eilun-ddaw *Jupiter Olympus* i fynu yn y deml, gan osod ei ddelw ar allor y poethoffrwm, ac a aberthodd liaws mawr o foch,[4] ar allor yr eilun hwnw, gan gymmeryd ymaith yr offrwm gwastadol, a rhoddi y cyssegr yn sathrfa. Dan. 8. 11—14.

Yn ganlynol i *Antiochus*, daeth *Judas Maccabeus* i lywodraethu, ac wedi ymladd yn ddewr dros ei grefydd a'i rhyddid am dair blynedd a chwe mis, gollyngodd yn rhydd yr holl rai ag oedd cyn hyny yn gaethion trwy'r holl wlad, ond hwynt, wedi eu rhyddhau a ddechreuasant ymrafaelio a'u gilydd, a chan fod un blaid yn anfoddloni i ymostwng i'r blaid arall anfonasant am gynnorthwy oddi wrth y Rhufeiniaid, ag o ganlyniad anfonasant *Pompey* y blaenor Rhufeinig atynt, yr hwn a gymmerodd y ddinas ynghylch 60 mlynedd cyn dyfodiad Crist.[5]

Yn mhen rhai blynyddau ar ol hyn, ail gymmerwyd y ddinas gan Antigonus, ond yntau yn fuan a ddiorseddwyd, ac a osodwyd i farwolaeth, gan *Herod Fawr*, o dan deyrnasiad yr hwn y cymmerodd amryw amgylchiadau tra rhyfedd le ag sydd yn dwyn perthynas a genedigaeth ein Hiachawdwr bendigedig Iesu Grist.

Ar ol marw Agrippa, wyr Herod, Judea a wnaed yn dalaeth Rufeinig, ac yn nheyrnasiad *Vespasian*, yn y flwyddyn 70, yr Iuddewon a wrthryfelasant y naill yn erbyn y llall, ac ynghylch blwyddyn ein Harglwydd 71, y goresgynwyd y ddinas gan Titus, ar ol un o'r brwydrau mwyaf dychrynllyd ag a ddarllenwn am danynt mewn hanesyddiaeth, yr hon a barhäodd o'r 14eg o Ebrill hyd yr 2il o Fedi, pan yr yspeiliwyd y ddinas ag y llosgwyd hi, ynghyd a'r deml yn agos oll yn gydwastad a'r llawr.

Gan fod yr amgylchiad hyn wedi dygwydd ar Wyl y Pasc, yr oedd y ddinas yn llawn iawn o drigolion, a dywed *Josephus*, yr hanesydd Iuddewig, yr hwn oedd yn llygad-dyst, i chwe' chan mil o Iuddewon farw o newyn, un cant ar ddeg o filoedd trwy'r cleddyf, a phedwar ugain a dau ar bymtheg o filoedd a gymmerwyd yn garcharorion, heblaw lliaws mawr o wragedd a phlant, pa rai a werthwyd yn gaethion, yr hyn sydd yn atebiad dychrynllyd i'r hyn a lefodd yr Iuddewon wrth *Pilat* ddeunaw mlynedd ar hugain yn ol, gan ddywedyd, "*bydded ei waed ef arnom ni ac ar ein plant.*"

Yn fuan ar ol hyn, *Adrian*, rhag bod rhyw beth heb ei ddinystrio gan Titus, a lwyr losgodd y ddinas, ac er cyflawni y brophwydoliaeth, ni adawodd garreg ar garreg heb ei symud, "*a Sion a ardd[?]wyd fel maes, a Jerusalem a wnaed yn garneddau, a mynydd y tŷ fel uchel-leoedd y goedwig.*" Micah 3. 12.

Ynghylch triugain mlynedd ar ol dinystr Jerusalem adeiladwyd dinas newydd ar fynydd Calfaria, a *Julian* yr Ymerawdwr yn y flwyddyn 360, a gychwynodd i ail adeiladu dinas Jerusalem ynghyd a'r deml, ond daeargrynfaau tanllyd a'i llesteiriodd, ond wedi adeiladu y ddinas ar y sefyllfan bresenol, galwasant hi *Elia Capitolonia*.[6]

Yn nheyrnasiad *Cystenyn Fawr*, (*Constantine*) ymwrthododd trigolion y ddinas a Phaganiaeth, ac adeiladasant lawer o demlau Crist'nogol o amgylch y beddrod, ynghyd a llefydd sanctaidd eraill, ac *Elen*[7] mam yr ymerawdwr Cystenyn a chwiliodd allan lawer o weddillion cyssegredig ag oedd cyn hyny o'r golwg am lawer o flynyddoedd.

Nid oedd Jerusalem eto ond mewn cyflwr tra therfysglyd, canys yn y flwyddyn 613, y Persiaid a'i cymmerasant hi, pan y dystryw-

---

[3] 2 Sam. 5. 9.

[4] Yr Ymherawdwr *Claudius* a orchymynodd i lun hwch gael ei osod uwchben porth teml adfeiliedig Jerusalem, pa un a ddygir i mewn fel dirmyg ar grefydd yr Iuddewon, yr hyn a ddysgai iddynt edrych ar y creaduriaid hyny gyda ffieidd-dra, a thybir mai hyn oedd y "ffieidd-dra anghyfaneddol" a grybwyllir gan Daniel.

[5] Un *Crassus* yn fuan ar ol i *Pompey* ennill y ddinas, a yspeiliodd y deml, ac yn mhlith pethau eraill a ddygodd oddi yno lafn o aur pur, yr hwn a bwysai ynghylch 750 pwys.

[6] See Mrs. Bracebridge's Notes on Jerusalem.

[7] Elen, neu Helena, oedd fam Cystenyn a merch i Goel Godebog, yr hwn a fu yn frenin ar y Brytaniaid ynghylch 54, o flynyddoedd: a chan fod Elen yn foneddiges Frytanaidd, a hi ynghyd a'i mab yn coleddu y grefydd Gristionogol, yr oedd llywodraeth Rhufain wedi dyfod yn Gristionogol iawn o dan Gystenyn.

lwyd dros bedwar ugain a deg o filoedd o'r Cristionogion, ac yn 627 yr adgymmerwyd hi gan yr Ymerawdwr *Heroclius*, a'r groes a adferwyd.

Yn y flwyddyn 637, sef yn mhen naw mlynedd ar ol i *Caliph Omer*, y trydydd mewn olyniad i *Mahommed* gymmeryd y ddinas ar ol gwarchae o chwe mis, Palestina, yn gystal a'r Aipht a gymmerwyd dan iau y Saraceniaid, o Arabia, fel na fu yma nemawr esmwythder am yspaid y ddwy ganrif ddyfodol, o herwydd yr oedd yma aml ymrysoniadau rhwng penaethiaid a'u gilydd; ond o'r diwedd y *Caliphs* neu'r Mahometaniaid a ennillasant y fuddugoliaeth, ac a gadwasant feddiant o'r ddinas hyd ddyfodiad y *Crusades*, neu filwyr y groes, o Ewrop, yn 1099.

Wedi i *Godfrey de Bouillon* a'i frawd *Bondoin* ei hennill oddi arnynt, hwy a gadwasant y ddinas mewn heddwch dros bedwar ugain ac wyth o flynyddoedd, ond yn y flwyddyn 1187 daeth *Saladin*, Llywodraethwr yr Aipht a Syria, ac a'i cymmerodd hi oddi ar y Cristn'ogion, ac a ddistrywiodd ei holl eglwysydd oddi eithr y bedd sanctaidd, yr hwn a brynasid â swm dirfawr o arian.

Yn y flwyddyn 1217, y Tyrciaid a yrodd ymaith y Saraceniaid ac a gadwasant feddiant o'r ddinas dros bump ar hugain o flynyddoedd, sef hyd y flwyddyn 1242, pan y rhoddodd *Omir* o Ddamascus hi i fynu i'r Crist'nogion; ac yn 1291, y Crist'nogion hwythau a lwyr ymadawsant o'r lle, ac o ganlyniad y Tyrciaid a'u cymmerasant hi oddiar yr Aiphtiaid, ac yn eu meddiant hwy yr oedd hyd 1832.

Er fod y barnedigaethau mwyaf echryslon wedi cael eu tywallt ar y ddinas anffodiog hon o bryd bwy gilydd, y mae yn amlwg nad oedd eto wedi rhoddi iawn digonol dros ei phechodau, canys ychydig flynyddau yn ol y bu y pla yno yn difrodi yn arswydus, ac yn fuan ar ol hyny y dioddefodd yn dost oddiwrth arfau y *Pacha* o'r Aipht.

Yn y flwyddyn 1833, Ibrahim Pasha, sef penciwdawd byddinoedd yr Aipht a oresgynodd wlad Judea; a'r wlad hono wedi hyny a roddwyd i fynu i *Mehemed Ali* (yr hwn sydd yn bresenol yn gwrthsefyll galluoedd Lloegr, ymhlith ereill, yn Syria), ac o ganlyniad a aeth yn dalaeth ddarostyngedig i'r Aipht, fel ag y mae Jerusalem yn bresennol dan warchae gan fyddinoedd *Mehemed Ali*. Ond dywed yr hanesion diweddaf o'r parth hwnw fod Mehemet wedi ymadael gan ei rhoddi i fynu i'r Tyrciaid.

Yn mis Gorphenaf 1838, yr ymwelodd yr Arglwydd a'r ddinas trwy ddaear-gryn dychrynllyd, pan yr ysgydwyd sylfaenl y ddinas fel y syrthiodd llawer o'r adeiladau, ac y dioddefodd amryw o'i phreswylwyr.

Y mae'r ddinas hon yn ymddangos yn wech o'r tu allan i'r muriau, ond o'r tu fewn fel cruglwyth o ddadfeilion gresynol yn llawn o arnodiad rhyfelgyrchoedd ofnadwy. Ei dull yn bresennol sydd fath o hirgrwn afreolaidd, wedi ei hamgylchynu â muriau cedyrn, pa rai sydd ynghylch tair milldir o amgylchedd, ac ar y muriau hyn y mae pedwar o dyrau, sef tŵr Meah o du y dwyrain, tŵr Hananeel o du y gogledd, tŵr y Ffyrnau o du y gorllewin, a thŵr Ophel o du y dehau. Coffeir am amryw byrth iddi, sef i'r dehau, 1. Porth y dom. 2. Porth y ffynon. 3. Porth y dwfr. 4. Porth y meirch. 5. Porth y carchar,—I'r gogledd. 6. Porth y glynn. 7. Porth Ephraim. 8. Porth y gongl. 9. Porth y pysgod. 10. Porth y defaid.[8] Y mae yn debyg nad oes i'r ddinas yn bresenol ond chwech o byrth, tri o ba rai a elwir Porth Bethlehem, yr hwn sydd tua'r gorllewin, Porth Sion, i'r dehau, a Phorth Herod i'r gogledd.[9]

Ystrydoedd y ddinas sydd dra chulion, a gan mwyaf yn anwastad, ac yn agos oll heb eu palmanto, ac o ganlyniad yn dra afiachus i'r trigolion oddi wrth y budreddi sydd yn sefyll ynddynt. Yn mhlith amrywiol Fonachdai pa rai sydd yn ymddangos oddi allan fel cynifer o ymddiffynfeydd mawrion, teml *Omer* yw un o'r adeiladau gorwychaf yn y lle, heblaw pa un y mae deg o demlau eraill ynghyd a phum ymolchfa gyffredin (*public baths*).

Dull y tai yn gyffredin sydd betryal (*square*) ac o wneuthuriad cadarn, ac yn ddau neu dri uchder lloft, ond heb nemawr o addurniadau celfyddydawl arnynt. Nid oes ond un drws tra chul i fyned i mewn i bob un o honynt, a dwy neu dair o ffenestri dellt o'r tu cefn i'r adeilad er rhoddi goleu i'r trigianwyr.

Nenau y tai sydd oll yn wastad, a rhodfeydd oddi amgylch iddynt lle mae y trigolion yn ymddifyru eu hunain, yr hyn sydd arferiad tra chyffredin yn ngwledydd y dwyrain, ac oddiwrth y gwelydd moelion o ddeutu yr heol y mae'r tai yn ymddangos fel cynnifer o garcharau mawrion er cospi teyrnfradwyr neu lofruddion.

Nid oes ond ychydig o nwyddau yn cael eu gwneuthur yma yn bresenol, na braidd un math o fasnach yn cael ei ddwyn yn mlaen, ac y mae rhanau o'r ddinas yn hollol anghyfanedd, a'r cyfan yn ymddangos fel gweddillion dadfeiliedig o orwychder y cynoesoedd.

Y mae yn anhawdd penderfynu poblogaeth Jerusalem yn bresenol, a hyny o herwydd y niferi lluosog o bererinion, ynghyd ac ymwelwyr, ag sydd yn dyfod yma yn barhaus, ond cynnwys y ddinas Iuddewon, Tyrciaid, Arabiaid a Christionogion, a meddylir fod yno o chwech i ddeng mil o eneidiau, o ba rai y cyfrifir y ddegfed ran yn Iuddewon. Y Mahometaniaid yn fwyaf neillduol a breswyliant y rhanau hyny o'r

---

[8] Neh. 3.

[9] See Mrs. Bracebridge's Notes on Jerusalem.

ddinas ag sydd yn amgylchynu teml *Omer*, y Cristionogion y rhanau uchaf o fynydd Sion, a'r Iuddewon y rhanau dwyreiniol.

SAMUEL EVANS.

*Cyfrinfa Plymouth, Merthyr Tydfil.*

---

## COFNODAU
## CYMDEITHASFA DOLGELLAU.

HYDREF 21, a 22, 1840.

(Parhad o du dal. 379.)

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 8 o'r gloch, bore ddydd Iau, Hydref 22.*

Ymddyddanwyd, yn y Cyfarfod hwn, am Ddiwygiad Crefyddol, y mater y dechreuwyd sylwi arno yn Nghymdeithasfa y Gwanwyn. Sylwyd ar y pethau canlynol:—

I. Natur Diwygiad Ysbrydol, a'r angenrheidrwydd am dano.

Mae llawer yn son am ddiwygiad, heb un drychfeddwl ganddynt beth yw ei natur. Diwygiad, fel y sylwyd, mewn Cymdeithasfaoedd blaenorol, yw gwellâu diffygion, tynu coll ymaith, a thaflu bai yn mhell oddiwrthym. Yn yr ystyr briodol o'r gair, peth yn, ac ar, yr eglwys yw diwygiad; wedi ei gael yno, gwelir ei ôl yn fuan yn y gymydogaeth. Mae rhai yn ymddyddan fel pe na baent yn golygu fod eisiau diwygiad ar neb ond ar y gwrandawyr gwaelaf sydd yn dyfod i sŵn y weinidogaeth, neu ar y rhai nad ydynt yn gwrando dim; nid oes eisiau diwygiad, dybygid, ar y pregethwyr a'r blaenoriaid, ar aelodau yr eglwys, ac ar y gwrandawyr caredig ac agos. Ond y mae yn rhaid iddo ddechreu yn nhŷ Dduw cyn y bydd yn effeithiol iawn oddi allan. Felly y mae yr addewid; tywallt Ysbryd gras a gweddïau ar dŷ Ddafydd ac ar breswylwyr Jerusalem i ddechreu; puro meibion Lefi i gychwyn. Gwelwyd eglwysi yn ymddangos yn guchiog a soredig yn wyneb ymweliadau oedd wedi dechreu yn eu cymydogaethau, a thrwy hyny yn lladd y peth mawr oedd yn cael ei gynnyg iddynt. Heb ddiwygiad yn yr eglwys i ddechreu, y mae yn berygl i blant yr argyhoeddiad gael eu baeddu neu eu nych-fagu. Yr adfywiad goreu a'r mwyaf a fyddai, i bregethwyr a blaenoriaid ddyfod i weled anghen diwygiad a'i brofi; a'r diwygiad i gyrhaedd oddiyno at athrawon yr Ysgol Sabbathol, ac at holl aelodau yr eglwys yn gyffredinol.

Y mae diwygiad yn cynnwys adferiad o gwsg a gwrthgiliad i agwedd effro a llafurus. Y peth cyntaf tu ag ato yw argyhoeddiad o'r hyn sydd ddrwg a diffygiol. 'Cofia o ba le y syrthiaist;' y mae yn rhaid i ni weled y drwg cyn edifarâu ac ymostwng am dano. Diwygiad yw yr hyn a annogir yn nghenadwri Ysbryd Duw at eglwysi Ephesus a Laodicea. Edifarâ, a gwna y gweithredoedd cyntaf.' 'Bydded genyt zêl, ac edifarâ.' Gall fod gradd fawr o adfeiliad arnom, a thystiolaeth yn y gydwybod mai felly y mae; ond os yw wedi myned yn adfeiliad arnom, a ninnau heb wybod, y mae yr adfeiliad wedi myned yn mhell yn wir. 'Ymdaenodd penwyni ar hyd-ddo, ac nis gwybu efe.'

Yn mysg pethau eraill, y mae eisiau diwygiad ar ein hagweddau ni fel Cristionogion, yn y pethau canlynol:—

1. Mewn ymdrech yr enaid â Duw mewn dirgel fanau. Pa faint a wyddom ni yn ddiammheuol am gymdeithas bersonol â Duw mewn lleoedd dirgel? Fel y sylwyd mewn Cymanfa o'r blaen,—a ydym mor ddifrifol â hyny yn y dirgel, ein bod yn teimlo anhawsder a gwrthwynebrwydd i nesáu at Dduw? Ac os ydym yn teimlo hyny, a wyddom ni beth yw ymdrech yn ei erbyn nes cael rhyw ddyfodfa at Dduw yn Nghrist? Yr ydym yn colli yn y dirgel yn mlaenaf, ac y mae hyny yn rhwym o effeithio ar ein cyflawniadau cyhoeddus.

2. Mewn astudrwydd a theimlad pan o dan y waredigaeth. Pa fodd yr ydym ni, y pregethwyr a'r diaconiaid, wrth wrando athrawiaeth yr efengyl? A ydym yn eistedd fel rhyw gynifer o farnwyr ar bregethau a phregethwyr, ai ynte a ydym yn dwyn ein mater mawr ein hunain ger bron mainc y weinidogaeth? A ydym yn peidio rhoddi esiampl i'r gynnulleidfa i fod yn ddiofal a chysglyd wrth wrando? A ydym yn cael ein trin gan eiriau Duw fel y brodyr a'r chwiorydd gwaelaf yn yr eglwys? Mae lle i ofni fod y weinidogaeth yn rhy fynych o flaen ein gorsedd ni, yn lle ein bod ni yn rhoddi ein hunain o flaen gorsedd y weinidogaeth. Dylem wrth wrando ymdrechu i ddal ein hunain yn wyneb y gwirionedd, ac ocheneidio am i nerth a llewyrch fyned gyda y gwirionedd i droi eneidiau o newydd.

3. Mewn parodrwydd i ymddyddan am bethau ysbrydol pan y cyfarfyddom a'n gilydd. Mae ein hannybendod i ymaflyd yn hyn yn profi ein hadfeiliad. Yr ydym yn barod, efallai, i siarad am bethau sect a phlaid, ond anaml yr ymddyddanwn am effeithiau geiriau Duw ar ein heneidiau ein hunain, ac ar eneidiau ein cyfeillion. Byddai diwygiad yn hyn o'r gwerth mwyaf. Yr ydym wedi bod yn ysbio yn rhy bell am ddiwygiad; y mae eisiau i ni ddyfod adref atom ein hunain.

II. Pa fodd y mae i ni ddysgwyl am, ac ymgyrhaedd at Ddiwygiad.

Y mae gwir ddiwygiad yn waith Ysbryd Duw ar ysbryd dyn; gan hyny dylem weddio am yr Ysbryd, a pheidio ei wrthwynebu a'i dristâu.

Mewn atebiad i'r gofyniad, A oes genym ryw foddion i'w harfer at y rhai annychweledig, er eu hennill? sylwyd, mai nid gofyn i'r bobl ddyfod i'r seiat a ddylem, ond edrych yn mlaenaf a oes arwyddion

fod y gwirionedd yn trin eu meddyliau. Os ydynt mewn trallod am eu cyflwr, cyfeiriwn hwy yna at fan yr ymgeledd; ac onid ydynt, arferwn bob moddion addas er eu rhybuddio a'u cynghori i ffoi rhag y llid a fydd.

Mae yn berygl hela pobl i wneuthur proffes o grefydd heb iddynt yn gyntaf deimlo ei hawdurdod ar eu meddyliau; ni a lanwem dŷ Dduw felly â rhagrithwyr. Ac ar y llaw arall, mae yn berygl i ni adael rhai mewn trallod mawr ynghylch mater eu heneidiau heb estyn llaw o gymhorth iddynt. Efallai ein bod ni fel enwad crefyddol yn gwyro gormod i'r ochr olaf. Mae rhai wedi bod yn dyfod i dai crefyddwyr, o dan argyhoeddiad trwm, dan ddysgwyl cael yno addysg ac ymgeledd, ond yn gorfod troi eu cefnau heb i'r crefyddwyr ddywedyd dim wrthynt am bethau ysbrydol. Adroddwyd am un yr oedd y gwirionedd wedi ymhel â'i feddwl mewn oedfa yn ddiweddar; yr oedd yn methu cysgu trwy y nos ar ol hyny, a'i unig gysur oedd, fod ei gydweithiwr yn proffesu crefydd, ac y byddai i hwnw ddyweyd wrtho dranoeth am Iesu Grist; ond y dydd a aeth heibio heb i'r crefyddwr yngan gair wrtho am bethau Duw! Coffawyd hanesion eraill i'r un perwyl. Mewn llawer lle, y mae y gwrandawyr yn fwy effro na'r eglwys; y bobl yn teimlo dan y gair, a'r blaenor yn cysgu; rhai oddi allan mewn gwasgfa am fod yn gadwedig, a chrefyddwyr a'u holl egni yn myned ar ol y byd. Gwyliwn rhag yr agwedd yna. 'Gwell fyddai i un,' meddai Mab Duw, 'pe rhoddid maen melin o amgylch ei wddf ef, a'i daflu i'r môr, nag iddo rwystro un o'r rhai bychain hyn.' Y mae rhai gwir argyhoeddedig yn rhoddi eu hunain yn gyntaf i'r Arglwydd, ac yna i'w eglwys. Ni allwn fod yn rhy egniol i gael pechaduriaid at yr Arglwydd, ac wedi hyny, hwy a ddeuant ar bobl Dduw; dangoswn fod awydd arnom am eu hachub. Byddai hen wr duwiol yn Sir Feirionydd yn sylwi bob oedfa a welai efe ddim arwyddion fod y gwirionedd yn glynu yn y gwrandawyr, ac os gwelai gymaint a deigryn ar rudd rhywun, byddai yn sicr o fyned ato y dydd canlynol, i geisio anfon yr hoel adref. Llawer a argyhoeddwyd trwy ymddyddanion duwiol. Ni adawai yr hen Fethodistiaid neb yn llonydd ar y ffordd fawr, heb ddweyd rhyw air wrthynt am gyflwr colledig a threfn achub. Fel hyn, dylai fod diwygiad yn ein mysg mewn gofal am eneidiau ein cymydogion a'n cydwrandawyr; na roddom hwy i fynu nes eu cael at Grist, ond peidiwn a'u hudo i'r eglwys nes eu gweled mewn trallod yn achos eu heneidiau. Darfydded y proselytio sectaidd, ond bydded ynom fwy o wasgfa am gael pechaduriaid at y Gwaredwr, ac arferwn fwy o ymdrech am eu troi o gyfeiliorni eu ffordd.

III. Pa fydd y mae i ni ymddwyn at ddysgyblion ieuainc?

Sylwyd y dylai y ddysgeidiaeth eglwysig i'r cyfryw fyned at y gwreiddyn mawr; at golledigaeth y cyflwr, ac undeb ysbrydol â Mab Duw. Dylid eu goleuo am fywyd a sylwedd crefydd. Os ydynt yn ammheus a gawsant hi, dangoser iddynt pa le a pha fodd y mae ei chael; neu os ydynt yn tueddu i fod yn ddiofal, llafurier i ddangos y perygl dirfawr o'r agwedd hono. Mae rhai na welsant fawr ond y drwg o fod yn ddigrefydd; y mae eisiau eu dysgu am yr euogrwydd sydd yn aros yn, a'r felldith sydd yn gorphwys ar ddyn, nes y symudir ef o farwolaeth i fywyd. Y mae llawer dull gan yr Ysbryd Glân i weithio, ond yr un peth yw ei waith cadwedigol yn y rhai oll a gedwir.

Ofnir fod mudandod, neu gwynfaniadau sychlyd hen broffeswyr yn y cyfarfodydd eglwysig yn effeithio ar rai ieuainc i'w gwneyd yn gyffelyb. Hyfryd yw gweled blaenoriaid a hen grefyddwyr yn faethgar i grefyddwyr ieuainc; yn dyner o honynt, yn ymdrechgar tu ag atynt, ac yn addfwyn wrthynt, 'megys mammaeth yn maethu ei phlant.' Hen bregethwr o Sir Fôn, wrth sylwi, mewn Cyfarfod Misol, am y mawr bwys o fod pregethwyr a blaenoriaid yn caru y rhai oedd dan eu gofal, a ddywedodd, 'Y mae y fam yn caru y plentyn, nes y mae ei gwaed yn troi yn llaeth yn ei bronau i'w fagu.' Mae cariad yn gwir ofalu am ei wrthddrych, ac nid yn *pretendio* hyny. 'Yr hwn a wir ofala am y pethau a berthyn i chwi.' Ymgynghorwn yn feunyddiol â'r Pen-bugail; cawn oddiyno bob cyfarwyddyd a chymhorth angenrheidiol i ddwyn ei waith ynmlaen.

R. E. Ysg.

---

## LLYTHYRAU, &c.

### LLYTHYR

*Y Parch. J. Davies, Cenadwr yn Ynysoedd Môr y Dê, at y Parch. J. Hughes, Pont Robert.*

*Papara, Ynys Tahiti, Ebrill* 1840.

ANWYL FRAWD.—Unwaith yn rhagor anturiaf eich anerch, er mai gyda gradd o amheuaeth a hwn eich cyraedd yn mhlith bywiolion; oblegid gyda'r arferol ansierwydd, a meithder amser, a phellder y ffordd, y mae amser eich bywyd chwi a minnau yn ychwanegu achos amheuaeth. Yr olaf a dderbyniais oddiwrthych oedd, Ionawr 7ed, 1837, yr hwn a dderbyniais Awst 4, 1839; ac ysgrifenais atoch yr un mis, i'w anfon yn ffordd New South Wales, a chan fod cyfle arall i anfon yr un ffordd, meddyliwn y dylwn ei ddefnyddio.

Gan fod mwy na thair blynedd er pan anfonasoch; nis gwn pa fodd y mae ... perthynas i'ch bywyd, a'ch iechyd; am

danaf fy hun, er fod arwyddion dadfeiliad yn cynnyddu yn raddol, etto, yn gyffredinol, mwynhaf iechyd lled gysurus, yr hyn sydd fraint fawr mewn gwlad mor wresog ag ydyw Tahiti, mewn cydmariaeth â lle fy ngenedigaeth. Gadewais Gymru yn Chwef. 1800, ac y mae Chwefror 1840, wedi fy ngadael, ac yr ydwyf o fewn ychydig o orphen fy neugain mlynedd yn anialwch Môr y Deheu; afon yr Iorddonen nis gall fod yn mhell oddiwrthyf, a gobeithio y caf fynediad drosodd i wlad yr addewid, er fod amheuon, ar brydiau, yn fy nilyn.

* Yr wyf wedi anghofio cynnwysiad fy llythyr diweddaf, nis gwn pa un a grybwyliais am Mr. Stevens ag oedd i ddyfod i'm cynnorthwyo yn y lle yma, ei fod wedi hyny wedi gadael yr Ynys, a myned i New Zealand, mewn rhan o achos ei iechyd: y mae ef a'i wraig wedi dychwelyd yma rai wythnosau aeth heibio, ac yn bwriadu aros fel fy nghyd-lafurwr pan ddysgo yr iaith. Hefyd, Mr. Thomas Joseph, Cymro, o Gaerfyrddin, sydd wedi ei sefydlu fel cynnorthwywr i Mr. Pritchard, yn *Paofao*, neu borthladd *Wilks*, ond oblegid pellder, ni chefais i hyd yma ond ychydig o'i gyfeillach.

Mr. Joseph Johnston hefyd, sydd i fod yn *Papara*, fel Ysgol feistr, i gadw yr hyn a eilw'r Saeson *Normal School*, sef yw hyny, ysgol uwch na y rhai cyffredin, fel y parotoir rhai yn ysgol feistriaid, &c. Ein heglwys a'n cynnulleidfa yma sydd agos fel arferol, rhai pobl ieuaingc a chwanegwyd at ein nifer ddechreu y flwyddyn yma, ac un ag sydd briodor o'r *Marquesas*. Rhai dyddiau yn ol, derbyniasom lythyr oddiwrth ein dau frodyr yn yr Ynysoedd hyny, yn mawr gwyno eu heisiau o gynnorthwy dau neu dri o frodyr. Eu profedigaethau ydynt liosog iawn yno, nid cymmaint oddiwrth y paganiaid, druain, ag oddiwrth y Cenadau pabaidd (*French Catholic Missionaries*); nid llai na deg o honynt sydd wedi dyfod i'r Ynysoedd hyny, a mwy sydd yn cael eu dysgwyl, gan fod *nyth* o honynt yn *Valparaiso, South America,* sef athrofa Babaidd (*College de Erapagand a Fide*) o ba le y bwriedir anfon lliaws o weision *anghrist*, i osod i fynu *eilunaddoliaeth* newydd yn *Polynesia*.

Yr wyf yn meddwl i mi grybwyll o'r blaen am ymweliad y Ffrancod â'r ynys yma, oblegid deoliad yr offeiriaid pabaidd, Francis Caret, a M. Laval, llong ryfel fawr *Venus, Capt. Du Petil Thour,* a ddaeth yn enw llywodraeth Ffrainc i geisio iawn am y trosedd, dwy fil (2000) o ddolars, ac hefyd caniatâd i osod i fynu addoliad Pabaidd, neu ynte ddinystrio'r cwbl yn yr ynys: ac er mwyn achub bywydau, talwyd yr arian gan rai Ewropiaid sy'n preswylio yma, ac y mae etto ddyled, pa fodd y'i telir nis gwn.

Ar ol hyny, llong fawr arall o Ffrainc a ddaeth i Tahiti, ei henw oedd *L'Artemise*, a'r Capt. oedd *Laplace*, perthynas i'r Astronomydd nodedig o'r enw hwnw yn Ffrainc: wrth geisio dyfod i angori yn Tahiti, y llong a aeth ar y creigiau, ac a fu o fewn ychydig iawn o gael ei cholli; ond drwy gymmorth y Tahitiaid, achubwyd ac adgyweiriwyd hi. Y bobl yma a ymddygasant yn dda tuag at y Ffrancod, ac ni bu dim neillduol ag oedd annymunol hyd oni adferwyd y llong, a chael y *cannon*, yr eiddo, &c. yn ol iddi, ac yna, pan oedd pob peth yn ymddangos yn heddychol a da, y Captain a alwodd am gymanfa o'r penaethiaid, a phan ddaethant yn nghyd, gofynodd addewid mewn ysgrifen fod i addoliad Pabaidd gael ei ganiatau drwy lywodraeth y Frenines; a chan fod y penaethiaid yn ymddangos yn hwyrfrydig yn yr achos, bygythiodd ddinystrio y lle. Pe buasai ef yn gwneud hyny ar y dechreu, ni chawsai byth ei long allan o Tahiti, a chan fod yn awr y gallu yn ei law, gorfu ar y penaethiaid ddodi yr addewid mewn ysgrifen, ac nid oes lle i ammeu na fydd i'r pabyddion ddefnyddio hyny i ateb eu dybenion, pan wasanaetho yr amser, a dysgwyl yr ydym yn feunyddiol am i rai o honynt ddyfod yma.

Ar ol gadael Tahiti, yr *Artemise* a aeth i Oahu i wneud rhyfel yno o achos i'r offeiriaid Pabaidd gael eu gyru o'r Ynys. Ac ar ol dyfod yno, gofynwyd, heblaw ammodau ereill, i ugain mil (20,000) o ddolars gael eu talu, a chaniatad i addoliad Pabaidd gael ei addaw, neu ynte ddistryw a thywallt gwaed drwy yr Ynysoedd. Capt. *Laplace* a addawodd nodded pan ddechreuai y rhyfel i'r cyfryw Saeson ac Americaniaid ag oedd yno; ond dim nodded i'r Cenadau Protestanaidd. Yr arian a dalwyd, felly ni bu rhyfel, ond cafodd y Cenadau eu mawr ddirmygu, ac y maent wedi anfon eu cwyn at lywodraeth yr Unol Daleithiau, a thybir na bydd i lywodraeth Ffrainc gymmeradwyo ymddygiad eu Swyddogion pe gwyddent y gwirionedd.

Fe allai eich bod yn gwybod fod Mr John Williams, un o'n nifer, wedi bod yn ddiweddar yn Lloegr, ac iddo, tra yn aros yna, gasglu arian, a phrynu llong at wasanaeth yr *achos Cenadol*, iddo ddychwelyd yma yn y llong hono ag a elwir *Camden*, gydag amryw Genadau newyddion yn ei gwmni. Rhai o honynt sydd yma gyda ni, un yn y *Marquesas*, rhai wedi eu sefydlu yn Ynys *Rarotanga*, ereill yn Ynysoedd *Samoa* (Navigators). Wedi i Mr. Williams ymweled â'r brodyr yn yr amrywiol fanau, a sefydlu y Cenadau newyddion, yr oedd ef yn myned yn y *Camden* i dref Sydney i

* Yr oedd amryw o'm llythyrau diweddaf heb ei gyrhaeddyd y pryd hwn.—J. H.

fod y gwirionedd yn trin eu meddyliau. Os ydynt mewn trallod am eu cyflw[illegible] cyfeiriwn hwy yna at fan yr ymge[illegible] ac onid ydynt, arferwn bob modd[illegible] er eu rhybuddio a'u cynghori[illegible] llid a fydd.

Mae yn berygl hela proffes o grefydd heb deimlo ei hawdurdod a lanwem dŷ Ddu[illegible] Ac ar y llaw arr[illegible] adael rhai mewr[illegible] mater eu heneid[illegible] horth iddynt. crefyddol yr[illegible] Mae rhai w[illegible] wyr, o dar[illegible] wyl cael[illegible] [illegible] ymddangos gorfod [illegible] ond fe all, ac ddywe[illegible] yn mlaen ei ol. [illegible] ei ffordd ei hun. edd [illegible] ddoedd yn ddi[illegible] dd hyny, y [illegible] yl yn eu e[illegible]

[illegible] cyfaill o Lundain [illegible] dôn a elwir *Hyfryd*, yn [illegible] gyda'r hymn a genid yn [illegible]; wedi hyny, gwelais y [illegible] Hymn yn Gymraeg ac yn [illegible] eu hargraffu yn y *Drysor*-[illegible] hymnau ereill genych chwi ar [illegible] y gyntaf, a dyma hi fel [illegible] llawer o hyfrydwch gan lawer [illegible] Sabbathol yn Tahiti ac [illegible]

Oto teie to matou,
Farerei ia taa faahou,
E one tei te mi;
Maitai ia, maitai,
Maitai, maitai, maitai,
Maitai, maitai, maitai,
Maitai i'a ore tra faahou.

Fei te Fatu nac te aau,
Ua tae iand i teienei ao,
E tac nore i te rai;
Maitai te reira, maitai, &c.

Reira mau te tamarii,
Feia bure i raro nei,
Ia tac anac i te ao;
Maitai te reira, maitai, &c.

Hui metua maitatai,
Riro' nac i te farerei,
E one taa faahou;
Maitai te reira, maitai, &c:

Te mau Faaite tei haapii
Ia tatou i raro nei,
Ia tac anac i te rai;
Maitai te reira, maitai, &c.

Eoaoa hoi tatou,
Ia JESU te ora mau,
Ia tac' nac i te ao,
Maitai te reira, maitai, &c.

[illegible] cawn,
[illegible] mado wnawn,
[illegible] y Nef.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd,
O! hyn fydd yn hyfryd!
Cwrdd heb byth ymadael mwy.

Pawb sydd yma'n caru Duw,
Gwedi marw hwy gânt fyw,
A chanu yn y Nef.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Pawb brofasant ras a hedd,
Iesu, hwy gânt wel'd ei wedd,
A chanu iddo byth.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Duwiol a sancteiddiol blant,
Sy'n gweddio, yno'r ânt,
O'r holl Ysgolion Sul.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Ein hathrawon rhad a rhydd,
A'n rhieni yno fydd,
Dros byth yn llawenhau.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Ein bugeiliaid gyda hwy,
Yno fydd heb ofid mwy,
A'u bronau'n llawn o hedd.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Fe allai fod llythyrau oddiwrthych chwi ac ereill yn aros yn rhyw le ar y ffordd, y mae y llong Camden, fel y clywsom, wedi dychwelyd o Sydney i'r Samoa i gymmeryd gweddw athrist Mr. Williams i dref Sydney, i ddychwelyd, mae yn debyg, at ei pherthynasau yn Llundain.

Byddai dda genyf weled llythyr arall oddiwrthych, anfonais i Lundain am barhad o'r Drysorfa gael ei hanfon i mi gan Mr. Jones, Llyfrwerthwr yno. Nid ydwyf yn gwybod pa un a ydyw Mr. Joseph yn debyg o gael dim Cyhoeddiadau o Ddeheudir Cymru. Parhewch i'm cofio yn garedig at y cyfeillion yn Nghymru, ac at fy chwaer a'i theulu. Rhaid i mi yn awr derfynu, ond chwanegu fy mod gyda gwir ddymuniad am eich llwyddiant,

Eich hen Gyfaill,

JOHN DAVIES.

## CYFLWR Y GWYDDELOD.

MAE gwr ieuanc o Gymro crefyddol, wedi myned yn ddiweddar i eithafion y Werddon, ac ymsefydlu yno, fel Golygwr ar Waith Llechau. Anfonodd cyfaill i ni ato, i ddeisyf arno anfon i'r Drysorfa ychydig o hanes y Werddon, ac ansawdd presennol ei thrigolion; yn enwedigol eu hanwybodaeth, a'u coelgrefydd; yr hyn a wnaeth efe yn y llythyr canlynol. Gobeithiwn y bydd i'r darluniad galarus sydd ynddo gynhyrfu tosturi y Gymdeithas Genhadol Gymreig i anfon cenhadon hedd i'w haddysgu hwynt, ac i breg-

ethu yr Efengyl iddynt yn eu hiaith eu hun yn yr hon y ganed hwynt, rhag na byddwn ni, eu cymmydogion cyfagos, pobl y breintiau mawrion, yn rhydd oddiwrth eu gwaed hwynt.

*Ashford*, Tach. 16, 1840.

FY ANWYL SYR.—I ateb eich dymuniad o gael hanes y wlad, y trigolion a'u moesau, dywedaf air ar bob un.

Mae y wlad, o ran ei golygfeydd naturiol, ei gwastadrwydd, a'i ffrwythlondeb y fath, ag a ddenai sylw a channoliaeth pawb a'i gwelo. Etto mae yn wlad orthrymedig, mae yn cael ei gorthrymu hyd yn nod gan ei boneddigion eu hunain; y rhai y perthyn iddynt gyfarwyddo ac amddiffyn y wlad, a meithrin ei llwyddiant, ydynt yn mhell oddiwrth ei chyffiniau. Dywed D. O'Connel bod dros £8,000,000, sef yn agos i hanner y rhenti a gyfodir yn y wlad, yn cael eu gwario allan o honi.

Felly yn lle meithrin ei gweithfeydd a diwallu ei hanghenion, mae ei chyfoeth yn cael ei gludo i'r cyfandir, ac yno ei luchio i bedwar gwynt y nefoedd, tra ar yr un pryd y mae y genedl yn gruddfan o dan galedi ac angen anobeithiol. Mae'r nifer fwyaf o'r trigolion yn byw bron yn gwbl ar *datws*, y rhai a fwytant ddwywaith neu dair yn y dydd. Os digwydd i'r cnwd *tatws* fethu, y canlyniad naturiol fydd i filoedd o honynt hwythau fethu i'w ganlyn. Dr. Sandes, Esgob Killaloe a ddywed nad ydyw cyfartalwch llafurwyr amaethyddol yn yr Iwerddon, sydd yn medru cael llaeth trwy y flwyddyn gyda'u *tatws*, yn ddim mwy na thri o bob 200.

Mae bara bron yn anadnabyddus i lawer o honynt, oddieithr un mis o'r flwyddyn. Cafwyd gan un o'r gweithwyr yma, yn ei iaith gynhenid, yn atebiad i'r gofyniad canlynol, "Ar ba fis y daethoch yma i weithio?" "*Dhonè mèn somj arân*, daethym yma yn mis y bara" sef Gorphenaf, oblegid bydd yr hen *datws* bron a darfod, a'r rhai newydd heb fod yn addfed, bydd y mis hwnw o'r flwyddyn iddynt bob amser, fel y tywysenau gweigion yn mreuddwyd Pharaoh, newyn ac eisiau i bawb trwy y tir, ond a all gyrhaeddyd bara.

Ond mewn ystyr ysbrydol mae y wlad yn ganmil mwy truenus, er ei bod yn llawn o Gapelau a Mouachdai, Esgobion ac Offeiriaid, allorau ac aberthau, dwfr sanctaidd a thân cyssegredig; etto mae miliynau o honynt yn eistedd "yn mro a chysgod angau" o dan drwch dirfawr o dywyllwch ac anwybodaeth, heb lygad yn tosturio wrthynt; ie eneidiau sydd i fod byth, yn trengu o eisiau bara y bywyd! Mae y mwg a gyfododd o'r pydew diwaelod, wedi troi eu dydd yn nos—wedi mallu eu breintiau crefyddol—wedi tywyllu gogoniant person y Cyfryngwr—a chymylu rhyngddynt â holl drefn iachawdwriaeth dyn colledig. Mae miloedd o honynt heddyw heb Feiblau, heb efengyl, heb ragorfreintiau gwir grefydd, ac heb neb i'w cyfarwyddo mewn gwirionedd i'r "ffynon a agorwyd i bechod ac aflendid." Pa cyn lleied o wybodaeth a all fod yn gysson a diogelwch enaid dyn i dragywyddoldeb nid wyf yn penderfynu; ond gwn, trwy ymholiad manwl, bod yma filoedd "yn cael eu dyfetha o eisiau gwybodaeth" a'u llethu yn dost o dan iau drom "Babilon Fawr."

Teithiais, ar wahanol achosion, gannoedd neu filoedd o filltiroedd o'u gwlad; bum yn ymdrechgar bob amser i gael gwybod ansawdd eu breintiau a'u gwybodaeth grefyddol. Cefais bob gradd ac oedran yn hynod o anwybodus; a bydded i'r ychydig engraifftiau a nodaf wasanaethu yn lle llawer i brofi hyny.

Un Sabbath, pan oeddwn yn myned i'r Eglwys, digwyddodd i mi gyfarfod bachgen 14eg oed, yr hwn, yn nghyd a lluoedd eraill, oedd yn myned i'r gwasanaeth Pabaidd. Gofynais iddo—"I ba le yr ewch fy machgen?" "I'r *Mass*, Syr." "A fydd rhyw addysg grefyddol i gael ei chyfranu i chwi yno?" "Bydd bob amser." "Yr wyf yn gobeithio yr esgusodwch fi am gymmeryd cymmaint o hyfdra ag i ofyn i chwi eich barn ar yr hyn a ystyrir yn brif byngciau Cristionogaeth. Pa sawl Duw sydd?" "Yr wyf yn tybio mai un." "Pa sawl person sydd yn y Duwdod?" "Myn Mair nis gwn." "Pwy a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid?" "Nis gwn." "A ydym ni wedi myned yn bechaduriaid, ac yn rhwym dan lid Duw?" "Nac ydwyf ddim yn meddwl." "A oes marwolaeth a barn o'n blaen ni?" "Nac oes yr wyf yn meddwl." "Pa sawl math o bobl sydd yn y byd hwn ac yn y byd tragywyddol?" "Myn Mair nis gwn. Yr wyf i gael Bedydd Esgob yr wythnos nesaf, Syr, pe gwelwn chwi wedi hyny gallwn ateb pob peth a ofynech." "Y mae yn llawn bryd i chwi ei gael, fy machgen, yr ydych yn cael eich difetha o eisieu gwybodaeth. Mae gwybodaeth o'r pethau ag ydwyf yn ei ofyn, i ryw fesur, yn anhebgorol tu ag at fod yn gadwedig." "Byddaf sicr o'u gwybod, *never fear*," ebe yntau.

Bu yr ymddiddan canlynol hefyd rhyngof â hen wr arall, 75 mlwydd oed, "Mae eich natur adfeiliedig yn peri i mi feddwl fod eich enaid ar ehedeg i fyd tragywyddol. A oes genych obaith bod yn ddedwydd yno?" "O oes." "Beth sydd yn peri i chwi feddwl felly?" "Byddaf yn myned i'r *Mass* bob Sul, ac yn dywedyd dwy weddi neu dair bob dydd, mae hyny yn ddigon." "Goddefwch i mi ddywedyd nad ydyw yn un rhan o fil yn ddigon: oblegid dywedodd y barnwr ei hun y bydd rhai yn dyfod ato yn y dydd hwnw wedi pregethu, prophwydo, bwrw allan gythreuliaid, a gwneuthur gwyrthiau lawer yn ei enw ef: yr hyn oedd yn saith mwy na'ch tair gweddi chwi, etto, bydd i'r rhai hyny gael eu cau byth tu fewn

brynu rhyw bethau tuag at achosion y brodyr; ac hefyd i gyflwyno Mr. Nott a'i wraig, y rhai oedd wedi dyfod o Loegr, ac yn dychwelyd i Tahiti. Mr. W. a gymmerodd gydag ef amryw o frodorion *Samoa*, i'w gadael yn rhai o'r Ynysoedd paganaidd *Hebrides* a *New Caladonia*, fel dysgadwyr, neu rag-flaenoriaid dysgawdwyr yn y lleoedd ag a'u derbyniai. Wedi ymweled âg Ynys *Tanna*, a rhai ereill, lle yr oedd y bobl yn gyfeillgar, a gadael rhai o'r dysgawdwyr, daethant i Ynys *Eramango*; Mr. W. a rhai ereill, wedi anturio myned i dir ar lân y môr, efe, a gwr ieuangc o'r llong, o'r enw Mr. Harris, a gawsant eu lladd yn ddisymwth gan y barbariaid, a'r newydd galarus a ddygwyd yma rai wythnosau yn ol.

Y rhagluniaeth yma sydd yn ymddangos i ni yn dywyll yn bresennol ond fe all, ac fe fydd i'r Arglwydd ddwyn yn mlaen ei waith yn ei amser, ac yn ei ffordd ei hun. Mr. W. oedd er ys amryw flynyddoedd yn bwriadu ymweled â'r Ynysoedd hyny, gyda bwriad i ddwyn yr Efengyl yn eu plith.

Rai blynyddau yn ol, cyfaill o Lundain a anfonodd i mi y dôn a elwir *Hyfryd*, yn Saesonaeg *Joyful*, gyda'r hymn a genid yn yr Ysgol Sabbathol; wedi hyny, gwelais y dôn, ac hefyd yr Hymn yn Gymraeg ac yn Saesonaeg, wedi eu hargraffu yn y *Drysorfa*, ac hefyd hymnau ereill genych chwi ar y dôn. Cyfieithais y gyntaf, a dyma hi fel y'i cenir gyda llawer o hyfrydwch gan lawer o'n Hysgolion Sabbathol yn Tahiti ac Eimeo.

Oto teis to matou,
Farerei ia taa faahou,
E one tei te mi;
Maitai ia, maitai,
Maitai, maitai, maitai,
Maitai, maitai, maitai,
Maitai i'a ore tra faahou.

Fei te Fatu nac te aau,
Ua tae iand i teienei ao,
E tac nore i te rai;
Maitai te reira, maitai, &c.

Reira mau te tamarii,
Feia bure i raro nei,
Ia tac anac i te ao;
Maitai te reira, maitai, &c.

Hui metua maitatai,
Riro' nac i te farerei,
E one taa faahou;
Maitai te reira, maitai, &c:

Te mau Faaite tei haapii
Ia tatou i raro nei,
Ia tac anac i te rai;
Maitai te reira, maitai, &c.

Eoaoa hoi tatou,
Ia JESU te ora mau,
Ia tac' nac i te ao,
Maitai te reira, maitai, &c.

Yma cur a blinder cawn,
Yma c'wrdd i 'mado wnawn,
Nid felly yn y Nef.
O! hyn fydd yn hyfryd!
Hyfryd, hyfryd, hyfryd,
O! hyn fydd yn hyfryd!
C'wrdd heb byth ymadael mwy.

Pawb sydd yma'n caru Duw,
Gwedi marw hwy gânt fyw,
A chanu yn y Nef.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Pawb brofasant ras a hedd,
Iesu, hwy gânt wel'd ei wedd,
A chanu iddo byth.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Duwiol a sancteiddiol blant,
Sy'n gweddio, yno'r ânt,
O'r holl Ysgolion Sul.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Ein hathrawon rhad a rhydd,
A'n rhieni yno fydd,
Dros byth yn llawenhau.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Ein bugeiliaid gyda hwy,
Yno fydd heb ofid mwy,
A'u bronau'n llawn o hedd.
O! hyn fydd yn hyfryd! &c.

Fe allai fod llythyrau oddiwrthych chwi ac ereill yn aros yn rhyw le ar y ffordd, y mae y llong Camden, fel y clywsom, wedi dychwelyd o Sydney i'r Samoa i gymmeryd gweddw athrist Mr. Williams i dref Sydney, i ddychwelyd, mae yn debyg, at ei pherthynasau yn Llundain.

Byddai dda genyf weled llythyr arall oddiwrthych, anfonais i Lundain am barhad o'r Drysorfa gael ei hanfon i mi gan Mr. Jones, Llyfrwerthwr yno. Nid ydwyf yn gwybod pa un a ydyw Mr. Joseph yn debyg o gael dim Cyhoeddiadau o Ddeheudir Cymru. Parhewch i'm cofio yn garedig at y cyfeillion yn Nghymru, ac at fy chwaer a'i theulu. Rhaid i mi yn awr derfynu, ond chwanegu fy mod gyda gwir ddymuniad am eich llwyddiant,

Eich hen Gyfaill,

JOHN DAVIES.

## CYFLWR Y GWYDDELOD.

MAE gwr ieuanc o Gymro crefyddol, wedi myned yn ddiweddar i eithafion y Werddon, ac ymsefydlu yno, fel Golygwr ar Waith Llechau. Anfonodd cyfaill i ni ato, i ddeisyf arno anfon i'r Drysorfa ychydig o hanes y Werddon, ac ansawdd presennol ei thrigolion; yn enwedigol eu hanwybodaeth, a'u coelgrefydd; yr hyn a wnaeth efe yn y llythyr canlynol. Gobeithiwn y bydd i'r darluniad galarus sydd ynddo gynhyrfu tosturi y Gymdeithas Genhadol Gymreig i anfon cenhadon hedd i'w haddysgu hwynt, ac i breg-

ethu yr Efengyl iddynt yn eu hiaith eu hun yn yr hon y ganed hwynt, rhag na byddwn ni, eu cymmydogion cyfagos, pobl y breintiau mawrion, yn rhydd oddiwrth eu gwaed hwynt.

*Ashford*, Tach. 16, 1840.

FY ANWYL SYR.—I ateb eich dymuniad o gael hanes y wlad, y trigolion a'u moesau, dywedaf air ar bob un.

Mae y wlad, o ran ei golygfeydd naturiol, ei gwastadrwydd, a'i ffrwythlondeb y fath, ag a ddenai sylw a channoliaeth pawb a'i gwelo. Etto mae yn wlad orthrymedig, mae yn cael ei gorthrymu hyd yn nod gan ei boneddigion eu hunain; y rhai y perthyn iddynt gyfarwyddo ac amddiffyn y wlad, a meithrin ei llwyddiant, ydynt yn mhell oddiwrth ei chyffiniau. Dywed D. O'Connel bod dros £8,000,000, sef yn agos i hanner y rhenti a gyfodir yn y wlad, yn cael eu gwario allan o honi.

Felly yn lle meithrin ei gweithfeydd a diwallu ei hanghenion, mae ei chyfoeth yn cael ei gludo i'r cyfandir, ac yno ei luchio i bedwar gwynt y nefoedd, tra ar yr un pryd y mae y genedl yn gruddfan o dan galedi ac angen anobeithiol. Mae'r nifer fwyaf o'r trigolion yn byw bron yn gwbl ar *datws*, y rhai a fwytant ddwywaith neu dair yn y dydd. Os digwydd i'r cnwd *tatws* fethu, y canlyniad naturiol fydd i filoedd o honynt hwythau fethu i'w ganlyn. Dr. Sandes, Esgob Killaloe a ddywed nad ydyw cyfartalwch llafurwyr amaethyddol yn yr Iwerddon, sydd yn medru cael llaeth trwy y flwyddyn gyda'u *tatws*, yn ddim mwy na thri o bob 200.

Mae bara bron yn anadnabyddus i lawer o honynt, oddieithr un mis o'r flwyddyn. Cafwyd gan un o'r gweithwyr yma, yn ei iaith gynhenid, yn atebiad i'r gofyniad canlynol, "Ar ba fis y daethoch yma i weithio?" "*Dhonè mèn somj arân*, daethym yma yn mis y bara" sef Gorphenaf, oblegid bydd yr hen *datws* bron a darfod, a'r rhai newydd heb fod yn addfed, bydd y mis hwnw o'r flwyddyn iddynt bob amser, fel y tywysenau gweigion yn mreuddwyd Pharaoh, newyn ac eisiau i bawb trwy y tir, ond a all gyrhaeddyd bara.

Ond mewn ystyr ysbrydol mae y wlad yn ganmil mwy truenus, er ei bod yn llawn o Gapelau a Mounachdai, Esgobion ac Offeiriaid, allorau ac aberthau, dwfr sanctaidd a thân cyssegredig; etto mae miliynau o honynt yn eistedd "yn mro a chysgod angau" o dan drwch dirfawr o dywyllwch ac anwybodaeth, heb lygad yn tosturio wrthynt; ie eneidiau sydd i fod byth, yn trengu o eisiau bara y bywyd! Mae y mwg a gyfododd o'r pydew diwaelod, wedi troi eu dydd yn nos—wedi mallu eu breintiau crefyddol—wedi tywyllu gogoniant person y Cyfryngwr—a chymylu rhyngddynt â holl drefn iachawdwriaeth dyn colledig. Mae miloedd o honynt heddyw heb Feiblau, heb efengyl, heb ragorfreintiau gwir grefydd, ac heb neb i'w cyfarwyddo mewn gwirionedd i'r "ffynon a agorwyd i bechod ac aflendid." Pa cyn lleied o wybodaeth a all fod yn gysson a diogelwch enaid dyn i dragywyddoldeb nid wyf yn penderfynu; ond gwn, trwy ymholiad manwl, bod yma filoedd "yn cael eu dyfetha o eisiau gwybodaeth" a'u llethu yn dost o dan iau drom "Babilon Fawr."

Teithiais, ar wahanol achosion, gannoedd neu filoedd o filltiroedd o'u gwlad; bum yn ymdrechgar bob amser i gael gwybod ansawdd eu breintiau a'u gwybodaeth grefyddol. Cefais bob gradd ac oedran yn hynod o anwybodus; a bydded i'r ychydig engreifftiau a nodaf wasanaethu yn lle llawer i brofi hyny.

Un Sabbath, pan oeddwn yn myned i'r Eglwys, digwyddodd i mi gyfarfod bachgen ifeg oed, yr hwn, yn nghyd a lluoedd eraill, oedd yn myned i'r gwasanaeth Pabaidd. Gofynais iddo—"I ba le yr ewch fy machgen?" "I'r *Mass*, Syr." "A fydd rhyw addysg grefyddol i gael ei chyfranu i chwi yno?" "Bydd bob amser." "Yr wyf yn gobeithio yr esgusodwch fi am gymmeryd cymmaint o hyfdra ag i ofyn i chwi eich barn ar yr hyn a ystyrir yn brif bynciau Cristionogaeth. Pa sawl Duw sydd?" "Yr wyf yn tybio mai un." "Pa sawl person sydd yn y Duwdod?" "Myn Mair nis gwn." "Pwy a ddaeth i'r byd i gadw pechaduriaid?" "Nis gwn." "A ydym ni wedi myned yn bechaduriaid, ac yn rhwym dan lid Duw?" "Nac ydwyf ddim yn meddwl." "A oes marwolaeth a barn o'n blaen ni?" "Nac oes yr wyf yn meddwl." "Pa sawl math o bobl sydd yn y byd hwn ac yn y byd tragywyddol?" "Myn Mair nis gwn. Yr wyf i gael Bedydd Esgob yr wythnos nesaf, Syr, pe gwelwn chwi wedi hyny gallwn ateb pob peth a ofynech." "Y mae yn llawn bryd i chwi ei gael, fy machgen, yr ydych yn cael eich difetha o eisieu gwybodaeth. Mae gwybodaeth o'r pethau ag ydwyf yn ei ofyn, i ryw fesur, yn anhebgorol tu ag at fod yn gadwedig." "Byddaf sicr o'u gwybod, *never fear*," ebe yntau.

Bu yr ymddiddan canlynol hefyd rhyngof â hen wr arall, 75 mlwydd oed, "Mae eich natur adfeiliedig yn peri i mi feddwl fod eich enaid ar ehedeg i fyd tragywyddol. A oes genych obaith bod yn ddedwydd yno?" "O oes." "Beth sydd yn peri i chwi feddwl felly?" "Byddaf yn myned i'r *Mass* bob Sul, ac yn dywedyd dwy weddi neu dair bob dydd, mae hyny yn ddigon." "Goddefwch i mi ddywedyd nad ydyw yn un rhan o fil yn ddigon: oblegid dywedodd y barnwr ei hun y bydd rhai yn dyfod ato yn y dydd hwnw wedi pregethu, prophwydo, bwrw allan gythreuliaid, a gwneuthur gwyrthiau lawer yn ei enw ef: yr hyn oedd yn saith mwy na'ch tair gweddi chwi, etto, bydd i'r rhai hyny gael eu cau byth tu fewn

i farau y pwll." "O, os methaf a myned y ffordd hono, byddaf yn sicr o fyned i'r nefoedd gyda'r gyr, *never fear.*"

Dywedais wrth yr hen wr am fanylrwydd y farn. Dywedais hefyd fod y barnwr yn anfeidrol sanctaidd, ac felly yn rhwym o gasau pob pechod; yn anfeidrol gyfiawn, felly yn rhwym o gospi pechod yn ol ei haeddiant; yn hollwybodol, felly yn hysbys o'n pechodau oll; yn hollalluog, ac felly yn alluog i roddi ei ddedfryd mewn grym. Dywedais mai yr unig lwybr iddo gael dianc rhag barn uffern oedd trwy gael ei gyfiawnhau trwy gyfiawnder Crist. Diolchai yn fawr imi, a dywedai na chlywsai erioed y fath bethau o'r blaen.

Fel hyn chwi a welwch fod yr ieuanc fel yr hen, a'r hen fel yr ieuanc, a'r ddau cyn dywylled a'r nos. Maent yn gorfod cerdded heb yr haul, ac yn methu o eisieu gweledigaeth.

Yr wyf yn cofio amgylchiad arall. Dywedwyd wrthyf fod tŷ yn y gymmydogaeth ag y byddai rhai gwyr ieuainc yn ymgynnull yno i chwarcu cardiau ar y Sabbathau. Ac ar ryw Sabbath aethym yno, ac yr oedd bron yn llawn o hen ac ieuanc yn prysur chwareu. Dywedais bod eu gwaith yn bechod yn erbyn Duw, yn ddianrhydedd i'w ddydd, ac yn niweidiol iddynt hwythau eu hunain. Ni chefais ond gan ychydig o honynt goelio; ond o barch i mi hwy a beidient, ac a ofynent i'r *Priest.* Gwnaethant felly, a chawsant yr atebiad canlynol; "Fod dilyn unrhyw chwareuyddiaeth ar y bath, mewn tŷ neu allan, yn hollol gyfreithlon ar ol y *Mass,*" yr hwn a ddibena 12 o'r gloch. Ar ol hyny nid ydyw ond gwastraff anadl ceisio ganddynt gredu yn wahanol; oblegid yr hyn a ddywedo efe a ystyriant yn ddyledswydd, a'r hyn a waharddo efe a ystyriant yn bechod.

Ni chyfarfyddais ag un Pabydd yn meddu Bibl, nac unrhyw lyfr crefyddol arall, oddieithr defodau gwasanaeth yr Offeren. Nid oes unrhyw amcan na llafur gan yr offeiriadau i borthi eu praidd, â gwybodaeth ac a deall; nid oes unrhyw ymofyniad ynddynt hwythau am hyny chwaith. Maent wedi rhoddi achos eu heneidiau yn gwbl yn llaw y *Priest*, yr hwn trwy y sacrament o benyd, cyfaddefiad pechod, &c. sydd yn meddu y fath ddylanwad arnynt, fel y credant bob peth a orchymyno, y talont bob peth a ofyno, —ac y dioddefont bob peth a osodo arnynt. Tybiant bod cael presenoldeb y *Priest* yn awr marwolaeth yn gwneuthur eu mynediad i'r nefoedd yn sicr ac anffaeledig. Gwelais ddedfryd olaf y gyfraith yn cael ei gweinyddu ar ddyn yn Waterford; yr oedd yn ymddangos yn hollol anedifeiriol; yr wyf yn meddwl na chyssegrwyd y crogpren â gwddf teilyngach erioed, etto dywedodd y *Priest* ei fod wedi llwyddo i wneuthur ei fynediad i'r nefoedd yn sicr; a'i fod yn berffaith barod! Derbyniwyd hyn gan y gynnulleidfa gyda'r llawenydd mwyaf: felly dan bwyso ar ei dystiolaeth, aeth ei enaid noeth i ryw le tu fewn i'r fro anadnabyddus hono, lle mae Lazarus yn cael ei ddiddanu, a'r goludog ei boeni.

Mae dirwestiaeth yma yn ei gweithrediadau mwyaf llwyddiannus;—mae y trachwantau ffyrnicaf, y rhagfarnau cryfaf, wedi plygu o'i blaen: mae ei llais yn cael ei glywed—ei hegwyddor yn cael ei haddef—ei dylanwadau yn cael ei profi gan bob graddau yn y tir; mae wedi ymrestru o dan ei baner 3,000,000. Ond yn wir yr wyf yn ofni bod ei llwyddiant mewn rhan fawr i'w briodoli i dywyllwch ac anwybodaeth y bobl. Nid fy ngelyniaeth i at ddirwest sydd yn peri i mi ddywedyd hyn; yr wyf yn gyfaill i ddirwestiaeth, mae fy mywyd wedi ei rwymo wrth ei phawl; yr wyf yn meddwl ei hamddiffyn tra byddaf byw. Etto, yr wyf yn anghymeradwyo yr egwyddor, a'r amcan, oddiar ba rai y cyfnerthir y gyfundraeth yn y wlad hon. Mae Pabyddiaeth fel surdoes wedi lefeinio yr holl gyfundraeth, a gwenwyn ei hathrawiaethau wedi ymgerdded trwy holl gorff ymarferiadau y sefydliad. O ran ansawdd ei effeithiau ar y wlad, mae mewn rhan yn dda, mewn rhan yn ddrwg: nid dydd ac nid nos. Mae yn wir ei bod wedi effeithio gwellhad mawr yn arferiadau y trigolion. Nid ydyw creigiau Derry o Gormig ddim yn dyspedain yn awr gan fygythiadau y trwst arfau, na dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed, fel ag y gwelwyd yn ngwastadedd Waterford.

Etto, mae miloedd yn tybio am dani, ac yn gwneuthur defnydd o honi, mewn dull croes i ewyllys Duw, a dinystriol i'w heneidiau eu hunain. Edrychir arni gan filoedd fel trysorle o bob bendithion, a bod dal perthynas â hi yn teilyngu pob daioni; felly mae y maen a osodwyd yn Seion yn cael eu wrthod, a doethineb Sanct y nefoedd yn cael ei ddirmygu. Nid yn unig tywyllwch ac ofergoeledd y genedl ydyw yr oll ag sydd yn effeithio hyny, ond dychymygion a haeriadau ei phleidwyr. Nid ydyw Father Matthew ei hun ddim yn deilwng o hyny. Bum yn ei wrando dair gwaith; darllenais lawer o'i areithiau, ac allan o lawer o'r cyffelyb ni nodaf ond un dywediad o'i eiddo yn Dublin, yn Ebrill diweddaf. "Mae yr achos sanctaidd a bendigedig hwn yn eich dyrchafu i wir anrhydedd; y foment y cymmerwch yr ymrwymiad, y foment hono yr ydych yn cael eich cofrestru yn y nefoedd.—*The Dublin Weekly Herald, Vol.* 2. *No.* 28.

Yr oedd y dref a'r wlad yn tybied bod y fath allu yn ei law, a'r fath wyrthiau yn dilyn ei weinidogaeth ddirwestol, fel ag i roddi llygaid i ddeillion, traed i gloffion, tafod i'r mudan, a nerth i'r claf a'r gwywedig. Dywedir fod dros bedwar cant o bobl

ddeillion yno yr un diwrnod, yn disgwyl am adferiad eu golygon; gwelais lawer iawn o'r cyfryw fy hun. Yr oedd llawer o gleifion wedi cael eu dwyn ar welyau mewn troliau, 20 neu 30 milltir o ffordd i ddisgwyl iachad. Ymadroddion fw clywed yn gyffredin yn y gynnulleidfa oedd, "O dyna ddyn wedi cael ei olwg yn awr. Dyna ddyn wedi cael adferiad iechyd, oedd wedi ei golli er's pum mlynedd." Tybiant fod yr un gallu rhinweddol yn y "*medals*" oedd ef yn eu cyfranu. Ychydig fisoedd yn ol yr oeddwn yn *pasio* tŷ gwraig weddw a adwaenwn yn dda, pan ar y pryd yr oedd ei hunig blentyn, bachgen 13 oed, yn glaf: gofynais iddi pa fodd yr oedd y bachgen, dywedai ei fod yn bur sal, ac y byddai yn ddiolchgar os deuwn i'w olwg. Aethum. Yr oedd yn gorwedd ar ei gefn yn ei wely, a'r *medal* dirwestol ar ddull croes wedi ei chylymu ar ei dalcen. Gofynais i'w fam, pa ddaioni oedd hòno? Dywedodd mai peth da iawn ydoedd tuag at gael iachad.

Mae llawer o aelodau Seneddol yr Iwerddon wedi cymmeryd y *medal* dirwestol, ac yn eu plith, *the great Liberator of Ireland*, sef Daniel O'Connell. Mae yn rhoddi taith yn bresennol trwy holl brif drefydd y wlad, i areithio ar Ddiddymiad yr Undeb. Mae yn cynnal ei gyfarfodydd yn yr awyr agored, a'i gynnulleidfaoedd sydd o 150,000 i 300,000 yn mhob lle. Mae ei holl areithiau yn hynod ffafriol i ddirwestiaeth. Mae ei ymadroddion am ei genedl a dirwest yn arw i glust, ac yn wrthun i lygaid, digon a gwneud calon Cristion yn sal:—"Mae y Werddon gyfoethog ei rhinweddau, yn sefyll yn llechres uchaf gwledydd y byd Cristionogol; mae yn dal yn ffyddlon i'w chrefydd yn nghanol yr erledigaethau mwyaf er's 300 mlynedd. Yr wyf yn herio holl Ewrob i ddangos unrhyw genedl mor grefyddol, ffyddlon, rhinweddol, cywir, a chymmedrol ag ydyw y genedl Wyddelig! Nid oes yr un genedl o dan haul y nefoedd yn amlygu y fath rinwedd mewn cymmedroldeb a hi; mae yr achos sanctaidd hwn yn ei dyrchafu i'r sefyllfa uchaf o gymmeradwyaeth dwyfol. Mae yn rhy dda i fod yn hwy yn *slave*! *Hurra for the Repeal*," *&c.*—*Waterford Chronicle, July* 18*th*, 1840. *The Weekly Freemasons' Journal, October* 31*st*, 1840. Medrodd ei dafod ddywedyd y pethau uchod am y Werddon, yr hon y mae ei ysgelerderau yn duo tudalenau hanesyddiaeth gwladol. Mewn chwech o'i siroedd, sef Cork, Galway, Kerry, Limerick, Mayo, a Tipperary, y cyflawnwyd y troseddau canlynol y flwyddyn ddiweddaf, yn ol adroddiad seneddol:—286 o lofruddiaethau; 217 cais i lofruddio; 363 o ddyn-laddiadau. Rhaid bod y grefydd ag y canmola O'Connell y Gwyddelod o'u bod yn meddiannu yn ychydig wahanol i grefydd y Bibl. 'Yr hon,' medd yr Apostol, 'yn gyntaf, pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da.' Tystiolaethu am dano ei hun a'i genedl yr oedd; fel y dywedodd y Phariseaid wrth Grist, 'Nis gall ei dystiolaeth fod yn wir.' Pan ofynwyd ei farn, pa rai oedd yr adar barddaf? yr atebiad a gafwyd, 'Fy nghywion i.'

Mae cyflwr ysbrydol yr Iwerddon, y cyfryw ag i alw am lafur a thosturi Cristionogion Brydain, er ei dihuno o'i hirfaith gysgadrwydd, ac er chwalu y cwmwl tywyll sydd yn crogi uwch ei phen er ys llawer oes. Mae mwy na 300,000 o'i thrigolion heddyw yn gorwedd yn y tywyllwch, yn cael eu toi gan gysgod angeu, ac yn gruddfan dan yr iau a wasgodd lawer tô o'u hynafiaid, i dywyllwch dudew yr ail-farwolaeth. Pwy a deimla trostynt? Pwy a ddengys iddynt ffordd iachawdwriaeth? Mae yn wir bod y Bibl wedi ei daflu at draed uwchafiaeth Pabaidd, a'i oleuni nefol bron wedi machludo ar eu tiriogaeth, a gorseddfainc y bwystfil sydd gadarn yn y tir. Etto mae Crist wedi rhoddi ger bron ei Eglwys ddrws agored, fel nas gall neb ei gau. Mae rhyddid i genadon heddwch rodio trwy y tir, ar ei hyd, ac ar ei led, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd rwym. Na ddyweder mwy fod yr amser i rhyddhau plant angeu heb ddyfod, oblegid gwrandawyd eu huchenaid. talwyd prydwerth eu rhyddhad, mae gorsedd cyfiawnder wedi ei boddloni, y ddeddf wedi ei uchel anrhydeddu, yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo wedi ei ddinystrio; yn awr yw dydd eu iechawdwriaeth, yn awr yw eu hamser cymmeradwy.

Mae sylfaen y peiriant mawr er troi y byd mewn ystyr foesol, uwch cael ei rhoddi i lawr yn narostyngiad Crist, ac wedi ei chwbl orphen, pan esgynodd goruwch pob gallu tywysogaeth ac awdurdod; yn awr mae 'holl faes y byd yn agored o flaen preswylferch Sion, i efengylu a chyhoeddi heddwch.' Mae buddigoliaeth y groes i gael ei datgan—dirgelion prynedigaeth i gael ei heglnro—a cherbyd yr iachawdwriaeth sydd i redeg i gonglau pellaf y byd.

Ar un llaw mae llawer o ddigalondid anobeithiol yn yr anturiaeth i efengyleiddio'r Werddon; mae y tir yn gorsiog a lleidiog, nid yn gwbl baganaidd, ac nid yn wir gristnogaidd, Mae dylanwad y Pab yn eang, a rhagfarn y genedl yn gryf. Ond y mae y Duw Hollalluog, yr hwn 'sydd yn cymmeryd yr ynysoedd i fynu fel brycheuyn,' wedi dywedyd y bydd iddo ddyfetha anghrist âg ysbryd ei enau, a'i ddileu â disglaerdeb ei ddyfodiad. Ag y bydd i'r ddaear fod yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd, fel y töa dyfroedd y môr. Mae y buddugoliaethau a ennillodd y wir grefydd yn barod, ar rai o lygredigaethau gwaethaf coel-grefydd a thwyll, yn brawf digon eglur y bydd i'r 'mynydd mawr' crybwylledig gael ei wneud

yn wastadedd o'i blaen. Gweithlodd y wir grefydd ei ffordd yn y byd dros ganrifoedd cyfain pan oedd holl awdurdod, dylanwad, dysgeidiaeth, a chyfreithiau y byd yn ei herbyn; methodd holl wyntoedd erledigaeth ei diffoddi, na'i holl fygythion ei dychrynu, a holl gryfder y gelyn a fethodd ei throi yn ol. Mae y genau a lefarodd y greadigaeth i fod, wedi dywedyd y bydd iddo ei 'dyfrhau ar bob moment, ac y bydd iddo fod gyda 'phawb a weithreda er ei lledaeniad hyd ddiwedd y byd.' Pa beth ydyw holl allu uffernol a Phabyddol, twyll, a choelgrefydd, anwybodaeth a rhagfarn, o flaen 'pryf Jacob,' pan y byddo braich Holl-alluawgrwydd yn cydweithredu âg ef? Bydd i'r mynyddoedd a'r anhawsderau a nodais, 'gael eu dyrnu, a'u malu fel mwlwg,' a phob cnawd a wel iachawdwriaeth ein Duw ni.

Pe buasai corph y Methodistiaid Calfinaidd yn ffurfio Cymdeithas er anfon a chynnal dau neu dri fel cenadon yr amser y cynnygiwyd ar hyny, diammeu y buasai effeithiau da wedi ymddangos o'u gwaith cyn hyn. Ond nid ydyw yr amser wedi passio, na'r drws wedi ei gau, ac y mae cymmaint o eisiau hyny yn awr ag erioed. Pe byddai i'r corph lliosog a gweithgar crybwylledig ymysgwyd o deimladau llwfr adeiladwyr yr ail deml, "Ni ddaeth yr amser etto," ac anfon dau neu dri i gyhoeddi y "newyddion da" i'r Gwyddelod, diammeu y byddai i'r had da ffrwytho yn doreithiog yn y tir drwy holl oesoedd y byd; oblegid y mae cyssylltiad cyfatebol bob amser rhwng yr ymarferiad o foddion a llwyddiant. "Yr hwn a hauo yn brin a fed hefyd yn brin; ond yr hwn a hauo yn helaeth a fed yn helaeth." Rhan fawr o grefydd ydyw ymegnio er ei lledaeniad. I'r graddau yr ymdrecha dynion i achub ereill, i'r graddau hyny y maent yn deilwng o'r enw Cristionogion. Yr wyf yn hiraethu am i'r Arglwydd ymweled yn ei ras â'r wlad annedwydd hon, er adeiladu teyrnas y person bendigedig a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr, a pheri i oleuni yr efengyl lewyrchu hyd eithafoedd y tir.—Ydwyf, anwyl Syr, eich ufudd wasanaethwr,

ROBERT WILLIAMS.

---

PREGETHAU Y PARCH. MR. CHARLES, O GAERFYRDDIN.

Ryw Sabbath yn ddiweddar, yr oedd gwas mewn teulu heb fod yn mhell o'r Bala, yr hwn, er ei fod yn grefyddol, a ddigwyddodd fod y dydd hwnw yn wrthgiliedig ei ysbryd, ac yn hynod felly. Nis mynai ddyfod i'r Capel er neb, a thybygid ei fod yn meddwl rhoddi i fynu ei holl grefydd am byth. Cymhellwyd llawer arno i ddyfod i'r moddion, ond yn gwbl aflwyddiannus. Ond pa fodd bynag, wedi i'r holl deulu ond efe fyned i'r addoldŷ, teimlai ei hun yn annifyr o eisieu rhywbeth i'w wneud. Gan hyny chwiliai am ryw lyfr i'w ddarllen, a hwnw â rhywbeth newydd ynddo, bid sicr. A digwyddodd fod yn y tŷ yn y cyfamser gyfrol o'r pregethau uchod, yr hon oedd wedi cael ei hanfon yno gan Lyfrwerthwr, gan feddwl y buasai yn dda gan rywun o'r lluaws ugeiniau o grefyddwyr sydd yn y plwyf hwnw gael y cyfleusdra i'w phrynu. Ond aros yn llonydd yr oedd y gyfrol er ys tro. Ac wrthi y tarawai y gwas gwrthgiliedig yn ei ymchwil. Cymmerodd hi a dechreuodd ei darllen: a chyda iddo ddechreu darllen dechreuodd deimlo. Ac felly y bu, yn darllen ac yn wylo bob yn ail hyd oni ddaeth y teulu o'r addoliad, a'i gael mewn agwedd dra gwahanol i'r hon y gadawsant ef ynddi. Cyfaddefai ei fod wedi wylo llawer, ac na buasai yn darllen erioed y fath bregethau. A dywedai yn mhellach, y mynai gael cyfrol o honynt yn eiddo iddo ei hun, pe costiai iddo hanner ei gyflog. Felly fe'i prynodd ddydd Llun, ac nid oedd yn gofyn iddo yn ei lle ond yn unig hanner swllt. Y mae yn sicr fod rhywbeth yn y pregethau hyn pan y parasant i ddyn gwrthgiliedig fel hyn deimlo, a dychwelyd. Mi feddyliwn nad oes eisieu ond gwybod ychydig am eu cynnwysiad i beri i grefyddwyr, o'r hyn lleiaf, wrth y cannoedd eu prynu. LL.

---

Y PARCH. T. JONES, Y CENADWR.

DYDD Iau, Tach. 26, 1840, nis gallwn lai nag ysgrifenu fel y canlyn: sef

Pwy ni wel ddaioni, trugaredd, goruwchlywodraeth, a phen-arglwyddiaeth "yr Hwn sydd yn dal y moroedd ar gledr ei law, ac yn casglu y gwynt yn ei ddyrnau?" Pwy ni wel hyn yn fod y llong Jamaica, yn yr hon yr oedd y Cenadwr hedd, y Parch. T. Jones, i hwylio o afon Liverpool ar yr achos pwysfawrocaf a mwyaf gogoneddus? Pwy ni wel hyn, meddaf, yn fod y llong a'r llongwyr yn methu cychwyn ddiwrnod o flaen, neu ar un o'r dyddiau ystormus a aethant heibio, pryd y boddodd ugeiniau o'n cydgreaduriaid ar gyffiniau ynys Brydain!

Pwy ni wel hefyd nad hin yw yr hin ddoe, heddyw, ac y fory, i'r llestr a'i thrysor hwylio yn dawel allan o gyrhaedd perygl llong-ddrylliad, cyn dyfod un ystorm arall! Gweddiwyd am hyn---byddwn ddiolchgar hefyd. A bydded coffadwriaeth gostyngedig am hyn, yn fynych a chysson, tra y bo yr enwad Trefnyddion Calfinaidd Cymreig dan y nefoedd.

G——m, D. J.

---

Ar y 25ain o Dachwedd y cychwynodd ein brawd ar ei fordaith, a gweddus sylwi fod yr hin, o hyny hyd yn awr, yn deg ac yn ffafriol. Mae efe yn awr, mae'n debyg, mewn hinsawdd boeth iawn, wedi passio Bay of Biscay, ac wedi cyflawni un ran o bedair o'i daith. CYH.

## LLYTHYR

### AT Y PARCH. J. ROBERTS, LLANBRYNMAIR.

Barchedig Syr,—A fyddai flin genych pe y gosodwn ychydig ofyniadau perthynol i gynnwysiad eich Ysgrif a ymddangosodd yn y Dysgedydd, Rhif. 225, tu dal. 278, yn nghyd â'r rhai pethau ereill at eich ystyriaeth? Pa un bynag, hyny a wnaf, os caf rwydd-hynt.

Pa hawl sydd genych, attolwg, i ymyraeth cymaint yn nghylch yr egwyddor ar ba un, a'r moddion trwy ba rai, yr ewyllysia Meddiannwyr y Drysorfa oi dwyn y'mlaen? Onid oes ganddynt hwy awdurdod cystal ag ereill i ddwyn cyhoeddiad misol allan yn y drefn a'r modd y gwelont yn oreu, tra yr ymgadwont yn hyny, heb ormesu ar derfynau, hawl, na rhyddid ereill? Gyda pharch i Gyhoeddwyr yr Eurgrawn Efengylaidd (*Evangelical Magazine*) gan yr enwasoch y cyhoeddiad hwnw, y gofynaf, a raid i'r dull a ddewisasant hwy i gyhoeddi eu Misolyn, fod yn rheol i'r Trefnyddion Calfinaidd gyhoeddi eu Misolyn hwythau? Yr wyf yn gydnabyddus a'r Eurgrawn Efengylaidd er ys llawer o flynyddoedd, ac wedi bod yn dderbynydd cyson o hono am gryn ennyd, ac ni ewyllysiwn roddi yr anair lleiaf iddo. Dechreuwyd ei gyhoeddi gan Eglwyswyr, Ymneillduwyr, a Methodistiaid yn nghyd, megis law yn llaw; ond yn bresennol y mae yn gyhoeddedig gan yr Ymneillduwyr yn unig, oddieithr bod ychydig o Fethodistiaid yn gydgyfranog â hwynt, a gohebir ychydig i'w thrysorau weithiau gan ambell Offeiriad. Dygir ei gyhoeddiad yn mlaen mewn rhai pethau yn lled debyg fel y dygir y Drysorfa gan y Trefnyddion Calfinaidd, dan arolygiad nifer o weinidogion etholedig i'r gorchwyl, y rhai a ystyrir fel *Trustees and stated contributors.* Yr oedd y diweddar Barchedigion John Roberts, Llanbrynmair, a David Charles, Caerfyrddin, o'u nifer. Ac yn wir, yr wyf yn casglu oddiwrth yr aml hysbysiadau a geir ynddo o benderfyniad y Cyhoeddwyr i gadw allan o hono bob peth o duedd anfoesol, nad yw yr egwyddor foesol, ar ba un y'i dygir y'mlaen, yn gwahaniaethu nemawr oddiwrth yr egwyddor wreiddiol, ar ba un y dwg y Trefnyddion Calfinaidd eu Trysorfa yn mlaen, os nad yr un a'r unrhyw yn hollol ydyw. Pa un a oes ychydig o wahaniaeth yn y drefn a'r moddion a ddefnyddir er dwyn yr egwyddor i weithrediad, neu a yw y naill Gyhoeddwyr yn fwy llafurus a llwyddianus yn hyn na'r lleill, ni phenderfynaf, ond gadawaf hyny yn bresennol i farn y *Critics* ydynt mor barod eu beirniadaeth ar y '*Subject*' dan sylw, ac os canfyddaf angenrheidrwydd, ysgrifenaf ychwaneg ar hyn amser a ddaw.

Gwelaf, wrth graffu ar ddiwedd y paragraph cyntaf yn eich Ysgrif a nodais, fod eich gwewyr presennol yn tarddu o'ch ystyriaeth am y gwrthodiad o le yn y Drysorfa a gafodd eich ymdrech yn erbyn y Pregethwr. Yn erbyn y Pregethwr, meddaf, am na chanfyddwyf yn eich holl ysgrifau gymaint a gair yn tueddu i niweidio, yn y gradd leiaf, na milwrio yn erbyn yr egwyddorion, neu yr athrawiaeth a esyd allan, ac a amddiffyna. Ond er cymaint eich ymdrech i'w erbyn, y mae efe ar dir teg gwirionedd, rheswm, amynedd, a hynawsedd yn eich codymu i'r llawr bob ergyd. Ni waethai chwi mor llawer adael yr Eurgrawn Efengylaidd heibio, canys ni chewch ond ychydig o'i fewn yn tueddu i ateb eich dyben yn eich cyfwng presennol. Mae y ddwy Drysorfa yn tebygu graddau i'w gilydd yn eu cynnwysiadau o ddadleuon. Mae'n wir y gwelwyd yn y naill a'r llall o honynt bethau croes i olygiadau y Cyhoeddwyr. Mae'n wir hefyd yr ymddangosodd ychydig ddadleuon yn y naill a'r llall. Ond ni chanfyddwch yn y naill na'r llall o honynt ddadleuon cyffelyb i'r dadleuon haerllug, enllibaidd, difenwol, twyll-resymol, (*sophistical*) a chablaidd, a dryfrithant ddalenau rhai cyhoeddiadau misol yn Nghymru y dyddiau hyn.

Rhai o'r pethau yn tueddu yn fwyaf neillduol at ddadl, y deliais sylw arnynt yn yr Eurgrawn Efengylaidd, oedd Ysgrif o eiddo eich diweddar Barchedig Dad, mewn ymddiffyniad ac annogaeth i'r arferiad o fedyddio plant rhieni dibroffes, yn nghyd ag un arall yn tueddu i wrthwynebu defnyddiad cyfreithiau gwladol o blaid cadwraeth y Sabbath. Gwrthwynebwyd ei olygiadau yn y gyntaf mewn modd rhesymol a chadarn, gan wr o Scotland, ac yn yr ail gan un yn ei alw ei hun, 'A Foe to Licentiousness.' Ond bu eich tad mor foneddigaidd fel nad ynganodd air yn eu herbyn: felly nid aeth yn ddadl rhyngddo â'r naill na'r llall o honynt. Sylwais hefyd ar Ysgrif yn yr Eurgrawn Efengylaidd o eiddo'ch brawd, yn yr hon, os wyf yn cofio yn gywir, yr ymddangosai fel yn awyddus i ddal allan, nad oes gan ddyn hawl yn ei fywyd, i drefnu defnyddiad ar ol ei ymadawiad, gyfran o'i eiddo at unrhyw achos crefyddol neillduol, eithr gadael y cwbl yn hollol i ewyllys ei olynwyr. Dangosodd rhyw un y gwagedd o hyny, a bu'ch brawd mor foneddigaidd a bod yn ddystaw, ac felly nid aeth yn ddadl. Pa un ai tarddiant o wir foneddigeiddrwydd oedd ei ddystawrwydd hwn, nid oes achos ymholi. Y mae ef o ran ei foneddigeiddrwydd yn bresennol, megis mewn sefyllfa prawf, yn ei ymdrech yn erbyn y Parch. L. Edwards. Ac yn wir, cyn belled ag y mae pethau yn ymddangos cymylau lled dduon sydd fel yn ymgasglu o'i amgylch. Efallai pe yr ysgrifenasech chwithau yn erbyn y Pregethwr yn yr Iaith Saesnig, i'r *Evangelical Maga-*

*zine*, y buasech yn fwy gofalus i ystyried yn mha fath ddiwyg yr ymddangosech ger gwydd y byd crefyddol Seisnig, ac y buasai gwylder, ofn, neu gywilydd, yn gweithredu arnoch, er eich cadw mewn cylch mwy boneddigaidd a chefndergarol, nag y gwnaethoch yn eich ymddangosiad ger bron eich cydgenedl y Cymry. Ond i ddychwelyd yn ol at y '*subject*,'—Adroddaf ymddyddan a fu rhyngof â chyfaill rhy hoff i'w enwi yn y fan hon, yn ganlynol i'r stwr mawr a wnaed yn nghylch gweithred Cyhoeddwr y Drysorfa yn nacâu derbyn i'r Goleuad ymdrech eich diweddar Barchedig dad yn erbyn yr athrawiaeth a ymddiffynai y diweddar Barchedig Richard Jones, Wern. Yn mysg pethau ereill, daeth y testyn hwnw i'r bwrdd, a dywedai fy nghyfaill fod Cyhoeddwr y Goleuad i'w feiaw, o herwydd y nacâd cybwylledig. Yn wir, meddwn innau, ni wn i a yw efe i'w feiaw ai peidio Chwi a wyddoch fod Mr. Parry yn golygu mai Richard Jones sydd ar yr uniawn—mai yr athrawiaeth a ymddiffynai efe sydd gywir, ac mai yr un a fynai John Roberts ei hymddiffyn sydd anghywir. Gan hyny, meddyliwyf, nas gallai ef yn gydwybodol wneuthur dim yn erbyn, eithr dros, yr hyn a olygai yn wirionedd. 'Pw,' meddai fy nghyfaill, 'nid yw hyna ddim—Dau du y ddadl—dau du y ddadl' Wele, meddwn innau drachefn, chwi a wyddoch nad oedd y pryd hwnw o leiaf, ddadl rhyngddynt. Nid ar ddull dadleuol yr ysgrifenasai R. Jones yr hyn a gyfenwodd yn 'Annerchiad y Cymro Gwyllt.' Ond pe y buasai wedi myned yn ddadl boeth rhyngddynt, ni buasai hyny yn effeithio dim er cyfnewid dyledswydd Cyhoeddwr y Goleuad. Chwi a wyddoch ddarfod i Mr. Parry, wrth gymmeryd arno y gwaith o weinidogaethu yn yr Efengyl, ymrestru fel yn ymddiffynydd i'r hyn a olyga efe yn wirionedd, a chan ei fod ef, fel y sylwais, yn golygu mai gwirionedd yw yr athrawiaeth a amddiffynai ei gyfaill, Richard Jones, oni buasai, mewn difrif, yn beth dra chwithig ac afresymol ei ganfod, fel âg un law yn amddiffyn gwirionedd a gredai, ac â'r llaw arall yn agor drws, ac yn cynhorthwyo i'w wrthwynebu, trwy roddi mantais i ddadlu yn ei erbyn trwy offerynoldeb cyhoeddiad o'i eiddo? A fuasai yn rhesymol, neu a fuasai rhyw un mor ynfyd a dysgwyl i Brydain Fawr, yn ei rhyfel diweddar â Ffrainc, roddi sefyllfa ar un o'i hynysoedd i'r Ffrancod ymsefydlu, i'w cyfleu eu hunain, a threfnu eu harfau i ryfela yn ei herbyn, neu'r eiddo? Meddyliwyf y dywedwch na fuasai. Wele, yr un mor afresymol yn hollol a fuasai i Mr. Parry roddi sefyllfa ar ynys y Goleuad i saethu at yr athrawiaeth a gredai ef ei bod yn wirionedd, oddieithr hyn o wahaniaeth, bod yr athrawiaeth dragywyddol yn fwy gwerthfawr a phwysfawr, na Brydain Fawr a'i meddiannau tymhorol.

Yr wyf yn adrodd hyn gan adael i chwi gyflawn ryddid i wneud y defnydd a fynoch o hono, a dywedyd a fynoch am danaf. Ni byddaf well na gwaeth er hyny. Efallai y tyn rhyw rai addysg fuddiol oddiwrtho.

Rheol gysefin berthynol i ddygiad y 'Drysorfa,' yn mlaen yn ei chychwyniad cyntaf, dan olygiad y diweddar Barchedig Thomas Charles, ydoedd, 'Na byddai iddi fod yn gludai dadlyddiaeth anfuddiol.' Diau pe yr ymadewid â'r rheol hon, yr ymadewid ar unwaith â'r egwyddor foesol wreiddiol a nodais o'r blaen, ar ba un y'i dygir yn mlaen. Neu o leiaf, pe y derbynid i mewn iddi ddadleuon yn erbyn egwyddorion gwirionedd, neu o blaid athrawiaethau gau. Canys fel y mae moesoldeb i'w ystyried fel yn dreiddiedig mewn buchedd, egwyddor, neu anian, ac athrawiaeth, dylaswn ddywedyd athrawiaeth, egwyddor, a buchedd, felly y mae anfoesoldeb yr un modd. Athrawiaeth anfoesol a fu yn foddion effeithiol i ennyn anfoesoldeb mewn egwyddor neu anian, a'r anfoesoldeb hwnw mewn egwyddor a gynnyrchodd yr holl anfoesoldeb a ymddangosodd mewn ymarweddiad trwy yr holl oesoedd o hyny hyd yn bresennol. Anfoesoldeb trwyadl ydyw athrawiaethau gau ynddynt eu hunain, eu cynnyrch a'u heffeithiau. Gan hyny, pa un ai moesol ai anfoesol, da ai drwg, yw llunio a chyhoeddi y cyfryw athrawiaethau, dadlu, neu gynhorthwyo dadlu o'u plaid? Fel mai dyledswydd wastadol yw ymdrech o blaid yr Efengyl, ac nas galler gwneud hyny ar rai achlysuron heb ddadleu drosti, ac mai pechod yn wastadol yw ymdrech o blaid athrawiaethau cyfeiliornus, ac y gwneir hyny weithiau trwy ddadleuon o'u plaid yn erbyn yr Efengyl, felly y mae cynhorthwyo i ddadleu o blaid y naill yn ddyledswydd, ac o blaid y llall yn bechod. Os wrth foneddigeiddrwydd Cristionogol a n[illegible]wch, y golygwch ymddygiad cyffelyb t[illegible]ag at ddadl o blaid athrawiaeth gywir, a dadl o blaid athrawiaeth annghywir, yr ydych yn ei gam-enwi yn ddirfawr! Oblegid ni bu y fath beth erioed yn gynnwysedig yn moneddigeiddrwydd Crist na'i Apostolion. 'Os yw neb yn dyfod atoch ac heb ddwyn y ddysgeidiaeth hon,, na dderbyniwch ef i dŷ, ac na ddywedwch, Duw yn rhwydd wrtho; canys yr hwn sydd yn dywedyd wrtho, Duw yn rhwydd, sydd gyfranog o'i weithredoedd drwg ef. Cyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt—cilia oddiwrth y cyfryw.' Dyma rai o'r rheolau perthynol i ymddygiad yn ol egwyddor boneddigeiddrwydd Cristionogol ac apostolaidd. Ac yn wir, nid yw ddiogel ymadael â'r egwyddor na'r rheolau yn y gradd lleiaf; oblegid pe y rhoddid lletty i un a wadai effeithiolrwydd Iawn Crist er sicr a llwyr ddileëad yr holl bechodau yr oedd yn aberth ac Iawn drostynt,

neu i un a wadai effeithiolrwydd y pridwerth, sef ei einioes a roddodd efe dros lawer (*lutron anti pollon*), er eu hollol ryddhad a gwaredigaeth; efallai mai un a wadai ei Dduwdod, a ofynai am achles y tro nesaf. A phe y rhoddid achles i un a wadai nerth neu allu yr Ysbryd Glan yn iachawdwriaeth ei bobl, dichon o dipyn i beth y gofynid am letty gan un a wadai ei Bersonoliaeth a'i Dduwdod.

Yr ydych megis yn hoffi son am ryddid a pherffaith ryddid. Gellid eich golygu fel pleidiwr brwdfrydig dros ryddid. Pa fath ryddid a bleidech sydd anhysbys i mi. Os rhyddid i bleidio gau fel gwir athrawiaeth, drwg fel da; dywedwyf i chwi, nad yw y fath ryddid yn llai caethiwed na chaethiwed yr Aipht! neu mewn geiriau ereill, rhyddid ydyw na chefnogir mo hono yn mherffaith gyfraith rhyddid. Ni chaniataodd yr Arglwydd erioed arfer rhyddid yn achlysur i'r cnawd, nac fel cochl malais. Dywed yr Apostol Pedr am gau athrawon yn ei ddyddiau ef, yr addawant ryddid i rywrai, a hwythau eu hunain yn wasanaethwyr llygredigaeth. Mae llawer o'u cyffelyb yn ein dyddiau ninnau, o'r rhai y mae y *Chartists* a'r *Socialists*, a lliaws gyda hwynt. Ni chymerwn lawer a dywedyd eich bod chwi o'u nifer, ond dywedaf, gochelwch fod yn debyg iddynt.

Beth, attolwg, yw y drafferth ddiflino sydd arnoch yn nghylch *discussio* egwyddorion annadleuedig? Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, onidê, yw eich nod? Pa fudd a ddeilliai i chwi, neu arall, pe y *discussid* y gwirioneddau diddadl y cyffesir iddynt yn y Gyffes hono? Nodaf rai o honynt—' Y mae un Duw; ac nid oes ond un gwir a bywiol Dduw. Gair Duw yw yr holl Ysgrythyrau, sef llyfrau yr Hen Destament a'r Newydd; oddiwrtho ef y daethant; maent yn unig reol anffaeledig o ffydd ac ufudd-dod." Mae'n wir y *discussir* y gwirioneddau hyn, gan yr ammheuydd (*sceptic*); y dadleuir i'w herbyn, ac y gwedir hwynt gan y *Socialist*, neu'r Oweniad. Ond pa fudd sydd o hyny? Gwirionedd arall a gyffesir yn yr unrhyw Gyffes ydyw, 'Ac yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd.' *Discussir* hwn hefyd gan rai, dadleuir yn ei erbyn a gwadir ef gan y *Sociniaid*. Ond pa fudd sydd o hyny? Gwirionedd arall a gyffesir yn yr unrhyw, ydyw, 'Yr wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid. Fy nghnawd I, yr hwn a roddaf fi dros fywyd y byd—i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer.—Yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn bridwerth dros bawb.—Ac efe yw'r Iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros *bechodau* yr holl fyd.' Dyma dystiolaethau hollol gydgordiol â'u gilydd am wirionedd sylfaenol, diddadl a safadwy, etto *dicussir* y gwirionedd hwn, dadleuir i'w erbyn a gwedir ef mewn rhan gan rai, ac yn hollol gan ereill. Ond pa fudd sydd o hyny? Yr amser a ballai, onidê, gallaswn sylwi yr un modd am yr holl wirioneddau diddadl y cyffesir yn gryno iddynt yn y Gyffes dan sylw. Onid eu credu yn hytrach na'u *discussio* a ddylid? Cynghorid yr Hebreaid gan yr Apostol i roddi heibio yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist, gan fyned rhagddynt at berffeithrwydd. Mewn difrif, a fynech chwi i bobl fod byth gydag egwyddorion eu cred fel plantos yn bwhwman? Dywedaf i chwi os rhaid iddynt hwy a gymmerant eu harwain gan eu rhesymiadau eu hunain, a syniad y cnawd yn newisiad eu hegwyddorion fod felly, nid oes yr achos lleiaf i'r rhai a dynant eu hegwyddorion o Air yr Arglwydd, ac a'u ffurfiant yn ei ol, gan eu sefydlu ar ei dystiolaethau sicr ef, fod felly, canys y mae sefydlogrwydd a sicrwydd yn briodol i'r ffordd hon. Wrth adael hyn, gofynaf yn mhellach, Pa fudd a allai darddu oddiwrth y *discussiad* o'r cyfryw wirioneddau; ie, pe yr eu *discussid* ond yn ol ystyr gyfyngaf ac esmwythaf y gair? Ond pe yr eu *discussid* o duedd i'w gwrthddadleu a'u gwadu, gofynaf, ai rhinwedd ai gwŷd (*virtue or vice*,) moesol a'i anfoesol, dyledswydd ai *anomia* a fyddai hyny? Ai casineb at y gwirioneddau a gyffesir yn Nghyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, yw yr egwyddor sydd yn ymgodi cymmaint mewn llafur mor ddiflino am eu *discussio*? ac o'r hon y tardd cymmaint o ddywedyd yn erbyn y Gyffes?

Pa reswm, neu sail, sydd genych i gyffelybu y Pregethwr i'r adar a ymdreiglant hyd lawr er twyllo en haflonyddwr oddiwrth y nyth? A weithredodd y Pregethwr ryw beth er cuddio ei Ymddyddanion neu yr egwyddorion cynnwysedig ynddynt oddiwrthych? A oedd eu cyhoeddi trwy'r argraffwasg, a hyny mewn rhan ddwywaith, yn tueddu i'w cuddio o'ch gwydd? Nac oedd. Yr ych yn coffo pa le y mae y nyth. Mae Ymddyddanion y Pregethwr yn eich meddiant. Purion. Defnyddiwch ef mewn modd diduedd a diragfarn, ac efe a bâr i chwi ddoethineb. Attolwg, onid i'r Pregethwr y dylech ddiolch am ei Ymddyddanion? Oni allasai ef guddio pob gair o honynt oddiwrthych chwi a minnau? Ai o'i anfodd, ynteu o'i fodd y mae ei egwyddorion yn ei Ymddyddanion yn daenedig ar led y Dywysogaeth? Os o'i fodd, pa le yr ymddengys priodoldeb eich cydmhariaeth?

Oni byddai cydmhariaeth y betrisen yn fwy priodol o lawer i chwi, yr hwn er ys hir amser bellach a hysbysasoch trwy offerynoldeb y 'Dysgedydd,' ac a addawsoch i'ch cyfeillion, y byddai i chwi anfon rhyw bethau i'r Cyhoeddiad hwnw yn nghylch y pyngciau yr ymddangoswch eich bod yn gwahaniaethu yn eich golygiadau arnynt oddiwrth yr eiddo y Pregethwr? Ac oni chynghorwyd chwi i fyned yn mlaen gyda

hyny, gan eich 'Cyfaill' rhyfelgar—un o feibion Orpheus; yr hwn nad yw ei ysgrifau yn nodedig am ddim, am a wn i, ond drwg-nawsedd a diffyg gairwiredd; fel y maent yn anurddiant i ddalenau y Cyhoeddiadau misol a'u cynnwysant. Ai gwrthgiliwr encilhedig oddiwrth y Methodistiaid Calfinaidd at yr Annibynwyr, yw yr Orpheusiad hwn? os felly, pa ryfedd fod ei gynddeiriogrwydd yn cyfodi cyfuwch? Ond wele chwi, yn lle aros gyda'ch nyth, (neu mewn geiriau ereill, eglurhau ac arddangos eich egwyddorion) megis yn ymdreiglo gyd â'r llawr fel yr aderyn, gan dramgwyddo (*stumble*) ar draws ac ar hyd y peth hwn a'r peth arall, ie, a hyny fwy nag unwaith gyd â'r un pethau. Ai hwn yw y tro cyntaf i chwi *stumblo* gyda'r hyn a olygwch yn sylwedd cydmhariaeth y betrisen? Pa sawl gwaith, dwywaith ai tair, y bu i chwi *stumblo* ar draws y cellyl cloff? Pa sawl gwaith y bu i chwi *stumblo* yn gyhoeddus ar draws pa un a oedd gan y Pregethwr fel golygydd, ryw law yn y gwaith o gau drws y Drysorfa? Gallaswn nodi rhagor o'ch *stumbliadau*.

Yn wir, wrth ystyried y modd yr ysgrifenodd y Pregethwr yn ei Ymddyddanion y pethau yr ydych yn *stumblo* wrthynt, yn nghyd â'r eglurhad a wnaeth o honynt drachefn yn ei Lythyrau dilynol, a chanfod y dull yr ydych chwi yn myned yn mlaen wedi hyny, ni fedraf lai na rhyfeddu atoch, ac nis gwn pa fodd yr ydych yn gallu cynnal eich parch yn mhlith eich enwad crefyddol eich hun. Tebyg di fod llawer yn mysg yr Annibynwyr, nad ydynt mor gibddall, neu ddall bleidiol, fel na chanfyddynt ffoledd, gwagder, a ffugresymiaeth llawer o'ch brawddegau. Gan yr ysgrifenasoch yr hyn a wnaethoch, ac yn y modd y gwnaethoch, ni byddai ond ymddygiad teilwng i un a'i cyfrifai ei hun yn weinidog yr Efengyl, nac ond ymddygiad gonest ac anrhydeddus tu ag at gymydog, i chwi achosi ail gyhoeddiad o Lythyr y Pregethwr atoch, a ymddangosodd yn y Drysorfa am Mai diweddaf, er budd dideb a didwylliant y rhai hyny o'ch brodyr annibynol, nad ydynt yn darllen y Drysorfa. A di ammheu y gwnewch, pan y deloch i garu eich cymydog fel chwi eich hunan, os bydd genych y pryd hwnw y cyfleusdra sydd genych yn awr i wneuthur hyny. Gwelaf hefyd yn y Rhifyn o'r Dysgedydd am Medi, Anerchiad atoch oddi wrth un John Williams, Dolgellau, yn galw arnoch i ddangos pa beth sydd yn eich nyth, (egwyddorion eich cred a olygwyf,) oddiwrth gynnwysiad pa un gellid ofni nad yw pob peth yn eich nyth, mor dda ac iachus ag y gellid dymuno. Cynghoraf finnau chwi i ystyried a chwilio yr unrhyw yn fanwl, cyn dangos y chwaneg o hono, ac os cewch ynddo ddrain ac wyau ysgorpionaidd athrawiaethau gau, ei roddi ar dân gan ymofyn yn ebrwydd am ei well.

Gwelwyf ddyfod o honof, at sylfaen neu o leiaf at reol eich ffydd. Meddwch 'Mae llawer o bethau yn yr ychydig wyf wedi ei ddarllen o waith Newton ag nad wyf yn eu deall, ond nid wyf yn *gwybod* fod dim anghysondeb ynddynt, am hyny yr wyf yn eu credu.' Ho, eich bod heb *wybod* fod dim anghysondeb ynddynt, am hyny yr ydych yn eu credu. Sail go arwynebol onid é? yn enwedig i gredu pethau pwysfawr. Yr wyf yn gwybod y rhaid i mi gael sail gadarnach na hon i gredu pethau anweledig a thragywyddol. Cymerer attolwg yn ganiataol, y gallai anghysondeb fod yn y pethau hyny, neu y profid fod, beth a ddeuai o'ch cred? a brofid ei bod yn well na chred wedi ei sylfaenu ar dwyll ac anwybodaeth? Meddwch drachefn. 'Nid wyf yn deall y pum peth a ddyfynais fwy nag unwaith o'r blaen yn cynnwys darnodiad y Pregethwr o Iawn; ond yr wyf yn sier fod ynddynt anghysonderau nas cymmodir byth ganddo ef, na neb arall, am hyny yr wyf yn eu gwadu.' Iaith go od onid ê? Nid y'ch yn eu deall, etto yr y'ch yn sier fod ynddynt anghysonderau, ac am hyny yr y'ch yn eu gwadu! Meddyliwyf fod yn eich sylfaen hon hefyd ryw wall, neu o leiaf yn eich goruwch adeiladaeth, oblegid wrth wadu y pum peth, yr ydych yn gwadu mai 'Efe yw'r Iawn,' ac mai cospedigaeth oedd dyoddefaint Crist! canys y mae hyn yn gynnwysedig yn y pum peth y dywedwch am danynt 'yr wyf yn eu gwadu.' Mewn difrif, a fyddwch ar ol ysgrifenu eich brawddegau ddim yn bwrw golwg drostynt, cyn eu hanfon i'r argraffwasg? Pa fodd, o hyn allan, y gwrthsefwch eich cyhuddo o wadu'r Iawn?'

Gan adeiladu yn ol yr un rheol tebygol ag y ceisiech chwi ymgyrhaedd tu ag ati, ond ar sylfaen gadarnach nag—nad yw yn gwybod fod dim anghysondeb yn y pethau y mae yn eu credu, medd un.—"Yr wyf yn credu fod Iesu Grist y Cyfiawn yn Iawn dros bechodau, ei fod yn Iawn o osodiad Duw, ac yn Iawn i Dduw, 'Myfi a gefais Iawn,' a darfod i'r Tad gondemnio pechod yn nghnawd ei Fab, ac i'r Mab ymddangos i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun. Yr wyf hefyd yn credu fod yr Arglwydd yn gyfiawn yn ei holl weithredoedd, ac nad yw yn gweled yn dda wneuthur cam a gwr yn ei fater, ac felly na byddai gyson â'i gyfiawnder a'i ddaioni, iddo gospi drachefn am y pechodau y mae Crist yn Iawn drostynt, ac a gondemniodd efe yn ei gnawd ef, eithr dwyn o hono yn ei drefn a'i amser da ei hun, iachawdwriaeth a gwaredigaeth gyflawn i'w bobl oddiwrth eu holl bechodau.

Gan hyny yr wyf yn anghredu yn gwadu ac yn gwrthod yr athrawiaeth sydd yn dal y bydd dynion yn dyoddef yn uffern am

bechodau y mae Crist yn Iawn drostynt.' Drachefn, medd efe—'Yr wyf yn credu ar sail gadarn, ddarfod i Iesu Grist roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer, ac fel y mae Duw yn gyfiawn a da, na byddai gyson â'i gyfiawnder a'i ddaioni iddo oddef i gymaint ag un o'r llawer hyny aros yn nghaethiwed pechod a digofaint, gan y rhoddwyd y fath bridwerth drostynt, eithr bod iddo, yn ei amser a'i drefn ddaionus, eu rhyddhau, yr hyn hefyd a wna yn gyflawn yn nydd pryniad y pwrcas, Gan hyny yr wyf yn anghredu, yn gwadu, ac yn gwrthod yr athrawiaeth a'r athrawon sydd yn dal allan ac yn haeru y bydd yn uffern rai o honynt hwy y rhoddodd Crist ei einioes yn bridwerth drostynt.' Sefydlwyd pridwerth, neu bris gollyngdawd caethion duon yr India Orllewinol gan Lywodraeth Brydain Fawr, talwyd y pridwerth, a mynwyd hwythau yn rhyddion. A fydd llywodraeth y Nef yn ol mewn daioni, cymmwynasgarwch ac uniondeb i Lywodraeth ddaearol? Ystyriwch beth sydd yn eich nyth.

Cyn myned o honof yn mhellach na hyn daeth i'm llaw y Drysorfa am fis Hydref, a gwelwaf ynddi ail Lythyr y Pregethwr atoch. Da genyf ei ganfod yn rhodio ar yr un tir, ac yn yr un diwyg ag o'r blaen. A chan y sylwodd efe ar rai o'r pethau yr oeddwn yn bwriadu cyffhwrdd a hwynt, ni wnaf ond crybwyll nad yw eich haeriad o'i fod yn anghyson â'i egwyddorion ei hun—Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, a'r athrawiaeth a ymddiffynodd y diweddar Barch. T. Jones, Dinbych, ond parhad o'r enllib â'r hon yr enllibiwyd y gwr hyglod hwnw hyn ei ddydd, fel un anghyson yn ei egwyddorion â golygiadau y Corph yr oedd yn gweinyddu ynddo, gan wrthwynebwyr yr egwyddorion a bleidiodd mor fedrus a gwrol. Ef oedd y pryd hwnw dan y lach, a'r Pregethwr sydd yn awr. Ond nid yw amgen nag anrhydedd iddo.

Nid ydyw eich bod chwi heb ganfod—Bod llawer wedi eu galw ag ychydig wedi eu dewis—Mai dros ei eglwys yn unig y mae Crist yn Iawn, ac mai dros ei ddefaid y rhoddodd einioes, etto bod gwerth ei digonolrwydd, urddas, a helaethrwydd annherfynaol yn yr Iawn a'r pridwerth, a bod galwad yr efengyl yn ddidwyll tu ag at bawb o'i gwarandawyr, yn un prawf nad ydynt yn berffaith gyson. Mae tystiolaethau yr Arglwydd am y pethau hyn yn ddigon o sail i bob gwir Philosophydd eu credu, er efallai nad yw yn gallu perffaith amgyffred eu cydgysondeb; ac y mae credu mai yr unig ddoeth Dduw a ordeiniodd iddynt fod fel y maent yn ddigon i dawelu ei feddwl am hyny hefyd. Pe y gofynech i mi pa ham y maent felly, byddai raid imi ateb—yn wir ni wn i ddim, ond mai felly y rhyngodd bodd iddo ef eu hordeinio. Gwn y gallasai alw ei brynedigion fel y galwodd Abram o Ur y Caldeaid, Saul o Tarsus ar y ffordd, a'i ddysgyblion wrth fôr Galilea. Gwn hefyd fod ganddo ddybenion teilwng iddo ei hun, a gweddus ac uniawn tu ag at ei greaduriaid, yn ei waith yn sefydlu gweinidogaeth a galwad yr efengyl yn y dull y gwnaeth. Mae genych yn eich Ysgrif yr ymadrodd dieithr—'annigonolrwydd yr Iawn!' Ac meddwch—'mae'n rhaid dadgyssylltu tystiolaeth Duw a thystiolaeth y rhai a wadant ddigonolrwydd yr Iawn.' Gwir, ond pwy yw, a pheth yw tystiolaeth y rhai a wadant ddigonolrwydd yr Iawn? A yw tystiolaeth yr athrawon hyny a haerant y bydd dynion yn dyoddef yn uffern gospedigaeth am bechodau yr oedd Crist yn Iawn drostynt, yn tueddu i osod allan, neu addef, ei ddigonolrwydd a'i ogoniant? Onid gwadiad o'r Iawn, ei ddigonolrwydd a'r oll ag ydyw, ond yn unig yr enw, ydyw y fath athrawiaeth? Pe y profid fod Crist yn Iawn dros fyrdd o fydoedd, ni byddai hyny yn ddim tu ag at ychwanegu digonolrwydd neu helaethrwydd yr Iawn canys ni byddai myrdd o fydoedd ond meidrol. Ond y mae y Person sydd yn Iawn yn anfeidrol. 'Efe' yn mherffeithrwydd ei ddwy natur, ei aberth a'i offrwm 'yw yr Iawn,' ac felly y mae yn ddifai i Dduw, ac yn hyn y mae'n weddus i ni. Dyma ran o athrawiaeth yr Ysgrythyr Lân, o dyma ran o athrawiaeth y Pregethwr a'i frodyr y Methodistiaid Calfinaidd, am yr Iawn. Pwy gan hyny a faidd dybied chwaethach honni, fod y naill na'r llall o honynt yn gwadu ei ddigonolrwydd?

Yr wyf yn gweled yn addas sylwi na wneuthum unrhyw ystyriaeth nac anystyriaeth o honoch fel gweinidog crefydd yn fy ngwaith yn ysgrifaw hyn atoch, ac nid wyf yn gwneyd un math o ymesgusodiad am hyny. Derbyniais chwi yn uniawn fel yr hyn yr ymddangoswch eich bod yn eich ymdrech yn erbyn eich Cefnder, etto nid gyda'r tuster a ryglyddai eich ymddygiadau. yr ydych yn hollol ddieithr i mi, ni wn ddim am danoch ond a ddysgais oddiwrth eich ysgrifau diweddar. Yr oeddwn i raddau yn gydnabyddus â'ch tad, ac er y gwahaniaethwn oddiwrtho yn rhai o'i egwyddorion, etto parchwn ef am ei ddifrifoldeb a'i dduwiol-frydedd. Ond meddyliwyf y gellid casglu oddiwrth rai o'ch brawddegau eich bod chwi cyn belled arall ag ydoedd eich Tad, oddiwrth egwyddorion y Pregethwr. Peth peryglus yw dechreu cyfeiliorni. Pan y deallwyf eich bod yn wir Efengylydd cewch barch oddi wrthyf yn ol y parch a fydd genyf i'r efengyl. 'Cewch barch a haeddoch yn gyhoeddus.' Gan ddiffuant ewyllysio eich didwylliant, a'ch llwyddiant yn mhob daioni, y dywedaf, Byddwch wych a gwell eich moes.

PHILALETHES.

O. Y. Fel na chaffo neb achlysur i gamddeall, (a thrwy hyny achosi ysgrifenu ychwaneg yn nghylch) yr hyn a ddywedwyd yn y llinellau blaenorol yn mherthynas i'r egwyddor ar ba un y cyhoeddid yr *Evangelical Magazine*, golygwyd yn addas gyfieithu y difyniad canlynol o un o'i chyfrolau, gan ei fod yn cynnwys yr egwyddor y cyfeiriwyd ati mewn cyn lleiad ymadroddion.—'Bydd yn gofus ddarfod gosod y gwaith ar droed (cyhoeddiad yr Eurgrawn Efengylaidd) gan Weinidogion a Boneddwyr o wahanol enwadau yn y byd crefyddol, y rhai a gyttunasant ar yr egwyddor ardderchog fod iddo gael ei ddwyn yn mlaen yn yr yspryd mwyaf cyffredinol (*most catholic spirit*) tu at atynt hwy oll a gyttunant yn athrawiaethau hanfodol yr efengyl; gan adael yn nghudd (*merge*) yr arholiad (*discussion*) yn nghylch pynciau llywodraeth a dysgyblaeth eglwysig, ar ba rai y dichon bod anghydfyddiaeth barnau yn mhlith Cristionogion o enwogrwydd cydradd mewn rhinwedd a thalentau. Arddelwadau o'r nâtur yma, fel y gellwch ddeall oddiwrth y rhagymadroddau i'ch Cyfrolau olynol a gynnaliwyd i'w helaethder cyflawnaf hyd at y ddwyflynedd ddiweddaf.'

---

SEFYDLIAD DUWINYDDOL Y METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG.

Fod dysgeidiaeth yn fuddiol fel cynhorthwy i weinidogion yr efengyl, sydd wirionedd ag y mae pob dyn ystyriol yn barod i'w addef. Nid oes dim yn fwy croes i ysbryd a llwyddiant y Grefydd Gristionogol, na thybied mai mammaeth duwioldeb yw anwybodaeth: ac os yw hyn yn ddiamheuol gyda golwg ar aelodau eglwysig yn gyffredin, y mae yn amlwg fod *blaenori* mewn gwybodaeth yn ddyledswydd barhaus ar bawb sydd yn cael eu galw i lafurio yn y gair a'r athrawiaeth.

Y mae y llesiant a wnaeth dysgeidiaeth i achos crefydd, yn annhraethadwy. Pwy a roddodd yr Ysgrythyrau i ni yn ein iaith ein hunain? Pwy a ddygodd allan eglurhadaeth ar amrywiol ranau o'r Cyflyfr Sanctaidd, o drysorau henafiaeth, hanesyddiaeth, ac anianaeth? • Pwy a'n cyflenwodd â phrofion eglur o awdurdod dwyfol y Bibl, âg esboniadau defnyddiol arno, ac âg arfau nerthol i wrthwynebu cyfeiliornadau? Dynion o alluoedd amaethedig, ac o ddysgeidiaeth dda, a wnaethant hyn. Digon gwir fod dysg a dawn yn fynych wedi eu camddefnyddio; ond os yw rhai, oddiar eu gelyniaeth at grefydd, yn gwyrdroi y manteision a gawsant; o gymaint â hyny y mae mwy o angen am ddynion mor ddysgedig a hwythau i'w gwrthsefyll, ac am gefnogi pob moddion i gyfranu gwybodaeth iachusol a thrwyadl i'r rhai a dueddir i gysegru eu hunain i wasanaeth yr efengyl.

Y mae y gwaith o gyfieithu yr Ysgrythyrau i iaith y Cymry, wedi ei orphen er ys rhai oesoedd bellach. Er hyny y mae amgylchiadau yn dygwydd yn fynych, yn ngwyneb ymdrechion cyfrwysgall i hudo meddyliau yr anwybodus, pan y dylai pregethwyr y gair fod yn alluog i'w egluro allan o'r ieithoedd yn mha rai yr ysgrifenwyd ef gan 'ddynion sanctaidd Duw, megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân.' Heb radd o ddysgeidiaeth hefyd, nis gellir defnyddio cymhorth esbonwyr ar lawer o'r pynciau mwyaf pwysig yn y llyfr dwyfol; —nis gellir gweled grym eu rhesymau, nac iawn-ddeall eu golygiadau.

Yr ydym yn cael fod ysgolion y Prophwydi dan yr oruchwyliaeth Iuddewig, yn cael eu dwyn yn mlaen dan nawdd dynion ysbrydoledig, a than arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd. Y mae genym y sicrwydd mwyaf hefyd, oddiwrth dystiolaeth Haneswyr y Brif eglwys, fod ysgolion i hyfforddi pregethwyr ieuainc wedi dechreu yn yr oes Apostolaidd. Dywedir fod un o honynt wedi ei sefydlu gan Ioan yn Ephesus, ac un arall gan Polycarp yn Smyrna; cyfodwyd un hefyd yn Alexandria, tua'r un amser, ac y mae lle cryf i farnu, mai Marc oedd ei sylfaenydd. Felly, os oes dim gwirionedd mewn hanesyddiaeth eglwysig, yr ydym yn rhwym o gredu fod athrofeydd 'i berffeithio y saint (neu ddynion sanctaidd) i waith y weinidogaeth,' wedi derbyn cymeradwyaeth yr Apostolion a'u cydoeswyr.

Sylfaenwyr y Corph o Fethodistiaid Calfinaidd yn Nghymru, a'r rhai a fuont yn foddion penaf i'w ddwyn i'w drefn bresennol, oeddynt yn wŷr gwybodus a dysgedig. Howel Harris, Daniel Rowlands, Howel Davies, y ddau Williams, Jones o Langan, Charles o'r Bala, Jones o Ddinbych, a Lloyd o'r Bala, oeddynt oll wedi derbyn manteision athrofäol; ac nid gormod yw dweyd, na adawyd y cyfundeb un amser heb fod ynddo rai gweinidogion yn rhagori mewn dysg ac athrylith ar y cyffredinolrwydd o'u cydwladwyr.

Er ys amryw flynyddoedd, yr oedd mewn bwriad gan y Corph hwn i sefydlu Ysgol, neu Athrofa, er addysgu pregethwyr ieuainc. Mor bell yn ol a'r flwyddyn 1817, gwnaeth Cymdeithasfa Gogledd Cymru ddarpariaethau egniol at gael hyny i ben. Penodwyd ar Mr. Owen Williams, gwr ieuanc duwiol a dawnus, o Sir Fon, yr hwn oedd yn meddu cryn wybodaeth o'r ieithoedd dysgedig, i fod yn Athraw i'r Athrofa fwriadedig; ac er ei gymhwyso i'r swydd hono, y Gymdeithasfa a'i hanfonodd i Hoxton, ac yno yr oedd yn myned y'mlaen yn llwyddiannus yn nghwahanol ganghenau dysgeidiaeth fuddiol. Yr oedd yr Athrofa yn awr ar gael ei chychwyn. Penderfyn-

wyd iddi gael ei sefydlu yn Llangollen; cymerwyd tŷ yno i'r perwyl, a thalwyd ardreth blwyddyn. Ond y bwriad hwn a lesteiriwyd gan Ragluniaeth rhyfedd y nef, trwy farwolaeth Owen Williams. Efe a aeth i dangnefedd, gan adael coffadwriaeth fendigedig ar ei ol. Yn mhen rhai blynyddoedd wedi hyny, meddyliwyd am ŵr ieuanc arall, sef Mr. Evan Rowlands, o Liverpool, yr hwn oedd yntau o dduwiolder, dysg, a dawn cyfaddas; ac aeth ef i Goleg Belfast, er ei gymhwyso ei hun i olygu Athrofa Fethodistaidd. Ei lafur diball yno a fu yn ormod i'w gyfansoddiad gwanaidd. Bu yntau farw; ac felly rhoddwyd attalfa ar ffordd y cynllun hwnw drachefn.

Wedi llawer o geisiadau aflwyddiannus, Rhagluniaeth o'r diwedd a'u cyfeiriodd at Athrawon cymhwys yn y Parchedigion Lewis Edwards, A.M. a David Charles, B.A. A than eu golygiaeth hwy dechreuwyd Sefydliad Duwinyddol y METHODISTIAID CALFINAIDD Cymreig, yn y Bala, yn y flwyddyn 1837. Cytunwyd ar amryw reolau angenrheidiol, mewn perthynas iddi yn Nghymdeithasfa Caernarfon, Medi, 1839: ac y mae y penderfyniadau hyny wedi eu hargraffu. Y mae dewisiad yr Athrawon, lle yr Athrofa, nghyd â'r arian a gyfrenir tuag ati, i fod dan lywodraeth Arolygwyr, wedi eu penodi gan y Gymdeithasfa. Y llwyddiant a ddilynodd y Sefydliad hwn yn barod, sydd wedi bod tu hwnt i bob dysgwyliad. Y mae yn bresennol yn cynnwys 20 o bregethwyr ieuainc, heblaw eraill nad ydynt yn pregethu ag ydynt wedi eu hanfon o wahanol Siroedd gyda bwriad iddynt fod yn ddefnyddiol fel Ysgolfeistriaid.

Gyda golwg ar y gofyniad, Pa beth a ddaw o honynt *ar ol* dyfod o'r Athrofa? Dymunir hysbysu, fod profion digonol wedi eu cael yn barod, nad yw dysg mewn un modd yn eu hanghymwyso i ddychwelyd, os bydd achos, at y gorchwylion oedd ganddynt o'r blaen. Y mae yn deilwng o sylw hefyd, fod ceisiadau taer ac aml wedi eu derbyn o amrywiol fanau yn y Gogledd a'r Deheudir am rai cymwys i arolygu Ysgolion yn y lleoedd hyny, a diau y bydd galwadau cyffelyb yn llawer mwy lliosog rhagllaw. Y mae achos y Genadaeth Gartrefol drachefn, i raddau mawr yn dihoeni o ddiffyg gweithwyr: ac yr ydym yn gwybod am lawer man, lle y mae dysgwyliad hiraethlawn am bersonau addas i lafurio fel Cenadon Cartrefol mewn undeb â'r Methodistiaid Calfinaidd.

Gyda hyder cryf, gan hyny, y cyflwynir y Sefydliad hwn i sylw pawb ag ydynt yn caru yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn dymuno lledaeniad a chynydd gwybodaeth ysgrythyrol. Nid oes arnom eisiau dim ond *ffyddlondeb* i gynal Athrofa anrhydeddus. Dechreuer yn ddioed gyda'r Cyfroddion a'r Casgliadau. Gwnawn ryw ymdrech teilwng i bwysfawredd yr achos. Dangoswn ein cariad at weinidogaeth yr Efengyl mewn gweithred a gwirionedd. Rhoddwn brawf ymarferol o'n parch i'r Athrawon, ac o'n gwerthfawrogiad o'r Sefydliad. Ar yr un pryd nac anghofiwn, er mai ein lle ni yw darparu pob cynorthwyon, hyd y mae ynom, tuag at addurno ein pregethwyr ieuainc â gwybodaeth ac â deall, etto gwaith priodol Pen Mawr yr Eglwys yn unig yw eu gwneuthur yn weinidogion cymhwys y Testament Newydd:" ac ato ef y byddo ein golwg am dywalltiad helaeth o'i Ysbryd arnynt, "i'w gwisgo â nerth o'r uchelder."

## CYFEISTEDDIAD LLYWODRAETHOL.

Parch. David Charles, B. A. Bala.
Mr. Ebenezer Cooper, Llangollen.
Mr. David Davies, Treffynon.
Mr. John Davies, Fronheulog, Meirionydd.
Mr Humphrey Davies, Corris, Meirionydd.
Mr. Richard Davies, Llangefni.
Parch. Robert Davies, Llanfair.
Parch Lewis Edwards, M. A Bala.
Mr. Samuel Evans, Llangynog, Sir Drefaldwyn.
Parch. John Foulkes, Abergele.
Mr. Hugh Griffiths, Barker Street, Amwythig.
Parch. Robert Griffiths, Dolgellau.
Parch. James Hughes, Lleyn, Sir Gaernarfon.
Mr. James Hughes, Manchester.
Mr. John Hughes, Manchester.
Parch. J. Hughes, Pont Robert, Sir Drefaldwyn.
Parch John Hughes, 31, Mount Street, Liverpool
Parch. Hugh Hughes, Llanrwst.
Parch. Richard Humphreys, Dyffryn, Meirionydd.
Parch. John Jones, Llanllyfni, Sir Gaernarfon.
Parch. John Jones, Tremadoc.
Mr. John Jones, Beddgelert.
Mr. John R. Jones, Bangor.
Mr. John Jones, Plas Uchaf, Meirionydd.
Mr. Hugh Jones, Llanidloes.
Mr. Thomas Jones, Dolgellau.
Mr. William Jones, Llanrwst.
Mr. W. Lloyd, Llanwyddelen, Sir Drefaldwyn.
Parch. David Morgan, Trallwm.
Mr. Robert Morris, Manchester.
Parch. John Parry, Caerlleon
Parch. Moses Parry, Dinbych.
Mr. Edward Peters, Caergwrle
Mr. Edward Peters, Caerlleon
Parch Ellis Phillips, Wrexham
Parch John Phillips, Treffynon
Parch. John Prydderch, Talwrn, Môn
Parch. Henry Rees, Liverpool
Mr. William Rees, Towyn, Meirionydd
Mr. David Roberts, Mynydd y Gof, Môn
Mr. G. Roberts, Penygarddon, gerllaw Wrexham
Parch. Robert Roberts, Rhos, gerllaw Wrexham
Parch. William Roberts, Amlwch
Parch. Cadwalader Williams, Penceint, Môn
Mr. John Williams, Frongoch, Môn
Mr. O. Williams, Clawddnewydd, Sir Ddinbych
Mr. William Williams, Llanerch, Sir Gaernarfon

## TRYSORYDD.

Griffith Davies, Ysw. F. R. S. Guardian Assurance Office, No. 11, Lombard Street, Llundain.

## IS-DRYSORWYR.

Mr. John Jones, National Provincial Bank, Bala
Mr. E, Roberts, Crug, gerllaw Caernarfon.
Mr. Thomas Owen, Treffynon
Mr. John Jones, Machynlleth

Mr. David Edwards, Dinbych
Parch. John Elias, Fron, Llangefni
Mr. David Davies, Paradise Street, Liverpool

YSGRIFENYDDION.

Mr. William Williams, Dolgellau
Mr. Thomas Jones, Wrexham
Parch. R. Edwards, (Ysgrifenydd y Gymdeithasfa) Wyddgrug

☞ Derbynir Tanysgrifiadau, &c. gan y Trysorwyr, yr Ysgrifenyddion, a'r Cyfeisteddiad Llywodraethol.

Yr arian *(Fund)* a ddeillia oddiwrth Gyfroddion, Tanysgrifiadau, a Chasgliadau, i gael eu rhoddi cyn gynted, ag y cesglir hwynt yn llaw y Trysorydd, hyd oni byddo angenrhaid am danynt at achosion y Sefydliad—yr hyn fyddo dros ben hyny i gael eu rhoi yn y Cyllidau cyffredin (*Public Funds*) yn enwau yr Ymddiriedolwyr. Cyhoeddir rhestr o'r Cyfraniadau, a'r Cyfroddion at y Llyfrgell bob blwyddyn gyda'r Adroddiad

## COFIANT

*Am Mrs. Lloyd, gwraig Mr. John Lloyd, Ray Street, Liverpool, yr hon a fu farw Medi* 30, 1840, *yn* 65 *mlwydd oed.*

CAFODD y wraig hon ei geni yn Nhreffynon, o rieni parchus, eu henwau ydoedd Thomas ac Elizabeth Ellis. Ganwyd iddynt, debygaf, dair o ferched ac un mab, eithr yn awr y maent oll wedi ehedfan i'r byd tragywyddol. Cafodd gwrthddrych y Cofiant hwn ei galw at grefydd yn ieuanc, yr addysg doeluaidd a gweinidogaeth y gair a fu dan fendith er ei dychwelyd at yr Arglwydd. Hi a ymunodd yn foreu â'r eglwys yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn Nhreffynon. Yn mhen ychydig flynyddau symudodd i breswylio i Liverpool, lle y treuliodd weddill ei hoes, sef oddeutu deugain mlynedd, yn aelod hardd a defnyddiol yn yr hen Gapel Pall Mall, yn anwyl a hoff gyda'i brodyr a'i chwiorydd crefyddol, o blith pa rai y mae llawer wedi myned i'r nefoedd o'i blaen hi. Y mae yn debyg na chyfeiliornwn wrth ddywedyd fod cymmaint, os nad mwy, o bechaduriaid wedi eu hachub, ac yn ganlynol wedi eu *traenio*, neu eu cymhwyso, i'r nef, o'r hen Gapel Pall Mall rhagor i nemawr le o addoliad yn mhlith ein cenedl ; a hyderaf y caiff llawer mwy eu hachub o fewn ei furiau, na'r holl dyrfa a achubwyd ynddo o'r blaen.

Bu y chwaer yma fyw yn gariadus gyda'i gwr cyntaf Morris Jones, (yr hwn oedd hynod am ei dduwioldeb) dros 30 o flynyddoedd. Yn yr ysbaid yma dangosodd mewn gweithred a gwirionedd fod gras Duw wedi tyneru ei chalon tu hwnt i nemawr. Yn yr hir nychdod a ddioddefodd Morris Jones, hi ymddygodd mor dyner tuag ato, ag y gwnai mam at ei phlentyn sugno. Yn yr amgylchiad isel a phrofedigaethus yma ar y ddau, digwyddodd tro ag a ddangosodd fod ein chwaer yn meddu ar ymysgaroedd a thosturi braidd anghydmarol. Yr oedd yn perthyn i'r un gymdeithas a hi frawd o'r enw John Gaines, ynghyd a'i wraig a phedwar o blant bach. Gwelodd yr Arglwydd yn dda alw o'r byd y brawd a'r chwaer yma yn lled agos i'w gilydd, gan adael ar ei holau bedwar o blant bychain amddifaid, heb na thad na mam, câr na pherthynas, i dosturio wrthynt. Yn yr amgylchiad adfydus hwn ar y rhai bach, fe gynheswyd ymysgaroedd Mrs. Lloyd gymmaint atynt fel y darfu iddi, er yr holl iselder a'r anfantais yr oedd ynddo ar y pryd, eu cymmeryd oll yn ei mynwes, gan daenu ei haden drostynt a'u hymgeleddu fel mam dirion ; ac felly y parhaodd ei thosturi a'i gofal nes ei dwyn oll i fynu yn barchus ac anrhydeddus.

Yn mhen ysbaid o amser ar ol marwolaeth Morris Jones, priododd drachefn â Mr. John Lloyd, (yr hwn yn awr, yn ei weddwdod sydd mewn galar a dagrau ar ei hol). Aeth y ddau dro i'r stad briodasol yn anrhydeddus heb golli ei choron. Hi fu yn ffyddlon briod i'n hanwyl frawd Mr. John Lloyd, am oddeutu 13 o flynyddoedd pa rai a dreuliasant ynghyd mewn hyfrydwch sanctaidd, fel pe na buasai y 13 blynyddau ond megis cynifer a hyny o ddyddiau. Am amryw o flynyddau cyn ei marwolaeth, bu yn wasanaethgar iawn i achos Crist trwy fod ei thŷ wedi ei neillduo i dderbyn i mewn ein Pregethwyr a'n Gweinidogion o Gymru. Yn y swydd yma cyflawnodd ei gwasanaeth yn ewyllysgar a llon, ac â'i holl galon, gan ei chyfrif yn wir fraint gael golchi traed y saint. Diammau fod teimladau cynnes yn yr amrywiol bersonau o'r dosparth a enwyd, wrth adgofio yr ymgeledd a gawsant gan ein trancedig chwaer. I'r eglwys yn Pall Mall hi fu yn dra gwasanaethgar, nid yn unig trwy ei phrofiad o bur eiriau Duw, a'i rhodiad didramgwydd ac addas i'r efengyl. Ond gyda hyn, cafodd y fraint o fod yn gyntaf yn ffurfiad Cymdeithas a'i diben daionus i ymgeleddu, dilladu, a chynhesu brodyr a chwiorydd tlodion Iesu Grist, yr hon a elwir Cymdeithas Dorcas. Hi fu yn ffyddlon dros ben gyda'r Gymdeithas glodwiw hon, trwy gyfranu ati, trwy roddi rhan o'i hamser i gasglu at ei chynnal, trwy arfer ei doethineb i brynu yr hyn a fyddai fwyaf angenrheidiol at ddilladu &c. ei chwiorydd a'i brodyr wrth eu hangen, a thrwy weithio yn galed â'i dwylaw ei hun, hyny a allai yn addas o wisgoedd i'r

llesg, a'r analluog. Cadwed yr Arglwydd yr ysbryd ag oedd mor hynod mewn tosturi a chydymdeimlad yn y chwaer hon, etto yn fyw yn ei chwiorydd crefyddol ag sydd ar ol, fel y caffont eu gwobrwyo gyd a'r chwaer anwyl yma yn y dydd hwnw. Pan y dywed y barnwr "Deuwch chwi fendigedigion blant fy nhad, etifeddwch y deyrnas, a barottowyd i chwi cyn seiliad y byd,—Canys bum noeth a dilladasoch fi," &c.

Yn ei hir nychdod a'i hafiechyd, yr hwn a derfynodd mewn marwolaeth, cafodd ei nerthu yn rhyfedd i fod yn ddioddefgar mewn cystudd, ymostyngai yn ddiddig a thawel i'r oruchwyliaeth olaf hon o eiddo ei Thad nefol. Cydnabyddai gyda diolchgarwch fod Duw yn dda iawn iddi yn ei ragluniaeth; ac uwchlaw pob daioni fod yr Arglwydd o'i ras penarglwyddiaethol, wedi ymweled a hi erioed, ac wedi parhau i'w dilyn a'i choledd drwy holl daith yr anialwch. Hawdd iawn fyddai ganddi ffrydio dagrau allan ar hyd ei gruddiau, pan y tarewid ar y tant yma. Ychydig ddyddiau cyn ei marwolaeth llewyrchai Haul cyfiawnder a'i lewyrch grasol gyda mwy o wres nag arferol i'w henaid, nes peri effeithiau mor rymus fel y torrai allan i waeddi, diolch a bendigedig gan ddyblu a threblu.

Cafodd ei harwain fel pawb eraill o'r hen fforddolion yn eu diwedd at angeu'r groes. Y gair hwnw a adroddai mewn dull ag yr oedd yn hawdd darllen ar wedd ei hwyneb, ei bod yn cael ei bywyd a'i chynhaliaeth ynddo, sef, "Y mae i ni eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn, ac Efe yw'r Iawn dros ein pechodau ni." Hi ymaflai yn rhyfeddol yn y gair "Ac Efe yw'r Iawn." A chlybuwyd hi yn agos i'r hen afon yn canu concwest cyn myn'd trwyddi, fel hyn,— Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria, &c., aeth dros y pennill oll, gan bwysleisio ar bob sillaf o hono er mor egwan a llesg ei natur; a chan bwyso ar ei hanwylyd hi a ddiangodd adref yn orfoleddus.

Prydnhawn ddydd Sadwrn, hebryngwyd ei chorph gwael gan dyrfa fawr mewn dull anrhydeddus i dŷ ei hir gartref i Lowhill Cemetry. Wedi cyrhaedd y fonwent, aeth yr holl dyrfa i ganlyn y corph i'r Capel perthynol i'r lle, ac yno darllenodd y Parch. D. Elias ran o 1 Cor. 15. ac a weddiodd yn addas i'r amgylchiad difrifol a phwysig ag oedd wedi ein cyfarfod. Yna aethom yn rheolaidd at y bedd, lle y dodwyd corph ein hanwyl chwaer mewn bedd newydd mewn craig; ac wedi gollwng y tŷ pridd i lawr i'r gwaelod, llefarodd y Parch. H. Rees, wrth y dyrfa mewn modd effeithiol, gan gyfeirio yn benaf at ogoniant Duw drwy holl amgylchiadau bywyd a marwolaeth y drancedig chwaer: yn mhlith yr holl dorf, ychydig o ruddiau sychion oedd i'w canfod. Yr eiddoch, yn serchog,

SAMUEL JONES

---

# Barddoniaeth.

*At Olygydd y Drysorfa.*

BARCHEDIG FRAWD,—Mae amryw Lyfrau Hymnau yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd y dyddiau hyn, yn cynnwys detholion o Hymnau o waith amryw awdwyr, ac ar amryw fesurau; ond ni ddygwyddodd i mi eto weled cymmaint ag un Hymn na phennill Cymraeg, a ellid ei ganu ar yr hen dôn a elwir *Hanover*, o gyfansoddiad yr enwog *Handel*; neu wrth yr enw *Dead March* yr adnabyddir hi gan lawer, am y chwareuir hi yn gyffredin yn angladdau milwyr. Os na welsoch chwithau chwaith yr un Hymn Gymraeg ar y dôn hòno, mae yn debyg nad oes yr un; ac am hyny, efallai na bydd yn anhawdd genych argraffu y pennillion a ganlyn yn y Drysorfa, i gael rhywbeth newydd i ddechreu blwyddyn newydd. Nid wyf mor ffol a meddwl fod rhagoriaeth yn y byd ynddynt, nid o herwydd hyny yr wyf yn ceisio lle iddynt; ond am y tybiaf nad oes genym ddim ar y dôn a enwyd, a 'gwell rhywbeth na *dim*.' Hefyd, pan y gweler y pennillion hyn yn y Drysorfa, efallai y cynhyrfa hyny rywrai eraill i gyfansoddi eu gwell o lawer, yr hyn nid yw anhawdd.

Cyn gorphen hyn o ragymadrodd, dymunwn grybwyll, mai Hymnau *galarus* a weddai yn orau i'r dôn, er nad felly y pennillion a ganlyn; cyfieithiad o bennill Saesoneg yw y cyntaf o honynt, ar ddeisyfiad cyfaill; a chan nad oedd hwnw ond un, mi a gyfansoddais bump eraill ato, o'm dyfaliad fy hun, ac ar yr un rhediad o ran ystyr a thestyn. Goddefer i mi sylwi hefyd, mai gair neu sill *hir sain* ar ddiwedd pob llinell, a wedda yn orau i'r dôn; megys *tôn*, nid *tòn*; *ylân*, nid *glàn*; *môr*, nid *mòr*; a chyfryw eiriau a *pharhâd*, *cytûn*, *&c. &c.* Aeth y porth yn fwy na'r tŷ, ond weithian gadâwn y porth i fyned i'r tŷ, i ganu fel y canlyn:—

PENNILLION AR Y DON HANOVER.

(10. 10. 11. 11.)

Cyflawnder didrai sy 'n Iesu o hyd,
Er cymmaint ein bai a'n hangen i gyd;

Trysorau digonol o wirfodd y Tad,
I dlodion ysbrydol yn rhodd ac yn rhad.

Mae galwad yn awr, gwahoddiad o hedd,
Ar waelion y llawr, 'O deuwch i'r wledd,'
Gwledd aberth Calfaria, (mae'n dda i ni
ddod,)
A phob rhyw oludoedd tra bydoedd yn bod.

Cawn yma bob nerth, cawn yma bob dawn,
Heb arian na gwerth, yn rhad ac yn llawn;
Tragywyddol ddarpariaeth hen arfaeth y
nef,
I'r enaid anghenus, wylofus ei lef.

Yn llawen ei blant, tra byddant yn bod,
A thafod a thant hwy ganant ei glod;
Sef clod i Fab Dafydd tragywyddol y gân,
I'r Tad, ac i'r Ysbryd o hyd heb wahân.

Gwnaed Duw ganiatäu i minnau fy mod
Yn nghanol y llu, yn clymu'r un clod;
Os gwelir fi'n ddiogel o'r rhyfel yn rhydd,
Mi ganaf—mae'n ddyled—O deued y dydd!

Mi dynaf o hyd, er penyd er poen,
Fy nghysur a'm hedd o rinwedd yr Oen;
Ef fyddo dedwyddyd fy mywyd i mwy,
Mae trysor diddiwedd a gwledd yn ei glwy.

J. H.

*Llundain. Tach.* 30. 1840.

---

LLAIS DUW.

Clywir llais yr Hollalluog, yn y daran fawr
a chref,
Hefyd yn y 'storm dymhestlog, a rhuad-
wy yn y nef;
Yn y gwynt a chwyth ar goedydd, ac yn
hwyliau'r llongau'n llawn,
Yn yr awel fwyn a llonydd, dan y blodau,
haf brydnawn.

*Cyf.* IAGO.

---

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

---

ANERCHIAD

*Y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Bilston, a Warsall, yn Staffordshire, at eu brodyr yn Nghymru.*

ANWYL FRODYR A THADAU—Yr ydym yn cyflwyno ein diolchgarwch i chwi, trwy gyfrwng y Drysorfa, am eich caredigrwydd yn gwrando ar ein cwyn, am adael i ni gael y Weinidogaeth yn Gymraeg, ac anfon atom Weinidog o Gymru bob mis er ys tro bellach.

Yr ydym yn gallu tystiolaethu mewn gwirionedd nad ydyw eich llafur wedi bod yn ofer. Y mae cynnydd mawr ar wrando yn ein plith. Rhyfeddech weled y fath dorf o Gymry yn gwrando yr efengyl yn nghanol Staffordshire. Yr ydym yn sicr fod y gwrando yn fwy nag y bu erioed; ac yr ydym yn gobeithio y cair gweled yn nydd Crist na redasoch yn ofer, ac na chymmerasoch boen yn ofer. Mae yma rai a ddaethant o Gymru yn annuwiol iawn wedi cael duwioldeb yn ol pob arwyddion a allwn ei weled.

Yr ydym yn hysbysu hefyd fod angen i'r Genadaeth barhau. Nid oes un maes yn y Genadaeth Gartrefol a mwy o angen llafurio ynddo. Mae yma luoedd o Gymry yn gorwedd mewn annuwioldeb ac annhrefn mawr. Yn ol y cyfrif diweddaf yr oedd yn Bilston naw ugain o deuluoedd Cymreig, heblaw cannoedd o rai heb briodi, &c. Ac y mae yn y wlad o amgylch rai cannoedd yn ychwaneg. Ofer ydyw eu hannog i fyned i wrando ar y Saeson, am na fedrant yr iaith yn ddigon perffaith i ddeall pregeth Saesneg. Maent yn treulio eu Sabbathau yn yr annhrefn mwyaf. Gellir gweled lluoedd o honynt ar hyd yr heolydd ac yn y tafarndai; ond yr ydym yn awr yn gallu eu hannog yn galonog i ddyfod i wrando efengyl Crist, am ei bod yn cael ei phregethu yn eu hiaith eu hunain, yn gysson ar y Sabbothau.

Mae Mr. John Jones, o Warsall, wyr i'r gwr enwog hwnw Dafydd Jones, Adwy-y-clawdd, wedi bod yn llafurus iawn yn yr ardaloedd hyn yn pregethu yn Gymraeg ac yn Saesonaeg, ac wedi adeiladu capel yn Warsall ar ei draul ei hun, ac wedi treulio llawer o'i feddiannau gydag achos yr Arglwydd. Gorphwysed y fendith a ddaeth ar Obededom a'i deulu arno ef a'i eiddo am byth.

Ond y mae yma faes mawr i lafurio ynddo etto, ac os na thrugarha ein brodyr yn Nghymru, a pharhau i anfon atom Weinidogion, rhaid i ni ei adael yn anialwch yn crino i farn ac i dân.

Gallwn ddweud fod yr ychydig sydd yma yn ffyddlon iawn—rhifedi yr Eglwys yn Bilston ydyw 15, ac y mae £18 o ardreth ar y capel. Nid yw rhifedi yr aelodau yn Warsall ond wyth—chwech yn llai nag a fu o herwydd eu bod wedi symud i ardaloedd ereill i fyw.

O frodyr! anfonwch atom rai i bregethu yn Gymraeg. Parhewch i wneuthur yr un modd ag y gwnaethoch. Pe yr attaliech Weinidog oddi wrthym am fis, efallai y chwelid ein gwrandawyr, ac nas gallem eu casglu i'w rhif presennol am flwyddyn! O frodyr! na chauwch eich tosturi oddi wrthym!

Mae y rhent fawr sydd ar y capel, yn nghyda'i sefyllfa anghyfleus i'r Cymry, yn peri fod angen mawr am gapel newydd.

Mae y brodyr yn Ngogledd Cymru wedi addaw ceiniog gan bob aelod proffesedig i'r Cymry yn Birmingham; a diammeu, trwy hynny, y cant gapel rhydd a diddyled. Ond O frodyr! pa beth a wnawn ninnau yn Bilston? A wna ein brodyr yn y De neu y Gogledd yr un drugaredd a ninnau hefyd, fel y bo genym gapel rhydd heb £18 o ardreth arno. Mae yma gannoedd o Ddeheuwyr, a gwyddom nad diystyr gan y Deheuwyr yn gyffredinol eu brodyr y'mhell o'u gwlad. O frodyr! tosturiwch wrthym.

Mae yr ychydig gyfeillion sydd yn Bilston yn ffyddlon iawn; casglasant yn y flwyddyn ddiweddaf at gynnal yr achos Cymreig £31 13s. 5c. Casglodd cyfeillion Warsall hefyd £22 2s. 11c. ond er y ffyddlondeb mawr a ddangoswyd y mae yr achos mewn dyled fechan yn Bilston.

Cyfeirier pob Llythyr atom o Gymru yn achos dyfodiad Gweinidogion yn y dull canlynol—Mr. Jones, Clothier, Church-st. Bilston, Staffordshire.

Ydym, dros Eglwysi Warsall a Bilston,

ENOCH JONES, A DAVID LEWIS.

## Y BIBL GYMDEITHAS.

DYMUNA Eisteddfod Cymdeithas y Biblau hysbysu i'r Cymry, ym mhlith ereill, fod y Gymdeithas ddaionus hono wedi cyfranu i'r tlodion, a'r ysgolion, dri chant a deunaw a thriugain o filoedd, a saith gant a deunaw a phedwar ugain (378,798) o Fiblau a Thestamentau, o Chwefror 1, hyd Medi 30, yn y flwyddyn hon, am bris isel iawn, trwy yr hyn y collasant bedair mil ar ddeg, dau gant a phedair ar ddeg a thriugain o bunnau, pedwar swllt ar bymtheg, ac wyth geiniog, (£14,274 19s. 8c.)

Er hyny, y maent yn awr yn hysbysu y bydd iddynt, ar ol Ionawr 1, 1841, gynnyg etto werthu ychwaneg i'r tlodion a'r ysgolion am y prisiau isel a ganlyn:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Biblau 12plyg, mewn croen dafad | | 1s. | 9c. |
| Testamentau 12plyg | etto | 0 | 6 |
| Testamentau mwy | etto | 0 | 9 |

Nid yw y llyfrau hyn yn hollol cystal a'r Biblau a werthwyd o'r blaen am 1s. 6ch. a'r Testamentau a werthwyd am 6ch. ond y maent yn gwbl mor gywir. Ni ostyngir ychwaneg na hyn i'r Tanysgrifwyr.

Dymuna y Cyfeisteddwyr yn neillduol ar fod arian parod yn cael eu talu bob amser pan anfoner am y llyfrau yn ol y pris uchod.

Yn mhellach, dymunant hysbysu i'w lluosog gynnorthwywyr fod galw mawr yn Ffrainc a Belgium, a gwledydd yr India Ddwyreiniol, am Fiblau a Thestamentau, a hyny gan y werinos, y rhai nas gallant roi fawr neu ddim arian am danynt. Mae y pethau hyn yn uchel alw am ymegniad parhaus ac ymadnewyddol mewn cyfraniadau at y gwaith.

A dynwyd allan o lythyr cylchawl oddiwrth ANDREW BRANDRAM, a GEORGE BROWNE, Ysgrifenyddion.

LLUNDAIN, Rhag. 7, 1840.

## AMERICA.

*Damwain alarus yn yr America* --Nos Iau, Mawrth 12fed, 1840, digwyddodd damwain alarus mewn melin ŷd, Cincinnatti, Ohio, America.

Yr oedd yn y felin hon, yn mhlith amrai ereill, un Thomas Parry, genedigol o blwyf Llandrillo, Meirionydd, yn gweithio. Gan faint y gwaith oedd yn y felin hon, yr ydoedd yn ofynol ei chadw i droi nos a dydd, ac i'r dyben hyny cymmerai y gweithwyr bob rhai eu cylch, Ar y noson alaethus grybwylledig, aeth cydweithiwr Mr. Parry i orphwys ar wely mewn ystafell gyfagos, ond deffrowyd ef yn fuan gan rugl-drwst y felin wedi ei gadael iddi ei hun.

Wedi chwilio llawer am Mr. P. cafodd ef o'r diwedd yn hollol farw. Pa fodd y cymmerodd hyn le ni's gwyddys yn iawn, ond yr ydys yn tybied iddo fyned yn rhy agos i'r ochr ni ddylasai i'r olwyn cocys, ac iddi afaelyd yn ei ddillad, oblegid yr oedd ei bol ar ei ganol, hyd onid oedd peth o'i ymysgaroedd allan, ac nid oedd archoll ar un man arall oddigerth ar ei ben. Gadawodd wraig a thri o blant i alaru ar ei ol.——*A dalfyrwyd allan o'r Cyfaill o'r Hen Wlad.*

Cawsom yr hyfrydwch o restru Mr. P. yn mysg ein Gohebwyr, (gwel ei Lythyrau yn y Drysorfa am Ionawr a Chwefror, 1830,) a da genym allu ychwanegu ei fod yn anwyl fel aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, a hyderwn, er garwed oedd yr afon, iddo gyrhaedd i ddiogelwch.

## LLYFRGELL YR ATHROFA.

Parhad o du dal. 382,

### GAN Y PARCH. D. DAVIES, PENAL.

| | | |
|---|---|---|
| Excerpta ex Luciano | 1 | Gyfrol |
| Selecta e veteri | 1 | „ |
| Electa ex Ovidio | 1 | „ |
| Exempla Minora | 1 | „ |
| Ovidii Opera | 1 | „ |
| Paraphrasis Psalmorum Davidis | 1 | „ |

&c. &c. &c.

### GAN MRS. R. DAVIES, BALA.

| | | |
|---|---|---|
| Phœdrus | 1 | Gyfrol |
| Grammaticæ Questiones | 1 | „ |
| Q. Fresnoy's Geograpby | 2 | „ |
| Sallustii Opera | 2 | „ |
| Cornelii Nepotis Vitæ | 1 | „ |
| Ovidii Opera | 1 | „ |
| Corderii Colloquia | 5 | „ |
| History of England | 5 | „ |

| | | |
|---|---|---|
| Cowley's Geography ........ | 1 | Gyfrol |
| Guthrie's Grammar ........ | 1 | „ |
| Latin and English Dictionary | 1 | „ |
| Chamberlayne's Great Britain | 1 | „ |
| Ash's Dictionary............ | 2 | „ |
| Contemplations, Moral & Divine .................. | 1 | „ |
| Bible Peter Williams ...... | 1 | „ |

&c. &c. &c.

GAN MR. D. EVANS, BALA.

| | | |
|---|---|---|
| Lucian .................... | 1 | Gyfrol |
| Corderii Colloquia. ......... | 1 | „ |
| Hermes Romanus .......... | 1 | „ |
| Greek Grammar .......... | 1 | „ |
| Flori Opera ................ | 1 | „ |
| Heylyn's English History.... | 1 | „ |
| Hill's Arithmetic .......... | 1 | „ |
| Terentii Opera ............ | 1 | „ |

GAN MR. B. GRIFFITHS, BALA.

Jonathan Edwards on the Will 1 Gyfrol

GAN MR. JONES, PEN-Y-BONT, CORWEN.

Greek and Latin Testament .. 1 Gyfrol

GAN MR. H. HUGHES, BALA.

Paley's Evidences of Christianity .................. 1 Gyfrol

GAN MR. E. JONES, RHOSLLANERCHRUGOG.

Bonnycastle's Euclid ........ 1 Gyfrol

GAN Y DIWEDDAR MR. JONES, TY-CANOL, BALA.

Valpy's Greek Grammar...... 1 Gyfrol

GAN MR. JACOB JONES, BALA.

Howe's Christian Theology, by Dunn.................... 1 Gyfrol

GAN Y PARCH. H. GWALCHMAI, LLANIDLOES.

| | | |
|---|---|---|
| Bishop's Bible (Saesonaeg) .. | 1 | Gyfrol |
| Yr Athraw ................ | 3 | „ |

GAN MR. MORRIS MORRIS (Mab y Parch. Lewis Morris.)

| | | |
|---|---|---|
| Gaelic New Testament ...... | 1 | Gyfrol |
| Gaelic Psalms & Hymns..... | 1 | „ |

*I'w barhau.*

## MARWOLAETHAU.

Tachwedd 16, 1840, bu farw Mr. D. Jones, Llwyn Dewi, Llangadoc, Swydd Gaerfyrddin, yn 84 mlwydd oed, wedi bod 66 o flynyddoedd yn y winllan. Ymunodd gyda'r Methodistiaid Calfinaidd pan oedd yn 18 oed, a bu yn proffesu crefydd 66 o flynyddoedd, a bu yn henuriad ffyddlon dros 40 o honynt. Yr oedd yn barchus ac yn lletygar iawn i Weinidogion yr efengyl, ac ni fu odid un a fu yn teithio yr ardal hono, na bu yn bwyta ar fwrdd Llwyn Dewi, ac yn derbyn o'i garedigrwydd. W. JONES, *Llangadoc*

Tachwedd 27, 1840, bu farw Mrs Margaret Wynne, gwraig y Parch. J. Wynne, Llwynedd, gerllaw Rhuthyn, ar ol hir a thrwm gystudd, yr hwn a ddioddefodd mewn ysbryd Cristionogol. Yr oedd yn meddiannu yn helaeth o Ysbryd Crist, yn llariaidd ac yn addfwyn, ac yr oedd er ys amser maith yn teimlo chwant i'w dattod, a bod gyda Christ, gwrthddrych penaf ei serch; ac o'r diwedd cafodd fynedfa helaeth i mewn i deyrnas ei Thad. Er ei bod yn hoff iawn o'i phriod a'i phlant, etto gallodd ganu yn iach iddynt yn siriol, i fyned i fwynhau cymdeithas ei Brawd a'i Phriod goreu i dragywyddoldeb. Ar y 1af o Ragfyr traddodwyd ei phregeth angladdol gan y Parch John Davies, Nantglyn, oddiar Heb. 11. 13. i dorf luosog oedd wedi ymgynnull ynghyd i anfon ei gweddillion i dŷ ei hir gartref. W. LL.

*Marwolaeth Mr. Thomas Griffith, o blwyf Llanwyddelan, Sir Drefaldwyn.* Cychwynodd Mr. T. Griffith gyda Mr. Isaac Williams i daith i bregethu efengyl Crist yn Siroedd Meirionydd, Caernarfon, a Môn. Ar ei daith Sabbath, Tach. 22, 1840, cafodd anwyd trwm; ond er bod yn wael iawn parhaodd i deithio, a phregethu yn rhagorol iawn hyd y 26ain. Ar y 27ain bu raid i'w gyfaill ei adael yn Llangefni, gan obeithio y gwellhai efe mewn ychydig ddyddiau i allu dyfod i'w gyfarfod drachefn.

Ond er pob ymgeledd a allai y cyfeillion wneud iddo, ac ymdrech meddyg gofalus, gwanhau yr oedd ei babell briddlyd, a dau o'r gloch y boreu, y 4ydd o Ragfyr, ehedodd ei enaid anfarwol ymaith o'i babell wael, ac o'r byd hwn, i 'lawenydd ei Arglwydd, ac at ysbrydoedd y cyfiawn gy rhai a berffeithiwyd.' Ac ar y 9fed o Ragfyr danfonasom ei ran farwol 'i dŷ ei hir gartref,' i orphwys yn dawel hyd 'adgyfodiad y rhai cyfiawn.'

Claddwyd ef yn mynwent Llangefni, a danfonwyd ef i'r bedd gan luaws mawr o'i gyfeillion mewn dull parchus iawn.——Yr eiddoch, &c. JOHN ELIAS.

Rhagfyr 3, 1840, bu farw Mrs. J, Roberts, Shop, Henllan yn 64 mlwydd oed.

Rhagfyr 16, 1840, bu farw Mr. Griffith Thomas, Gors, Llandegai, mewn gwth o oedrau. Bu yn gweithio yn y chwarel ddydd Mercher, fel arferol; ar noson hono cadwodd ddyledswydd deuluaidd—ond cyn pen y chwarter awr ar ol y ddyledswydd yr oedd ei enaid yn myd mawr yr ysbrydoedd. Bu yn aelod hardd gyda'r Trefnyddion Calfinaidd am lawer o flynyddoedd, ac yn addurn i'w broffes. Cysurus meddwl mai y gorchwyl olaf a gyflawnodd oedd addoli Duw gyda'i deulu, cyn esgyn i'w addoli yn y nef. DEWI GLAN OGWEN.

Rhagfyr 19, 1840, bu farw, yn Llundain, yn 4 blwydd a 6 wythnos oed, John Elias Williams, unig fab Mr. Evan Williams o'r lle uchod, ac ŵyr y Parch. John Elias, Fron, Môn.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXII.] CHWEFROR, 1841. [LLYFR XI.

## COFIANT MR. MORRIS JONES,

### CORRIS, MEIRION,

*Yr hwn oedd yn Bregethwr gyda'r Trefnyddion Calfinaidd; ac a fu farw Ion.* 27, 1840, *trwy i ddarn mawr o'r graig, yn Nghloddfa llechi Aberllefeny, syrthio arno ef ac un arall a elwid Hugh Williams, mab W. Williams, Cross-pipes, Machynlleth, nes i'r ddau, heb y rhybudd lleiaf, gael eu chwilfriwio mewn munudyn dan y gawod gerrig.*

MORRIS JONES, ydoedd fab i John ac Elinor Jones, Bryntŵr, plwyf Penmorfa, Caernarfon. Ganwyd ef Ion. 13, 1806. Aeth i wasanaethu yn lled ieuanc; ac yr oedd rhyw bethau neillduol ynddo y pryd hyny, dysgodd yr epistolau at y Rhufeiniaid a'r Hebreaid oll ar ei gof.

Pan o 15 i 18 oed, cafodd wynt yn ei aelodau, yr hyn a'i hanalluogodd i weithio am rai blynyddau. Wedi ei adferiad, aeth i weithio i gloddfa'r Glyn, ac oddi yno i Bach-y-saint, Sir Gaernarfon. Yn y cyfamser aeth yn wyllt iawn, i yfed diod gadarn a meddwi, gan ddilyn pob oferedd hyd y gallai.

Aeth wedi hyny gyda'i dad i weithio clawdd-llanw, wrth Gors y fochnog, Sir Aberteifi, ac yn ol am ychydig i Bach-y-saint drachefn. Yn Ionawr, 1828, daeth i'r ardal hon i weithio yn nghloddfa Aberllefeny. Y pryd hyny, nid oedd ei fuchedd ddim gwell na chynt; a dilynodd yr hen arferiad o yfed a meddwi, ynghyd a llawer o feiau eraill; a mawr oedd y dylanwad oedd ganddo ar ei gydweithwyr i'w temtio i'w ddilyn mewn drwg, fel plant yn dilyn eu tad. Digwyddodd iddo ryw fodd lyngcu y farn Arminaidd i raddau mawr, gan ymbleseru mewn dadlau drosti â'r brodyr a gadwent yr Ysgol Sabbothol yn nhŷ y gwr y llettyai efe ynddo, ac â'r pregethwyr a ddeuai yno i lefaru; a mawr oedd y gofid a geid ganddo, trwy ei fod yn methu troi eraill i'w olygiadau ef, a hwythau yn methu a'i ennill yntau i'w barn hwythau. Ond wrth chwilio y Bibl, i'r dyben o gyfansoddi llyfr bychan i bleidio ei farn, gwelodd yn ei dyb ef na safai Arminiaeth ddim; yna rhoddodd heibio ei chredu, ac ni soniodd am dani mwyach.

Ionawr 1829, priodwyd ef ag Anne Roberts o ardal y Garn, Sir Gaernarfon. Ac fel yr oedd llawer o ieuengctyd yn gwastraffu y cwbl a ennillent, cyn y diwygiad dirwestol, felly yntau: gan hyny, wedi ei fyned i'r stâd briodasol, daeth tlodi arno fel ymdeithydd, ac angen fel gwr arfog. Yn yr amgylchiad hwnw y dechreuodd ei feddwl sefyll gyntaf, gwelodd eisiau y trugareddau a gamdreuliai gynt, ynghyd â'i ffolineb yn gwario ffrwyth ei lafur caled am ddiodydd heb eu heisiau. O hyny allan fe roddodd heibio ei arferiad ffol o fyned yn bwrpasol i yfed. Pan oedd dan ddylanwad yr ystyriaethau uchod, clywodd y Parch. T. Owen, Môn, wrth lefaru, yn dysgrifio y cyfarchiad dychrynllyd a eill fod rhwng enaid a chorph yr annuwiol yn yr adgyfodiad: yna daeth y gofyniad pwysig hwnw ato, Pa beth a wnaf i fod yn gadwedig? Yn ganlynol, daeth i geisio lle yn nhŷ Dduw; a mawr oedd yr ofn ar y cyfeillion crefyddol wrth ei weled, fel yr oedd gynt yn achos Saul o Tarsis, wrth gofio ei fod yn anrheithio o'r blaen.

Ym mhen rhyw yspaid wedi ei dderbyn i'r eglwys, digwyddodd iddo, yn ol yr hen arfer o gyfeillachu, fod allan o amser ryw nos Sadwrn heb ddyfod adref; ac am na wybu'r henuriaid am y peth mewn pryd, ni weinyddwyd cerydd arno. Er hyny, yr oedd ei gydwybod yn lluchio gwreichion tanllyd am y bai; a than y cyfryw ddylanwad, dywedodd wrth un o'r brodyr crefyddol, ei fod am ymadael am byth â'r gymdeith-

as yn Nghorris, a hyny am na chyfrifai efe hi yn eglwys, oblegid na weinyddid cerydd ynddi am bethau beius, ac etto ni ddywedodd pa bethau.

Wedi bod am rywyspaid ary tir hwn, fe ddywedodd Duw air wrtho drachefn a'i hanesmwythodd ef. Ceisiodd le eilwaith yn nhŷ Dduw; a chafwyd ynddo arwyddion tra boddhaol o edifeirwch. O hyny allan, cynnyddodd yn rhyfedd gyda phob rhan o waith yr Arglwydd. Yr oedd goruchwyliaeth dda ar ei feddwl: a phan ddigwyddai iddo ddarllen mewn cyfarfod gweddi, dywedai ychydig gyda goleu a blas oddi wrth yr hyn a ddarllenai, nes gorchfygu y byd a'r eglwys.

Yn y flwyddyn 1835, neillduwyd ef yn flaenor; ac fel y cyfryw, pan ddywedai ni byddai eisiau ail ddyweyd. Gan ei fod yn meddu mesur mawr o ysbryd barn, yr oedd yn hynod am heddychu pleidiau mewn ymrafael: nid adwaenai mor cyfoethog o flaen y tlawd. Yr oedd yn hynod am gadw cyfrinach; ac yn ddiabsen am bawb. Pan ddangosodd gyntaf fod ynddo duedd at waith mawr y weinidogaeth, yr oeddym yn bur ddisylw o hono yn hyny, gan ofni nad oedd ganddo genadwri: oud pan ollyngwyd ef i redeg, deallwyd fod. Dros ddirwest y dechreuodd efe lefaru; a mawr oedd ei zel, ei lafur a'i lwyddiant yn sychu y sugn-draethau meddwol, lle y syrthiodd myrdd a mwy. Dywedai wrthym yn nechreuad dirwest y byddai yn anhawdd i neb gael lle yn eglwys Dduw cyn pen dwy flynedd oni fyddai yn llwyr ymwrthodwr; ac er yr edrychem ar ei eiriau fel gwegi, eto gwir oeddynt.

Gan ei fod yn ymresymwr mor gadarn ac ysgrythyrol o blaid yr achos da hwnw, byddai agos i bawb, wedi y clywent ef, yn rhoi heibio am byth ddywedyd gair yn ei erbyn. Er calondid iddo, gwelodd oddeutu naw o bob deg o breswylwyr lliosog Corris yn ddirwestwyr cyn ei farw. Gan faint ei awydd i lesâu yn mhob modd, aeth ar gais ei frodyr at y boneddwr hyglod P. Jones, Ysw., Cyf-fronydd, Sir Drefaldwyn, i ofyn am le i adeiladu Ysgoldy yn Aberllefeny. A'r canlyniad fu i'r boneddwr uchod anrhegu ei weithwyr a'i ddeiliaid âg Ysgoldy hardd a helaeth, wedi ei adeiladu yn hollol ar ei draul ei hun. Mae yn y tŷ hwnw yn awr un o'r ysgolion dyddiol goreu yn Nghymmru; a chlywais wyr dysgedig yn tystio na welsant well cychwyn ar 'ant erioed. Yr ym hefyd yn cael lle cyfleus i gynnal Ysgol Sabbothol, ynghyd a phob moddion o ras, dan nawdd yr un boneddwr.

Awst, 1836. y dechreuodd efe ar waith y weinidogaeth. Yr oedd rhai yn lled ddisylw o hono ary cyntaf, am na feddai lais peraidd ac uchel; er nad oedd dim yn anhyfryd ynddo mewn un modd. Yr oedd eraill yn gwneyd mwy o sylw o'i bethau nag o'i lais, ac yn ei weled yn werth i ddyweyd Duw yn rhwydd wrtho. Pan yn cadw yr oedfa gyhoeddus gyntaf, dywedodd y barnai fod yno lawer yn cofio ei hen ffyrdd ef, a'i fod yntau hefyd yn gofod eu cofio er ei alar; a pha beth bynag oedd o ran ei gyflwr a'i alwad i'r gwaith, na welid byth o hono mwy, trwy gymhorth gras, yn y pyllau y bu ynddynt, a mawr yr effaith a gai ei ddyweddiad ar y gwrandawyr. Er y cwbl, dangosodd yr Arglwydd arwyddion amlwg ei fod o'i anfoniad ef: yr oedd ei weinidogaeth yn hynod o fuddiol; sicr yw fod llawer wedi eu galw trwyddi, ag arnynt arwyddion amlwg o dduwioldeb. Yr oedd efe hefyd yn dra adeiladol i'r eglwys, mewn cryfhau egwyddorion a chynnyddu profiadau y saint. Triniai bob amser ei fatterion yn oleu a deallus. Defnyddiai gydmariaethau addas a syml i ddangos ei feddwl. Nid arferai eiriau ysgafn ac anysgrythyrol, ond argyhoeddai ni am arfer geiriau o'r fath gyda phethau crefyddol, gan ddyweyd nad oedd bossibl cael geiriau cystal a rhai y Bibl.

Yr oedd yn hynod am roi y gogoniant i'r Gwr a'i piau. Gofynais iddo, ar ol agos bob Sabbath, pa fath oedfaon a gawsai; a'r ateb yn gyffredin fyddai, digon tlawd, oddieithr un Sabboth y cafodd efe oedfa neillduol yn Caeau Cochion, ger Trawsfynydd, pryd y dywedodd, ei fod yn sicr fod yno rywun mwy nag ef na'r bobl. Diamau y bydd llawer yn cofio am yr oedfa hòno i dragywyddoldeb.

Yr oedd yn hynod ddiwyd gyda'i alwedigaeth dymhorol, er bod ei lafur crefyddol tu hwnt i gyffredin. Nid arferai fyned i gysgu nes byddai o un i dri o'r gloch y bore, a hyny er mwyn darllen, gweddio, ac astudio ei bregethau; y rhai a welir mewn llaw-ysgrifen, ac a fyddent yn fuddiol yn ddiau pe'd argreffid hwynt. Cerddai o 15 i ugain milltir lawer bore Sabboth i'w gyhoeddiad; a chymmaint a fyddai bosibl yn ol y noson hòno, rhag colli dim o'i amser. Yr oedd pob arwyddion, yn ei ymddiddanion a'i bregethau, fod ei feddwl yn

cartrefu llawer gyda'r amgylchiad sobr yr aeth trwyddo mor ddisymwth.

Pregethodd lawer y Sabbothau diweddaf ar angau a barn, gwel un o'i eiddo yn y Drysorfa, ryw amser yn ol. Wedi traddodi y bregeth grybwylledig oddi wrth Heb. 27, yn Llanwrin, nos Sabboth yn ddifrifol a sobr iawn i dyrfa a deimlai fel pe buasent o flaen y fainc fawr, cerddai ran helaeth o'r ffordd adre trwy dymestl a thywyllwch y nos hòno. Dranoeth cychwynai yn fore i'r dyben o gynnorthwyo lliaws o'i gymmydogion i glirio y rhan o'r gloddfa lle y syrthiasai tunnelli lawer o'r graig ddyddiau o'r blaen. Taer annogai y goruchwylwyr ef i aros gyda'i orchwyl ei hun, o gaboli cerrig beddau &c., y dydd hwnw fel arferol; a hyny am nad ewyllysient ei weled yn y caledwaith hwnw, ni ddychymygent am berygl, oblegid yr oeddynt yno eu hunain. Ychydig wedi ciniaw, pan oedd degau o'r chwarelwyr wrthi yn ddiwyd, a'n hanwyl Morris yn eu plith, o awydd i hwyluso ei gymmydogion gyda'u gwaith, a Hugh Williams yn taro ar ebill a dröid gan arall: disgynodd tunnelli o graig ar darawiad amrant nes dryllio cyrph Morris a Hugh druain yn chwilfriw mân, ac anfon eu heneidiau i fyw, yn ol pob arwydd, i wlad lle nis gallant farw mwy. Clwyfwyd tri eraill yn drwm; ond o drugaredd maent wedi gwellâu. Er ein bod yn dra hyderus. fel y crybwyllwyd, am ddiogelwch cyflwr y ddau frawd a gymmerwyd; nis gallwn ddyweyd felly, ar seiliau da, am y tri a adawyd. Hyderwn y cant fendith ar yr arbediad.

Iau canlynol, ymgynnullodd tyrfa fwy nag a welodd yr ysgrifenydd ar un achlysur o'r fath; pryd wedi darllen Pregethwr 9, y gwnaeth y brawd H. Evans, Ystradgwyn sylwadau sobr a buddiol a'r benarglwyddiaeth a doethineb y Jehofah mawr yn ei holl ymddygiadau at blant dynion. Wedi hyny, ymdrefnasom yn orymdaith fawr, gan osod ein baner ddirwestol o'n blaen, a chanu ein galarnadau tebyg i'r rhai hyny yn nyffryn Megido; ac a hebryngasom ran farwol ein hanwyl frawd Morris Jones i gladdfa Talyllyn, lle y mae amryw o hen saint Corris yn gorwedd hyd ganiad yr Udgorn diweddaf. Wedi dychwelyd pregethodd y brawd Thomas Hughes Machynlleth, oddi wrth Esay 57. 2. yn Nghorris, i dyrfa brudd a galarus. Prin y gallodd y llefarwr ei hun weinyddu ei swydd, oblegid ei deimladau:—"Gofid," meddai, sydd arnaf am danat ti, fy mrawd Morris."

Fel hyn, yn nghanol ei ddefnyddioldeb a'i lafur, a thrwy oruchwyliaeth dra dieithr, y gwelodd Pen mawr yr eglwys yn dda alw ato ei hun y gwas ieuanc, eto ffyddlawn hwn; gan adael o'i ol i alaru eu colled, wraig, a phump o blant ieuainc:—Bydded Tad yr ymddifaid, a Barnwr y gweddwon yn borth iddynt yn mhob eisiau. Nis gall yr eglwys yn Nghorris, ynghyd a'i hamrywiol ganghenau, lai na theimlo yn ddwys ei hiraeth a'i cholled am y bachgen gobeithiol hwn.

Hefyd, yr oedd ei ddiwydrwydd, ei onestrwydd, a'i ddefnyddioldeb mewn dychymmygu a gweithio cerrig yn gistiau ar feddau, cistiau mewn tai, *chimney-pieces*, ynghyd a lliaws o bethau tra chywrain o'i waith a welir yn Nghymmru a Lloegr, wedi ennill sylw a ffafr perchennog a goruchwylwyr y gwaith i raddau mawr, yr hyn a ddangosasant mewn haelioni i'w weddw ar ol ei ymadawiad ef.

Yr oedd M. J. yn hynod mewn gallu i ddysgu unrhyw beth a feddyliai am dano. Dysgodd ddarllen, ysgrifenu, a grammadegu, &c.. heb gael un diwrnod o ysgol erioed, ond yr Ysgol Sabbothol.

Fel y gwelir trwy y pethau uchod ei fod yn fawr o feddwl a defnyddioldeb gyda phethau natur; felly hefyd yr oedd wedi cynnyddu i raddau helaeth mewn pethau ysprydol, ac wrth bob arwydd yn debyg i fod o wasanaeth mawr gyda theyrnas y Cyfryngwr ar y ddaear, pe gwelsai ei Arglwydd yn dda estyn ei einioes. Ond gan na welodd ei ddoethineb hyny yn oreu, dymunem yn ostyngedig iddo, gan fod y cynhauaf mor fawr a'r gweithwyr mor anaml, alw eto ac anfon gweithwyr lawer i'w gynhauaf.

ROWLAND EVANS.

*Melin Aberllefeny.*

## PERSON CRIST.

I. Bod Iesu Grist yn Dduw a brofir yn gyntaf, trwy yr enwau a roddir arno, megys Duw cadarn, Esay 9. 6.—Arglwydd y lluoedd, Es. 6. 5; Ioan 12. 41. Duw bendigedig yn oes oesoedd. Rhuf. 9. 6.—Arglwydd y gogoniant. 1 Cor. 2. 8.—Duw mawr. Titus 2. 13.—Gwir Dduw. 1 Ioan 5. 20.—Yr unig ddoeth Dduw. Judas 24.—Duw yn y cnawd. 1 Tim. 3. 16.—Yr Arglwydd o'r nef. I Cor. 15. 6.—Duw ein Iachawdwr. Tit. 1. 3; a 2. 10; a 3. 4.—Delw y Duw an-

weledig. Col. 1. 15.—Duw gyda ni. Math. 1. 23.—Duw Goruchaf. Salm 78. 96. a 1 Cor. 10. 9.

2. Drwy y priodoliaethau a briodolir iddo. 1. Tragywyddoldeb. Esay 9. 6. Mica 5. 2. Diar. 8. 22—26. Dat. 1. 11. Ioan 8. 58. a 17. 5. a 1. 15. a 12. 34. a 1. 1. 2. Hollalluowgrwydd. Dat. 1. 8. Math. 28. 13. 1 Cor. 1. 24. Phil. 3. 21. Dat. 11. 17. Col. 2. 9. 3. Hollwybodaeth. Ioan 16. 30. a 2. 24, 25. a 2. 1—17. a 4. 29. a 13. 18. Dat. 2. 23. Math. 17. 27. a 21. 2. Luc 6. 8. a 22. 10. Dat. 2. 2. Col. 2. 3. 4. Hollbresennoldeb. Ioan 3. 13. Math. 28. 20. a 18. 20. Ioan 14. 3. 5. Anghyfnewidioldeb. Heb. 13. 8. a I. 11, 12. 1 Pedr 2. 6.

3. Drwy y gweithredoedd a wnaeth. 1. Creu. Gen. 1. 1. Col. 1. 16. Ioan 1. 3, 10. Heb. 1. 2. Eph. 3. 9. Dat. 3. 14. a 4. 11. 3. Cynal pob peth. Heb. 1. 3. Col. I. 17. 3, Llywodraethu ar bob peth. Dan. 7. 14. Ioan 17. 2. 1 Tim. 6. 15, 16. Eph. 1. 20, 22. Col. 2. 10. 4. Yr holl wyrthiau a wnaeth. Marc 4. 41. a 6. 48. Luc 7. 13, 15. a 8. 27, 31. a 4. 33, 36. 5. Rhoddi bywyd tragywyddawl. Ioan 6. 40, 47. a 10. 28. a 4. 14. a 17. 2. Dat. 2, 10. 6. Maddeu pechodau. Luc 5. 20, 21. a 7. 47, 48. Math. 9. 6. 7. Ei fod yn cymmeryd addoliad. Ioan 5. 23. Dat. 4. 8, 11. a 5. 12, 13. a 7. 10. Heb. 1. 6. 2 Pedr 3. 18. Luc 17. 5. Phil. 2. 10, 11. Act. 7, 59. 8. Ei fod yn cyfodi y meirw. Ioan 5. 28, 29. a 11. 25. a 6. 44. 9. Barnu y byd. Ioan 5. 22. 1 Cor. 4. 5. Act. 17. 31. a 10. 42. Rhuf. 14. 2. 2 Cor. 5. 10. 10. Cospi ei holl elynion. Dat. 6. 16. a 19. 15. 2 Thes. 1. 7, 10.

II. Ei fod yn ddyn a brofir hefyd, yn Esay 9. 6. Ioan 1. 14. Heb. 2. 14—16. Phil. 2. 7. Math. 4. 2. Ioan 4. 6. Luc 24. 39. Ioan 20. 20, 27. a 19. 28, 30. Luc 2. 11. Galat. 4. 4. Rhuf. 8. 3. Luc 22. 44. Math. 24. 38. Esay 53. 10. Heb. 10. 20. Ioan 11. 35. Luc 2. 52. Ioan 10. 33.

III. Yr angenrheidrwydd oedd i'r Cyfryngwr fod yn Dduw ac yn ddyn.

1. Heb fod yn Dduw nis gallasai ymrwymo dros ei bobl er tragywyddoldeb. Eph. 1. 4. Tit. 1. 2. Diar. 8. 23.

2. Ni buasai ganddo awdurdod ar ei einioes. Ioan 10. 18. a 2. 19.

3. Nis gallasai ddioddef cosp anfeidrol am ein pechodau. Esay 53. 5, 6. a 59. 16. Salm 89. 19.

4. Ni buasai gwerth yn ei farwolaeth i fod yn iawn. 1 Pedr 1. 18, Rhuf. 3. 24, 25. 1 Ioan 4. 10. Heb. 9. 28.

5. Nis gallasai fod yn bresennol gyda ei bobl i'w dysgu. Math. 18. 28. a 28. 20.

6. Ni allai orchfygu gelyniaeth calon dyn. Salm 110. 3. 1 Ioan 3. 8. 2 Cor. 10. 4, 5.

7. Ni allai lywodraethu ei ddeiliaid. Esay 11. 7. Jer. 23. 5, 6.

8. Ni allai amddiffyn ei bobl. Esay 33. 22. Zech. 9. 8, 9, 12. Dat. 3. 10.

9. Ni allai orchfygu holl elynion ei bobl. 1 Cor. 15. 24, 26. Hos. 13. 14.

10. Nis gallai gyfodi cyrph ei bobl yn y dydd diweddaf. Ioan 6. 40, 44.

11. Nis gallai eu gogoneddu. Ioan 17. 24. Dat. 3. 21.

IV. Yr angenrheidrwydd iddo fod yn ddyn.

1. Nis gallasai gyflawni amodau y cyfammod dros ei bobl. Zech. 9. 11. Heb. 10. 9, 10. Phil. 2. 8.

2. Nis gallasai farw dros ei bobl. Heb. 2. 14. Ioan 3. 16.

3. Nis gallasai roddi Iawn am bechod, yn y natur a bechodd. Heb. 10. 9. a 9. 14. a 10. 12.

4. Nis gallai ymddangos yn ein natur ni, ger bron Duw drosom. Heb. 6. 26. 1 Ioan 2. 1. Heb. 9. 24.

5. Nis gallai yn brofiadol gyd ddioddef a'n gwendid ni, na chymhorth y rhai a demtir. Heb. 4. 15. a 2. 18.

6. Nis gallai ddysgu ei bobl, mewn modd addas i'w gwendid. Esay 50. 4. Math. 12. 17, 20.

7. Nis gallai roddi i ni esiampl berffaith o sancteiddrwydd. Ioan 13. 15. 1 Pedr 2. 21, 22.

8. Nis gallai gymhell ufudd-dod i'w gyfreithiau drwy ei esiampl ei hun. Ioan 13. 34, 35. Phil. 2. 5, 7. 1 Pedr 2. 23. 2 Cor. 8. 9.—*Ysgol Sabbothol Glan Clwyd.* DELTA.

---

ELUSENGARWCH.

Y diweddar Barch. Rowland Hill, ar ei ymweliad a phalas cyfaill iddo, pan ymadawodd, sylwodd morwynig oedd yno wrth ei meistres, nad oedd gan Mr. Hill yr un crys am dano. "Ai tybied yr wyt" meddai ei meistres, "pan ddelo yma nesaf, mi ofynaf iddo." Ac felly y gwnaeth. "Gwir" ebe yntau, "felly yr oedd, oblegid aethym i edrych am wr tlawd claf heb grys am dano, a rhoddais fy un fy hun iddo." "Ond" ebe hithau "oni allasech chwi anfon un iddo ar ol myned adref." Ebe yntau, "Oh gallaswn fod wedi newid fy meddwl erbyn hyny, ac yn wir yr oedd yn well iddo ei gael yn gynes nag yn oer."

J. F.

## CYFUNDREFN YR EFENGYLWYR.—(Parhad o tu dalen 8.)

*Yr amgylchiadau yn adgyfodiad Crist, a'r pethau a ddygwyddasant ar ol hyny.*

| RHIF. | Y CYFUNDREFN. | MAT. | MARC. | LUC. | IOAN. | Y LLE |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 310 | Ymweliad cyntaf y gwragedd a'r bedd | xxviii. 1—4. | xvi. 1. | .... | .... | Wrth y bedd |
| 311 | Eu hymddyddan ar y ffordd | .... | xvi. 2—4. | .... | .... | At y bedd |
| 312 | Yr Iesu a gyfododd | xxviii. 5, 6. | .... | .... | .... | O'r bedd |
| 313 | Y gwragedd yn myned i'r bedd—angel arall | .... | xvi. 5, 6. | .... | .... | Yn y bedd |
| 314 | Y gwragedd yn dychwelyd yn ol | xxviii. 7, 8. | xvi. 7, 8. | .... | .... | Oddiwrth y bedd |
| 315 | Y gwylwyr yn cymmeryd arian am ddweud celwydd | xxviii. 11—15. | .... | .... | .... | Yn y ddinas |
| 316 | Yr ail gymdeithas o wragedd | .... | .... | xxiv. 1—9, 11. | .... | Yn myned at y bedd |
| 317 | Mair Magdalen yn mynegu i Pedr | .... | .... | xxiv. 10. | xx. 1, 2. | Yn y ddinas |
| 318 | Pedr ac Ioan yn myned i weled | .... | .... | xxiv. 12. | xx. 3—10. | At y bedd |
| 319 | Angylion yn ymddangos i Mair Magdalen | .... | .... | .... | xx. 11—13. | Wrth y bedd |
| 320 | Ymddangosiad cyntaf Crist, i Mair Magdalen | .... | xvi. 9—11. | .... | xx. 14—18. | Yn yr ardd |
| 321 | Ei ail ymddangosiad, i ddau ddisgybl | .... | xvi. 12. | xxiv. 13—27. | .... | Ar y ffordd i Emmaus |
| 322 | Yn cael ei gymhell i fyned gyda hwynt | .... | .... | xxiv. 28, 29. | .... | I Emmaus |
| 323 | Yr Iesu yn cymmeryd bara, &c. | .... | .... | xxiv. 30—32. | .... | Yn Emmaus |
| 324 | Ei drydydd ymddangosiad, i Simon | .... | .... | xxiv. 34. | 1 Cor. xv. 5. | Anhysbys |
| 325 | Ei bedwerydd ymddangosiad, i'r unarddeg | .... | .... | xxiv. 36—43. | xx. 19—23. | Yn Jerusalem |
| 326 | Y disgyblion yn ymddyddan â Thomas | .... | .... | .... | xx. 24—25. | Etto |
| 327 | Y pummed ymddangosiad, i'r unarddeg | .... | xvi. 14. | 1 Cor. xv. 5. | xx. 26—29. | Etto |
| 328 | Y chweched ymddangosiad | xxviii. 9, 10. | .... | .... | .... | I'r gwragedd |
| 329 | Y seithfed ymddangosiad, i fwy na 500 | xxviii. 16, 20. | 1 Cor. 15. 6. | .... | .... | Yn mynydd Tabor |
| 330 | Ei wythfed ymddangosiad | .... | .... | .... | xxi. 1—24. | Wrth fôr Galilea |
| 331 | Ei nawfed ymddangosiad, i Iago | .... | .... | .... | 1 Cor. xv. 7. | Yn Galilea |
| 332 | Ei ddegfed ymddangosiad i'r Apostolion | Act. 1. 4—8. | .... | xxiv. 44—49. | 1 Cor. xv. 7. | Yn Jerusalem |
| 333 | Yr Iesu yn dwyn yr Apostolion allan | .... | xvi. 15—18. | xxiv. 50. | .... | I Bethania |
| 334 | Yr Iesu yn esgyn i'r nefoedd | Act. 1. 9, 11. | xvi. 19. | xxiv. 50, 51. | .... | O Bethania |
| 335 | Yr Apostolion yn dychwelyd | Act. 1. 12. | .... | xxiv. 52, 53. | .... | I Jerusalem |
| 336 | Terfyniad Efengyl Ioan | .... | .... | .... | xx. 30, 31.<br>xxi. 25. | |
| 337 | Terfyniad Efengyl Marc | .... | xvi. 20. | .... | | |

Diwedd.

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### PEN. IX.

YR HERESIAU A'R SECTAU CRYBWYLLEDIG YN Y TESTAMENT NEWYDD.

BYDD yn amlwg i bob darllenydd y Testament Newydd fod yn yr oes apostolaidd lawer o heresiau niweidiol yn aflonyddu yr eglwysi mabanaidd. Rhai o honynt a ddygwyd i mewn gan ddysgawdwyr Iuddewaidd, y rhai a ewyllysient gyd-orphori y defodau Lefiaidd â symlrwydd yr efengyl. Eraill a godasant oddiwrth au-philosophi yr hon a fenthyciwyd gan y cenedloedd, a'r hon mae yr apostol yn ei datgan fel gwag dwyll, Col. ii. 8. Rhoddi manwl adroddiad o'r egwyddorion paganaidd hyn a fyddai yn anfoddlonawl ynddo ei hun ac yn anghyfaddas i'r gwaith hwn; etto ymddengys yn angenrheidiol i roddi rhai sylwadau byrion mewn perthynas i'r rhai penaf o honynt.

1. Y Nicolaiaid a dybid fod ganddynt Nicholas, un o'r saith diacon, yn arweinydd iddynt mewn gau athrawiaeth ac anfoesoldeb: ond mae hyn yn ymddangos yn groes i'w nodweddiad, fel yr adroddir gan yr efengylwyr, Act. vi. ac nid oes genym un prawf i Nicholas, y diacon, byth ymadael oddiwrth ffydd yr efengyl. Y llygrwyr crefydd hyn oeddynt fath o antinomiaid ymarferol; hwy a oddefent eu hunain i gyfranogi yn aberthau yr eilun-addolwyr, ac a ymfoddhâent yn yr aflendid bryntaf, er gwarth i'w proffes, a dinystr i'w heneidiau.

2. Yr Anghristiau a grybwyllir gan yr apostol, 1 Ioan ii. 18. oeddynt ddysgawdwyr hereticaidd neillduol, egwyddorion pa rai oeddynt yn gwrth-ddywedyd gwir athrawiaethau yr efengyl. Gelwid hwy Ebioniaid, oddiwrth un Ebion; Cerinthiaid, oddiwrth un Cerinthus; a Gnosticiaid, oddiwrth *gnosis*, gair Groeg, yn arwyddo gwybodaeth. Dywedir fod Simon Magus, Act. viii. 9—24. wedi bod yn dad yr heresiau hyn. Mae yn anhawdd sicrhau yn bennodol pa athrawiaethau a ddysgai yr hereticiaid hyn; rhai yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng Iesu a'r Crist; rhai yn gwadu natur ddwyfol ein Harglwydd, ac ereill ei ddynoliaeth; rhai yn gwrthod ei Iawn dirprwyawl, ac oll yn diystyru ei orchymynion sanctaidd. I wrthbrofi eu hafresymolderau niweidiol, ysbrydoliaethwyd yr apostol Ioan i ysgrifenu ei efengyl a'i epistolau, y rhai ydynt yn tystio priodol Dduwdod, gwir ddyndod, ac aberth cymmodawl ein Harglwydd a'n Hiachawdwr. Ioan i. 1—3, 14. 1 Ioan i. 1, 2. ii. 18—24. iii. 1, 3, 9, 10.

3. Y Stoiciaid, Act. xvii. 18. oeddynt philosophyddion paganaidd, sylfaenydd plaid y rhai ydoedd Zeno, yr hwn a flodeuodd oddeutu 350 o flaen y cyfrif Cristionogol. Cymmerent arnynt fod yn berffaith annhueddol at hyfrydwch a phoen, gan broffesu crediniaeth o fod pob peth yn cael eu llywodraethu gan angenrheidrwydd anwrthwynebol a elwid tynged, yr hyn ydoedd uwchlaw ewyllys eu holl dduwiau.

4. Yr Epicureaid oeddynt blaid arall o philosophyddion, a dysgyblion un Epicurus, Atheniad, yr hwn ydoedd yn byw oddeutu 300 o flynyddoedd o flaen y cyfrif Cristionogol. Dysgent egwyddorion cwbl groes i'r Stoiciaid; priodolent bob peth i ddamwain, ac ystyrient ddifyrwch y daioni penaf.

---

## CYFEILIORNADAU CREFYDDOL.

ANMHOSSIBL yw'i ddyn feddiannu dim rhagorach yn y bywyd hwn na gwir grefydd. Ac nid oes dim mor effeithiol i'w ddiddyfnu o ran ei feddwl a'i serch oddiwrth yr hyn a welir, ac i'w ddwyn i fyfyrio pa fodd y rhynga fodd Duw, ac y rhodia er gogoniant i enw "yr Hwn a'i galwodd o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef."

Gwir grefydd hefyd sydd yn sicrhau i ddyn ei ddedwyddwch tragywyddol yn y wlad tu draw i'r llen, lle y mae diderfyn hedd yn teyrnasu.

Ond y mae dyn, trwy y cwymp, wedi myned yn llygredig ei natur, ac yn dueddol i gyfeiliorni ar bob llaw, hyd yn oed ynghylch crefydd a duwioldeb.

Pa beth yw crefydd? yw y gofyniad mawr. Nid pob peth a elwir gan ddynion yn grefydd ydyw crefydd mewn gwirionedd; ac nid gwir grefydd sydd gan lawer un yn ein gwlad, pan y perswadiont eu hunain felly, am eu bod yn perthyn i'r naill enwad neu y llall, y blaid hon neu y blaid arall.

Y mae yn ddilys genyf na bu erioed fwy o son am grefydd, yn Nghymru, nag sydd yn y dyddiau hyn; ac y mae seiliau cedyrn i feddwl na fu ychwaith erioed fwy o gyfeiliorni mewn barn yn nghylch pa beth ydyw mewn gwirionedd. Nid ydwyf heb wybod nad oes genyf fater pwysig mewn llaw, ac y gall gario effeithiau pwysig i'w ganlyn; ond gobeithiaf y bydd i Dduw ei hunan fen-

ditbio yr ysgrif hon, er peri cywirach syniadau am grefydd, am fy mod yn ystyried fod cyfeiliornadau o bwys yn cael eu coleddu gan nifer luosog.

Mae llawer yn ein gwlad yn barnu crefydd yn bob peth ond yr hyn ydyw. Mae bron yn ddiddadl ganddynt bod cael lle fel aelod eglwysig gyd â'r enwad hwn neu arall, a chyfranogi o'r ordinhadau sanctaidd a osododd Crist yn ei eglwys, yn sicrhau iddynt y nefoedd yn y diwedd, ac yn rhoddi iddynt hawl gyfreithlon i dragywyddol etifeddiaeth y saint. Ond, mewn gwirionedd, y mae hyn yn rhy fychan o lawer i ddyn i wynebu barn a byd tragywyddol.

Pe gofynid i lawer gwas am ansawdd ymddygiad ei feistr wedi iddo fyned yn grefyddol, yr atebiad gwirioneddol a fyddai, mai yn yr addoldŷ yn unig y mae ei grefydd yn dysgleirio, ond ei fod mor draws, mor galed, mor rwgnachlyd, ac mor anhawdd rhyngu ei fodd, yn awr ag erioed. A llawer morwyn a ddygai dystiolaeth gyffelyb am ei meistres. "Fy mrodyr anwyl, ni ddylai y pethau hyn fod felly."

Mae lle i ofni fod gormod o adeiladu ar fod yn aelod eglwysig, ac yn y cymundeb, heb sylwi yn fanwl fod gwir grefydd yn ddiwygiad cyffredinol—yn effeithio ar ysbryd ac ymarweddiad yr hwn a'i meddianno. Yr ysgrythyr a ddywed mai "wrth ei ffrwythau yr adnabyddwch hwynt."

Os gellir barnu crefydd wrth ei ffrwythau, edrychwn yn fanwl ar ddyn yn ei fywyd newydd o broffes. A yw efe yn onest yn ei fasnach? A ellir rhoddi ymddiried ynddo? A baid efe a chymmeryd mantais oddiar anwybodaeth neb i ymddwyn yn dwyllodrus? A ydyw ei grefydd wedi ei ddysgu i fod yn eirwir wrth brynu ac wrth werthu? yn drugarog wrth yr angenus? ac yn dilyn lletygarwch? Nid ydyw bod gyda'r achos, ac heb fod y rhinweddau hyn yn perarogli y fuchedd, ddim ond peri i grefydd fod yn ddirmygus yn ngolwg dynion y byd; ac nid ydyw meddu y rhinweddau hyn heb fod y galon a'r egwyddor yn gywir, ddim ond peri i'n crefydd fod yn rhagrith yn ngwydd Duw.

Y mae gwir grefydd yn llywodraethu y dyn i gyd. Y mae cyfiawnder rhwng gwr a gwr yn beth agos at ei feddwl, a bod yn drugarog yn un o'i bethau hoffusaf. Os digwydd iddo gael cyfle i wneuthur anghyfiawnder, a hyny mor ddirgelaidd fel na cheid byth allan, yr un ffunud yw tywyllwch a goleuni iddo ef. Y mae yr egwyddor sydd yn llywodraethu ei galon yn peri i'w ymddygiad fod yn addas ym mhob man ac ym mhob dim.

Y mae llawer un yn sant yn yr addoldŷ yn unig; ac yn wahanol iawn yn ei deulu gartref. Gwr yw hwn sydd yn rheoli ei grefydd, ac nid ei grefydd yn ei reoli ef—y maes a'r fasnach sydd yn ei ddangos yn ei liw priodol ei hun. Nid yw ei hyawdledd mewn gweddi yn un prawf o daerineb ei ysbryd—ac nid yw symlrwydd ei ymddangosiad yn un prawf o sancteiddrwydd ei galon—ac nid yw bod yn felus a gwlithog wrth adrodd ei helynt grefyddol yn ddigon o sicrwydd fod y profiad yn ysbrydol.

Y mae yn ammhossibl i ddyn brofi melusderau maddeuant pechodau tra y byddo digofaint yn ei fynwes at ddyn arall; ac ni ddichon neb fod dan ddylanwadau yr Yspryd Glân pan yn hogi ei gleddyf i drywanu ei frawd. Fel hyn y mae llawer yn ein gwlad yn cellwair â chrefydd, heb ystyried mai "yr hyn a hauo dyn hyny hefyd a fed efe."

Dywed Iago mai "crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn, sef ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a chadw ein hunain yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Paul hefyd a'n cynghora i beidio a chydymffurfio â'r byd hwn, eithr cymmeryd yr hyn a weddai i bob dyn. Ac os myn neb ddwyn ei grefydd at y maen prawf—darllened Air Duw, gweddied am gynnorthwyon yr Ysbryd i'w ddeall, ac yna ni all gyfeiliorni.

Y mae llawer o son yn y dyddiau hyn am lwyddiant y blaid hon neu arall, ond y pwnc yw, a ydyw crefydd yn llwyddo yn y wlad? Ac ai am fod crefydd yn llwyddo y mae y pleidiau yn chwanegu? ai ynte, a ydyw ysbryd plaid yn gweithio, ac Ysbryd Duw yn cilio.

Mae lle i ofni fod llawer wedi cymmeryd crefydd i fynu oddiar egwyddorion anghywir, a chwant am elw bydol. Y mae gwir grefydd o werth anmhraethol ynddi ei hun, a phe na byddai na nef nac uffern y mae y gwirionedd yn cario cysuron i'w ganlyn sydd yn lloni dyn yn y fuchedd hon.

Mae llawer yn ymuno â chrefydd, neu yn hytrach â rhyw blaid o grefyddwyr, oddiar gyfeillach â rhai o'r aelod-

au, neu hoffder at eu trefniadau yn unig, heb farnu erioed drostynt eu hunain am egwyddorion crefydd.

Mae llawer yn gogwyddo at grefydd am eu bod yn ystyried hyny yn angenrheidiol iddynt i gyfarfod âg angeu a byd tragywyddol; ond pe byddai modd cau angeu allan, a chloi pyrth y byd arall, ysgydwent eu crefydd ymaith yn y fan; ond am bob un sy'n ymwneud â chrefydd yn iawn sydd yn ymwneud â hi er mwyn yr hyfrydwch sydd yn gyssylltiedig â'r ymarferiad o honi, a hyny oddiar egwyddor uniawn yn ei enaid, yn ei ddwyn i'r ymarferiad o bob gras, ac i flaguro ym mhob rhinwedd a gweithred dda; canys y mae y Cristion yn derbyn gwir gysur a dyddanwch yn ei gyflawn ymarferiad o'i ddyledswyddau crefyddol, fel nachymmerai y byd i'w feddiant, ac oll sydd ynddo, am roddi heibio ei ddyledswyddau, pe na byddai ganddo le i obeithio am ei dragywyddol wobrwyo tu draw i'r llen. Pwy bynag a geisio ddianc rhag uffern heb ddim yn ei ysgogi at hyny ond dychryn ac arswyd y lle, bydd hwnw yn sicr o ddibenu ei yrfa yno: a phwy bynag a geisio gyrhaeddyd gogoniant y nef ag heb egwyddor sanctaidd yn ei galon a siomir yn ddiau. "Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd."

Y mae llawer iawn o ddynion yn rhoddi gormod o bwys a hyder ar yr hyn sydd yn dda ynddo ei hun, ond yn hollol annigonol i achub yr enaid. Pan fyddo marw un mewn llawer teulu nad arferent fyned i un addoliad, os cant un i bregethu i'r tŷ ddiwrnod yr angladd, ymdawelant, fel pe byddai yr holl ddiffyg wedi ei wneud i fynu. Mae pregethu mewn angladdau yn weddaidd iawn er addysg i'r byw, ond nid ydynt yn un Iawn am esgeuluso pregethau a aethant heibio.

Mynych hefyd y sonia llawer am y fendith a gant wrth wrando pregethau, ond wedi y cyfan, nid yw y fendith na mwy na llai na rhyw hyfrydwch a deimlir gan y gwrandawr wrth lais peraidd a soniarus y pregethwr. Er y dylem fod yn ddiolchgar iawn i Dduw am addurno ein Gweinidogion â hyawdledd ac â doniau, etto dylem gofio yn wastadol nad yn y swn y mae y sylwedd, ond yn y genadwri fawr sy ganddynt, sef Crist yn ei ddyoddefaint a'i angeu ar gyfer pechadur euog a chollfarnol.

Pethau i'w credu ydyw pethau yr efengyl; ac o'u credu y mae cysuron ysbrydol yn dylifo i'r enaid. Ac er bod dirgelwch duwioldeb uwchlaw i'w amgyffred, etto dylem chwilio a chloddio yn ddyfal yn nhrysorau y Gair fel y deallom hwynt, a'u credu fel pe byddem yn eu hamgyffred.

*Cil-y-cwm.* J. THOMAS.

[Cyfiawnder a'n Gohebydd, efallai, fyddai hysbysu ein bod wedi cymmeryd cryn ryddid gyda'r ysgrif hon yn ei newid, &c. ond yn y cwbl ymegniasom i gadw at feddwl yr ysgrifenydd, a rhoddi yr oll o'i sylwadau i mewn. Yr ydym yn deall mai ieuanc yw, aed ym mlaen a chynnydded—CYH.]

---

## HANES PEKIN, YN CHINA.

O FIS i fis bum ar fedr ysgrifenu rhyw fyr ddarluniad o rai o brif ddinasoedd y byd, gan dybied y gallai fod yn ddifyrus gan lawer o'ch darllenwyr: ac yn awr, pan y mae China Fawr yn faes y rhyfel, a chryn ddwndro am dani yn y wlad yn gyffredinol, efallai nad ammhriodol fyddai dechreu ym mhrif ddinas yr ymerodraeth eang hono.

Y mae Pekin yn sefyll mewn dyffryndir eang a helaeth iawn, yn ymerodraeth China, ac yn perthynu i Shunteenfoo. Dichon y gwyr eich darllenwyr eisoes fod ymerodraeth China wedi ei hamgylchu â mur uchel, yr hwn sydd yn rhedeg dros fryn a phant, mynydd a dyffryn, o gwmpas yr holl wlad eang i gyd. Adeiladwyd y mur hwn ar y cyntaf i'r dyben i'w diogelu rhag rhuthriadau y Tartariaid, a gelynion cyfagos ereill. Oddeutu triugain milltir oddiwrth y mur mawr hwn y mae Pekin yn sefyll—ac o fewn can milltir i'r môr. Mae yr afon Pe-ho yn rhedeg ychydig bellder i'r dwyrain o'r ddinas; ac y mae llawer o gamlesydd a dyffrffosydd wedi eu tori o'r ddinas i'r afon a elwir Tunghwuy. Afonig fechan ydyw y Tunghwuy, ac wedi ymuno o honi â ffrwd arall, y mae yn ymarllwys i'r afon Pe-ho.

Mae y Llys, neu y Senedd, Chineaidd wedi ei symud lawer gwaith o un ran o'r ymerodraeth i ran arall. Sefydlodd Kublai, y gorchfygwr Mongolaidd, ef ar y cyntaf yn nhalaith Shan-se, ac wedi hyny yn Pekin.

Dywedir fod Pekin yn ddinas hen iawn, ac wedi ei sylfaenu yn nheyrnasiad Han; a hi ydoedd prif-ddinas y Ketiaid, sylfaenwyr y llywodraeth Leaouaidd. Ymddengys mai yr un ydyw a Kambalu, eiddo Marco Polo, er bod

sefyllfa y ddinas hono, yn ol pob tebygolrwydd, yn amrywio peth oddiwrth sefyllfa bresennol Pekin. Yr oedd sylfaenydd llywodraeth Ming yn preswylio yn Nanking [y llys deheuol]; ond un o'i olynwyr, Yunglo, a symudodd eisteddfa y llywodraeth oruchel i Peche-le.

Gelwir y ddinas hon gan y brodorion yn fynych iawn King-too, neu King-sze [sefyllfod y llys]; ac edrychir arni fel llanerch gyssegredig a sanctaidd, y porth agosaf i'r nefoedd.

Er y pryd yr adeiladwyd hi gyntaf y mae wedi myned dan lawer o gyfnewidiadau; ac yn bresennol rhenir hi i ddwy ddinas, yr hen a'r newydd. Adeiladwyd y ddinas newydd gan y Tartariaid, ac ynddi hi y mae y palas breiniol, ac o herwydd hyny y gelwir hi Nuy-ching [y ddinas dumewnol], ac y gelwir yr hen ddinas, yr hon sydd yn gorwedd i'r deau, Wae-ching [y ddinas allanol].

Mae Pekin yn ddinas fawr iawn, a dywedir ei bod yn sefyll ar dir dros 27 milltir o amgylchedd. Cwmpasir hi hefyd gan fur uchel a chadarn—llawn ddeg troedfedd ar hugain o uchder, ac ugain troedfedd o drwch; ac y mae naw o byrth eang yn arwain i mewn iddi, yr hyn a ddwg i feddwl yr ymdeithydd orwychder a chadernid yr hen Fabilon gynt. Ffos ddofn wedi hyny, o'r tu allan i'r muriau, o amgylch y ddinas, a chwanega at ei chadernid; ac yn ol barn y Tartariaid a'i gwna yn anoresgynadwy. Mae y muriau hefyd yn dryfrith o dyrau uchel a chryfion, y rhai a fyddai yn wasanaethgar iawn i osod magnelfeydd (*batteries*) lawer i wrthsefyll y gelyn.

Mae heolydd y ddinas, y rhai a arweiniant i'r pyrth, yn llydain iawn, ac ar bob tu iddynt y mae rhesi o dai isel, a gwael yr olwg arnynt; a chan nad oes na phalmant na cherig nadd wedi eu gosod arnynt, prin y gellir myned ar hyd-ddynt pan fyddo y tywydd yn llaith ac yn wlawog; o herwydd rhyw amgylchiadau fel hyn a'u cyffelyb, nid yw teithwyr yn cael eu siomi yn fwy wrth fyned i mewn i un ddinas ag i Pekin. Wedi iddynt syllu ar y ddinas o bell gyda syndod a rhyfeddod; a chyda yr elont unwaith trwy y porth y mae y golygfeydd gorwych, a phob prydferthwch dymunol yn diflanu yn hollol; ac ni bydd ond y lluaws ar yr heol, a diwyg eu gwisg, yn peri iddo feddwl mai yn China y bydd.

Adeiladwyd y ddinas yn bedeirongl, i wynebu pedwar chwarter y byd, ac yn cynnwys tri man cauedig, y naill o fewn y llall. Yn y nesaf i mewn y mae y palas breninol, ac yno y mae ei Fawrhydi yr Ymerawdwr, a'i deulu, yn cyfanneddu. Y nesaf i hyny, er ei bod wedi ei bwriadu yn breswylfa i brif swyddogion y palas, a anneddir yn awr gan rai Chineaid diwyd; a'r nesaf allan yw y ddinas gyffredinol. Mae y mur sydd yn amgylchu y palas breiniol wedi ei wneuthur â phriddfeini melynion, ac yn dryfrith o dyrau uchel, wedi eu hadeiladu â chydwast drwydd cywrain, yr hyn a rydd i'r fan olwg brydferth a gorfoneddig. Mae yr holl rodfeydd sydd yn arwain i'r prif neuaddau *(halls)* wedi eu llorio â cherig mawrion, gwynion a llwydion. Y Wao-mun, neu y porth canol, ydyw y gwychaf o honynt oll; ac nis gall neb ond yr ymerawdwr ei hun fyned trwy hwn; a pha bryd bynag yr anrhydedda efe y fan hon â'i bresennoldeb cenir cloch fawr sydd yn y twr uwch ben y porth i arwyddo hyny. Yn y porth hwn y bydd efe yn rhanu rhoddion i'r Cenadon Tramorawl, yn syllu ar y caethion, ac yn dangos trugaredd. Yn y porth a elwir Tae-homun [porth y cytundeb mawr] y bydd yr ymerawdwr yn derbyn anerchiadau ac ymweliadau o anrhydedd. Adeilad harddwech ydyw, yn llawn gant a deg o droedfeddi o uchder.

Mae lluaws o neuaddau eang hefyd yn perthyn i'r palas, yn y rhai y cyflawnir amryfal seremoniau, a gelwir dwy o honynt Chung-ho-teen a Paouho-teen, ond nis gall neb fyned i mewn i'r Keen-tsing-kung, ond a gaffo alwad neillduol. Gelwir y palas hwn yn *balas yr orphwysfa nefol*, canys dyna ydyw ystyr yr enw. Yma hefyd yr ymgyfarfydda y Cyfrin-gyngor, ac ymgeiswyr am swyddau i dderbyn eu penodiad. Dwy waith o fewn côf yr agorwyd ef yn rhydd i bawb; unwaith pan y gwahoddodd Kang-he bawb ag oedd wedi gadael ei driugain mlwydd oed; a thro arall pan roddes Keen-lung gyffelyb wahoddiad i rai yn ei henaint.

Y Kwan-ning-kung ydyw palas yr ymerodres, wrth ba un y mae gardd flodau eang. Yn nglŷn a'i phalas hi y mae y llyfrgell, yn cynnwys y rhan fwyaf o'r llyfrau a gyhoeddwyd yn yr ymerodraeth. Gan fod yr ymerawdwr a'r ymerodres yn cael eu hystyried yn gynnrychiolwyr nef a daear, y mae y geiriau Keen a Kwang yn gwahaniaethu eu palasau. Yn y Fung-seen-

teen y mae cof-adeiliau yr Ymerawdwyr a fyddant wedi meirw yn cael eu cadw; ac yma y bydd yr ymerawdwr yn penlinio o'u blaenau, i'r dyben o ddangos ei dduwiolfryd, ac i deilyngu eu bendithion. Cyfanneddir chwech o balasau gan y boneddigesau breiniol, un gan oruchwylwyr yr ymerawdwr, ac ereill at gyffelyb wasanaeth. I ni, yr Ewropeaid, ymddengys yr adeiladau yn hardd y mae 'n wir; ond y Chineaid a gyfrifant iddynt ardderchogrwydd annrhaethadwy.

Yr ail fan cauedig a elwir Hwangching [y ddinas ardderchog] sydd chwe milltir o amgylchedd, ac a gwmpasir â mur ugain troedfedd o uchder. Y mae y ddinas hon wedi ei haddurno, neu yn hytrach ei gwarthruddo, â lluaws mawr o demlau cyssegredig i'r eilundduwiau. Yma y gwelir y Shay-tseihtan, allor fawr a gyfodwyd o barch i dduwiau y tir a'r grawn—y duwiau mwyaf cyssegredig—a bennodwyd gan y breninoedd hynaf i fod yn wrthddrychau addoliad. Oddi wrthynt hwy, medd y Chineaid ofergoelus, y mae holl fendithion y wlad yn disgyn, er nad ydynt, wedi y cwbl, ond rhyw ddynion enwog wedi eu pennodi yn dduwiau. Y mae y cynhauaf toreithiog, y pren blodeuog, yr ystorfa lawn, oll yn rhoddion Shay-tseih, duwiau y Chineaid. Gwyneb yr allor sydd wedi ei wneuthur o bridd aml-liwiawg: y tu gogleddol sydd o liw du—y deheuol yn goch—y dwyreiniol yn wyrdd—y gorllewinol yn wyn—a'r canol yn felyn. Ond pa fodd bynag nid yw "mab y nef," fel y geilw yr ymerawdwr ei hun, yn rhoddi cwbl ymddiried am ddiogelwch yn yr eilunod gorwael hyn, ond y mae ganddo arfdŷ eang wedi ei adeiladu yn eu hymyl, lle y mae pob peth yn barod at amddiffyn y wlad.

Y mae yr ymerawdwr yn treulio ei oriau segur yn y parciau, a'r gerddi, a'r hafdai prydferthawl. Y mwyaf enwog o'r rhai hyn yw King-shan, bryn dyrchafedig, wedi ei hulio â cypreswydd; a'r Se-yeun, neu y parc gorllewinol, yn yr hwn y mae llyn mawr gwneuthuredig gan ddynion, hafdai heirdd, ac adeiladau cywrain. Etto y mae yr ymerawdwyr wedi ymroddi cymmaint at ryw fath o drefn filwraidd, fel ag y cynnelir yn y parciau hyn yr ymgeisiadau blynyddol ym mhlith y milwyr am ryw ddyrchafiad yn y fyddin.

Yn un o'r temlau hefyd y mae y ddelw fawr Budhu yn cael ei dangos. Er fod y duw hwn wedi cael ei gyhoeddi gan y llywodraeth Chineaidd yn anghyfreithlon, ac o ganlyniad yn ysgymunedig, pa fodd y bu iddo, er hyny, ennill mynedfa i'r ddinas freiniol, a sefyll yno yn ngwyneb pob gwaharddiad, ni ellir penderfynu.

Byddai yn ormod gorchwyl o lawer geisio darlunio yr holl adeiladau, pan y mae y palasau eu hunain uwchlaw dau gant. Ond er y cwbl y mae yno rai palasau gorwael iawn, a gellid camgymmeryd ambell ardd am blanigfa wael, ïe, gwelwyd rhai o'r gerddi breiniol yn llawn drain a mieri. Er hyny y mae gerddi prydferth Yuenming-yuen yn peri i'r ymdeithydd sylwi arnynt gyda boddhad. Yn y gerddi hyn, mewn adeiladau yn perthyn i'r palas, y mae y pum brawdle mawr, ag sydd yn penderfynu holl achosion pwysig y wlad, yn eistedd. Y coleg meddygol, y bwrdd astronomyddol, a'r orsyllfa (*observatory*) freiniol, ydynt oll ar gyffiniau y gerddi hyn. Ond nid oes yr un sefydliad yn taflu mwy o urddas ar y ddinas hon na Han-lin-yuen [y coleg gwladwriaethol] lle y mae holl ddysgeidiaeth a lleenyddiaeth Chineaidd yn cael ei gyfranu. Ac yma hefyd y mae uchel swyddwyr yr ymerodraeth yn trigo. Y mae dysgeidiaeth Mantchooaidd, Chineaidd, a Russiaidd, yn blodeuo ynddi. Yn agos iddi y mae teml Dyrcaidd, Eglwys Roegaidd, capel Pabaidd, a themlau eilunod, yn gymmysg a'u gilydd, fel pe byddai yno berffaith ryddid crefyddol: ond y mae yno un deml yn eisieu, sef teml wedi ei chyssegru i'r unig wir Dduw, a'r Arglwydd Iesu Grist.

Soniwyd eisoes am Tae-ho-teen [neuadd y cytundeb mawr] ond ni ddarluniwyd etto yr orsedd freiniol, a neuadd eang y gwrandawyr, yr hon sydd ynddi. Mae y neuadd hon yn gant a deg troedfedd ar hugain o hyd, ac agos yn ysgwar. Y mae y ddraig freiniol —arwyddnod swyddawl "plentyn y nefoedd"—wedi ei harliwio ar y nen; ond nid yw y muriau ond wedi eu gwyn galchu yn unig. Mae yr orsedd wedi ei dyrchafu ychydig droedfeddi oddiar y llawr, a dim ond un gair wedi ei argraffu arni, sef Shing, yr hyn a arwydda ***sanctaidd***, neu ***ddoeth***. Pa un a bod yr ymerawdwr yn eistedd arni ai peidio bydd y penaethiaid yn curo eu talcenau ar y llawr o'i blaen, i ddangos eu parch a'u hymlyniad wrth ei Fawrhydi galluog. Er cadw trefn ymblith y lluaws ag a fydd yn cyrchu yno gellir gweled taflenau copr wedi eu sicrhau

wrth y llawr, ac yn argraffedig arnynt enw ac urddas pob swyddog, ynghyd â'r gair Ko-tow [curwch y pen] fel y gallo pob un gael digon o le i ymgrymu i lawr heb wasgu ar ei gymmydog.

Yn agos i'r palas hwn y cedwir ystorfa helaeth o aur, ac arian, ac ifori, a phethau gwerthfawr ereill, ac nid agorir y trysorau hyn un amser ond pan fyddo yr ymerawdwr yn esgyn i'r orsedd, neu ynte pan yr anrhydeddir rhyw foneddiges â'r urddas o fod yn ymerodres.

Mae llawer o demlau ereill i'r ddraig yn y ddinas Chineaidd, y rhai a ymwelir yn awr ac yn y man gan ei Fawrhydi, yr ymerawdwr. Yn Teen-tan, neu yr allor nefolaidd, yr addolir yr wybren las. Y mae hon yn adeilad brydferth ryfeddol, a'r mur o'i hamgylch oddeutu hanner milltir o gwmpas; rhwng hon a'r ffos nesaf allan ag sydd yn ei hamgylchu, y mae tô yn cael ei gynnal gan gant a thriugain o golofnau. O flaen y prif borth, ar y llaw chwith, y mae adeilad fechan â delw o bres ynddi, yn arddangos dyn mewn myfyrdod dwys, ac ar y llaw arall cofddarlun o amser. Yma y bydd yr ymerawdwr ei hun yn aberthu yn y gauaf i'r wybren las.

Y mae y Seen-nung-tan wedi cael ei adeiladu o barch i ddyfeisydd amaethyddiaeth; ond y mae gan ysbryd y nef a'r ddaear, a'r blaned Jupiter hefyd, bob un ei allor. Y mae aberthau hefyd yn cael eu hoffrymu o'u blaen i'r pum mynydd cyssegredig, i'r pum mynydd penaf, a'r pum mynydd cyffredin: pa beth y mae y rhai hyn yn ei arwyddocau anhawdd yw esponio, a pha beth sydd a fynont âg amaethyddiaeth nis gellir penderfynu. Ac hefyd nid yw hyn yn ddigon. Y mae gan yr afonydd eu cynddrychiolwyr, ac y maent yn derbyn eu hoffrymau rheolaidd oddiar ryw allor neu gilydd, lle y mae eu ffurf a'u llun wedi eu cerfio. Ond er y cyfan nid oes yr un man mor nodedig a'r maes y bydd yr Ymerawdwr yn aredig ynddo bob blwyddyn. A'r grawn a dyf wedi llafur yr ymerawdwr a ystyrir yn llawer rhagorach na dim grawn arall, ac a arferir i wneuthur teisenau bychain i'r offrwm a offrymir i'r nefoedd.

Mae dinas Pekin yn dwyn holl nodau dinas â'i phreswylwyr yn hynod mewn diwydrwydd, ac yn parhaus ymgyrhaedd am gyfoeth. Y mae masnach a masnachwyr i'w gweled yimhob congl o honi. Mae llawer o filwyr hefyd ynddi i gynnal trefn, &c. ac er hyny mae Pekin yn llawn o bob aflendid a llygredigaeth.

Barna rhai fod dinas Pekin yn cynnwys oddeutu dwy filiwn o drigolion, hyd yn hyn yn byw mewn eithaf tywyllwch eilunaddoliaeth ac ofergoeledd: ac er bod yno luaws o binaclau a thyrau nid oes na phinacl na thwr yn arddangos teml i'r Goruchaf ynddi—ac er eu mynych aberthau i'r nef ac i'r ddaear, y mae Arglwydd nef a daear yn "Duw nid adwaenir" yn eu canol—ac er mor sanctaidd y cyfrifant y pymtheng mynydd a addolant, ni chyssegrwyd eu mynyddoedd â "thraed yr un efengylwr yn cyhoeddi heddwch"—ond yn y dyddiau hyn, pan y mae y cleddyf dur ar gael ei roddi yn y wain, anfoned y Cymry fonllef daer i'r nefoedd, am i'r Arglwydd yn ei nerth ymweled â China, yna aiff yn gynnwrf drwy yr ymerodraeth eang i gyd. Cenadon yn cynniwair o'r naill ben i'r pen arall o honi—y duwiau yn pydru ar eu gorsafion—y temlau dan ddwylaw amser yn adfeilio—a baner Calfaria yn chwareu yn yr awel ar bob bryn dyrchafedig, ac ar bob twr uchel ar eu mur eang-faith—a miliwnau China yn Gristionogion mewn gwirionedd, a IESU yn frenin arnynt oll.—*Allan o waith Gutzlaff.*

*Caerlleon.* TEGIDON.

---

## LLYTHYRAU, &c.

### "YSTORFA Y BEDYDDWYR."

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

SYR,—Byddaf yn ddiolchgar i chwi os rhoddwch le yn eich Cyhoeddiad clodwiw i'r Ysgrif isod, a anfonais i "Ystorfa y Bedyddwyr," yn atebiad i Ysgrif sydd yn y Cyhoeddiad hwnw am fis Awst, 1840. Darfu i Olygwyr y Cyhoeddiad hwnw, yn Rhifyn Mehefin, ddywedyd y cawn bob tegwch; ond y mae yn debyg mai haws addaw na chyflawni. Ond gan nad oddiar ba egwyddor y maent yn methu cyflawni eu haddunedau, hwy sydd i edrych at hyny; ond rhag digwydd iddynt ddywedyd yr hyn nad yw gywir; ac i ereill, yn eu hanwybodaeth, roddi cred iddynt; ac am fod amryw yn dymuno gweled fy llythyr atynt wedi ei wneuthur yn gyhoeddus, cymhellwyd fi i'w anfon i chwi, gan obeithio y rhoddwch le iddo yn eich Cyhoeddiad.

AT OLYGWYR "YSTORFA Y BEDYDDWYR."

Hynaws Olygwyr—Yr wyf yn cymmeryd fy nghenad i'ch cyfarch unwaith etto âg un Ysgrif yn ychwaneg ynghylch y ddadl sydd rhyngof a chwi am feddwl yr apostol yn Rhuf, 6. 4.

Y peth blaenaf a welaf yn eich sylw yw, eich rheswm am beidio a dodi fy llythyr blaenaf oll i mewn. Mae'n rhaid i bawb wneud rhyw esgus er amddiffyn ei hun. Nid oeddych yn gweled yn gymmwys i gymmysgu y cyhuddiad a meddwl yr apostol! Onid am feddwl yr apostol, yn y lle hwnw, yr oedd yr holl ddadl; a hyny wedi deilliaw oddiwrth fod rhywun ffol wedi coffau y geiriau dros ddull claddu mewn dwfr fel yr unig ddull iawn o fedyddio, ac nad oedd neb yn Fedyddwyr ond a wnai felly. Ac er profi hyny y dywedodd wrthyf, "*Claddwyd ni gyd âg ef trwy fedydd i farwolaeth*;" a'r ateb a roddais iddo yn ol oedd yr hanesyn, neu y chwedl, sydd yn fy llythyr cyntaf atoch. Ac adrodd yr ymddiddan â'r gwr, pan yn Llanelli, mae'n debyg, yw y trosedd mawr! ond bydded hysbys i chwi os coffa neb i mi Rhuf. 6. 4. dros gladdu corph naturiol y bedyddiedig mewn dwfr i farwolaeth, y coffâf yr hanesyn hwnw etto. Nid oes eisieu i chwi dramgwyddo wrth hyny, oblegid nid ydych chwi yn credu hyny; meddwch chwi yn eich hysgrif; oblegid pan ofynais y cwestiwn, Pa reswm oedd gan neb dros ddewis y gair *claddu* yn *llythyrenol*, a gwrthod y gair *marwolaeth* yn *llythyrenol*, eich ateb yw, "NAD OES YR UN I'W GAEL." Yr oeddwn innau yn meddwl hyny. Ond meddwch, "Pwy a ddywedodd wrthyf fod y naill i'w gymmeryd yn llythyrenol, a'r llall yn gyffelybiaethol? nid neb o'r Bedyddwyr ond odid." Yr wyf yn ateb mai y gwr y bu yr ymddiddan rhyngof âg ef a'u coffaodd dros y dull o gladdu corph naturiol y bedyddiedig mewn dwfr, oedd yn eu cymmeryd yn llythyrenol. Oblegid pan goffeais yr hanesyn iddo ymddangosodd fel un wedi gweled ei gamsynied.

Pa un ai un o'r Bedyddwyr oedd ni ofynais i mor cwestiwn iddo. Ac, meddaf etto, mor belled ag yr wyf fi yn eich deall nid ydych chwithau yn golygu y dylid cymmeryd y geiriau yn llythyrenol, am gladdu corph y bedyddiedig mewn dwfr. Yr wyf yn hollol o'r un feddwl â chwi yn hyn; a pha raid oedd i neb oedd o'r farn hon dramgwyddo pe buaswn yn ei hadrodd yn St. Paul yn Llundain.

Dywedech, "Pe barnwn yn addas i ymgynghori â dynion o'r cyfenwad hwnw (sef y Bedyddwyr) yr hysbysent i mi mai claddu cyffelybiaethol yn y bedydd, ac mai marw i bechod sydd yn ngolwg yr apostol; ac nad oes achos dirdynu ei ymadrodd mewn trefn i gael allan yr athrawiaeth y mae yn ei dysgu: eithr fod yr holl ddyryswch yn cyfodi yn fy meddwl i wrth geisio ei chysoni â'r arferiad lygredig o daenellu yn lle gweinyddu bedydd yn ol y cynllun apostolaidd." Pa gynllun yw hwnw yn ol ymresymiad yr apostol yma? oblegid y mae yma gymmysgedd o gyffelybiaethau. Paham y dewiswch y gair claddu, yn hytrach na'r gair plannu?

Medd un awdwr enwog, "Yn Rhuf. 6. 3, 4, 5. y mae yr apostol yn cynghori yn y gwrthwyneb i bechod, ac yn annog i sancteiddrwydd ac ufudd-dod newydd. Nid oes yno un gair, nac un adroddiad, ag sydd yn crybwyll am unrhyw gyffelybrwydd rhwng trochi mewn dwfr a marwolaeth a chladdedigaeth Crist—ddim un gair ag sydd yn crybwyll am gyffelybrwydd rhwng ein cyfodiad o'r dwfr ag adgyfodiad Crist. Bod wedi ein claddu gydag ef trwy fedydd i farwolaeth (adn. 4.) yw bod wedi ein gwneud yn gydblanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, (adn. 5.) Bod wedi ein gwneud yn gydblanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef ydyw, nid bod wedi ein trochi mewn dwfr, eithr croeshoelio yr hen ddyn (adn. 6.) Nid bod wedi ein cyfodi odditan y dwfr ydyw bod wedi ein cyfodi gyda Christ, eithr ein bod yn rhodio mewn newydd-deb buchedd, (adn. 4.) trwy rinwedd adgyfodiad Crist." 1 Petr 3. 21.—*Y Parch. J. Munro ar Fedydd, tu dal.* 147.

Medd awdwr arall, "Mae dull ymadrodd ar ba un y mae y Bedyddwyr yn gosod cryn bwys fel yn ffafrol i'w hymarferiad o drochi; yr hyn a geir mewn dwy ysgrythyr. Yn y ddwy y dywedir ein bod wedi ein claddu gyda Christ yn y bedydd: ac oddiyma y casglir y dylem gael ein bedyddio trwy drochi, yr hyn yn unig sydd gyffelybiaeth o gladdedigaeth. Cewch y naill ysgrythyr yn Rhuf. 6. 4. a'r llall yn Col. 2. 12. Mae ymddangosiad o blentynrwydd wrth esponio yr ymadroddion felly, sydd yn amlwg yn ffugurol. Yn yr epistol at y Rhufeiniaid y dywed yr apostol ym mlaenaf ein bod wedi ein bedyddio i farwolaeth Crist; ac yna ychwanega ein bod wedi ein claddu gyd âg ef trwy fedydd, gan gyfeiriaw, nid at y dull ond at arwyddocad yr ordinhad, trwy yr hyn yr arwyddoceir ei awdurdod. Yn yr adnod nesaf o gwbl y mae yn defnyddio yr un drychfeddwl trwy gyffelybiaeth arall, pan y dywed ein bod wedi ein gwneud yn gyd-blanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth. Pa fodd y dychymmygwyd fod y naill gyffelybiaeth yn cyfeirio at ddull bedydd yn amgen na'r llall? Paham y dylai ymdebygoli i gladdu yn fwy nag i blanu? Pa reswm a ellir ei roddi dros ymaflyd yn y naill ddywediad o flaen y llall, ond dymuniad i ddal i fynu ryw dyb? Oni fyddai yn fwy cyson â nodweddiad esponwyr gonest a gwybodus o'r ysgrythyrau i benderfynu, gan fod yma gymmysgedd o gyffelybiaethau, nad oedd yr apostol yn cyfeiriaw at unrhyw ddefod allanol; a'i fod yn unig yn meddwl wrth y ddwy, fod bedydd yn arwydd o'n cymdeithas â Christ yn ei farwolaeth. Heblaw hyny, mae y Bedyddwyr yn myned yn mlaen gyda drychfeddwl gwyrgam am gladdedigaeth ein Hiachawdwr, i ba un y mae yn beth dieithr, fod neb wedi syrthio iddo ag sydd wedi darllen y Testament Newydd gyd âg

unrhyw radd o ddwysder. Ymddengys eu bod yn meddwl iddo gael ei gladdu yn ol dull ein gwlad ni, lle y gellir dyweyd fod y corph marw wedi suddo yn y ddaear; oblegid ei fod yn cael ei ollwng i wared i'r bedd, ac yn aml ei orchuddio â phridd. Pe buasai i'w gorph gael ei ddaearu, gallaswn ddychymygu rhyw debygolrwydd rhwng ei gladdedigaeth a soddiad y bedyddiedig yn y dwfr, ond nid oes dim sydd bellach oddiwrth y gwirionedd. Bedd Crist oedd ystafell wedi ei naddu allan o'r graig, gwaelod pa un oedd gyd-wastad â'r llawr, neu ond ychydig is-law yr arwyneb, yr hon oedd mor eang fel y gallasai un eistedd, neu sefyll yn syth ynddi. Yma y gosodwyd ei gorph, ac a orchuddiwyd â'r dillad bedd yn unig. Dangosed y bedyddwyr bellach ryw debygolrwydd rhwng *plungio* y bedyddiedig i'r dwfr a chladdedigaeth Crist. Nid oes dim dau beth mwy annhebyg yn y byd, ac y mae y rheswm ffol (*silly*) hyn yn diflanu i fwg."—*Rev. Thos. Dick, D.D. Lectures on Theology*, Vol. 4. page 155, 156.

Pa fodd y mae neb yn dywedyd fod yma gyfeiriad at ddull cyntefig bedydd, nis medraf fi ddeall. Ai dull cyntefig bedydd oedd claddu mewn dwfr i farwolaeth? Hynod yr anffawd i'r apostol gysylltu y gair marwolaeth a'r gair claddu yna. Os credir fod yma gyfeiriad at ddull cyntefig bedydd, byddai yn dda genyf cael gwybod yn mha le yn y Bibl, y coffeir am y dull cyntefig hyny o gladdu trwy fedydd i farwolaeth. Darllenais am fedyddio y Tadau oll i Moses yn y cwmwl, ac yn y môr, 1 Cor. x. 2. A gobeithio y rhoddwch gymmaint cred i'r dwyfol ddatguddiad, ac y cyfaddefwch, mai nid trwy drochi eu cyrph yn y cwmwl na'r môr y bu y bedyddio hyny; oblegid dywed Moses a'r apostol iddynt fyned trwy y *môr ar dir sych*. Exod. xvi. 21, 22. Heb. xi. 29. Ac y mae yn rhaid i chwi gredu mai trwy daenellu ac nid trwy drochi eu cyrph yn y môr, y bu y bedyddio hyny, os credwch eiriau amlwg ac eglur y Bibl. Nid yw Moses na'r Apostol yn coffâu y dull, ond y mae y Salmydd yn coffâu y dull yn amlwg. Psal. 77. 15—20. "Y cymylau a dywalltasant ddwfr."

Mae yn amlwg yn yr hanes a gawn yn Exodus a'r Hebreaid, mai yr Aiphtiaid, ac nid Israel, a gladdwyd yn y môr, ïe, i farwolaeth. Gobeithio nad ydych yn credu mai at y claddu yna y mae yr Apostol yn cyfeiriaw yn Rhuf. vi. 4.

Gellir meddwl mai annysgedig ac anwastad yw pawb nad yw yn credu mai cyfeiriad at ddull bedydd sydd yn y geiriau dan sylw. Ai annysgedig ac anwastad y cyfrifwch yr enwog T. Scott? Ai annysgedig ac anwastad y cyfrifwch yr enwog Matthew Henry, y Dr. Dwight, Dr. Dick, y Parch. J. Munro, &c.

Gadawaf i'r darllenydd i farnu, pa un ai dan y gair Bedydd, neu dan y gair Claddu, mae y Parch. T. Charles, o'r Bala, yn esponio y geiriau. Dybenaf yr ysgrif hon etto, gan ddymuno pob llwydd i bawb o honoch sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb, hyd onid ymgyfarfyddom oll mewn undeb ffydd.——Ydwyf, yr eiddoch yn rhwymau yr efengyl,

*Talgarth.* WILLIAM WILLIAMS.

---

## NAWFED LLYTHYR IORWERTH

*At ei Gyfaill, ar ei neillduad yn Henadur Eglwysig.*

FY HOFF GYDYMAITH.—Yr wyf mewn dull tra amherffaith wedi myned dros y cymmwysderau y cynghorodd Jethro i Moses ymofyn yn y rhai a neillduid yn henuriaid y bobl. Y mae yn llawn bryd erbyn hyn, wneud ychydig sylw ar waith y swydd. Yr wyf yn cydnabod fod y sylw hyny wedi ei wneyd mewn rhan, yn enwedig o ran y gwaith mwyaf ysprydol o honi, yn yr ymdriniaeth a'r cymhwysderau angenrheidiol iddi. Etto y mae llawer o bethau ag sydd yn gwir deilyngu ystyriaeth y blaenor heb gyffwrdd a hwy hyd yn hyn; a'i swydd yw edrych atynt, a mynu gweled fod y cwbl yn trafaelu yn y blaen, mewn modd gweddus i'r efengyl. Y mae yn wir, nad yw yr un gwaith yn hollol yn syrthio i ran y blaenor gyda phob enwad crefyddol, a hyny o herwydd yr ychydig wahaniaeth sydd yn hanfodi rhwng yr amrywiol bleidiau, mewn perthynas i natur a threfn eglwysig. Nid fy mwriad i yn bresennol yw gwneud un sylw ar ddull na threfn neb dynion, ond yn unig nodi rhyw bethau sydd yn naturiol yn syrthio i ddwylaw y blaenor yn ol ein dull ni o ddwyn pethau yn y blaen.

Y mae yn ymddangos fod yr achos yn ei holl gylch, yn dufewnol ac yn allanol, yn gorphwys mwy ar y blaenor gyda y Trefnyddion Calfinaidd nag un enwad crefyddol arall; a hyny o herwydd nad yw'r weinidogaeth yn sefydlog. Y Pregethwr nid ydyw nemawr yn fwy cartrefol o ran ei weinidogaeth, yn yr ardal y mae yn byw na rhywle arall, ac ni ymddiriedwyd yr eglwys hono iddo mwy nag eglwysi y wlad yn gyffredin; o ganlyniad, y mae pob gwaith yn syrthio ar y blaenor, ond yn unig pregethu a gweinyddu yr ordinhadau. Wrth ddywedyd felly, nid wyf yn meddwl nad oes awdurdod blaenor gan y Pregethwr gyda phob peth, ond rhaid yw cael dynion i ymaflyd yn y gwaith yn ei holl ranau, yn gymmaint a bod y weinidogaeth mor ansefydlog. Y mae ambell flaenor yn ystyried y pregethwr cartrefol fel caethwas yn rhwym at ei wasanaeth ef yn mhob peth. Pan y bydd rhyw un wedi methu dyfod at ei gyhoeddiad, fe ymafla yn y Preg-ethwr gan ei gyfeirio at ddrws yr areithfa, a dywedyd, cerddwch i ddyweyd tipyn; a'r dyn druan heb feddwl

am ddim ond gwrando yr oedfa hono. Ymddygiadau ambell un sydd yn dyweyd, nad oes eisiau ymgynghori a'r Pregethwr yn nghylch dim perthynol i'r eglwys, yn gymmaint a'i fod ef yn flaenor, bod pob awdurdod yn gynnwysedig yn ei enw. Yn debyg i hyn y mae pawb o'r dosparth hyny o ddynion, "sydd yn chwenych y blaen." Nid gwaeth ganddynt hwy, yr wyf yn coelio, pwy ddryllir, na pha rwystr a deflir ar ffordd achos crefydd i drafaelu, ond iddynt hwy gael y blaen. "Y blaen" yw eu dyben hwy gyda phob peth. Hyny sydd yn eu cynhyrfu at bob gorchwyl crefyddol. Ac os na chant wneyd rhyw beth yn y blaen, nis gwnant ddim.

Fy nghyfaill, beth bynag a fyddot yn ei wneud, amcana yn deg ei wneud er gogoniant i Dduw. Gwna tros Dduw, oddiar egwyddor o ufudd-dod i Dduw, a llesiant ei deulu yn gyffredinol, heb un olwg am fod yn flaenaf yn fwy nag yn olaf. Ymgynghora yn fwynaidd ac efengylaidd â'th frodyr swyddol, am bob peth; fel y byddoch yn gyd-lafurwyr, ac yn gydweithwyr yn ngwinllan Crist. Ac yna gellwch gyd-addoli, cydfwynhau, a chydorphwyso oddiwrth eich llafur. Y mae llawer wedi meddwl dyrchafu eu hunain wrth ddiystyru eraill, ond yn gyffredin ti weli yr yspryd hyny yn rhagredegwr sicr i gwymp. Peth eithaf chwithig yw bod un blaenor yn taflu matterion o bwys ger gwydd ystyriaeth yr eglwys heb yn wybod i'w gyd-flaenoriaid. Bydd hyny yn tori'r heddwch, ac yn dryllio y cyfeillgarwch a ddylai hanfodi rhyngddynt, yn nghyd ag achosi ymbleidiau, a allasid yn hawdd eu hattal pe buasai llwybr doeth wedi ei gymmeryd wrth ddechreu. Yr ydym yn cael fod yr apostolion a'r henuriaid yn ymgynghori am bob peth o bwys, mewn perthynas i athrawiaeth a disgyblaeth, a thrwy hyny yn cael eu gwaredu rhag llawer o bethau y buasent o angenrheidrwydd yn syrthio iddynt. Pan yr oedd ymryson yn nghylch yr enwaediad wedi ymlusgo i'r eglwys, a llawer o ymddadleu y naill ffordd a'r llall, "ordeiniwyd fyned o Paul a Barnabas, a rhai eraill o honynt i fynu i Jerusalem, at yr apostolion a'r henuriaid yn nghylch y cwestiwn yma."

Yr wyf yn awr yn syrthio bron yn ddiarwybod ar ben y rhan hyny o'th orchwyl, sydd yn dal perthynas a'th swydd, sef disgyblu. Y mae y gair yn golygu dysgu, ac y mae pob goruchwyliaeth sefydledig yn eglwys Crist, beth bynag fydd ei natur, yn tueddu i ddysgu enaid i ymado oddiwrth anghyfiawnder. Y mae yn ofynol dy fod wrth ymaflyd mewn gorchwyl o'r natur hyn, yn ystyriol a phwyllog iawn, yn meddiannu dy hun mewn sobrwydd a pharchedig ofn ger bron Duw, rhag i ti ruthro i orsedd, na fwriadodd Duw i neb ond ei hunan, a thrwy hyny, distrywio eneidiau dynion ac nid eu gwella, ac yn "difetha y brawd gwan, dros yr hwn y bu Crist farw. A chan bechu felly yn erbyn y brodyr, a churo eu gwan gydwybod hwy, byddi yn pechu yn erbyn Crist." Pan na fyddo dim yn muchedd brawd, yn groes i air Duw, er fe allai y byddo yn dywyllach nag a fyddai dymunol mewn profiad, gwell i ti beidio bod yn llawdrwm iawn. Mae bod yn arw, yn swrth, ac yn drwsgl, wedi bod yn fagl, yn dramgwydd ac yn rhwystr i ddynion gwan eu cydwybodau: pan y buasai ymdriniaeth ysprydol ac efengylaidd wedi eu harwain i dir gwell. Cymmer addysg oddiwrth ymddygiad Duw tuag at y gwan, a'r analluog. "A'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes, ac a goledda y mammogiaid." "Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded, gan eu cymmeryd erbyn eu breichiau." "Tynais hwynt â rhaffau dynol, â rhwymau cariad; ac oeddwn iddynt megis y rhai a godant yr iau ar eu bochgernau hwynt; a bwriais attynt fwyd." Dy swydd dithau yw casglu'r ŵyn, ac nid eu gwasgaru, eu dwyn yn dy fynwes, nid eu taflu i'r clawdd. Dysgu y plentyn i gerdded, ac nid ei guro am beidio cerdded, ymaflyd yn addfwyn yn ei law i'w gynhorth, ac nid rhoi gwthiad iddo yn mhellach. O'i cholli, gwell yw ei cholli'r ochr oreu. Byddai yn ddewisach genyf fi, fod yn rhy dyner lle byddai eisiau bod yn llym, nag yn rhy lym lle y byddai eisiau bod yn dirion.

Bydd angen arnat weddio llawer yn ddiau am gael meddwl Duw i'th ddysgu pa le y bydd eisiau 'r fwyall a pha le y bydd eisiau'r wialen. Y mae camsyniad yn hyn yn fater mwy pwysig nag y mae llawer wedi ystyried. Gochel fod yn rhy frysiog beth bynag i ddangos y drws i dy frodyr. Y peth cyntaf ar flaen tafod ambell un yw'r drws, pan mewn gwirionedd y dylai geisio cyfeirio ei frawd i bob man tebyg i'w wella cyn troi ei wyneb tua'r drws. Yn gyffredin y bobl hyn y rhai sydd mor barod i ddangos y drws i ddynion a anghytuno a hwy, feallai ond mewn opiniynau dibwys, a ddioddefant bechodau ysgeler mewn eraill, heb gymmaint a dangos y wialen iddynt. Y mae yn rhaid bod enaid dyn yn beth gwerthfawr o rad, a'i berthynas a byd tragywyddol yn dra dibwys, gan ddyn fel yna, pan y gall mor hawdd a rhwydd ddangos y drws am y peth nesaf i ddim. Y mae yn eithaf chwithig, onid yw, gweled dyn yn ymaflyd yn y fwyall, ac yn gollwng a'i holl nerth i dori y blewyn yn ddau, ac yn cymmeryd ei gyllell i geisio tori y dderwen ganmlwydd, a'i rhoddi yn gydwastad a'r llawr. Neu gymmeryd pastwn i ladd chwanen ar dalcen dyn, ac yn defnyddio ond ei ddwrn i daro y tarw i'r llawr. Pwy yn ei synwyr a feddyliai gymmeryd cleddyf i dynu y brycheuyn o lygad, pan nad oedd eisiau dim ond blaen pluen. Tynu'r llygad, ac nid y brycheuyn, y mae y rhai sydd yn defnyddio offerynau a moddion anghymwys.

Purion fyddai i'r cyfryw rai, roi ystyriaeth ddyladwy i'r ymadroddion pwysig hyny o

eiddo y Cyfryngwr: "A phwy bynag a rwystro un o'r rhai bychain hyn a gredant ynof fi, da fyddai iddo pe crogid maen melin am ei wddf a'i foddi yn eigion y mor." Gellid meddwl, wrth iaith yr ysgrythyrau, mai'r peth mwyaf anhawdd gan Dduw o bob peth yw rhoi pechadur i fynu, a'i droi dros y drws. Nid oedd creu byd nemawr o beth iddo, ond uwch ben pechadur y mae yn gwaeddi, "Pa fodd y'th roddaf i fynu Ephraim?" Defnyddiwyd pob moddion gan Geidwad pechadur ei hun, i ddwyn trigolion Jerusalem i ddiddosrwydd; ond gwrthod gwrando a wnaethant wedi'r cwbl. Etto, nis gallasai eu rhoi i fynu, a chynyg y drws iddynt, heb wylo dagrau heilltion uwch eu penau. "Ac wedi iddo ddyfod yn agos, pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti." Pwy bynag sydd yn medru edrych ar bechadur yn cael ei droi dros y drws, er fod gwir angenrheidrwydd am hyny, heb wylo drosto sydd hynod o ddideimlad. Ond y dyn sy â'r drws ar flaen ei dafod bob amser heb un angenrheidrwydd am hyny sy'n eithaf dideimlad, ac yn llwyr amddifad o'r hynawsedd hyny ag y mae y Bibl yn dangos sydd yn Nuw, ag o'r meddwl yr hwn a lettyodd mor fawreddog yn mherson y Cyfryngwr, yr hwn a barodd iddo ddarostwng ei hun, i osod pris ar eraill, a'u codi hwynt i fynu. "A fu ufudd" i faeddu cyndynrwydd dyn, "hyd angau," iddo ef gael byw.

Mae esampl Crist yn anffaeledig. Dilyn ef yw'r ffordd debycaf i droedio yn gywir, a pheidio cyfeiliorni mewn barn a bywyd. Pa le y gwelwyd ei gyffelyb mewn tiriondeb at bechadur? Pwy gydymdeimlodd gymmaint â'r gwan a'r digymmorth? Pwy fel efe mor dyner i drin clwyfau yr anafus? "Y gorsen ysig nis tyr, a llin yn mygu nis diffydd." Etto, pwy bregethodd mor llymed yn erbyn pechod yn gyffredinol, a phwy a argyhoeddodd o bechod mor ddiduedd yn bersonol. "O ragrithwyr," eb efe, wrth y Phariseaid, "chwi a fedrwch ddeall wyneb y wybren, ac oni fedrwch arwyddion yr amserau?"

Fy nghyfaill, wrth dy annog at arafwch a thiriondeb, nid wyf wrth hyny am i ti fyned heibio barn a chyfiawnder. Os bydd y Bibl yn dioddef o eisiau gweinyddu disgyblaeth llama yn blaid i'r gwirionedd, a cherydda y trosedd, er gorfod wylo uwch ben y troseddwr. Cadw y Bibl yn y tŷ, beth bynag fyddo raid ei fwrw allan. Y mae cadw dynion yn byw yn eu pechodau yn yr eglwys, heb ymaldwyn tuag atynt yn ol y rheolau dwyfol, yn ddiarddeliad o Fibl Duw; ac yn cau'r drws yn erbyn ei bresennoldeb grasol. Mae bod aelod eglwysig yn syrthio i ryw bechod ysgeler, megis meddwdod, godineb, &c. yn peri i elynion yr Arglwydd gablu, ond nid peri i Dduw ymadael os ymddygwyd tuag ato yn ol y dwyfol wirionedd. Gall fod pechodau yn yr eglwys, nad yw'r byd yn eu cablu, a Duw yn ymadael â'i dŷ o'i herwydd, a hyny am eu goddef yn ddigerydd. Y mae yn rhaid golchi budreddi merched Sïon, a charthu gwaed Jerusalem o'i chanol, cyn creu ar bob trigfa o fynydd Sion, ac ar ei gymmanfaoedd, gwmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nos: ac amddiffyn i gymmeryd lle ar yr holl ogoniant. Bydd lygeidiog i ganfod, a diwyd i "garthu allan yr hen lefain fel y byddoch does newydd; fel y galloch gadw gwyl, nid â hen lefain, nac â lefain malais a drygioni, ond â bara croyw purdeb a gwirionedd." Yr wyf yn meddwl y clywaf dy lais yn dyweyd yn ngwyneb yr ystyriaethau hyn, a'r cyffelyb, "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Rhaid cyfaddef nad oes neb yn ddigonol. Etto, âi trwyddi mewn ffordd ag y gelli roi cyfrif cysurus i'th Arglwydd, trwy ymlynu wrtho, a gweddio llawer arno am gyfran helaeth o'r "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw, sydd yn dysgu pob peth."——Dy gyfaill, &c.

IORWERTH GWLAD FORGAN

---

## LLYTHYR O BILSTON.

BARCH. SYR,—Gan fod achos y Cymry yn Birmingham, Bilston, a Walsall, yn dyfod yn fwy dan sylw eu brodyr yn y dywysogaeth; ac yn enwedig yr amcan o gael Capel iddynt yn Birmingham, diammeu mai da fydd gan lawer ddarllen yr hyn a ganlyn.

Yn yr wythnos ddiweddaf o Ragfyr, 1840, ymdrechwyd cael gwybod beth oedd barn y Gweinidogion ac ereill, a berthynent i'r amrywiol enwadau crefyddol yn y dref am y fath amcan.

Ysgrifenwyd Cyfarchiad byr, yn dangos fod heblaw y Cymry ag sydd wedi cartrefu yn y dref, ryw rai o'r newydd o hyd yn dyfod yno at yr amryw weithfaoedd, a'u bod dan yr anfanteision, ac yn y peryglon mwyaf, o ddiffyg moddion gras yn yr iaith a ddeallent, gan ddeisyf cael cefnogiad, ac hyd y gellid gynnorthwyon, at gael lle i'r Cymry i addoli yn eu hiaith eu hunain.

Mae y Gweinidogion a berthynat i undeb yr Arglwyddes Huntington, yr Annibynwyr, a'r Bedyddwyr, yn cynnal y Cyfarfod Gweddi Cenhadawl yn gylchynol yn eu hamrywiol Addoldai, y nos Lun cyntaf o bob mis; ac yn dyfod at eu gilydd i yfed *tea*, tua phump o'r gloch, fel y caffont gyfle i gyd-ymddyddan am achosion y Cyfarfod, neu unrhyw bethau eraill perthynol i deyrnas y Cyfryngwr. Y Cyfarfod hwn a gynnelid y pryd hyn, yn Nghapel y Parch. John Jones, mab y diweddar Barch. Thomas Jones, o Gaerfyrddin, yr hwn a wahoddodd Mr. Edward Price, a minnau, i'r Cyfarfod blaenorol; ac a ddangosodd ein neges i'r amrywiol Weinidogion, y rhai yn serchog a charedig iawn a gymeradwyasant ein hamcan, gan ei ystyried yn deilwng o gymmeradwyaeth gyffredinol. Ond cael rhoddion ato nid oedd yn ymddangos mor hawdd, a hyny o herwydd y mynych gyfraniadau

crefyddol oedd yn eu plith, a bod masnach yn llawer is yn y dref nag y'i gwelwyd amseroedd a aethant heibio. Er hyn y Parch. J. A. James, yn ei haelfrydedd, a ddywedodd, y rhoddai efe bum punt tuag at y fath achos daionus, er ei fod ef a'i gynnulleidfa yn ymdrechu talu dyled eu Capel newydd eu hunain, ac na fedrai braidd ganiatâu defnyddio ei enw fel cyfranwr, nac ychwaith fyned i blith ei gynnulleidfa i gasglu; etto yn wyneb ein dull ymbilgar dywedodd, dan wenu, nad oedd ganddo yr un llinyn a'r logellau ei gynnulleidfa. Mewn llythyr a ysgrifenodd y Parch. John Jones, yn rhoddi hanes y Cymry gyda phethau crefyddol yn y dref hon, er cymhorth i ni allu dangos ein hachos i weinidogion ac eraill, y mae yn dywedyd y rhydd yntau hefyd bum punt at y Capel. Trwy ymdrech llwyddasom i gael ein cyfarchiad o dan sylw y Parch. Thomas Moseley, un o weinidogion yr Eglwys Sefydledig, yr hwn ar ol ymofyn yn fanwl i'n hamcan, a'n llafur yn mhlith y Cymry, a ddywedodd, gan y gwyddai y byddai ei lawnodiad ef yn dwyn dylanwad o'n tu, er na roddai fel y ddau Weinidog arall, etto y rhoddai efe bunt at ein Capel. Y Parch. —— Macdonald, Gweinidog y Wesleyaid, hefyd, a addawodd roi pob cefnogiad i'n hamcan. Ar ol hyn cydunwyd ar le i adeiladu yn agos i ganol y dref fawr hon, mewn lle cyfleus; a chymmerodd Thomas James, Ysw., Cyfreithiwr, (mab i'r Parch. J. A. James.) arno ysgrifenu y *Lease* yn ol cynllun y Corph at hyn. Ar y cyfan, tybygid, y gellir dywedyd fod yr Hwn sydd â chalonau meibion dynion yn ei law yn gweithio o blaid ein brodyr Cymreig yn y dref bellenig hon.—Ydwyf eich gostyngedig ac anheilwng gyfaill,

RICHARD NEWELL.

## CYFRIF O'R CASGLIADAU.

ANWYL FRAWD.—Dymunwyd arnaf anfon cyfrif o'r hyn a dderbyniwyd o arian, at Gapel Birmingham, o wahanol Siroedd Gwynedd, yn Nghymanfa Abergele, Ion. 7. 1841, i'w gyhoeddi yn y Drysorfa; a hefyd yr hyn a dderbyniwyd o drefydd Lloegr; y mae y ceiniogau wedi eu casglu ynghyd yn llawer o bunnoedd.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Sir Fôn................. | £30 | 8 | 6 |
| Sir Gaernarfon .......... | 37 | 11 | 2 |
| Sir Ddinbych ............ | 21 | 0 | 11¾ |
| Sir Feirionydd .......... | 23 | 0 | 8 |
| Sir Fflint .............. | 14 | 12 | 4 |
| Manchester .............. | 14 | 8 | 0¼ |
| Liverpool ............... | 19 | 5 | 7 |
| Llundain ................ | 9 | 5 | 3½ |
| Y cyfanswm | 169 | 12 | 7½ |

Y mae casgliad Sir Drefaldwyn heb ddyfod i law etto, ac y mae cyfeillion yr Amwythig a Chaerlleon, heb gael amser cyfaddas i wneud y casgliad; ac er mai hwy yw yr olaf, y mae yn sicr, nad eu casgliad hwy fydd y lleiaf er mor haelionus y bu eraill, gobeithiaf y rhagorant arnynt oll. Yr ydwyf yn deall fod amryw o leoedd wedi gwneyd y casgliad, ond heb ei anfon i'r Trysorydd yn brydlon: dymunaf yn ostyngedig ar y cyfryw ei anfon mor fuan ag y gallont onite, efallai y cleddir ei weddillion yn marwolaeth, neu y rhoir ef at ryw achos da arall. Gellir ei anfon o Sir Ddinbych gyda'r Parch. William Jones, Rhuddlan; ac o Sir Drefaldwyn, gyda'r Parch. Robert Davies, Soar; ac o Sir Fflint, gyda'r Parch. Hugh Parry, Llanarmon.

EDWARD PRICE.

113, *Pope Street, Birmingham.*

## LLYTHYR

*Oddiwrth y Parch. John Davies, Cenadwr yn Ynysoedd Mor y De, at y Parch. J. Parry, Cyhoeddwr y Drysorfa.*

PAPARA YN TAHITI, EBRILL 2, 1840.

ANWYL SYR—Gan fy mod yn ysgrifenu atoch chwi fel Golygydd y Drysorfa, yr wyf yn gwybod y dylwn dalu y llythyrdoll; a'r esgus am nad wyf yn gwneuthur hyny yw, ei fod bron yn anmhossibl dan yr amgylchiadau yr wyf ynddynt yn awr. A'r esgus sy genyf am ysgrifenu yn Saesneg, yw, am fod hyny braidd yn fwy hwylus genyf yn awr—ac os bydd i chwithau farnu fy ngohebiaeth yn werth ei gyhoeddi, gwn na phetruswch roddi iddo wisg Gymreig amgenach nag y gallwyf fi ar hyn o bryd.

Er ys tro yn ol derbyniais o Lundain rai Cyfrolau o'r Goleuad, ac y'mhlith pethau ereill darllenais ynddynt rai llythyrau ar yr "Indiaid Cymreig," neu fel y gelwir hwy weithiau "Madogion," neu "y Madawgwys." Darllenais o'r blaen rai blynyddau yn ol yr hyn a gyhoeddodd Mr. Burder, a gwahanol bethau ereill, a ymddangosasant yn y Cyhoeddiadau Seisnig, a theimlais gryn ymlyniad wrth y pwnc; ac er bod rhai awduron Seisnig yn cwestiyno ynghylch cywirdeb yr hanes am Madog ab Owen Gwynedd yn ymweled â Chyfandir yr America; etto y mae nifer ac amrywiaeth yr hanesion hen a diweddar, yn gadael fy meddwl i heb ddim amheuaeth i orwedd arno nad oes y'mysg Indiaid Gogledd dir Amerig, lwyth, neu genedl, o hiliogaeth y Cymry, neu yr hen Frydeiniaid; er y gallai fod cryn amheuaeth a ydynt yn bod yn awr ai peidio; gan fod hyn yn wybyddus iawn, fod llawer o lwythau Indiaidd wedi eu difodi trwy ryfeloedd, a phläau, &c. A'r hanes diweddaf a welais i yn y Goleuad ydoedd fel yn dangos y byddai un ymchwiliad am y fath Indiaid yn gwbl ofer.

Pa fodd bynag wrth ddarllen gohebiaeth pwysig yn nghylch anfoniad yr efengyl i blith llwythau Indiaidd y parth gogledd-

orllewin o America, a gyhoeddwyd yn yr '*Hawaiian Spectator*' (cyhoeddiad chwarterol Seisnig a argreffir yn Ynys Sandwich) daeth i fy meddwl yn union y gellid gwneud ymchwiliad manylach tryw offerynoliaeth y 'Cenadon *Oregaraidd*.' Y mae rhai o honynt yn perthyn i'r Bwrdd Americanaidd, a'r lleill yn aelodau o'r Wesleyaid yn yr Unol Daleithiau. Y mae gan y Wesleyaid genadaeth eisoes yn *Willamette*, triugain milltir i'r deau o *Fort Vancouver*, y'mhlith y *Kalapooyas*. Bu Dr. White a Mr. Spalding, dau ŵr urddasol yn perthyn i'r Bwrdd, am beth amser yn preswylio yn *Fort Wallawalla*, yn lledred 44. 10. Gog. a hydred 116. 20. Gor. ac wedi hyny symmudasant i blith Indiaid *Nez Perces*, ar lan afon a elwir Afon y Dwr clir (*Clear Water River*).

Y mae Indiaid y parthau hyn yn gyfeillgar iawn, ac yn dymuno yn fawr ar i Genadon drigo yn eu plith. Y mae Mr. Spalding yn dywedyd:—'Y wlad sydd yn gorwedd rhwng lledred 45. 51. Gog. a hydred 116. Gor. sydd yn agored i Genadon ymsefydlu ynddi yn y man y mynont, a hyny yn berffaith rydd oddiwrth ofni peryglon. Nid wyf alluog i roddi dim hysbysrwydd am y llwythau sydd yn preswylio y wlad isaf, yn y manau y mae y Genadaeth Wesleyaidd wedi ei sefydlu, ddim pellach na'u bod yn gyfeillgar."

Wedi darllen fel hyn am weithrediadau y Cenadon, yn y '*Missionary Hera'd*,' a'r '*Hawiian Spectator*,' mi a ysgrifenais lythyr maith at Mr. Bingham, o *Hanolulu* yn Ynysoedd Sandwich, yn rhoddi hanes am Madoc a'i fordwyau, fel y cofnodir hwy gan hen awduron; ynghyd a'r gwahanol brofion sy genym, mewn amseroedd diweddarach, fod llwyth o Indiaid yn bod yn Ngogledd-dir America, a elwid yn Indiaid Cymreig, gan ddeisyf arno ysgrifenu at Mr. Spalding, a'r Cenadon ereill, yngwlad *Oregar*, hono yw, y wlad fawr eang sydd yn gorwedd rhwng y mynyddoedd caregog, neu greigiog, a'r Môr Tawel, i ymchwilio yn fanylaidd yn eu holl ymwneud â'r gwahanol lwythau yn y parthau hyny, sef y *Nez Perces*, *Caynses*, *Kalapooyas*, *Flat Heads*, *Pandarays*, *Spokans*, &c. a oes dim a ellir ei gael allan mewn perthynas i'r fath lwyth ag a elwir y Madawgwys, yn un man oddeutu tarddle yr afonydd *Missouri* a'r *Columbia*, o ba rai y mae un yn rhedeg i Fôr y Werydd a'r llall i'r Môr Tawel. Ac er eu cynorthwyo yn eu hymchwiliad anfonais hefyd restr hirfaith o hen eiriau Cymreig, y rhai oedd raid eu bod mewn arferiad yn Ngogledd Cymru yn y 12fed ganrif. A chan fod yn awr rhyw drefnidaeth yn myned ymlaen rhwng ynysoedd Sandwich a'r Sefydliadau ar Afon Columbia, ar y tu gorllewinol, y mae y Cenadon, pan fyddo cyfle yn caniatâu yn gohebu â'u gilydd; a derbyniais innau y llythyr byr canlynol, oddiwrth fy nghyfaill Mr. Bingham.

"*Hanolulu, Rhag.* 25, 1839.

"Anwyl Frawd.—Yr wyf yn achub cyfle i anfon i chwi linell fechan i hysbysu i chwi pa fodd yr ydym yn myned ymlaen gyda thestyn eich ymholiad mewn perthynas i'r Indiaid Cymreig.

"'Aufonais eich llythyrau i Genadaeth *Oregar*, yn llaw ein brawd Hall; a derbynais lythyr oddiwrtho, dyddiedig Hydref 16, 1839, o *Waiilalpu*, ar y *Wallawalla*, cangen o'r *Columbia*, yn cymwys yr hyn a ganlyn:—

"Mewn perthynas i ysgrifeniadau ein tad Davies ynghylch yr Indiaid Cymreig, arferais y fath fesurau ag a ymddangosai debycaf i gael allan wirionedd y matter, ond ni bum yn alluog i gael un hysbysrwydd yn eu cylch hyd yn hyn—ac yr wyf yn meddwl mai gobaith gwan sydd o lwyddo,—y mae yn debyg y profa yn ymchwiliad ofer.'

"Yr wyf yn anfon i chwi y llyfr cyntaf a argraffwyd yn y wlad eang ar du gorllewinol y mynyddoedd creigiog, a hyny yn y Wasg a anfonwyd yma gan frodorion Ynysoedd Sandwich a berthynent i'm cynnulleidfa. Y mae ein gwaith, dan fendith Duw yn myned rhagddo ac yn llwyddo.

"Wyf, mewn brys mawr, a chydâg annerchiadau gwresog atoch chwi a'ch cyd lafurwyr, yn gorphwyso yn eiddoch, &c. H. BINGHAM."

Ni rydd hyn, fel y gwelwch, fawr o galondid, ond nid wyf etto wedi rhoddi y pwnc i fynu. Ysgrifenaf etto at Mr. Bingham, ac efe a ysgrifena at y Meistraid Hall, a Spalding, fel ag y gallont wneuthur etto ymchwiliad pellach. Nid ydyw Mr. Hall ond newydd gyrhaeddyd y lle y sefydlir ef ynddo; a chan hyny nid ydyw wedi cael ond ychydig iawn o amser i ymholi yn eu cylch. Yn fy nhyb i, os na cheir hyd iddynt yn rhywle oddeutu y mynyddoedd creigiog, ac yn y wlad eang rhwng hyny a'r Môr Tawel, yr wyf o'r farn y bydd raid rhoddi yr ymchwiliad i fynu, a bod y genedl wedi ei difodi naill ai drwy ryfel neu bla. Ac os arbedir fi am ychydig, a rhyw hanesion pellach o werth eu danfon, parai hyfrydwch mawr i mi gael eu rhoddi ger bron fy hen gyfeillion yn Nghymru anwyl.

Yr wyf yn meddwl mai argraffydd yw Mr. Hall, ac anfonwyd i mi gopi o'r llyfr cyntaf a argraffwyd yngwlad *Oregar*, yn iaith y *Nez Perces*, a dyma i chwi (*specimen*) o'u hiaith, yr hon, y mae yn debygol sydd yn perthyn yn agos i ieithoedd ereill yn y gwledydd hyn.

'Kaua tahs hiwash tataal, hutsu, alikash hapkap hiwash,

Wah wit wah tahks, kaua tahs hiwash
tatosh liasain;
Tabtat hiwash wah laka wah shaishai.'

Nid oes dim Cymraeg yn hyn—na dim arwydd o berthynas â'r un o'r ieithoedd Ewropaidd.

Mewn perthynas i'r achos Cenadol yn yr Ynys hon yr ydym yn myned y'mlaen fel arferol. Ychwanegwyd rhai at ein heglwysi, ac yn y sefydliad hwn yn Papara, y mae rhai pobl ieuainc wedi eu hychwanegu at ein rhifedi yn nechreuad y flwyddyn hon, ac y mae yn ddywenydd genyf allu dywedyd fod gwr ieuanc wedi ymuno â mi fel fy nghynnorthwywr, o'r enw Mr. Charles Green Stevens, ac hefyd Mr. Johnston, yr hwn sydd ar ddechreu ysgol Normalaidd yn y sefydliad hwn.

Y mae Mr. Thomas Joseph, Cymro o Gaerfyrddin wedi ei sefydlu fel cydlafurwr i Mr. Pritchard yn *Wilk's harbour*. Daeth newydd gofidus iawn atom, ychydig wythnosau yn ol, o lofruddiad echryslon ein brawd Williams, yn mis Tachwedd diweddaf, yn *Erromanga*, un o ynysoedd yr *Hebrides* Newydd, i'r lle yr oedd wedi myned gyd â'r bwriad o ddwyn yr efengyl dan eu sylw drwy offerynoliaeth dysgawdwyr brodorawl.

Yr ydym newydd dderbyn llythyrau oddiwrth ein dau frawd o'r *Marquesas*, lle y profir hwy yn dost nid yn gymmaint gan y paganiaid druain, a chan gynnifer o Genadon Pabaidd o Ffrainc; ac nid oes dim llai na deg o honynt yn awr yn yr ynysoedd hyny, ac ychwaneg yn cael eu dysgwyl: ac o ddydd bwygilydd yr ydym yn dysgwyl cael ein poeni ganddynt yn yr ynys hon etto, oherwydd y mae nythaid o genadon Anghrist yn y *Valparaiso*, a Choleg newydd *De propuganda Hide*, o ba le y mae y Cenadon Pabaidd hyn i gael eu hanfon dros holl ynysoedd Môr mawr y De.

Ymwelodd dwy o longau mawr o Ffrainc â'r ynysoedd hyn yn ddiweddar; ac yn yr ynys hon, ac yn ynysoedd Sandwich hefyd, hwy a fygythiasant ac a ddychrynasant y penaeth, ar flaen y cleddyf ac yngenau y *canon*, hyd oni addawsant i ganiatau i addoliad Pabyddol gael ei arfer, ac Eglwysi Pabyddol gael eu hadeiladu. Pa beth fydd diwedd y pethau hyn ni wyddom ni. Ond yr Arglwydd Jehofa sydd yn teyrnasu, a'i holl ewyllys o drugaredd a gras a gyflawna, ynghanol pa rwystrau bynag a ymddengys ni i felly. Ac ar fod i'r dedwydd amser hyny brysuro ydyw gweddi ddiffuant, anwyl Syr, yr eiddoch yn garedicaf. JOHN DAVIES.

---

TRIGOLION GOROR CLAWDD OFFA.

Mae llawer o'n cyfeillion yn beio arnom ni, sydd yn llafurio yn Ngoror Clawdd Offa. am na chaent fwy o hanes ein llafur, ac amgylchiadau achos Duw yn ein plith: mae'n rhaid i ninnau gydnabod ein bod, trwy y blynyddoedd diweddaf yn fyr yn hyn, ac am hyny i'n beio. Oherwydd nad yw ein llafur, a'n heglwysi newyddion, ac amgylchiadau yr achos yn ein plith yn adnabyddus iddynt, nis gellir dysgwyl yr Eglwysi Cymreig i feddwl llawer am danom, na gweddio yn daer drosom, na chyfranu yn wirfoddol tuag at gynnal ac helaethu achos crefydd yn y gwledydd hyn: am hyny, mi roddaf, ac annogaf fy nghydweithwyr i roddi mwy o hanes ein llafur, gan obeithio y bydd hyny yn dderbyniol gan ein cyfeillion trwy Gymru.

Yr hyn a ganlyn, sydd fyr hanes fy nhaith a'm llafur, &c. y Sabbath diweddaf, sef y cyntaf o'r flwyddyn hon (1841.) Diwrnod ystormllyd o eira ac oerfel oedd y Sabbath hwn. Cychwynais oddicartref, gan deithio o 9 i ddeng milldir erbyn yr odfa y boreu, i le a elwir *Preston*, mewn gwlad fynyddig, ar dueddau Gorllewinol, Sir Amwythig: tŷ bychan, llwyd, a thlawd yw'r tŷ yr ydym yn pregethu ynddo; ond mae Duw yn bendithio ei air ynddo, er lles tragywyddol i eneidiau.

Ar fy mynediad i'r lle, daeth gwr y tŷ i'm cyfarfod, a golwg siriol a llawen arno, gan ryfeddu i mi ddyfod mor bell ar foreu mor arw, at ddynion gwael fel hwy, 'Bydded i Dduw fendithio eich dyfodiad, atom,' ebe, gan lawen fynegi bod unarddeg o honynt wedi cyfarfod â'u gilydd dydd nadolig i ddechreu *Society*, a bod yn dda iawn ganddo i mi ddyfod atynt i'w eu cyfarwyddo, a'u hannog pa fodd i fyned yn mlaen; yna anfonodd i fynegi i'w gymmydogion fy mod wedi dyfod, o herwydd yr oeddynt yn ameu fy nyfodiad, ac yn aros nes caent wybod, daethant yn nghyd at y rhai oedd yno o'r blaen. Dechreuwyd yr addoliad trwy ganu, yna darllenais ran o bennod, gan ei hesbonio mor eglur a dealladwy ag y gallaswn: wrth weddio, yr oeddynt hwythau yn cydweddio â mi, gan ddywedyd, Amen, Amen, yn uchel ac aml, megis o deimlad calon.

Wrth wrando y bregeth, yr oeddynt yn wylo; ac fel plant tlodion yn derbyn a bwyta y cwbl a gaent. Wedi darfod, annogwyd y dychweledigion i aros ar ol, a gwnaethant hyny. Yna dywedais ychydig (o herwydd yr amser oedd fyr) am natur Eglwys Crist, a'r dyledswyddau oedd iddynt i'w cyflawni, gan eu hannog i lwyr ymroddi eu hunain i'r Arglwydd, ac ymddiried ynddo, a gweddio yn barhaus am gyfarwyddyd a nerth i'w wasanaethu, ac felly y mwynhaom fendithion crefydd. A dangosais iddynt mai arfer ein cyfeillion duwiol yn Nghymru, oedd dyfod at eu gilydd, unwaith bob wythnos, naill ai ar ryw awr o'r dydd, neu yn yr hwyr, a hyny fel ag y byddai amgylchiadau yn caniatau; ac na ddylent hwythau er dim,

foddloni ar grefydd y Sabbath yn unig. Gwr y tŷ a ddywedodd nad oedd yn debyg y gallent ddyfod at eu gilydd ond ar y Sabbath. Yna gwraig i ffarmwr cyfrifol a ofynodd iddo, 'Pa ham na chawn ni *Society* ar ddydd gwaith fel mae efe yn ein hannog? rhaid i ni adael pob peth i farw; ni fyddai fawr o beth i ni adael ein galwedigaethau am awr yn y dydd i ddyfod at ein gilydd fel ein cyfeillion yn Nghymru, ac onid oes arnom ni eisiau ymgeledd crefydd fel hwythau; os na all pob un o honom fod yn bresennol, doed y rhai a allo; mi ddeuaf i a'm gwr beth bynag.' Yna dywedais bod ein brodyr Mr. Hughes a Baxter i ddyfod bob yn ail i'w cynnorthwyo, weithiau y dydd, ac weithiau y nos. Hithau a ddywedodd y gwnai eu llettya mor gysurus ag y gallai. Yna gwelwn ei gwr a'i merch yn wylo o lawenydd ei chlywed yn addaw, ac yn trefnu mor dda: felly cyd-unwyd a diweddwyd trwy weddi. Ac wedi i bob un ysgwyd llaw a diolch i mi, ymadawsant yn siriol eu golwg.

Yna eisteddais gyda'r teulu i gymmeryd lluniaeth, yr hyn oedd ddarn o ben mochyn a chloron, a phioled o ddwfr oer, felly o herwydd fy mod yn cael cymmaint o garedigrwydd a allasent, a bod ein cyfeillach yn grefyddol, yr oedd fy meddwl mor gysurus wrth eu bwrdd isel, a'u tân bach, a'u cegin oer, a phe buaswn yn y *parlwr goreu*, ac wrth y bwrdd brasaf yn Nghymru; diolchais iddynt am fy nghiniaw cysurus, a dywedais wrthynt, *byddwch wych*. Aethum yn llawen fy ysbryd ar hyd ochr y mynydd, dair milltir yn mhellach, at yr oedfa ddau o'r gloch, i le a elwir *Rorington*; y tŷ yr ydym yn pregethu ynddo yma, sydd helaethach na'r tŷ arall a enwyd; etto tŷ tlawd ac isel, rhaid i bawb, ond plant, blygu eu penau wrth fyned i fewn ac allan, am nad yw'r drws yn uwch na'n hysgwyddau. Erbyn dyfod yma, yr oedd llon'd y tŷ o bobl, ac yn eu plith yr oedd dau bregethwr o enwadau ereill; wedi canu hymn, darllenais ran o bennod, gan ei hesponio. Aethum yn mlaen fel arferol, wrth wrando y bregeth, yr oedd llawer o honynt yn wylo, yn chwerw weithiau, ac weithiau yn llawen, a rhai yn tori allan yn uchel i ganmol Iesu Grist, yr un modd ag y welwyd gynt yn Nghymru; ond gan fod yr eira yn disgyn, ac yn gorchuddio y bryniau o'n hamgylch, a'r nos yn ymagor ei haden ddu gaddugawl drosom, a bod genyf tua chwech milldir i fyned at odfa'r nos, ni chadwasom *Society*, ond cyd unasom yn flaenorol i ymgynnull y noswaith hono, addawais y byddai ein brodyr, Hughes a Baxter, ddyfod bob yn ail i'w cynnorthwyo.

Teulu y tŷ hwn sydd garedig iawn yn ol eu gallu, yn rhoddi bwyd i ni bob amser. Ond y tro hwn gwahoddwyd fi gan wraig ffermwr, yr hon sydd aelod gydag enwad arall; ond ei gwr sydd elyniaethol i grefydd; etto, yr oedd yn dirion a charedig iawn i mi, gan beri i mi alw yno yn aml; ond yr oedd yn achwyn ar ei wraig yn ei chlyw, bod ganddi ormod o grefydd, bod rhyw reswm ar bob peth ond arni hi gyda'i chrefydd—bod ei phregethwyr yn rhy aml yno, a bod yn well ganddo ef roddi bwyd i'n pregethwyr ni. Ceisiais wneud a allaswn o lês iddynt eu dau. Yr oedd gennyf chwech milldir o daith i Drefaldwyn lle y cyrhaeddais erbyn yr odfa chwech. mae yma gapel cysurus ond ychydig sydd yn gwrando. Ar ol y cyfarfod teithiais saith milltir tua fy nghartref; ac yr oeddwn erbyn hyn wedi teithio o 25 i 28 o filltiroedd; ac y mae rhai o fy mrodyr yn cyflawni y daith hon ar eu traed. Ac yn awr, fe wel ein cyfeillion, trwy Gymru, bod ein llafur yn fawr, er bod ein llwyddiant yn fychan.

Sylwnodau.—1. *Weston* sydd le amddifad o foddion gras. Bob yn ail Sabbath yr ydym yn pregethu yno. Y mae dwy filltir a chwaneg i Eglwys y plwyf, ac o dair i bump at y capelydd agosaf. Mae Gweinidog y Plwyf, y Parch. Mr. Welding, brawd i ben golygwr Iarll Powys, yn ŵr duwiol, llafurus, ac haelionus iawn, ac yn dyfod yn rheolaidd bob Sadwrn i'r un tŷ ag y byddwn innau yn ymgyfarfod ynddo, i ddarllen ac i weddio, ac i esponio yr ysgrythyrau. Yn ddiweddar, ceisiodd un o enwad arall ddyfod i'r tŷ i bregethu: pan glywodd efe hyny, dywedodd wrth ŵr y tŷ nad oedd ei eisieu, a bod gwyr da yn pregethu yno eisoes—a rhyngddynt hwy ag yntau na chai eu heneidiau ddyoddef colled. Mae lle cryf i obeithio fod gwr a gwraig y tŷ yn adnabod Iesu Grist. Maent yn dlodion, mae yn wir, a hyny o herwydd hir afiechyd y gwr, sef diffyg anadl; etto y maent yn barchus, ac yn byw ynghanol eu perthynasau cyfrifol. Maent yn Ddirwestwyr zelog, ac yn awyddus am bregethu yn eu tŷ: pe byddai genym gapel bychan yma mae'n debyg iawn y byddai cynnydd mawr ar grefydd yn fuan.

2. *Rorington*, yr un modd, sydd amddifad o foddion gras, heb Lan na Chapel yn agos iddo. Bob pythefnos yr ydym yn pregethu yma hefyd. Mae gwr y tŷ yn ddyn deallus a ffyddlon iawn gyda'r Ysgol Sabbathol, ac yn debyg i ddyn yn ofni Duw. Mae 4 neu 5 wedi ymuno âg ef i gadw cyfarfod eglwysig, a chyfarfodydd gweddio. Pe bai genym gapel, y mae yn obeithiol iawn y caem gynnulleidfa gref yn fuan. Mae y gwr parchus a enwyd o'r blaen yn dyfod yma hefyd ar yr un dydd Sadwrn i ddarllen, i weddio, ac esponio yr ysgrythyrau yn y tŷ lle yr ydym yn cadw yr Ysgol Sabbathol. Yn ddiweddar gofynodd i'r wraig pa faint oedd yn ei gael genym am wasanaeth ei thŷ, hithau a atebodd, gan ddywedyd, bod 15s. yn ddyledus iddi. Yntau a roddodd iddi y 15s. gan ddiolch iddi am adael yr ysgol yn ei thŷ.

Yn awr, goddefed ein cyfeillion yn Ngo-

Property of Revd Morgan



gledd Cymru i ni ofyn iddynt, dros ba hyd y cawn ein gadael i lafurio dan gymmaint o anfanteision o eisiau Capelydd a moddion mwy cysson? Pa beth yn well a wnewch a'r casgliadau cenhadol y flwyddyn hon, na rhoddi rhan o honynt, (£200 neu £300) tuag at adeiladu dwy babell fechan ar ochr y mynyddoedd hyn, neu ryw fanau eraill; o herwydd y mae fel pe mynai yr Arglwydd a'r trigolion hyn. Ni ddylech ddysgwyl i Sir Drefaldwyn yn unig ein cynnorthwyo; ac y mae yn ddigon sicr, os na adeiladwn ni, a hyny yn fuan, y bydd i gyfeillion yr Eglwys Wladol adeiladu capelydd yma. Yna byddai ein llafur ni mewn rhan, yn ofer, oblegid mai peth ffol a fyddai i ni feddwl am hyny wedi iddynt hwy ddechreu. Os ydych am i ni barhau i lafurio, a chrefyddol feddiannu trigolion y gwledydd hyn, deuwch yn galonog a helaeth i'n cynnorthwyo am ychydig flynyddau etto; a gyda bendith yr Arglwydd ar ein llafur, daw eglwysi bychain Clawdd Offa i'ch cynnorthwyo chwithau, i anfon yr efengyl, ac adeiladu Capelydd ar Fryniau Kassiah, yn yr India Ddwyreiniol; a magant Genhadon ichwi i'w danfon yno, canys un a feithrinwyd yn eu plith, yw y Parch. T. Jones, sydd ar ei fordaith yno yn bresennol.

3. *Trefaldwyn.* Trigolion y lle hwn ydynt hynod o ddifeddwl am eu heneidiau, a byd tragywyddol. Mae yma Gapel cysurus ond dan ddyled. Mae ein cyfaill Mr. T. Tolly, gynt o Falwodion a Thregynon, wedi dyfod yma i fyw, mae efe a'r ychydig gyfeillion, sef 7 neu 8, yn ffyddlon a haelionus yn cynnal pregethu yma bob Sabboth, ac hefyd bob pythefnos yn y ddau le a enwyd. Yr oeddent bum punt mewn dyled ddiwedd y flwyddyn 1840. Dywedodd un brawd wrth frawd arall, y rhoddai efe yr hanner, os gwnai yntau, felly gwnaethant y pum punt i fynu. Mae yma dri theulu yn ein derbyn a'n llettya yn gysurus. "O frodyr gweddiwch drosom." Ydwyf yr eiddoch.

D. MORGAN.

## Y CENADWR CYMREIG.

Y MAE yn sicr y bydd yn dda gan amryw o'n darllenwyr gael ychydig yn chwaneg o hanes y Cenadwr hwn, a'i daith. Cychwynodd y Parch T. Jones, a'i wraig, o borthladd Liverpool, a'r fwrdd y llong fawr a elwir *Jamaica,* ar ddydd mercher, Tachwedd 25, 1840, ar fordaith i Calcutta, yn yr India Ddwyreiniol. Hyd y fordaith hono, yw, o bymtheng mil i un mil ar bymtheg o filltiroedd o fôr. A'r amser a gymmer y llong i'w mordwyo, fydd o bedwar i bum mis. Felly dysgwylir iddynt gyrhaedd Calcutta tua diwedd mis Mawrth neu ddechreu Ebrill. Yna bydd yn angenrheidiol iddo aros yno ddwy wythnos neu dair, fe allai, i drefnu pethau, ac i aros am Agerdd-long i fyned ymlaen i'w daith. Ac efe a fydd fis drachefn cyn cyrhaeddyd y lle y mae yn bwriadu ymsefydlu am gryn amser i ddysgu Iaith y Kassiaid. Tybir erbyn hyn, y bydd hi tua diwedd Mai pan gyrhaeddo y Cenadwr i ben ei daith.

Enw y dref, lle y mae efe yn bwriadu preswylio ynddi i ddysgu yr Iaith, ydyw, Cherrepunge neu Cherrepunji. Mae y dref hon dan lywodraeth Brydain; ac mae ynddi fintai lled fechan o filwyr, dan lywyddiaeth Cadfrig o wyr y Frenhines Victoria. Y milwyr ydynt frodorion y wlad hono. Mae y trigolion yn siarad y Kassiaeg. Wedi i Mr. Jones ddysgu yr Iaith yn y lle hwn, y mae yn bwriadu myned ymlaen ymmhellach i Fryniau Kassia, lle na bu erioed yr un Cenadwr i Grist Iesu o'r blaen. Mae y wlad hon yn uchel a mynyddig iawn; ac mae hyny yn gwneud yr awyr yn iachus.

## DEILLION YN DARLLEN Y BIBL.

SYR—Yr wyf yn cofio i chwi ofyn i mi unwaith a allwn roi hanes am y ddyfais i allu-ogi deillion i ddarllen. Y pryd hyny nis gallwn; ond yr oeddwn yn gwybod mai trwy deimlo y gwneid hyny, ac nas gallent deimlo argraff gyffredin. Ond yn awr, mae trefn wedi dyfod i arferiad, ac mewn llawn weithrediad yn Nawddle y Deillion yn y dref hon (Liverpool), lle yr wyf fi wedi fy sefydlu er's agos i ugain mlynedd bellach.

Daeth Mr. J. H. Frere, Lluniwr, a'r drefn ganlynol am fis i gychwyn. Dull y llythyrenau ydynt debyg i Goelbren y Beirdd, ar godiad un ochr i'r papur, neu wrymiawg. Dechreuodd drwy osod gwifr blygedig ar lun llythyrenau, i'w gosod ar fwrdd yn eitiau. Wedi hyny daeth y llyfrau gwrymiog i arferiad, a hyny a wneir trwy redeg pen y bys ar hyd y llythyrenau o'r aswy i'r de; ac mewn mis o amser gall rhai ddarllen yn rhwydd.

Wedi i Mr. Frere fyned ymaith cymmerodd y Cymro clodwiw, Syr J. Salisbury, arno arolygiaeth y gwaith gyda'i zel arferol i wneud daioni, trwy roddi ei amser a'i arian at hyny. Felly, dyma un o ddisgynyddion William Salisbury, yr hwn a gyfieithiodd y Bibl i'r Gymraeg, er's tri chant o flynyddoedd, yn dysgu y deillion i'w ddarllen yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg.

Y maent yn awyddus i ddarllen—a difyrus yw eu gweled ar yr awr giniaw yn ddiwyd uwchben y Gair Sanctaidd; ac yn y nos ânt o'r neilldu i'w drysori yn eu côf. Gall rhai o honynt adrodd y Salmau, a'r rhan fwyaf o'r Hen Destament a'r Newydd. Treulient nosweithiau oerion y Nadolig yn darllen yn eu gwelyau. E. LEWIS, *Liverpool.*

## COFIANT

*Mr. Robert Williams, Gilfach, un o flaenoriaid yr eglwys yn y Penant, Eifionydd, Swydd Gaernarfon.*

MAB ydoedd Robert Williams i William a Lowri Thomas, Gilfach, Plwyf Penmorfa,

ganwyd ef yn y flwyddyn 1790. Pan oedd Robert yn moreu ei oes, yr oedd ei fam yn aelod eglwysig yn y Garn, a chafodd y ffyddlondeb a ddangosodd i'w phroffes trwy darllain a gweddio yn ei theulu, foreu a hwyr, cynghori ei phlant, &c. argraff ddwys ar ei feddwl. Er hyny, treuliodd ddyddiau ei febyd yn rhy debyg i'w gyd ieuenctyd yn gyffredinol; gan ymddifyru, er nad i'r un graddau a rhai, yn y gwagedd y mae yr oedran hwnw yn fwyaf tueddol ato. Ond yn yr amser hwnw, byddai yn hoff o wrandaw yr efengyl:—gan nad oedd pregethu yn ei ardal ei hun, elai i'r Garn a manau ereill i wrandaw pregethu. Diammeu na bu y gair heb effeithio arno lawer gwaith yn y blynyddoedd hyny, ond y bregeth gyntaf a goffâi a ymaflodd yn neillduol a grymus yn ei feddwl, oedd gan y Parch. Daniel Jones, Llanllechid, yn Nhremadoc, oddiar Salm 106. 23. 'Am hyny y dywedodd y dinystriai efe hwynt oni buasai i Moses ei etholedig ef sefyll ar yr adwy,'&c. Yn y flwyddyn 1820, bu adfywiad grymus iawn ar grefydd yn Eifionydd. Y pryd hwnw, ymwelodd yr Arglwydd â Robert yn dra effeithiol. Ond bu am tua thri mis yn methu ymuno â'r eglwys, gan ofn nad oedd wedi cael gwir gyfnewidiad. Y rhan o'r gair a'i hennillodd i roddi y cam hwnw oedd Ioan iii. 21. "Yr hwn sydd yn gwneuthur y gwirionedd sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurer ei weithredoedd ef mai yn Nuw y gwnaed hwynt.' Barnodd nad oedd wiw iddo ddisgwyl 'eglurhad' heb wneuthur y gwirionedd, sef ufuddhau i air Crist trwy gymmeryd ei 'iau arno.' Daeth yn fuan yn uchel ei gymmeriad fel proffeswr crefydd—yn anwyl gan ei frodyr, ac a gair da iddo gan y rhai oddiallan, ïe, gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Ychydig, ychydig iawn, a fu yn fwy o ogoniant i'r efengyl dros eu gyrfa grefyddol nag ef.

Cyn iddo ymuno âg Eglwys Dduw, yr oedd pregethu cyson, a chymdeithas eglwysig mewn tŷ yn y gymmydogaeth, a elwid Cyfyng, (oddiwrth fwlch cul sydd yno rhwng y mynyddoedd). Bu achos crefydd yn fywiog iawn yn y fan hon am amser maith. Cofia llawer o weinidogion y Gair, cartrefol a dyeithrol, iddynt yn y fan a *Gyfyngwyd* gan natur, gael eu heangu mewn gras, a doniau, a llawenydd ysbrydol; pa le bynag y byddai y bregeth yn ddilewyrch a'r eglwys yn farwaidd, ni chyfarfyddid â hyn yno; eu 'parodrwydd meddwl' i dderbyn y Gair, a'r effeithiau bywiog a gai arnynt, a barent i lawer brawd o ganol digalondid 'fendithio Duw, a chymmeryd cysur,' trwy gyfarfod â rhai tebyg i'r Philipiaid i Paul oeddynt 'yn frodyr anwyl a hoff, ei lawenydd a'i goron;' ac adwaenid gwrthddrych y Cofiant hwn gan lawer, fel un hynod yn eu mysg mewn gwresogrwydd ysbryd en arwyddion o wir dduwioldeb. Ond ni byddai, fel yr ofnir am lawer, yn *gadael ei grefydd yn y Capel:* eithr yr oedd yn amlwg mewn myfyrio ar bethau y Gair, er byw yn dduwiol gartref.

Y mae yr olwg ar Nant y Penant (yr ardal yr oedd yn byw) yn arwain meddwl y cyfarwydd mewn hanesiaeth eglwysig at ddyffrynoedd Piedmont, lle y bu y Waldensiaid enwog mor hynod mewn duwioldeb;—mewn neillduaeth, (*retirement*) nid yn unig o ran eu calonau oddiwrth y gwrthddrychau y cyrchai y byd atynt, ond hefyd o ran eu sefyllfa oddiwrth ei drafferthion a'i ddwndwr. Ac yn ddiau lle y mae gras wedi meddiannu y galon, y mae preswylio mewn lle a ffurfiwyd fel hyn gan natur, yn wasanaethgar iawn i'w gynnydd, trwy fod y creigiau a'r mynyddoedd yn cuddio oddiwrth y llygaid brysurdeb, gwychder, a llafur diorphwys y byd, ac yn caethiwo y meddwl, ac yn ei gynefino hefyd i aros yn ddiysgog ar ei wrthddrychau priodol ei hun. Dygid tystiolaeth i hyn yn mywyd ein cyfaill trancedig,—aml waith yr aeth i'r mynydd i fugeilio y defaid, ac y dychwelodd yn ol âg arwyddion iddo fel Moses gyfarfod â Duw yno: ïe, cyfarfod âg Ef mewn Cyfryngwr y byd. Rhwng grymusder yr hyn a deimlodd yn nechreu ei grefydd, ei ymroddiad canlynol i fyw mewn cymdeithas â Duw, a'r fantais a dderbyniai i hyny oddiwrth symlder Patriarchaidd ei sefyllfa yn y byd, y mae yn debyg mai ychydig o dduwiolion a brofasant fwy o'r nefoedd ar y ddaear nag ef. Yr oedd ei lafur hefyd gyda gwaith yr Arglwydd yn amlwg: nid oedd neb mwy gofalus nag ef am y cyfarfodydd gweddiau a gynnelid mewn gwahanol fanau yn y gymmydogaeth. Yr oedd hefyd yn gyson iawn yn y ddyledswydd Gristionogol o ymweled â'r cleifion, ac ymdrechgar gyda'r Ysgol Sabbathol. Teithiodd am flynyddoedd yn fynych yn wyneb graddau o afiechyd i le anghysbell, a elwir Cwmystrallyn, i gadw Ysgol Sabbathol, a diau fod yno lawer yn teimlo hiraeth ar ei ol.

Yn y flwyddyn 1832, dewiswyd ef yn unfrydol gan yr eglwys yn y Penant, i fod yn un o'r blaenoriaid. Tystid gan olygwyr y dewisiad iddo gael ei enwi gan bawb o'r eglwys, ond ganddo ei hun, ac ni chawsant byth achos i edifarhau am eu gwaith. Dilynodd Gyfarfod Misol y Sir hyd y gallai; a gwasanaethodd swydd diacon yn yr eglwys y perthynai iddi, yn dda, a chafodd y canlyniad,—ennill iddo ei hun radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Gellid ychwanegu mai y fath oedd ei gymmeriad yn ngolwg yr henuriaid yn yr ardal fel na oddefwyd iddo adael ei lafur cyn dyfod yn un o brif olygwyr achos crefydd yn y wlad, yn mysg y blaid y perthynai iddi.

Yr oedd, mewn gwirionedd, yn fab tangnefedd, ac nid oedd dim a'i gofidiai yn fwy

nag i anghariad ac anghydfod ddyfod i mewn i'r eglwys, na neb mwy ymdrechgar nag a gyfrifid yn fwy addas i lanhau y tŷ oddiwrthynt. Ond ei hynodrwydd mewn gweddi oedd ei addurn penaf. Yn hyn yr oedd heb ei gyffelyb. Ac y mae ugeiniau yn Eifionydd a dybiant nad ydys yn ei addurno yn lladradaidd fel yr haerir y gwneir weithiau a choffadwriaethau dynion. Er y byddai ei ysbryd yn wresog, ni yrid ef i arfer na thôn na geiriau anmhriodol, eithr yr oedd y cwbl yn eithaf naturiol. Safai yn gyffredin ar yr un mater yn ei weddi, a byddai y fath ymostyngiad ynddo, wrth gyffesu, y fath daerineb wrth ddeisyf, a'r fath enyniad tanllyd o gariad sanctaidd yn llenwi ei enaid wrth dalu diolch, nes y byddai y gynnulleidfa fel yn ei weled yn myned i'r nef o flaen gorsedd Duw, ac yn gofyn ac yn derbyn bendithion ar eu rhan. Ond ni waeth tewi, nid oes ond y sawl a'i clywsant a fedr ddirnad pa fath un ydoedd yn gweddio. Llanwer ein heglwysi â rhai tebyg iddo.

Ond nid ein meddyliau ni yw meddyliau Duw! ac nid oeddynt yn cytuno gyda golwg ar ein hanwyl frawd, oblegid torwyd ef i'r bedd yn nghanol ei ddyddiau a'i ddefnyddioldeb. Dywedai na fu yn ei oes yn mwynhau iechyd da, ac nis gwybu am gystudd trwm hyd fis Medi 1839. Yr hyn a'i blinai yn flaenorol, oedd poen yn yr afu a'r cylla, ac yr oedd ei gystudd diweddaf yn fath o ddarfodedigaeth yn y rhanau hyny. Bu ei feddwl yn lled isel am rai wythnosau yn nechreuad ei gystudd; ofnai nad oedd ei grefydd yn un wirioneddol, ac yr oedd hefyd yn benderfynol fod ei glefyd yn anfeddyginiaethol. Cafodd gysur cryf yn y cyfarfod gweddi olaf y bu ynddo, yr hyn a'i nerthodd i raddau yn yr iselder meddwl. Aeth unwaith i ymresymu âg ef ei hun, os nad oedd ganddo wir grefydd, y rhaid ei fod yn annuwiol, ac os yn annuwiol, fod yn rhaid ei ddamnio. Ond wrth droi i edrych pwy sydd yn damnio, a'r awdurdod yn ei law i fwrw i uffern, na chredai y gwnai hyny âg ef; a sylwai ei fod yn credu fod gwaed y cyfammod tragywyddol rhyngddo a chael ei ddamnio byth! Felly yr oedd yn gwawrio ychydig arno. Bryd arall, cafodd bleser wrth feddwl am ogoniant yr Arch a'r drugareddfa, a sylwai os oedd y cysgodau felly, pa faint mwy y sylwedd? A choffâi ddywediad a glywsai mewn pregeth gan y Parch. John Jones, Llanllyfni, 'fod y cysgodau trwy y gwahanol oesoedd yn gyru yn brysur tua Chalfaria, i ddwyn yr addolwyr at y sylwedd.' Ond ar ddechreu yr wythnos olaf o'i fywyd, chwalodd pob ofnau o'i feddwl, ac ni bu cwmwl mwy rhyngddo âg wyneb yr haul. Dywedai iddo o'r blaen fod i raddau yn ddistaw wrth ei frodyr, gan na wnaethai adrodd y rhan fwyaf o'i brofiadau, ond eu digaloni: ond bellach, yr oedd wedi newid arno. Y nos Sabbath agosaf i'r nos Sabbath y bu farw, tra yr oedd ei gyfeillion yn cadw cyfarfod gweddi mewn tŷ yn y gymmydogaeth, cafodd y fath hyfrydwch i'w galon nes tori allan mewn gorfoledd. Dywedai, 'O! na byddai fy mrodyr yma yn awr i gael un wledd gyda'n gilydd y tu yma i'r afon.' Yn fuan daethant yno, a gwledd ryfedd a gafwyd; efe yn canmol a phawb ereill yn wylo, heb gymmaint ag un wyneb sych o fewn yr ystafell. Yr hyn y diolchai yn benaf am dano oedd, fod yr Arglwydd heb ei adael yn 'ewinedd anobaith.'

Gwaelodd wedi hyny; ond yn moreu dydd Llun, daeth yn esmwythach. Daeth llawer o'r madredd i fynu oddiwrth yr afu, a bu yn lled esmwyth ar hyd yr wythnos, ac yn cysgu cryn ran o'i amser. A phan yn effro byddai yn fywiog a siriol. Gofynodd un iddo pa fodd yr ymdeimlodd? Atebai, y mae yn hyfryd iawn arnaf heddyw. Dywedodd wrtho, fod yn anhawdd cwyno iddo. Atebai, nid oes eisiau, y mae genyf ddigon o waith arall i chwi; diolchwch i'r Arglwydd trosof, ei fod mor dda arnaf. Buasai yn ddigalon iawn i chwi fy ngweled yn myned i ffordd yngafael anobaith. Dywedai un diwrnod iddo ofni lawer gwaith nad oedd y ddeddf wedi ei hysgrifenu yn ei galon; ac ychwanegai, y mae yn ddigon goleu i mi heddyw fedru ei ddarllen; ond yr oedd hi yma er fy nghychwyniad gyda chrefydd. Pryd arall, dywedai iddo gael llawer *gwydriad* melus yn moddion gras, ond y byddai ofnau yn ei ddal mai rhyfygu yr oedd, eithr ei fod yn rhy oleu i'r gelyn haeru hyny yn awr. Ychwanegai y barnai fod y nef yn lle hyfryd iawn, gan fod y diferion a ddeuant i wared mor felysion; ac mai hyny a wnai y nef mor hyfryd mai môr i gyd oedd yno: ac mai yr hyn a'i gwnai mor gysurus yma, oedd fod yn dda ganddo bawb o'i amgylch, ac y gwyddai fod yn dda ganddynt hwythau yntau. Daeth llawer o bell ac agos i ymweled âg ef yr wythnos hon, mewn rhan am glywed o honynt ei bod mor gysurus arno: rhoddai yntau gynghorion priodol iddynt, y rhai a dderbyniwyd mewn dagrau, ac a argraffwyd yn ddiau ar galonau llawer o honynt.

Un diwrnod, gofynai i'r hon oedd yn gwasanaethu arno, 'A wyddost ti pa fodd yr aethum mor gyfeillgar â Iesu Grist?' Atebai, 'Na wn i.' Meddai yntau, 'Wrth fyned yn aml iawn ar fy ngliniau, ac erbyn hyn yr ydym yn ddigon o ffryndiau.' Ni ddaliai ei dymerau yn yr wythnos olaf y bu fyw, i son am Iesu Grist heb fyned yn ddrylliau. Dylid ychwanegu ei fod yn un o'r rhai cyntaf a ymunodd â'r Gymdeithas Ddirwestol yn y parth hwn o'r wlad, ac â'i yn fynych i'r Capeli cymmydogaethol i areithio o'i phlaid, ac yr oedd y rhan hon o'i lafur yn gymmeradwy iawn. Canmolai Ddirwest yn fawr wrth ddau frawd a ddaethant i ymweled âg ef yn yr

wythnos olaf y bu fyw; sylwent hwythau nad oedd eisiau iddo ef fyned yn Ddirwest-wr o ran ei hun, gan na chyhuddid ef un amser o yfed i ormodedd. Ar ol ateb yn wanaidd, na fyddai, codai ei law, a dywedai, 'Nid dyna y pwngc, yr wyf yn ewyllysio bod yn bleidiwr i bob achos da.' Gofynent a oedd yn tybied mai gwaith da yw Dirwest? Atebodd, 'Ydwyf; pe byddai yr holl fyd yn dweyd yn fy erbyn, ni chredwn hwy.' Dyma ei dystiolaeth yn ymyl angau.

Gan iddo esmwythau yn yr wythnos olaf, tybid ei fod yn troi i wella. Un diwrnod yr oedd fel Paul, mewn cyfyngder meddwl, pa un fuasai yn dewis ai gwella ai ymadael, sylwai, carwn wneud rhyw ddaioni a allwn gydag achos Iesu Grist yn y byd hwn, o'r tu arall y mae arnaf ofn i Satan roddi rhyw godwm i mi ar ol ymweliad rhyfedd fel hyn. Yr wyf yn cofio am Hezeciah dduwiol yn ei chael hi ganddo ar ol peth tebyg; am hyny y mae yn debyg mai gwell yw i mi fyned i ffordd. Y mae dywediad yr hon oedd yn ei wasanaethu (ac oedd yn ei wasanaeth ef a'i frawd er ys blynyddoedd) yn hynod. Pan y sylwodd ei fod yn debyg o wella, atebai, 'Yr wyf fi yn ei weled yn myned yn rhy *ffeind* wrth bawb i fyw yma, y nef yw ei le.' Y ddau benill canlynol yr ymhyfrydai fwyaf yn eu canu:

Gwel'd y gras sydd yn yr Iesu,
Mor ddigonol yw i'r gwan,' &c.

Ac wrth ymadael a'i gyfeillion, canai y penill,

Farwel gyfeillion anwyl iawn,
Dros enyd fechan ni a ymadawn.

Ar y Sabbath, Rhagfyr 9fed, ciliodd y cyrsiau hirion o gysgu oddi wrtho, ac aeth yn sal iawn. Yn y prydnawn dywedai ei fod yn rhy wael i ysgwyd llaw a'i gyfeillion, a pharhaodd mewn ymdrech galed ag angeu hyd un o'r gloch foreu ddydd Llun, pryd yr ehedodd ei ysbryd i wlad y gwynfyd at ei drysor. Y nos o flaen ei gladdedigaeth pregethodd y brodyr Thos. Williams, Rhyd-ddu, oddiar Esa. 57. 1, a Robert Owen, Rhostryfan (ei gefnder) oddiar 1 Thes. 4. 14. Yr oedd y pregethau yn dra effeithiol ar y gwrandawwyr. Drannoeth, hebryngwyd ei gorph i fynwent Llanfihangel-y-penant gan dorf lnosog, nid un o bob teulu, fel yr arferir, ond yr oedd pawb fel yn anfoddlon i aros gartref. Ei gyfeillion Dirwestawl a ddygent eu baner dan eu galar-nodau, ac a gerddent o flaen yr elor, gan ganu Emynau priodol. Pan yr oedd y cynhebrwng yn myned heibio i'r Capel y perthynai iddo, y mae yn anmhossibl desgrifio teimladau y rhan fwyaf o'r dorf. Ei rybuddion, ei annogaethau, ei weddiau, y wasgfa y byddai ynddi yn achos ei gymmydogion digrefydd, a'r maeth ysbrydol a roddai i eglwys Dduw, a ruthrent i'r meddwl gydag effaith ddwys, yr hon sydd agos yn annrhaethadwy. Nid yw yr hyn a deimla y meddwl dynol, ïe, nid yw yr hyn a all deimlo yn yr olwg ar brif le gorchestion y maes-lywydd a fu farw mewn mwyaf o anrhydedd yn haeddu eu cyffelybu i'r hyn a deimlid wrth ein hadgofion ni. Gwedd y dyrfa a ddangosai i wr mawr yn Israel syrthio. Pwy na ddymunai ddiwedd fel yr eiddo yntau?

Ystyrid ef yn fedrus a diwyd wrth drin y byd, ac heb ddangos awydd trachwantus ato. Ni bu yn y sefyllfa briodasol, ac ar ol cyfrannu ei feddiannau yn y modd y gwelsai yn briodol rhwng ei berthynasau, gadawodd £20 at gynnal achos crefydd yn y Penant, a £10 i'r Drysorfa at gynnorthwyo gweddwon pregethwyr y Trefnyddion Calfinaidd.

J. OWEN.

---

## GOFYNION AC ATEBION.

[GAN fod lluaws o Ofynion yn dylifo i'n Swyddfa bob mis, a ninnau dan orfod i adael llawer o honynt allan, a hyny wedi achosi cryn ddwndwr a digter, penderfynasom roddi lle iddynt mewn cyn lleied o eiriau ag y byddai modd, gan ddeisyf ar ein Gohebwyr fod yn ffyddlon i'w hateb hefyd mor fyr ac mor eglur ag y gallont.—CY.]

### GOFYNION.

1. A oedd dynoliaeth Crist yn lwynau Adda pan y pechodd? Os oedd, pa fodd yr oedd hi yn sefyll ynddo heb ei llygru?

2. Pa wahaniaeth sydd rhwng *natur* ddynol a *pherson* dynol? R—s.

1. Pa fath feddwdod a feddylir yn Jer. 51. 39. pa un ai meddwdod â neu trwy ddiodydd a feddylir yno, ai nad ê?

2. Hefyd, Pa nefoedd a feddylir yn adn. 48, o'r un bennod? a pha ddull o ymadrodd ydyw? G. AB D. *Dowlais.*

Pa fodd y cysonir y rhan olaf o'r 10fed adnod o Esa. 46. â 1 Tim. 2. 4.?

K. PHILLIPS, *Carmel.*

Pa beth yw ystyr y gair Dwyfol? o ba le y tarddodd? pa bryd? i ba ddyben? ac a ydyw yn ysgrythyrol?

HOWEL AB GWILYM, *Glanrhyd.*

Erfyniaf am gael sylw eglurhaol ar 1 Sam. 10. 9. Beth a feddylir wrth fod Duw yn rhoddi calon arall i Saul? ac a oedd Saul yn dduwiol?

T. AB DEWI, *Bala.*

Dymunwn gael cyfieithiad cywir a boddhaol o'r ymadrodd Seisnig canlynol:—"*The Church of Christ is not a Legislative but an Executive body.*" Os bydd y cyfieithiadau yn deilwng, nid ystyriwn yn ormod anrhegu y cyfieithydd goreu â'r llyfr a elwir "*Bank of*

*Faith*," o waith y Parch. W. Huntingdon, S.S.: ac os bydd dau gyfieithiad cyffelyb, yr ieuengaf o'r cyfieithwyr a dderbynia yr anrheg. W. WILLIAMS, *Manchester*.

Pa fodd y mae y Cristion yn marw? a Christ wedi marw yn ei le?

GWILYM AP GWILYM, *Rhos*.

Byddaf ddiolchgar am sylw eglurhaol ar Gal. 3. 24. 'y ddeddf oedd ein hathraw at Grist,' sef Pa ddeddf a feddylir?

I. AP IOAN, *Tref-Rhiwaedog*.

Erfyniaf am eglurhad ar Job 14. 22. Pa un ai am ddyn byw ai am ddyn marw y sonia yr adnod hon? Beth sydd am ei gnawd arno yn dolurio, a'i enaid ynddo a alara? THETA, *Waunfawr*.

Pa fodd y cysonir yr ymadroddion canlynol:—Mat. 28. 1. 'A hi yn dyddhau,' &c. Marc 16. 2. 'Ac yn foreu iawn, a'r haul wedi codi,' &c. Luc 24. 1. 'Ar y cynddydd,' &c. a Ioan 20. 1. 'A hi etto yn dywyll,' &c.?

EION, *Festiniog*.

ATEB.—Darllened 'Eion' yn fanwl 'Gyfundrefn yr Efengylwyr,' yn enwedig y Dosparth ag sydd yn argraffedig yn y Rhifyn hwn, a chaiff weled fod amrywiol wragedd wedi bod wrth y bedd, a bod yr un rhai wedi bod yno fwy nag unwaith. Rhai yn cychwyn, "a hi etto yn dywyll," sef "ar y cynddydd," cyn iddi gwbl oleuo: ac ar y troion olaf y buont yno "yr oedd yr haul wedi codi." CYHOEDDWR.

A ydyw yn ganiataol i Weinidogon y Trefnyddion Calfinaidd weinyddu yr ordinhad o Fedydd mewn teulu neillduol, pryd na bydd amgylchiadau y teulu na'r plant yn galw am hyny? Ac a ellir ystyried y plant a fedyddir felly yn blant yr eglwys? C.

ATEB.—Nid ydyw plant aelodau eglwysig, o herwydd eu bedyddio hwynt mewn teulu neillduol, i gael eu difreinnio o aelodaeth eglwysig, ond y maent er hyny i'w hystyried yn blant yr eglwys.

Ond dymuniad penderfynol ein cyfundeb ni, y Trefnyddion Calfinaidd, ydyw, ar fod i bob Gweinidog weinyddu yr ordinhad o Fedydd yn gyhoeddus, ac nid yn ddirgel mewn teuluoedd, oni bydd achlysur yn galw am hyny. CYHOEDDWR.

Anfonodd holl Siroedd y Gogledd, a Sir Aberteifi, restr o'u Gweinidogion a'u Pregethwyr, y rhai a fuont feirw ac oedd yn fyw; ac hefyd rhifedi y tai cyrddau perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd, i'w hargraffu yn y Drysorfa: ond pa beth ydyw yr achos na buasai holl Siroedd y Deheudir, a Sir Fynwy, yn gwneuthur yr un modd?

D. L.

ATEB.—Esgeulusdra, anystyriaeth, a diofalwch, ydyw yr achos, am a wn i.

CYHOEDDWR.

*Sylwadau ar Ofyniad Ap Gwilym, Rhif* 119, *tu dalen* 334.

1. Pa un a oes ai nad oes gwahaniaeth rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Ddeddf Foesol? Os oes, pa beth yw?

ATEB.—Mae gwahaniaeth mawr rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Ddeddf Foesol. Rhoddwyd y Ddeddf Foesol yn reddf anianol sanctaidd yn enaid y dyn pan y crewyd ef; pan aeth Duw i gyfammod â dyn fe'i symudwyd ef o'r man lle crewyd ef i le neillduedig, sef i ardd Eden, i'r dyben i lenwi meddwl y dyn âg ystyriaethau dwys, ac i arddangos pwysfawredd y gwaith o ymgyfammodi. Ni addawyd dim i'r dyn wrth gyfraith creadigaeth; ond yn y Cyfammod Gweithredoedd fe addawyd, ar sail o ufudd-dod, bethau mawrion iddo. Fe wnawd y Cyfammod Gweithredoedd er arddangosiad o ufudd-dod dyn i'r Ddeddf Foesol, iddo ei hun, i angelion, a chythreuliaid. Y mae yn ddiau fod dyn dan rwymedigaethau o ufudd dod i Dduw pe buasai yr Arglwydd heb addaw dim erioed iddo am hyny. Y Ddeddf Foesol ydoedd gwreiddyn y Cyfammod Gweithredoedd, a'r ffrwyth gofynedig gan Dduw oddiwrth y dyn ydoedd ufudd-dod hollol berffaith ar ammodau o fywyd, neu dragywyddol gosbedigaeth.

2. Pa beth y mae y Cyfammod Gweithredoedd yn ei ofyn gan ddyn yn bresennol?

ATEB.—Mae y Cyfammod Gweithredoedd yn gofyn bywyd y dyn yn bresennol, fel y mae yn droseddwr euog o honi, a hyny yn ol ei bygythiadau, neu Iawn dragywyddol anfeidrol, am na chadwyd yr ammodau. Er bod yr Arglwydd yn hollol rydd oddiwrth ammodau y Cyfammod o'i ochr ei hun, etto nid yw y dyn yn rhydd oddiwrth fygythion arswydol y Cyfammod toredig hwn, er iddo yn hollol golli ei nerth i ufuddhau iddo. Mae y dyn, fel troseddwr, yn wrthryfelwr i lywodraeth gyfiawn, awdurdod oruchel, a sancteiddrwydd dwyfol; am hyny y mae'n euog i ddyoddef yr holl felldithion cyhoeddedig. Mae y ffyddloniaid yn rhydd oddiwrth y Cyfammod Gweithredoedd trwy groeshoeliad a marwolaeth Crist. Diddymwyd y Cyfammod Gweithredoedd i'r holl gredinwyr yn marwolaeth y Cyfryngwr, felly nid oes gan y rhai sydd yn eiddo Crist a wnelont a'r Cyfammod Gweithredoedd.

3. Pa beth y mae y Ddeddf Foesol yn ei ofyn gan ddyn yn bresennol?

ATEB.—Mae y Ddeddf Foesol yn gofyn perffaith ufudd-dod gan ddyn yn wastadol, mewn meddwl, gair, a gweithred. Nid oes modd i'r dyn wneuthur un weithred na bo'r Ddeddf yn sylwi arno, ac nid oes modd iddo droseddu yn ei herbyn na bo'r trosedd hwnw yn ei roddi yn hollol i'w gafael. Y mae y ddeddf hon yn rheol sanctaidd am byth i'r ffyddloniaid.

THETA, *Waunfawr*.

## HANOVER. 10, 10, 11, 11.

**Handel.**

Mae angau yn awr, â'i fin..iog oer gledd, Yn tor....i i lawr rhyw lu.....oedd i'r bedd;

Heb ar..bed nag oedran, na rhyw, nac ys..tad, Hen....af..gwr, na babau, na mammaeth, na thad.

*Gwel Eiriau priodol i'r Don hon, dan yr enw Emyn Claddedigaeth, ar y ddalen nesaf.*

# BARDDONIAETH.

## EMYN CLADDEDIGAETH.

*Ar y dôn "Hanover."*

Mae angau yn awr, â'i finiog oer gledd,
Yn tori i lawr ryw luoedd i'r bedd;
Heb arbed nag oedran, na rhyw, nag ystâd,
Henafgwr na baban, na mammaeth na thad.

Y gwych fel y gwael, y drwg fel y da,
Y cybydd a'r hael, eu gosod a wna
Ynghyd megys defaid, yn waelion eu llun,
Yn ymborth i bryfaid y llwch bob yr un.

Mae'n gadarn a hyf, a'i drem a bair fraw
Trwy galon y cryf, a'r gwrol, pan ddaw;
Ar bob dychryniadau mae'n frenin yn wir,
A rhag ei arswydau fe gryna y tir.

Trwy bechod y daeth i blith y rhai byw,
Teyrnasu a wnaeth ar holl ddynolryw;
'R awdurdod a gafodd sy gref, mae'n ddiau,
Erioed ni ddiangodd neb rhagddo ond dau.

Daeth heibio yn awr â'i farwol lem saeth,
Trywanu i'r llawr ein brawd* hwn a wnaeth;
Ei luddias nid allai cyfeillion, rai mwyn,
Efe nid ystyriai eu galar na'u cwyn.

Ei hebrwng a wnawn yn awr tua'r bedd,
A'i adael a gawn i huno mewn hedd;
Ei gnawd a falurir gan bryfaid y llawr,
Ac mwyach nis gwelir hyd fore'r dydd mawr.

Mae'r ddu gyfyng awr, yn prysur nesâu,
Pan dynir i lawr fy mhabell wan frau;
O Dduw dod drugaredd, a maddeu i mi,
Yn rhad fy anwiredd, attolwg i ti.

*Liverpool.* MINIMUS.

## AWDL I'R YSGOL SABBATHOL.

YSGOL Sabbathol, syw bethau—llesol
Oll iesin ei diliau,
Tra seirian gell trysorau,
Ei mawl a'i hedd sy'n amlhau.

Athrofa, un uthr* hefyd, * *wonderful.*
Gwinllan, a mwyn berllan byd.
Llysieuog ar ddeiliog ddol
Eginaidd ardd ogonol:
Ei hiach einioes a'i chynydd
O afon Sion y sydd.
I'w bagad yn ben bugail
Mae Iesu, yn gu o'i gail.
*Raikes* a *Siarl* a fu yn arlwy†
I ni wledd, nid mawredd mwy.

Arlwyad o rad yr ION—mewn harddiaith,
Gwir ddiledïaith i'r gwâr dylodion.

E gilioedd ofergoelion,—diflanwyd
Affuniaidd arferion.
Ewybr êthawl had Brython,
Trwy gynnyrch ei llewyrch llon.

* Neu, *ein chwaer hon*, yn ol yr amgylchiad.
† R. Raikes, Ysw. o Gaerloyw, a'r Parch. T. Charles, Bala.

Y bachgen yn ddarllenydd,
A'r fun wen heb sen y sydd;
O ddawn addien Dduwinyddiaeth
Mae'r fam gu i'w llu'n rhoi llaeth.
Cynnyddu mae cain addysg,
Gwna ddoethion ddynion o ddysg.
Da agwedd Weinidogion
Fedd nefoedd o'i lluoedd llon,
Myn agor, dyma 'i neges,
Ddeall dyn, hi lyn i'w les;
Cael enaid o'r cwl* annuw, * *a sin.*
Ei ddattod i ddod at Dduw.
Trwy ein Iesu, tra'n isel,
Gweini mae o'i gwin a'i mel.
Llawforwyn hygall fwriad.—
Athrywyn rhwng dyn a'i Dad—
O d'w'llwch myn y deillion
I olwg hardd heulawg hon:
Yn ei swn canfyddwn foes
Mer enaid a mir einioes.

Ysgol iawn fuddiol fwyn foddion—rhy' [obaith
Diarhebol i ddynion;
Yr ie'ngaf a'r hynafion,
*Pawb* yw nod hynod hon.

O'i deiliaid gwneir duwiolion;—o ddiriaid
Gwna ddewrwych enwogion;
Yn ei chol gwar nefolion,
Berlau heirdd, bur loywa hon.

Aed yr iesin aur drysor—wiw gariad
I gyraedd pob goror:
Efengyl (yn gref angor—y bobloedd)
Aed i 'nysoedd ei rhad aneisor.

Golwg o lwyr ymgeledd
Ddyry hon i waelion wedd;
Y truenus tra annuw
Wnaiff eu dal cyn dial Duw,
Gwel'd rhag cur ei gysur ga,
Oen addfwyn Duw yn noddfa.
Yn ymyl efengyl fwyn
Llafurio mae'r llawforwyn.
Ysbryd y bywyd a bair
Egori ynddi 'r gwirair.
IOR yn rhodd o'i fodd a fyn
Waredu llawer adyn.
Blaidd a'r oen mewn hoen a hedd,
A borant ynddi'n buredd:
Daw 'n heddwch—mae Duw'n addaw—
Y llew yn llon dirion daw;
Arth aswy eorth isod
Fal buwch fydd mae'r dydd yn dod;
Eu llydnod a ddaw'n llednais,
Yn un llu ac yn un llais
Moliannus, bydd miliynau
O dyner wyn dan yr iau.

Y rhai dylaf yn rhodio a welir,
A gwiwfawr addysg hyn gyfarwyddir,
A hy-ddwys gabliaid ynddi ddysgyblir,
I fyw dda osgo oll fe'i haddysgir;
Yn sibrwd hon y sobrir—y meddwon,
A hwy i'r union a hoyw arweinir.

Mwyn a siriol mae ein seren
O nefolfyd haf ei helfen,
Daw o'i llewych diwall, llawen,
Hedd i orr y ddaearen.

Fel y wawrddydd,
Dros y gwledydd, } Aed ychwaneg;
Nod ei chynnydd,

Ei gogoniant,
Fyddo'n foliant } Goleu-fyneg.
A gwyl fwyniant,

Ei haddysg, Duw a'i llwyddo,
Ym mhob dyffryn, bryn, a bro;
Gwych enwog yw ei chynnydd,
Fflam o dân buan y bydd.
Ac ar led dros y gwledydd,
Caed heb wad ei rhediad rhydd.
I lafur yn dylifo
Ei channoedd yn filoedd a fo,
A'i miloedd hi yn amlhau
O ddawn Ion yn fyrddiynau.
A myrddiwn ar fyrddiwn fo
Heb lediaith i'w da bleidio.
Duw a ddel i'w harddel hi,
Aur lanerch bore oleuni.

R. JONES. (*Asiedydd.*)

*Liverpool.*



---

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

## CYMDEITHASFA ABERGELE.

SYR,—Cynnaliwyd y Gymdeithasfa flynyddol (a gynnelid yn Llanrwst bob blwyddyn, er's blyneddau lawer); y flwyddyn hon yn Abergele, Ion. 6, 7, 8. Bu yma un cyfarfod pregethu yn yr haf bedair blynedd i'r haf diweddaf, ac enw Association arno gan rai, hon y mis hwn oedd y Gymdeithasfa gyntaf erioed am a wn i, a fu yn y lle.

Pan olygwyd ar symudiad y *Sasion* o Lanrwst, er mwyn lles cyffredinol; ac yr amneidiwyd arnom ninnau yma ei derbyn, er lles y parth hwn o'r wlad, crynu ac ofni yn fawr yr oeddym, yr oedd meddwl pa le y caem arian, bwyd, gwelyau, stablau, gwair, a lle cyfleus i gynnal y moddion cyhoeddus; yr oedd meddwl pobpeth fel hyn yn fraw ini: ond buan y gwelsom nad oedd achos ofni, ac erbyn hyn gallwn eich hysbysu fod y caredigrwydd nid yn unig yn ddigon, ond yn fwy na digon; fel mae yn debyg na ddangoswyd mwy o garedigrwydd at Gyfarfod o'r fath yn un man nag a ddangoswyd yma. Ac yn ben ar y cwbl, cawsom arwyddion amlwg iawn o foddlonrwydd yr Arglwydd; a hyny y'mhob cyfarfod; fel na raid ini feddwl fod ei symud yma am y tro, yn beth croes i'w ewyllys ef. Da genyf allu eich hysbysu fod saith wedi troi wyneb atom i'r eglwys yr wythnos hon, sef y gyntaf ar ol y Cyfarfod, pa faint a ddaw etto ni wyddom ni, ond ni a obeithiwn *lawer*, a hyny o rai *byw*, a *chadwedig*.

Trefn y cyfarfod oedd fel y canlyn:—

Dydd Mercher, Cyfeisteddfod y Siroedd, am 3 ar gloch; ac am 6; gweddiodd Mr. John Bywater; pregethodd Mr. Edward Price, Birmingham; a Mr. Richard Humphreys, Dyffryn.

Dydd Iau am 10, Cyfarfu y Pregethwyr a'r Blaenoriaid. Am 2, Cyfarfod Athrawon, &c. yr Ysgolion Sabbathol—da a llewyrchus iawn.

Dydd Gwener, am 8 y boreu, Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid; a'r mater fu dan sylw oedd Cyfiawnder Ymarferol.

Trefn y moddion cyhoeddus oedd fel y canlyn, sef mewn dau Gapel, Capel y Wesleyaid, a'n Capel ninnau; ac o herwydd i ni gael y ddau Gapel buom yn hynod gysurus, ac yr oedd y ddau yn lled lawnion, ac etto heb fod yn anghysurus.

Nos Iau am 5 yn ein Capel ein hunain, gweddiodd Mr. Joseph Williams, Liverpool; pregethodd Mr. Foulk Evans, Machynlleth; a Mr. John Walters, Ystrad Gynlais.

Dydd Gwener, am 6 y boreu, gweddiodd Mr. John Jones, Newbwrch Môn; pregethodd Mr. Wm. James, Morganwg; a Mr. Hugh Jones, Llanerch y medd.

Am 10, gweddiodd Mr. Richard Roberts, Dolgellau; pregethodd Mr. David Elias, Môn; a Mr. John Jones, Tal-y-sarn.

Am 2, gweddiodd Mr. David Rees, Capel Garmon; pregethodd Mr. Robert Davies, Llanfair; a Mr. Daniel Jones, Llanllechyd.

Am 6, gweddiodd Mr. John Evans, Llanrhaiadr; pregethodd Mr. J. Jones, Runcorn; a Mr. John Phillips, Treffynon.

Yn Nghapel y Wesleyaid. Nos Iau, am 5, gweddiodd Mr. John Prydderch, Môn; pregethodd Mr. David Lewis, Liverpool; a Mr. John Jones, Tal-y-sarn.

Dydd Gwener, am 10, gweddiodd Mr. Owen Jones, Wyddgrug; pregethodd Mr. Richard Williams, Liverpool; a Mr. John Walters, Morganwg.

Am 2, gweddiodd Mr. John Evans, Llanrhaiadr; pregethodd Mr. Richard Humphreys, Dyffryn; a Mr. John Phillips, Treffynon.

Am 6, gweddiodd Mr. William Pugh, Bala; pregethodd Mr. John Edwards, Berthen; a Mr. John Prydderch, Môn.

Ydwyf yr eiddoch,

JOHN FOULKES.

Abergele, Ion 13, 1841.

## HANESION TRAMOR.

**China fawr.**—Mae Llyngeswyr a milwyr dewr Brydain wedi ennill Ynys Chusan oddiar y Chineaid, a hyny heb golli cymmaint ag un bywyd o'n hochr ni, a dim chwaneg na deugain o fywydau y trigolion. Cymmerwyd prif ddinas fawr yr Ynys er ei bod wedi ei hamgylchu â chaerau llydain a chedyrn. Pryd gynted ag y saethodd un o'n llongau un ergyd o Fagnel fawr at dŵr addoliad eilun yr hwn oedd ar ben bryn gerllaw y ddinas, ffodd y milwyr gwarcheidwol wrth y cannoedd, a gadawsant y tŵr a'r ddinas agos yn wâg o drigolion. Aeth ein gwyr arfog i mewn, a chyhoeddasant ein Môrgadfrig yn Benaeth y ddinas a'r Ynys yn y fan.

Yn fuan ar ol hyny, cychwynodd y concwerwyr Prydeinaidd tua Pekin, prif ddinas China. Gwel Hanes Pekin yn y Rhifyn hwn. Dysgwyl yr ydys gael clywed oddiyno y naill ddydd ar ol y llall. Bydd rhyw newydd o bwys genym i'w gyhoedi yn ein Rhifyn nesaf.

**Twrci a'r Aipht.**—Mae y Morgadfrig Napier, gyda'i lynges Frytanaidd, wedi dynesu at Alexandria yn yr Aipht, ac wedi llwyddo gyda Mehemed Ali, llywydd y wlad hono, i sefydlu heddwch rhwng y Twrciaid a'r Aiphtiaid, fel na bydd dim chwaneg o dywallt gwaed. Llwyddodd milwyr cyngreiriol Brydain, Rwssia, Prwssia, ac Awstria, i ennill holl Syria o law y rhyfelwr dewr Ibrahim Pacha, mab llywydd yr Aipht; ac mae yn debygol fod hyny wedi dychrynu yr hen wr ei dad, fel y bu gorfod arno gyttuno âg ammodau heddwch a gynnygid iddo gan y Llyngeswr doeth Napier, o Frydain. Bu Ymerawdwr Twrci yn lled gyndyn i oddef i Mehemed Ali i fod yn llywydd sefydledig yr Aipht. Ond, mae yn amlwg, oni buasai i'r Galluoedd Cyngreiriol ddyfod ymlaen i roi attalfa ar rwysg lwyddiannus Ibrahim Pacha yn Syria, na buasai efe nemawr o fisoedd yn gorphen dryllio Ymerodraeth Twrci yn chwilfriw mân. A da y gwyr y Twrc, pe gollyngid y rhaff i lywydd yr Aipht, na byddai efe, er y cwbl oll, ddim yn hir yn gorchfygu ei Ymerodraeth fraenllyd ef; ac am hyny, er mor gyndyn yw yr Ymerawdwr, y mae ef yn y fath gyfyngder fel y mae yn gorfod arno law-arwyddo y drefn osodedig gan y Cyngreirwyr.

**Yspaen a Phortugal.**—Mae y ffrwgwd gwyllt a ddechreuodd rhwng y ddwy deyrnas hyn yn debyg o gael ei sefydlu heb dywallt gwaed; canys y mae Spaen a Portugal wedi cymmeradwyo Brydain i gyfryngu rhyngddynt, ac i adferu heddwch cymmydogol iddynt. Mae y cyfryngaeth hwn yn myned ymlaen yn llwyddiannus.

## HANESION CARTREFOL.

**MAWR ORFOLEDD YN ABERLLEFENY, MEIRION: ETIFEDD YN DYFOD I'W OED.**

**Heblaw** y parch a ddangosir yn flynyddol ar y Nadolig, fel dydd ei enedigaeth i Etifedd mawr y nefoedd a'r ddaear, cafodd trigolion Aberllefeny, Corris, Machynlleth, a'r amgylchoedd, achlysur, mewn undeb a hyny, o ddangos arwyddion o lawenydd a pharch, ynghyd a'u hymlyniad serchog a ffyddlawn wrth R. D. Jones, Yswain, o Gyf-fronnydd yn Sir Drefaldwyn; am y deuai efe ar y dydd hwnw i'w oed, i feddiannu y stad grybwylledig, yr hon a ddisgynai iddo ar ol ei ddiweddar daid John Davies, Ysw. Machynlleth.

Tu ag at enwogi dydd dyfodiad boneddwr o deulu mor haelionus a theilwng i feddiant o'i etifeddiaeth, cyfranodd y deiliaid a'r chwarelwyr, ynghyd a lluaws o ewyllyswyr da i Jones a'i deulu parchus, yn helaeth a gwirfoddol tu ag at bwrcasu ychain, bara, &c. i'w cyfranu ar yr achlysur i dlodion yr ardaloedd.

Penderfynasant hefyd oll yn unfryd i gyd-gyfranogi o giniaw yn neuadd fawr y palas, ac anrhegu holl blant yr ysgol ddyddiol â'r unrhyw, yr hon a arlwywyd yn anrhydeddus gan Mr. a Mrs. Edwards, Aberllefeny.

Mor gynted ag y torodd gwawr y dedwydd ddydd, wele gannoedd o greig-fagnelau yn cael eu tanio yn ol ynol gan y chwarelwyr, nes oedd hen greigiau Meirion a Threfaldwyn yn dyspedan. Yna ymgasglodd y lluaws crybwylledig o gwmpas palas Aberllefeny yn brydlawn i'w ciniawa yn orfoleddus; ac wedi addurno tua 120 o blant perthynol i'r ysgol ag ysnodenau cochion a gwynion yn Nghorris, cerddasant yn drefnus oddi yno bob yn ddau tu ag Aberllefeny. Wedi iddynt hwy a'u hathraw fod am ychydig yn canu yn yr ysgoldy eang a hardd a adeiladodd Col. Jones, tad y boneddwr ieuangc yr ewyllysiem ei anrhydeddu, i ddysgu ei ddeiliaid a'i weithwyr ynddo yn Sabbathol ac wythnosol, cerddasant yn drefnus ar hyd rodfeydd y palas dan ganu, nes yr adseiniai mynyddoedd Ceunant-du a Moelgrochon. Yna ciniawodd tu a 250 trwy y cwbl yn y neuadd. Wedi ciniaw, eisteddodd cwmpeini mawr mewn ystafell eang arall, i yfed iechyd da i'w meistr ieuangc, ei anrhydeddus dad a'i briod; Capt. Ellis, goruchwyliwr y cloddfeydd dan Jones, &c. A thrwy y caniatâd gan Mr. Edward Edwards, y cadeirydd, i bob un yfed y ddiod a dybiai orcu i'w iechyd ei hun, wrth yfed iechyd da i'r boneddigion uchod, barnodd pawb agos mai y *spring water* a dardd yn *Aberllefeny park* oedd yr iachaf. Yn y gyfeillach, adroddodd Mr. J. A. Owen, Bardd Meirion, amryw Englynion

cynnwysfawr yn datgan cyfiawnder, haelioni, &c. teulu hynaws Cyf-fronnydd. Diolchem i'r Bardd clodwiw am weled ei gyfansoddiad yn argraffedig. Gan nas gallasai y plant ganu Englynion Mr. O. canasant Hosanna i Fab Dafydd yn y palas, fel y gwnai rheiny gynt yn y Deml, ar y penuill canlynol—

Hosanna to King David's Son,
Who reigns on a superior throne;
We bless the Prince of heavenly birth,
Who brings salvation down on earth.

Wedi hyny aeth pob un i'w gartref yn llawen.

Bore Sadwrn, rhanwyd yno i agos ddau cant o deuluoedd tlodion, un o'r ychain tewaf, efallai, a laddwyd yn Nghymru erioed, ynghyd a thorth o fara i ganlyn pob darn o gig. Pwysai yr ŷch a laddwyd ac a ranwyd yn Aberllefeny dros 260 pwys y chwarter. Rhanwyd un arall yn Machynlleth; ac anrhegwyd holl blant yr ysgol wladol â chiniaw danteithiol ar yr un achlysur.

Gan fod chwarelwyr Aberllefeny mor hylaw ar dyllu a saethu, yr oedd y creigfagnelau ddydd Sadwrn yn seinio megis *chimes* o goppäau ac ochrau y clogwyni; fel pe buasent am i'r creigiau ddatgan eu gorfoledd am barhad o berchenogion hynaws olynol yn dyfod i'w meddiannu.

Rhoddwyd annogaeth hefyd i Mr. Evan Rowlands, gwe: tŷwr Corris, i barottoi ciniaw ddydd Sadwrn: yr hyn a wnaeth efe a'i briod yn barchus iawn. Pan oedd y cerbyd mawr yn dyfod yn llwythog iawn gan foneddigion Machynlleth i wledd Corris aeth degau o'r chwarelwyr i'w gyfarfod chwarter milltir o'r pentref, ac ymrestrasant yn lle'r meirch i'w dynu i mewn gydag ardderchogrwydd ac hyflymdra anarferol; tra hefyd y gollyngai rhyw nifer o honynt *gasg* o byg yn wenfflam dân i lawr un o serth fryniau Aber Corris;—fel nas gwyddai yr edrychwyr pa ochr i droi eu golwg gyntaf.—Wedi i gant neu fwy giniawa yn Nghorris, bu yno hefyd yfed iechyd da i deulu'r etifedd gan gwmpeini hardd a sobr. Credwyf mai y *Paradise Wine* a fernid iachaf gan y rhan fwyaf yma etto. Clywais fod yn y gyfeillach hon dri o brif Feirdd yr oes, Bardd Meirion, Bardd Callestr, a Gwilym Padarn, yn canu am gyfiawnder a thrugaredd teulu Jones yn ardderchog iawn. Nid rhyfedd fod eu drychfeddyliau mor dreiddgar: *spring water* yw diod y tri hyn er ys blynyddoedd bellach. Mae y fro hon yn teimlo parch mawr i Capt. Ellis am ei ddoethineb yn gollwng y gynulleidfa ar y nos Sadwrn hono mor gynnar; a hyny rhag i neb ormesu ar ddydd yr Arglwydd.

Hwyrach y tybia rhai ddarfod i ni golli ein *senses* cyn y cynnaliem y fath *frolicks* ar y cyfryw achlysur. Oni ddywed y Salmydd am i'r ddaear orfoleddu, oddi ar yr ystyriaeth mai yr Arglwydd sydd yn teyrnasu:—Gan hyny, ai ni ddylai hi orfoleddu hefyd i'r graddau y byddo ei phenaethiaid yn debyg i'r Arglwydd mewn uniondeb.

Tystia pawb sydd yma dan law hynaws deulu yr etifedd presennol, mai achos i orfoleddu a gawsant yn wastad o'u bod felly; ac nid amheuant i'r graddau lleiaf y pery hi felly etto dan y boneddwr ieuange hwn.
D. Evans.

*Aberllefeny.*

---

Llewyg hynod.—Hwyrach fod llawer o ddarllenwyr y Drysorfa wedi clywed am y ferch annedwydd isod, gan fod ei hanes wedi ymddangos mewn amrywiol o newyddiaduron y Dywysogaeth; ond gan fod yr hanes mor hynod, a bod llawer o'r rhai a'i clywsant yn ei farnu yn annheilwng o'u cred, cymerais y gorchwyl yn llaw o ysgrifenu ychydig o hynodion yr amgylchiadol; ac i wneyd hyny, nis gwn am un llwybr i'w gyflawni yn well, nag adrodd yr hyn a fûm yn llygad-dyst o hono.—Merch ydyw i Mr. John Davies, Hendrewillim, Plwyf Clyde, merch oddeutu 21ain oed;—y mae yn lled afiach er ys oddeutu 5 mlynedd yn ol, a blinid hi yn aml yr amseroedd hyny gan *lewygon;* ond er ys ychydig dros flwyddyn, y darfu i'w hafiechyd ennill y fath hynodrwydd blin ag y mae hi yn ddarostyngedig iddo yn bresennol.

Ar nos, yr 8fed o'r mis hwn, bûm yn ymweled â'r ferch annedwydd hon; pan ddaethum i'r tŷ, yn ynghylch wyth o'r gloch, yr oedd o ran ymddangosiad *fel un marw*, ei genau yn agored i'r eithaf, ei llygaid yn agored, heb ddim ysgogiad gweledig ynddynt, oddieithr rhyw symudiad arafaidd yn awr ag eilwaith gan ei hamrantau, yn gorwedd ar ei chefn, a'i dwylaw yn blethedig, a'i holl gorph a'i haelodau yn gwbl anhyblyg, yn berffaith lonydd, a gwedd ei hwyneb-pryd (*feature*) fel pe buasai yn huno yn yr angeu; ac yn yr agwedd hynod hon yn ydoedd er yr hwyr blaenorol. Ond tua 15 mynyd wedi 8 o'r gloch, yn gwbl ddirybudd, ymsythai yn ei heistedd mewn amrantiad, nes peri syndod a braw ar bawb ag oeddynt yn bresennol; yna ymddangosai yn y poenau, a'r dirdyniadau mwyaf arteithiol, gweithiai â'i dwylaw yn y modd mwyaf egniol, a'i hysgrechiadau oeddynt yn ddychrynadwy iawn, ïe yr oedd ei holl gyfansoddiad megis yn ymddattod; a'i hesgyrn megis yn dâd-gymalu: yn wir, yr oedd yr olygfa arni yn ormod braidd i natur ei oddef; ac y mae rhai wedi syrthio i lewyg wrth edrych arni; yr oedd ei hymdrech yn annarluniadwy.

Wedi bod yn yr agwedd gryhwylledig am

oddeutu 10 mynyd, yna syrthiodd yn ol i'r agwedd farwaidd, ac wedi bod felly am oddeutu mynyd o amser, yna dihunai, a thorai allan i wylo yn y modd mwyaf torcalonus am gryn amser; yna wedi dystewi o honi, galwai am fwyd, sef y bwyd pennodol a rag-rybuddiasai am dano y nos o'r blaen; bwytâodd ychydig o amryw fath o ddanteithion, ond er's llawer noswaith ni ellir cael ganddi fwyta dim, ïe, am lawer o nosweithiau olynol. Ymddyddanai yn rhydd a'i chydnabyddiaeth; ond hawdd gwybod fod ei gallnoedd meddyliol wedi gwanhau llawer, yr oedd yn lled gyffelyb i blentyn 4 neu 5 mlwydd oed. Mae ei chôf yn hynod o afaelgar am unrhyw addewidion a wneler iddi, ac y mae braidd yn analluadwy i'w thwyllo ag unrhyw beth yn lle y llall.—Cwynai yn fawr am y caledi a deimlai wrth syrthio i'r llewygon ac wrth ddadebru.

Ychydig fynydau cyn lleg o'r gloch gosodai ei thrysorau mewn trefn, a rhoddai orchymynion pa fwydydd a barotoent iddi erbyn nos dranoeth, ac am lleg estynai ei dwylaw a *ffarwelai* â phawb o'i chwmpas, ac mewn tarawiad amrant collai bob sylw, ac elai i'r poenau a'r dirdyniadau mwyaf arteithiol, yr un ffunud ag oedd wrth ddihuno, ac wedi bod yn y modd arteithiol yna am tua 10 mynyd, syrthiai yn ei gorwedd yn ddisymwth, yn yr un agwedd yn gywir ag yr oedd cyn iddi ddihuno: ac yn yr agwedd farw-debyg hon, yn hollol ddigyffro, y treuliai y gweddill o'r nos a'r dydd canlynol, hyd yr amser arferol y nos ddilynol. Nid oes unrhyw wahaniaeth o bwys ynddi un amser oddieithr ei bod ar ryw amserau yn cael rhyw ddirgryniadau anghyffredinol, pan yn nghanol ei chwsg annaturiol, ond nid ydyw un amser yn dihuno ar y cyfryw achlysuron, hyd yr amser arferol; cafodd y llewygon crybwylledig dair gwaith wedi Gwyl Fihangel diweddaf. Cyrchir i'w gweled gan ddynion o bob gradd a galwad, o'r parthau cyfagos, ac y mae ei hafiechyd hynod yn dyrysu gwybodaeth meddygon penaf yr ardaloedd.

Am wirionedd yr hanes uchod galiaf ardystio; ac os bydd ar feddwl rhyw un i ymofyn yn fanylach am yr amgylchiad, gyd â'r parodrwydd mwyaf ymdrechaf i roddi pob gwybodaeth ag a fyddo yn alluadwy i'w gael.

J. Thomas.

*Pontgareg, ger Castellnewydd Emlyn,*
*Ionawr 12ed*, 1841.

---

Y Senedd Ymherodrol.—Agorir y Senedd gan y Frenhines yn bersonol ar ddydd Mawrth, Ionawr 26. Eithr ni ellir cael cyfieithiad o'r Araeth frenhinol yn y Rhifyn hwn: cyhoeddir hi yn gyflawn yn y nesaf.

Pabyddiaeth.—Y mae 474 o Gapeli Pabyddol yn Lloegr a Chymru, ac yn Scotland 66, heblaw lleoedd heb fod yn Gapeli cyhoeddus lle y cyflawnir eu gwasanaeth. Y mae naw o golegau Pabyddol yn Lloegr, ac yn Scotland un. Y mae gan y Pabyddion 19 o Fynachlogydd yn Lloegr, ac un yn Scotland. Ac hefyd y mae 642 o Offeiriaid ganddynt yn gweinyddu yn y ddwy deyrnas, o ba rai y mae 19 yn Nghymru.

---

Marwolaeth drwy Feddwdod.--Ychydig ddyddiau yn ol, cynhaliwyd celain-ymholiad o flaen F. Thomas, Ysw. *Coroner* y ddinas hon, yn Handley, ar gorph un Helen Briscoe, yr hon a fu farw yn ddisyfyd drwy *Apoplexy*. Achosid ei marwolaeth drwy yfed llawer o *rum*—a dychwelwyd y rheithfarn yn ol y dystiolaeth uchod.

---

Haelioni—Yn nghorph yr wythnosau diweddaf cyfranodd Syr E. a Lady Mostyn, Talacre, Fflint, yn ol eu harferiad blynyddol, i ddau gant o deuluoedd tlodion plwyfi Llanasa a'r rhai cymmydogaethol, lawer o gig, a gwlaneni, a gwrthbanau. Gresyn na bai mwy o foneddigion yn eu hefelychu, yn Nghymru ac yn Lloegr.

---

Llong-doriad.—Collwyd yr Agerddlong *Thames* ar ei mordaith o Ddublin o Lundain a'r greigiau Silic (ynysoedd allan o ben tir Lloegr) ar y 4ydd o Ionawr diweddaf. Yr oedd ar ei bwrdd 65 o eneidiau, a'r oll a achubwyd oedd tair merch, ac un llongwr; a'r modd yr achubwyd y tair merch oedd, trwy gael cwch bach yn agos at y llong, a thrwy ymdrech fe'u cafwyd i'r cwch, a dim ond hwy; aeth y cwch a hwy i ynys fechan yn agos i'r llong, gan ddyagwyl i'r storm dawelu, er cael myned yn ol at y llong, ond chwanegu yr oedd y gwynt, fel nad allai y cychod fyned allan, felly yn fuan fe chwalodd y llong, ac aeth y rhan ol oddiwrthi, ac amryw o'r bobl arno, ac yn eu plith y llongwr a achubwyd, ar lleill i gyd a foddwyd.

Colliant Morwyr.—Y mae yn wybyddus fod 100 o forwyr wedi boddi yn y stormydd yn mis Tachwedd diweddaf, yn perthyn i Newcastle, a Sunderland; sef dau borthladd yn yr ochr ddwyreiniol i Loegr, o ba le y mae llawer o longau yn cludo glo i Lundain. Pa faint a foddodd o holl borthladdoedd ein teyrnas, nid yw wybyddus:—ond gwyddom am rai o'n cyfeillion anwyl sydd mewn galar, ac yn eu plith Captain D. Julian, e Aberystwyth, a gollodd ei fab Dafydd Julian, yn un ar hugain oed, a dau ereill o'i bobl i'w ganlyn. Trwy foryn mawr y cipiwyd hwy oddi wrth ei ochr dros y llong i'r môr, ac felly

fe'i gadawyd ef ac un bachgen arall, yn y llong: ond trwy ddaioni Duw, cyrhaeddasant i Bortsmouth. Yr oedd Dafydd Julian yn aelod o'r Methodistiaid, wedi ei fagu yn yr eglwys, ac wedi ei gadw, a'i dderbyn i gyflawn gymundeb yn Aberystwyth.

Bangor, Ion. 19, 1841. E. Ll.

---

*Damwain alarus.*—Ar y dydd olaf o'r flwyddyn ddiweddaf fel yr oedd gwr ieuanc, 30 mlwydd oed, yn gyru yn drwm, mewn cerbydan (*gig*) ar hyd un o heolydd y ddinas hon, taflwyd ef allan o honi, ac aeth yr olwyn dros ei forddwyd, a sathrodd y ceffyl ar ei ben. Bernir mai achos y ddamwain hon etto oedd yfed o'r diodydd meddwawl. Wedi ei ddwyn i'r *Infirmary* hon, bu dan arteithiau poenus am rai dyddiau, pryd y bu farw dan arwyddion o galedwch mawr. Cynnaliwyd celain-ymholiad ar ei gorph o flaen F. Thomas, Ysw. a dychwelodd y rheithwyr y farn o *Farwolaeth Ddamweiniol.*

*Damweiniau ar y rhew diweddar.*—Yn ystod yr amser rhewllyd diweddar yr wyf yn deall fod amryw ddigwyddiadau gofidus wedi cymmeryd lle, ac y'mhlith y rhai a fu dan sylw meddygon y tŷ hwn daeth y rhai isod, a da genyf allu hysbysu na ddilynwyd yr un o honynt â marwolaeth hyd yn hyn. Un bachgen, 17 oed, a syrthiodd o dan geffyl ac a dorodd ei goes, heb fod yn nebpell o'r ddinas hon.——Un dyn arall, 30 oed, yn y ddinas hon, a syrthiodd o ben pedrolfen lwythog, ar ei ben, ac a anafwyd yn dost. Achoswyd y ddamwain hon trwy fod y pethau yn y waggen yn llithrig gan rew, ac eisieu mwy o ofal wrth eu dringo.——Bachgenyn bychan, 11 oed, oedd yn chwareu ar yr afon (Dyfrdwy) pryd y daeth dau filwr ar ei draws, cyn iddo allu dianc oddiar eu ffordd a thorwyd ei goes yn y fan.——Un hen wraig, llawn 60 oed, a syrthiodd ar y rhew ac a dorodd ei braich. Ond y gresyni mawr yw, er fod aml rybudd yn cael ei roi, nad oes neb yn gosod at ei galon, ac yn ystyried.

*Diangfa ryfeddol.*—Ar y 12fed o Ionawr, ar gyffiniau y ddinas, fel yr oedd bachgen, 15 oed, gyd â'i orchwyl, syrthiodd dan olwyn y fen, ac er iddo ddianc â'i fywyd yn unig, etto aeth yr olwyn dros ei glun, a thorodd hi yn y fan.

T. J. Williams, *Caerlleon.*

---

*Damwain alaethus trwy dân.*—Ar ddydd Mercher, Ionawr 6, llosgodd plentyn bychan 4 oed, i John Williams, Uwch-mynydd-isaf, plwyf Hope, i farwolaeth, trwy i'w ddillad gymmeryd tân. Yr oedd ei fam wedi myned i ysgubor gyfagos, oddeutu 40 llath oddiwrth y tŷ, i helpu cymmydog i nithio, ac wedi gadael dau blentyn (sef yr un a losgodd, a geneth fechan ddwy flwydd oed) yn y tŷ eu hunain, a'r drws wedi ei gau. Yr oedd rhai o'r cymmydogion wedi eu clywed yn llefain yn groch, ond gan na wyddent nad oedd eu mam gyda hwy ni chyffroasant. Ym mhen oddeutu hanner awr dychwelodd i'r tŷ, pan, er ei dirfawr alaeth, y gwelai ei phlentyn yn gelain farw ar ganol llawr y tŷ, a'i holl ddillad wedi llosgi yn ulw, oddigerth ei esgidiau, ac ychydig o'i hosanau. Yr oedd yr olwg arno yn rhy anhawdd i'w ddysgrifio. O! na byddai i rybuddion mynych fel hyn beri i rieni fod yn fwy gofalus i gadw eu plant o gyrhaedd yr elfen ddinystriol hon. J. Powell.

---

## LLYFRGELL YR ATHROFA.

**Parhad o du dal. 32,**

Gan Robt. Morris, Ysw. Manchester.

| | | |
|---|---|---|
| Xenophontis Memorabilia ........ | 1 | Gyf. |
| Euripides (Porson) .............. | 1 | „ |
| Herodotus (Groeg) .............. | 3 | „ |
| Rollin's Ancient History.......... | 3 | „ |
| Dower's Atlas .................. | 1 | „ |
| Sophocles (Johnson) ............ | 2 | „ |
| Anabasis of Xenophon .......... | 1 | „ |
| Testamentum Græcum (interlineated) | 1 | „ |
| Horatii Opera .................. | 1 | „ |
| Xenophontis Cyropædeia ........ | 1 | „ |
| Vetus et Novum Testamentum Latinum................ ...... | 1 | „ |
| Vetus Testamentum Græcum .... | 1 | „ |
| Juvenalis Opera ... ............ | 1 | „ |
| Livii Opera .................... | 2 | „ |
| Memoirs of Dr. Darwin .......... | 1 | „ |
| Hart's Essays ...... .......... | 1 | „ |
| Potter's Grecian Antiquities ...... | 1 | „ |
| Taciti Opera .................... | 1 | „ |
| Pindari Opera .... .............. | 1 | „ |
| Horne's Principia .. ............ | 1 | „ |
| Traveller's Guide ................ | 1 | „ |
| Patrick's Geography ............ | 1 | „ |
| Leber's Prælectiones ............ | 1 | „ |
| Lucretii Opera .................. | 1 | „ |
| Hamilton's Remarks ............ | 1 | „ |
| Gregory's Conspectus .. .......... | 1 | „ |
| Strother's Observations .......... | 1 | „ |
| Ryckius ad Tacitum ............ | 1 | „ |
| Plutarchi Opera ................ | 1 | „ |
| Biographique sur Napoleon ........ | 1 | „ |
| Manuel pour les voyageurs .. ...... | 1 | „ |
| Suetonii Opera .................. | 1 | „ |
| Itineraire de Italie .............. | 1 | „ |
| Rollin's Belle Lettres ............ | 2 | „ |
| Historie de Charles XII .......... | 1 | „ |
| Ippocratis Opera ................ | 1 | „ |
| Juvenal's Works ................ | 1 | „ |
| Hobbe's Thucydides ............ | 1 | „ |
| Hill's Lexicon Græcum .......... | 1 | „ |
| Arrian de Expeditione Alexandri .. | 1 | „ |
| La Citta de Româ .............. | 1 | „ |
| Grotii Opera .................... | 1 | „ |
| Livii Opera .................... | 1 | „ |
| Gregory's Conspectus ............ | 1 | „ |

Plinii Epistolæ .................... 1 „
Diogenes Laertius ................ 1 „
Isocratis Opera.................... 1 „
&c. &c. ............................ 6 „

*I'w barhau.*

## MARWOLAETHAU.

Rhagfyr, 20, 1840, bu farw Mrs. Eleanor Cooper, gwraig Mr. Robt. Cooper, Lledrwr, Llangollen, yn 74 mlwydd oed. Bu yn aelod hardd, defnyddiol, a ffyddlon, yn nghymundeb y Trefnyddion Calfinaidd uwchlaw 55 o flynyddoedd, 40 o ba rai bu ei thŷ yn Llety cysurus i Weinidogion Crist, y rhai a dderbyniai yn groesawus ac a'i hymgeleddai yn garedig a dirodres: anfynych y cydgyfarfu yn yr un person y fath liosogrwydd o amrywiaeth doniau a rhagoriaethau, er addurno einioes, ac ennill serch a chymmeriad, ag oedd yn y wraig dduwiol a chariadus hon. Llawer a ddaroganid yn ei bywyd y golled a geid yn ei marwolaeth, ond wele heddyw y golled yn cael ei theimlo yn y wlad yn gyffredinol. Fel meddyges fedrus a chywrain yn iachau esgyrn briwedig a'u hadferyd i'w lle priodol, lliaws mawr a gyrchent ati yn feunyddiol o bell ag agos, llawer o ba rai a fethent gael iachad gan feddygon proffesedig, trwy ei medrusrwydd hi a gawsant aelodau adferedig, a dychwelyd adref yn llawen ag yn wasanaethgar i'w teuluoedd. I'w theulu yr ydoedd yn cyfateb i raddau helaeth i'r wraig dda hono a ddysgrifir gan Solomon; gellir dywedyd yn briodol, fel y dywedodd ei phriod galarus, ei fod wedi colli un o'r rhai rhagorol y ddaear. Yr ydoedd hi hefyd yn fam yn Israel, yn ei chynghorion pwyllog a doeth, yn ei rhybuddion caredig a ffyddlon, ynghyd a'i pharodrwydd i estyn cymmorth i'w chyfeillion ac ereill mewn angen. Hir y cofir gan ei chyfeillion ei dywediadau cynnwysfawr a phrofiadol; yn un o'r Cyfarfodydd eglwysig diweddaf y bu ynddo, adroddodd y geiriau hyny'n effeithiol iawn; "Pwy bynag fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, &c." dywedai fod Duw yn ystyried ei eiddo yr un peth ag ef ei hun. Yr oedd yn nodedig yn ei bywyd, am ei diwydrwydd yn moddion gras. Anfynych y gwelid ei lle yn wag yn yr ysgol Sabbothol, a'r cyfarfodydd gweddio, mwy na phan y byddai y pregethwr enwocaf. Bu yn gystuddiol tua saith wythnos, ac yn ystod yr holl amser hwn profodd beth a ddichon gwir grefydd wneud ar ran y sawl a'i meddo yn yr amgylchiadau cyfyngaf; ymddangosai yn hynod dawel a boddlawn yn ei holl gystudd, a dywedai yn fynych mai nid dyna y pryd yr oedd yn ymofyn am wir Grefydd. Fel yr oedd ei chystudd yn trymhau yr oedd hithau yn addfedu i fyned adref. Dywedai, wrth fwrw golwg ar ei harferion crefyddol a theuluaidd, yn ystod ei bywyd, nad oeddynt yn dwyn gofid iddi; fod ganddi wendidau a gwaeleddau i'w maddeu bob dydd, yr oedd ei hymddiried yn ddiysgog yn ei Duw, er, meddai, na wyddai fawr am y byd tragywyddol, ond y gwyddai hyny, mai byd yr un Un oedd a'r byd hwn, ei bod wedi ei gael yn dda yma yn sefyll at yr hyn a ddywedodd, ac yr ymddiriedai ynddo am y nesaf. Un o'r brodyr, pan yn ymweled â hi yn ei chystudd, a ofynodd iddi "beth oedd ganddi i ddweyd?" dywedodd wrtho "Ei bod yn meddwl y gallai ddweyd fel Paul 'mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd, o hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi. Mi a wn i bwy y credais, ei fod yn abl i gadw yr hyn a roddais ato er ys llawer blwyddyn.'" Dywedai un diwrnod wrth ei phlant "fod yr Arglwydd Iesu wedi bod yn ddigon iddi i fyw, ac ei fod ef hefyd yn ddigon iddi farw." Llawer o bethau ereill a ddywedodd teilwng o sylw ond gadawaf ar hyn.

Felly wedi iddi dreulio uwchlaw 55 o flynyddoedd o oes grefyddol, gellir dywedyd am dani fel y bu hi byw y bu farw, yn dawel a digyffro, â phwys ei henaid ar ei Phrynwr hael, mewn llawn hyder ffydd o gael myned ato i fyw, a'i weled fel y mae, a bod byth yn debyg iddo.

Ar y 26 hebryngwyd ei chorph yn weddus ac yn barchus, fel yr oedd y fath wrthrych yn teilyngu, a dodwyd ef i orwedd yn Monwent Llantysilio, gerllaw Llangollen, hyd foreu caniad yr udgorn.

Boreu Sabbath canlynol, traddodwyd pregeth ragorol ar yr achlysur, gan Mr. Richd. Edwards, Llangollen, oddiar y geiriau hyny. Rhuf. 2. 7. "Sef i'r rhai trwy barhâu yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragywyddol." GEO. HUMPHREYS.

Llangollen.

Idd ei gwr hi oedd goron,—i'w theulu
Etholawl fam dirion;
Iechyd i glwyfedigion,
A gloeyw sant yn eglwys Ion.

O'i marw prudd i'w Cymru bron—uwchlaw
oedd
Ei chlod i'r Meddygon;
Nid hawdd o'i hol o dduwiolion
Gael o hyd i wraig ail hon.

DAVID DAVIES. Collen.

Rhagfyr 27, 1840, bu farw Mr. Aaron Roberts, Druggist, Dinbych, yn 30 mlwydd oed.

Ionawr 15, 1841, bu farw Mrs. Williams, gweddw y diweddar Mr. John Williams, un o henuriaid Eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghaerlleon. Gwraig nodedig mewn duwioldeb oedd hon, a hi a fu farw mewn tangnefedd, gan huno yn yr Iesu. Claddwyd hi y dydd Iau canlynol mewn diogel obaith o adgyfodiad i fywyd tragywyddol.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXIII.] MAWRTH, 1841. [LLYFR XI.

## PREGETH

A BREGETHWYD GAN Y PARCH. J. JONES, Y BORTH, SIR ABERTEIFI, YN NGHYFARFOD MISOL WREXHAM, TACH. 18, 1840.

"Gwyliwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod, canys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo."—Luc xii. 15.

Y DYN bydol hwn a ddaeth at Grist, gan feddwl mai efe ydoedd y Messiah, ac y gwnai derfynu rhyw amrafael oedd rhyngddo ef a'i frawd. Mae yn debyg mai ei frawd oedd yr henaf; a chan fod y ddeddf (Deut. 21. 17.) yn rhoddi deuparth yr etifeddiaeth i'r henaf, mynai i Grist newid y ddeddf hon, a pheri i'w frawd ranu âg ef, er iddo ef gael cymmaint ag yntau; yn canfod y meddwl bydol hwn, mae Crist yn gwrthod ei gais, ac yn dyweyd, 'Y dyn, pwy a'm gosododd i yn farnwr, neu yn rhanwr arnoch chwi?' i'n dysgu nad yw achosion gwladol yn perthyn i weinidogion y gair; mae 'Gwr Duw i ochel y pethau hyn,' ag i 'barhau mewn gweddi a gweinidogaeth y gair.' Mae Crist yn cymmeryd achlysur i rybuddio pawb ag oedd yn clywed, rhag cybydd-dod; lle gallwn gasglu mai cybydd-dod oedd gwreiddyn yr ymofyniad.

'Edrychwch,' sylwch arnoch eich hunain, cedwch lygad eiddigus ar eich calonau, 'Ymogelwch,' gwyliwch, rhag bod egwyddorion cybyddlyd yn llywodraethu y galon: mae dyblu y gocheliad yn dangos difrifwch, a bod cybydd-dod yn nwyd rymus iawn: byddai yn dda i ddynion pur grefyddol sydd yn cyfreithloni eu hunain mewn cariad at y byd, sylwi mwy ar y gocheliad hwn: mae amryw ganghenau i'r gwreiddyn chwerw hwn, ac amryw raddau o hono: ychydig a geir nad ydynt, i ryw raddau, yn euog o hono, mewn rhyw ffordd neu gilydd. Pe deallem natur atgas y pechod hwn, a'r anhawsder mawr i'w wella, gwelem ddigon o reswm am y gocheliad.

I. Am natur, nodau, ac arwyddion cybydd-dod.

1. Mae hanfod y pechod hwn yn y gair 'Ariangarwch:' ewyllysio ymgyfoethogi yw; awydd anghymmedrol am fwy o gyfoeth, oddiar ormod gwerth ynddo, a chariad ato. Trosedd yw o'r degfed gorchymyn, 'Na chwenych.' Jos. 7. 21. 'Pan welais yn mysg yr yspail fantell Babilonig deg, a dau can sicl o arian, yna y chwenychais hwynt;' yn 1 Ioan 2. 16. 'Chwant y llygaid' y gelwir ef; nid oes terfyn iddo, na diwallu arno, pa faint bynag gaffo, eisiau cael mwy; Preg. 5. 10. 'Y neb a garo arian, ni ddigonir âg arian;' Hab. 2. 5. 'Efe a helaetha ei feddwl fel uffern, ac y mae fel angeu, ac nis digonir.' Dymuniadau naturiol ydynt yn llaesu, ond cael yr hyn sydd angenrheidiol, ond chwant nid oes diwallu arno. Rhyw frys awyddus am gyfoeth, fel un mewn clefyd poeth am ddiod, fel eryr yn ehedeg at ei ysglyfaeth, gafaelu ynddo gyda'r fath awydd, fel pe na wyddai y pryd i gael digon; ariangarwch, yr hon a 'rhai yn chwannog iddi.' Dynion ydynt yn gyffredin ar y cyntaf yn chwenych arian er mwyn cyrhaedd rhyw bethau dymunol ereill; ond llawer a ddechreuasant fel hyn a ddaethant o'r diwedd i garu arian er eu mwyn eu hun; a'r pryd hyn, mae yn dechreu bod yn gybydd, neu yn ddelw-addolwr. Caru arian, o dra serch at arian, ynddynt eu hunain, sydd agweddd ar ysbryd dyn hollol groes i ddeddf yr Arglwydd, yr hon a orchymyn i ni garu Duw â'n holl galon; yma mae euogrwydd y pechod hwn, cymmeryd y creadur yn lle Duw, yr hwn mae ganddo yr hawl gyntaf, Diar. 23. 26. 'Fy mab, moes i mi dy galon,' nid i'r byd: y serch, yr ymddiried a roddir gan y gwir addolwr i'r gwir Dduw, a roir gan y cybydd i'r byd. A yw y gwir addolwr yn caru Duw? felly mae yr eilun-addolwr hwn yn caru y byd; dewis y clai, o ran serch ac ymddiried o flaen Duw, gwreiddyn pob tegwch; pydewau toredig o flaen

ffynon y dyfroedd byw: mae yn gwrthod Duw fel pe byddai rhyw ddiffyg ynddo, ac na byddai yn ddigonol ddaioni. A yw y gwir addolwr yn myfyrio ar rinweddau Duw? felly mae y cybydd ar rinweddau ei dduw yntau. A yw dynion duwiol yn dda ganddynt lefaru am Dduw? felly dynion bydol am y byd. Ioan 3. 31. 'Yr hwn sydd o'r ddaear, sydd o'r ddaear, ac am y ddaear y mae yn llefaru;' A yw dynion duwiol yn synied pethau nefol? felly mae y rhai hyn yn synied, neu yn archwaethu, pethau daearol, Phil. 3. 19. At bethau daearol mae eu holl archwaeth, dim at bethau nefol: nid ydynt yn gweled dim gwerth ynddynt: nac yn teimlo dim syched am danynt, maent yn addoli ac yn syrthio o flaen tegwch y byd, ond nid ydynt yn gweled na phryd na thegwch yn Iesu Grist. Ysbryd y byd sydd yn eu hysu ac yn eu llywodraethu. 1 Cor. 2. 12. 'Maent yma yn eu helfen, fel y pysgod yn y môr.' 2 Pedr 2. 14. 'A chanddynt galon wedi ymgynefino a chybydd-dra,' fel nad ydynt yn teimlo dim euogrwydd. O! gynnifer sydd fel hyn, yn hongian gyda chrefydd a dyledswyddau, â'u calon yn myned ar ol eu cybydd-dod. Ezec. 33. 31. Chwi welwch y gall y chwant hwn fod yn dra grymus yn y meddwl, heb fod yn tori allan yn neillduol; ac mae arwyddion y gwahanglwyf hwn i'w chwilio tan y croen. Mae gair Duw yn barnu meddyliau a bwriadau y galon, y gwyrdroad cyntaf yn y galon ar ol cybydd-dod: ond lle mae yn llywodraethu yn y galon, gwelir ef, mae yn debygol,

2. Yn holl weithrediadau allanol bywyd, ac yn eu dull yn casglu y cyfoeth y maent mor dra chwannog iddo. Diar. 28. 20. Y neb a brysuro i fod yn gyfoethog, ni bydd digerydd, neu ddiniwed, gan ei frys a'i awydd ni fyn ddysgwyl amser Duw, am hyny mae yn troi at foddion pechadurus.' Diar. 20. 21. 'Etifeddiaeth a geir ar frys yn y dechreuad (wedi ei chasglu gyda gormod brys i fod yn gyfiawn) am hyny ei diwedd ni fendithir.' 'Budr-elw' wedi ei gael mewn ffordd wael anonest, 'gwneuthur masnach o air Duw,' fel Gehazi yn dyweyd celwydd er mwyn elw! ïe, gwerthodd Judas Iachawdwr y byd er mwyn elw, 'Beth a roddwch i mi, a mi a'i traddodaf ef i chwi, a hwy a gytunasant roddi iddo arian.' Mae miloedd heblaw Judas wedi bradychu Crist am arian. Weithiau maent yn dwyn trwy drais y peth sydd anghyfiawn, fel Ahab winllan Naboth, 1 Bren. 21. Mica 2. 2. Hab. 2. 9. Bryd arall maent yn atal y peth sydd gyfiawn, Iago 5. 4. 'Wele, mae cyflog y gweithwyr a fedasant eich meusydd, yr hwn a gam-attaliwyd genych, yn llefain.

3. Yn ei ddull yn defnyddio ei gyfoeth wedi ei gasglu: mae y defnydd mae dynion yn gwneud o'u meddiannau bydol, yn myned yn mhell i brofi beth yw eu cyflwr. Mae'r cybydd am feddiannu'r cwbl iddo ei hun, ac am gadw y cwbl iddo ei hun; hunan-gais ydyw cybydd-dod; 'trysori iddo ei hun,' 'mae genyt dda lawer,' meddai y goludog, yr oedd yn bwriadu y cwbl iddo ei hun, nid oedd yn gofalu dim am ei gymmydogion tlodion. Mae llawer yn gwario llawer iawn bob blwyddyn, ond y cwbl arnynt eu hunain; nid yw achos crefydd ac elusengarwch ddim gwell erddynt: fe allai fod y tenant yn rhoddi cymmaint at y Biblau ag yw y Land-lord; 'gwasgaru ei dda y mae, gan fyw yn afradlon,' nid gwasgarodd, rhoddodd i'r tlodion: mynai y meddwyn gael ei gyfrif yn hael, ond hael arno ei hun yw. Gwelwn ereill yn arbed mwy nag a weddai iddynt eu hunain; er fod ganddynt bob peth; etto, maent yn nacau y cwbl iddynt eu hunain; nid yn unig maent yn galed wrth y tlodion, ond wrthynt eu hunain; Preg. 6. 2. Iago 5. 3. Mae fel y ci yn y preseb, ni wnai fwyta y gwair ei hun, ac ni adawai i'r ŷch ei fwyta, peidio defnyddio yw cam-ddefnyddio trugareddau Duw. Preg. 5. 18. 'Pa faint o drugareddau a gam-ddefnyddir rhwng y ddau fath hyn o bobl, fel Stewardiaid drwg, mae y Meistr yn rhoddi digon, ond ni ddaw dim o'u dwylaw hwy.'

4. Darlunir cybydd-dod gan Grist yn y bennod hon trwy ormod gofal a phryder am bethau y bywyd hwn. Luc 12. 22. 'Na chymmerwch ofal am eich bywyd,' Luc 12. 17. 'Beth a wnaf?' Y *boggar* tlotaf ni allai ddweyd gair mwy gofidus; a beth oedd arno, dim ond eisiau lle i gasglu ei ffrwythau! pwy wnai gwyno iddo? I ddysgu i ni mai gofalon anghymmedrol a diangenrhaid, yw nod a rhan dynion bydol, y dywedir yn Diar. 15. 27. 'Codi yn fore, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau, mae yn ymflino i ymgyfoethogi,' ïe, y mae ni wel hun â'i lygaid gan y gofalon hyn.

5. Pan mae llawenydd neu dristwch y dyn yn ymddibynu ar ŵg neu wên y byd. Luc 12. 18. 'Fy enaid, mae genyt dda lawer, wedi eu rhoi i gadw dros

lawer o flynyddoedd, gorphwys, bwyta, yf, a bydd lawen;' mae yn gwneud ei hun i fynu yn y pethau hyn fel ei ran, yn ymfendigo yn ei lwyddiant bydol heb Dduw: nid yw yn sôn dim am gymdeithas â Duw, llewyrch ei wyneb, heddwch cydwybod; mae yn llefaru fel pe byddai holl ddedwyddwch dyn mewn bwyta ac yfed. Mae Job yn dangos i ni, er fod ei olud yn cynnyddu nad oedd yn rhoi ei galon arno; Job 31. 24, 25. 'Os gosodais fy ngobaith mewn aur, os dywedais wrth aur coeth, fy ymddiried wyt, os llawenychais am fod fy nghyfoeth yn fawr.'

6. Pan fyddo dynion yn fwy byw, effro, a deallus am bethau daearol, nag am bethau ysbrydol, hyn sydd am fod eu serch a'u myfyrdod yn fwy gyda'r byd; nid diffyg *talent* yw yr achos fod llawer mor dywyll yn mhethau Duw, ond diffyg tuedd a serch atynt; Luc 12. 34. 'Canys lle mae eich trysor, yno y bydd eich calon hefyd.'

7. Annrhugarogrwydd wrth y tlawd sydd ffrwyth arall ar y pren drwg hwn; 'Cerdda ymaith, a thyred amser arall, a chanddo beth yr awr hon.' 1 Ioan 3. 17. 'Yr hwn sydd ganddo dda y byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisiau, ac a gauo ei dosturi oddiwrtho, pa fodd mae cariad Duw yn aros ynddo ef.' Diar. 19. 17. 'Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd, a'i rodd a dâl ef iddo drachefn,' dyma yr arian sydd yn dwyn yr *interest* goreu.

8. Gwelir ef yn mhrinder ac afrwydd-der ei gyfraniadau. Pan roddo ryw faint, nid yw yn ei roddi yn llawen, megis bendith, ond megis o gybydd-dod, mae yn barod i ddyweyd, 'i ba beth y bu y golled hon? Caiff y byd yn llawen y goreu fedd, ond mae yn gweled pob peth yn rhy dda i'r Arglwydd: y dall a'r cloff y mae yn aberthu, nid y blaen-ffrwyth. Gen. 4. 4. 'Ac Abel yntau a ddwg o flaen-ffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt.' Mae cybydd-dod yn cynnyddu gydag amser, ac yn blaguro fwyaf mewn henaint, mewn dynion diras. Nid oes dim ond iechydwriaeth Duw yn dyfod i mewn i'r galon, a all wneud y cybydd yn hael, Luc 19. 8, 9, 10.

II. Mawr niwed a pherygl yr afiechyd ysbrydol hwn.

1. Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch; mae y rhan fwyaf o drueni a gofidiau dynion, yn gystal ac o'u pechodau, yn deilliaw yn ddechreuol oddiwrth ariangarwch. 'Peri i ddynion gyfeiliorni oddiwrth y ffydd,' dyma y drwg ysbrydol mae ariangarwch yn gwneud. 2 Tim. 4. 10. 'Demas a'm gadawodd gan garu y byd presennol: a 'gwanu eu hunain â llawer o ofidiau,' dyma y drwg naturiol a thymhorol mae yn ei wneud, wedi gwneud llawer oedd yn gysurus yn anghysurus dros eu bywyd, yn gorfod dyoddef dygnaf boenau cydwybod o herwydd eu hynfydrwydd. Dywed Mr. Bunyan, yn Nhaith y Pererin, i lawer golli eu bywydau wrth fyned i weled y mwyn arian, trwy anturio yn rhy agos i'r ogof, a'r ddaear yn dwyllodrus, cwympasant i mewn, ac ni welwyd hwy mwy: cafodd ereill glwyfau, fel na buont mwy yr un dynion tra ar y ddaear, 1 Tim. 6. 9. Geiriau sydd yn ddigon i beri i'n cnawd grynu, byddai yn werth i ni weddio bob dydd ar i ni gael ein gwared rhag cynnwysiad y geiriau hyn.

2. Mae yn trymhau calonau dynion fel y maent yn anghofio dydd angeu a barn, mae angeu a barn yn eu dal yn nghanol eu holl amcanion yn anmharod. Luc 21. 34. a 12. 20.

3. Mae yn tagu y gair, ac yn diffodd pob anadliadau ysbrydol ar ol Duw mewn dyledswyddau. Math. 13. 22. 1 Thes. 5. 6. 'Am hyny na chysgwn fel rhai ereill, eithr gwyliwn a byddwn sobr;' gelwir arnom i wylio mewn dyledswyddau, megys gweddi, 'a bod yn wyliadwrus tuag at hyn yma,' a thuag at hyn, rhaid i ni fod yn *sobr*, nid yn unig oddiwrth effeithau diodydd meddwawl, ond sobr hefyd yn ein hawydd am bethau y byd hwn. Pa fodd y gall dyn wylio, bod yn effro yn ysbrydol mewn gweddi, pan yn feddw gan ofalon bydol, eu sŵn hwy sydd yn ei glustiau tan y gair: mae rhyw allu tyniadol yn y ddaear ati ei hun, ni all esgyn fry o ran ei serchiadau, na gwneuthur cyrhaeddiadau uchel mewn addoliad ysbrydol; cariad at y byd yw yr hyn sydd yn rhwystro fwyaf ar broffeswyr yn eu cynnydd.

4. Cariad at y byd yw un o'r prif rwystrau i gredu, ac i fyned i mewn i deyrnas nef. Mae yn cadw llawer oddiwrth Grist sydd â rhyw duedd yn-ddynt ato. Mat. 19. 22. Yr oedd myned i'w ffordd yn athrist, yn dangos fod ynddo ryw duedd at Grist, ond mwy at ei gyfoeth. 2 Cor. 4. 4. Gelwir Satan yn dduw y byd hwn fel mae yn gwneud defnydd o'r byd hwn i daenu ei lywodraeth, trwy y rhai'n yn dallu meddyliau

dynion fel nad adwaenant y Gwaredwr. Mae y pechod hwn yn caledu y galon yn erbyn geiriau Crist. Luc 16. 14. Yr oedd geiriau Crist yn taro yn erbyn eu harferion, ni allent oddef i Grist gyffwrdd â'u Dalila, sef cybydd-dod. Yr hwn sydd yn byw tan lywodraeth y chwant hwn, ni all gredu mwy nag y gall yr hwn sydd wedi ei gladdu tan y ddaear weled yr haul; pan fo y galon wedi ei llenwi â'r ddaear, ni fydd yno le i Grist. Mae yn edrych mor graff ar un gwrthddrych fel nas gall sylwi ar y llall. Math. 22. 5.

5. Mae ymarweddiad ariangar yn ddianrhydedd mawr i'r efengyl. Heb. 13. 5. Mae yn groes i ysbryd Cristionogrwydd; mae yr eglwys yn dyfod i fynu o ran ei serch o anialwch y byd. Can. 2. 5. Dyeithriaid a phererinion ydynt ar y ddaear, rhai yn ceisio gwlad well. Y pethau hyn oll y mae cenhedloedd y byd (rhai nid adwaenant Dduw,) yn eu hargeisio, ond na chydymffurfiwch chwi â'r byd hwn.

6. Mae cariad at y byd yn anghyson â gwir grefydd. 1 Ioan 2. 15. Math. 6. 24. Mae gras Duw yn ein dysgu i ymwadu â chwantau bydol. Tit. 2. 11, 12.

7. Mae yn cau allan o'r nef. Eph. 5. 5. Bydd caru rhywbeth yn fwy na Duw yn sicr o'n cau o'r nef.

III. Enwi rhai pethau allant fod yn foddion i ddofi y syched hwn am bethau y byd.

1. Myfyrdod mynych a dwys ar wagedd cyfoeth. Diar. 23. 4, 6. 'A beri di i'th lygaid ehedeg ar y peth nid yw,' nid yw y peth mae yn addaw, a'r peth mae dynion yn ei ddysgwyl iddo fod, nid 'etifeddu sylwedd' yw; yn ganlynol ffolineb yw i bery llygaid y corph a'r meddwl redeg arno, canys golud yn ddiau a gymmer adenydd, ac a heda ymaith—hwy oddiwrthym ni, neu ni oddiwrthynt hwy. 1 Tim. 6. 17. 'Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, na byddont uchel-feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw.

2 Myfyrdod difrifol ar fyrdra amser a meithder tragywyddoldeb. 1 Cor. 7. 29, 30, 31. Mae yn gwasgu cymmedroldeb yn yr arferiad o bob peth daearol—cymmedroldeb yn ein serch atynt, oddiwrth yr ystyriaeth hon, am fod yr amser yn fyr—ysbryd pererin sydd yn gweddu i ni yma am fod yr amser yn fyr.

3. Meithrinwch ffydd ac ymddiried ·ywiol yn rhagluniaeth Duw a'i ofal tadol. 1 Pedr 5. 7. Anghrediniaeth o ofal Duw drosom yw yr achos o'n rhagofalon ni. Nac ofna braidd bychan (am angenrheidiau y bywyd hwn) canys rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas. Luc 12. 29, 30. Rhagluniaeth Duw yw yr etifeddiaeth oreu. Byddai yn dda i ni oll gredu hyn, byddai yn dda i rieni gredu hyn, gwnai hyn gymmedroli eu hawydd am gasglu trysor i'w plant: gosodant eu plant ar ben rhyw ffordd onest i ennill eu bywioliaeth, yna gadawant hwy ar yr Arglwydd, ac efe a'u ceidw hwy yn fyw, 'Y Duw a'ch porthodd chwi er pan ydych, a gyflawna holl raid eich plant.'

4. Byddwch awyddus iawn am y 'gwir olud,' y 'golud gwell yn y nefoedd ac un parhaus,' y 'rhan dda yr hon ni ddygir oddi arnom.' Luc 12. 31. 'Yn hytrach ceisiwch deyrnas Dduw.' Mae yr Arglwydd Iesu yma am droi ein serch at yr iawn bethau. Diar. 11. 4. Zeph. 1. 18. Y ddaear yw rhan y cybydd, a heneidia fel dilledyn, ceisiwch y Duw sydd yn parhau yr un, yn rhan dragywyddol: rhan yn y bywyd yma yw coelbren dynion y byd, y rhai fyddant yn dlawd byth. O! gweddiwn am fod yn gyfoethog tuag at Dduw, 'yn gyfoethogion mewn ffydd, gwnewch i chwi byrsau, y rhai ni heneiddiant, trysor yn y nefoedd, yr hwn ni dderfydd.'

5. Cofiwn nad yw bywyd neb yn sefyll ar amldra pethau sydd ganddo: gallwn fyw yn gysurus, yn barchus, yn ddefnyddiol, heb fyw yn helaeth; nid natur ond trachwant calon dyn sydd am amldra: pa wahaniaeth i ddyn pa un ai hanner cant o erwau mae yn aredig neu fil, mae mil yn fwy o rwystr nag o help, mae hanner cant yn llawn ddigon i holl ddybenion bywyd.

6. Myfyriwn lawer ar ogoniant Crist, yna tywylla gogoniant y byd, o herwydd y gogoniant tra rhagorol. Gal. 6. 14. fe gwymp y byd fel eilun drylliedig o flaen ei ogoniant.

7. Gweddi daer ar Dduw na oddefo i'n calonau wyro at gybydd-dod. Salm 119. 36. 'Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra:' ni orchfygwyd neb erioed gan un bai, a fyddai yn gwaeddi yn ddifrifol am help yn ei erbyn.

Galwaf eich sylw ar rai pethau yn mhellach.

1. Os ydych chwi am ochel archollion a siomedigaethau oddiwrth y byd, na cherwch y byd. Os wyt yn blentyn i

Dduw bydd yn sicr o chwerwi y byd i ti, os yw yn lladrata dy serch oddiwrtho. Ai nid hyn yw achos llaweor groesau plant Duw oddiwrth y byd, sef eu cynhesrwydd ato? Hos. 2. 6, 7. 'Am hyny, wele, mi a gauaf i fynu dy ffordd di â drain, ac a fwriaf fur, fel na chaffo hi ei llwybrau. A hi a ddilyn ei chariadau, ond nis goddiwes hwynt, a hi a'u cais hwynt, ond nis caiff; yna y dywed, Af a dychwelaf at fy ngwr cyntaf, canys gwell oedd arnaf yno nag yr awr hon.' Mae Duw yn gorfod gwneud fel hyn ddwywaith neu dair, a rhai o'i blant er mwyn tynu eu serch oddiwrth y byd, a'i gadw arno ei hun. Esa. 57. 17. 'Am anwiredd ei gybydddod ef y digiais, ag y tarewais ef.'

2. Os ydych am redeg yr yrfa, na lwythwch eich hunain â'r clai tew; mor lleied o ofalon bydol ag sydd bossibl, os bydd genym ymborth a dillad, ymfoddlonwn ar hyny, hyn yn unig oedd Jacob yn ei geisio, Gen. 28. 20. Dysged gras ninnau i fod yn gymmedrol yn ein dymuniadau am bethau'r byd, mor alarus fod yr enaid yn gorfod bod yn gaethwas i'r byd, ac anghofio ei fatterion uchel ei hun.

3. Na chymmered neb achlysur oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, i fod yn ddifatter am bethau y bywyd hwn, neu i fod yn ddiog yn ei waith, rhag iddo wrth ochel un drwg syrthio i'r llall. Diar. 18. 9. 'Y neb a fyddo diog yn ei waith sydd frawd i'r treulgar,' 1 Tim. 5. 8. 'Ac od oes neb heb ddarbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r diffydd;' dyledswydd pob Cristion yw bod yn ddiwyd i geisio ennill ei fywioliaeth yn gyfiawn, dyma y ffordd i ochel lladrad; Eph. 4. 28. 'Yr hwn a ladrataodd na ladrated mwyach, eithr yn hytrach cymmered boen;' nid yw yn hoffi cymmeryd poen i weithio â'i ddwylaw, a hyn sydd yn ei arwain i ladrata; bydded eich dwylaw ar y gaib a'r rhaw, (os rhaid yw) a rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, fel y morwr â'i ddwylaw ar y llyw, a'i lygaid ar y sêr.

4. Yna, wrth fod yn ddiwyd, bydd genych allu i fod yn hael; mae llawer o ddynion da yn ein gwlad na allant wneuthur yr hyn y maent yn ei wneuthur at achosion crefydd, ac elusengarwch, oni bai eu bod yn ddiwyd ac yn gynnil, maent yn ddiwyd ac yn gynnil i gael bod yn hael.

Egwyddor ragorol yw hon, bod yn ddiwyd ag yn gynnil i gael bod yn hael, neu fel y dywed yr Apostol, Eph. 4. 28. 'Gweithio â'i ddwylaw ei hun, fel y byddo ganddo beth i gyfranu i'r hwn y mae angen arno; i'r hwn mae angen tymhorol, 'mae genym y tlodion bob amser.' Peth uchel iawn a ddywedir am Cornelius, Act. 10. 4. 'Dy weddiau di a'th elusenau a ddyrchafasant yn goffadwriaeth ger bron Duw;' nid yw gweddiau o fawr werth oni fydd elusenau yn ol ein gallu.

Ond y mae angen ysbrydol y byd yn llawer mwy etto, 'newyn am air y bywyd.' Pa bryd y daw Cristionogion i deimlo fel y dylent, ac i gyfrannu fel y dylent, at ddiwallu yr angen hwn. O! frodyr, mae y Paganiaid yn marw o eisiau gwybodaeth, A adawn ni iddynt feirw? na atto Duw; ond mae yn rhaid i'r cyfraniadau fod yn helaethach na dim fu etto, cyn y cyflenwir yr angen hwn; rhaid i'r swllt fyned yn bunt, ac i'r bunt fyned yn ddeg punt, ac i'r cant fyned yn ddeg cant, Gofyned pob un iddo ei hun faint mae yn roi o'i ennill ac o'i feddiannau bydol at achos Duw a chrefydd. A ellir dyweyd am danom yr hyn a ddywedir am y wraig a eneiniodd gorph yr Arglwydd Iesu, 'Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth.' Achubwn y blaen, fel hono, yn ein dydd a'n hiechyd, i wneud pa wasanaeth a allom i achos Crist. Marc 14. 6. Luc 21. 3, 4.

Byddaf yn meddwl fod yn rhaid cael goleuni newydd ar y matter hwn. Haelioni fel goleuni Dirwest cyn y cyflawnir bwriadau Duw; rhaid i gyfoethogion y ddaear ddyfod i weled mai er mwyn hyn y mae eu cyfoeth wedi ei roddi iddynt, sef er mwyn gwasanaethu teyrnas y Cyfryngwr; Salm 45. 12. 'Merch Tyrus hefyd fydd yno âg anrheg, a chyfoethogion y bobl a ymbiliant â'th wyneb.' Pe byddai i'r swmiau anferth sydd yn cael eu gwario ar bethau afraid a niweidiol, megis *Tobacco,* a diodydd meddwol, gael eu troi at achos crefydd, buan y meddiannem y tir lawer iawn sydd genym etto heb ei feddiannu. Dyledwyr ydym i'r Groegiaid ac i'r barbariaid, i'r doethion, ac i'r annoethion hefyd, nes y rhoddom Fiblau yn eu dwylaw, a Chenadon i'w cyfarwyddo yn ffordd iechydwriaeth.

GWRANDAWR.

## [PREG]ETHU YR EFENGYL.

Y MAE llawer o sôn, yn ein dyddiau ni, am bregethu yr efengyl. Ni byddai yn anfuddiol i bregethwyr a gwrandawyr holi eu hunain, A ydynt yn deall beth yw natur a dyben pregethu yr efengyl. Nid pob siarad hyawdl, ffraeth, a threfnus mewn areithle yw pregethu yr efengyl—nid adrodd moesathroniaeth paganaidd, nac athronyddiaeth cywrain y philosophyddion, yw pregethu yr efengyl—nid traddodi rhyw araeth oddiwrth destyn yn y Bibl, na dywedyd y gair efengyl yn fynych, yw pregethu yr efengyl. Nid yw pob un a elwir yn Weinidog yr efengyl yn pregethu yr efengyl: er ei galw yn efengyl—*un arall* yw, wahanol i efengyl Crist; ac etto nid yw *arall*, nid yw *efengyl*. Nid yw yn cynnwys newydd da i bechadur sydd yn adnabod ei sefyllfa ger bron Duw.

Gelwir Gweinidogion Crist yn Weinidogion yr efengyl (er eu bod i bregethu yr holl wirionedd—"holl gyngor Duw") am mai yr efengyl sydd i fod yn swm a sylwedd eu holl bregethau; a'u bod i bregethu pob rhan o'r gwirionedd yn ei le priodol, ac yn ei berthynas â'r efengyl.

Ceisiwn sylwi—

I. Beth yw Pregethu yr Efengyl.

II. Pwy sydd i'w Phregethu.

III. Beth yw y dyben, neu y dybenion, o'i Phregethu hi.

I. Beth yw Pregethu yr Efengyl.

1. Mynegi, cyhoeddi, y newyddion da am ffordd i achub pechaduriaid oddiwrth eu pechodau, a rhag digofaint Duw. Luc 2. 10, 11. "Tystiolaethu efengyl gras Duw." Act. 20. 24. Dangos mai o gariad a gras penarglwyddiaethol Duw y mae iachawdwriaeth pechaduriaid yn tarddu. Ioan 3. 16.

2. Pregethu efengyl Crist—pregethu Crist, ei berson, a'i swyddau, ei fywyd, a'i angeu, ei adgyfodiad, ei esgyniad, a'i eiriolaeth, &c. "Pregethu Crist wedi ei groeshoelio." 1 Cor. 1. 23.

3. Pregethu y pethau sydd i'w cael yn, a thrwy Grist, i'r rhai oll a gredant ynddo. Cymmod, maddeuant, cyfiawnhad, sancteiddiad. Iachawdwriaeth lawn. "Efengyl ein hiachawdwriaeth." Eph. 1. 13. Cyhoeddi Crist yn bob peth i bechadur. 1 Cor. 1. 30

4. Gwahodd pechaduriaid colledig ato, i gredu ynddo, ei dderbyn, a'i ddefnyddio ef. Act. 10. 36, 43. a 16. 31. Rhuf. 3. 22. a 10. 9, 10

5. Trwy yr efengyl y mae Ysbryd Duw yn gweithio yn achubol ar eneidiau dynion; nid trwy un athrawiaeth arall. Gal. 3. 2, 5. Gweinidogaeth yr Ysbryd yw hi. 2 Cor. 3. 8. Y mae efe yn gweithio yn nerthol trwyddi. 1 Thes. 1. 5. a 2. 13. Rhuf. 1. 16. Sylw.—Os dysgwyliwn yr Ysbryd i weithio ar y bobl, pregethwn ei weinidogaeth ef yn bur, yn llawn.

II. Pwy sydd i'w Phregethu hi.

Y rhai a alwo ac a anfono Crist i hyny. Efe a dderbyniodd roddion i ddynion: ac efe sydd yn rhoddi bugeiliaid ac athrawon i'r eglwys, &c. Eph. 4. 8, 11, 12. Nid yw corph Crist yn cael ei adeiladu ond trwy rai a anfono efe.

Y mae y rhai y mae efe yn eu hanfon i bregethu yr efengyl wedi cael eu dwyn trwy ras i ddeall, i gredu, ac i brofi yr efengyl eu hunain.

1. Nid yw yn danfon rhai i rybuddio pechaduriaid am eu perygl, a dangos eu cyflwr colledig iddynt, heb weled eu perygl a'u colledigaeth eu hunain. Ond rhai yn "gwybod ofn yr Arglwydd y mae efe yn eu danfon i berswadio dynion." 2 Cor. 5. 11.

2. Nid yw yn danfon gelynion yn genadau heddwch; ond rhai yn gallu dywedyd "y mae genym heddwch." Rhuf. 5. 1. "A'n cymmododd ni âg ef ei hun, ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod." 2 Cor. 5. 18, 19.

3. Nid yw yn anfon rhai i ganmol Crist heb ei adnabod, a gweled ei ogoniant: ond rhai a welodd raddau o'i ogoniant, (Ioan 1. 14.) ac a'u profodd yn dirion. 1 Petr 2. 3.

4. Nid yw y rhai y mae Crist yn eu danfon i bregethu yr efengyl yn eu pregethu eu hunain, (2 Cor. 4. 5.) ond Crist. Nid ydynt yn ceisio eu gogoniant eu hunain, (Ioan 7. 18.) nac yn ceisio moliant gan ddynion (1 Thes. 2. 6.) am eu dawn, eu hyawdledd, na'u medr, &c.

5. Y maent yn esamplau i'r praidd. 1 Petr 5. 3. 1 Thes. 2. 10. Phil. 4. 8, 9. 2 Cor. 6. 6, 7, 8. Bod yn esamplau mewn sobrwydd, symlrwydd duwiol, gostyngeiddrwydd, hunan-ymwadiad, a phob rhinwedd sanctaidd.

III. Beth yw dyben, neu ddybenion, Pregethu yr Efengyl.

1. Dyrchafu a gogoneddu cariad a gras pen-arglwyddiaethol Duw. Ei ogoneddu ei hun yw dyben penaf Duw yn ei holl waith. Diar. 16. 4. Felly, gogoneddu ei ras yn iachawdwriaeth dynion. Eph. 1. 6. "Efengylu ym mysg y cenedloedd anchwiliadwy olud Crist." Eph. 3. 8. Dangos rhyfeddodau cariad, cyfoeth trugaredd, a golud gras Duw. Gan mai dyben penaf Duw ydoedd gogoneddu ei ras yn yr iachawdwriaeth, dylai dyben y rhai sydd yn pregethu efengyl iachawdwriaeth fod i ddyrchafu gras Duw.

2. Dyrchafu a gogoneddu Crist. 2 Cor. 4. 4. Pregethu Crist—pregethu yr Iesu. Pregethu am ei groes, ei angeu ef. Dangos ei ogoniant, a'i gymmwysder, fel Cyfryngwr ac Iachawdwr pechaduriaid. Pan y mae yr Ysbryd Glân yn gweithio trwy weinidogaeth yr efengyl, gogoneddir Crist. Ioan 16. 14. Ni ellir pregethu yr efengyl a gadael Crist allan, neu ei roi yn rhyw ail beth yn y bregeth.

3. Achub pechaduriaid. "Efengyl eich iachawdwriaeth yw." Eph. 1. 13. Cy,

hoeddi iachawdwriaeth. Bwriadwyd hi yn foddion achub. Pan y gweithio yr Ysbryd trwyddi y mae hi yn allu Duw er iachawdwriaeth. Rhuf. 1. 16. Y mae "Duw trwy ffolineb pregethu yn cadw y rhai sydd yn credu." 1 Cor. 1. 21.

Gan mai achub pechaduriaid yw un o ddybenion pregethu yr efengyl, dylai y Gweinidogion bregethu yn sobr a difrifol iawn; yn eglur, mewn ymadroddion agos i'r bobl, hawdd eu deall ganddynt.

(1.) Dangos i'r gwrandawyr eu bod yn bechaduriaid euog, aflan, a cholledig.

(2.) Pregethu Crist yn Geidwad cyflawn, a pharod, i'r fath rai.

(3.) Gwahodd pechaduriaid colledig, yn ngolwg eu trueni, i ffoi ato, i gredu ynddo; a dangos na chollir neb a gredo ynddo ef, ac y collir pawb ni chredo ynddo. Mai pechod ac ynfydrwydd mawr yw gwrthod Crist; etto y gall yr Ysbryd Glân orchfygu cyndynrwydd dynion, a'u hennill yn ewyllysgar i gredu yn Nghrist.

(4.) Dangos bod ffydd yn gweithio trwy gariad, yn peri ufudd-dod, a dwyn ffrwyth mewn gweithredoedd da.

Y mae lle i ofni nad yw pob areithiwr hyawdl mewn *pulpit* yn pregethu yr efengyl; ac nad yw llawer wrth feddwl am fyned yn bregethwyr yn ystyried natur, na mawr bwys pregethu yr efengyl. Mae llawer yn meddwl, os gallant hwy areithio yn hyf a hwylus ar ryw beth—os gallant gofio yn dda yr hyn a glywont, neu a ddarllenont—os gallant lunio araeth gyson oddiwrth ryw adnod, a'i hadrodd yn hyf a threfnus, &c. yna y gallant hwy bregethu yr efengyl, pryd y maent, fe allai, heb wybod ond ychydig am yr efengyl eu hunain. Gall fod gofal arnynt am allu traddodi eu haraeth yn dda, ac mewn dull cymmeradwy gan y bobl, heb amcanu dyrchafu gras Duw, dangos gogoniant Crist, nac amlygu y ffordd i gadw y colledig. Nid yw yr agweddau hyny yn gweddu i neb sydd yn pregethu yr efengyl.

Dylai y Gweinidogion bregethu yr efengyl yn eglur, yn brofiadol, yn ymarferol, ac yn gymmwysiadol.

(1.) Pregethu yn *eglur* (*plain*). Llefaru â'r geiriau a ddysgir gan yr Ysbryd Glân. 1 Cor. 2. 13. Llefaru megis geiriau Duw, "yn eglurhad y gwirionedd," (2 Cor. 4. 2.) "yn eglurhad yr Ysbryd, (1 Cor. 2. 4.) Llefaru trwy ein deall. 1 Cor. 14. 19. Llefaru yr efengyl heb ei chymmysgu â rhesymau philosophyddaidd, na chwedlau, nac mewn ymadroddion cywrain, tywyll, o ddyfais y cnawd, a doethineb y byd.

(2.) Pregethu yn *brofiadol*. Yr Arglwydd yn unig sydd yn dysgu i lefaru felly. Esa. 54. 13. a 50. 4. Gellir boddhau y cywrain a'r iach eu calon â rhyw ddysg arall; ond y mae yn rhaid cael dysgeidiaeth o'r uchelder "i allu llefaru gair mewn pryd wrth y diffygiol." Rhaid i'r llefarwr fod yn brofiadol o drueni dyn trwy y cwymp, o'i argyhoeddi o bechod, a marw i'r ddeddf, a ffoi at Grist i gael bywyd, o gael derbyniad gauddo, o ymgeledd gras, a dyddanwch yr Ysbryd. Gallu dywedyd wrth y bobl y pethau a welodd ac a brofodd.

(3.) Pregethu yn *ymarferol*. Y mae holl gangenau athrawiaeth yr efengyl i'w pregethu felly. Pethau yn perthyn i achub pechaduriaid; rhaid eu gwybod a'u cael i fod yn gadwedig. Ni fwriadwyd hwy fel pynciau cywrain i siarad a dadleu yn eu cylch. Ofer bod fel cân cariad un hyfrydlais iddynt (Ezec. 33. 32.) eu difyru heb eu cael i gredu a gwneuthur. Ond dysgu iddynt gadw pob peth a orchymynodd Crist. Mat. 28. 19, 20. Eu hannog i wneuthur dyledswyddau ar seiliau efengylaidd.

(4.) Pregethu yn *gymmwysiadol*. Llefaru wrth y bobl, nid am danynt, ac yn eu clywedigaeth, yn unig. Eu holi, a welsant hwy eu cyflwr colledig, a gwerth yr efengyl a'i thrysorau? A ydynt yn credu yr efengyl? A dderbyniasant Grist? A ydynt yn profi rhinweddau yr efengyl? yn eu dysgu? &c. Tit. 2. 10, 11, 12. A ydynt yn dwyn ffrwyth i Dduw? Rhuf. 7. 4. Gal. 2. 19. A ydynt yn ymddwyn yn addas i efengyl Crist? Phil. 1. 27.

(5.) Dylai pregethwyr yr efengyl wahaniaethu eu gwrandawyr, a rhoi i bawb ei ran ei hun o'r gwirionedd. "Yn iawn gyfranu gair y gwirionedd." 2 Tim. 2. 15. "Tynu y gwerthfawr oddiwrth y gwael." Jer. 15. 19. Rhoi eu rhan eu hunain i annuwiolion, i dduwiolion, a rhagrithwyr, ac i blant Duw mewn amrywiol amgylchiadau a phrofedigaethau, &c.

1. Ni ddylai pregethwyr gyfarch neb o'u gwrandawyr fel creaduriaid rhesymol, heb gwympo, pe felly byddent fel rhai yn curo awyr, yn llefaru i rai nad ydynt i'w cael i'w gwrando.

2. Ond y maent i gyfarch eu gwrandawyr fel pechaduriaid cwympedig, llygredig, a cholledig; dangos eu trueni iddynt, a'r ffordd i gael bywyd.

3. Gallant gyfarch ereill fel rhai oedd golledig ond a gafwyd: rhai oedd gynt ym mhell; ond "a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist." Rhai yn Nghrist, wedi derbyn y cymmod, wedi eu geni o Dduw. Dangos bod dedwyddwch y rhai hyn yn fawr, a'u dyled i ddyrchafu gras Duw, i fynegi rhinweddau yr hwn a'u galwodd, ac i rodio fel plant y goleuni.

O! nad ystyriai pob pregethwr fawredd annrhaethol gwaith y weinidogaeth, yna ni allai ysgafnder, gwamalrwydd, balchder, a thybied eu bod yn rhyw beth mawr, sefyll i fynu mewn pregethwyr mwy: ond gwaeddid allan "Pwy sydd ddigonol?" Neb, ond sydd a'u digonedd o Dduw.

O! na chyfodai Duw bregethwyr lawer fel "angel yn ehedeg yn nghanol y nef," a'r efengyl dragywyddol ganddynt.

Y mae angen mawr ar y gwrandawyr i ...

tyried beth yw natur a dyben pregethu yr efengyl; heb hyny ni allant wybod pa fodd y dylent wrando. Y mae lle i ofni fod dybenion gwael gan lawer yn myned i leoedd addoliad, a dull gwael ac annheilwng yn gwrando y gair.

Er bod diffyg a gwaeledd lawer mewn pregethwyr, &c. galarus yw y gellir dywedyd "a'r bobl a hoffant hyny." Jer. 5. 31. Mae llawer yn troi ymaith eu clustiau oddiwrth y gwirionedd at chwedlau. 2 Tim. 4. 4. Y mae llawer o wrandawyr yn hoffi gwrando pregethwyr anianol, a arferant "eiriau denu a doethineb ddynol," &c. "Y byd a wrendy arnynt." 1 Ioan 4. 5.

Y mae llawer yn myned i dai addoliad o ddefod, heb wrando dim: ereill yn gwrando er difyrwch ar lais a dawn y dyn. Rhai o ryw gywreinrwydd anianol, a dysgwyl rhyw beth dieithr, philosophaidd, &c. Ychydig sydd yn gwrando "beth a ddywed yr Arglwydd." Gwrando ar genad Duw yn llefaru cenadwri oddiwrth Dduw atynt hwy.

O! bydded i Dduw, yn ei ras, nesau atom, a thywallt ei Ysbryd arnom, fel y pregether, y gwrandawer, ac y derbynier yr efengyl fel efengyl gras Duw! ac y profer hi yn "allu Duw er iachawdwriaeth," gan bechaduriaid lawer.

*Fron, Chw.* 5, 1841. JOHN ELIAS.

---

## "Y TAIR AWR TYWYLLWCH."

Yr hyn a ganlyn a gymmerais allan o'r *Imperial Magazine*, ac a gymmerwyd yno allan o Ddarlithoedd yr Astronomydd James Ferguson, F. R. S. Wrth eu gweled yn sylwadau mor nodedig ar y tro rhyfeddol a fu yn amser croeshoeliad ein Harglwydd, anturiais eu hanfon i chwi, i'w dodi yn y Drysorfa. D. LLOYD.

*Pont-y-twr.*

*Bod y Tywyllwch yn amser croeshoeliad Crist yn oruwch-naturiol.*

Ymddengys oddiwrth yr hanes a roddir am natur diffygiadau, (*eclipses*) na's gall fod diffyg ar yr haul ond pan bo'r lleuad yn newid, nac ar y lleuad ond pan bo hi yn llawn; a phan bo'r haul yn cael ei guddio yn gwbl gan ddiffyg, na's gall y tywyllwch barhau yn hwy na phum mynyd ar un cwr o'r ddaear. Ond mae tri o'r Efengylwyr, (Mathew, Marc, a Luc,) yn dywedyd i dywyllwch barhau am dair awr yn amser croeshoeliad Crist. Pe camdystiolaethasent am y tywyllwch hwnw, diau y'u gwrth-ddywedasid gan lawer oedd yn y lle; yn enwedig gan fod y cyffredinolrwydd o honynt yn elynion digllawn i Grist a'i ychydig ddysgyblion, ac i'r athrawiaethau a bregethai. Ond gan na wrthwynebodd neb o'r Iuddewon yr hanes a rydd yr Efengylwyr am y tro rhyfeddol hwnw, mae yn amlwg fod yr hanes a roddant yn wir.

Heblaw hyny ofer fuasai iddynt geisio twyllo dynion â'r fath gelwydd, yr hwn pan y'i gwrth-brofid a fuasai yn rhwystr anorfod i gredu yr holl hanes arall a adroddasent am fywyd, gweithredoedd, ac athrawiaeth eu Harglwydd; felly yn lle lledaenu cywirdeb Cristionogaeth buasai yn ergyd marwol ar ei wreiddyn. Y mae yn amlwg na osododd yr Efengylwyr unrhyw folawd (*panegyric*) ar fywyd a gweithredoedd Crist, ac na thaflasant unrhyw ogan na dirmyg ar ei erlidwyr creulawn; ond adroddasant, yn y modd mwyaf syml, eglur, a didwyll, y pethau pwysig a welsant ac a glywsant; felly mae genym cystal rheswm i gredu y bu y fath dywyllwch, ac sydd genym i gredu y bu Crist y pryd hwnw ar y ddaear; ac ni cheisiodd hyd yn oed yr Iuddewon eu hunain wadu na bu y fath berson y pryd hwnw ar y ddaear.

Ond mae hanesion ereill am Grist, heblaw yr hyn a ddywedir gan yr Efengylwyr. Tacitus a Suetonius, yr haneswyr Rhufeinig, a ddywedant, 'fod dysgwyliad cyffredinol dros holl wledydd y dwyrain i un gyfodi o Judea i fod yn llywodraethwr y byd.' Addefir, gan bob awdwr Iuddewig a Phaganaidd, a ysgrifenasant er y pryd hwnw, fod y cyfryw un a Iesu o Nazareth yn byw yn Judea yn yr amser y dywedir yn yr Efengyl. Dywedir gan Chalcidus, y Platonydd, am y seren a ymddangosodd ar ei enedigaeth ef, ac am daith y doethion i'w weled ef. Macrobius a ddywed am Herod yn lladd plant Bethlehem, y'nghyd a'r sèn a gafodd am hyny gan yr Ymerawdwr Augustus.

Llawer o wyrthiau a wnaeth yr Iesu, yn enwedig ei fod yn iachau y cloffion a'r deillion, ac yn bwrw allan gythreuliaid, a addefir gan Celsus a Julian, y rhai oeddynt elynion creulawn i Gristionogaeth. Addefir hyn hefyd gan awdwyr y Talmud Iuddewig. Porphyry a ddywed i allu duwiau'r cenedloedd ballu wedi dyfodiad Crist, a phriodola hyny i'w digllonedd am i'r grefydd Gristionogol gael ei sefydlu, yr hon a eilw ef yn annuwiol a halogedig. Croeshoeliad Crist o dan Pontius Pilat a adroddir gan Tacitus, a'r daear-gryn, a'r tywyllwch gwyrthiol a'i dilynodd a gofrestrwyd yn y côf-lyfrau cyhoeddus Rhufeinig; appelid yn gyffredin, a hyny gan yr ysgrifenwyr Cristionogol cyntefig, fel peth anwadadwy gan y gwrthwynebwyr eu hunain; sicrheir hyn gan Phlegon, dinasydd o Adrian.

Haera rhai y gallasai y tywyllwch dywededig gael ei achosi gan ddiffyg naturiol ar yr haul, o ganlyniad nad oedd dim gwyrthiol yn perthyn iddo. Os felly y bu, rhaid mai yn amser newidiad y lleuad y croeshoeliwyd ein Hiachawdwr. Ond ni allasai tywyllwch diffyg naturiol barhau dros hwy na phum munud; pan, i beri iddo

barhau dair awr, rhaid fuasai i fynediad y lleuad yn ei chylch-daith gael ei attal am dair awr, as i ysgogiadau y ddaear ar ei phegwn gael eu hattal hefyd am dair awr. Yna, pe na attaliesid grym y dyscyrchiad (*gravitation*) dros yr holl amser hwnw, syrthiasai y lleuad feithder mawr tu ag at y ddaear. Felly buasai gwyrth llawer mwy i achosi y fath dywyllwch hir barhaol drwy gyfryngiad y lleuad rhwng yr haul âg unrhyw ran o'r ddaear; yr hyn sy'n dangos fod y rhai a dybiant y cyfryw beth yn hollol anwybodus am natur diffygiadau. Ond ni allasai fod diffyg rheolaidd, neu naturiol ar yr haul ar ddydd croeshoeliad Crist, am fod y lleuad yn llawn ar y dydd hwnw, ac o ganlyniad yn yr ochr gyferbyniol o'r ffurfafen i'r haul. Am hyny yr oedd y tywyllwch crybwylledig yn hollol oruwch-naturiol.

Yr Israeliaid a gyfrifent eu misoedd yn ol cylch y lleuad, a'u blynyddoedd (wedi eu dyfodiad o'r Aipht) yn ol adgylchiad yr haul, yn gyfrifedig o gyfartalwch dydd a nos yn y gwanwyn hyd y cyffelyb amser drachefn. Canys gwelwn yn Exodus xii. 2. i'r Arglwydd ddywedyd y byddai mis Abib, neu Nisan, iddynt yn fis cyntaf y flwyddyn. Yn y mis hwnw y'u gwaredwyd o gaethiwed yr Aipht, a chynnwys ran o Mawrth a rhan o Ebrill o'n cyfrif ni.

Gwelir, mewn amrywiol fanau o'r Hen Destament, i'r Israeliaid gael gorchymyn manwl i ladd yr oen pasg yn nghyfnos (yn ol yr Hebraeg, 'rhwng y prydnawniau') y pedwerydd dydd a'r ddeg o'r mis cyntaf; a dywed Josephus—'Y pasg a gedwid ar y pedwerydd dydd a'r ddeg o fis Nisan, yn ol y lleuad, pan bo'r haul yn myned i arwydd yr hwrdd;' ac mae'r haul bob amser yn myned i arwydd yr hwrdd pan bo'r dydd a'r nos yn gyfartal yn y gwanwyn.

Dechreuant bob mis ar y dydd cyntaf o ymddangosiad y lleuad, yr hyn nis gallasai fod mewn llai na 24 o oriau ar ol ei newidiad; ac mae'r lleuad yn llawn ar y 15ed dydd ar ol ei newidiad. Felly y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, yn ol dull yr Israeliaid o gyfrif, oedd dydd y llawn lleuad; yr hyn sydd brawf digonol fod y pasc yn cael ei gadw bob amser ar y llawn; a'r llawn cyntaf ar ol cyfartalwch dydd a nos yn y gwanwyn, sef pan bydd yr haul yn myned i arwydd yr hwrdd.

Dywed y pedwar Efengylwr i'n Hiachawdwr gael ei groeshoelio ar y Pasc, yna mae yn amlwg ei fod ar y llawn, pan yr oedd yn anmhossibl i'r lleuad guddio yr haul oddiwrth un ran o'r ddaear. Dywed Ioan i Grist gael ei groeshoelio ar y dydd y bwyteid y pasg; a'r un modd hefyd y dywedir i rai wrthwynebu iddo gael ei groeshoelio 'ar yr wyl, rhag bob cynnwrf yn mhlith y bobl.'

---

## CARIAD BRAWDOL.

*Moddion i faethu cariad brawdol yn mysg aelodau eglwysig.*

1. Cofiwn ein bod oll yn ddarostyngedig i golliadau a gwendidau o un rhyw neu gilydd.

2. Cydymddygwn y naill a'r llall, ac na foed i ni ymdrechu mwyhau ffaeleddau ein gilydd. Gal. 6. 1.

3. Gweddiwn dros ein gilydd yn ein cyfarfodydd cymdeithasol, ac yn enwedig yn y dirgel. Iago 5 16.

4. Gochelwn fyned o dŷ i dŷ, i'r dyben o glywed ac adrodd newyddion, ac ymyraeth â materion rhai eraill.

5. Trown glust fyddar bob amser at unrhyw chwedl enllibaidd, ac na feiwn ar neb heb sail dda i hyny.

6. Os bydd i un o'n brodyr neu chwiorydd fod ar fai, boed i ni fyned atynt yn ddirgel cyn crybwyll am dano wrth ereill.

7. Gwyliwn rhag anghyfeillgarwch. Rhoddwn y dehongliad goreu ar bob peth sydd yn ymddangos yn wrthwynebol neu angharedig.

8. Sylwn yn fanwl ar y rheol auraidd "gad ymaith ymryson cyn ymyryd arni." Diar. 17. 14.

9. Os bydd i un o'n cydaelodau bechu i'n herbyn, ystyriwn mor ogoneddus, ac mor debyg i Dduw ydyw maddeu, ac mor annhebyg i Gristion ydyw ymddial. Eph. 4. 2.

10. Cofiwn yn wastadol mai prif ddyfais y diafol ydyw magu dieithrwch a chasineb yn mhlith aelodau eglwysig, ac am hyny dylem wylio yn erbyn pob peth sydd yn debyg o ddwyn ei amcan i ben.

11. Ystyriwn pa faint mwy o ddaioni a allwn wneud yn y byd yn gyffredinol, ac yn yr eglwys yn neillduol, pan y byddom oll wedi ein cylymu mewn cariad, nag a allwn wneud pan yn gweithredu yn unigol, a thrwy fwyth-foddio ysbryd gwrthwyneb.

12. Yn ddiweddaf ystyriwn orchymynion pendant yr ysgrythyr, ac esiampl brydferth yr Arglwydd Iesu Grist, mewn perthynas i'r pethau pwysig hyn. Ioan 13. 5,35. Eph. 4. 32. 1 Pedr 2. 21.——Cyf. (gan mwyaf).

NIHIL.

---

## COFION O BREGETHAU.

### Y DIWEDDAR BARCH. R. LLOYD, BEAUMARIS.

Mat. 5. 4. "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru; canys hwy a ddyddenir."

Y mae llawer math o alar nad oes "gwyn ei fyd" uwch ei ben.

1. Galar anobeithiol, fel galar Judas.

2. Galar cymhelliadol, megis gan ragluniaeth.

3. Galar rhagrithiol, fel galar Saul.

4. Galar arwynebol, fel galar yr Iuddewon.

Ystyriwn natur y galar ag y mae "gwyn ei fyd" uwch ei ben.

1. Galar gwirfoddol.
2. Galar ysbrydol.
3. Galar beunyddiol.
4. Galar sydd yn nesau y dyn at Dduw.

Y mae galar i fod am bechod. Y mae graddau yn y galar yn gyfatebol i'r bai, a'r olwg a geir arno.

Profi y galar hwn a gaffom, tra mae modd cael profi y dyddanwch y sonir am dano. Amen.

---

**Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER RICHARDS.**

Esaiah 25. 1. "O Arglwydd fy Nuw ydwyt; derchafaf di fy Nuw, moliannaf dy enw; dy gynghorion er's talm sydd wirionedd a sicrwydd."

Y mae y prophwyd yn dangos yn

I. Ei hawl yn Nuw. Yr hyn sydd yn arwyddo amrywiol bethau.

1. Cyfammod.
2. Yn dangos bod Cyfryngwr.
3. Annrhaethol ddarostyngiad ar du Duw.
4. Annrhaethol dderchafiad ar du y creadur.
5. Hollalluowgrwydd.
6. Penarglwyddiaeth.

Pa fodd mae Duw yn dyfod yn Dduw i'w bobl?

1. O ben-arglwyddiaethol ras.
2. Trwy Iesu Grist.
3. Y maent hwy yn dod i'r rhagorfraint trwy hunan-gyflwyniad.

Rhoddwch law i'r Arglwydd gynnulleidfa. Mae hyny yn arwyddo, cyfammod, heddwch a chymmod

Gwelwn mai y trueni mwyaf ofnadwy, yw bod heb yr Arglwydd yn Dduw.

Hefyd y gwarth mwyaf ar ddynoliaeth yw cymmeryd neb yn Dduw ond yr Arglwydd.

Yn mhellach, ni a welwn nad oes neb yn cael yr Arglwydd yn Dduw, heb newid eu Duw.

II. Y mae y prophwyd yma yn dangos ei fawl i Dduw; "derchafaf di fy Nuw, moliannaf dy enw."

III. Y mae yn dangos ei seiliau i hyny, "dy gynghorion er's talm sydd wirionedd a sicrwydd."

Gwybod am hyn a gaffom ninnau oll. Amen.

*Liverpool.* EBENEZER JONES.

---

**BYR-DDYWEDIADAU.**

Y mae yn well myned gydag ychydig i'r nef, na chyda llawer i uffern.

Ychydig sydd yn ofni gwneuthur drwg; ond y mae pawb yn ofni y gosb am dano.

Fel y dyrchafir Crist yn yr enaid, y darostyngir y byd, y cnawd, a'r diafol.

Nac ofna ymadael â phob peth er mwyn Crist. Y mae y nef yn werth marw erddi; er nad yw y ddaear yn werth byw erddi.

Hawdd i bob dyn garu ei gyfaill; ond ni all neb ond y duwiol garu ei elyn.

Bod yn Nghrist sydd nefoedd isod, a bod gyda Christ sydd nefoedd uchod.

Y mae yr efengyl yn debyg i flwch llawn o enaint gwerthfawr; wrth ei phregethu, torir y blwch, a'r perarogl a wasgerir.

Po fwyaf ysbrydol fyddo dyn, mwyaf fydd ei ymddiried yn Nghrist.

Os gweli Grist, ti weli y cwbl.

Y mae gan Dduw ddwy orseddfainc,— un yn y nefoedd, a'r llall yn y galon ostyngedig.

Os myni fyned i uffern, dos mor araf ag y gelli.

Crist a fu farw, fel y byddai i'n pechodau feirw, a'n heneidiau fyw.

Y mae pedwar peth y dylai y Cristion, lafurio fwyaf am danynt: bod yn isel, diolchgar, gwyliadwrus, a siriol. LL—B—R.

---

## SERYDDIAETH,

### PEN. I.—RHAGDRAETH.

"Y nefoedd sy'n datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sy'n mynegi gwaith ei ddwylaw ef." —Salm 19. 6.

MR. GOLYGYDD.—Gwelais yn ddiweddar, ar glawr y Drysorfa, y byddai ambell i draethawd ar Seryddiaeth, yn awr ac yn y man, yn gymmeradwy yn mysg ei thrysorau; ac os bernwch yr un canlynol yn deilwng o le mewn rhyw gongl ynddi, wele ef at eich gwasanaeth ac addawaf i chwi ychwaneg ar ei ol.

Seryddiaeth ydyw'r gelfyddyd ragoraf a all feddiannu sylw dynolryw; a hyny am ei bod yn ein dysgu i gydnabod a gwerthfawrygu gweithredoedd y Creawdwr, yn fwy nag un peth arall adnabyddus i ni. Pwy a ddyrchafa ei olygon i'r ffurfafen, ac edrych ar ei rhyfeddodau, a all groesawu yr amheuaeth lleiaf o ryw Fod goruchel a gogoneddus! Yn y cyrph nefol y mae doethineb y Duwdod yn amlygu ei hun, ac yn llewyrchu ar y meddwl myfyriol gyda dysgleirdeb anghydmarol, rhagorach na hwnw a drosglwyddir i'r llygad gan eu hardderchowgrwydd unedig.

Mae'r wybodaeth Seryddawl yn agoryd ini y fath olwg helaeth ar y greadigaeth, nes ydym yn cael ein taraw a syndod wrth ystyried doethineb, hollalluowgrwydd, a daioni y Crewr o honi. Wrth ymchwilio i ryfeddodau y greadigaeth yr ydym yn dyrchafu ein hamgyffrediadau am Dduw, yn helaethu cylchdro y meddylddrych dynol: mae'r galluoedd yn cael eu cryfhau a'u gwellhau, y deall yn cael ei changu; a'r meddwl wrth fyfyrio ar

amryw o wrthrychau gogoneddus yn cael ei dynu yn agos at y Bod hwnw sydd yn cyfarwyddo ac yn llywodraethu y cwbl.

Seryddiaeth ydyw y gyfundraeth hono, sydd yn traethu am y cyrph nefol, eu symudiadau, eu hamserau, diffygion, a'u maintioli &c; yn nghyd â'r achosion ar ba rai y maent yn ymddibynu. Y rhan hono o'r wyddoreg sydd yn perthyn i symudiadau, maintioli, ac amserau eu cylchdroadau, a elwir yn Seryddiaeth Bur; a'r rhan hono ag sydd yn ymchwilio i mewn i'r achosion, a'r deddfau sydd yn llywodraethu 'r symudiadau hyn, a elwir yn Seryddiaeth Naturiaethol.

Mae'r wybodaeth hon yn dwyn agos berthynas â Daearyddiaeth; ac mor fuddiol yn ei heffeithiau i'r meddwl dynol, fel y mae yn arddelwi ac yn haeddu pob mawrygiad a pharch. Trwy Seryddiaeth yr ydym yn olrhain y deddfau, trwy ba rai y mae y bydoedd mawrion yn cyflawni eu cylchdroadau, ac yn gweithredu eu swyddau mewn perffaith drefn a chydgordiad. Mae trefniant y bydysawd yn llawn o ryfeddodau dirfawr ac aruthrol; a phan y mae dyn yn tremio ar y pethau hyn, gyda sylw, mae yn gorfod cyffesu ei anwybodaeth, ac yn cael ei hun megys yn golledig yn nghanol syndod a rhyfeddod wrth ystyried helaethder a chyssondeb gwaith adeiladydd hollalluog.

Pe byddai yn bosibl ini symud y ffordd a fynem, ac mor gyflym ag y dymunem, a gwthio allan ar linell gywir o'r ddaear i eangder annherfynol, gallem ehedeg am filoedd o flynyddoedd heb gyfarfod ag un math o rwystrau na therfynau; ac yn y gwagle annrhaethol yma y gallem ganfod bydoedd a chyfundraethau mawrion yn chwildroi o amgylch heulau, fel eu canol-bwynt, pa rai yr ydym ni yn alw yn Ser Sefydlog, ac sydd yn ymddangos yn fychain, o herwydd eu pellder dirfawr.

Ein Haul ni sydd yn seren yn mysg y sêr eraill, a saith o fydoedd yn troi o'i amgylch, sef Mercher yr agosaf, yna Gwener, yn nesaf at hyny mae y Ddaear a'i lleuad, ac yna y mae Mawrth, Iau a Sadwrn, y *Georgium Sidus*, a ganfyddwyd gan y Dr. Herschel; ac at y rhai hyn ychwanegir pedair eraill o ganfyddiad diweddar: sef, Ceres, Juno, Pallas a Vesta, y rhai hyn ydynt fychain iawn, ac yn cael eu hystyried ond o ychydig o bwys. Y planedau uchod oll a elwir yn brif blanedau, o amgylch amryw o ba rai y mae lleuadau neu blanedau, o ail radd yn troi; ond ni a sylwn ar hyn etto yn fanylach wrth draethu ar bob planed ar ei phen ei hun, yn ol ei sefyllfa a'i phellder oddiwrth yr Haul.

Barnai yr hynafiaid fod y ddaear yn llonydd yn nghanol y greadigaeth; a'r cyrph nefol yn troi o'i hamgylch. Hyn oedd barn Ptolemy a'i ganlynwyr, Aristotle a Phlato; yr hon gyfundraeth a elwir yn Seryddiaeth Henafol. Ond mae 'r athrawiaethau gwrthun a chyfeiliornus hyn yn awr wedi darfod, ac heb neb yn y byd dysgedig i'w coleddu; o herwydd y mae canfyddiadau ysblenydd Copernicus, Galileo, a Syr Isaac Newton, wedi cadarnhau gwirionedd yr athrawiaeth hono, a gafodd ei sefydlu am ychydig amser yn y byd Paganaidd, er ys rhagor na 2000 o flynyddoedd yn ol gan Pythagoras. Yn y gyfundraeth hon y gosodir yr Haul yn ganolbwynt, a'r planedau yn troi o'i amgylch; ond yr oedd Pythagoras yn dychymmygu fod symudiadau y cyrph nefol yn cael eu hachosi gan chwildroad gwirioneddol y ddaear ar ei hechel bob pedair awr ar hugain; bod y planedau yn fydoedd tebyg i'n byd ni, yn mhob un o'i cymmeriadau; nad ydyw y lleuad yn blaned, ond yn seren osgordd cydfynedol a'n daear ni; bod y llwybr llaethog, fel y'i gelwir, yn cael ei wneyd i fynu o sypynau o sêr bychain, pa rai sydd yn rhy fychain i'w canfod â'r llygad noeth. Dyma ydoedd swm yr olygddysg ragorol hon; ac y mae canfyddiadau parhaus yn cadarnhau ei gwirionedd.

Yr oedd y gyfundraeth Gopernicaidd wedi hyn, yr hon sydd yn cael ei mabwysiadu yn bresennol gan holl ddysgedigion Ewrop, yn barnu bod yr Haul yn ganol-bwynt y greadigaeth, a'r holl blanedau yn troi o'i amgylch. Y gyfundraeth hon a gafodd ei henw oddi wrth y seryddwr enwog Copernicus, yr hwn oedd enedigol o Thorn, yn Prwssia. Cafodd dysgeidiaeth ac amgyffrediadau Copernicus eu dedfrydu i roi ffordd i ddychymmygion Tycho Brahe, yr hwn oedd yn brofiadol o wallau 'r gyfundraeth Ptolemaidd, etto yn anfoddlawn i gydnabod symudiad y ddaear; ac am hyny a ddychymmygodd drefniant newydd, fyth yn fwy gwrthun na hono o eiddo Ptolemy; yr oedd yn caniatâu symudiad misol i'r lleuad o amgylch y ddaear, fel canol-bwynt ei chylchdro; ac yn gwneud yr Haul yn ganol-bwynt

cylchdroadau y planedau ereill. Ond yn fuan ar ol hyn fe ddechreuodd goleuni gwyddoregawl wasgaru dros wledydd Ewrop, nes chwalu y niwl o anwybodaeth a'r cyfeiliornadau ag oedd yn ei meddiannu. Cyfododd hefyd ddynion dysgedig mewn gwahanol wledydd; yn mysg pa rai yr oedd Kepler, Rathman, Galileo ynghyd ag amryw ereill. Galileo, yn y flwyddyn 1610, a gafodd allan ddefnyddiad yr ysbienddrychau gyntaf, yr hyn a eglurodd amryw o ddirgeledigaethau mewn Seryddiaeth, ac a rwyddhaodd y ffordd i amryw ddadleuon newyddion gyfodi o barthed i symudiad y ddaear, ac a gadarnhaodd syniadau Copernicus, y rhai oedd wedi ei taenu yn barod.

Yn nechreuad y ganrif ddiweddaf, gwnaeth yr anfarwol Newton, yr hwn oedd wedi ei gynnysgaeddu â mwy na dealltwriaeth ddynol, ddadlenu gweithredoedd natur, a gosod allan hollalluowgrwydd y Creawdwr gyda gogoniant ac ardderchowgrwydd; ac yn y fath fodd, na luniodd dynolryw yn flaenorol un amgyffred cywir am danynt; nid yn unig fe eglurodd symudiadau y cyrph nefol, ond hefyd y deddfau trwy ba rai y mae 'r symudiadau hyny yn cael eu llywodraethu. Y ddeddf hon a elwir attyniad neu ddyscyrchiant, ac sydd yn cyrhaedd trwy holl derfynau defnyddiau yn mhob man; y ddeddf hon sydd yn dal y môr tu fewn i'w lanau, ac yn cadw 'r afonydd o fewn i'w ceulenydd; y ddeddf hon sydd yn cadw y planedau yn eu cylchoedd, ac yn cynnal holl adeiladaeth natur mewn perffaith gyssondeb a threfn; ac yma pwy all yn ddigonol fawrygu doethineb a gallu y Bod, ag sydd yn cael ei egluro yn holl weithredoedd natur. Pa fath amgyffrediadau synedig a raid fod yn llanw meddwl dyn wrth arolygu y miloedd o fydoedd ag sydd yn treiglo o'n hamgylch mewn symudiadau mor gyflym, ac etto yn dawel, trefnus, a rheolaidd. Mae hyn yn ein dysgu mai braich hollalluog sydd yn eu llywodraethu, yr un ag a roddes fod iddynt yn y dechreu.

Yn awr, oddi wrth yr hyn a sylwyd, yn y traethawd byr ac anmherffaith hwn, gallwn weled y pethau canlynol 1. Bod gwahanol farnau yn mysg dynion mewn perthynas i amryw o bethau perthynol i seryddiaeth. 2. Bod y rhyfeddodau wybrenol wedi tynu sylw dynion er yn foreu iawn. Bernir mai bugeiliaid oedd y seryddwyr cyntaf, a'u bod yn cymmeryd yr hyfrydwch o sylwi ar y cyrph nefol wrth wylied eu praidd liw nos. 3. Mae gwybodaeth dywyll ac ansicr iawn oedd yn bod hyd yn nod yn y byd dysgedig, mewn perthynas i'r gyfundraeth hon, fel pob un arall, hyd yn ddiweddar. 4. Bod mwy o ddirgeledigaethau yn mhethau natur nag y gall un dyn byth eu chwilio allan. Dospartbiad y nefoedd weledig y tro nesaf.

*Llundain.* L. W

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

O'R DIWYGIAD HYD YN BRESENNOL.—O. C. 1517. HYD O. C. 1836.

§ 1.—*Y Diwygiad yn yr Almaen a Switzerland.*

AR ol i auaf tymhestlog fyned heibio, mynych iawn y gwelir yr haul yn nechreu y Gwanwyn yn ymdori trwy y cymylau, y llwydrew yn dadmer, yr eira yn toddi, a'r ddaear yn perarogli gan sawyr ei blodion pereiddion. Bydd pob nant yn dechreu ymdroelli trwy welyau mwsoglaidd a llysieuog, a phob dyffryn yn dewfrith o flodau —yr adar yn dechreu canu, a llais y durtur yn y wlad. Cyffelyb iawn oedd gwawr y Diwygiad Protestanaidd, a rhyw adnewyddiad tebyg i adnewyddiad y Gwanwyn a ddilynodd lafur yr enwog John Huss—ar ol hirfaith auaf o erledigaeth a dinystr. Yr oedd llawer enaid hiraethlon yn dysgwyl gwawr dyddiau gwell; ond yr oedd y meusydd yr hauwyd yr had da ynddynt, wedi suddo o dan ddylif tymhestloedd can mlynedd, ac nid oedd un arwydd o ddynesiad Gwanwyn adfywiol hyd oni welodd Duw yn dda, yn nechreu yr unfed ganrif ar bymtheg, gyfodi tystion newyddion i'w enw ac i'w achos, o ba rai y cyntaf, ac nid y mwyaf anenwog, oedd y Diwygiwr mawr MARTIN LUTHER.

Ganwyd MARTIN LUTHER mewn lle a elwir Eisleben, yn Saxony, ar y 10fed dydd o Dachwedd, 1483. Enw ei dad oedd Hans Luther, mwnwr tlawd o bentref Möra, yn agos i Eisenach. Gan fod rhyw awyddfryd mawr yn Luther am gyrhaedd gwybodaeth, anfonodd ei dad ef i ysgol Eisenach; y'mha le y cadwodd ei hun yn benaf, mewn anfanteision mawrion, trwy ganu wrth ddrysau y preswylyddion, hyd oni chymmerodd un wraig dduwiol ef i mewn ati fel un o'r teulu.

Yn y flwyddyn 1501, aeth i Goleg Erpurt, ac y'mhen pedair blynedd wedi hyny i Fonachlog Monachod Augustine, yn y ddinas hono; i'r dyben, fel y tybiai i addoli ei Dduw yn fwy zelog ac eiddigeddus. Yma y bu ei feddwl dan weithrediadau tra dwysion, ac ymosodiadau ysbrydol, gan fod yn rhwym yn y cyfeiliornad fod yn rhaid i

bawb fod yn gadwedig trwy ei gyfiawnder ei hun; ond, trwy gyngor un hen frawd monachaidd, yr hwn a'i cyfarwyddodd at ras Duw yn Nghrist, a thrwy fyfyrdod parhaus yn yr Ysgrythyrau, tywynodd goleuni oddi uchod i'w enaid, a daeth yn berchenog ar y ffydd werthfawr hono, o'r hon y bu yn feddiannol hyd ddiwedd ei oes. Yn y flwyddyn 1508, pennodwyd ef yn gadeirdraw (*Professor*) yn ysgoldy newydd urddasol Wittenberg, y'mha le y traddododd amryw ddarlithiau gyda boddhad cyffredinol.

Ond yr oedd Duw wedi ordeinio iddo dreulio ei ddyddiau, nid mewn llonyddwch a thangnefedd, ond mewn rhyfel parhaus yn achos crefydd, yr hwn a ddechreuodd yn y flwyddyn 1517. Yn yr amser hwn yr oedd y farchnad Babyddol mewn maddeuant lythyrau yn ei bri mwyaf. Y pryd hyny yr oedd monach Dominicaidd, o'r enw Tetzel, yn ymdeithio yn yr Almaen, gan ledaenu y peth melldigedig hwn gyda'r digywilydd-dra penaf. Trwy dalu swm o arian, gallai y neb a fynai gael maddeuant-lythyr—neu ysgrifen, neu argraff, yn cadarnhau i'r hwn a'i meddiannai hollol ryddhad oddiwrth ei holl bechodau. Arian oedd prif wrthddrych y Pab a'i ddilynydd; a'r werinos ofergoelus a ymroddent yn wirfoddol i gael eu twyllo gan Tetzel y'mhob modd. Yr oedd Ioan, Esgob Meisen, un diwrnod yn sylwi mor anwybodus yr oedd y bobl yn ymgynnull at y Monach, ac yn taflu eu harian mor rwydd am y maddeuant-lythyrau, fel y torodd allan i ddywedyd—'Y fath ffyliaid yw dynolryw, yn taflu eu harian i gist, agoriad pa un a gedwir gan un arall.' Ac un Monach Franciscaidd, wrth bregethu yn Cologne, yn dymuno datguddio y twyll hwn, a'r hoced cywilyddus hyn, un tro a sylwai—'Fy mrodyr, mi a gyhoeddaf i chwi ryfeddod newydd, a hyn yw, os oes neb o honoch ag ychydig arian yn eich llogellau, chwi a ellwch brynu maddeuant i'ch cario i'r nefoedd; ac os nad oes genych ond hanner *florin*, chwi a ellwch brynu hanner rhan yn nheyrnas nefoedd; ond os na feddwch ddim arian, yna rhaid i chwi oll fyned at y diafol! Yn awr, ai nid rhyfeddod newydd ydyw, mewn gwirionedd, mai heb arian nas gall neb fod yn gadwedig.'

Pan ddaeth, Tetzel i Wittenberg, a gosod i fynu ei farchnadfa ddieflig yno, nis gallai Luther yn hwy oddef i'r twyllwr hwn fyned y'mlaen heb ei wrthwynebu; ar yr 31ain o Hydref, 1517, efe a osododd bymtheg a phedwar ugain o resymau yn ei erbyn, ar ddrws eglwys y castell yn y ddinas hono, ac a gyhoeddodd ei hun yn barod i ddadlu yn gyhoeddus ag un dyn a feiddiai bleidio y fasnach haerllug hon.

(*I'w barhau.*)

---

## CANTON YN CHINA.

Canton yw y ddinas fwyaf ei masnach yn holl China fawr. Mae hi yn ddinas fawr, boblog, a chyfoethog iawn: prif ddinas y Dalaeth a elwir Canton, neu Quangtong, fel y geilw ei thrigolion hi. Nid yw y tai yn y ddinas hon, yn gyffredinol, ond isel yn cynnwys un uchder lloft, a llawr, a hwnw wedi ei orchuddio â phridd neu briddfeini llydain cochion, i'w gadw yn oer, canys y mae China yn wlad wresog iawn. Ond mae tai y Marchnadyddion cyfoethog, a'r Mandariniaid, yn adeiladau teg ac uchel. Dywedir fod nifer trigolion Canton yn un miliwn, neu fil o filoedd o rifedi. Dyma yr unig borthladd yn China ag y mae yr Ewropëaid yn cael dyfod i mewn iddo; am hyny dygir ymlaen yma fasnach gyffredinol megis â'r holl fyd. Mae Canton yn sefyll i'r De Orllewin i'r Brif ddinas, Pekin, un cant ar ddeg a phedwar ugain (1180) o filltiroedd o bellder oddiwrthi. Mae ei sefyllfa yn gyfleus i fasnach ar lan cydlifiad dwy afon, y rhai a elwir gan y trigolion Pe-kiang, a Choo-kiang, neu Pearl River, (geilw y Saeson hwynt, afon Canton, ac afon Tigris,) ynghylch 80 o filltiroedd oddiwrth y môr, ymhen uchaf i Bocca Tigris, sef culfor, yn cynnwys amryw o fân ynysoedd. Mae y Gweithfaoedd perthynol i wledydd tramor yn cael eu cynnwys mewn lle go gyfyng gyda glan yr afon; ac mae yr holl longau tramor yn angori gryn bellder i lawr yr afon. Mae yr afon am bedair neu bum milltir yn llawn o amryw fath o gychod masnachol, y rhai a gynnwysant deuluoedd cyfain, y rhai na feddant yr un breswylfa arall ond y cychod hyn: yno y bwytânt, y gweithiant, y gorphwysant, ac yno y cysgant y nos: yno hefyd y cadwant hwyaid, ac weithiau moch. Y mae hi yn sefyll yn Hydred 113, 17. Dwyreiniol, a Lledred 23, 8. Gogleddol.

Mae i Canton fur o'i hamgylch, o chwech i saith milltir o amgylchedd, er nad oes mo hanner y tir tufewnol yn cael ei gymmeryd i fynu gan yr adeiladau, canys y mae rhanau mawrion o hono yn lleoedd i rodiana ac i chwarae, ac ynddynt y mae amrywiol bysgodlynoedd prydferth. Holl amgylchedd y ddinas a'r adeiladau y tu allan iddi, yw deng milltir. Mewn amrywiol fanau o'r ddinas a'i hamgylchoedd mae tai Jossaidd, neu demlau, yn y rhai y mae y delwau a addolir gan y Chineaid wedi eu gosod i fynu. Ger bron y temlau hyn, ar amserau nodedig, fe osodir amrywiaeth mawr o felus-fwydydd, *oranges*, a chyflawnder o arogl-darth, yr hwn a gedwir yn llosgi yn wastadol ar yr allor. Mae yr heolydd yn hirion a chulion, wedi eu palmantu â cherrig tân, wedi eu haddurno yma ac accw â bwäau anrhydeddus, ac yn llawn o bobl bron o'r pen bwygilydd. O

bob tu i'r heolydd y mae Masnachdai, (*shops*) i werthu pob math o nwyfau; a math o gysgodfa yn daenedig uwch ben, i attal gwres yr haul rhag disgyn ar benau y preswylwyr neu y tramwywyr. Ymhen pob heol y mae attalglawdd, yr hwn, yn nghyd â phyrth y ddinas, a gauir i fynu yn yr hwyr.

Mewn un heol, a elwir Heol China, yr hon sydd yn bur hir, ac yn llawer lletach na'r lleill, y mae Masnachwyr yn trigfanu; masnach y rhai, mor belled ag y mae yn perthyn i China, nwyfau eurliwiedig, gwyntyllau, (*fans,*) &c. a gyfyngir yn unig i Ewropëaid. Y rhan fwyaf o'r Masnachwyr hyn a allant siarad ieithoedd tramor, megis Saesonaeg, Francaeg, Yspaeniaeg, &c. o leiaf ddigon i allu gwneud masnach. Heblaw y rhai hyn, y mae Cymdeithas yn cynnwys 12 neu 13 o Farsiandwyr, y rhai yn unig a feddant hawl gyfreithlawn i brynu llwythi llongau o amrywiol wledydd tramor o unrhyw eiddo pa bynag, ac i'w cyfnewid am Dê, sidan, &c.

Nid oes un math o gerbyd na throl yn Canton, eithr earir pob nwyfau gan ddynion ar drosolion bamboo ar draws eu hysgwyddau. Ac felly hefyd y cerir gwyr mawr mewn clud-gadeiriau, (*sedan chairs*); ac yn y modd hwnw y cerir agos bob merch a dramwyo y dref. Canys gellir cerdded drwy yr heolydd yn ol ac ymlaen heb ganfod gymaint ag un ferch mewn un man, oddigerth yn unig merched o'r Tartariaid, a'r rhai hyny ond anfynych iawn.

Mae glan yr afon, lle y mae porthdwyni y Marchnadyddion tramor yn sefyllfan cyfleus a hyfryd iawn. Yno y mae amrywiol Weithfaoedd perthynol i'r Isellmyn, Ffrainc, Sweden, Denmark, Brydain, &c. Yno y preswylia Arolygwyr y llonglwythi perthynol i'r holl wledydd tramor, y rhai sydd arferol o werthu y nwyfau a ddygir i mewn yn y llongau; ac i ofalu am lwythi o bethau ereill i ddychwelyd yn ol i wledydd Ewrop; ac yn absennoldeb y llongau i werthu nwyfau i'r Marsiandwyr erbyn eu dychweliad yn ol i Canton. Ymysg preswylwyr masnachol y Gweithfaoedd hyn y mae tangnefedd, a brawdgarwch mawr dros ben, canys felly y mae yn gyffredinol pan gyfarfyddo dyeithriaid a'u gilydd mewn gwledydd pellenig. Mae gweithfaoedd Canton, gan mwyaf, yn cael eu dwyn ymlaen y tu allan i'r caerau. Mae agos yr holl ferched yn preswylio o fewn y caerau.

Yn Wampoa, lle mae angorfa eang a chyfleus, oddeutu 12 neu 14 o filltiroedd o Canton, y mae holl longau Ewrop yn angori, ac yno y dadlwythant, ac oddiyno y cludir eu llwythi i fynu i'r Gweithfaoedd mewn cychod mawrion a elwir *lighters*; ac yn yr un offerynau y dygir nwyfau i lawr oddiyno i lwytho y llongau drachefn. Ar lan yr afon o Wampoa i'r Ddinas y mae tri *Sloppo*, neu Dolldai, lle y bydd raid i'r holl gychod yn eu mynediad a'u dyfodiad heibio, ynghyd a'r personau a fyddo ynddynt, gael eu chwilio rhag bod yn eu mysg unrhyw eiddo anghyfreithlawn.

Yn yr haf, mae yr hin yn Canton yn hynod o frwd, ac yn Rhagfyr, Ionawr, a Chwefror, y mae hi yn oer. Er hyny y mae hi yn lle iachus a chysurus o ran yr awyr a'r hin i fyw ynddi, ac felly y mae'r wlad o'i hamgylch hefyd; ac y mae yno lawnder o bob peth anghenrheidiol at gynnaliaeth dyn, a llawer iawn o felys a pher bethau natur at foddio archwaeth a blys, a'r rhai hyny yn llawer iawn rhatach nag yn Ewrop. Mae trigolion Canton, fel yr holl Chineaid yn gyffredinol, yn nodedig o ddiwyd yn eu gwahanol orchwylion. Eithr o ran eu crefydd, paganiaid ydynt oll, ac nid oes yno un rhyddid yn awr i bregethu yr efengyl, nac i ddarllen yr Ysgrythyrau yn eu plith.

Mae llynges Brydain yn gwarchae er's amryw fisoedd ynghêg y culfor sydd yn arwain i fynu i Canton, fel na all yr un o longau China na myned i mewn nac allan. Beth fydd diwedd y pethau hyn nis gwyddom. Ond gan fod ymgais am gytundeb a heddwch yn myned ymlaen rhwng y Galluoedd hyn, gobeithiwn mai adferiad tangnefedd, a chydfasnach, a chyfeillgarwch, fydd y canlyniad.

---

## LLYTHYRAU, &c.

### LLYTHYR GWEINIDOG YR EFENGYL AT EI NAI.

Adysgrifeniad yw hwn, o Lythyr Gweinidog yr Efengyl at ei Nai, (yn atebiad i lythyr ei Nai,) ar yr achlysur o farwoldeb trigolion ei ardal, yn enwedigol marwolaeth un gwr enwog, parchus, yn y gymmydogaeth, a defnyddiol iawn fel meddyg i ereill, yr hwn a wenwynodd ei hun i farwolaeth; a dilys yw, y gall y llythyr hwn fod yn llesol iawn i ereill, heblaw ei nai, ond iddynt ei ddarllen yn ystyriol ac yn ddifrifol.

Anwyl Barchedig Nai,—

Mae dros fis o ddyddiau bellach wedi myned heibio er pan dderbyniais eich llythyr caruaidd. Sobr iawn, a theilwng o'n hystyriaethau difrifol, oedd eich sylw ar amledd y claddedigaethau oedd yn myned heibio eich drws i'r fynwent; ac arswydlawn hynod oedd, cyflwr a gweithred y gwr dawnus a ryfygodd neidio o'i annedd glyd i'r llyn o dân; gresynus iawn yw yr anwybodaeth, a'r annyoddefgarwch, [a'r anffyddiaeth a ddaeth i galon dyn drwy alaethus gwymp Eden. Os temtiwyd y truan gan y gelyn cyfrwys i ddyweyd yn ei galon, 'Nid oes un Duw,' mi a esmwythaf fy ngofidiau oll, mae genyf gyfaredd wrth law, ac yna llyngcodd y dogn angeuol, ac a

roddodd ei hun i orwedd ar ei wely, gan dybied y byddai ei hun yn esmwyth, a thawel; ond Och! y fath siomedigaeth dragywyddol a gafodd, pan ddeffrodd o'i freuddwyd, a chodi ei olygon yn uffern.

Pa sawl myrdd o'r hil ddynol, yn mhob oes, ac yn mhlith pob cenedl, sydd yn myned i ystlysau y pwll, yn mhob dull a modd, ar hyd y ffordd arswydol hon. A rhyfedd gweled yn mhlith y llu aml i Ahitophel, Saul, a Judas, y rhai unwaith a gyfrifid yn mhlith pobl yr Arglwydd, yn myned ar hyd yr un ffordd, i'r un lle truenus; mor ddinerth yw y dynion cryfaf. i wynebu tymhestloedd temtasiynau, a phrofedigaethau heb Dduw—ysgafnach ydynt i gyd na gwegi. Colled, na ŵyr neb ei maint, oedd colli Duw o fod yn Dduw i ni, fel y dywed yr hen ddiareb, 'Heb Dduw heb ddim.'

O'r tu arall mêr addewidion y cyfammod gras, ydyw, 'A myfi a fyddaf yn Dduw iddynt hwy:' hyd oni byddo y fendith nodedig hon yn eiddo i ni, nis gwyddom yn y byd pa fath agwedd druenus a all fod arnom cyn, neu yn ein hymadawiad o'r byd hwn, na pha ddyfnderoedd o drueni y byddwn ynddo yn y byd tragywyddol.

Gwyn eu byd, gan hyny, y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt. Efe a'u tywys hyd angeu,—pan ddeuant i lan yr Iorddonen, Arch Arglwydd Iôr yr holl fyd, fydd yn nyfroedd yr Iorddonen, ac Archoffeiriad mawr yn sefyll yn daclus yn ei chanol, nes elont oll drosodd yn droedsych, i mewn i wlad yr addewid, i fod yn wastadol gyda'r Arglwydd, i'w fwynhau, a'i wasanaethu, yn oes oesoedd, heb dristwch na thrallod mwy. Moses a ddywedai, 'Ei holl saint ydynt yn dy law;' yno yr oeddynt mewn arfaeth foreu, yno y maent mewn profedigaethau tanllyd yn y byd, yno y byddant yn angeu, yn y farn, ac yn y nefoedd byth. Mae dirfawr wahaniaeth rhwng llaw rhagluniaeth Duw, a llaw ei gyfammod ef: mae lliaws mawr yn llaw ei ragluniaeth dros dro, yn mwynhau cynnaliaeth cysurus, ac ymddiffyn diogel mewn tywydd a rhyferthwy go fawr, eithr pan elo eu calon ar ol eu brynti, a gwingo am eu ffyrdd yn ngwyneb mynych ymrysoniadau ei Ysbryd, yna y mae yn eu rhoddi hwynt i fynu, ac o'r diwedd yn dywedyd, 'Yna y gollyngais hwynt yn nghyndynrwydd eu calon, aethant wrth eu cyngor eu hunain.' Ond nid yw llaw ei gyfammod grasol ef, yn rhoddi neb ag sydd ynddi i fynu, nac yn eu gollwng chwaith. Er yr holl barch a'r caredigrwydd a ddangosodd gwyr Ceilah i Dafydd, er hyny buasent yn ei roddi i fynu yn ysglyfaeth i Saul, ei elyn creulon, pe cawsant gyfleusdra;—ni wna yr Arglwydd felly â'i saint sydd yn ei law, dywed wrthynt er eu cysur, 'Ni'th roddaf i fynu:' mi a ymwelaf â'th gamwedd â gwialen, ond 'Ni'th roddaf i fynu,' dyma fyrdwn perseidd y Tad nefol, wrth geryddu ei anwyl blant yn y *Nursery* yma isod. Y Prynwr a roddes ei einioes yn bridwerth drostynt, a ddywed, 'Y mae fy Nhad i yn fwy na phawb, ac ni ddwg neb hwynt allan o law fy Nhad i.'

Mae y saint sydd yn y byd mor ddiogel a'r saint yn y nef, ond y mae rhagor mawr rhwng y ddau *glimate*, mwy o lawer nag oedd rhwng yr anialwch a Chanaan. Dywedodd Paul, yr hwn a wyddai ronyn am y ddwy wlad, mai llawer iawn gwell ydyw yr un nefol. Yn debyg i hyn y mae y saint yn trydar yma,

'Os gronyn o oleuni gawn,
Daw tymhestl eilwaith cyn prydnawn,
O ddychryn aeth a gwae.'

Pererin arall a ddywed,—

'Cul yw'r llwybr i mi gerdded,
Is fy llaw mae dyfnder mawr,
Ac 'rwy'n ofni yn fy nghalon
Rhag i'm traed i lithro i lawr.'

Wedi cael gronyn o'i anadl, dywed—

Yn dy law y gallaf sefyll,
Yn dy law y dof i'r làn,' &c.

Felly, tra yn y babell hon y maent yn ocheneidio yn llwythog, gan ddeisyf 'cael eu harwisgo a'u tŷ sydd o'r nef.' Mynych y dysgrifir yr orphwysfa nefol hono, yn Ngair y Gwirionedd, Dat. 7. 15, 16, 17.

Mil myrdd happusach fydd bod gyda'r ail Adda, 'yr Arglwydd o'r nef,' yn y baradwys nefol, na chyda'r Adda daearol, yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd yn y baradwys ddaearol; oblegid pan y gosododd y Creawdwr ef yno, darfu mewn ystyr roddi yr un siars arno ag a roddes Paul i geidwad y carchar, 'Na wna i ti dy hun ddim niwaid;' fel pe dywedasai yr Arglwydd wrth Adda, 'Yr wyf fi yn anfeidrol uwchlaw i ti wneud niwaid i mi, eithr nid wyt ti uwchlaw i wneuthur niwaid i ti dy hun.' I'w gadw rhag y fath ysgeleder, wedi iddo ei goroni â gogoniant, ac â harddwch, rhoddes y Creawdwr iddo yr etifeddiaeth fwyaf fu gan neb erioed. Gosododd bob peth dan ei draed ef, a gosododd ef i lywodraethau ar weithredoedd ei ddwylaw. Gosododd yn mhellach gylch cyfammod am dano, a hwnw wedi ei lunio yn ddyblyg, sef â'r addewid felusaf, ac â'r bygythiad llymaf; a'r cwbl i'w gadw o fewn terfynau ei diriogaeth ei hun.

Er y cwbl, yngwyneb temtasiwn blysiodd yn ddirfawr, a chan ddiystyru yr addewid, rhuthrodd fel anifail barus dros y gorchymyn, ac a lyngcodd y ffrwyth gwaharddedig, i foddio ei archwaeth anianol; ei enaid hefyd a ymchwyddodd ynddo, er nad oedd ond dyn, awyddus ddymunodd fod yn Dduw, i gyflawni ei drachwant ysbrydol. Wrth ddringo fel hyn i foddio ei hun a'i demtiwr, fe syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr!' mawr niwaid i'w gorph a'i en-

aid ei hun, a'i hiliogaeth trwy holl oesau y byd hyd ei ddiwedd; 'Y rhai hyn fel Adda, a dorasant y cyfammod;' darfu i'r gwenwyn a chwystrellodd Satan i feddwl dyn godi syched mawr yn y meddwl am bethau gwaharddedig; fel hyn y darostyngwyd dyn yn was i ddiafol; yn debyg yr un dull sydd ganddo drwy'r holl oesoedd, i gadw ei hiliogaeth yn ei feddiant, chwant y cnawd, chwant y llygaid, a balchder y bywyd, yw trindod gweision Satan. Fel hyny yr oedd y cynddiluwiaid, 'Pan welodd feibion Duw ferched dynion, cymmerasant iddynt eu hunain,' &c. a thrwy hyny brysuro eu trychineb a'r dialedd arnynt eu hunain. Felly dywedir hefyd am Israel yn y diffeithwch, 'Blysiasant yn ddirfawr;' yna y tuchanasant yn erbyn Duw a Moses, a thrwy hyny y gwnaethant y mawr niwaid iddynt eu hunain.

Pwy fedr ddarllen am blaniad Israel yn Canaan; y rhag-rybuddion pwysig a roddes Duw iddynt trwy Moses yn Deuteronomium, cyn iddynt fyned i mewn i'r wlad, os blysient dduwiau y cenhedloedd, a'u haddoli,' &c. y chwydai y wlad hwynt, fel y rhai a breswyliasent yno o'u blaen hwynt, &c. Ond er yr holl rybuddion; o dippyn i beth anghofio Duw eu tadau ddarfu iddynt, a myned yn ol chwantau eu calonau eu hunain, blysiasant eu merched i'w meibion, a'u meibion i'w merched mewn cyfathrach; fel hyn yr aethant yn mlaen, nes o'r diwedd, blysio a dewis eu duwiau hwynt i'w haddoli, yn lle Arglwydd Dduw eu tadau, ac yna clywn eu clul hwynt yn cael ei swnio yn alarus, 'O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun.' Chwantau am bethau ereill, neu y blys pechadurus yma, sydd yn gwneud dynion yn lladron, yn gybyddion, yn feddwon, yn grib-ddeilwyr, yn odinebwyr, &c. Hwn a ddinystrodd Achan, Absalom, a myrdd gyda hwynt, ac a derfysgodd heddwch Noah, a Dafydd. Dywedir mai y ffordd oreu i gael anifeiliaid allan o'r stabl, pan ddygwyddo fyned ar dân, ydyw gorchuddio eu penau â gorchudd, a rhoddi tenyn yn eu penau a'u harwain allan; felly y mae Satan yn dallu meddyliau y rhai digred, ac yna yn eu harwain wrth eu blys, megis mewn tenyn i'r tân anniffoddadwy.

Gellir yn briodol iawn ddarllen pob gorchymyn o'r ddeddf foesol. 'Na fydded i ti dduwiau ereill onid myfi,' a darllen, 'Rhag gwneud niwaid i ti dy hun,' fel byrdwn y Litani ar ol pob gorchymyn. Mae pechadur wrth gyflawni ei bechodau aneirif, yn archolli, ac yn niweidio ereill yn fawr, eithr y mae bob amser yn gwneud y niwaid mwyaf iddo ei hun.

Y ffordd fwyaf ysgeler ac erchyll o bob ffordd y mae dyn yn gwneud y niwaid mwyaf iddo ei hun, ydyw trwy esgeuluso, gwrthod, a dirmygu yr iechydwriaeth fawr a gyhoeddir iddo drwy yr efengyl. Heb. 2. 3. a 10. 29. Mawr iawn fydd rhagoroldeb y baradwys nefol ar yr un ddaearol; oblegid y bydd gwrthddrychau y cariad tragywyddol yn cael eu codi, nid yn unig uwchlaw y byd a'i demtasiynau, y cnawd a'i wyniau, y diafol a'i hudoliaethau, ond hefyd uwchlaw pob possiblrwydd i wneuthur niwaid iddynt eu hunain byth mwyach, nac i neb arall chwaith.

Mae pob peth yn y wlad nefol yn ddiau yn ogoneddus dros ben pob dirnadaeth, ond yr ystyriaeth y bydd pob peth yno yn ddigyfnewid, ac yn dragywyddol, sydd megis anniflanedig goron ar ben y cyfan oll i gyd. Bydd ffurfafen y gogoniant heb gwmwl ar ei hwyneb, y saint fel sêr byth ac yn dragywydd yn pelydru, heb gwympo, na machludo mwy, dydd heb nos. Haf heb auaf—paradwys heb sarph—llawenydd purdeb, a phob dedwyddwch arall yn ddigymmysg byth.

Yr eiddoch, yn ddiffuant,

MUCIDUS.

---

## CYMDEITHAS GENHADOL Y MORAVIAID.

MR. CYHOEDDWR,—Daeth llythyr ataf, oddiwrth Drysorydd y Gymdeithas uchod, yn deisyf bod sylw y Cyfundeb yn y rhan hon o'r Dywysogaeth yn cael ei alw at eu Cenhadiaethau, a chan y bydd eich cyhoeddiad chwi yn y Drysorfa o ranau o'i lythyr, ac o ddyfyniadau allan o 'Hanes y Moraviaid a'u gweithrediadau,' yn un ffordd effeithiol i gyflawni ei gais, caniatewch hyny.—Yr eiddoch,

D. CHARLES.

*Caerfyrddin, Chwef.* 2, 1841.

### LLYTHYR TRYSORYDD Y GYMDEITHAS.

LLUNDAIN.

38, *Charles St. Parliament St.*

SYR,—Caniatewch i mi, fel Trysorydd Cymdeithasfa Llundain, er cynnal Cenhadiaethau y Moraviaid, ac ar ddymuniad Dirprwywyr y Gymdeithasfa i ddwyn yr achos hwn dan eich sylw, mewn trefn i hysbysu am dano i Weinidogion a Chynnulleidfaoedd eich Cyfundeb.

Gobeithiaf y bydd i ymdrechiadau hunan-gyflwynol ac effeithiol y brodyr hyn yn y maes Cenhadol, (yn yr hwn y buont arweinyddion) ynghydag angen neillduol y Gymdeithas, oblegid diffyg o agos i 4000 o bunnau, gael ei ystyried yn ddadl gref dros i'r Gymdeithas hon gyfranogi o'r hyn a gesglir gan y Trefnyddion Calfinaidd at ddybenion Cenhadol. Yr ydym yn fwy ein hawydd am eu cynnorthwy yn bresennol, o herwydd bod y diffyg a enwyd i'w briodoli i gynnyddol annigonolrwydd ein cyllid, a

hyny oddiwrth fod yr ymdrechion Cenhadol helaeth a wneir gan enwadau ereill yn peri i'r cyfryw enwadau fod yn llai eu gallu i gymhorth yr Eglwys anghenus hon, ac yn ei gwneud yn anhebgorol i edrych allan am ffrydiau newydd o gynnaliad i'r achos.

Y mae y Cenhadiaethau hyn wedi eu cario yn mlaen er ys chwaneg na chant o flynyddoedd, a chyda y fath ymroad i'r gwaith, fel ag y mae corph o 10,000 o aelodau yn cynnal 240 o Genhadon. Llwyddwyd eu llafur mor neillduol fel ag y mae eu cynnulleidfaoedd yn mhlith yr Hottentotiaid, y Negroaid, Indiaid yr America Ogleddol, yr Esquimaw, a thrigolion Greenland, yn cynnwys tua 55000 o addolwyr Cristionogol, neu ychwaneg na phump am bob un o nifer eu heglwysi cartrefol, yr hwn nifer sydd yn cynnwys dros 16000 o gymmunwyr dan ddysgyblaeth ofalus. Y mae y gwaith hefyd yn lledu ar bob tu, tu hwnt i allu y brodyr i ymgymmeryd âg ef. Y Cenhadon a roisant eu hunain i'r gwaith ydynt rad weithwyr. Amryw o honynt a dreuliasant 30, 40, neu 50 o flynyddoedd yn ngwinllan yr Arglwydd, heb dderbyn na chyflog na thâl. Os cânt ymborth a dillad, ymfoddlonant ar hyny. Aethant allan at y Cenhedlaethau mwyaf barbaraidd ac amddifaid, gan draethu iddynt yn y modd symlaf a ffyddlonaf yr Iesu, a hwnw wedi ei groeshoelio, fel unig obaith pechadur. Llawer o honynt a ddyoddefant yn ddirfawr oddiwrth wres neu oerder rhyfeddol yn y manau lle y llafuriant, a'r neillduol amgylchiadau dan ba rai y dygir eu gwaith yn mlaen.

Yn Greenland a Labrador, y fath yw llymder yr oerfel fel nad oes nemawr o ddirnadaeth am dano yn y wlad hon, a'r eira, yn fynych a orchuddia eu trigfeydd. Yn Labrador, y maent yn wastadol yn byw trwy ffydd am eu hymborth angenrheidiol, sydd yn cael ei anfon iddynt oddiyma bob blwyddyn mewn llong fechan; ac mor hynod y mae'r gofal dwyfol wedi bod yn ei hamddiffyn a'i diogelu, fel nad yw wedi methu unwaith mewn 70 o fordeithiau olynol trwy foroedd rhewllyd, ac ar hyd glennydd tra chreiglyd a pheryglus. Dros waith sydd mor amlwg yn waith dan nodded yr Arglwydd, ac er cymhorth llafurwyr yn ei winllan-ymwadol, y taer-attolyger cydymdeimlad a phlaid eich Cyfundeb.—

Ydwyf, eich eiddo, &c.

W. Leach, *Trysorydd.*

At Mr. D. Charles,
*Caerfyrddin.*

O. Y. Derbyniasom yn ddiweddar £20 trwy law y Parch. J. Elias, oddiwrth Drefnyddion Calfinaidd Sir Fôn, a £40 oddiwrth eu brodyr yn Sir Gaernarfon.

*Nodau allan o 'Hanes y Brodyr Unedig a'u Cenhadiaethau,' a gyfieithwyd i'r Gymraeg ar gais y diweddar Barchedig J. Rees, Crown Street, Llundain.*

Nid oes ond ychydig iawn o wybodaeth yn y wlad hon am y Brodyr Unedig, y rhai a elwir yn gyffredin Moraviaid. Bu cyndeidiau y Brodyr Moraviaid yn Eglwys o Ferthyron am lawer o oesoedd cyn y Diwygiad. Y'mhlith y cyfaddefwyr a'r merthyron hyn, yn y 14eg ganrif, ymddangosodd John Huss, yr hwn a ddyfarnwyd i'r fflamiau fel cyfeiliornwr, (*heretic*). Yn ystod y rhyfel a dorodd allan ar ol ei farwolaeth ef, cafodd eglwys y Brodyr Unedig, dan ei henw presennol, ei ffurfio gan y rhai hyny oedd yn dewis dyoddef fel tystion dros y gwirionedd, yn hytrach nag amddiffyn y gwirionedd âg arfau rhyfel daearol: pan gawsant ychydig seibiant oddiwrth erledigaeth wedi hyny, hwy oedd y bobl gyntaf a ddefnyddiasant y gelfyddyd newydd o argraffu, i gyhoeddi y Bibl yn iaith y wlad, a chyhoeddasant dri argraffiad o'r Ysgrythyrau yn iaith Bohemia cyn y diwygiad.

Pan gyfododd Luther, Melancthon, Bucer, a Chalfin o'r diwedd, i dystiolaethu yn erbyn gormes Eglwys Rhufain, yn fwy effeithiol nag y gallasant hwy wneuthur, gosododd y Brodyr eu daliadau athrawiaethol, eu dysgyblaeth Eglwysig, a hanesion eu helyntion ger bron pob un o'r gwyr enwog hyn; a derbyniasant oddiwrth bob un o honynt sicrwydd o gymmeradwyaeth diffuant, a'r calondid mwyaf tirion.

Yn mhen triugain mlynedd wedi hyny, adgyfodwyd Eglwys y Brodyr, megis o feirw, trwy erledigaeth a fwriadwyd i fathru a malurio ei gweddill olaf yn Moravia. Ffodd rhai teuluoedd oddiyno, a chawsant nodded ar diriogaethau Iarll (*Count*) Zinzendorf, yn Susalia, lle yr adeiladasant bentref gwael (*Herrnhut*), yr hwn yn awr yw prif orsaf y Brodyr. Gan i'w cyd-wladwyr, yn nghyd a rhai pobl dduwiol o barthau ereill, uno â hwy, cynnyddodd eu cynnulleidfaoedd yn raddol trwy yr Almaen, (*Germany*) a sefydlwyd, rhai yn Denmark, Sweden, Russia, Holland, a Gogledd America. Ymddangosodd y Brodyr yn Lloegr gyntaf, tua chanol y ganrif ddiweddaf, lle y gosodasant eu hachos ger bron y Senedd, yn symledd diniweidrwydd cydwybodol, er bod gwaradwyddiadau llidiog yn cael eu taenu yn eu herbyn. Darchwilwyd eu hathrawiaethau, eu dysgyblaeth, eu cymmeriad, a'u hanes, yn dra manwl, mewn eisteddfodau o'r ddau Dŷ, a chafwyd dwy Ysgrif trwy gydsynied unfryd yr Esgobion, i'w rhyddhau hwynt oddiwrth gymmeryd llwon a dwyn arfau; yn wir, rhoddwyd heibio bob gwrthwynebiad ar ol ymchwiliad diweddaf eu holion, a chydnabyddwyd hwynt yn gyflawn gan Lywodraeth Prydain, fel 'hen Eglwys Esgobawl Brotestanaidd, yr hon a roddwyd, ac a gynnorthwywyd gan

Iesu 'n fywyd i bechadur,
  Sydd yn gorwedd yn ei fedd.

Tyrfa fawr o bechaduriaid,
  Ymgynnullodd yma ynghyd,
Aberth Iesu ar eu cyfer,
  Gras Iachawdwr mawr y byd;
Swm y genadwri gawsom,
  Ydoedd gras y nef yn rhad,
Bywyd i bechadur aflan,
  Sydd yn gorwedd yn ei wa'd.

Evan Dafydd, Capel Seion,
  A annerchodd orsedd gras,
Am i'r Brenin fod ei hunan,
  Gyda'r milwyr ar y ma's;
Taer erfyniodd wrth yr orsedd,
  Am gynnorthwy ei Ysbryd Ef,
Ac am lais yn llais ei weision,
  Am fod bywyd yn ei lef.

Walters ddewr o Ystradgynlais,
  Yn gyntaf un osododd ma's,
Yn Epistol cyntaf Pedr,
  Lle dangosir mawredd gras;
Duw sydd yno yn sylfaenu,
  Maen yn Seion, cadarn sail,
Etholedig yw a gwerthfawr,
  Maen profedig, Adda 'r ail.

T. Elias, Swydd Frycheiniog,
  Ar ei ol a safai 'n hy,
Bedwerydd benod, llyfyr Mica,
  'R adnod gyntaf gwelwch chwi;
Gwelir mynydd tŷ yr Arglwydd,
  Uwch y bryniau yn y man,
Llwythau 'r ddaear, lifant ato,
  Gan ymofyn Iesu 'n rhan.

Boreu Iau am ddeg dechreuodd
  Dafydd Davies, Castell nedd,
T. Elias wedy'n chwythodd,
  A'i udgorn uwch yr aberth hedd;
Proffwydoliaeth Esay 'r proffwyd,
  Nawfed benod, pwy a wa'd?
Anogodd ef y dorf i ddychwel,
  At yr Arglwydd trwy y gwa'd.

Dafydd Howells, Abertawe,
  Yn iaith y Sais, dywedodd ef,
Efengyl Luc y ddegfed benod,
  Diolchodd Crist ac uchel lef;
I ti, O Dad yr wyf yn diolch,
  Am guddio rhag y doethion cas,
A datguddio i rai bychain,
  Bethau mawrion teyrnas gras,

Llewelyn Jones, am ddau weddiodd,
  Am hwylusdod ar y gwaith,
A bod hwn yn ddydd cyflawni,
  Hen fwriadau 'r arfaeth faith;
Gollwng caethion o'u caethiwed,
  Agor y carcharau cas,
Dysgu 'r dall i wel'd yn eglur,
  Anchwiliadwy olud gras.

William Evans, Ton yr efail,
  Oedd y nesaf safai 'r làn,
Bedwerydd benod at Timotheus,
  Gwaeddai 'n eon yn y man;

Buddiol yw duwioldeb bobl
  Ganddi mae addewid gref,
O fyw yma ar y ddaear,
  A bywyd byth o fewn y nef.

Richard Thomas, Llys y fronydd,
  Ar ei ol yn chwareu 'n deg,
Proffwydoliaeth Zechariah,
  Drydydd benod yw a'r ddeg;
Agorwyd ffynnon i dŷ Dafydd,
  Gylch yr euog brwnt yn lân,
Gwelir miloedd byth mewn gwynfyd
  Am yr uwcha gyda'u cân.

A Rees Hopkin, brawd o'r Crinnant,
  Weddiodd hwyrdydd Iau am chwech,
D'wedodd, Iesu mawr teyrnasa;
  Na'th elynion wyt yn drech,
Bloeddia fuddugoliaeth heno,
  Mae dy fyddin ar y ma's,
Conc'ra Satan, maedda uffern,
  Adeilada deyrnas gras.

Yna Evans o St. Ffagans,
  Safodd wedy'n ar y mur,
Cyntaf Ioan y bedwerydd
  Ddegfed adnod, geiriau gwir;
Yn hyn yma gwelir cariad,
  Herwydd iddo 'n caru ni,
Rhoi ei Fab i farw trosom,
  Draw ar fynydd Calfari.

Dafydd Howells, Abertawe,
  Ar yr awr ddiwedda o'r ŵyl,
Proffwydoliaeth Esay 'r Proffwyd,
  Mewn rhyw hyfryd nefol hwyl;
Y Goruchel dyrchafedig,
  Ydwyf, medd yr Arglwydd mawr,
Goruchelder yw fy nhrigfa,
  A chalonau plant y llawr.

Ac am saith nos Wener, eilwaith
  Safodd Walters ddewr yn hy,
Dangos wnaeth Gymdeithas Dirwest,
  Fel Arglwyddes oddi fry;
Annog wnaeth y dorf i'w phleidio,
  Am ei bod yn wir o Dduw,
Un-ar-bymtheg ddaeth o newydd,
  Gan addaw mwy yn sobr fyw.

Diolch byth i Dduw y nefoedd,
  Am arwyddion fod y nef
Yn wir foddlon i'n cynuulliad,
  Yma yn ei enw ef;
Amlwg ydoedd bod ei weision,
  Yn cael nerth gan Ysbryd gras,
I gyhoeddi Iesu 'n fywyd,
  I'r pechadur penaf ma's.

Arglwydd Iesu aros yma,
  Fyth yn amlwg gyda ni,
Boed dy bresennoldeb grasol,
  Yn preswylio yn dy dŷ;
Llanw 'r lle â gwedd dy wyneb,
  Cadw fara iach i'r plant,
Gostwng fryniau sy'n ymgodi,
  Cyfod fynu bob rhyw bant.

Os ymofyn neb ryw amser,
Pa bryd bu'r cyfarfod hyn,
Wyf mewn hyder, cofia cannoedd,
Pryd na byddo bro na bryn;
Y pedwerydd dydd o Dachwedd,
Dala 'r pummed etto'n rhwydd,
Yn y flwyddyn oed ein Harglwydd,
Deunaw cant a deugain mlwydd.

DAFYDD PHILLIPS.

Dodaf yma y testunau gyda mwy o fanyldra nag a allesid wneyd a'r gynghanedd. Parch. John Walters, 1 Pedr 2. 6; Parch. Thomas Elias, Micah 4. 1; Parch. David Howells, Luc 10. 21; Parch. Thomas Elias, Esay 9. 13; Parch. William Evans, 1 Tim. 4. 8; Parch. Richard Thomas, Zech. 13. 1. Parch. Benjamin Evans, 1 Ioan 4. 10; Parch. D. Howells, Esay 57. 15. Nos Wener, cawsom bregeth Ddirwestol, gan y Parch. J. Walters, oddiar Deut. 29. 19, 20; pryd yr ymunodd 16 â'r Gymdeithas, at y 500 ag oedd eisioes gyda hi.

Maintioli ein Haddoldy newydd yw deugain troedfedd wrth chwech a deugain, y tu mewn. Casglwyd ar ddiwedd y cyfarfodydd, £30 5s. 4c. Y draul at ei adeiladu sydd yn agos i fil o bunnau. Dangoswyd caredigrwydd mawr gan y gymmydogaeth, yn eu cyfraniadau helaeth tuag ato. Ni ellir dyweyd yn awr, faint yw y swm a gasglwyd, gan nad yw y casglyddion wedi cyfarfod i osod y cyfan ynghyd. Cafodd y dieithriaid, ar ddydd yr agoriad, bob caredigrwydd. Yr ydoedd dwfr yr athrawiaeth yn rhedeg yn dra dysglaer, ac yfodd llawer o hono fel ag y diffethwyd eu syched am bethau darfodedig am byth.—Yr eiddoch,

*Maes-teg.* DAVID HUGHES.

---

## COFIAINT

COFIANT AM Y DIWEDDAR MR J. EDWARDS, O ROS-LLANERCH-RUGOG, SWYDD DDINBYCH.

J. EDWARDS oedd fab i Edward ac Ann Edwards, o'r Rhôs uchod. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1782. Bu farw ei fam pan oedd ef y'nghylch 12 mlwydd oed. (A'i dad, ar ol bod yn weddw dair blynedd, a briododd un Elizabeth Griffiths, yr hon sydd yn awr yn fyw.) Ar brydnawn Sabbath, Rhagfyr 30, 1798, aeth ei dad ef i dŷ un o'i gydweithwŷr i *yfed cwrw;* ac yno *meddwodd;* ac wrth geisio myned adref, yn feddw, syrthiodd i bwll Glo, a bu farw yn y fan. Effeithiodd hyny yn ddwys iawn ar feddwl John, fel y gwaeddodd allan mewn braw mawr, '*Oh, fy nhad a aeth yn feddw i'r farn!*'

Pan ddechreuwyd cadw Ysgol Sabbathol yn yr ardal, cafodd J. E. y fraint o fod yn un o'r ysgolheigion. Y'mhen ychydig amser gwedi hyny daeth y diweddar Mr. Jonathan Price i fyw i'r Rhôs; ac yn fuan gosodwyd ef yn Arolygwr yr Ysgol; a thrwy fendith yr Arglwydd ar ei lafur a'i ffyddlondeb ef a rhai cyfeillion ereill, llwyddodd yr Ysgol yn fawr. Canfu yr Arolygwr craffus a ffyddlawn hwn arwyddion amlwg o sobrwydd a difrifwch mwy neillduol yn J. E. nag yn nemawr un neu neb o'i gyfoedion; ac felly mawr-hoffodd ef, fel cyfaill a brawd yn yr Arglwydd a mynych y cymmerai ef i'w dŷ ar ol yr ysgol, i ymddyddan âg ef ac i'w addysgu yn 'ffordd Duw yn fanylach.' Yr wyf yn cofio ddarfod iddo ei annog ef i ddiweddu yr ysgol drwy weddi, pan nad oedd ond bachgen ieuangc; ac yntau a ufuddhâodd, er y gwyddai y câi ei wawdio am hyny gan lawer o'i gyfoedion. Nifer yr ysgoleigion y pryd hyny oeddynt o 60 i 70. Un dosbarth yn darllen y Bibl; a J. E. oedd y blaenaf yn y dosbarth hwnw.—Sylwodd rhai o Aelodau oedranus y Gymdeithas neillduol (*society*) fod yr addysgiadau yn yr ysgol,—fod yr hyn a ddywedid am gyflwr dyn ac am fyd tragywyddol,—yn glynu yn meddyliau rhai o'r plant; a dechreuasant gadw '*society plant,*' (fel y'i gelwir) ac yr oedd J. E. yn un o'r rhai cyntaf a dderbyniwyd iddi. Ac yn fuan wedi hyny cafodd y fraint o ymuno â'r Gymdeithas eglwysig uchod. Trwy ras cynnyddodd mewn gras ac ofn yr Arglwydd, yr hyn oedd mor amlwg yn ei brofiad a'i ymarweddiad sanctaidd fel yr hoffid ac y perchid ef yn fawr gan ei gyfeillion crefyddol, ac y dywedai pawb o'i gymmydogion digrefydd, hefyd, 'Os oes dyn duwiol yn yr ardal, John Edwards yw hwnw.'

Gwedi marw Mr. Jonathan Price (yn y flwyddyn 1810) dewiswyd J. E. yn arolygwr yr Ysgol Sabbathol yn ei le ef; yn yr hon swydd bwysig bu yn dderbyniol ac yn ddefnyddiol iawn. Cafodd ei nerthu, (megis Josua yn lle Moses) i ymwroli yn yr Arglwydd ei Dduw; a thrwy fendith yr Arglwydd ar ei gydlafur ef ac amryw o frodyr ffyddlawn ereill, llwyddodd a chynnyddodd yr ysgol etto yn fwy o lawer. Yn fuan wedi hyny dewiswyd ef yn 'Flaenor eglwysig,'—ac yn y swydd hon hefyd ennillodd barch mawr yn meddyliau ei frodyr yn gyffredinol. Ei ddull dros lawer o flynyddoedd, yn ei ymdriniaeth â gwaith tradwys y swydd hon, oedd lym ac argyhoeddiadol, yn cyrhaedd cydwybodau dynion: ïe, byddai y fath awdurdod yn dilyn ei ddywediadau, fel y byddai ei gyfeillion crefyddol yn dywedyd wrth eu gilydd, 'Gwr o gydwybod i Dduw yw efe.' Cafodd y fraint o aros yn ffyddlawn a defnyddiol fel blaenor, hyd angau, sef dros y'nghylch 26 o flynyddoedd. Yr oedd yn nodedig am gadw yr Athrawiaeth a'r Ddysgyblaeth yn bur. Ac os clywai neb yn cynnyg dyweyd dim yn groes i'r Bibl 'a'r hyn a gredir yn ddiammau yn ein plith,' nis gallai beidio a galaru a gofidio.

Yr oedd yn un gwir dangnefeddus; goddefai lawer er mwyn tangnefedd; er hyny ni dderbyniai wyneb *neb pwy bynag*. Yr oedd yn gyfaill ffyddlawn yn wir; ond os gwelai *fai* yn ei gyfaill anwylaf a hoffaf, efe a'i hargyhoeddai, a dywedai mor llym am y drwg o hono, a phe buasai yn dyweyd wrth elyn.

Ei arfer arbenig yn ei ddyddiau diweddaf oedd dyweyd yn dda am yr Arglwydd Iesu, ac annog pawb i bwyso arno a'i garu. Dywedai yn gynnes iawn, oddiar brofiad o gymdeithas âg Ef!

Yn ei glefyd olaf, dymunai i ryw nifer o'i gyfeillion ddyfod i'w dŷ ef bob Sabbath i gadw cyfarfod gweddio. Ac ar un tro dywedodd wrthynt, 'Wel fy mrodyr, yr ydych yn anwyl iawn genyf; mae'n debyg eich bod yn dysgwyl imi ddyweyd ychydig o'm helynt i chwi: yr ydwyf yn cael cysur rhyfeddol yn y gair,' (y Bibl.) Yna adroddodd y geiriau hyny, 'Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth; o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol.' 'Nid oes mo fy mryntach i yn bod; ond nid yw hyny *ods* yn y byd, os caf ymddiried yn Iesu Grist fel yr ydwyf.' 'Wel', (ebe un o'r cyfeillion wrtho) yr ydych yn cael cyflawniad o'r addewid hono, 'Cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd.' 'Gwir, (ebe yntau) yr ydym yn gyfeillion mawr yn wir wrth gyweirio y gwely!' Bore Sabbath (Tach. 15) torodd y wawr yn fore ar ei ysbryd. Aeth ei wraig ef i lawr o'r llofft cyn dydd i gynneu tân; ac yn fuan aeth yn ol, wedi goleuo canwyll: ond cyn agor y drws clywai ef yn siarad, a thybiodd mai breuddwydio yr oedd ef; ac felly hi aeth yn araf at y gwely, a gwelai ef yn gwenu, a chlywai ef yn dywedyd, 'Moler ei enw yn dragywydd,—moler ei enw yn dragywydd!' Beth sydd, heddyw, John? ebai hithau. Attebodd yntau, (yn orfoleddus) 'Un wedi ei wneuthur i mi gan Dduw yn *bob peth!* nid oes mo fy nylach i yn bod; ond dyma *ddoethineb!* nid oes yr un mwy euog nâ mi; ond dyma i mi *wisg* [cyfiawnder]! ïe, y mae Efe yn *bob peth sydd ar fy enaid i eisiau byth!*' Ac felly y parhâodd mewn hwyl nefolaidd ar hyd y dydd. Yn y prydnawn aeth rhai cyfeillion (yn ol eu harfer) i ymweled âg ef. Dechreuodd yntau ddywedyd wrthynt, 'Nid wyf yn cyffelybu fy hun, heddyw, i neb ond i Ioan yn ynys Patmos! Gwir ei bod *yn fwy nerthol ac amlwg yno*,—ond y mae i minnau yn gymmaint ag y mae fy natur wan yn alluog i ddal! moler ei enw byth! cynnorthwywch fi, frodyr, i ddiolch!' Dydd Nadolig aeth Nathaniel Jones (un o'i gydswyddogion eglwysig) i ymweled âg ef; a gofynai iddo, pa fodd yr oedd o ran agwedd ei feddwl a'i ysbryd, &c.? Attebai yntau, 'Nid yw ddim yn gwbl mor llewyrchus heddyw; ond gallaf ddyweyd fy mod yn cael ymgadw gydâ'r Arglwydd o ran fy meddwl, ac yn gallu *mentro fy hun, fel yr ydwyf, ar yr Arglwydd Iesu Grist.*'

Bore dranoeth, Rhagfyr 26, 1839, aeth ei wraig (yn ol ei harfer) i gyrchu tân i'r llofft erbyn y codai ef, (fel yr oedd hi yn dysgwyl:) ond, pan y daeth hi i fynu, dechreuodd pang o beswch trwm arno ef; a chlywai ei lais ef wedi newid o ran ei sŵn, &c. A hi a brysurodd ato yn awyddus i'w gynnorthwyo: ac y'mhen ychydig funudau, (a hi yn cynnal ei ben ef i fynu) efe a *hunodd yn yr Iesu.*'

Yr oedd marw iddo ef, yn wir, *yn elw tragywyddol:* ond teimlir colled a hiraeth dwys ar ei ol ef gan bawb o'r cyfeillion yma. Yr Arglwydd a'n nertho i roi ein hymddiried ynddo Ef ei hun, yn unig:— 'Efe a'n bendithio, a thywyned ei wyneb arnom!'

Dydd Mawrth, Rhag. 31, pregethodd Mr. J. Jones, o Wrecsam, yn y tŷ cyn cychwyn y corph i'w gladdu (yn mynwent newydd Gwrecsam) oddiar Jos. 23. 14, i luaws mawr o alarwŷr a ddaethent i'r claddedigaeth. Bernir, nad oedd dim llai nag o 7 i 8 cant o gyfeillion a chymmydogion wedi ymgasglu yno ar yr achlysur.

'Daw dydd i'r cyfiawn, tranoeth têg,
Daw iddo ychwaneg estyn;
Daw iddo o'r bedd godiad i fyw,
Deheulaw Duw a'i derbyn.'

*Rhos.* T. PHILLIPS.

---

AM Y DIWEDDAR MR. WILLIAM MORRIS, LLE'RPWLL.

WILLIAM MORRIS oedd wr ieuanc teilwng o'i gofio; er nad oedd yn adnabyddus ond mewn cylch lled fychan. Cafodd ei ddwyn i fynu yn grefyddol o'i febyd, a'i dderbyn yn gyflawn aelod eglwysig pan yn ieuanc; a threuliodd ei oes fer yn ogoniant i'w Waredwr.

Ei alwedigaeth oedd Masnachydd, dygwyd ef i fynu yn Llanfechell, Môn, gyda'r Parch. John Elias; a bu hefyd yn Amlwch, gyda'r Parch. W. Roberts. Ar ol tyfu i fynu, fe symudodd i Le'rpwll, gan ddilyn yr un alwedigaeth.

Fel cyfaill, yr oedd yn un o'r rhai anwylaf a serchocaf; fel crefyddwr, yr oedd yn un o'r rhai cysonaf; fel athraw, yr oedd yn un o'r rhai ffyddlonaf; fel gweddiwr, yr oedd yn un o'r rhai melysaf.

Ei brif fyfyrdod fyddai ar y Bibl a phethau crefyddol; a deallus iawn oedd yn mhynciau athrawiaethol crefydd; a thorai dros bob clawdd i ddod ag ymddyddanion crefyddol i'r bwrdd. Ei hoff gyfeillion oedd rhai crefyddol. O ran ei brofiad yn dywyll y byddai hi ar ei feddwl yn gyffredinol, ond byddai yn gwawrio rai troiau.

Dydd Sadwrn, Awst 22, cymmerwyd ef yn glaf o'r *Typhus fever.* Dydd Llun,

Medi 7, bu farw yn 26oed. Cafodd ei glefyd mor anarferol o drwm, fel ag i'w amddifadu oddiwrth ei gyfeillion, rhag mynegi y peth oedd Duw yn ei wneud i'w enaid. Y dydd Mercher canlynol, hebryngwyd ei ran farwol gan luaws mawr o'i gyfeillion, i'r *Low Hill Necropolis;* pawb â'u gruddiau yn wlybion o alar ar ei ol. Traddododd y Parch. H. Rees araeth nodedig o effeithiol yn ei gladdedigaeth; gan sylwi ar y geiriau hyny yn Preg. vii. 1. 'Gwell yw myned i dŷ galar, na myned i dŷ gwledd; canys hyny yw diwedd pob dyn: a'r byw a'i gesyd at ei galon.' Sylwodd bod yma fantais i ni osod at ein calon:—

1. Mai dynion i feirw ydym.
2. Y gallwn feirw yn ieuanc.
3. Y gallwn feirw yn annisgwyliadwy.

Mae ein hanwyl frawd yma wedi marw;—wedi marw yn ieuanc;—ac wedi marw yn annysgwyliadwy. Bu farw yn annysgwyliadwy i'w gyfeillion; ac hefyd bu farw yn annysgwyliadwy iddo ei hun. Ond Oh! diolch! (medd efe) er ei fod wedi marw yn annysgwyliadwy, ni fu ef ddim marw yn anmharod.

Oh ieuengctyd! gosodwch hyn at eich calon, ymofynwch am grefydd yn moreu eich dyddiau; pe buasai ein hanwyl frawd ieuanc hwn wedi aros myned yn hen hebddi, buasai hebddi am dragywyddoldeb.

Y Sabbath canlynol i'w gladdedigaeth, pregethwyd pregethau angladdol iddo yn Pall Mall, gan y Parchedigion H. Rees, oddiar 2 Cron. xxxiv. 3. a Joseph Williams, oddiar Math. xxiv. 44.

Yn bresennol nid oes genym ond galaru ar ei ol; ni chawn ei weled ef mwy hyd foreu yr adgyfodiad mawr, pryd y daw ei gorph o'r bedd yn gorph gogoneddus, tebyg i'w ei Arglwydd, heb arno na brycheuyn na chrychni.

EBENEZER JONES.

## GOFYNION AC ATEBION.

### ACENIAD GEIRIAU.

MR. GOLYGYDD,—Llawer o ymddadleu sydd y dyddiau presennawl, (wedi cymmeryd lle, ac eto heb ei benderfynu) ynghylch y prif aceniad mewn penillion. Haera rhai, y dylid ysgoi aceniad y pennill; er mwyn cael i mewn aceniad y dôn. Eraill a farna yn gryf; y dylid gadael allan, aceniad y dôn, er mwyn ennill i mewn aceniad y pennill. Ond gŵyr llawer o ddarllenyddion y Gymraeg y dyddiau goleu hyn, nad oes yn perthyn i air dau sill, ond un acen; a hono yn disgyn ar y sill gyntaf; a gair tri sill, a'r aceniad yn disgyn ar y ddau sill; a gair pedwar sill, a'r aceniad yn disgyn ar y drydedd sill, &c. Pe byddai y gair yn bymtheg o sillau, y mae yr aceniad yn disgyn ar y sill olaf ond un, a hyny, os na bydd y llythyren *h* yn niwedd y gair, yn tynu yr aceniad i'r llythyren nesaf ati, megys yn y geiriau hyn, cadarnhau, cyfiawnhau, llawenhau. &c. Felly, er mwyn gwneuthur i fynu aceniad y dôn; y mae llawer yn rhoddi dwy acen, ar air tri sill, sef ar y sill gyntaf a'r olaf. Er engraifft, gwel ranau o'r pennillion canlynol, pa rai a genir yn fynych, yn y cymdeithasau cerddorawl, ar y dôn, a elwir *Jerusalem*, sef,

"A'u holl gadwynau'n chwilfriw man
A'u cân a'm Galfari."

Yn y llinell olaf, gwelir bod yn ofynol yn ol aceniad y dôn, rhoddi dwy aceniad yn y gair Calfari, sef fel hyn, Cal*fari*. Yn yr ochr arall gwelir y gair Calfari, ac un aceniad ynddo, ac yn arferol o gael ei ganu ar y dôn ddywededig, sef,

"Na wnawn ond canu tra bawn byw
Am ras Calfaria fryn."

Yn bresennawl, gwel y rhagoriaeth rhwng y ddau air, y llinellau cyntaf a nodaf ynghyd a'r aceniad wrthynt, fel hyn,

"A'u *can* am *Galfari*,"

Yr olaf a nodaf yr un modd, fel hyn

"Am *ras Calfaria fryn*."

Ond heb ymhelaethu ychwaneg y tro presennawl, yr ydwyf yn cyfeirio y gofyniadau canlynawl i sylw a gofal Mr. R. Mills, Llanidloes, gan ddymuno arno ef ysgrifenu ychydig yn oleu, ar aceniad y geiriau anghyfieithiedig sydd yn y Bibl, ac mewn pennillion yr un modd; megys y gair dywededig; Calfaria, Manaseh, Magdalen, Jerusalem, Capernaum, Colgotha, a lluaws eraill. Ewyllysiwn gael gwybod genych a oes dwy aceniad yn ofynol ar y geiriau uchod? Os oes, pa le y maent i fod? Os un sydd i fod, pa le yw ei man priodol hi? Ac hefyd, pa un a ddylid wrth ganu, ai ysgoi aceniad y dôn, ai yntau aceniad y geiriau? A pha un ynte, ai diben y pennill yw dangos y dôn, a'i ynte amcan priodawl y dôn, yw dangos y pennill? A ydyw yn bosibl, canu yn ddeallus, heb yn gyntaf, wybod, ychydig am aceniad mewn geiriau? A phe byddai pawb yn lled hyddysg yn aceniad, pwyslais, y geiriau, ni byddai raid iddynt, ai fyddai, fyn'd i'r drafferth o edrych yn y dôn, am ei hacen, pa un a'i ar y sill cyntaf, ai yr ail, y mae hi, &c.

Gwybodaeth helaeth o hyn—gwr addas
Gwir roddwch i'm gofyn,
Nes y b'o ein bro a'n bryn
Yn ddiarbed 'n ei dderbyn?

*Llandderfel.* DERFEL MEIRION.

### GOFYNION.

Gan fod cynnifer o lyfrau wedi cael eu hargraffu, ac yn cael eu hargraffu, buddiol fyddai i lyfrau da ysprydol gael eu hail argraffu. Y llyfr sydd genyf fi mewn golwg yn awr, yw llyfr Hymnau, a elwir y Delyn Aur, o waith y Parch. D. Charles, Caer-

fyrddin; mae ynddo hymnau rhagorol, buont lawer gwaith yn ennyn rhyw gariad ynof at y gwrthddrych mawr mae yn canu am dano. Dymunol iawn fyddai genyf fi, gyda llawer eraill weled ail argraffiad o hono yn fuan, gan fod yr awdwr yn un mor enwog. Hyderaf y cyflawna y rhai mae ar eu llaw wneud hyny yn fuan.

DELTA, *Glan Clwyd.*

Er nad ydwyf yn hen, etto clywais lawer yn fy nyddiau, wrth sylwi ar briodoliaethau y Jehofah, yn eu rhanu yn ddau ddosparth; sef, rhai yn gyfranogol, a rhai yn anghyfranogol, (neu rhai yn gyfranadwy, a rhai yn anghyfranadwy, mae yn debyg a olygir). Yn awr teimlaf yn ddiolchgar i chwi os rhoddwch ganiatad i mi ofyn i rai o'ch Gohebwyr Duwinyddol,

1. A ydyw y golygiad uchod yn gywir ai nad ydyw?

2. Ai priodol ai anmhriodol yw dywedyd fod yn bosibl i greadur meidrol gyfranogi o briodoliaethau y Duw anfeidrol?

ALLTUD, *o Einion.*

A ydyw y diafol yn gwybod am ddirgel bechodau dynion, cyn iddynt eu cyflawni; neu a ydyw yn gwybod am bechodau y meddwl? G. AB IOLO.

Byddaf ddiolchgar am eglurhad ar Galarnad 3. 38. GLAN CLWYD.

A oes rhyw gysylltiad rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a iechydwriaeth pechadur, neu lwyr waredigaeth pechadur oddi wrth bechod? BACHGEN, *Dinorwig.*

ATEB.—Nac oes, am a wn i. CYH.

Byddwch cystal a chysoni y ddwy adnod ganlynol, Salm 107. 38, 39. DELTA,

Erfyniaf eich caniatad i osod ger bron eich Gohebwyr y gofyniadau canlynol, gan erfyn atebiad manwl iddynt.

1. Pa bryd, yn mha le, a chan bwy, y dygwyd y Gelfyddyd o wneuthur Papyr gyntaf?

2. Pwy, pa bryd, ac yn mha wlad, y canfyddwyd, ac y dygwyd y Gelfyddyd o Argraffu i arferiad?

3. Pa fodd y cedwid pethau o bwys mewn cof, cyn papyr ac argraffu.

YMOFYNGAR.

A gaf genych osod ger bron eich gohebwyr deallus y gofyniadau canlynol,

1. Pa sawl mynydd tanllyd sydd yn y byd? Y'mha wledydd y maent, ynghyd a'u hansawdd a'u dull?

2. A oes lle i feddwl fod cysylltiad rhwng y mynyddoedd hyn â'u gilydd?

3. Beth yw yr achos o'u llifiad, ac a fernir fod rhyw ddaioni i'r byd trwy hyny?

IOAN.

ATEBION.

ANWYL SYR,—Amcanwyf ateb amrai o'r Gofyniadau a ymddangosasant yn eich Misol-lyfr clodfawr; ac os barnwch eu bod yn deilwng o le ynddo, defnyddiwch hwynt at eich gwasanaeth.

Yn y Rhifyn am Chwefror, 1841, tu dàl. 55, mae rhyw R—s yn gofyn, 'Pa wahaniaeth sydd rhwng natur ddynol a pherson dynol?'

Ateb. Mae person dynol yn hanfodi wrtho ei hun; ond mae natur ddynol yn hanfodi mewn person.

Yn yr un tu dalen, y mae T. ab Dewi yn gofyn, 'Beth a feddylir wrth fod Duw yn rhoddi 'calon arall' i Saul; ac a oedd Saul yn dduwiol?'

Ateb. Nac oedd. Mae ei ffrwythau, o hysbyarwydd rhwygiad ei frenhiniaeth hyd ei hunan-lofruddiaeth, yn eglur ddangos hyny.

Wrth 'galon arall,' y meddylir calon i fod yn frenin i lywodraethu ar Israel, yn lle calon i lywodraethu ar asynod ei dad. Gwel 1 Sam. pen. ix.

Yn tu dalen 56, y mae Gwilym ap Gwilym yn gofyn, 'Pa fodd y mae y Cristion yn marw, a Christ wedi marw yn ei le?'

Ateb. Meddyliwyf mai ordinhad, neu oruchwyliaeth, yw marwolaeth i'r Cristion, idd ei buro a'i lanhau oddiwrth halogedigaeth pechod. Nid yw gwaith yr Ysbryd Glan, yn sancteiddio a phuro yr enaid, yn effeithio i lwyr buro y corph oddiwrth ei lygredd. Oblegid trwy foddion ysbrydol y mae efe yn glanhau yr enaid; a thrwy i'r 'llygradwy hwn' gael ei hau 'mewn llygredigaeth,' y daw i 'wisgo anllygredigaeth.' Ac nid wyf yn meddwl y bydd i'r Ysbryd Glan lwyr buro y corph, nes i'r enaid ymadael o hono. Mae cystuddiau yn cyfarfod a'r saint yn y byd yma, er fod Crist wedi rhoi Iawn am bechod drostynt; ond nid yw eu dyoddefiadau, mwy na marwolaeth eu cyrph, yn un rhan o'r gospedigaeth ddyledus am bechod, oblegid 'cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef.' Gan hyny, ordinhad yw marwolaeth y saint, i buro eu cyrph fel y mae dyoddefiadau a chystuddiau yn ordinhadau i sancteiddio eu heneidiau. Mica 6. 9.

Yn yr un tu dalen y gofyn rhyw Theta, am eglurhad ar Job 14. 22. Y Gofyniad yw, 'Pa un ai am ddyn byw, ai am ddyn marw y sonia yr adnod?'

Ateb. Am ddyn marw. Oblegid dyma ddarlleniad Boothroyd, 'Ond ei gnawd arno a lygra, gan fod ei anadl bywydol ynddo wedi trengu.'

Deallwyf fod cryn ddadleu wedi bod rhwng Salmasius a'i gymmydogion o barth-

ed i'r Gofyniad a ofynwyd ganddo yn y Drysorfa, am Mai 1840, tu dalen 271.

Gan eu bod yn tybied y byddai ei ateb yn dawelwch iddynt, amcanwyf wneuthur hyny.

Y Gofyniad yw, 'A ydyw yr hwn a chwenycho gyflawni gweithred ddrwg, ond o ddiffyg cyfle yn methu cyflawni ei amcan yn weithredol, yn ddrwg yn ngolwg deddf Duw, a'r hwn a gyflawna y weithred?'

Ateb. Nac ydyw. Oblegid yn 1. Mae cyflawni gweithred ddrwg yn agoryd drysau i weithredoedd drygionus ereill. Yn 2. Nid yw y cyntaf yn gallu cyflawni ond y drwg o *chwennych;* ond mae yr olaf yn gallu *chwennychu, a chyflawni ei chwennychiad.* Ac fe wŷr pawb fod y ddau ddrwg yn waeth nag un.

Daioni annhraethol i ddynion ydyw, fod yr Arglwydd yn taflu rhyw ddrain i'w ffyrdd, i'w hattal i gyflawni eu chwennychiadau pechadurus.

Ydwyf, yr eiddoch,

*Y-g-l-y.* R. DAVIES.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

"*The Psalm Tune Book, for the use of Congregations and Schools.*" *Edited by Alexander Hume. Published by J. Gall & Son, Edinburgh; Houlston & Stoneman. London.* In Nos. 8 p.

MAE awydd arnaf hybysu i'm cydwladwyr, trwy gyfrwng y Drysorfa, bod y Casgliad uchod o Donau yn cael ei argraffu yn y dyddiau hyn.

Mae yn dyfod allan yn Rhifynau misol; cynnwys pob Rhifyn 8 o Donau, neu yn gyfartal i hyny: wedi eu hargraffu yn hardd, ar bapur da, ac hynod gyfleus i'r llogell.

Dywed y Cyhoeddwyr "fod y ddau Rifyn cyntaf wedi cael eu hargraffu er prawf, gan obeithio y byddai isel bris y llyfr yn foddion i symud ymaith y rhwystr mwyaf i welliant canu, sef uchel bris llyfrau canu." A chan fod Lloegr a Scotland wedi, ac yn, cefnogi eu cais clodwiw y tu hwnt i'w disgwyliad, maent wedi penderfynu anrhegu y wlad, nid yn unig â'r Casgliad rhataf, ond hyderant y bydd, y goreu, a'r cywiraf, a gyhoeddwyd erioed.

Er gwybod mwy am addasrwydd y Golygydd, Mr. Hume, i'r gorchwyl pwysig yma, mi a ysgrifenais at y Cyhoeddwyr; ac atebent ei fod yn un o'r *Harmonists* goreu yn Edinburgh, yn meddu ar farn dda; ac hefyd bod pawb adnabyddus o hono yn addef fod pob cymhwysder ynddo i'r gwaith. Ac yn wir mae hyny i'w weled yn amlwg ymhob Tôn sydd wedi ymddangos hyd yma, sef Rhif. V., o herwydd addasrwydd eu *style* i enyn a chynyddu gwir ysbryd addoli yn yr *holl gynnulleidfa*, pan yn ymwneud â'r rhan hon o'r gwasanaeth cyhoeddus.

Er mai hen Donau ydyw amryw o honynt, adnabyddus i bawb sydd yn gwybod am waith yr enwogion mewn cyfansoddi caniadaeth Eglwysig, megis Handel, Ravenscroft, Luther, Dr. Croft, &c., maent yn hollol newydd i lawer cymmydogaeth yn Nghymru hyd heddyw; a hyderaf na bydd y wisg Saesnigaidd, yn yr hon y maent ynddi, yn un rhwystr i neb o'm cydwladwyr roi pob cefnogaeth i'r Cyhoeddwyr, trwy eu prynu yn ddioed. Dymunol iawn, yn fy marn i, fyddai i'r cantorion eu dysgu yn dda; ac wedi hyny dwyn ambell un o'r Tonau sylweddol hyn i mewn i'r addoliad cyhoeddus, megis *Bedford*, *St. David's*, &c., a buan yr wyf yn meddwl y byddai ein *cynulleidfaoedd* yn *cyd*-ganu ac yn *cyd*-addoli ar yr un pryd, yr hyn bethau sydd fawr ar ol yn yr oes bresennol, am na all ein cynnulleidfaoedd ddysgu y Tonau gwylltion, ysgeifn, llawn o *fugues*, ag y mae y cantorion yn eu canu mewn llawer man.

Gellir cael y gwaith gan bob Llyfrwerthwr yn y trefi.

*Caerlleon.* E. P.

---

### "HYMNAU A SALMAU."

Heb ymgais am daflu un gradd o anfri ar Lyfrau Hymnau ereill, deisyfaf ganiatad i hysbysu fy mod yn mawr gymmeradwyo y llyfr uchod o gasgliad Mri. Richard a Joseph Williams, argraffedig yn Liverpool. Mae efe ar yr un cynllun a'r Hen 'Grawn Sypiau Canaan,' sydd wedi bod yn arferedig y'mhlith y Methodistiaid Calfinaidd, er's deugain mlynedd; ac wedi chwanegu ato lawer o Hymnau melysion a chynnwysfawr iawn. A chan fod y cynnulleidfeydd mor hysbys o'r Hymnau yn y llyfr uchod, gall y cyffredin gael yr Emyn a fynont yn y llyfr newydd mor hawdd a chael pennod o'r Bibl, gan fod Genesis yn y dechreu, y Psalmau yn y canol, a'r Datguddiad yn y diwedd.

CYHOEDDWR Y DRYSORFA.

---

### Y CENADWR CYMREIG.

MAE amryw yn methu canfod ar y Darlun (*Map*) y fan lle y mae y Parch. T. Jones yn myned iddo. Mewn llyfr bychan cynnwysfawr, sef Traethawd ar China, ac Assam, a gyhoeddwyd yn ddiweddar, o waith Mr. Mudie, y mae dau ddarlun, (*Map*) un o China, ac arall o'r India Ddwyreiniol. Yn hwnw gwelsom, fod Churrapoonje yn gorwedd yn lledred 25, 10. Gog. a hydred 91. 55. Dwyr. A bod Cossya Hills yn gorwedd yn lledred 25. 30. Gog. a 91. 30. Dwyr. A bod Cossya Hills, fel y gelwir hwynt yno, yn sefyll i'r Gogledd Orllewin o Churrapoonje; a bod Garrow Hills yn sefyll i'r Gorllewin o Cossya Hills.

# Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

At Olygydd y Drysorfa.

Fy hoffus gyfaill.—Cefais y fraint, tua deu-fis yn ol, o dderbyn ail lythyr oddi wrth Dr. Wilson, *Bombay*, ac mewn cydsyniad â chais Cyfeisteddiad ein Cymdeithas, danfonwyf i chwi bigion cyfieithiedig o hono, i'w cyhoeddi yn y Drysorfa.—Dechreu y llythyr sydd fel y canlyn;

*Bombay*, Hydref 30, 1840.

Fy anwyl Syr,

Ar ol peth oediad, yr wyf yn awr yn gallu rhoddi i chwi hysbysrwydd am y parthau hyny yn Ngogledd-Orllewin yr India, y rhai sy'n ymddangos i mi fel y parthau mwyaf addas i fod yn faes llafur i Gymdeithas Genadol eich corff chwi, a lle y cynghorwn i chwi i anfon Mr. Jones, a'r Cenadon hedd a'i dilynant ef o Gymru.

Y parth y cyfeiriwyf ato yw rhandir *Kaira*, yn *Gujuràt*. Terfyn deheuol a deddwyreiniol y rhandir hwn yw afon *Mahi* a chaingc-fôr (*gulf*) *Cambay*; a'r terfyn gorllewinol a gogledd-orllewinol yw yr afonydd *Sabarmati* a *Khari*. Ar y tu gogleddol mae yn terfynu ar randir *Ahmadàbad*. Mae'n rhanedig i saith o ddosparthiadau, yn cynwys uwchlaw pum' can' mil o drigolion. Mae y rhan fwyaf o'r wlad o dan driniaeth amaethyddol, a'i chyllidaeth yn swm pur fawr bob blwyddyn. Ei threfi a'i phentrefi, gan mwyaf, ydynt daclus, a hynod o ffafriol i weithrediadau Cenadol. Nodaf rai o honynt.

*Kaira*, prif-ddinas y rhandir, a gynwys 11,551 o drigolion, Hindoos, Jainas, a Mahometaniaid, y'nghyd ag ychydig o Parsèes.*

*Neriad*, yr hon sydd y'nghanol y wlad lle tyf y *Tobacco*, ac yn enwog am ei hamaethyddiaeth a'i gweithfaoedd lliain breision, a gynwys 40 mil o eneidiau.

*Kapadwanj*, yr hon, o ran masnach a gweithfaoedd, yw un o'r trefi mwyaf llwyddiannus a welais i yn India, a gynwys 11,850 o drigolion.

*Dakor*, yr hon a gynwys 5356 o eneidiau, 1800 o ba rai ydynt Frahmaniaid, sydd dref enwog iawn, yn gymaint a bod teml y duw Ranchod yno. Bydd lluoedd o bererinion yn ymweled â'r dref hon, ac yn mysg y rhai hyny gallai Cenadwr lafurio yn rhwydd iawn. Y mae yn y dalaeth tan sylw uwchlaw 80 mil o Koliaid, yn perthyn i lwythau o hen breswylwyr y wlad, y rhai nid ydynt wedi cofleidio y grefydd Frahmanaidd ond mewn rhan, ac o ganlyniad ydynt yn rhydd oddiwrth lawer o ragfarnau sydd yn gwrthwynebu lledaeniad yr efengyl." * * *

Yna, mewn trefn i ddangos agwedd alarus y wlad, mae Dr. Wilson yn rhoddi hanes ei ymweliad âg amryw o'i threfydd. "Daethom (eb efe) ar ein taith i dref a elwir *Anand Mogori*, lle y cefais gyfleustra i bregethu i uwchlaw 500 o bobl, y rhai a wrandawent yn astud arnaf, ac a dderbynient fy ymadroddion yn debyg fel y bydd y baban yn glynu wrth y fron; ac ar ol i mi bregethu dosparthwyd traethodau gan Mr. Mitchell a Bapù.* Y dydd canlynol ni a ddaethom i *Neriad*, tref yn cynwys 40 mil o bobl, ac yn heolydd y ddinas hono, gerllaw y pyrth, cyhoeddais genadwri y cymmod i lawer o gannoedd o bobl, y rhai a ymdyrent o'n hamgylch. Tranoeth cyrhaeddasom *Kaira*, prif ddinas y rhandir, ac yno, yn nheml y duw Parasnath, cyfarfum â saith neu wyth o offeiriaid, i ba rai y rhoddais gopiau o'r llythyr a ysgrifenaswn at eu brodyr yn Palitànà, ac addawsant eu darllen yn fanol. Ymddygasant yn bur rydd, ac yn mysg pethau ereill dywedasant fod eu prif offeiriad,—yr hwn ydoedd hynodrwydd y lle, newydd roi terfyn ar ei einioes trwy saethu ei hun. Pan adroddais fy syndod wrth glywed hyny, dywedasant fod yr arch-offeiriad yn ŵr mor sanctaidd, fel y gallai wneyd beth bynag a welai yn dda; ac os bu efe farw tan ocheneidio oblegyd y caethiwed corfforol yr oedd trwy ladd ei hun yn diangc o hono, y byddai marwolaeth yn ddiau yn ddechreuad hapusrwydd perffaith iddo. Ymdrechais ddangos iddynt afresymoldeb a drygioni eu hofer-goelion, a thwyll eu gau obaith. Addawsant alw gyda mi i ddadleu y pyngciau hyn drachefn; ac wedi ymadael â hwy pregethais i dyrfa fawr yn y farchnadfa.

"Boreu dranoeth, ar ol pregethu yn y farchnadfa, mewn amgylchiadau cyffelyb i'r noswaith o'r blaen, aethom i deml arall, lle y dygwyd ni gan yr offeiriaid at eu harch-offeiriad. Yr oedd hwnw yn eistedd ar gadair esmwyth, ac yn derbyn anrhydedd dwyfol bron gan y bobl a ddaethent yno i ymweled âg ef. Dywedai wrthym ei fod yn 80 mlwydd oed; ac ymddangosai yn ddyn o dymher fwynaidd, ac yn hoff iawn o'r plant oedd yn nesâu ato. Profodd ei hun yn ysgolaig da yn yr iaith *Sanskrit* (iaith ddysgedig yr India) a rhoddai yn rhwydd bob hysbysrwydd a geisiem ganddo. Ar ddiwedd

* *Parsèes*,—hiliogaeth rhai a fudasant o Persia i'r India,—y rhai gan mwyaf ydynt yn addoli yr haul.

* Mr. Mitchell sydd genadwr arall perthynol i eglwys *Scotland*; Bapù sydd frodor dychweledig, a gwr tra defnyddiol i Dr. Wilson.

yr ymddiddan cawsom fod yr ystafell wedi ei llenwi gan drigolion y dref; a chyda chydsyniad pawb eglurais iddynt egwyddorion y grefydd Gristionogol. Pregethwyd amryw weithiau yn ystod y dydd i'r rhai a ddaethant i ymweled â ni, yn mysg y rhai yr oedd ychydig o Offeiriaid.

"Wrth ddychwelyd daethom trwy *Kapadvanj*,—tref sydd yn cynwys llawer o dai cysurus, a'i marchnadoedd yn cael eu llenwi â phobl brysur heb masnach. Ymwelsom âg un o'i gweithfaoedd sebon a gwydr, a synasom lawer wrth weled yr amrywiol orchwyliaethau a ddygid yn mlaen gan y brodorion. * * Y Boheriaid oeddynt yr unig rai y cawsom gyfleuster i'w cyfarch. Wrth ystyried mai Mahometaniaid ydynt, yr oedd yn o ryfedd genyf eu cael mor ddiragfarnllyd, a chefais y fraint o roddi iddynt nifer o'r Ysgrythyrau, ac o draethodau crefyddol, y rhai a dderbyniwyd ganddynt yn rhwydd iawn. Gwrandawsant yn ddyfal pan amddiffynais burdeb a gwirionedd y Bibl yn wyneb gwrthddadleuon y Koran.

"Yn mhen deu-ddydd cyrhaeddasom *Dakor*, y ddinas sanctaidd.—Lledasom ein pabell gerllaw y prif borth, o dan ryw brenau mawrion hynod, (sef *Banyan trees*) y rhai a roddasant gysgod hyfrydol i'n holl gwmni. Yr oedd miloedd o lwynogod ehedog yn hongian wrth ganghenau y coed. Cawsom ymwared oddiwrth eu cwmni tyrfus ac anhyfryd, trwy saethu gwn yn fynych i'w dychrynu. Yr oeddynt yn tywyllu yr awyr wrth ledu eu dwylaw asgellog ac ymsymud i le arall i orphwyso. Arosasom yn Dakor ddau ddiwrnod, a chawsom gyfleuster i sylwi ar arferion Hindooaeth, yn un o'i phrif eisteddfaoedd, ac i gyhoeddi efengyl Duw i lawer o'i dilynwyr mwyaf selog. Daeth cannoedd o Frahmaniaid, yn gystal â phererinion ac ereill, i wrando arnom, ac i dderbyn y llyfrau a ddygasom gyda ni i'w dosbarthu. Pan geisiasom gyntaf fyned i edrych teml *Ranchod*, yr hon sydd adeilad fawr a hardd, ceisiodd y Brahmaniaid ein rhwystro; ond pan welsant nad oeddym yn gofalu llawer am hyny, attolygasant arnom o honynt eu hunain, i fyned i mewn."

Yn debyg i hyn y treuliai Dr. Wilson ei amser wrth ymdaith o le i le, ac yn mhob dinas neu dref lle yr elai, yr oedd y trigolion, ie, offeiriaid y gau-dduwiau eu hunain yn dangos parodrwydd ac awyddfryd mawr i glywed beth oedd y "ddysg newydd" oedd ganddo i'w phregethu iddynt. Y mae yn ei lythyr yn adrodd nifer trigolion y saith dosparth i ba rai y mae y wlad wedi ei rhanu, a'r cyfanswm yw 517,279. "Dyma (eb efe) boblogaeth o uwchlaw hanner *miliwn* o eneidiau, o dan lywodraeth Prydain, yn hollol amddifad o foddion gras! Mae'r dosparth a nodwyd yn cydio mewn rhai manau wrth lywodraeth Tywysog *Baroda*, ac y mae poblogaeth y llywodraeth hono yn llawn cymaint â'r manau a enwyd, *ac yn agored i genadon yr efengyl.* Felly dyma uwchlaw can' mil o filoedd o bobl, o fewn cylch lled fychan, heb gymaint âg un Cenadwr yn eu plith! Yr iaith a lefarir yn yr holl barthau hyn yw y *Gujurathi.* Mae'r Bibl wedi ei gyfieithu i'r iaith hono, a llawer o draethodau wedi eu cyhoeddi ynddi, gan genadon Cymdeithas Llundain yn *Surat*, yr hon sydd tua 200 milldir o'r tu dehau i *Kaira.*

"Bernid yn gyffredin fod y wlad yn afiachus; a gellid meddwl fod y farn hon wedi ei hachosi trwy fod y wersyllfa filwraidd wedi ei gosod mewn lle anaddas, a'r milwyr yn agored i demtasiynau cryfion i feddwdod trwy radlonrwydd y *mawada*, (gwirf pur wedi ei felysu)—Ond pa un bynag am hyny, rhaid cofio y dylai gweision Crist fod yn fwy parod i wynebu peryglon a ddichon godi oddiwrth hinsoddau, na'r rhai sy'n gwneyd felly, heb fod ganddynt y dybenion gogoneddus sydd ganddynt hwy mewn golwg, na'r addewidion gwerthfawr a roddwyd er calondid iddynt.

"Nid oes yr un *Caplan* yn byw yn *Kaira*, o ganlyniad gallai Cenadwr fod yn ddefnyddiol trwy bregethu Saesonaeg weithiau i swyddogion milwraidd, a gweinidogion ereill, yr *East India Company*, y rhai a breswyliant yno. Y mae rhai Saeson yn *Baroda*, yn caru llwyddiant yr efengyl, ac yn barod i roi croesawiad i Genadwr. Dywed Esgob *Bombay* wrthyf ei fod ef yn dysgwyl dau Genadwr, yn mhen tua dwy flynedd, y rhai a sefydlir yn *Ahmadábád.* Bydd maes eu llafur hwy yn lled gyffelyb i'r hwn a dorais allan i'ch eglwys chwi. Yr wyf yn dysgwyl dau Genadwr oddiwrth Gymanfa Gyffredinol Eglwys Henaduriaethol yr Iwerddon. Sefydlir hwynt yn *Katiawàr*,—maes eang a gobeithiol, at yr hwn y gelwais sylw yr eglwys hono y flwyddyn ddiweddaf.*

"Yr wyf wedi hysbysu i lawer o'm cyfeillion, y gobaith 'chwanegiad at ein llafur Cenadol y mae eich llythyr chwi wedi ei godi yn fy mynwes, ac y maent yn barod i roi croesawiad calonog i Mr. Jones. Yr wyf yn gobeithio y daw efe yn fuan i'n cynorthwyo, yn llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân, a chan gael ei gynal trwy haelioni a gweddiau eich eglwys barchus ac apostolaidd chwi, y bydd efe, trwy fendith Duw, 'yn weithiwr difefl.' Goreu pa gynted y cychwyna efe ar ol i chwi dderbyn y llythyr hwn. Gadewch i mi wybod mor fuan ag y galloch, eich penderfyniad ar y mater. Byddaf yn barod i'w dderbyn ar ei ddyfodiad i *Bombay*, ac i wneyd pob peth a allwyf tuag at ei sefydlu yn y lle goreu iddo lafurio. Cofiwch fi yn garedig ato ef, a'r holl weinidogion sy'n cymeryd rhan yn ei anfoniad."

Pan ddaeth y llythyr hwn i law yr oedd ein brawd Mr. Jones wedi cychwyn tua Bryniau Kassia; ac felly bydd Dr. Wilson a'i gyfeillion yn cael eu siomi yn eu dysgwyliad o help ganddo ef. Ond arnom ni y

* Ychwaneg am Genadaeth y Presbyteriaid Gwyddelig yn y Rhifyn nesaf.

bydd yn gorphwys bellach, pa hyd y bydd yr holl filiynau a nodwyd yn amddifaid o'r efengyl a'i breintiau. Dyma ddrws mawr ac eang wedi ei agoryd o'n blaen, a galwad uchel a thaer arnom o *Bombay* a *Gujurat* 'Deuwch trosodd i'n cynorthwyo:' a gobeithio yr wyf fi na fyddwn ni ddim yn hir iawn heb gyd synio â'r alwad, trwy anfon un neu ddau o Genadau i'r ardaloedd poblogaidd hyny. Mae'n wir fod genym waith mawr i'w wneyd yn *Kassia;* a chan fod genym bob lle i gredu fod yr Arglwydd wedi ein cyfarwyddo i ddechreu ein gweithrediadau Cenadol yno, ein dyledswydd, mae'n ddiau, yw rhoi ein holl nerth ar waith (am beth amser, o leiaf,) i geisio efengyleiddio y Kassiaid tywyll ac ofergoelus. Ond, pe b'ai holl gynnulleidfaoedd y Corff yn cyfranu fel y dylent at yr achos Cenadol,—neu fel y mae *rhai* cynnulleidfaoedd eisoes wedi gwneyd, byddai yn hawdd i'r 'Gymdeithas Genadol Gymreig,' cyn pen dwy flynedd, anfon cwpl yn rhagor o Genadau i *Fryniau Kassia*, dau i *Gujurat*, dau i *China*, a chwech neu ragor i *Lydaw* a manau ereill. Gwyn fyd na b'ai yn ngallu y Gymdeithas i wneuthur hyn yn ddioedi! Ond na ddigalonwn;—mae ein cyfeillion yn mhob parth o'r wlad yn dechreu ymysgwyd o'u syrthni, a'u diofalwch yn achos y cannoedd miliynau o baganiaid, sydd yn eistedd yn mro a chysgod angau,—'heb Grist, heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd;' a dyma i chwi brawf ychwanegol, at a gawsoch o'r blaen, o'r llawenydd a deimlir yma ac yn y Dywysogaeth oblegyd sylfaeniad y Gymdeithas, ac o barodrwydd ein cyfeillion i gyfranu ati. Casglwyd yn ein capeli ni, yn *Liverpool* a Sir Gaer, y ddau Sabbath diweddaf, y swm o £353 3s 0c., uwchlaw £200 yn fwy nag a gasglwyd y flwyddyn ddiweddaf i Gymdeithas Llundain; sef

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pall Mall ........... | £66 | 19 | 9 |
| Bedford-street......... | 101 | 13 | 5 |
| Rose Place .......... | 110 | 11 | 9 |
| Burlington-street .... | 30 | 12 | 7 |
| Pembroke-street ...... | 25 | 0 | 0 |
| Windsor ............ | 6 | 4 | 0 |
| Birkenhead......... | 8 | 11 | 6 |
| Seacombe ............ | 3 | 10 | 6 |
| Y cyfan .......... | £353 | 3 | 0 |

yr hyn a wna y swm a gyfranwyd yma, er pan sefydlwyd y Gymdeithas yr amser hwn y llynedd, uwchlaw £500. Heblaw y symiau uchod, derbyniasom yn ystod y mis diweddaf, oddiwrth Ysgol Sabbothol Tŷ Ddewi £5,—o'r Bala, casgliad cyhoeddus £3 3s. 2c. a'r Ysgol Sabbothol £4. 8s. 0c.; o Goedllai £9. 8s. 0c.; ac oddiwrth Ysgol Sabbothol Llanerchymedd £7. 16s. 0c.

Gwelwch wrth hyn fod ysgol Tŷ Ddewi wedi gwneyd llawer mwy nag a addawodd fy nghyfaill Mr. E. Williams, yn y llythyr a gyhoeddasoch yn y Drysorfa ychydig fisoedd yn ol. Crybwyllai ef yn y llythyr hwnw mai hawdd fyddai casglu mil o bunnoedd yn y flwyddyn at y Gymdeithas, ond i fil o Ysgolion roi punt bob un; a rhoddai awgrym fod eu hysgol hwy yn barod i wneyd ei rhan hi, os galwem ni arni; ac wedi i ni wneyd hyny, wele yn lle *punt*, dyma *bum'* punt yn cael eu danfon! Dyma esiampl ragorol i holl Ysgolion Sabbothol Cymru; a dyma brawf o'r hyn a ellir ei wneyd yn yr ysgolion, ond i'r rhai a'u blaenorant fod yn ffyddlon i alw sylw yr Ysgoleigion yn fynych at achos y paganiaid, y rhai a ddyfethir wrth y myrddiynau o eisiau y wybodaeth a fwyneir ganddynt hwy.—Y mae casgliad *Coedllai* yn deilwng o sylw, yn gymaint a'i fod yn fwy agos i dair gwaith nag a wnaed gan y gynulleidfa hono erioed o'r blaen. Diammeu genyf fod y cynydd hwn i'w briodoli, i ryw fesur, i lwyddiant y Gymdeithas Ddirwestol yn yr ardal hono, yr hon sydd wedi galluogi ein cyfeillion, nid yn unig i wneyd ymdrech egniol i dalu dyled eu Capel, ond hefyd i ymhelaethu yn eu cyfraniadau i gynorthwyo lledaeniad yr Efengyl trwy'r byd. Wrth feddwl am yr holl ddaioni sydd wedi dilyn gweithrediadau y Gymdeithas ragorol hon yn mhob man, pwy na ddymunai

O Arglwydd Ior, par lwyddiant mawr,
Ar Ddirwest trwy ein tir yn awr;
A buan coder baner hon,
Yn mhob rhyw gŵr o'r ddaear gron.
  Holl ffynnonau meddwdod sycher,
  Meddwon diras a sobreiddier,
  Ac yn dyrfa fawr a ddyger
    At yr Iesu,
  Am faddeuant a glanâd.

Dysgwyliwn gael y fraint, yn fuan, o gydnabod derbyniad ychwaneg o'r casgliadau a wnaed yn Nghymru at ein Cymdeithas, y'nghyda hanner yr arian â anfonwyd i Abergele i'w rhanu gan y Gymdeithasfa.

Ydwyf, &c. JOHN ROBERTS.

*Liverpool, Chwef.* 15, 1840.

O.Y. Ar ol ysgrifenu y llythyr blaenorol, derbyniwyd y symiau canlynol trwy law Mr. Lloyd, Pant-gwyn, Sir Fflint, sef

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Trelogen.. | £3 | 4 | 4 | Pentre'r dwr | 0 | 4 | 0 |
| Lodge .... | 2 | 6 | 0 | Llyn-y-pandy | 4 | 14 | 7½ |
| Berthen .. | 3 | 16 | 4 | Nerquis .... | 0 | 9 | 6 |
| Helygen .. | 2 | 8 | 0 | Gellifor .... | 1 | 11 | 8 |
| Cilcen .... | 1 | 1 | 0½ | WaenBodffari | 0 | 10 | 6½ |
| Llanarmon | 0 | 17 | 3 | Pen-y-felin .. | 0 | 19 | 0 |
| Rhos llanerchrugog | 3 | 5 | 2 | Glyncreigiog | 0 | 10 | 4½ |
| | | | | Y cyfan .. | £25 | 12 | 10 |

# HANESION GWLADOL.

## Y SENEDD YMERODROL.

DYDD Mawrth, Ionawr 26, agorwyd y Senedd, gan ei Mawrhydi, y Frenhines, yn bersonol.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Yn fuan wedi hanner dydd, dechreuodd Cerbydau y Cenhadon Tramor, y Boneddwyr, ac ereill, y rhai a gawsent docynau caniattaol gan yr Arg. Ystafellydd ddylifo y naill ar ol y llall tua Thŷ yr Arglwyddi.

Yr oedd y Parliament Street, ac ar hyd y ffordd o Lys Buckingham, yn llawn dŷn o bobl.

Ychydig cyn dau ar gloch aeth y Frenhines, a'r Tywysog Albert, i mewn i'r Cerbyd brenhinol, ac yn eu dilyn yr oedd holl Brif Swyddwyr y Teulu Brenhinol. Aethant o Lys Buckingham drwy St. James's Park, i Dŷ yr Arglwyddi. Fel yr oedd y Frenhines a'i Brenhinol Briod yn myned ar hyd y ffordd, bloeddiai yr holl dorf â bloedd o orfoledd mawr.

Ar ddyfodiad ei Mawrhydi i'r Tŷ, cyfododd yr holl Arglwyddi a'r Arglwyddesau ar eu traed, a safasant felly hyd onid eisteddodd ei Mawrhydi ar yr Orsedd.

Yna parodd y Frenhines i'r Arg. Ganghellwr, anfon Rhingyll y Wialen ddu i wysio Aelodau Tŷ y Cyffredin i ddyfod i wrando yr Araeth Frenhinol ar agoriad y Senedd.

Ymhen ychydig funudau, daeth y Cadeirydd, ac yn ei ganlyn nifer mawr o'r Aelodau, ac a safasant wrth y bàr, pryd y darllenodd y Frenhines, gyda llais eglur, soniarus, a threiddgar, yr Araeth ganlynol:—

ARAETH Y FRENHINES.

'Fy Arglwyddi a Boneddigion—

'Mae genyf y boddlonrwydd o dderbyn oddiwrth y Galluoedd Tramor bob sicrhad o'u hymddygiadau cyfeillgar; ac o'u dymuniad gwresocaf i amddiffyn heddwch.

'Bu amgylchiadau pethau yn y *Levant* yn hir yn achos o anesmwythdra, ac yn ffynonell beryglus i'r heddwch cyffredinol. Gyda golwg i luddias y drygau ag yr oedd parhad pethau yn y cyfryw fodd yn debyg o achosi, penderfynais, gydâg Ymerawdwr Awstria, Brenin Prwssia, ac Ymerawdwr Rwssia, a'r Sultan hefyd, i gynnal cynnadledd er peri tawelwch yn y *Levant*; i amddiffyn uniondeb ac anymddibyniaeth yr ymerodraeth Ottomanaidd; a thrwy hyny, rhoddi cadarnhad ychwanegol i heddwch Ewrop.

'Yr wyf wedi rhoddi hyfforddiad ar fod i'r gynnadledd hon gael ei gosod ger eich bron.

'Llawen genyf allu hysbysu i chwi fod y mesurau a fabwysiadwyd yn nghyflawniad y gorchwylion hyn wedi eu dilyn âg arwyddion o lwyddiant hynod; ac yr wyf yn hyderu fod y gwrthddrychau ag oedd yn ngolwg y pleidiau cyfammodol ar fin dyfod i ddiweddiad penderfynol.

'Yn ystod y gweithrediadau hyn y mae fy myddinoedd morawl wedi bod mewn cyd weithrediad â lluoedd Ymerawdwr Awstria, a chyda milwyr tir a môr y Sultan; ac y maent wedi dangos, ar bob achlysur, eu medrusrwydd a'u dewrder arferol.

'Gwelwyd yn angenrheidiol anfon i dueddau China rai milwyr tir a môr i fynu Iawn a thaliad am niweidiau a wnaed i rai o'm deiliaid gan swyddogion Ymerawdwr China, ac am y sarhad a gynnygiwyd i un o Orachwylwyr fy nghoron; ond yr wyf, ar yr un pryd, wedi pennodi Cenadwyr dan lawn awdurdod i gylafareddu (*treat*) gyda'r Llywodraeth Chineaidd ar y matterion hyn.

'Yr oedd y Cenadon hyn, yn ol yr hanesion diweddaraf, mewn cynnadledd gyda Llywodraeth China, a bydd yn achos o foddhad mawr i mi, os tueddir y Llywodraeth hono, oddiar ei hymsyniad ei hunan o gyfiawnder, i ddwyn y matterion hyn i benderfyniad buan trwy drefniadau heddychlon.

'Y mae gwahaniaeth pwysig wedi cyfodi rhwng Ysbaen a Phortugal mewn perthynas i weithrediadau y Gylafaredd (*Treaty*) a gyttunwyd arno gan y Galluoedd hyny yn 1835, er rheoleiddio mordwyaeth Douro; ond y mae y ddwy blaid wedi cytuno ar fy nghyfryngiaeth i, ac yr wyf yn gobeithio y byddaf yn allnog i effeithioli cymmodiad rhwng y pleidiau hyn ar deleran anrhydeddus i'r ddwy ochr.

'Yr wyf wedi dyfod i benderfyniadau gyda Gwerin-lywodraeth Argentine, a Gwerin-lywodraeth Hayti, gyda golwg ar ddiddymiad caeth-fasnach, am ba rai y rhoddais orchymyn i'w dodi ger eich bron chwi.

'Foneddigion Ty y Cyffredin—

'Yr wyf wedi gorchymyn a'r fod i gyfrifon y flwyddyn gael eu gosod ger eich bron chwi.

'Er mor deimladwy ydwyf o'r pwysigrwydd o ymlynu wrth egwyddorion cynnildeb, yr wyf yn ei theimlo yn ddyledswydd arnaf eich cynghori i wneud darpariadau cyfaddas gogyfer a thraul y gwasanaeth gwladol.

'Fy Arglwyddi a Boneddigion—

'Rhoddir mesurau ger eich gwydd yn ddioedi, gwrthddrych pa rai fydd, ffordd gynt a mwy effeithiol i weinyddu cyflawnder. Y mae pwysigrwydd mawr y mater hwn yn ddigon i sicrhau iddo eich ystyriaethau blaenaf a difrifolaf.

'Y mae awdurdod y Dirprwywyr a bennodwyd er diwygio y cyfreithiau mewn perthynas i'r tlodion yn terfynu gyda diweddiad y flwyddyn hon. Yr wyf yn hyderus y bydd i chwi droi eich sylw difrifolaf at bethau sydd yn dwyn perthynas mor bwysig â lles y cyfundeb.

'Gyda'r hyderwch mwyaf y byddaf yn ymorphwys ar gyngor a chynnorthwy fy Senedd. Yr wyf yn rhoddi fy hyder ar eich doethineb, eich ymlyniad breiniol, a'ch gwladgarwch; ac yr wyf yn gostyngedig ddeisyf ar Ragluniaeth Ddwyfol am i'ch holl gyngor gael ei gyfarwyddo er hyrwyddo moesoldeb a chrefydd, i gadw heddwch, ac i ddwyn ymlaen trwy ddeddfau

cywir, lwyddiant a dedwyddwch i bob gradd o'm deiliaid.'

Ar ol ymadael, cyfarfu y Tŷ drachefn am bump yn yr hwyr, a chytunwyd am anfon Cyfarchiad diolchus i'w Mawrhydi; ac felly yn gyffelyb y gwnaed yn Nhŷ y Cyffredin, heb neb yn tynu yn groes.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Ionawr 28. Cyhoeddodd yr Arg. Ganghellwr, ei fod ef wedi trosglwyddo Cyfarchiad eu Harglwyddi i'w Mawrhydi. Ac yna darllenwyd ei diolchgarwch, a'i hateb hithau ger gwydd y Tŷ.

Gofynodd Iarll Haddington, a oedd yn mwriad Swyddogion y Llywodraeth wneud rhyw drefniadau tuag at iachau yr ymrafael a'r anghydfod sydd yn parhau yn Eglwys Scotland. Atebodd Arg. Melbourne nad oedd y Llywodraeth ddim am gynnyg gwneud un cyfnewidiad yn y gyfraith.

Ionawr 29. Dyg Ardalydd Normanby i mewn Ysgrif am beri gwell trefn i ddyhysbyddu dyfroedd sefydlog, a gwyntyllio ystafelloedd tai annedd, &c. mewn trefydd mawrion, er mwyn iechyd y trigolion. Gofynodd Arg. Wharncliffe a oedd rhyw ragorfraint o ryddhad a bri wedi cael gorchymyn gan y Llywodraeth i'w rhoi i'r Chartiaid alltudiedig Frost, Jones, a Williams, fel y mae'r gair ar hyd y wlad, ac mewn rhai o'r papurau newyddion. Atebodd Ardalydd Normanby, Nad oedd dim o'r fath beth: ond fod rhyddid i'r Arolygwr, yn ngwlad yr alltudiaeth, i osod rhyw un o'r drwg weithredwyr a gyfrifid yn ysgolhaig, ac wedi cael dygiad i fynu da, i fod yn Ysgrifenydd; a'i fod ef yn cael sail i gredu fod Syr J. Franklin, y Llywydd, wedi gosod Frost mewn swydd o'r fath. Ond am i'r Llywodraeth roddi gorchymyn neu annogaeth i'r cyfryw ddyrchafiad, ni bu dim, ond yn y gwrthwyneb, fe roddwyd siars fanwl am eu cadw dan y gospedigaeth ddyladwy.

Chwefror 2. Rhwymwyd Iarll Cardigan, ei hun yn y swm o ddeng mil o bunnau, a dau Feichiau yn y swm o bum mil bob un, am ei ymddangosiad o flaen Tŷ yr Arglwyddi, i gael ei brofi yn achos Ornest (*Duel*) y bu efe yn euog o hono, pa bryd bynag y galwo y Tŷ am dano ger eu gwyddfod.

Tŷ y Cyffredin. Ionawr 29. wedi anfon o'r Tŷ Gyfarchiad parchus at y Frenhines yn achos ei grasusaf Araeth, dygwyd yr Ateb i mewn, a darllenwyd ef:—'Myfi a dderbyniais, gyda mawr foddhad, eich Cyfarchiad ffyddlon a serchiadus. Yr wyf yn diolch i chwi am eich Cydlawenychiad o herwydd cynnydd fy nedwyddwch teuluaidd. Nid ymattaliaf rhag rhoi yr ystyriaethau mwyaf difrifol i bob ymgais a fyddo yn tueddu i gynnyddu llwyddiant cyffredinol, ac i ddal i fynu dangnefedd yn Ewrop.'

Derbyniwyd Deisebau yn erbyn y Dreth Eglwys, ac yn erbyn Undeb Brydain a'r Werddon, &c. Hysbysodd Mr. M'Kinnon y bydd iddo, ddydd Gwener nesaf, gynnyg gwneud cyfraith oddiar dystiolaeth ac Adroddiad y Dirprwywyr gosodedig i chwilio i mewn ansawdd iechyd trefydd mawrion; ac hefyd am chwilio i mewn i'r buddioldeb o anfon llafurwyr i Drefedigaethau yr India Orllewinol. Cynnygiodd Arg. J. Russell am gael darlien Ysgrif estyniad parhad awdurdod Dirprwywyr Cyfraith newydd y tlodion, am ddeng mlynedd. Ar y pen hwn bu peth dadl; a dangoswyd fod Aelodau y Senedd yn wahanol iawn eu meddyliau am weithrediadau y gyfraith hon. Ond, fodd bynag, fe ddarllenwyd yr Ysgrif y tro cyntaf, a chytunwyd ar iddi gael ei darllen yr ail waith, Chwefror 8fed. Y Rhingyll Talfourd a ddyg i mewn Ysgrif diwygiad Hawl Cynysgrif, (*Copy-right,*) yr hwn a ddarllenwyd y tro cyntaf, ac addawyd y darllenid ef yr ail waith ymhen yr wythnos.

---

## DIRWESTIAETH.

Mae'n debyg nad oes un parth o Gymru, lle yr ymdrechir mwy o blaid y Gymdeithas Ddirwestol, na Dinorwig a'u chymmydogaethau. Mae yma dri Chapel gan y Trefnyddion Calfinaidd, y rhai a elwir Ysgoldŷ, Cefn y Waen, a Dinorwig; yn mhob un o'r Capelydd hyn, cedwir cyfarfod bob wythnos i holi y plant; yn benaf yn egwyddorion Dirwest. Weithiau gosodir dau neu dri o honynt i areithio ar yr achos, yr hyn a wneir ganddynt gyda medrusrwydd mawr. Nid oes i fod yn y cyfarfodydd hyn ond dau neu dri o bobl mewn oed, y gweddill yn feibgyn o wyth hyd bymtheg oed.

Ond ar ddydd Sadwrn, Chwef. 6, cadwyd Cylchwyl Ddirwestol i'r plant yn unig, yn yr Ysgoldŷ, lle yr oedd o 200 i 300 o blant wedi ymgasglu o'r gwahanol Gapelydd a enwyd. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio, gan y Parch. Robert Owens, Rhos-tryfan. Wedi hyny, agorwyd y cyfarfod gan y Llywydd, sef Mr. E. Thomas, Clwt y Bont, bachgen ieuanc, tua 18 oed. Yna galwodd y Llywydd ar y bechgyn a bennodwyd i areithio, o un i un, yr hyn a wnaed gan 11eg o honynt, yn fyr, etto yn wrol. Yr oedd yr olwg ar y cannoedd pobl oedd yno yn gwrando, yn dangos yn amlwg eu bod wrth eu bodd. Ar ol i'r bechgyn ddarfod, galwodd y Llywydd ar Mr. Robert Evans, un o Henuriaid y lle, i roddi gair o gyngor i'r plant ac ereill, yr hyn a wnaeth; ac ar ei ol, y Parch. Robert Owens, yr hwn hefyd a ddybenodd y cyfarfod trwy weddi. Mae y cyfarfod hwn wedi peri syndod a braw yn yr ardaloedd hyn; syndod i'r rhai oedd yn gwrando, a braw i'r rhai sydd a'u hysgwyddau o dan y fasnach feddwol. Yn awr, mae ysgrifenydd y llinellau hyn yn cynnyg y Llyfr rhagorol hwnw, a elwir y

'Pregethwr a'r Gwrandawr,' o waith y Parch. Richard Williams, o Liverpool, yn wobr am y chwe phennill goreu ar y Dôn a elwir '*Mentr' Gwen*, wedi eu cyfaddasu i'w canu yn Nghylchwyliau Dirwestol y Plant. Y cyfansoddiadau i ddod i law erbyn y dydd cyntaf o Mai nesaf, gyda ffugenw yn unig, wedi ei gyfarwyddo fel hyn,—To David Williams, Tŷ Ddewi, Dinorwig, near Carnarvon.

LLYFRGELL YR ATHROFA.

(Parhad o du dal. 63.)

GAN MR. SAMUEL EVANS, BALA, (*gynt Traveller's Inn.*)

| | | |
|---|---|---|
| Nicolai Everardi Opera.......... | 1 | Gyf. |
| Collections of Sundry Statutes .. | 1 | ,, |
| Polydori Virgilii Opera.......... | 1 | ,, |
| Hieronymus de Philosophiâ Humanâ .................... | 1 | ,, |
| Eustachius de Philosophiâ Quadripartita .................. | 1 | ,, |
| Ovidii Nasonis Opera .......... | 1 | ,, |
| Orationes Tullii Ciceronis........ | 1 | ,, |
| Cicero de Officiis .............. | 1 | ,, |
| Dialogues .................... | 1 | ,, |
| Hieronymi Osorii Lusi tani Opera | 1 | ,, |
| Zodiacus Marcelli Palingenii .... | 1 | ,, |
| Opera Virgilii ................ | 1 | ,, |
| S. P. de Catabaptistarum Erroribus | 1 | ,, |

GAN MR. JONES, HAFOD-Y-DRE, GER PENTRE-FOELAS.

| | | |
|---|---|---|
| Dee's Critical Analysis of the Psalms .................. | 1 | ,, |
| Latin Grammar................ | 1 | ,, |
| Dr. Wolton's Examinations for Holy Orders .......... .. | 1 | ,, |
| History of England ............ | 1 | ,, |
| Electa ex Ovidio .............. | 1 | ,, |
| Gramadeg Cymraeg gan R. Davies | 1 | ,, |
| Crocker's Elements of Land-surveying | 1 | ,, |
| Vigilii Opera .................. | 1 | ,, |
| Dr. A. M'Caul's Hebrew Primer.. | 1 | ,, |
| Maurice's Popery of Oxford .... | 1 | ,, |
| —— — Key to "Popery of Oxford" | 1 | ,, |
| Gray's Works.............. .... | 1 | ,, |
| Blackwall's Sacred Classics...... | 2 | ,, |

(*I'w barhau.*)

Clywsom fod ar feddwl llawer o'n cyfeillion haelionus i wneuthur anrheg o Lyfrau i Lyfrgell yr Athrofa. Anogir hwynt i roddi eu bwriad clodwiw mewn gweithrediad yn fuan. Os oes gan neb ryw hên lyfr, neu lyfrau, yn ei feddiant nad ydynt o un bûdd iddo ef, pe danfonai hwynt i Lyfrgell yr Athrofa, gallai fod o ddefnydd mawr, a byddai yr anrheg yn dra derbyniol. Er fod haelioni y cyfeillion eisoes wedi bod yn rhagorol o ffrwythlon, na feddylier er hyny fod *haner digon* o lyfrau etto wedi eu cael. Byddai yn ddymunol cael *amryw gopiau* o'r llyfrau Lladin, Groeg, a Hebraeg hyny a ddefnyddir yn gyffredin mewn ysgollion ac Athrofaau. Crybwyllir etto, pa rai yn fwyaf neillduol, yn y nesaf. YR ATHRAWON.

PRIODWYD.

IONAWR 22, 1841, y Parch. John Hughes, Llangollen, a Mrs. Bowen o'r un lle; cyflwynwyd cwppan arian iddynt gan Eglwys Pont cyssyllte, ar y dydd uchod, fel arwydd o'u cydnabyddiaeth a'u diolchgarwch, am lafur a ffyddlondeb eu brawd Parchedig yn eu plith, yn yr ardal uchod a'r gymmydogaeth, y 30 mlynedd diweddaf.

J. D. J.

MARWOLAETH.

BU farw, tua 4 o'r gloch prydnawn Sabbath, Ion. 17. 1841, yn 56oed, Dafydd Owen, Ysw. Gaerwen, Swydd Gaernarfon. Adwaenid y gwr hwn, fel bardd, wrth yr enw Dewi Wyn, o Eifion, ac ystyrid ef, nid yn unig yn un o Feirdd penaf ei oes, ond yn un o Feirdd penaf Cymru trwy yr holl oesoedd. Daliwyd ef tua phedair blynedd yn ol, gan gystudd trwm, yr hwn oedd yn gynnwysedig o iselder ysbryd, poenau gewynol, &c. Gwnaeth ymdrechiadau mawrion yn ei erbyn, trwy deithio ac ymgynghori â meddygon, ond bu y cwbl yn annhyciannol. Yr oedd er ys tua pum wythnos cyn ei farwolaeth, yn cadw yn ei wely bron yn barhaus, er nad oedd arwyddion newyddion o adfeiliad i'w canfod ynddo.

Dydd Gwener cyn ei farwolaeth, dywedai, wrth un a ddaeth i ymweled âg ef, fod yr ysfa a deimlai yn ei ochr ddehau wedi symud at ei galon. Prydnawn Sabbath, gwelid arwyddion yn ei wynebpryd ei fod mewn *fit*, ac yn mhen tua phymtheng mynyd wedi ei ddyfod o honi efe a fu farw.

Heblaw enwogrwydd ei gyfansoddiadau barddonawl, yr oedd yr arwyddion o feddwl cryf, bywiog, craffus, ac annibynol a ddangosai yn ei ymddyddanion, ei lythyrau, &c. yn peri y cyfrifid ef yn ddyn nodedig iawn.

Yr oedd yn y rhan foreu o'i oes yn gwrando yn benaf ar y Trefnyddion Calfinaidd, a phan y cai gyfle ar y Bedyddwyr. Bu ei unig frawd yn glaf am tuag un-ar-ddeg o flynyddoedd,—cedwid yntau mor gaeth y pryd hwnw, fel na chai fwynhau ond ychydig o foddion gras. Ychydig cyn marwolaeth ei frawd, daliwyd ef gan gystudd, a thra parhaodd blynyddoedd ei anhwyldeb, nid oedd dim a'i gofidiai gymmaint a'i fod wedi treulio y rhan a aethai heibio o'i oes heb grefydd, yn enwedig heb wneuthur yr hyn a allasai gydag achos yr Arglwydd. Ac er iddo gael ei gadw rhag cyfansoddi na byw yn anfoesol; galarai yn fawr na buasai y cwbl yn fwy er gogoniant i Dduw. Gellir dywedyd heb ballu mai ychydig a geisiasant yr Arglwydd yn fwy dyfal nag ef yn y pedair blynedd olaf y bu byw, ac y mae rhai awgrymau lled gryfion, ddarfod iddo ei gael, er fod yr iselder ysbryd yr oedd yn ei afael yn ei luddias i gael cysur mewn crefydd na dim arall. Yr oedd er ys amryw fisoedd yn ol wedi ymuno

â'r Bedyddwyr, a chymmeryd ei fedyddio trwy drochiad, ond fel R. Hall, ac enwogion ereill o'r Cyfundeb parchus hwn, dangosai frawdgarwch Cristionogol at grefyddwyr o enwadau ereill, ac a hoffai gyfeillachu a gohebu â llawer o honynt. Er ei fod yn bleidiwr gwresog i ryddid crefyddol, yr oedd yn wrthwynebwr *eithafion* mewn rhyddid. Er prawf, cymmeradwyai yn fawr Draethawd y Parch. L. Edwards, ar 'Natur Eglwys,' fel un unol â'r Ysgrythyr ar drefn Eglwysig, heblaw yr arwyddai gymmeradwyad uchel o hono fel cyfansoddiad cryf a medrus. Llawer o bethau ereill a allesid enwi, i ddangos ei fod yn dderbyniol o'r hyn a welai yn gyson â'r gwirionedd, ac yn fuddiol er codi teyrnas y Cyfryngwr, gan bwy neu ba blaid bynag y ceid hyny.

Tua phythefnos cyn ei farw, galwodd am gyfaill iddo, a dywedodd y dymunai yn fawr fod i ddynion crefyddol y cymmydogaethau agos ato gymmeryd ei achos mewn gweddi, gan mai dyma yr unig foddion y dysgwyliai gysur trwyddo, yn enwedig cysur crefydd. Felly y nos Lun olaf y bu fyw, cadwyd cyfarfodydd gweddio yn ei achos yn Nghapeli y Trefnyddion a'r Bedyddwyr, a hyderir na throdd Gwrandawr gweddi hwy oddiwrtho, na'i drugaredd oddi wrtho yntau. Gofynwyd, ar ol iddo ymgryfhau o'r llesmair a gafodd, 'A fynai yru i ymofyn y Meddyg ?' Atebai, 'Na, ni wna y méddyg ddim i mi yn awr :—nid oes ond gwaed y groes a wna y tro yn awr.' Yna codai ei ddwylaw a dywedai dair neu bedair o weithiau, '*Nid oes ond gwaed y groes a wna y tro yn awr,*' ac felly ei enaid a ymadawodd i fyd yr ysbrydoedd.

Darfu iddo ef a'i frawd, trwy ddiwydrwydd a chynnildeb gonest, gasglu cryn lawer o gyfoeth, a chan na ddarfu iddynt briodi, ac mai Dewi a fu farw ddiweddaf, daeth y cwbl i'w feddiant. Bu yn ofalus wrth eu cyfranu i wneud cyfiawnder â'i berthynasau lluosog, a gadawodd £90 i Gymdeithas y Biblau, a £10 i Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr. Cyfranodd hefyd lawer iawn at achosion crefyddol, ac i wrthddrychau teilwng o elusen yn mlynyddoedd olaf ei oes.*

Yr Englynion canlynol a gyfansoddwyd gan y Parch. Dafydd Jones, Caernarfon, mewn canlyniad i'r Bardd trancedig, Dewi Wyn, fod yn ei dŷ, ac adrodd iddo yr Englyn canlynol, a wnaethai iddo ei hun yn ei anhwyldeb. Y mae pob peth am Dewi Wyn yn dderbyniol yn awr; ond gwelir nad oes eisiau amgylchiad hynod i wneud yr Englynion hyn yn dderbyniol.

*Eifionydd.* J. O.

* Bwriada ei gyfeillion yn Eifionydd roddi Bywgraffiad o hono cyn hir.

ENGLYN DEWI WYN.

"Ys arweiniais ar unwaith—oes Esau,
A Belsasar ddiffaith;
Ac i Demas cydymaith,—wyf hafal
I Saul a Nabal dan sêl anobaith.

YR ATEB.

DEWI WYN—Oh! Dewi anwyl!—cofiwch,
O'ch cyfwng diegwyl,
Gall Duw'n hawdd ladd gwyllt an hwyl,
A'r daeg yn awr yw *dysgwyl*.

I'r byw oll, er mor belled—eu gwibiau,
Mae gobaith ymwared;
Y gwan trist i Grist a grêd,
Yn ei haeddiant gaiff nodded.

Dysgwyliwch â dwys galon.—wrth rasol
Borth yr Iesu tirion;
Ceidwad rhad yw E 'r awr hon
I'r dyledog wir d'lodion.

Yr Oen addfwyn yw'r noddfa,—i'r perwyl
Darparwyd ei laddfa,
Os dirfawr eich blinfawr bla,
Mae iechyd yn y Meichia'.

Gobeithiwch o'r llwch a'r llaid—ein Ceidwad
Sy'n cadw pechaduriaid;
Crêd yw'r oll—ond credu raid,
A gwaed yr Oen geidw'r enaid.

Os yn llwm, mae'r Iesu'n llawn:—os [dyled
Crist dalodd yn gyflawn;
Neu gofiwch bwyso'n gyfiawn
Warth yr oes, wrth werth yr Iawn.

Mae Rheolwr eich mawr helynt—etto
Yn attal ei gorwynt;
Wrth fesur mae'n gyru'r gwynt,
I dirioni'r dwyreinwynt.

Os y ffwrnais sy' ffyrnig—y perwyl,
Yw puro yn unig:
Gras yw y dwym, nid gwres dig;
Iawn ei ddioddef yn ddiddig.

DEWI 'n y bair, a Duw'n ben—i'w gwylied
Fel gwelo yr angen:
Er Och ei mwg rhowch amen,
Neu wyliwch gno'i y wialen.

O dan y cerydd dawn cariad—dylech
Dawelu yn wastad;
Tranoeth têg wna driniaeth Tad,
O'ch holl ing cewch ollyngiad.

A'r boreu dowch o'r bair den—y gwelwch
Mewn goleu ei dyben:
Daw dyddiau'r poenau i'r pen,
A molwch am y wialen.

Araul haf ddaw ar ol hyn—a Dafydd,
Er dyfais y gelyn;
Ddaw o'i wae yn *Ddewi Wyn*,
I ardaloedd aur delyn.

Os anobaith gais wynebu—i'ch enaid
Achwynwch wrth Iesu;
A phob dawn yn llawn ail llu
Yrr yn drachwyrn i'w drechu.

Hwyl i lawen Haleluia—o gur
A gewch wrth Galfaria,
Anobaith, eich blinfaith bla,
Gilgwthir wrth Golgotha.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXIV.] EBRILL, 1841. [LLYFR XI.

## TRAETHAWD AR YMDDYDDAN CREFYDDOL.

GAN fod ymddyddan crefyddol yn foddion gras, neu, yn ngeiriau yr ysgrythyr, 'yn adeiladu yn fuddiol, ac yn peri gras i'r gwrandawyr,' a bod y rhai sydd 'yn ofni yr Arglwydd,' yn mhob oes, 'yn llefaru bob un wrth ei gymmydog,' dylem ddwys-ystyried y ddyledswydd hon, a'i hymarferyd 'bob dydd tra y gelwir hi heddyw, fel na chaleder neb o honom trwy dwyll pechod.'

I'r dyben hyn, sylwn ar ei chynnwysiad, ac ar rai o'r pethau annogaethol i'w chyflawni.

I. Nid yw pob math o ymddiddan am bethau sanctaidd yn teilyngu y nodweddiad o 'Ymddyddan Crefyddol.' Weithiau, y mae pethau mawrion y gyfraith yn cael ymdrin â hwy yn 'eisteddfa gwatwarwyr,' fel dieithr bethau, yr hyn sydd bechod erchyll: nid lle llestri y deml yw 'cyfeddach y gwin;' ac nid man priodol yr Arch yw tŷ Dagon. 'Na roddwch y peth sydd sanctaidd i'r cŵn, ac na theflwch eich gemau o flaen y moch.' Ymdrin â phethau yr ysgrythyr lân mewn ysgafnder yw cymmeryd Samson i chwareu, a myned at sanctaidd bethau tŷ yr Arglwydd â thân dieithr, yr hyn sydd yn gyru yr Arglwydd i eiddigedd uwchlaw pob peth.

Mynych y canfyddir 'dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt,' yn rhoddi ynfyd a ffol gwestiynau, y rhai sydd yn magu ymrysonau; ac yn cyndyn ddadleu ar ddyfnion bethau diddadl yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb; ond nid y cyfryw bethau yw yr 'Ymddyddan Crefyddol' a orchymynir ac yr annogir ato yn y Bibl. Gorchymynir i ni ochelyd ofer-sain o'r fath hyn, canys cynnyddu a wnant i fwy o annuwioldeb.

Ond cynnwys 'Ymddyddan Crefyddol' siarad mewn iawn ysbryd am Dduw a'i weithredoedd, er canfod a rhyfeddu ei allu, a'i ddoethineb, a'i ddaioni,—sylwi ar wahanol bynciau crefydd, a rhanau yr ysgrythyr,—annog ein gilydd i gariad a gweithredoedd da,—dywedyd profiadau ysbrydol, sef 'yr hyn a wnaeth Duw i'n heneidiau.' Dyma ymddyddan a gymmeradwyir yn ysgrythyr y gwirionedd, ac wrth hyn y mae Cristionogion yn addoli Duw, ac yn adeiladu eu gilydd.

II. Cawn amryw resymau annogaethol at gyflawniad y ddyledswydd hon.

1. Y mae Awdwr ein bod wedi ein cynnysgaeddu â'r ddawn o ymadroddi. Wele allu na chafodd yr un creadur adnabyddus ei gynnysgaeddu âg ef heblaw dyn; addurn na welir ond ar ddynoliaeth,--rhagorfraint na feddir ond gan hil Adda. Y peiriant ymadroddawl ni roddwyd i weithio ond yn y creadur dyn. Ofnadwy a rhyfedd y'n gwnaed! Pwy a wnaeth ragor rhyngom ag anifeiliaid y ddaear, ac a'n breintiodd uwchlaw ehediaid yr awyr? Ymadrodd y tafod mewn dyn, oddiwrth yr Arglwydd y mae. Am hyny y mae yn weddus a rhesymol iddo gael ei arferyd at wasanaeth ei luniwr. Nid pob swydd sydd ddigon uchel i'r aelod ardderchog hwn. Ni ddylai ond geiriau cymmeradwy ddyfod trwy ddrws ein gwefusau. Defnyddio y fath beiriant euraidd a'r tafod dynol i drosglwyddo oferedd i glustiau halogedig, i fwrw allan dom a llaid, i ddrwg-sawru'r byd, i frygawthan ffolineb, i gynnyddu ynfydrwydd, ac i adrodd chwedlau gwrachïaidd er porthi cnawd pechadurus, sydd anghydweddol â dyben ei gyfansoddiad, yn ddirmyg o'r mwyaf ar ei ddoethaf Awdwr, ac yn warth o'r dyfnaf ar nodweddiad dynoliaeth: am

hyny ymorchestwn i gadw ein ffyrdd rhag pechu â'n tafod. Gyda'r Salmydd, galwn ar ein 'gogoniant' i ddeffro, i fynegu y boreu am drugaredd ei gyfansoddydd, ei foliant, a'i gyfiawnder ar hyd y dydd, a'i wirionedd y nosweithiau: ac un amser na ddeued ymadrodd llygredig allan o'n genau, ond y cyfryw ag a fyddo da i adeiladu yn fuddiol.

2. Y mae cydymddyddan crefyddol yn foddion i'n hattal rhag dywedyd pethau ofer ac anmhriodol. Y ffordd i gadw y gelyn a'i luoedd allan, yw llanw y tŷ â lletewyr gwell. Llawer, o herwydd esgeulusdo'r ddyledswydd hon, a lithiwyd i ddywedyd eu geiriau eu hunain—pethau ynfyd a niweidiol—a hyny ar y dydd sanctaidd, weithiau wrth gydgyfrinachu a rhodio i dŷ Dduw ynghyd, nes i benwyni ymdaenu heb yn wybod iddynt, nes sychu eu mwyneidd-dra nefol, ymadael o'u hireidddra ysbrydol i raddau helaeth, 'fel cwmwl y boreu ac fel gwlith boreuol,' a gwneuthur y nefoedd yn bres fel nad oedd na gwlith na gwlaw yn disgyn arnynt yn y cyssegr trwy'r dydd. O! wybed meirw, sydd yn ysu gwyrdd-lysiau paradwys, ïe, yn gwneuthur 'i enaint yr apothecari ddrewi!' Ond ymddyddanion crefyddol a gadwant yr haint echryslawn draw, ac a yrant y locustiaid difäol ym mhell. Byddai bwystfilod y nos yn ymguddio mewn dychryn rhag gogoniant pelydrau pethau ysbrydol. Byddai ymadrodd ffol yr dystewi mewn cywilydd wrth hyfryd sain geiriau gwirionedd. Am hyny, fel moddion rhag geiriau segur dywedwn y pethau a berthyn i'r Brenin. Llanwer ein genau â'i foliant a'i ogoniant beunydd. Gorchfygwn ddrygioni trwy ddaioni.

3. Y mae Ymddyddan Crefyddol yn cynnyddu buddioldeb personol a chyffredinol (1) Mewn gwybodaeth. Y mae ymddyddan ar beth yn dwyn y meddwl i ystyried, a thrwy hyny yn helaethu y wybodaeth am dano: ac nis gall llai na dau fod mewn cyd-ymddyddan; a 'gwell yw dau nag un.' Fel y mae ein dulliau corfforol yn gwahaniaethu, felly nid yw ein galluoedd meddyliol yn dwyn yr un cyffelybrwydd. Oherwydd paham, pan y mae mater yn cael ei osod ger bron i sylwi arno, y mae gan un y goleuni hwn, a'r llall y golygiad arall; y ddau yn bwrpasol, ond dim un yr un peth. Wrth hyny y mae meini tywyllwch yn dyfod i'r goleu. Y mae y ganwyll oedd o'r blaen dan lestr gan y dyn ei hun, trwy gyfrwng cydymddyddan, 'yn goleuo i bawb sydd yn y tŷ.' Y mae goleuni y naill yn gwasgar ei belydrau i feddwl y llall, ac wrth gyfranu gwybodaeth i ereill nid ydynt yn tlodi eu hunain. 'Y mae aur a gemau lawer; ond gwefusau gwybodaeth sydd ddodrefnyn gwerthfawr.' Gwell yw marsiandïaeth ymddyddan crefyddol nag arian, a'i gynnyrch sydd well nag aur—'O herwydd paham, cynghorwch eich gilydd ac adeiledwch eich gilydd.'

(2) Y mae yn fuddiol i argyhoeddi, i ddychwelyd, ac i gynnyddu mewn sancteiddrwydd. Pe byddai llawer llai o athrodwyr, o hustyngwyr, ac o enllibwyr, a mwy o hyfforddwyr, o rybuddwyr, ac o gynghorwyr, byddent yn fwy o fendith ac adeiladaeth i'r byd. 'Ymresyma â'th gymmydog ei hun,' ebe Solomon. Dyma ymddygiad i'w efelychu. 'Mi a'i ceryddais yn ei wyneb am ei fod i'w feio.' Ymddygiadau o'r fath hyn sydd yn adeiladu yn fuddiol, ac yn iechyd i'r esgryn briwedig. Y mae dywedyd, 'Tydi yw y gwr,' yn wyneb y beius, wedi effeithio argyhoeddiad nes ei ddwyn i gyfaddef ei fai, a dywedyd 'Golch fi yn llwyr-ddwys.' Y mae gair yn ei bryd, fel yr eiddo Abigail, wedi attal rhag syrthio yn archolledig pan ar y llithrigfa. Fel hyn y mae tafod y doethion yn feddygniaeth, pan y mae genau y rhagrithwyr yn llygru eu cymmydogion. 'O mor dda yw gair yn ei amser! y mae i'r glust a wrandawo fel afa'au aur mewn gwaith arian cerfiedig.' Wele mor ddaionus ac mor hyfryd yw gweled dau Gristion megis law yn llaw wrth deithio dyffryn Baca, yn dywedyd y pethau am yr Iesu, nes gwneuthur iddynt fyned i'w ffordd yn llawen;—cydetifeddion o'r un addewid yn ymddyddan am ogoniant y tir sydd yn llifeirio o laeth a mel, nes dywedyd 'Awn a meddiannwn y wlad;'—milwyr Tywysog heddwch, yn adrodd y naill wrth y llall am holl arfogaeth Duw, ac am gadernid ei allu Ef, nes dywedyd 'Byddwn bybyr ac ymwrolwn;'—duwiolion yn dywedyd wrth eu gilydd 'Awn yn hyderus at orseddfainc y gras; glynwn yn ein proffes,' &c. Y cyfryw ymadroddion ydynt wenwyn marwol i'r hen ddyn sydd lygredig; ac yn ymborth iachus i'r 'dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd:' nes y mae Cristionogion yn cynnyddu mewn ysbrydolrwydd, yn lledu eu gwraidd megis Libanus, ac yn blodeuo fel y lili. Yn lle rhodio mewn tywyllwch, y mae eu goleuni yn tori allan fel y wawr, nes y mae eu tywyllwch fel hanner dydd;—yn lle bod fel y grug yn y diffeithwch, maent fel cangen ffrwythlawn a'i cheinciau yn cerdded ar hyd y mur; fel lloi pasgedig a'u cynnydd yr eglur i bawb.

Yn awr, fy mrodyr, profwn ein crefydd wrth ein hymddyddanion. Lle y mae creu calon lân y mae adferu gwefus bur. Os dywed neb ei fod yn grefyddol ac heb attal ei dafod oddiwrth ddrwg, a'i wefusau rhag traethu twyll, ofer yw crefydd hwnw. Y mae dyn da o drysor da y galon yn dwyn allan bethau da. Fel oes o grefyddwyr deffrown at y ddyledswydd hon. Bydded ardderchog foliant Duw yn fwy mynych

yn ein gwefusau. Rhybuddiwn yr afreolus, canys ebe yr hwn sydd gyfiawn odiaeth, 'oni rybuddi di yr annuwiol o'i ffordd, ar dy law di y gofynaf ei waed ef.' Dywedwn wrth yr ieuenctyd yr aml ar iddynt gadw cadwraeth yr Arglwydd eu Duw, i rodio yn ei farnedigaethau a'i dystiolaethau, fel y llwyddont yn yr hyn oll a wnelont, ac i ba le bynnag y troant. 1 Bren. 2. 3.

Tra yr ydym yn cael amser cyfaddas gwnawn dda i bawb, trwy eu hannog i gasâu y drwg a glynu wrth y da. Ni bydd hyny yn hir: fe allai y bydd dy berthynas, neu dy gymmydog, cyn y fory wedi myned yn rhy bell i ddywedyd gair wrtho am echryslonrwydd a ffieidd-dra annuwioldeb, ac am ogoniant ac ardderchawgrwydd crefydd; neu fe allai y byddi di wedi myned i'r bythol fyd, y bydd amser rhoddi i fynu yr oruchwyliaeth wedi dod i ben, pryd na elli fod mwy yn oruchwyliwr. Cofia, fy enaid, y mae dy dymhor i wneud daioni ar derfynu; os oes genyt air i'w ddywedyd traetha ar fyrder; ebrwydd y bydd dy enau wedi ei llenwi â graian yn mro dystawrwydd.

Yr Arglwydd a'n bedyddio â'r Ysbryd Glân ac â thân, fel y byddo zêl y tŷ yn ein hysu, fel y byddom megis aelwyd o dân mewn coed, ac fel ffagl o dân mewn ysgub o wellt, yn difa annuwioldeb yn y tir: a phrysured yr amser y byddo iaith Canaan yn cael ei llefaru gan bob tafodiaith, ymddyddanion crefyddol wedi eu cyd-blethu ag amgylchiadau bywyd; trigolion y naill ddinas yn cyfarch eu gilydd mewn ymadroddion fel hyn 'Awn, gan fyned i weddio ger bron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd yn Jerusalem.' Pryd hyn bydd yr ymadrodd sydd yn ysu fel cancr wedi ei ysgymuno fel ffieiddbeth, ac ymadroddion ysbrydol yn defnynu fel gwlith—fel gwlaw ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt, nes ffrwythloni y tiroedd diffaeth a gwyllt, mewn sancteiddrwydd a rhinwedd.

PERGA.

---

## SYLWADAU YMARFEROL.

### Mat. 3. 1—6.

NID yw yr Efengylwr Matthew yn manylu dim ynghylch genedigaeth, mabandod, ac ieuenctid Ioan Fedyddiwr, fel y gwnaeth am yr Iachawdwr Iesu yn y bennod o'r blaen; ond dechreuai sôn am dano ar ei ymddangosiad cyhoeddus cyntaf i'r Israel, pan ydoedd oddeutu deg a'r hugain mlwydd oed. 'Ac yn y dyddiau hyny,' sef cyn i'r Arglwydd Iesu ymadael a thrigfa ei rieni yn Nazareth, yn ol y geiriau blaenorol. Cychwynodd Ioan ei redfa o flaen yr Iesu, yn unol a'r brophwydoliaeth yn Mal. 3. 1. 'Wele fi yn anfon fy nghennad, ac efe a arloesa'r ffordd o'm blaen i.' &c. Yr ydym yn casglu oddiwrth fanau ereill o'r Efengyl, bod y gwr hwn gwedi ei gymhwyso gan yr Ysbryd Glân, hyd yn nod o groth ei fam i fod yn Rhagflaenor Iachawdwr y byd. Gweler yn neillduol Luc 1. 13—17, 76. 80. Os darllenir yr adnodau hyn yn fanwl, cawn weled cymhwysder hynodol yn y geiriau hyny o eiddo'r Iesu, 'Ym mhlith plant gwragedd ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr.'

Cafodd ei ddwyn i fynu gan ei Rieni cyfiawn a duwiol, mae'n sicr, yn grefyddol iawn; a pharhaodd 'i gynnyddu (fel y dywedir am yr Iesu) mewn doethineb, a chorpholaeth a ffafr gyda Duw, a dynion. Gwelwn, gan hyny, ei fod yn gymhwys iawn i ddechreu ar y gwaith pwysig o bregethu, 'a darparu i'r Arglwydd bobl barod.' Dywedodd angel yr Arglwydd wrth ei dad, cyn ei eni, am iddo alw ei enw ef Ioan, ond dyma ychwanegiad i'r enw hwn gan Matthew sef 'Ioan Fedyddiwr.' Gelwir ei felly, mae'n debyg, o ran ei swydd oruchel. Y man y dechreuodd bregethu ydoedd 'yn niffeithwch Judea,' sef o amgylch ei gartref ei hun yn gyntaf. Os oes rhai defodau daionus wedi myned i lawr yn ein mysg ni, mae'r hen ddefod hon yn parhau o hyd mewn grym, sef bod i'r pregethwr ieuanc lafurio o gwmpas cartref yn mlaenaf, ac os ceir annogaeth, dyna'r pryd i ymweled â manau ereill.

Er na bu Ioan Fedyddiwr ond am oddeutu tair blynedd yn y weinidogaeth, fe lafuriodd mewn amryw fanau heblaw diffeithwch Judea. Cawn ef cyn diwedd ei yrfa yn mhalas Herod yn pregethu; Marc. 6. 20. ond cawn hefyd iddo wneyd annhraeth ol fwy o ddaioni yn y diffeithwch nag yn llys y brenin. Cofiwn yma air yr Apostol 'Nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion a alwyd,' 1 Cor. 1. 26. Prif destun Ioan wrth bregethu oedd 'edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd.' Mae'n debyg iawn iddo eglurhau y matterion mawreddig a phwysfawr hyn i'w wrandawyr. Pan ystyriom sefyllfa gwlad Judea y pryd hwn; y bu y genedl heb brophwyd yn ei mysg am bedwar can mlynedd; y traddodiadau cnawdol a ddysgai yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid; y dysgwyliadau dychymygol oedd yn eu plith o barth dyfodiad y Messiah, a natur ei deyrnas, &c. pan ystyriom y pethau hyn, meddaf, ac ereill gyda hwynt, ni a welwn gyfaddasrwydd arbenig yn mhrif-bwnc pregethau Ioan, sef, 'Edifarhewch,' &c. hyny yw, y mae yn rhaid i chwi gael cyfnewidiad meddwl, barn, a buchedd, cyn y byddwch yn ddeiliaid cymhwys y deyrnas sydd ar gael ei sefydlu yn eich mysg. Gwel Dan. 2. 44. a 7. 13, 14. Fel hyn yr oedd gwas yr Arglwydd yn 'arloesi'r ffordd,' ac yn 'parotoi' ei wrandawyr, i roddi derbyniad gwresog i'r brenin Iesu; yn debyg fel y mae pregethu'r ddeddf, yn manyldeb ei gofynion, yn ennill pechaduriaid i gofleidio'r Efengyl fwyn. Yr oedd natur cenadwri

Ioan yn dangos yn amlwg mai teyrnas ysbrydol hollawl yr oedd ef yn son am dani, gan mai gwir edifeirwch, tristwch calon, a galar duwiol am bechod, oedd y cymhwysderau gofynol er cael dyfodfa i mewn iddi. Nid doniau mawr, nag arian lawer, na phalasau teg, na meusydd gwychion: na, Edifeirwch, edifeirwch, edifeirwch; yn gyssylltiedig âg Edifeirwch y mae maddeuant pechod, cyfiawnhad, sancteiddhad, a gogoneddiad. Act. 5. 31. a 2. 38. a 3. 19. Dyma bethau'r deyrnas yr oedd Ioan yn sôn am dani, ac ni bydd neb yn ddedwydd, nac yn y byd hwn, na'r hwn a ddaw, hebddynt.

Ni a welwn, oddiwrth yr hanes yn y bennod hon fod Esaias hefyd wedi prophwydo am Ioan, gan ddywedyd, 'Llef un yn llefain yn y diffeithwch, Parotowch ffordd yr Arglwydd, gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef.' Dysgrifiad byr yw hwn o'r gwr, ond hynod berffaith ar yr un pryd; a gwnaeth i un o'r hen ysgrifenwyr sylwi yn bur ffraeth 'fod pob peth oedd oddeutu Ioan yn rhyw fath o lef ar ddynion, Ei drigfa, ei ymarferiad, ei ymborth, ei ddillad, ac yn enwedig ei genadwri.' Dangosir hefyd nad ydoedd o ran ei wisg yn annhebyg i Elias y prophwyd, 2 Bren. 1, 8. Nid 'dillad esmwyth,' ond yn y gwrthwyneb, ydoedd dillad y ddau; ond yr oedd Ioan yn debyg i Elias mewn ystyr llawer uwch a rhagorach, sef o ran ei ysbryd, grym ei genadwri, a helaethrwydd ei lwyddiant. Ebe'r angel am dano, 'Ac efe a â o'i flaen Ef yn ysbryd a nerth Elias, i droi calonau'r tadau at y plant, a'r anufudd i ddoethineb y cyfiawn, &c. Luc 1. 17. Nid oedd dim mwy o amrywiaeth ychwaith yn mwyd Ioan, nag oedd yn perthyn i'w ddillad, ac mae'n amlwg hefyd o ran ei ddiod, ei fod yn ddirwestwr glan gloyw. 'Nid yf na gwin, na diod gadarn,' Luc 1. 15. Yr ydoedd yn foddlawn iawn i'w sefyllfa, ac yn ddiolchgar iawn am hyny o 'ymborth a dillad' a gaffai yn y diffeithwch. Ac yn wir yr oedd ei fwyd ef yn beth mor ddisylw fel y dysgrifir ei fwynhad, fel yn nesaf peth i gael dim bwyd. 'Canys daeth Ioan (ebe Crist) heb na bwyta nac yfed.' Mat. 11. 18. Yr oedd yn foddlawn er hyny ar fywiolaeth felly ond cael gogoneddu Duw a gwneyd daioni i ddynion. Ac O! mor hyfryd ydyw gweled, yn yr hanes hwn, y cafodd gyflawniad o'i ddymuniad, oblegid dywedir 'yr aeth allan ato ef Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen.' Nid oedd dim yn nygiad i fynu Ioan, ei amgylchiadau, na'r fan lle dechreuodd ei weinidogaeth, i beri y fath ad-dyniad o liaws pobl fel hyn. Dygwyddodd peth llawer rhyfeddach ychydig flynyddoedd yn ol, heb fod yn bell o'r un man, pan na chyffrodd neb o breswylwyr Jerusalem yn ei gylch, sef ymgnawdoliad y Messiah. Ni chamgymerem gan hyny wrth ddywedyd mai bys Duw oedd hyn: gwaith yr un Gweithiwr mawr a dueddodd y creaduriaid mudion i gael lloches yn arch Noah, yn tynu cannoedd at fedydd edifeirwch Ioan, ac i'r noddfa sydd i'w chael i bechadur mewn gwir faddeuant pechod.

Fel hyny y diweddir yr hanes sydd genym dan sylw, 'A hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau.' Pwy all lai na gwaeddi 'diolch.' a hyny yn aml, am y drefn anwyl a bendigedig hon. Yr un hefyd oedd gan Dafydd dduwiol am ei fywyd, 'Cyffesaf (eb efe) yn fy erbyn fy hun fy anwireddau i'r Arglwydd, a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod.' Ps. 32. 5. Os teimlwn ein meddwl yn petruso ynghylch y cyffesu mawr yma wrth afon yr Iorddonen, ac yn ofni yr aeth y rhan fwyaf o hono yn ofer, ceryddwn y fath anghrediniaeth yn y fan, a hyny ar sicr sail cenadwri angel Duw am Ioan, yn Luc 1. 16. 'A llawer o blant Israel a dry efe at yr Arglwydd eu Duw,' a chysurwn hefyd ein meddyliau drwy yr ystyriaeth fod Ioan a llaweroedd o'i wrandawwyr, er's cannoedd o flynyddau bellach, yn cyd-fwynhau llawenydd a gorfoledd y drydedd nef. 'Ac o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr (ebe'r Iesu i brofi hyn) yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswyr sydd yn ei chipio hi,' Mat. 11. 12.

*Liverpool.* JOSEPH WILLIAMS.

---

## GALWEDIGAETH YR EFENGYL.

YSTYR y gair Efengyl yw Newyddion da; ac o bob newydd dyma y newydd goreu, fod Ceidwad wedi ei eni i fyd colledig. Mae Duw, er yn foreu, o'i ras anfeidrol, wedi dechreu galw er ol pechadur i ddyfod i gymmod âg ef. Y peth cyntaf a wnaeth Duw, wedi i ddyn syrthio, oedd galw ar ei ol, 'Adda, pa le'r wyt ti?' ac fe barhaodd i alw trwy yr holl oesoedd, mewn llawer dull a modd, dan yr Hen Destament; 'eithr yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd wrthym ni yn ei Fab;' ac efe a bery i alw, trwy ei genadau, tra fyddo dynion heb eu hachub. 'Ar dy furiau di, Jerusalem, y gosodais geidwaid, y rhai ni thawant ddydd na nos yn wastad.' Mae llais yr Efengyl yn galw pawb, pell ac agos, sef yr holl genedloedd. Dyma oedd y *commission* apostolaidd, 'Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur.' Dangoswyd hyn yn eglur i Petr, yn ngweledigaeth y llen lliain; yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwar carnolion y ddaear, a gwylltfilod, ac ymlusgiaid, ac ehediaid y nef.'

Y mae yn galw dynion o'u hen ffyrdd drygionus, 'Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau.' Y man y mae yn gwahodd iddo ydyw at Grist, i fwynhau yr iachawdwriaeth fawr sydd ynddo. 'Ac

Arglwydd y lluoedd a wna yn mynydd hwn wledd; gwledd o basgedigion breision, ac o loyw-win puredig.' 'Yr awr hon, O feibion, gwrandewch arnaf,' yw y llef, 'pwy bynag sydd annichellgar, troed i mewn yma:' ac wrth yr annoeth y mae yn dywedyd, 'Deuwch, bwytewch o'm bara, ac yfwch o'r gwin a gymmysgais.

Y mae yn galw yn ddidwyll, ac yn daer, 'cymhellwch hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhŷ.' 'Am hyny yr ydym ni yn genadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, cymmoder chwi â Duw.' Mae dull ac agwedd Crist ei hun wrth bregethu yn profi hyn, 'Yr Iesu a lefodd gan ddywedyd, Od oes ar neb syched deued ataf fi ac yfed.' 'Deuwch ataf fi, bawb sydd yn flinderog, ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch.'

Ond er ei bod yn alwad oddiwrth Dduw, ac yn gyffredinol, yn ddidwyll ac yn daer; etto yr Ysbryd Glân yn unig a all beri iddi fod yn effeithiol i gael y pechadur i ufuddhau iddi. Pregethwyd yr Efengyl i amryw wragedd yr un pryd ag i Lydia, ond hi yn unig a gredodd. 'Yr Arglwydd a agorodd galon Lydia i ddal ar y pethau a lefarwyd gan Paul.' Abraham, pan y'i galwyd, a ufuddhaodd. Ac i beri gwybod golud ei ddaioni ar lestri trugaredd, y rhai a ragbaratôdd efe i ogoniant, sef nyni, y rhai a alwodd efe, oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair yn unig, eithr mewn nerth ac yn yr Ysbryd Glân.' Pan y byddo y weinidogaeth tan ddylanwad yr Ysbryd Glân, y mae yno barodrwydd i ufuddhau, 'Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth;' 'unwaith y dywedodd Duw clywais hyny ddwywaith.'

Fe fydd canlyniadau o bwys tragywyddol i'n dull yn gwrandaw yr efengyl;—os ymgaledu a wnawn yn wyneb ei gwahoddiadau tyner, dyma fydd llais y barnwr mawr, yn nydd y farn;—'Yn gymmaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried; ond diystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd; minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi, ac a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni—Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf, yn foreu y'm ceisiant, ond ni'm cânt.'

RICHARD REES.

---

## AM WRANDO YR EFENGYL.

FEL y mae pregethu yr Efengyl yn ordinhad Crist; felly y mae gwrando yr Efengyl, yn ddyledswydd pawb a allo ei chlywed: pa ddyben yw pregethu oni wrandawir?

Ond y mae angen edrych, Beth a pha fodd y gwrandawom, gwel Marc 4. 24. a Luc 8. 18.

Ni bu un amser, mewn un wlad, fwy o gyfleusderau, a rhyddid, i wrando y gair, nag y sydd yn Nghymru y dyddiau hyn; etto y mae y gwrando hyd yma yn anfuddiol i filoedd. Heb. 4. 2.

Llawer wedi gwrando yn digio Duw, ac yn debyg o syrthio o dan ei lid. Heb. 3. 16, 17. Ond y mae elw mawr i'w gael trwy wrando; y mae ffydd drwy glywed gair Duw. Rhuf. 10. 17. Eneidiau yn cael bywyd trwy wrando. Esa. 55. 3.

Y mae dybenion gwael gan lawer, ac agweddau anaddas iawn, yn myned i'r lleoedd y pregethir yr Efengyl. Llawer yn myned o ddefod, heb ystyried dyben pregethu, na gwrando yr Efengyl; myned yno yn ddi neges, bod yno yn ddibarch i Dduw a'i air. Rhai a'u dybenion yn wageddus, a phechadurus iawn; myned i le addoliad am fod llawer o bobl yn ymgynnull yno; myned i weled, ac i gael eu gweled. Y mae ymddyddanion llawer wrth fyned i le addoliad, ac yn dychwelyd oddi yno, yn wageddus a phechadurus iawn, megis ymddyddan am ddillad a dull gwisgiadau, am eu cymmydogion, a'u colliadau, a rhyw bethau bydol, ac ofer. Ychydig a glywir yn ymddyddan am y Bibl, am Dduw, Crist, achos yr enaid, a byd tragywyddol, &c. Nid yw y cyfryw rai yn sychedu am fendith; nac yn gweddio am i Dduw lefaru wrthynt trwy y weinidogaeth. Yn y lle addoliad edrychant o'u *cwmpas* enyd, yna ymollyngant i gysgu; fel rhai heb eisieu dim; ymadawant wedi cyflawni y ddefod, heb gael dim i'r enaid, na thrallod am eu bod felly!

Y mae math arall o wrandawyr, a gymmerant arnynt fod yn fwy crefyddol na'r lleill; siaradant lawer am bregethau a phregethwyr, mewn dull anianol iawn; barnant bregethwyr a chydmarant hwy a'u gilydd, dyrchafant y naill, a darostyngant y llall. Nid barnwyr cywir yw y rhai hyn yn fynych; y maent yn barnu wrth eu harchwaeth, a'u hopiniwnau eu hunain, ac nid wrth air Duw. Nid ydynt yn deall, beth yw cymwysderau gweinidogaethol. Gellir gofyn iddynt, A ydych chwi wedi addfedu mewn gwybodaeth, barn, a phrofiad, i farnu hyn? Onid gweddeiddiach i chwi gymmeryd dysg, na bod yn farnwyr dysgawdwyr? Gofynwch i'r rhai hyn am eu hachos eu hunain, y maent yn dywyll, a chymmysglyd iawn; gofynwch, 'A ydych yn eich adnabod eich hunain? A ydyw Crist ynoch? Ynte ai anghymmeradwy ydych? Os na allant farnu eu hachos eu hunain, pa addasrwydd sydd ynddynt i farnu cenhadau Duw!

Y mae cloriannau y rhai hyn yn anghywir i bwyso pregethwyr, eu hopinwnau, a'u harchwaeth eu hunain, &c. ac nid gair Duw. Yna, pa ryfedd os bydd y pregethwyr mwyaf ysgrythyrol, ysbrydol, profiadol, a duwiol, yn rhy ysgafn yn eu cloriannau hwy?

1. Y cymmwysderau gweinidogaethol y, marn yn rhai hyn, yw hyfder, ffraethineb, hyawdledd, godidowgrwydd ymadrodd, geiriau denu, doethineb ddynol, &c. llais peraidd, &c. Rhai heb ddywedyd yn noeth iawn am gyflwr truenus dyn; rhai heb wasgu pethau yn rhy awchlym at gydwybodau dynion; rhai heb ddywedyd llawer am hollol lygriad y natur ddynol trwy y cwymp, ac anallu dyn i'w achub ei hun. Rhai heb ddyrchafu llawer ar ras pen-arglwyddiaethol Duw. Rhai heb ddywedyd llawer am waith Ysbryd Duw yn cyfnewid pechadur. Peidio dywedyd yn rhy fanwl am nodau rhagrithwyr, a chrefyddwyr heb yr Ysbryd. Os bydd eu dull yn pregethu yn unol a'u golygiadau anianol hwy; yn tueddu i gynnal eu hyder gnawdol; heb gyffwrdd yn drwm â'u balchder, eu bydoldeb, a'u chwantau cnawdol; yna y maent yn boddloni ar y pregethwyr; ac arnynt eu hunain o dan eu pregethau. Dywedant eu bod yn cael budd wrth eu gwrando; cymmerant ddifyrwch yn lle lleshad; cynnhyrfiad nwydau yn lle maeth; boddhad eu harchwaeth yn lle adeiladaeth dduwiol. Y mae y gwrandawyr hyn yn dueddol o wneud eilunod o'r pregethwyr a hoffant. Tynant ereill i lawr, i gael eu cyfodi hwy i fynu.

Chwerwant at bawb a ammheuo eu rhagoriaethau. Soniant fwy am danynt nag am Grist; am eu hymadroddion nag am y Bibl.

Haerir bod eisieu hyawdledd, a dawn, i dynu sylw y bobl; gall dynu sylw y gwrandawyr ar y pregethwr a'i ddawn, &c. ond nid at Grist. Gallant chwanegu proffeswyr i *blaid*, a disgyblion i'r pregethwyr, crefydd anianol heb yr Ysbryd, &c. ond nid dawn, na hyawdledd, ond yr 'ymadrodd am y groes,' sydd yn nerth Duw, i dynu pechaduriaid at Grist. Duw yn unig sydd yn rhoi lles a bendith trwy ei ordinhadau ei hun. 'Duw sydd yn rhoddi y cynnydd.'

2. Y mae pregethwyr, ie rhai da a duwiol, yn rhy ysgafn ynglorian y gwrandawyr hyn. Nid ydynt yn ddigon hyawdl, na dawnus (meddant). Dywedant fod eu pregethau yn rhy *plain*, eglur, a diaddurn; eu byd yn dywedyd yn rhy noeth yn erbyn pechod, yn tynu dyn yn ormod i lawr: dyrchafu rhad ras yn rhy uchel; rhoi y gogoniant i gyd i Dduw yn Iachawdwriaeth dyn. Felly y mae llawer pregethwr duwiol, sydd yn byw yn agos iawn i'r Arglwydd, ac yn aml iawn wrth orsedd gras, mewn trallod meddwl am achub y bobl, ei bregethau yn ysgrythyrol, 'y didwyll laeth,' &c. etto diystyrir hwy gan y gwrandawyr hyn, am na wisgant eu pregethau yn ol eu mympwy hwy. Mewn cragen wael y ceir perl o werth mawr; y bwyd a driuir yn fwyaf di rodres *(plain)*, yw yr iachaf, ac sydd yn rhoi y maeth mwyaf.

Y mae yn wir bod yn haws i'r pregethwyr duwiol hyn, oddef anmharch nag i ereill, oblegid nid ydynt yn eu ceisio eu hunain; nac yn eu 'pregethu eu hunain;' nac yn ceisio 'moliant gan ddynion,' &c. Etto nid oes neb yn gofidio mwy na hwy, oblegid bod eu cenadwri yn cael ei diystyru, eu Meistr yn cael ei ddibrisio, a dynion yn diystyru Iachawdwriaeth rad. Y mae dosparthiadau ereill o wrandawyr, nad ydynt yn cael budd trwy wrando; on dosparth lliosog iawn, sydd yn cynnwys miloedd a ieuengctid Cymru. Rhai yn dyfod i leoedd o addoliad nad ydynt yn dal dim ar yr hyn a lefarir; cael rhyw ddifyrwch yn y swn, &c. Yn nammeg yr hauwr yr oedd Crist yn dangos pedwar math o wrandawyr, un yn unig yn cael lleshad; ond nid am ei fod dan weinidogaeth mwy doniol, &c. yr un hauwr, a'r un had: ond am ei fod yn deall, yn derbyn, ac yn cadw y gair, &c. Rhodd Duw yw hyn.

3. Sylwn, am y dull y dylid gwrando yr Efengyl; neu pa fath ddyben, ac agwedd, wrth wrando sydd er gogoniant i Dduw, a budd i ddynion. Cafwyd yr elw mwyaf wrth wrando yr Efengyl. Cafwyd ffydd trwy glywed, a bywyd i'r enaid wrth wrando. 'Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sy'n credu.' 1 Cor. 1. 21.

(1) Dylem olygu pregethu a gwrando yr efengyl, yn ordinhadau dwyfol; felly eu harfer gyda gwylder, a sobrwydd mawr, 'gwylio ar ein troed; a bod yn barod i wrando.' Preg. 5. 1. Ystyried ein bod yn 'bresennol ger bron Duw, i wrando yr holl bethau a orchymynwyd gan Dduw,' i'w genad lefaru wrthym. Act. 10. 33.

(2.) Ni ddylem edrych ar y pregethwr yn llai, na mwy, na chenad dros Dduw. Os edrychwn arno yn *llai*, yr ydym yn iselu gweinidogaeth yr Efengyl, ac yn ei golygu yn beth dynol, a gwael.

Os edrychwn arno yn fwy, yn abl i roi rhyw lesad i ni ei hunan, yna yr ydym yn gosod pregethu, &c. yn fwy na *moddion gras:* ac yn gadael heibio ddysgwyl wrth Dduw. O ran rhoi lleshad ysbrydol, nid yw y naill genad mwy na'r llall yn ddim. 'Nid yw Paul, nid yw Apolos ddim.' 1 Cor. 3. 6, 7. Y mae y lles, y mae y cynnydd yn rhodd rasol Duw.

(3.) Dylem weddio mwy wrth fyned i wrando yr Efengyl, a dysgwyl mwy wrth Dduw, pan y byddom yn gwrando. Gellir dywedyd wrth lawer, sydd yn cwyno nad ydynt yn cael dim dan bregethau, &c. 'Nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn?' Iago 4. 2.

Sonir yn fynych am gael bendith dan bregethau; ond pe gofynech i lawer beth y maent yn ei feddwl wrth fendith, ni allent ddywedyd; fe allai eu bod yn

meddwl cael rhyw ddifyrwch tra yn gwrando, &c.

Ond y mae gwrandawyr yn cael gwir leshâd trwy wrando. Cawsant drysor o werth anfeidrol yn y maes yma. Cawsant 'ffydd' y'Nghrist, 'trwy glywed.' Bu yr ymadrodd am y groes yn nerth Duw er iachawdwriaeth iddynt, fel mai trwy wrando y cawsant eu bywyd, felly trwy wrando y maent yn cael maeth, a chynnydd. 1 Petr 2. 2.

Y maent yn cael lleshad trwy y pregethau, pan y maent

(1.) Yn dyfod i weled mwy o ddrwg pechod, a phla eu calonau eu hunain, nes eu ffieiddio eu hunain yn fwy—ymostwng yn fwy.

(2.) Pan y byddont yn cael golwg eglurach ar ogoniant Crist, a mwy o gymmorth i'w ddefnyddio, a mwy o gymdeithas ag ef.

(3.) Pan y maent yn cael eu sancteiddio yn fwy; rhyw bechod yn cael ei farwhau; delw Crist yn cael ei chodi yn fwy amlwg ynddynt, ac arnynt; cael eu dwyn i garu Duw, ei ddeddf, a'i efengyl yn fwy, a bod yn fwy ufudd iddo.

(4.) Cael eu gwneud yn fwy ysbrydol, a nefol, codi eu serch o'r cnawd, a'r byd, at bethau y nef. Dyma y pryd y maent yn cael bendith trwy y pregethau, a gwir leshad, eu porthi âg ymborth ysbrydol. Yna caiff Duw y clod; ychydig a soniant am y pregethwr; anghofiant ef, wrth ryfeddu ei feistr; anghofiant gywreindeb y bregeth gan olwg ar ryfeddodau yr Efengyl. Rhagoriaeth pregethwr yngolwg y gwrandawyr duwiol hyn yw, ei fod y mwyaf duwiol, sobr, gostyngedig, hunan-ymwadol, tyner ei gydwybod, zelog dros Dduw. Nid yw ei ffraethineb a'i ddawn ond ail bethau yn eu golwg.

Y mae y rhai sydd o Dduw, yn hoffi gwrando y rhai sydd o Dduw. 1 Ioan 4. 5, 6.

Wrandawyr,—Gweddiwch, am ysbryd gwrando; am newyn a syched am wir leshad trwy wrando; gweddiwch dros eich pregethwyr yn lle eu barnu; wedi y cwbl nid ydynt hwy ond offerynau, rhaid i chwi gael bendith gan Dduw ei hun trwyddynt. Gweddiwch am ysbryd isel, drylliog, addfwyn, ufudd, i wrando geiriau Duw.

Defnyddiwch y Bibl yn fynych—ewch at orsedd grâs yn aml, a gweddiwch na byddo y gair ydych yn ei wrando yn anfuddiol i chwi. Diolch i Dduw am yr Efengyl.

*Fron.* JOHN ELIAS.

---

## SERYDDIAETH.

PEN II.

*Dosbarthiad y nefoedd weledig, yn nghyd a rhai sylwadau ar y Sêr Sefydlog.*

DOSBERTHIR y nefoedd weledig yn dri dosbarth, sef Caersidydd, yr Hanner-gylch Deheuol, a'r Hannergylch Gogleddol; ac yn y Traethawd presennol ni a ymdrechwn roddi rhai sylwadau eglurhaol ar y dosbarthiadau hyn, er, fe ddichon, mai yn ammherffaith iawn y byddant.

Yn bresennol, cawn ddechreu gyda'r dosbarth hwnw a elwir Caersidydd; yr hwn sydd gylchwy mawr yn y ffurfafen, yn ymestyn wyth o raddau bob ochr, i gylch y diffygion. Oddi fewn i derfynau yr arwyddgylch hwn y mae'r holl blanedau yn gwneuthur eu cylchdroadau. Mae yn rhanedig i ddeuddeg o ranau cyfartal, pa rai a elwir yn arwyddion, a phob un o honynt yn cynnwys deg-ar-hugain o raddau. Yr arwyddion hyn ydynt swp o Sêr yn gorwedd yn agos i'w gilydd, ac a elwir yn Saesneg *Constellation;* ac y maent, gan mwyaf o honynt, yn myned ar enw rhyw anifail, megys yr Hwrdd, y Tarw, y Gefeilliaid, y Cranc, y Llew, y Forwyn, y chwech hyn ydynt arwyddion yr Hannergylch Gogleddol; ac arwyddion yr Hannergylch Deheuol ydynt y rhai a ganlyn—y Fantol, y Sarph, y Saethydd, yr Afr, y Dyfrwr, y Pysg.

Mae dewisiad y cyfryw luniau i'r dyben hwn, yn ymddangos yn hynod; ond wrth ystyried eu bod wedi cael eu bwriadu i ddynodi deuddeg mis y flwyddyn, y mae yn ymddangos ei fod yn cael ei lywodraethu gan ryw amgylchiad neillduol, perthynol i'r ddaear yn y misoedd hyny, â pha rai y maent yn dwyn cyssylltiad.

Mae yr Haul, ar yr 20fed o Mawrth, yn myned i arwydd yr Hwrdd, i ddangos mai yn y mis hwnw yn gyffredin y mae'r defaid yn dechreu dwyn eu rhai bychain. Yn nesaf, y mae'r Haul yn myned i arwydd y Tarw, ac fe ddichon i arwyddo rhywbeth yn lled gyffelyb i'r arwydd blaenorol. Yn y mis Gorphenaf, mae yr Haul yn myned i arwydd y Llew, fel y gallo poethder yr hin gael ei ddangos trwy ffyrnigrwydd y creadur hwnw. Ar y 23ain o Medi mae'r haul yn myned i arwydd y Fantol, i arwyddo cyhydedd dydd a nos; ac felly am bob un o'r arwyddion ereill, maent yn dangos rhyw amgylchiadau neillduol, perthynol i'r ddaear, fel y dywedwyd yn flaenorol.

Fel y mae yr Haul yn myned yn mlaen yn nhrefn yr arwyddion, mae yn ymddangos ar yr 20fed o Fawrth yn arwydd yr Hwrdd; yr 21 o Frehefin yn arwydd y Cranc; ar yr 23 o Fedi yn arwydd y Fantol, ac ar yr 21 o Ragfyr yn arwydd yr Afr. Ar yr 20 o Fawrth mae'r cyhydedd gwanwynol (*vernal equinox)* yn cymmeryd lle, ac erbyn yr 21 o Fehefin mae yr Haul wedi myned yn mlaen i arwydd y Cranc, sef yn y rhan hyny o gylch y diffygion yn mha un y mae yn ymddangos uchaf oddi ar y cyhydedd, sef 23½ o raddau; ac fel yr ydym ni yn byw yn y parthau gogleddol, a'r Haul, y pryd hyny, gogyfer â rhanau pennodol o'r ddaear, pa rai sydd yn ogleddol i'r cyhydedd

yr amser hwnw yr ydym ni yn cael y dydd hwyaf.

Gwedi hyny mae'r Haul yn disgyn trwy'r Cranc, y Llew, a'r Forwyn yn ddeheuol, ac yn ymadael â'i uchder blaenorol; felly mae ein dyddiau yn byrhau, a gwrês yr Haul yn lleihau; a phan y mae yn myned i'r Fantol, ar y 23 o Fedi, mae y dydd a'r nos etto yr un hyd, yr un modd ag ar yr 20 o Fawrth, o herwydd ei fod yn y cyhydedd hydrefol. Fel hyn mae'r Haul yn parhau i ddisgyn tua'r Dê, trwy y Fantol, y Sarph, a'r Saethydd, ac yn myned i'r Afr yr 21 o Ragfyr; pan y mae yn ei bellder eithaf islaw'r cyhydedd, sef 23½ o raddau; yn y tymmor hwn yr ydym yn cael ein dyddiau byraf, a'r Haul agosaf atom. A'r amser hwn mae'r Haul yn cyfodi yn ogleddol, ac yn croesi yr Afr, y Dyfrydd, a'r Pysg; ac ar 20 o Fawrth yn yr Hwrdd drachefn, sef yn y cyhydedd, a'r dydd a'r nos yr un hyd.

Yn awr, rhaid ystyried mai nid i symudiad yr Haul y mae yr ymddangosiadau hyn yn ddyledus, ond i symudiad beunyddiol y ddaear o amgylch yr Haul; yr ydym wedi trin y pwnc, yn y llinellau blaenorol, yn ol yr ymddangosiad i'n golwg ni, ac nid yn ol y peth mewn gwirionedd.

Mae yr Hannergylch Gogleddol yn cynnwys 36 o gyd-ser, a'r Hannergylch Deheuol yn cynnwys 32, a Chaersidydd 12, fel y dangoswyd yn barod; ac yn gwneud i fynu 80 o gwbl. Y cydser hyny, ag sydd yn gorwedd yr ochr ogleddol i gylch y diffygion, sydd yn perthyn i'r Hannergylch Gogleddol; a'r rhai hyny sydd yr ochr ddeheuol sydd yn perthyn i'r Hannergylch Deheuol. Y sêr hyny ag sydd heb fod yn gynnwysedig yn un o'r cydsêr hyn a elwir yn sêr anffurfiedig; ac ereill, o ymddangosiad cymylog, a elwir *Nebula*. Mae dau o'r cymylau hyn yn agos i bwnc y Dê, a elwir *Magebanic*; maent yn adnabyddus i forwyr, ac yn ymddangos fel dau ysmotyn gwyn yn y ffurfafen.

Y seren olaf yn nghynffon yr Arth Fach a elwir y seren begynawl, o herwydd ei hymddangosiad gwastadol yn mhegwn y gogledd; ac sydd o gyfarwyddyd rhyfeddol i forwyr. Mae dwy o ser ereill yn yr Arth Fawr, a elwir y cyfarwyddwyr, neu'r cyfeirwyr, o herwydd eu bod yn cyfeirio bob amser at y seren begynawl.

Y ser sefydlog hyny, agosaf atom ni, sydd yn ymddangos fwyaf, ac o herwydd hyny a gyfrifir gan seryddwyr o'r gradd neu'r maintioli blaenaf (*first magnitude*); ac felly yn y blaen hyd y chweched gradd, sef y rhan olaf ag sydd yn ganfyddadwy i'r llygad noeth.

Mewn perthynas i'w rhifedi, fe all yr edrychwr cyffredin feddwl eu bod yn ddirifedi wrth syllu arnynt ar noswaith glir yn y gauaf; ond nid oes ond ychydig uwchlaw mil yn yr hannergylch gweledig yn ganfyddadwy heb gymmorth sylliddrychau. Y farn gyffredin, yn bresennol, ydyw, mewn perthynas i'r sêr sefydlog fod pob un o honynt yn Haul, yn gyffelyb i'n Haul ni; ac yn ganolbwynt i fydoedd mawrion ereill droi o'u hamgylch: ac y maent mor bell oddiwrth ein byd ni fel na all y meddwl ffurfio un dychymmyg cywir yn eu cylch. Barnir fod y seren sablenydd hono, a elwir *Sirius*, oddeutu 20 miliwn o Filiynau, yr hyn sydd bellder dirfawr iawn.

Mae yn ymddangos, tu hwnt i bob amheuaeth, bod amryw o sêr wedi bod yn weledig un amser, a chwedi eu cofnodi gan hen seryddwyr, ac yn awr wedi myned o'r golwg. Mae llawer o siamplau mewn cyflyfrau seryddawl o ser yn ymddangos am ychydig amser, ac wedi hyny yn diflanu yn raddol. Yn nghylch 125 o flynyddoedd cyn Crist, ymddangosodd seren fawr yn y ffurfafen, yr hon a dynodd sylw Hipparchus, yr hyn a'i cymmellodd i wneuthur cofrestr seryddawl, y cyntaf a wnaethpwyd erioed. Yn y flwyddyn 389, ymddangosodd seren yn sergynnulliad Aquilla, ac wedi bod am dair wythnos yn weledig, mor ddysglaer ei goleuni a'r blaned Gwener, aeth o'r golwg drachefn.

Mae yn ymddangos oddiwrth hyn bod gan amryw o'r ser, os nid y cwbl o honynt, symudiad cylchynol trwy'r eangder, a rhai yn fwy cyflym nag ereill. Fe sicrheir, fel esampl, fod gan y seren Omicron yn Cetus symudiad cylchynol a rheolaidd, yr hyn a gyflawnir ganddi mewn oddeutu 334 o ddyddiau.

Wrth ystyried y pethau hyn, pwy a all lai na gwaeddi allan gyda'r Salmydd, "O Arglwydd, pa beth yw dyn i ti feddwl am dano? neu fab dyn i ti ymweled ag ef?"

(Y Gyfundraeth Heulog yn y nesaf.)

*Llundain.* L. WILLIAMS.

## HANES CHINA.

SEFYLLFA China fawr sy fel hyn, y mae Tartaria Chinëaidd ar du y Gogledd iddi, y môr Tunghai ar du y Dwyrain, môr China ar du y De, ac Ymerodraeth Burmah ar du y Gorllewin. Mae China yn cyrhaeddyd o Ledred 21 Gradd, i 43 Gradd Gogleddol; ac o Hydred 98 Gradd hyd 125 Gradd Dwyreiniol. Mae hi wedi ei dosparthu yn 15 o Daleithiau mawrion, ac yn cynnwys 1,300,000 o filltiroedd ysgwâr, o dir. Ei phoblogaeth, mor agos ag y gellir barnu, ydynt ynghylch 301,000,000 o nifer o breswylwyr.

Mae China, yn gyffredinol, yn wlad wastad, ffrwythlawn, ac yn cael ei thrin gyda mawr ofal, diwydrwydd, a doethineb. Mae, hyd yn nod ochrau bryniau serth wedi eu ffurfio yn risiau llydain o dir wedi ei drin yn faesydd a gerddi culion o'r gwaelod i'r pen uchaf; ac yno fe gronir llynoedd i ddal y gwlaw, o'r rhai y trosglwyddir dwfr i ddyfrhau yr holl lanerchau oddiyno hyd i wared, fel y byddo yr achos a'r tymhor yn gofyn. Maent hefyd yn planu amryw

fath o wreiddiau llysieuog yn ngwaelodion llynau beision, i dyfu yn ymborth i ddynion.

Yn y parthau deheuol o China y mae yr hin yn frwd iawn; ac yn y parthranau gogleddol o honi y mae yr hin yn llawer mwy tymherus.

Ffrwythau y wlad ydynt ŷd, rice, tê, sidan, cottwm, amrywiol ffrwythydd coed, a gwahanol lysiau.

Y Meteloedd a gyfodir yn China, ydynt, aur, arian, haiarn, copr, copr gwyn a elwir *petong*, arian byw, *zinc*, glo, copr melyn, a chlai gwerthfawr.

*Eu gweithfaoedd.*—Llestri China (*Porcelain*) sidan, cottwm, papur, dalenau aur, *papier machee*, ac amryw fath o nwyfau ifori prydferth iawn, ac agos bob peth at arferiadau cyffredin dynion; canys mae y Chineaid yn hynod o weithgar a chywrain ymbob rhyw gelfyddyd llaw. Ond nid oes ganddynt nemawr iawn o beirlaint, nac agos i ddim o ddyfeisiadau o un math i arbed llafur dyn; ac ni chymmerant eu dysgu gan genedloedd ereill i wneud unrhyw fath o beiriant, am eu bod yn eu barnu eu hunain yn llawer doethach na thrigolion y byd yn gyffredinol, ac ymhell goruwch iddynt. Maent yn nodedig am gau allan bawb o'u masnach, canys nid ydynt yn masnachu â neb o drigolion tramor ond yn unig yn ninas Canton. Dau gan mlynedd yn ol, hwy a werthasant lawer o *calico, nankeen*, ac eiddo sidan o amryw fath, i Farsiandwyr tramor yn nhref Nankin. Ond mae y Prydeiniaid yn awr yn gweithio y nwyfau hyn yn well na'r Chineaid, ac yn gallu eu gwerthu hwynt cyn rated a hwythau, ac heb dalu am eu cludo hwynt dros dri chwarter cylch y byd. Y prif gynnyrch a anfonant dros y moroedd i wledydd ereill yn y blynyddoedd hyn yw Tê: mae hwn yn gnwd naturiol eu gwlad. Maent yn gwerthu cymmaint o Dê mewn blwyddyn, ag yw gwerth yr holl nwyfau cottwm a wneir yn holl Weithfaoedd Brydain Fawr mewn mis. Ac nid yw holl gynnyrch a nwyfau gweithyddol ymerodraeth fawr China, ag sydd yn cael eu gwerthu i farsiandwyr tramor, ddim mwy o werth na masnach tref Bristol yn ngorllewin Brydain, neu fasnach tref Newcastle yn ngogledd-barth Brydain; neu ynghylch y bummed ran o fasnach Liverpool—ac mae pum rhan o chwech o fasnach tramor China yn cael ei wneud â Brydain Fawr.

*Ei Mynyddoedd.*—Y mynydd a elwir Hamar sy saith mil o latheni o uchder; a mynydd Sochonda sydd bedair mil a dau gant o latheni o uchder.

*Penrhynoedd China.*—Un pentir neu benrhyn Suiven yn y deheu, ac un nodedig arall a elwir Caitcheou-fou yn y gogledd.

*Ynysoedd.*—Yr ynysoedd mwyaf sydd yn perthyn i China ydynt, Haynan, Macao, gerllaw Canton, Formosa, Leookeoo, a Cushan.

*Llynoedd.*—Y llynoedd mwyaf nodedig ydynt, Hong-tse, Payang, Tai, a Tong-ting.

*Afonydd.*—Yr afon felen, a Hoan-ho, ydynt fawrion iawn; ond y mae afon Kianku sy dair mil o filltiroedd o hyd; Choo-kiang, Peitro ydynt rai mawrion a hirion hefyd.

*Camlesydd* (*Canals*).—Y Gamlas fawr sydd yn naw can milltir o hyd, dau can troedfedd o led, a phymtheg troedfedd a ddyfnder, wedi ei gwneud er's wyth can mlynedd yn ol. Mae yno hefyd amryw gamlesydd ereill mewn gwahanol Daleithiau o'r wlad.

Mae y Chineaid yn ymffrostio fod eu Hymerodraeth hwy wedi dechreu filoedd o flynyddoedd cyn creu y byd. Ond ymffrost gwag yn tarddu o hunangarwch ac anwybodaeth yw hyn. Er hyn, diau fod ymerodraeth China yn hen iawn. Eu hanesiaeth awdurdodedig sydd yn dechreu ynghylch tair mil ac wyth gant, (3,800,) o flynyddoedd yn ol. Fo-hi a sylfaenodd ymerodraeth China ddau can mlynedd wedi y diluw, ac am hyny, mae yn amlwg mai hi yw yr ymerodraeth hynaf yn yr holl fyd. Bu un llin ar hugain o deuluoedd Brenhinol yn llywodraethu arnynt o oes i oes, a'r rhai hyny oll yn Chineaid o genedl. Ho-aitsing, yr hwn a ddechreuodd deyrnasu yn y flwyddyn 1627, oedd yr olaf o honynt; wedi hyn daeth y teulu Tartaraidd presennol, neu y llin frenhinol a elwir y llin Mandshuriaidd. Dechreuodd Ka-hing, y pummed Tartar, lywodraethu yn y fl. 1799. Confusius, eu Philosophydd enwog, eu deddfroddwr, a sylfaenwr y grefydd bresennol, oedd yn byw ynghylch dwy fil a phedwar can mlynedd yn ol. Adeiladwyd mur mawr, neu gaerau anferth, China ynghylch dwy fil o flynyddoedd yn ol, er mwyn attal ymgyrch y Tartariaid o'r Gogledd i'w difrodi. Mae y mur mawr llydan hwn yn fil a hanner o filltiroedd o hyd, yn bum troedfedd ar hugain o uchder, ac yn bedair troedfedd ar hugain o led. Mae tyrau mawrion arno ar ei hyd o'r pen bwygilydd ymben pob can llath. Mae y caerau cedyrn hyn yn adeiledig drwy forfeydd, ac ar fwâau dros afonydd, a thros fynyddau, rai o honynt yn bum mil o droedfeddau o uchder.

*Llywodraeth China.*—Dull llywodraeth China sydd Batriarchaidd Awdurdod Annibynol, ac mae y bobl yn rhai unigol yn yn eu harferion, eu nodweddiad, a'i gwisgiadau, yr un fath era oesoedd dros gof; maent yn hynod o seremonïol, a ffurfiol, yn nodedig o ddianwadal a diwyd; yn rhai cyfrwys, dau wynebog, coegffol, a chrintachlyd. Mae eu gwyr mawr hwynt yn ddioglyd, yr isradd yn fudron. Lladd plant sydd yn beth cyffredin yn eu plith; ac maent yn gwisgo esgidiau heiyrn am draed eu genethod i gadw eu traed yn fychain.

*Eu Crefydd.*—Eu crefydd sydd yn bur agos i Ddeistiaeth pur, ond yn cael ei chymmysgu yn fawr gydag eilunaddoliaeth coelgrefyddol. Nid oes ganddynt yr un dydd

Sabbath. Dysgeidiaeth sydd hynod anmherffaith yn eu mysg: ac mae eu hiaith yn cynnwys ynghylch pedwar ugain mil o wahanol lythyrenau. Mae y Chineaid yn hynod o hoff o ffug-chwareuyddiaethau, chwarau dynwaredol, lluchio tânau i'r awyr, &c. yn yr hyn bethau y maent yn ben campwyr.

*Eu Harferion, &c.*—Prif drefnidaeth yr Ymerodraeth eang hon yw Te; hwn ydyw cynnyrch eu dyffryn diroedd broision—a hwn ydyw cryfder a golud y wladwriaeth; ac er bod genym ddigon o hysbysrwydd am amaethiad a diwylliad y planhigyn hwn, a pha fodd y dygwyd ef gyntaf i Ewrop, nid oes genym ond ychydig iawn o hanes pa fodd y dygwyd ef gyntaf i arferiad yn China. Ond yr ychydig a ganlyn a loffid o'r *Journal Asiatique*, gan M. Klaproth, ac ysgrifau ereill, ac a ddichon beri difyrwch i'r darllenydd.

Tybir i'r arferiad o yfed Tê ddechreu yn nheyrnasiad Tsin; ac oddeutu diwedd y bedwaredd ganrif, dygodd un Wang-mungi, swyddog yn y gweithfaoedd cyffredin, ef i fri a chymmeriad mawr, gan ei fod ef ei hunan yn hoff iawn o hono, ac yn anrhegu ei gyfeillion yn ddibrin âg ef.

Dywed yr hanesydd, sydd yn cofnodi hanes teyrnasiad Suy, fod yr Ymerawdwr Wass-te, yn nyddiau olaf ei oes, yn cael ei flino yn dost gan boen dirfawr yn ei ben; un diwrnod cynghorodd un o offeiriaid yr eilun-dduw Budhu iddo yfed trwyth dail a elwid *ming* neu *cha* (*tea*), yr hyn a barodd iddo wellhau.

Mae gan y Japaniaid draddodiad yn eu plith ag sydd yn rhoddi i'r tê darddiad gwyrthiol. Dywedant, fod tywysog duwiol, o'r enw Darma, wedi dyfod o'r India i China, yn nechreu y chweched ganrif, a chanddo zêl mawr, ac awyddfryd hefyd am gynhyrfu teimladau mwy crefyddol yn y brodorion nag oedd yn bod y pryd hyny. Gosododd ei hun o dan amryw benydiau corphorol—gan fyw yn yr awyr agored, a threulio y nos yn gyfan mewn gweddiau ac ymbiliau. Wedi dilyn y ddefod hon am amryw flynyddoedd, dygwyddodd iddo, un noswaith, yn flinedig iawn, syrthio i gwsg. Pan ddeffroës, dychrynodd yn aruthr, oherwydd iddo dori ei lŵ fel hyn, ac i'r dyben i luddias syrthio i'r un amryfusedd drachefn, ac er gwneud iawn am y trosedd a wnaeth, efe a gymmerth gyllell, ac a dorodd gaeadau ei lygaid ymaith yn llwyr, ac a'u claddodd hwynt yn y ddaear. Y dydd nesaf, ag efe yn dygwydd bod ar y llanerch y claddasai gaeadau ei lygaid, gwelai blanhigyn hynod a dieithr yn tarddu ar y fan. Rhoes rhai o'r dail yn ei enau, ac yn ebrwydd bywiocaodd ei ysbryd, ac adfeddiannodd y nerth ag oedd wedi ei golli o'r blaen. Gwahoddodd ei gyfeillion a'i ganlynwyr i gyfranogi o'r un planhigyn adfywiol, a chyn pen hir, aeth sôn am dano, am ei rinweddau a'i effeithiau, ar draws ac ar hyd Ymerodraeth China Fawr i gyd. Ac er tragywyddol gofiant y fath sant mor ragorol a Darma, y mae y lluniedydd cywrain, Kampfer, wedi anrhegu y byd ag ardeb (*portrait*) cywrain o hono; a mawr yw y bri a'r parch a delir iddo drwy Japan a China: a pha ryfedd hefyd gan ei fod â chaeadau ei lygaid wedi eu hanrhegu â dail sydd yn hoff gan bron bob gwlad, ac yn peri cymmaint o elw iddynt!!

Yn y fl. 780, o dan deyrnasiad Tang, rhoddwyd treth o £10 y cant ar yr holl dê o ddygid o du hwnt i'r mynyddoedd lle y tŷf. Yn Nheyrnasiad Moor-toang (O. C. 824) pan oedd y llywodraeth yn fyr o arian, codwyd y dreth hon i £50 y cant. Pan y cynnygiwyd unwaith i Ta-tovo, sylfaenydd ymerodraeth Sung, ar iddo godi pris y tê, fel yr unig foddion i gyfoethogi ei drysor, efe a ddywedodd yn wladgarol, 'y mae y tê yn un o'r nwyddau rhagoraf, ac nid rhaid ei wneud yn ddrutach, ac onidê fe a orthrymir y tlawd.' Yn nheyrnasiad Jin-tsung (1023—1063) y sefydlwyd gweithdai mawrion, ac y dechreuwyd darparu dau fath o hono, sef y *Peen cha*, dail pa un a sychir wrth y tân, ac y gwneir hwy yn un swpyn, a'r *san-cha*, yr hwn a sychir ac a wneir yn llwch. Yn nheyrnasiad Shintsung (1068—86) aeth Le-Khe i wlad Shoo i brynu tê, ac mewn amryw ddinasoedd rhoddai geffylau am dano. Dygwyd masnach helaeth fel hyn rhwng Sungiaid a'r Tibetiaid am hir amser.

Dygwyd tê i arferiad yn Tibet oddeutu y nawfed ganrif, pan y danfonwyd Chang-loo yno yn Gyngreiriwr. Y Tibetiaid pan welsant barotoi tê yn ei babell, a ddechreuasant ymholi beth oedd, a pha beth oedd ei natur. Atebai Chang-loo hwynt yn y geiriau hyn, 'Diod ydyw, ag sydd yn tori syched ac yn boddi trallod.' Y Tibetiaid, yn naturiol ddigon, a ewyllysient ddyfod yn feddiannol ar y cyfryw blanhigyn, ac efe a wnaeth anrheg iddynt o amryw o sypynau o hono. Ac er bod tê yn cael ei ddefnyddio yn Japan yn y fl. 810, ni ddeuwyd â'r planhigyn ei hun yno hyd y fl. 815, pan y daeth dau offeiriad i Budhu, o fonachdŷ Toga-no a, â rhai planhigion ieuainc o China. Wedi i'r rhai hyn dyfu a lledaenu, daeth tê i gael ei ddefnyddio yn gyffredin yn Japan.

Tê ydyw diod gyffredin y Chineaid o ba un y maent hefyd yn hynod o hoff, a chredant yn ddilys fod ynddo feddyginiaeth a maeth hefyd. Hwn yw y croesaw a gynnygiant i'w hymwelwyr a'u cyfeillion. Ar hwn hefyd yr ymborthant dair gwaith yn y dydd, ïe, rhai ddeng waith. Mae amrai ysgrifenwyr hefyd yn dywedyd fod doethineb a gofal Duw i'w weled yn fawr iawn yn rhoddiad y tê mor gynnyrchiol yn China—am fod rhinwedd yn y planhigyn hwn i iachau dyfroedd afiachus y wlad hono.

Y mae y planhigyn tê weithiau yn cael

ei gadw ddeuddeg mis cyn dyfod i arferiad cyffredinol—am ei fod, tra yn ieuanc yn cynnwys sudd a bar i ddyn fod yn fwy cysglyd ac annheimladol. Y mae y Chineaid wrth wneud tê yn tywallt dwfr berwedig arno, gan adael iddo "sefyll," fel ninnau; ond yfant ef heb ei gymmysgu a'i felysu â siwgr a llaeth; er hynny, rhai o honynt a roddant ddernyn bychan o *sugar candy* yn ei geneuau gan ei ddal yno tra yr yfont ef. Y bobl gyffredin a arferant dê bras iawn, a chan na allant gael ei sug mor llwyr berwant ef am beth amser. Gwelir llestryn yn grogedig uwch ben y tân yn y boreu, ym mha un y rhoddir y tê mewn cwd, neu fasged fechan bwrpasol. Pan y berwa ddigon tynant ef allan, ac arferant ef fel eu diod gyffredinol, drwy y dydd. Ac y mae pob math o dê yn cael ei gadw ganddynt mewn amwisg neillduol a chistiau bychan heirddwych, a llestri priddion cegfeinion; yn ol ansawdd y tê y bydd y llestr a'i cynnwys, o ran gwerth a phobpeth.

Y mae brodorion Japan yn defnyddio eu tê wedi ei falu yn llwch, a'i gymmysgu i dewdwr cyffredin. Dygir y gist a gynnwys y tê allan, ac wedi llenwi y cwpanau â dwfr poeth cymmerant beth o'r mân lwch ar flaen cyllell i'r gwpan, a chymmysgant ef yn gyflym, a phan fyddo yn glaear defnyddiant ef. Ac y mae Du Halde yn dywedyd fod y dull hwn hefyd yn cael ei ddilyn yn rhai taleithiau Chinea'dd.

## LLYTHYRAU, &c.

### AIL LYTHYR O'R WERDDON, YN DANGOS GRESYNUS GYFLWR Y GWYDDELOD.

Asford, *Ion.* 15, 1841.

Fy Anwyl Syr,—Mae mwy fwy o drueni a choelgrefydd y wlad hon yn cael ei ganfod genyf yn feunyddiol; yr wyf yn teimlo ei barddelwad ar fy nhosturi, fy nheimladau, a'm gweddiau yn gryfach gryfach.

Mae y Werddon wedi dyoddef llawer gan anghymedroldeb; bu yr iau yn drom iawn ar yddfau ei meibion a'i merched; suddwyd y wlad yn ei galwedigaethau â'i hamgylchiadau, fel ag y cymmer oes gyfan i ymddyrchafu drachefn. Ond yn bresennol mae cri y miloedd o'i dyoddefwyr wedi cyrhaeddyd clustiau, a chyffwrdd â chalon y Duw trugarog, yr hwn, yn ngoruchwyliaeth ei ragluniaeth, sydd yn dryllio gwialen y gorthrymwr, ac yn tori yr hen iau a suddodd filoedd o'i thrigolion yn is na'r bedd. Yn awr, mae yr hen weithdai Whiskey trwy y wlad yn ymddangos mewn sefyllfa adfeiliedig, y rhai a fu dros flynyddau meithion yn Winllanoedd llygredigaeth, ac yn fonwentau rhinwedd.

Y prif elyn ag sydd yn cystuddio'r Werddon yn bresennol ydyw Pabyddiaeth. Mae y gyfundrefn o dwyll-offeiriadaeth (*priestcraft*) a'i seremoniau diddiwedd, fel maen trwm yn crogi wrth wddf y wlad. Nis gallodd, ac nis gall, holl ddoethineb ei deddfroddwyr sychu ei dagrau, na gwellhau ei chlwyfau, hyd nes y bwrir i'r llawr orseddfaingc 'y dyn pechod, yr hwn sydd yn ymddyrchafu goruwch bob peth a elwir yn Dduw.' Y fynyd ag y rhoddodd y wlad ei gwddf o dan iau Eglwys Rhufain, y fynyd hono y dechreuodd ei gwyrddlesni wywo, y torwyd ei blagur, yr ymadawodd ei gogoniant, ac yr ymgerddodd syfrdandod a marwoldeb trwy holl gorph ei rhinweddau gwladol a chrefyddol.

Mae cri y genedl yn bresennol yn uchel alw am gyfiawnder oddiar law Senedd Brydain, ond nid oes un math o lais i'w glywed, na llef yn cael ei dyrchafu, at 'geidwad dyn' am drugaredd iddi. Mae y nos wedi estyn eu hadenydd dros y wlad: ei holl ddyffrynoedd a'i mynyddoedd sydd mewn cyflawn ddystawrwydd, 'y pethau a berthyn i'w heddwch yn guddiedig oddiwrth eu llygaid,' a'r haul a'r awyr sydd yn hollol dywyll gan fwg y pydew. Tybiant fod pob sill o'u cyfundraeth grefyddol yn ol meddwl Duw, ac fod ffyddlondeb i'w defodau y sancteiddrwydd puraf. 'Cefais fy ngeni yn Babydd; yr wyf yn gobeithio cael marw yn Babydd; yr wyf fel fy nghenedl yn ffyddlon i grefydd ein tadau; nid oes arnom eisieu ei newid, am y gwyddom mai hi ydyw y grefydd oreu. Nid oes arnom eisieu cael gwell *Priests*; gwyddom eu bod y rhai mwyaf crefyddol, cywir, llafurus, ffyddlawn, a diragrith, sydd yn bod,' ebe tafod y genedl, sef Daniel O'Connell. Gwel '*The Weekly Freemans' Journal, Nov.* 26.' Maent wedi ymgyfoethogi, fel nad oes arnynt eisieu dim. Pan, mewn gwirionedd, y maent yn dlawd, yn resynol, yn ddall, ac yn noeth. Eu cyfundraeth grefyddol, yr hon yr ymffrostiant gymmaint yn ei hanffaeledigrwydd, sydd fel môr heb ddim halen, yn un cyfan gorph drewedig, a'i ffrydiau gwenwynig, ag sydd yn rhedeg trwy foesau ac ymarweddiad y genedl, sydd yn waeth na'r pla.

Wedi ymchwiliad manwl, yr wyf yn cael allan nad ydyw Protestaniaid yr Iwerddon ond prin y ddegfed ran o'i phoblogaeth. Cyfrifir ei thrigolion yn bresennol oddeutu 8,500,000; a rhy brin y mae 1,000,000 yn Brotestanaidd; mae 124 o blwyfau heb fwy na 25 o brotestaniaid yn byw yn mhob un o honynt; 41 o blwyfau heb gymmaint ag un Protestant.

Bernir fod oddeutu 3,500,000 yn analluog i ddeall na llyfr na phregeth Saesonaeg; pob ymddyddan a masnach yn cael eu dwyn yn mlaen yn yr iaith Wyddelig. Mae cyflwr ysbrydol y rhai yma yn dra thruenus, oblegid nad oes bron ddim ag y gellir ei alw yn freintiau crefyddol yn cael eu gweinyddu yn eu hiaith; maent o dan drwch dirfawr o dywyllwch yn gorwedd 'ar heolydd y ddinas fawr, yr hon yn ysbrydol

a elwir Sodom a'r Aipht; lle hefyd y croeshoeliwyd ein Harglwydd ni.

Yn y parthau mwyaf deheuol i'r wlad, lle nad ydyw yr iaith Saesoneg yn ddealladwy gan y cyffredin o'r trigolion, bydd yr Offeiriadau Pabaidd yn rhoddi pregeth yn y wyddelaeg i'w cynnulleidfaoedd unwaith bob chwech wythnos. Yn mis Medi diweddaf dygwyddodd fy mod mewn pentref yn y parth hwnw ar un o'u dyddiau gwyl. Oddentu naw o'r gloch yn y boreu yr oedd pob ffordd oedd yn arwain i'r pentref bron yn llawn o bobl yn dyfod i'r Gwasanaeth Pabaidd i gapel oedd ynddo, sef y pentref. Oddeutu 20 mynyd cyn dechreu y gwasanaeth aethum i'r fynwent fawr yn mha un yr oedd y Capel. Yr olygfa gyntaf a gefais yno oedd gweled cannoedd o bob gradd ac oedran o bobl ar eu gliniau ar y beddau, yn gweddio dros y meirw oedd yn gorwedd ynddynt! Mewn teimladau syn aethym yn mlaen i gwr pellaf y fynwent, ac yna fe dynwyd fy sylw yn neillduol at ryw eneth oedd wrth glawdd y fynwent; yr hon oedd bron dros ei phen mewn glaswellt, yn ymddangos mewn teimladau drylliog, ac yn gweddio yn ddyfal.

A bu yr ymddyddan canlynol rhyngom. 'Pa berthynas i chwi oedd yr hwn sydd yn gorwedd yna yn ei ddal?' 'Fy mrawd ydyw;' ebe hithau. 'Ers pa faint o amser y mae wedi marw?' 'Er's naw mis.' A ydych yn meddwl fod ei enaid yn uffern?' 'O, nac ydyw.' 'Ai yn y purdan y mae?' 'O nage, mae wedi dod allan.' 'Rhaid felly mai yn y nefoedd y mae.' 'Ië, yno y mae.' 'Pa les ydych yn ei ddysgwyl i'ch gweddiau wneud iddo os ydyw yn y nefoedd, yn cyfranogi o ddedwyddwch o pherffeithrwydd y wlad uchod?' 'Mae yn rhaid i mi weddio gyd âg ef, mae y *Priest* wedi gorchymyn; yr wyf yn bwriadu gweddio gyd ag ef tra byddaf byw, os byddaf mewn cyrhaedd i ddyfod at ei fedd.' 'Mae eich brawd wedi ei sefydlu mewn byd digyfnewid; nis gall eich gweddiau gael unrhyw effaith arno er gwell na gwaeth; byddai yn ddoethineb i chwi weddio dros y rhai sydd yn fyw o'ch teulu, a throsoch eich hunan, oblegid 'i'r rhai byw oll y mae gobaith,' medd dwyfol ysbrydoliaeth.' 'O, na, rhaid i mi weddio' medd hithau.

Yn mlaen yr aeth hi yn ei gweddi, aethym innau i'r Capel. Ni welais y fath ddefosiwn ffug sanctaidd erioed ag oedd yn cael ei amlygu gan y *Priest* a'r gynnulleidfa liosog oedd yno. Yr oedd ei gefn at y gynnulleidfa pan yn darllen y gwasanaeth, yr hwn oedd, gan mwyaf, yn Lladin; nid oedd un o bob ugain yn ei glywed, llawer llai yn ei ddeall. Yr oedd yn ymostwng ar ei liniau bob dau fynyd, yn cusanu yr allor, yn curo ei ddwyfron, ac yn ymddangos fel yn y pangfeydd mwyaf poenus yn achos enaidiau y gynnulleidfa, yr hon oedd mewn llesmair grefyddol ar y pryd. Ar ol y gwasanaeth pregethodd ar wirionedd ac anffaeledigrwydd Pabyddiaeth, yn y Wyddelaeg.

Claddu y marw sydd amgylchiad ag y mae llawer o ddefodau ffol yn cael eu hamlygu ganddynt. Yn dra diweddar bum mewn claddigaeth un o honynt.

Cyn cychwyn y corph, ac yn mhob croesffordd, nes cyrhaeddyd y fynwent, yr oedd y *Priest* a'r holl gynnulleidfa mewn dull difrifol iawn yn adrodd math o weddiau dros enaid y marw! Ar ol cyrhaeddyd y fynwent yr oedd y pryder yn nghylch anfon ei enaid i ddedwyddwch yn llawer mwy; ac ar ol cyflawni llawer o ddefodau coel grefyddol, rhoddwyd y corph o'r diwedd i orwedd yn 'Nhŷ ei hir gartref.' Pan wedi ei gladdu deallasant iddynt anghofio rhoddi 'clai y fendith,' gyd âg ef yn yr arch: i'r dyben o gyflawni y ddefod *bwysig ei chanlyniadau* o roddi yn yr arch glai wedi ei fendithio gan y *Priest*, hwy a'i codasant ef drachefn! Oblegid hyny gorfu arnom aros yno agos i awr yn hŵy, i wrando ar weddiau ei gymmydogion, ocheneidiau ei berthynasau, yn nghyd â sŵn aflafar y gaib a'r rhaw.

Nid oes dull grymusach i weithio eu nwydau i'w heithafion uchaf o elyniaeth, nag amlygu un amheuaeth o wirionedd eu crefydd: llawer gwaith y gwelais euhwynebau yn ymliwio, a hwythau yn crynu, pan y cynnygiwn yr ymosodiad lleiaf a'r eu crefydd. Pan y dywedwn wrthynt beth mor ddibwys oedd i'w cyd-greadur ymrysymu yn ei chylch, wrth yr ymchwiliad a wneir arni gan Farnwr y byd; byddai yn gorchfygu eu teimladau digofus, ac yn ymddyddan yn heddychol; a chyn y diwedd, yn fynych iawn, byddant yn addef mai gorthrwm y Pab oedd gwahardd y Biblau iddynt; er mai y dybiaeth gyffredin yw, fod darllen y Bibl yn bechod ysgeler, fel y dengys yr ymddyddan canlynol a fu rhyngof â gwraig rhyw amaethwr cyfrifol yn y gymmydogaeth hon.

Dywedoedd wrthyf, 'Yr ydym yn eich caru yn fawr, ac yn gofidio drosoch, oblegid eich bod yn Brotestant; yr wyf yn gofidio dros eich henaid a fydd yn uffern.' Wedi diolch am ei theimladau tyner drosof, dywedais ei fod yn destyn blinder iddi hi yr hyn ydyw fy ymffrost penaf i; fy mod yn meddwl myned trwy angeu a'r farn heb gywilydd nac arswyd, a'm pwys ar y grefydd Brotestanaidd, a'i gwrthrych mawr. Dywededd nad oedd yr un sail i feddwl mai y grefydd Brotestanaidd ydoedd y wir grefydd; cyfeiriais innau hi at effeithiau y ddwy grefydd ar foesau eu proffeswyr. Ond ni choeliai hi fod moesau y Protestaniaid yn well na'r Pabyddion. Rhoddais fy hun dros y grefydd Brotestanaidd, a hithau dros y grefydd Babaidd. Dywedais, 'Byddwch chwi yn meddwi; gwelais chwi yn feddw, ni feddwais i erioed; byddwch chwi yn rhegi, ni regais i erioed; byddwch

chwi yn gwneyd gweithredoedd diangenrhaid ar y Sabbathau, byddaf fi yn ymdrechu yn erbyn *meddyliau* bydol ar y Sabbath. Rhaid i chwi addef nad ydyw meddwi, rhegi, a thori y Sabbathau ddim yn bechodau, neu fod fy nghrefydd i yn well na'r eiddoch chwi.' 'O! 'r ydych yn bechadur mawr, byddwch yn bwyta cig ddydd Gwener, ac yn darllen y Bibl, yr hyn sydd lawn cyn waethed a'r eiddof finnau,' ebe hithau.

Ychydig iawn o barch i'r Sabbath sydd yn cael ei amlygu gan bobl y wlad. Bydd rhai yn gweithio yn gyhoeddus yn y maesydd, eraill yn chwareu, a mwy yn gwneuthur eu marchnadoedd mewn prynu a gwerthu, a phob gradd yn ei ddefnyddio yn ddydd i ymweled â'u cyfeillion a gwag rodiana. Yn y misoedd Awst a Medi gellir gweled dros 20 ar yr un olwg yn codi *tatws* ar foreu Sabbathau! Cymmerais y cyfleustra hwnw gyda degau o honynt i fynegi eu trosedd o'r pedwerydd gorchymyn; cefais hwy yn addfwyn, ac i addaw peidio, er nad oeddynt yn gallu canfod dim niwaid ynddo. Nid oeddwn yn rhyfeddu wrth hyny, oblegid y mae pethau mwy ysgeler fyth yn cael eu cyflawni ar y Sabbathau, fel yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ganlyn.

Ychydig fisoedd yn ol, daeth 4 neu 5 o wyr ieuangc perthynol i'r gwaith ataf, a dywedasant, 'Mae ein *Priest* ni wedi dyfod i gynnal *confession meeting*, sef cyfarfod i gyffesu pechodau iddo, i dŷ yn y gymmydogaeth, A wnewch chwi ganiatau i ni fyned yno am 3 neu 4 awr?' 'Gwnaf, gyd â'r parodrwydd mwyaf,' eb finnau, Pa amser y buoch yn cyffesu o'r blaen?' 'Er's tri mis yn ol.' 'Yr wyf yn ofni nas gellwch gofio y filfed ran o'ch pechodau mewn cymmaint o amser a thri mis.' 'O, y mae genym lyfr bychan bob un, yn mha un y byddwn yn rhoddi ein pechodau i lawr.' 'Yr wyf yn meddwl y dylai y llyfr fod yn *fawr*, oblegid yr ydych chwi, fel finnau, yn amlach eich beiau na'ch rhinweddau. A ydych wedi rhoddi eich gwaith yn chwareu cardiau y Sabbathau i lawr yn mysg eich pechodau?' 'Nac ydym; oblegid cawsom ganiatad i wneud hyny gan y *Priest!*' 'Nid oedd ganddo un hawl i ganiatau y fath beth; mae y gyfraith foesol yr ydych chwi o dani, yn dywedyd wrthych yn bersonol, 'Cofia y dydd Sabbath i'w sancteiddio ef' a rhoddwr y gyfraith hon a fydd eich barnwr.' Dywedais amryw o adnodau ag oedd yn profi y pechadurusrwydd o chwareu cardiau ar y Sabbath, ond ni choelient, am mai Bibl Protestanaidd oedd. Dywedais mai y dosparth isaf a gwaethaf o ddynion a fyddai yn gwneud hyny; fod y doeth a'r da yn ei ffieiddio.

Dyma y moesau ag y mae oraclau y genedl yn ei ddysgu iddynt; y dall yn tywys y dall, a'r ddau yn syrthio yn ffos llygredigaeth. Yr oedd gan y bwystfil a welodd Ioan wyneb oen, eithr dannedd llew; llais draig, a thraed arth. Felly y mae y gyfundraeth hon yn amddifad o bob peth perthynol i wir Gristionogaeth ond yr enw.

Diwrnod ofnadwy i'r Butain fawr a fydd y diwrnod ag y bydd i'r ddaear ddatguddio ei gwaed, ac na chela mwyach ei lladdedigion; oblegid mae nid yn unig waed merthyron Iesu yn ei godreu, ond hefyd gwaed ei phlant ei hun. Mae Gweinidogion yr Eglwys Sefydledig yn llafurio yma o dan anfanteision mawr. Mae yr holl Babyddion wedi ymlanw â'r fath ragfarn a gelyniaeth tu ag atynt fel na roddant y gwrandawiad lleiaf iddynt, y pethau penaf a'u dygodd felly oedd cyfundraeth y degwm, a'u gwabaniaeth mewn barn wladol, &c. Mae hyn mewn mesur mawr yn lluddias eu defnyddioldeb yn eu mysg, er nad ydyw yn lleihau dim ar eu llafur a'u teilyngdod fel gweinidogion cymmwys y Testament Newydd.

Dyma yw cyflwr ysbrydol cenedl liosog y Gwyddelod, sef wedi rhoddi eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil, ac yn feddw ar win llid godineb Babilon fawr, mam puteiniaid a ffiaidd-dra y ddaear, Gwlad yw hon ag sydd wedi ei hau yn dew â bodau dynol; gwlad ag y medodd anghrist gynhauaf toreithog oes ar ol oes. Na chaffed tŷ'r Arglwydd fod mwy yn anghyfannedd, ond cryfhaer dwylaw gweiniad gweithwyr Seion, fel y byddo i'r oruwchadeiladaeth gael ei dwyn yn mlaen, ac fel y palmanter prif-ffordd, ac y parer i ddyfroedd y bywyd dori allan yn ffrydiau iachusol, fel gan flodeuo y blodeau diffeithwch moesol y wlad, ac y llawenycha hefyd â llawenydd ac â chân.

Er pob peth a wnawd etto, nid ydyw yr achos Protestanaidd yn nghanol barthau y wlad, ond fel y goleuni gwasgaredig ar wawr creadigaeth, yr hwn oedd wan a dieffaith, ac yn gymysgedig â thywyllwch mawr. Bydded i'r llaw hono, a gasglodd y goleuni boreuol i'r cylch heulaidd, er goleuo a gwresogi y greadigaeth naturiol, nerthu a chwanegu y goleuni Protestanaidd yn y Werddon, er ymlid y tywyllwch Pabaidd, er dynoethi ei dwyll a'i ysgelerder, er estyn adenydd rhinwedd, ac er eangu teml grefydd yn mysg ei thrigolion. Yna le lawenycha yr holl fyd Cristionogol uwch ben cenedl a 'fu golledig ac a gafwyd.'—Ydwyf, anwyl Syr, eich ufudd wasanaethwr

ROBERT WILLIAMS.

---

## DEED Y TREFNYDDION CALFINAIDD.

BARCHEDIG SYR.—Wedi gweled llythyr hirfaith, ac *anti-logical*, y Parch. S. Roberts, Llanbrynmair, yn y "Dysgedydd" am Ionawr, a gweled ei esboniad aunheg ac afres-

ymol ar y geiriau canlynol:—"Ond na byddo i gyfnewidiad yn Nghyffes y Ffydd, na'r daliadau a'r athrawiaethau a ddysgir ac a amddiffynir gan y cyfundeb dywededig, gael un amser ei ganiatau, nac hyd yn oed ei ddadlu," ei fod yn haeru drachefn a thrachefn, mai ei esboniad ef arnynt yw yr unig ystyr sydd iddynt,—gosodais y geiriau ger bron gwr eglwysig, yr hwn a ystyrir yn mhlith y rhai blaenaf yn y wlad yn ei wybodaeth a'i ddysgeidiaeth, a gofynais yn ostyngedig ei olygiad ef ar y geiriau, a dywedai y boneddwr urddasol ei feddwl i'r perwyl canlynol:—

"Amlwg yw, tu hwnt i bob dadl, mai meddwl y geiriau ydyw, na chaniateir i neb ddadleu cyfnewidiad Cyffes y Ffydd, a'r athrawiaethau a amddiffynir gan y cyfundeb. Byddai yn ffolineb mawr i feddwl fod y gyfraith wladol mor afresymol a chaethiwo i'r fath raddau y rhai a ymgyflwynant i'w nodded, na chaffont ddadleu nac ymresymu ar bynciau eu cyffes; yr unig beth sydd ganddi hi i'w olygu, ydyw, gofalu na chaffo neb eu newid.

"Nid ydyw *Deed* y Trefnyddion Calfinaidd yn ddim amgen nag efelychiad o'r hyn a wnaed o'r blaen gan yr Eglwys Sefydledig. Y mae canonau ac erthyglau yr Eglwys Sefydledig wedi eu cyflwyno i nodded ac amddiffyniad y gyfraith wladol er's amser maith. Y mae yr erthyglau wedi eu cyfansoddi a'u ffurfio mor dyner fel y mae y naill blaid a'r llall (y Calfiniaid a'r Arminiaid) yn honi eu hawl ynddynt; a pha bellder bynag sydd rhyngddynt yn eu pynciau dadleuol, pan y deuant at erthyglau yr Eglwys Sefydledig, y maent yno yn cyd-gyfarfod, a'r naill a'r llall yn boddloni ar y dull y gosodir allan yr athrawiaethau sydd ynddynt. Cymmerwn, er esiampl, yr erthygl 17, yr hon sydd yn gosod allan yr athrawiaeth o Etholedigaeth: dywed y Calfiniaid mai etholedigaeth bersonol a feddylir, a'r Arminiaid mai etholedigaeth gwledydd; er na's gallont gyduno â'u gilydd am yr un meddwl, etto cyduna y ddwy blaid â'r erthygl, ni chwynant am na osodai allan yn amlycach pa etholedigaeth y mae yn ei feddwl."

Cymmerais yr hyfdra yn y lle hwn i luddias y boneddwr Parchedig drwy ddywedyd, "Bwriwn eich bod chwi, Syr, yn dal yr athrawiaeth Galfinaidd, a Gweinidog arall yn dal yr un Arminaidd, a ydyw y gyfraith yn caniatau i chwi ac yntau ddadleu eich meddyliau yn gyhoeddus ar yr unrhyw?" Atebai, "Diau ei bod." Gofynais innau, "Beth pe dywedai Gweinidog arall, 'Nis gallaf gydweled â'r un o honoch, nac â'r erthyglau chwaith, gan hyny, dadleuaf iddi gael ei dileu neu ei diddymu,' beth a ddywedid wrth y cyfryw?" Atebai, "Dywedid yn benderfynol na chaniateid iddo ddadleu ei chyfnewidiad na'i diddymiad mewn un modd, am nad oes na diddymiad na chyfnewidiad i fod arni."

Yna âi ymlaen, a dywedai, "Hefyd, nid yw yr ymgyflwyniad crybwylledig o eiddo y Calfiniaid yn ddim amgen na'r ymgyflwyniad a wnaeth y Trefnyddion Wesleyaidd. Profwyd hwnw yn effeithiol yn achos y Dr. Warren. Un o'u rheolau ydyw, na byddo i'r un o'u gweinidogion ymyraeth â *pholitics*. Troseddodd Dr. Warren y rheol, aeth i *politic meetings*, &c. Dygodd y cyfundeb achwyniad i'w erbyn, iddo droseddu y rheol, ac felly difreinniwyd ef o'i weinidogaeth. Amddiffynai y Dr. ei hun, a dygwyd yr achos i gael benderfyniad cyfreithiol arno; a'r farn a gyhoeddwyd ydoedd, fod Dr. Warren yn euog o droseddu y rheol, o ganlyniad fod y gyfraith yn cefnogi ei ddiswyddiad.

"Heblaw hyn hefyd, nid yw y *Deed* yn ddim amgen nag amddiffyniad y gyfraith ar gyfieithiad y Bibl. Caiff pob plaid ryddid i ddadleu, esbonio, ac egluro y Bibl yn ol rhyddid eu cydwybodau, ac yn ol fel y maent yn ei ddeall: ond pe amcanai rhyw un newid y cyfieithiad, deuai y Frenines, a phenaethiaid y deyrnas yn mlaen, a dywedent, '*Na, dim newid sill ar y Bibl.*' Wel, gallai y dyn ateb, 'nis gallaf gydweled âg ef, ac os na chaf ei newid, dadleuaf i'w erbyn, a chyhoeddaf esboniadau arno, yn ol fel yr wyf yn ei ddeall.' Yr ateb fyddai, 'Y mae i chwi gyflawn ryddid i ddadleu, esbonio, a dangos eich meddwl arno yn ol eithaf rhyddid eich cydwybod, ond ni chewch newid sill ar y cyfieithiad; beth bynag yw eich barn chwi, gofalwn ni am gadw cyfieithiad y Bibl yn ei burdeb.

Felly hefyd y Trefnyddion Calfinaidd, y mae rhyddid iddynt fel ereill i ddadleu ar egwyddorion eu cyffes, ac i'w credu fel y maent yn eu deall, ond pe amcenid newid sill ar y gyffes, byddai atebiad y Frenines i'r cyfryw yn debyg i'w hatebiad y'nghylch newid cyfieithiad y Bibl.

O'm rhan i, yr wyf yn gweled y *Deed* grybwylledig yn beth eithaf cysson a chyfiawn, er sicrhau yr addoldai i bregethu ynddynt yr athrawiaethau y'u hadeiladwyd er eu mwyn. Gall fod arian wedi cael eu roddi at amryw gapelydd tuag at gynnal pregethiad o'r athrawiaethau Calfinaidd, a phe na byddai unrhyw amddiffyniad i gadw yr athrawiaeth hono yn mhlith y cyfundeb yn ddigyfnewid, gallai, yn mhen ychydig flynyddoedd, y byddai athrawiaeth yr Undodiaid yn cael ei phregethu yn eu haddoldai; a byddai yn anghyfiawnder ac yn afresymoldeb i'r eithaf, i'r arian a roddwyd at gynnal pregethu yr athrawiaeth Galfinaidd gael eu rhoddi at gynnal pregethu athrawiaeth yr Undodiaid.

Etto, o'm rhan i, cynghorwn bob enwad i ymgadw, hyd y gellir, rhag dadleuaeth, yn enwedig gochel pob math o ymryson yn

nghylch geiriau, a phob peth sydd yn 'peri cwestiwnau yn hytrach nag adeiladaeth dduwiol; ond annogwn y gwylwyr ymdrechu i 'weled lygaid yn llygaid,' a 'bod yn ddyfal i gadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd,'"

Dyma, meddaf, yw barn ddiduedd un o'r gwyr mwyaf parchedig, dysgedig, a deallus, sydd yn ein gwlad. Gallaf ychwanegu hefyd i mi ymddyddan â rhai o'n hanwyl frodyr yr Annibynwyr, yn yr ardal hon, y y rhai a addefasant fod Mr. Roberts yn ddiau yn cyfeiliorni yn nghylch meddwl y geiriau a ysgrifenais yn nechreu fy llythyr. A gobeithiaf, rhwng pawb, y daw Mr. R. yn araf deg i weled mai "cyfnewidiad" yw yr Enwedigaethydd i'r berfau "caniatau" a "dadlu;" a phan y gwel hyny, gwel hefyd mai gwahardd "caniatau na dadlu" enwedigaethydd y berfau hyn, y mae *Deed* y Trefnyddion Calfinaidd.

Goddefwch i mi ddywedyd etto, cyn cadw fy ysgrifell, mai braidd y gallaf lai na synu at waith Mr. R. yn ymyraeth cymmaint â pheth mor aumherthynol iddo ag yw *Deed* y Trefnyddion Calfinaidd; nis gallaf ddirnad yr achos o hyn onid yw y clwyf *Cacocthes scribendi* wedi goresgyn ei holl natur; os felly, hoffwn ei weled yn cymmeryd testyn nes adref y tro nesaf. Byddaf yn fynych y dyddiau hyn, ar glywed am ymbleidiau ac ymraniadau gofidus mewn rhai eglwysi, yn meddwl am eiriau *Divine* enwog yn un o'r oesoedd gynt, yr hoffai ef, "*A praying rather than a disputing minister.*"

Ydwyf, yr eiddoch, &c.

*Pontytwr.* DAVID LLOYD.

---

## ANWYBODAETH RHAI O DRIGOLION GOROR CLAWDD OFFA.

AR nos Sabbath yn ddiweddar, wrth ddyfod adref o fy nhaith o bregethu, goddiweddais ddyn ar y ffordd, yr hwn a adwaenwn wrth ei enw a'i berson; yntau a'm hadwaenai innau; felly gofynais iddo, 'O ba le y daethoch heddyw? a pha faint a deithiasoch?' Atebodd y byddai wedi teithio 27 milldir pan y cyrhaeddai ei gartref; minnau a geisiais ddangos iddo mai pechod oedd teithio ar y Sabbath er cynnal cyfeillach fydol; ac mai gwell fuasai iddo aros gartref, a myned i ryw le o addoliad; a chan nad oedd mewn hwyl ac yspryd rhydd i ymddyddan â mi, a bod gennyf gyfleustra i hyny, yna disgynais oddiar fy anifail gan beri iddi ef farchogaeth; a dyben fy ngaredigrwydd hyn oedd ennill ei ewyllys da at gyfeillachu ar y ffordd; yr hyn hefyd a lwyddodd i gael hyny.

Yna dywedais wrtho, mai gwell oedd i ni gael rhyw ymddyddan cysurus â'n gilydd, tra byddem ar y ffordd yn cyd-deithio. 'Da iawn' ebe yntau; 'ond,' ebe finnau, 'rhaid i'r ymddyddan fod yn atebol i'r dydd, canys pechod yw siarad am bethau bydol ar y Sabbath.' 'Os felly,' ebe yntau, 'mae llawer iawn o bechu, oherwydd am bethau bydol y clywaf fi bawb yn siarad a'u gilydd.' Yna ceisiais ddangos iddo y drwg o hyny; a gofynais iddo, 'pa lyfrau a arferai ddarllen amlaf (hyn oedd well genyf na gofyn a fedrai ddarllen). Atebodd, 'ni ddarllenais lyfr erioed, canys ni ddysgais ddarllen.' Dangosais fy syndod ar hyn, fod dyn fel efe, ag oedd yn dad i blant, heb fedru eu dysgu yn y Bibl; annogais ef i geisio dysgu, gan ddangos iddo mor hawdd oedd; ynghyd a'r cysur a fyddai hyny iddo.

Wedi dangos mai dynion i farw oeddym, a bod rhyw fyd rhyfedd ar ol y byd bach presennol i ni i fyw byth bythol ynddo; gofynais iddo, 'a oedd arno eisiau rhyw beth at ei wneuthur yn addas a chysurus i farw, a myned i'r byd hwnw; ac os oedd pa beth ydoedd?' Bu yn hir heb ddywedyd dim. 'Dywedwch eich meddwl beth bynag yw,' ebe finnau; 'canys eich holi yr ydwyf, Mr. P. i wneuthur i chwi les, ac nid i'ch gwawdio a'ch beio.' Yna cyfaddefodd na wyddai efe ddim, 'yn wir (ebe fe) nis gallaf fi ddywedyd.' Yna defnyddiais ychydig amser i ddangos iddo.

'Mr. P. pa beth yr ydych yn ei feddwl am gyfraith, neu ddeddf Duw?' Atebodd, na wyddai ddim pa fath, na pha beth ydoedd. 'Pa beth yw eich meddwl am Iesu Grist,' ebe finnau?' Dywedodd nas gwyddai yn iawn—ond iddo glywed sôn am yr enw. 'A ydych chwi ddim yn myned i rhyw le i wrando pregethau?' Atebodd iddo fod weithiau yn y Llan, ac iddo clywed sôn am Iesu Grist yno, ond ni ddeallodd ddim am dano. Dywedais innau na wnai clywed sôn am yr enw sanctaidd ddim lles heb ei adnabod a chredu ynddo.

'A ydych chwi yn arfer gweddio?' 'Nac wyf (ebe yntau) gwaith i ddynion gwell na myfi yw hyny' ac wedi dangos mai yn enw Iesu Grist yr oedd ef i weddio, gofynais 'Pa un a'i Duw ai dyn oedd Iesu Grist, neu a oedd yn bob un o'r ddau?' Atebodd 'mae Duw oedd mae'n debyg.' Yna pregethais Iesu iddo yn Dduw ac yn ddyn, gan ddangos pa fodd, a pha bryd, y daeth i fod felly—a holais ef, mewn modd cyfeillgar, am lawer o bethau a chefais na wyddai bod dechreu na ddiwedd i fod ar y byd hwn, na phwy oedd y dyn cyntaf, na dim am bethau y Bibl. Yr oedd mor anwybodus ag un pagan yn unrhyw barth o'r byd, er ei fod ef yn ddeallus a gwybodus am ei alwedigaeth; a dyna'r gwbl a wyddai.

Mae lle, i ofni pe holem ac y chwiliem, y caem lawer yn debyg iddo yn y gwledydd hyn. Mae'n anhawdd gan bobl Cymru gredu bod dyn mor anwybodus mor agos iddynt; ond mae'n ddigon gwir bod llawer. Effeithiodd y gyfeillach uchod yn ddwys ar fy meddwl i, wrth ystyried fy mod yn

teithio ac yn pregethu mewn manau ag yr oedd dynion heb wybod pethau eglur yr Efengyl. Os gwna fy mrodyr, y Pregethwyr, adrodd a mynegu i'w gwrandawyr goleu a lliosog, hwy a dosturiant yn fawr wrth y trigolion hyn, a gweddiant lawer am ein llwyddiant.

D. Morgan.

---

## ATHROFA Y BALA.

Onid ydys yn son am wneud trysorgyff (*fund*) at gynnal yn Athrofa uchod: ond pa bryd y dechreuir? ac yn mha ddull yr eir yn mlaen? Tebygid nad oes eisiau ond dechreu i gael prawf fod lliaws yn barod i gyfranu. Mae ein cyfeillion yn y deheudir, fe feddylid, yn myned yn mlaen yn brysur i gasglu at Athrofa yn Nhrefecca. Gwelais hysbysiad heddyw, mewn papur newydd a gyhoeddir yn Aberhonddu; fod £906 0 0 wedi eu casglu yn barod. Sef, yn Aberhonddu £520 0 0, Yn Crughowell £217 0 0 yn Nhrecastell £112 0 0, Pentrefelin £38 0 0, Craig £12 0 0, Llandilofaen £7 0 0. Hysbysir mewn cwr arall i'r papur y bydd casgliad Crughowell pan y'i gorphenir yn £350 0 0 o leiaf. Hyfryd genyf weled fod y brodyr yn y dehau mor effro o blaid eu sefydliad; a mwy hyfryd fyddai genyf weled y Gogleddwyr felly hefyd. Clywais hefyd fod un gwr bonheddig yn Sir Gaerfyrddin wedi rhoddi £200 0 0. Ac nad yw yn golygu hyny ond rhodd-gychwyn, a'i fod yn bwriadu rhoddi etto. Ni raid i bethau fyned yn mlaen fel hyn, ond am ychydig, i gael i fynu y swm amcanedig o ddeng mil o bunnau. Yr ydym yn gweled nad ydyw y dehau yn 'attal.' Ac yn ddiameu pe byddai y cyfeisteddwyr perthynol i Athrofa y Bala mewn rhyw drefn benodol o gasglu yn dywedyd wrth y Goglodd 'Dod,' mai rhoddi mor helaeth a wnai y parth hwn hefyd.

Ll.

---

## LLYTHYR ARDALYDD LANSDOWNE AT FATHER MATTHEW.

---

### AT GYHOEDDWR Y DRYSORFA.

Barch Syr,—Os bydd y llythyr isod, oddi wrth Ardalydd Lansdowne at y diwygiwr Gwyddelig, yn gymmeradwy genych wele ef at eich gwasanaeth. Cyfieithais ef o'r *British Temperance Advocate and Journal.* Mae yn dda gweled ambell un o fawrion ein gwlad yn rhoddi eu tystiolaeth a'u meddiannau o blaid gwaith mor ddyngarol ag ydyw ymdrechu dwyn ein cydgreaduriaid i weled erchylldra anghymedroldeb—Ydwyf, Barch Syr, un o gysonaf ddarllenwyr y Drysorfa,

Nihil.

*Hopton Wafers.*

Cork, Medi 15, 1840.

'Barch Syr,—Yr ydwyf bron ar derfyniad taith trwy ddeheubarth yr Iwerddon yn ystod yr hon y cefais fy hun ymhob man fynych achlysur, i sylwi y gwahaniaeth mwyaf rhyfeddol er gwell yn ymddangosiad y trigolion; a sicrhawyd fi gan ereill, ar ba rai y gallaf bwyso, o wellhad mor amlwg yn eu nodweddi a'u hymddygiad a ddygwyd ymlaen trwy lwyddiant anghyffredin, eich ymdrechiadau diflino, o ddwyn i'w mysg arferion sefydlog o gymmedroldeb a hunan reolaeth. Yr oeddwn yn gobeithio, cael cyfleustra yn y lle yma o ddatgan i chwi yn bersonol y teimlad dwfn wyf yn ei groesawu fel Meddiannwr Gwyddelig, a gwas cyffredin, o werth eich ymdrechiadau sydd mor eglur yn cydweinyddu fel mae yn rhaid eu bod yn profi, dan bob amgylchiadau, er cynhaliaeth heddwch a threfn; ac er dynoethiad eglurach o rinwedd cymdeithgar, nag a ellid trwy unrhyw foddion eraill gyrhaeddyd. Eich habsennoldeb amserol oddi cartref yn unig a rwystrodd i mi wneud hyny, a gobeithiaf y caniateir i mi gymmeryd yr unig drefn yn fy ngallu o gofnodi y tybiau hyn, mewn dull na fydd yn anhyfryd i chwi, trwy amgau hawl-lythyr am Gan Punt, gan erfyn y ffafr ar i chwi eu cymhwyso at wasanaeth un o'r sefydliadau er lleshad eich cydwladwyr tlodion, ymha un yr ydych yn cymmeryd gofal, a pha un sydd, yn ol eich barn, yn sefyll fwyaf mewn eisieu gwasanaeth arianol—Ydwyf, Barchedig Syr, gyd a didwyll barch, eich ufudd was,

Lansdowne.

---

## ANALLU DYN.

Fel yr oedd Dr. Gill yn pregethu ar lygredigaeth naturiol ac anallu ysbrydol dyn, fe gafodd boneddwr oedd yn ei wrando yn pregethu ei dramgwyddo yn fawr trwy ei athrawiaeth. Ac, ym mhen rhyw ysbaid o amser wedi hyny fe gymmerodd y cyfleustra o alw gyda'r Dr. ac a ddywedodd wrtho, ei fod ef yn barnu iddo ddarostwng y bod ardderchog hwnw, sef dyn, a'i osod yn llawer rhy isel.' 'Attolwg Syr,' ebai y Dr. 'pa faint, debygech chwi, a ddichon dynion roddi o gynnorthwy tu at eu dychwelyd a thu ag at eu hiechawdwriaeth eu hunain.' Yr ateb oedd, fod yn ddichonadwy i ddyn wneud y peth hwn a'r peth arall, gan gyfrif i fynu linyn cyfan o alluoedd ewyllys rhydd. 'A wnaethoch chwi yr holl bethau hyn i chwi eich hunain,' ebai y Dr. 'Wel, na, nis gallaf ddywedyd i mi wneud etto; ond yr wyf yn gobeithio y câf ddechreu yn fuan.' Yr ateb a gafodd gan y Dr. oedd hyn, 'Os oes genych allu i'w cyflawni, ac heb wneuthur y pethau hyny i chwi eich hun, fe haeddech eich damnio yn ddyblyg, ac nid ydych ond yr

anaddas i sefyll i fynu yn bleidiwr ewyllys rydd; yr hyn beth, yn ol eich cyfaddefiad eich hun, a wnaeth i chwi mor ychydig o ddaioni. Beth bynag, ar ol i chwi wneuthur eich hun yn iach, mewn ystyr ysbrydol, os byth y cewch eich hun yn alluog i wneuthur hyny, byddwch mor garedig a dyfod a mynegi i mi pa fodd yr aethoch yn ei gylch. Oblegid nis gwn yn bresennol ond am un feddyginiaeth i wella llygredigaeth dyn, a dyma hi, Gras effeithiol, yr hwn sydd yn gweithio mewn dynion ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da Ef.

*Machynlleth.* J. J. J.

---

## HENADURIAETH AC ANNIBYNIAETH.

Barchedig Syr.—Er pan ysgrifenais o'r blaen i'r Drysorfa, y mae yn wybyddus i'r rhan fwyaf o'ch darllenwyr fod llyfr arall o Henaduriaeth wedi ei gyhoeddi gan Mr. John Mills. A chan fy mod yn deall ei fod ef yn barod i gyfarfod ymhellach ag unrhyw berson neu bersonau a ddewiso yr Annibynwyr, a chyfarfod â hwynt hefyd yn eu cyhoeddiadau hwy eu hunain, yr wyf yn dewis hysbysu fy mod yn gadael y *ddadl bersonol* yn gwbl iddo ef.

Os gofynir pabam y cyflwynaf y gwaith hwn i ddwylaw Mr. Mills, yr wyf yn atteb fod gorchwylion mwy pwysig yn galw am fy amser. Pe na buasai neb arall yn ymafyd ynddo, neu pe na buasai Mr. Mills yn ddigon galluog i'w gyflawni, hwyrach y temtiasid fi i wneuthur rhai sylwadau ar lythyr diweddaf Mr. Roberts; ond gan fod fy nghyfaill o Lanidloes yn llawn ddigon ei hun, y mae yn amlwg nad oes un angenrheidrwydd i mi feirniadu dim arno.

Y mae Mr. Roberts wedi rhwymo ei hun i atteb Mr. Mills; oblegid y mae yn un o'i lythyrau wedi awgrymu, os bydd neb yn peidio atteb unrhyw sylwadau a ysgrifenir yn ei erbyn, ei fod wrth hyny yn "encilio o'r maes." Ond o'm rhan fy hun, nid wyf erioed wedi cydnabod y cyfryw rwymedigaeth. Pe gweithredwn yn ol yr egwyddorhon, byddai yn rhaid i mi atteb un o olynwyr yr Apostolion, neu yn hytrach olynwr un o'r Apostolion, yr hwn sydd yn eistedd ar wyau y Pabyddion mewn papuryn nad yw yn werth ei enwi: a chyn y gellid gwneuthur hyny, byddai yn rhaid i mi gyflawni gorchwyl anhawddach o lawer na'i atteb, sef darllen ei gyfansoddiadau.

Y mae yn ddrwg genyf glywed fod amryw o'r Annibynwyr wedi gwallgofi ar ol darllen fy llythyr diweddaf. Nid wyf yn dweyd mai teimlo y maent eu bod wedi colli'r dydd; er fod udiadau anynad, ac ymddygiadau digrifol rhai o honynt yn ddigon a pheri i ni feddwl hyny. Fel prawf o hyn gallaf grybwyll fod nifer o'u gweinidogion, mewn un Sir y'Ngogledd Cymru, wedi cyduno i anfon llythyr ataf, yn enw Methodist, i roddi ar ddeall i mi mai gwell oedd peidio ysgrifenu dim yn ychwaneg. Yr oedd yn hawdd canfod wrth ei ddarllen o ba le yr oedd wedi deillio; ond yn fuan ar ol hyny cefais wybodaeth sicr am yr holl gyngrair oddi wrth un o'i gweinidogion hwy eu hunain. Digon tebyg fod ambell drefniant yn gofyn rhyw ystrywiau dichellgar o'r fath hyn i'w gadw rhag syrthio i dranc edigaeth.

Ond gyda golwg ar Mr. Roberts, y mae yn hyfrydwch mawr genyf gydnabod ei fod wedi gwella llawer o ran ei ysbryd yn ei lythyr diweddaf. Pe buasai wedi ysgrifenu yn gyffelyb o'r blaen, buaswn yn medru rhoddi mwy o ganmoliaeth iddo ar y cyntaf. Y mae yn dda genyf weled hefyd ei fod wedi gadael allan y rhan waethaf o'i gyfundraeth; sef y gall eglwys wyrdroi y *lease*, os bydd yn dewis, a defnyddio meddiannau yn groes i'r dybenion at ba rai y cyfranwyd hwynt. Am y farn yma y dywedais yn fy llythyr blaenorol ei bod yn cefnogi twyll. Er fy mod yn llwyr gredu nad oedd Mr. R. ar y pryd, yn bwriadu, nac yn gweled y canlyniadau niweidiol a darddant oddiwrth y golygiad. Meddyliwch fod dyn yn derbyn arian at Gapel Annibynol, ac yn eu rhoddi wedi hyny i eglwys o Fethodistiaid, beth fyddai ymddygiad felly ond twyll o'r fath atgasaf. Ac y mae yn eithaf eglur na fyddai marwolaeth y rhoddwr yn effeithio dim ond i wneyd y weithred yn fwy ysgeler. Yr wyf yn llawenhau o eigion enaid wrth weled un o weinidogion yr efengyl wedi dianc o'r llynclyn hwn. Y mae ei waith yn peidio amddiffyn y pwnc yn ei lythyr diweddaf yn peri i mi obeithio ei fod wedi gweled ei gamgymeriad, ac wedi llwyr-ymwrthod ag athrawiaeth mor wrthwynebol i holl egwyddorion cyfiawnder. Yr wyf yn dweyd hyn, nid mewn ysbryd ymffrostgar na *sarcastic*, ond gyda pharch iddo, a chariad tuag atto.

Os caf hamdden, bwriadwyf ysgrifenu ychydig sylwadau ar natur a dyben y *Constitutional Deed*, heb un cyfeiriad personol, i'w rhoddi yn y Rhifyn nesaf o'r Drysorfa.

Yr eiddoch, L. Edwards.

---

## "AGWEDD CREFYDD YN NGHYMRU."

*Llythyr at Mr. Joseph Williams, Liverpool.*

Anwyl Syr.—Er fod llawer lloer wedi newid er pan ymddangosodd y Cyhoeddiad am wobr am y Traethawd goreu ar y testyn uchod, ger gwydd y byd lleenyddol, nid yw brwdfrydedd a dysgwyliad llaweroedd wedi newid; ac ymsyniad nid bychan o hyny a bar i mi ysgrifenu yr hyn a ysgrifenwyf.

Yr wyf wedi cael sail gadarn i *gredu* eich bod chwi nid yn unig yn ymgeisydd ar y testyn uchod, ond hefyd bod eich Traethawd yn helaeth ac yn gynnwysfawr ar y pwnc; ac y dichona ei gyhoeddi hefyd lawer o ddaioni yn y dyddiau hyn. Oddiar

yr un sail hefyd yr wyf wedi cael lle i *dybied* eich bod eisoes yn ei baratoi i'r Wasg: ac os cywir hyn diammeu genyf y par lawenydd a hyfrydwch i lawer o'm cydnabyddiaeth i.

Dysgwyliwyd llawer, yn ddigon ofer, am Feirniadaeth y Beirniaid—detholiad y Traethawd Arobryn—a'i gyhoeddiad hefyd "yn ngwyneb haul ac yn llygad goleuni," ond aeth heibio fis ar ol mis heb air o sôn am dano. Ië, meddaf, aeth dyddiau a blynyddoedd heb gymmaint a chyhoeddi fod y Traethodau a ysgrifenasid yn annheilwng, a hyny er bod geiriad y testyn ei hunan yn galw am sylwad prysur arno. "Agwedd *presennol* Crefydd yn Nghymru," onidê ydoedd y testyn?

Ac yn awr, Anwyl Syr, gan na ddichon i'w gyhoeddiad fod yn un achos o dramgwydd i'r boneddigion a roddasant allan y testyn gyntaf, ac y gall fod o lawer o lesâd yn y dyddiau terfysglyd presennol, a gaf fi alw arnoch chwi, yn enw amryw o'm cydwladwyr, i roddi i ni argraffiad *hardd* a buan o'r "Traethawd ar Agwedd *presennol* Crefydd yn Nghymru." A chan obeithio na chyfarfyddwch etto â siomedigaeth fel cynt y terfyna eich cyfaill a'ch ewyllysydd da,

*O B—.* IOAN.

---

## GOFYNION.

A ydyw yr elyniaeth sydd yn nghalon dyn wrth natur tuag at Dduw a'i gyfraith, yn cael ei hollol ddifodi o'r enaid, pan y cyfnewidir ef trwy ras; ac os nad ydyw, pa beth a feddylir wrth y geiriau hyny, 'Canys pan oeddym yn elynion y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab Ef,' &c.

E. E.

Barch. Syr,—Wedi gweled o honof bennillion rhagorol y Parch. J. H. Llundain, ar y dôn *Hanover*, yn Rhifyn y Drysorfa am Ionawr diweddaf, daeth y pennill canlynol, ar yr un mesur, i'm côf yn fywiog, yr hwn a ddysgaswn pan yn blentyn gan fy nhad; a byddai yn dda genyf gael gwybod pwy oedd ei awdwr, ac a ydyw yn argraffedig, ac os ydyw, yn mha le? Nid wyf yn cofio im' ei weled erioed yn argraffedig nac ysgrifenedig.

'Un teilwng wyt ti i'th foli gan fyrdd,
Duw union diffael, da iawn yw dy ffyrdd;
Ti drefnaist ffordd union i ddynion ail ddod,
Yn uwch nag oedd Adda pan bura' bu'n bod.'

Caniatewch i mi ofyn, Mr. Golygydd, Pa beth yw yr achos na allai y Trefnyddion Calfinaidd gyduno ar *un* Llyfr Hymnau i fod at wasanaeth y Corph, fel y cyfryw yn Nê a Gwynedd? Pa ham y maent ar ol enwadau ereill o grefyddwyr yn hyny, y rhai ydynt oll yn *cytuno* i gytuno ar un Llyfr Hymnau, gan nad pa bethau bynag y byddont yn *anghytuno* yn eu cylch? A i nid oes eisiau mwy o drefnyddiaeth yn y peth hyn?—Yr eiddoch,

*Llanidloes.* R. MILLS.

Barchedig Olygydd,—Byddaf yn ddiolchgar i chwi, neu rai o'ch Gohebwyr deallus, am eglurhad ar y Gofyniadau canlynol:—Beth yw y ddeddf (sef y ddeddf foesol) o ran ei hanfod, ac o ran ei sylwedd, o ran ei natur, o ran ei chynnwysiad, ac o ran ei hawdurdod? Beth hefyd yw y ddeddf o ran ei pherthynas â'i rhoddwr; o ran ei pherthynas â'i deiliaid, o ran ei pherthynas â Chyfryngwr. IDRAL, *Festiniog*,

Barchus Olygwr,—Wele fi etto yn erfyn arnoch roi lle i'r llinellau canlynol yn eich Trysorfa fygedawl; gan ddymuno cael cyfieithiad o honynt. Tirion ac ewyllysgar fu y Beirdd wrthyf amserau a aethant heibio, a dilys genyf y byddant yr un mor hynaws etto.

*Dinbych.* M. JONES.

JOHN iv. 5—10.

At Jacob's well a stranger sought
His drooping frame to cheer;
Samaria's daughter little thought
That Jacob's God was near.

This had she known, her fainting mind
For richer draughts had sigh'd;
Nor had Messiah ever kind
Those richer draught's deny'd.

This ancient well (no glass so true)
Britania's image shows;
Now Jesus travels Britain through
But who the stranger knows?

Yet Britain must the stranger know,
Or soon her loss deplore;
Behold! the living water's flow;
Come, drink, and thirst no more.

---

## ATEBION.

*Ateb i Ofyniadau R—s yn Rhifyn* 122, *tudal.* 55. Y Gofyniadau ydynt, 'A oedd dynoliaeth Crist yn lwynau Adda pan y pechodd? Os oedd, pa fodd yr oedd hi yn sefyll ynddo heb ei llygru?'

Yr oedd sylwedd person Mair, mam yr Iesu, yn lwynau Adda pan bechodd ef, ac felly yr oedd hi yn llygredig ar ei ddelw, fel gwraig arall; a thrwy gamwedd un, sef Adda, y daeth barn arni hi, fel ereill, i gondemniad. Ac felly hefyd yr oedd ei holl blant hi, os ganwyd plant iddi drwy genhedliad naturiol, yn llygredig a phechadurus wreiddiol fel plant gwragedd ereill.

Ond ni chenhedlwyd Crist Iesu o honi hi trwy genhedliad naturiol, ond trwy genhedliad goruwch naturiol, am hyny, y peth a anwyd o honi oedd yn 'beth sanctaidd.' Ni anwyd 'peth sanctaidd' erioed o'r blaen, ac ni enir neb felly o wraig etto hyd ddiwedd y byd. 'A genedigaeth yr Iesu Grist oedd fel hyn:—Wedi dyweddio Mair ei fam ef â Joseph, cyn eu dyfod hwy yn nghyd, hi a gafwyd yn feichiog o'r Ysbryd Glân,'

Mat. i. 18. A dyma ymadroddion yr angel Gabriel wrth Mair, 'Nac ofna, Mair, canys ti a gefaist ffafr gyda Duw. Ac wele ti a gei feichiogi yn dy groth, ac a esgori ar fab, ac a elwi ei enw ef Iesu. Hwn a fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf.' Yna Mair a ofynodd, pa fodd y byddai hyny, gan na adwaenai hi wr. A'r Angel a chwanegodd, gan ddywedyd yn fanylach, 'Yr Ysbryd Glan a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di; am hyny y peth sanctaidd a enir o honot ti, a elwir yn Fab Duw.' Luc i. 30, 31, 35. Ac fe ddywed Mab Duw ei hun ar y matter yma, fel hyn, 'Aberth ac offrwm nis mynaist, eithr corph a gymhwysaist i mi,' neu ar ymyl y ddalen, 'corph a ddarperaist i mi.'

Wrth sefyll uwch ben yr Ysgrythyrau sanctaidd hyn, ac wrth feddwl am geisio eglurhau y peth, drwy roddi atebion i'r Gofynion uchod, yr wyf yn teimlo gwyleidd-dra ac arswyd arnaf, rhag ymgais am fyned ddim pellach i'r dirgelwch nag y mae yn ysgrifenedig yn ngair y gwirionedd. Mae y gair hwn, 'a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di,' yn peri i mi feddwl fod rhyw orchudd sanctaidd yn cael ei osod dros yr ystafell briodas, sef bru y Forwyn Fair, lle yr unwyd y ddwy natur mewn un Person, fel na ddylem ymgais am fyned yn rhy gywrain i geisio amgyffred y dirgelwch hwn. Sylwn ar rai pethau.

Er mai trwy yr Ysbryd Glan y cenhedlwyd corph yr Iesu, nid yw yn gymhwys dywedyd fod yr Ysbryd Glan yn dad i'w ddynoliaeth ef, canys nid oedd dim o sylwedd yr Ysbryd yn cael ei roi yn y corph a ffurfiwyd ganddo; eithr fe gymmerwyd natur ddynol Crist o sylwedd y Forwyn; canys dywedir ei fod ef 'wedi ei wneuthur o wraig.' Gal. iv. 4. 'Had y wraig' oedd efe. Gen. iii.

Nid person dynol a gymmerodd Crist, ond natur ddynol; canys ni fu ei ddynoliaeth ef yn sefyll am un fynyd arni ei hun; ond yr oedd yn y ffurfiad cyntaf o honi mewn undeb â Pherson Dwyfol y Mab.

Yr oedd yn rhaid i'r natur ddynol yn yr hon yr oedd gwaith mawr o brynedigaeth dyn i gael ei gyflawni, fod o ran ei sylwedd wedi ei chymmeryd o gyff cyffredin y natur ddynol, yr hon oedd gan ein rhieni cyntaf. Ac er hyny, yr oedd yn rhaid i'r natur hono, fel yr oedd hi yn natur i'r Cyfryngwr, fod yn berffaith sanctaidd a dilwgr.

Mae holl gorph y ddynoliaeth, fel y mae hi yn sefyll yn ein personau unigol ni yn llygredig, ac yn euog. Yr oedd Adda fel pen-cyfammodwr y Cyfammod Gweithredoedd yn cynnyrchioli ei holl had a ddeuant allan o hono drwy genhedliad naturiol. Ac am hyny, fe ddaeth ei drosedd cyntaf ef, drwy yr hwn y torodd efe y cyfammod, yn drosedd i ni drwy gyfrifiad. Y mae yn cael ei gyfrif i ni, ac yn cael ei roi yn ein herbyn ni, yn ol rheol cyfiawnder. Ynddo ef nyni oll a bechasom. Drwy hyn y daethom i fod 'yn blant digofaint.' Peth arall, yr ydym ni wedi derbyn ein natur o Adda drwy genhedliad naturiol, a hono yn natur bechadurus a llygredig.

Yn awr, yr oedd yn rhaid i natur ddynol Crist o ran y sylwedd o honi, gael ei ddwyn allan o ein rhieni cyntaf, ac etto heb fod erioed yn cael ei chynnyrchioli gan Adda fel pen-cyfammodwr; na'i chael allan o hono ef drwy genhedliad naturiol. Felly, ni fu dynoliaeth Crist ddim yn Adda fel yr oedd efe yn Ben yn y Cyfammod Gweithredoedd, canys cynnyrchioli personau yr oedd efe, a'r natur ddynol fel yr oedd yn y personau hyny; ac ni ffurfiwyd hi yn mru y Forwyn drwy genhedliad naturiol; am hyny, nid oedd camwedd cyntaf Adda ddim yn cyfrifedig iddi, na'i lygredigaeth ef ddim yn drosglwyddedig ynddi; eithr yr oedd efe 'yn Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni.' Heb. vii. 26. 'Oh ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!' Fe gymmerodd yr Ysbryd Glan ran o sylwedd Mair, fe'i purodd, ac fe'i cymhwysodd yn gorph glân a sanctaidd i'r Messiah: yr oedd yma waith cymhwyso. 'Corph a gymhwysaist i mi.' Y Mab yn cymmeryd y natur ddynol yn natur iddo ei hun, a'r Ysbryd Glan, yn ol addewid y Tad yn y Cyfammod tragywyddol, yn ei darparu hi iddo ef. Mae rhyfeddodau diddiwedd yn nirgelwch undeb y ddwy natur yn Mherson anfeidrol y Cyfryngwr. Arafaf yma; 'safaf, ac edrychaf ar y weledigaeth fawr hon.' CYHOEDDWR.

*Atebiad i Ofyniad 'Glan Clwyd,' yn Rhifyn 123, tu dal. 88, am eglurhad ar Galarnad 3. 38. 'Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da?'*

Daw yn ddiau; ac mae y geiriau yn fwy grymus yn yr iaith wreiddiol: 'Oni ddaw y drwg hwn, a'r da hwn, o enau y Goruchaf?' Onid yr hyn a ordeiniodd ac a bennododd efe yw? Ië, yn sicr, ac i'r dyben i'n cymmodi â'n cystuddiau a'n trallodau, beth bynag a fyddant, rhaid i ni gymmwyso y gwirionedd hwn fel hyn, 'Mi a dderbyniais y cysur hwn o law Duw, ac oni dderbyniaf y drwg, neu y cystudd yma, hefyd.' Felly y rhesyma Job 2. 10. pa un bynag fyddom ai iachus ai afiachus, cyfoethog neu dlawd, pa un bynag a lwyddwn yn ein bwriadau, neu a groesir ni ynddynt, Duw sydd yn eu trefnu oll; daw barn pob dyn oddiwrth yr Arglwydd. 'Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith.' Efe sydd yn llunio y goleuni, ac yn creu tywyllwch, fel y gwnaeth ar y cyntaf. Mae holl ddygwyddiadau rhagluniaeth Ddwyfol yn ffrwyth y cyngor tragywyddol. Pa beth bynag a

ddaw i ben, Duw sydd yn cyfarwyddo'r cwbl; ac y mae gweithredoedd ei ddwylaw yn cyd-fyned â geiriau ei enau; efe a lefara ac felly y bydd. R. AB GWILYM, *Glan'r afon*

*Atebiad i Ofyniad Theta o'r Waunfawr, Rhif. 122. tu dal. 56.*

Y gofyniad yw, pa un ai am ddyn marw, ai am ddyn byw, y sonir yn Job 14. 22.

ATEB.—Am ddyn annuwiol pan o dan ddwylo angeu. Yr hyn sydd i'w ddeall am ei gnawd arno yn dolurio, yw'r effeithiau gofidus y mae dirdyniadau angeu o'i fewn, yn ei wneud ar ei gnawd, nes peri iddo gurio oddi am ei esgyrn. A'r hyn sydd i'w ddeall am ei enaid ynddo a alara, yw'r tristwch a'r slaethau galarus, sydd yn llenwi holl gyneddfau ei enaid, wrth feddwl am golli ei obaith am wynfyd byth; a meddwl am fyned i ddistryw, i ddioddef am byth o herwydd ei bechodau.—IOAN, *Glan Du bach, Ffestiniog.*

## ADOLYGIAD Y WASG.

"*Holwyddoreg ar Ddirwest, wedi ei seilio ar yr Ysgrythyrau.* Gan y PARCH. ROBERT EVANS, Llanidloes."

GAN fod Dirwest erbyn heddyw bron wedi ennill yr oruchafiaeth, meddylir mai yr hyn sydd eisieu fwyaf ydyw ymdrechu gwreiddio yr egwyddorion yn nghalonau y Dirwestwyr. A thuag at wneuthur hyny bydd y llyfryn tan sylw yn hynod o gymmwys; oblegid ceir ynddo grynodeb eglur a chadarn o egwyddorion y Gymdeithas Ddirwestol, a hyny mewn ychydig o le; ac am bris mor isel, fel y gall pob Dirwestwr, o'r lleiaf hyd y mwyaf ei gael. O'm rhan i, rhoddwn annogaeth gwresog, i holl Gymdeithasau yr ieuengctyd, yn enwedig, i'w bwrcasu, ei ddarllen, a'i ddysgu, fel y gallont ei adrodd allan mewn cyfarfodydd cyhoeddus.

Mae Awdwr y Llyfryn bychan hwn mor adnabyddus i'm cydwladwyr, fel y gwyddys yn burion ei fod yn ddigon galluog i brofi Dirwest yn Ysgrythyrol, testyn dadl fawr ein gwrthwynebwyr—ac y mae un Argraffiad, o rai cannoedd, o hono wedi ei ddosparthu eisoes ar hyd y wlad, ac y mae y croesaw a gafodd y rhai hyny, gobeithiwyf, yn rhyw flaen-brawf ac ernes o dderbyniad mwy gwresog fyth i'r Argraffiad presennol. Ac os cyfyd awyddfryd ar rai o'm brodyr Dirwestol, neu Gymdeithasau Corfforedig, am gael yr Holwyddoreg defnyddiol hwn, cynghorwn hwy i ysgrifenu am danynt yn ddioedi i Lanidloes.

*Sir Fflint.* SYLWEDYDD.

# COFNODAU CYMDEITHASFA ABERGELE.*

IONAWR 7fed, a'r 8fed, 1841.

CYMEDROLWR,—Y PARCH. R. WILLIAMS.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 10 o'r gloch, Dydd Iau.*

1. Enwyd lleoedd ac amserau Cyfarfodydd dyfodol:—

Cymdeithasfa Chwarterol Sir Drefaldwyn i gael ei chynnal yn y DREFNEWYDD, Ebrill 28, 29, 30. Bwriedir cymeryd achos y Genadaeth Gartrefol dan sylw, am 2 o'r gloch, yr 28ain; ac er mwyn hyny dymunir i Ddirprwywyr y Genadaeth hòno fod yn y Drefnewydd erbyn 12 o'r gloch.

Cymdeithasfa, neu Gyfarfod Blyneddol, LLANGOLLEN, Ebrill 22, 23.

Cymdeithasfa Chwarterol y Deheudir i fod yn NGHASTELLNEDD, Ebrill 1, 2.

2. Penodwyd y Parch. CADWALADR OWEN i fyned i Lundain erbyn Cyfarfod y Pasg nesaf, ac i aros yno am yr wythnosau arferol.

3. Cymeradwywyd, a phenderfynwyd argraffu, Anerchiad, i'w anfon oddiwrth y Gymdeithasfa at y Swyddogion sydd eto heb ymuno â'r Gymdeithas Ddirwestol.

4. Penderfynwyd ar le ac amser i gynnal Cyfarfod Ymweliadol â Sir Fflint.

5. Bu yr Achos Cenadol dan ystyriaeth. Darllenwyd golygiadau y Dirprwywyr Cenadol y rhai a gyfarfuant yn Ninbych, Ionawr 4, 5, 1841. Yr oeddynt yn cydolygu ar y cynnygiadau canol, i'w rhoddi o flaen y Gymdeithasfa:—

1. Fod i ni ffurfio dwy Genadaeth:—Cenadaeth Gartrefol a Chenadaeth Dramor.

2. Fod y Cymdeithasau hyn i fod yn hollol dan lywyddiaeth y Gymdeithasfa Chwarterol.

3. Ein bod yn cymeradwyo ac yn annog y drefn o gasglu yn fisol at yr achos Cenadol; y casgliad i gael ei wneyd ar y Sabboth cyntaf o bob mis: casgliad y naill fis at y Genadaeth Dramor, a'r mis canlynol at y Genadaeth Gartrefol. Gyda golwg ar y Genadaeth Dramor, penderfynent gynnyg

1. Fod rhyw le penodol i fod yn ganolfan neu gartrefle i'r Gymdeithas, a bod Cyfeisteddfod i gael ei ddewis yn y lle hwnw i ddwyn yn mlaen waith y Gymdeithas, yn ol fel y penderfyno y Corff.

2. Fod Cyfarfod misol pob Sir, a chynnulleidfaoedd Trefi Lloegr, i ymffurfio yn Gymdeithas Gynnorthwyol, trwy ddewis,

* Drwg genym fod y Cofnodau hyn wedi bod cyhyd heb eu cyhoeddi—gweddaidd yw i ni hysbysu nad yw y bai ar yr Ysgrifenydd Parchedig, ond i ni, trwy ryw anffod, golli yr ysgrif yn nghanol y pentwr, ac heb ddyfod o hyd iddi hyd yn awr.—GOL.

Swyddogion i gydweithredu â'r Gymdeithas hon.

Cymeradwywyd cynnygiadau y Dirprwywyr; a phenderfynwyd anfon llythyr, gyda dau frawd yn Genadwyr, i Gymdeithasfa Castellnedd, i ofyn cydweithrediad ein brodyr yn y Deheubarth. Os cydunant ceir eto ffurfio rheolau manylach. Hyd hyny, y mae y Gymdeithas Genadol Gymreig, a ffurfiwyd yn Liverpool, i fyned yn mlaen yn ol ei rheolau presennol

Penderfynwyd gan y Gymdeithasfa yngbylch Casgliad Cenadol 1840.

1. Fod i'r lleöedd a gasglasant at Gymdeithas Genadol Llundain, roddi eu casgliad i'r Gymdeithas hòno, y rhai a gasglasant at y Gymdeithas Genadol Gymreig, i roddi eu harian i hòno; a'r casgliad a wnaed at y naill a'r llall i'w rhanu yn gydradd rhwng y ddwy.

2. Fod cyfrif o'r holl gasgliadau Cenadol i'w anfon yn ddioed at Ysgrifenydd y Gymdeithasfa, er mwyn eu cyhoeddi mewn argraff.

Penderfynwyd ynghylch y Genadaeth Gartrefol yn Ngogledd Cymru,—fod i'r Gymdeithasfa Chwarterol gymeryd achos y Genadaeth Gartrefol yn fwy dan sylw, o ran Cenadon, maes llafur, &c., a thu ag at hyny, ar i Gyfarfod Blyneddol gael ei gynnal gan Gynnrychiolwyr y Siroedd ynghylch yr achos hwn.

*Cyfarfod Athrawon yr Ysgol Sabbothol, am 2 o'r gloch.*

1. Darllenwyd cyfrif o rifedi, llafur, &c., yr Ysgol Sabbothol, yn yr amrywiol Siroedd.

2. Y Parchedigion John Davies, gynt o Nantglyn; T. Lloyd, Abergele; Daniel Jones, Carneddi; a Mr. D. Jones, Bryneglwys, a ddywedasant ychydig am yr agwedd oedd ar y wlad cyn sefydlu yr Ysgol Sabbothol, ac a roddasant gynghorion a gocheliadau priodol i'r amser presennol. Yr oedd rhyw lewyrch ac effeithiolrwydd anarferol yn cydfyned â'u hadroddiadau.

3. Sylwyd ar y perygl o ysgafnder, a'r angbenrheidrwydd o ddifrifwch uwch ben Gair Duw.

4. Dywedwyd am yr angbenrheidrwydd o gael y plant i feddwl ac ystyried, ac nid yn unig i ddarllen a dysgu allan.

5. Rhoddwyd rhai annogaethau o blaid Dirwest.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 8 o'r gloch, bore dydd Gwener.*

Ymddyddanwyd, yn y Cyfarfod hwn, am Gyfiawnder Ymarferol.

Sylwyd fod cyfiawnder yn meddu lle mawr mewn crefydd. "Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn." Nid oes gan un sail i feddwl ei fod wedi ei gyfiawnâu ger bron Duw yn nghyfiawnder ei Fab, os nad oes egwyddor ynddo i wneuthur cyfiawnder yn ei ymdriniaethau â dynion. "Yn mhob cenedl," meddai Pedr, "yr hwn sydd yn ei ofni ef, ac yn gwneuthur cyfiawnder, sydd gymeradwy ganddo ef." Mae grasusau i fod, fel dolenau mewn cadwyn, yn ûn a'u gilydd, ac felly y mae ofni Duw yn sicr o fod yn gysylltiedig â gwneuthur cyfiawnder; nid siarad am gyfiawnder, na gwybod beth sydd gyfiawnder, ond gwneuthur cyfiawnder. Y mae Duw yn hoff iawn o gyfiawnder. Dangosodd hyny yn y modd amlycaf yn nhrefn achub. Nid rhyw dalu hannerog a fu ar Galfaria, ond clirio yr holl ofynion, fel y mae cyfiawnder Duw yn cael ei gyfodi cyfuwch â'i briodoliaethau eraill yn iachawdwriaeth pechadur. Tu ag at fod yn debyg i Dduw, mae yn rhaid i ninnau fod yn gyfiawn. "Byddwch gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith." Y mae gwahaniaeth rhwng dyn grasol a dyn annychweledig yn gwneuthur cyfiawnder. Mae gair mawr i lawer o ddynion annuwiol am onestrwydd; maent yn gwneuthur cyfiawnder er mwyn caritor a mawredd, neu oddiar ryw egwyddor hunanol neu fydol; ond y mae y duwiol yn gwneuthur cyfiawnder am fod Duw yn caru cyfiawnder; mae egwyddor gyfiawn yn teyrnasu o'i fewn.

Sylwyd fod anghyfiawnder yn ddrwg tra chyffredinol yn y wlad, ac wedi ymledu i amrywiol ganghenau; a bod cwyn fod llawer sydd o dan yr enw crefyddwyr, cân waethed â'r gwaethaf o bobl eraill mewn anghyfiawnder. Mae llawer yn codi eiddo o siopau, heb ddim golwg ar foddion i dalu, ac y mae hyny yn eu harwain i dori addunedau, a dweyd celwyddau. Rhai wedi rhedeg i ddyled yn y siop yma, a methu cyflawni, a enciliant oddi yno, ac a ânt i wneyd yr un peth mewn siop arall; ac felly yn lle dyfod i'r làn mewn un, a redant i ddyled mewn dwy, nes y byddant o'r diwedd yn boddi mewn anghyfiawnder.

Mae lle i ofni fod egwyddor o anghyfiawnder yn ffynu yn y tir, ac y mae hon yn gweithio trwy lawer ffordd na feddylir am dani. Beth ond egwyddor anghyfiawn a wna i ddyn wrth werthu fethu cael digon am ei eiddo, ond wrth brynu, fethu cael dim yn ddigon rhad? Pan y byddo un wedi methu o ran ei amgylchiadau, y mae llawer yn defnyddio yr adeg hòno i roddi llai am ei eiddo na'i wir werth,

Y mae anghyfiawnder i'w weled yn fynych mewn gwaith ac mewn cyflog. Y mae yn bosibl i was neu feistr wneyd mwy o anghyfiawnder mewn diwrnod, y naill mewn llafur, a'r llall mewn cyflog, nag a all dyn tlawd wneyd mewn siop am fis. "Y mae cyflog y gweithwyr, yn llefain" yn y dyddiau hyn. Mae llawer llafurwr sydd yn byw ar ei ddiwrnod gwaith, yn gorfod aros am flyneddoedd heb dderbyn yr hyn sydd yn ddyledus iddo.

Y mae cryn anghyfiawnder i'w gael yn

aml gyda gwerthu a phrynu llyfrau; dosbarthwyr yn cadw yr arian oddiwrth yr awdwyr neu y cyhoeddwyr, eraill yn derbyn llyfrau heb byth dalu am danynt; eraill yn benthyca llyfrau heb eu dychwel byth yn ol.

Mewn ardaloedd lle y mae gweithfäoedd mŵn, y mae rhai yn cymeryd tiroedd diwerth, yn eu gwneuthur yn *shares*, yn dywedyd yn dda am danynt, ac yn ennill cannoedd o bunnau oddiwrthynt, pan y gŵyr eu cydwybodau nad ydynt werth dim.

Gwelwyd rhai wedi tori i fynu o ran eu hamgylchiadau, a rhanu eu heiddo i'w gofynwyr, yr hyn oedd yn dyfod yn ddeg swllt y bunt, ar ol hyny yn dyfod i fywioliaeth gysurus eilwaith, ac yn llwyddo yn y byd; ond nid oeddynt yn meddwl am dalu y deg swllt eraill, er bod mewn sefyllfa y gallent wneuthur hyny. Er na all y gyfraith wladol eu codi, y mae egwyddor gyfiawn yn gofyn eu talu. Pan amläwyd olew y wraig weddw, gorchymynwyd iddi ei werthu i dalu ei dyled, ac yna byw ar y gweddill. Mae rhai dynion digrefydd wedi talu yn llawn, ar ol unwaith wneuthur *compound* â'u hechwynwyr. Greayn i grefyddwyr fod yn ôl i blant y byd yn hyn.

Y mae rhai a gawsant dipyn o'r byd, yn anghyfiawn yn ngwneuthuriad eu hewyllys ddiweddaf, trwy wneuthur cam dirfawr â rhai o'u teuluoedd; eraill sydd yn ei gadael yn rhy ddiweddar i wneuthur hyny, ac felly yn achosi anghyfiawnder ar ol eu hymadawiad.

Y mae rhai, er gallu byw yn gysurus ar un siop, yn codi siop arall at hòno; neu er meddu ffarm dda, yn cymeryd ffarm arall ati. Os oes anghyfiawnder a gorthrwm mewn dim, neu unrhyw beth yn arwain i anghyfiawnder a thrais, tybygir fod y cydio a'r ymledu afreidiol yna felly, ac y mae Duw yn ddiau yn gwgu arno.

Mewn amgylchiadau fel hyn, a llawer yn ychwaneg, ni a welwn fod mawr ddiffyg o gyfiawnder ymarferol yn y wlad. Y mae yn bosibl hefyd gwneuthur anghyfiawnder âg enw yn gystal ag â meddiannau un. Mae hyny yn tarddu yn gyffredin oddiar lid, cenfigen, a malais.

Gan fod anghyfiawnder mor gyffredin ac mor gryf yn y tir, y mae eisiau rhyw ymdrech anghyffredin yn ei erbyn. Barna rhai mai dyma yr attalfa fwyaf i Gristionogaeth, yn nesaf i feddwdod. Y mae gweddio am dywalltiad o'r Ysbryd Glan, a goddef pethau fel hyn yn yr eglwysi, yn anghysonedd, yn rhagrith, ac yn demtiad ar Dduw; y mae yn ymgais i gymmodi presennoldeb Sanct Israel â'r pethau ffieiddiaf. Oferedd gweddio am ymweliadau o'r uchelder, tra y byddom yn esgeuluso y moddion a drefnodd Duw i symud drygau fel hyn. Os bydd swyddogion eglwysig yn annyben i dalu eu ffordd, ond odid na welir anghyfiawnder yn ymdaenu fel pla yn mysg y rhai sydd o dan eu gofal.

Y mae llawer o ymddygiadau anghyfiawn yn tarddu oddiar falchder ac uchder ysbryd; rhyw uchelgais ffol am fawredd yn peri i ddynion ledu eu breichiau am fwy o goflaid nag a allant ddal. Y mae awydd i fyned o flaen Rhagluniaeth wedi hudo pobl i anturio gormod, a suddo i ddyled, nes bod yn analluog i ddyfod mwy i'r làn. Gormod hyfder ar Foneddiges Rhagluniaeth yw i ni dynu biliau arni am amser i ddyfod; dylem gymeryd fel y mae hi yn rhoddi i ni. "Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol." Nid oes modd i'r dyn cyfiawnaf a fu erioed dalu bil gini gyda hanner gini. Rhaid llunio y gwadn at y troed, a pheidio rhyfygu at beth sydd allan o'n cyrhaedd.

Ymofynwyd, pa fodd y symudir y drwg ymaith? pa fodd y rhoddir yr ymddyddan presennol mewn ymarferiad? Dywedwyd llawer mewn cymanfäoedd ar hyn o bryd i bryd; ond y mae y drwg eto yn aros. Buom yn dweyd am flynyddoedd yn erbyn meddwdod, ond ni lwyddwyd nemawr, nes i ni fyned i ddangos llwybr penodol i ochel meddwi. Barnwyd y byddai yn llesiant annrhaethol pe gellid llwyr ymwrthod â *system* y coelio, a myned yn mlaen yn ol yr hen ddiareb, 'Hwda di, a moes i minnau.' Y mae rhai yn meddwl fod eu cydgrefyddwyr dan rwymau i roddi *trust* iddynt, fel gwasanaethyddion yn perthyn i'r eglwys yn 'diystyru eu meistriaid am eu bod yn credu;' ac felly ffromant yn fawr os nacëir rhoddi eiddo ar goel iddynt. Nid yw hyna yn dangos egwyddor dda. O'r ochr arall y mae y dull sydd gan rai siopwyr ac eraill o gario eu masnach yn mlaen yn arwain pobl dlodion i brofedigaeth. Dangosant ac argan-molant eu nwyddau; a phan ddywed y truan y dymunasai gael y cyfryw pe buasai ganddo arian i dalu, O, atebant, ni a'ch coeliwn; a thrwy hyny arweinir y naill i fagl a'r llall i siom. Y mae llawer o'r teimladau goreu a fedd y Cymry wedi eu dinystrio oblegid hen arfer ddrwg y *credit*. Coffäwyd am ddau deulu iselradd oedd yn hollol yn yr un sefyllfa bywyd; y naill ni chymerai *drust* gan neb, ac yr oedd y teulu hwnw bob amser yn gysurus; y llall oedd yn derbyn llawn cymaint o gyflog â'r llall, ac mewn dyled yn barâus, a'r oll yn annhrefnus, oblegid codi pob peth ar goel. Gwell o lawer a fyddai rhoddi elusen i bobl na gadael iddynt fyned i ddyled heb ddim sicrwydd am daliad oddiwrthynt. Rhaid codi cyfiawnder er mwyn gwneuthur trugaredd.

Mae yr efengyl yn dysgu dynion i fyw yn gyfiawn, yn gystal ag yn sobr ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon. Y mae anghyfiawnder yn cau dynion allan o deyrnas nefoedd, ac ni ddylid goddef rhai anghyfiawn yn nhŷ Dduw ar y ddaear. Y mae pob camwri ac anghyfiawnder yn digio Duw, ac efe a ddial o'u herwydd. "Na byddo i neb orthrymu na thwyllo ei frawd mewn dim; canys dialydd yw yr Arglwydd ar y rhai hyn oll."

# BARDDONIAETH.

## AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR.—A fyddwch chwi cystal a rhoddi lle yn eich Trysorfa, i'r Englynion canlynol, a anfonwyd ataf yn ddiweddar, gan y Bardd clodfawr hwnw Mr. Ebenezer Thomas, Clynog, (*Eben Fardd*). Mae enw yr awdwr hwn yn dra adnabyddus trwy Gymru, fel ennillydd ar y prif destyn, yn Eisteddfod fawr Liverpool, yn haf 1840, "Ar Gystudd, Amynedd, ac Adferiad Job"; ac hefyd ar "Esgyniad Elias i'r Nef." Deallwyf y bwriada yr awdwr yn fuan, gyhoeddi y gweithiau gorchestol hyn, ynghyd a'r Awdl benigamp hono "Ar ddinystr Jerusalem," yn llyfr bychan, yr hyn yn ddiau fydd yn anrheg werthfawr i'w genedl. Tystiolaeth y "Beirniaid" dysgedig, ynghyd âg amryw ereill a'i gwelsant, ydyw mai y cyntaf o'r gweithiau a enwyd uchod, ydyw y cyfansoddiad Barddonol rhagoraf, a fedd yr iaith Gymraeg. Clywais un gwr a allai farnu, yn dywedyd ei fod ef yn ystyried y gwaith hwn yn "Agoriad cyflawn ar lyfr Job." Hyderaf yn fawr y bydd i'r awdwr gael cefnogaeth wresog gan ei genedl, fel na byddo iddo fyned i brofedigaeth yn ei anturiaeth; ac y bydd i bob un "A garo les gwyr ei wlad" wneyd ei oreu o blaid ei werthiant.—Wyf, yr eiddoch, &c.

*Tyddewi, Dinorwic.* D. WILLIAMS.

## CYFAILL.

Gwn y cofir gwên cyfaill—a'i flas sydd
Fel serch rhwng dau efaill,
Anian un sy yn y naill;
Haws ei garu 'n mysg eraill.

Ar wên dau o'r un duedd—O! sylwer
Yn selio tangnefedd;
A phwy gawn mor hoff eu gwedd;
Eu llygaid a'u holl agwedd.

Wyneb yn wyneb dan wenu—addef
Pob meddwl heb gelu;
Heb raid ochel bradychu
Na llunio twyll o un tu.

Os gyrir ar ysgariaeth—y cyfaill
Bydd cofion o hiraeth;
Er mor a thref er mor a thraeth
Gwydnu bydd y gydnabyddiaeth.

O bell y llinell o'i enau—dreigla
Drwy Ogledd a Deau;
A gwin eu serch gan nesâu
Leinw allan o'i linellau.

Gan gyfaill un gwag ofer—ydyw ef,
Di afael bob amser;
Poen at hwn pan y tanier!
Ei afael gwael dawdd fel gwêr.

Caf well gŵr y *Cyfaill goreu*—yw Crist
Ein Craig yn nydd angau;
Fe wna'r hen *Iorddonen* yn ddau,
Parthu 'r dwr y pyrth a'r dorau.

Af o allu fy nghyfeillion,—pallant
Ddim pellach na'r *afon*,
Ond Iesu ni âd ei weision
PEN yw a'n deil pan yn y don.

*Clynog.* EBENEZER THOMAS.

## BEDD ARGRAFF

*Morris Jones, Corris, Meirion; idd ei gladdu yn mynwent Tal-y-llyn.*

CYWRAINT Gerfiedydd cerig—a ddarfu
Tan ddirfawr bwys main-frig;
Pregethwr—dyddiwr rhag dig—
Dawn mawrwych caed yn Meirig.

Felly, ei holl gyfeillion,—ar osteg,
Am Ddirwestwr tirion—
Ei dylwyth—a bydolion—
Garw eu llef ar ol gwr llon.

J. A. O. BARDD MEIRION.

## NODDFA.

ANFEIDROL yw 'r cariad a gododd
Bechadur o'r dyfnder i'r lan;
A gras anghydmarol a drefnodd
Fath Noddfa ryfeddol i'w ran.

Yn erbyn y Duw a'm cynhaliodd
Ymleddais hyd eithaf fy ngrym:
Diystyrais y gras a'm hachubodd;
I'r Noddfa ni ddeuwn i ddim.

Gweithredoedd y tywyllwch a gerais:
Gwrthodais drugaredd a gras:
Fel ynfyd tua distryw mi redais,
A'r Noddfa oedd genyf yn gas.

Ond dyma fel rhedodd yr arfaeth;
Gras—dal y pechadur—mae 'n bryd:
A minnau mewn dychryn a deimlais
Na feddwn i Noddfa 'n y byd.

Cyfiawnder yn ddigllon edrychai;
Am hyny tua Sina mi droes:
Cyfiawnder gan wgu a ddywedai,
Ar Sina un Noddfa nid oes.

Trugaredd yn fwynaidd pryd hyny,
A'm dygodd i Galfari fry;
Ac yno mi welais yr Iesu
Yn Noddfa ddigonol i mi.

Digofaint ei Dad ddyoddefodd,
Ac yfodd o soriant y nef;
A dyled ei bobl fe dalodd:
Ein Noddfa drag'wyddol yw ef.

'Nol ennyd cawn orphen yr yrfa,
A myned i'r man yr aeth Ef;
Ac yna ni seiniwn Hosanna!
Am Noddfa, i entrych y nef.

*Pentremawr.* D. J.

# CENADAETH DRAMOR,

## CYMANFA GYFFREDINOL EGLWYS HENADURIAETHOL YR IWERDDON.

### HANES DECHREUAD A CHYNYDD Y GENADAETH I INDIA.

"Yr oedd yr Eglwys Henaduriaethol yn Iwerddon, fel y mae'n drwm meddwl, wedi syrthio i'r un oerfelgarwch ysbrydol ag a ymaflodd yn rhy gyffredinol yn Eglwysi y Diwygiad, yn niwedd y ganrif ddiweddaf. Nid oedd ynddi y pryd hwnw ddim yn debyg i sefydliad Cenadol; ond yr oedd holl lafur yr Eglwys yn cael ei gymeryd i fynu gyda'i chynulleidfaoedd ei hun, a'u cadwraeth hwy. Un o'r moddion cyntaf y gwelodd Duw yn dda ddefnyddio i ddeffroi yr eglwys, oedd teithiau blynyddol gweinidogion efengylaidd a ffyddlon o *Scotland* a Lloegr, o blaid y gwahanol Gymdeithasau crefyddol a sefydlwyd tua dechreu y ganrif bresennol. A chygynted ag y cynhyrfwyd gradd o ysbryd Cenadol, cyfododd yr ymholiad yn naturiol, paham na chaffai Presbyteriaid yr Iwerddon eu Cymdeithas Genadol eu hunain, yn gystal ag eglwysi ereill? Pa fwyaf o sylw a roddid i'r mater, mwy cyffredinol a dwys y daeth yr argyhoeddiad, y dylem weithredu fel Eglwys Genadol. Teimlwyd nid yn unig fod hyn yn iawn, ond hefyd yn angenrheidiol. Pa ddaioni bynag a wnaed gan Gymdeithasau gwirfoddol a chymysgedig, ystyriwyd nad oeddynt hwy ond wedi cyflawni diffyg gwasanaeth yr Eglwys am dymmor; a pha mor helaeth, neu rymus, neu lwyddiannus y gallent fod, nad allai eu hanfodiad hwy ryddau yr Eglwys oddiwrth ei dyledswydd, na dinystro ei rhwymedigaeth hi. Argyhoeddwyd ni fod yn ddyledswydd arnom fel Eglwys i ymgais at ddychweliad y paganiaid; ac yr ydym yn credu fod ein Heglwys Henaduriaethol ni, o ran ei ffurflywodraeth a'i dysgyblaeth, yn fwy cyfaddas nag un arall, i weithredu yn y maes Cenadol; oherwydd gwelsom mai dyma y ffurf o lafur a fabwysiadir gan bob Eglwys, pa bryd bynag yr ymroddant at y gwaith Cenadol. Ac fel hyn yr agorwyd ein golygiadau, ac yr addfedwyd ein barn ar y mater, nes y daeth Cymanfa *Ulster*,* yn y flwyddyn 1833, i benderfyniad cyhoeddus ac unfrydol, ei bod yn ddyledswydd arbenig arnom fel Eglwys i ymffurfio yn uniongyrchol yn Gymdeithas Genadol Dramor.

Un o'r pethau cyntaf a ddaeth tan sylw y Cyfarwyddwyr oedd dewis maes priodol i lafurio ynddo. Ymofynwyd â'r prif Gymdeithasau Cenadol, ac â Chenadon enwog a ddychwelasent i Loegr a *Scotland*. Yn neillduol anfonwyd llythyrau at Genadau Eglwys *Scotland* yn India, gan ddymuno eu cynghor a'u cymhorth hwy. Gwnaed sylw dioedi o'r llythyrau hyny; ac yr oedd un atebiad a gawsom yn gyfryw ag i'n galluogi i ddyfod i benderfyniad unol a boddäol. Hysbysodd Dr. Wilson o *Bombay* ei fod ef, er ys blynyddoedd wedi meddwl am anfon cyfarchiad at Gymanfa *Ulster* i'w chymhell i sefydlu Cenadaeth yn y tu gogleddol i *Bombay*, ac i'r dyben i barotoi y cyfarchiad, ei fod wedi cymeryd taith bur helaeth drwy y dalaeth, yn ystod pa un y casglodd efe lawer o hysbysrwydd tra gwerthfawr, a bod ganddo lawer o resymau cedyrn paham y dylai y Gymanfa gymeryd meddiant o'r maes hwnw. Felly, erbyn i'n llythyr ni ei gyrhaeddyd, nid oedd ganddo ddim i wneyd ond anfon yr hyn oedd eisoes wedi ei barotoi ganddo. Barnasom oddiwrth yr amgylchiad hwn, fod Duw yn cyfeirio ein traed i'r parth hwnw o India. Clywsom wahoddiad mor eglur â'r llef a glybu Paul gynt o Macedonia, yn dywedyd, 'Deuwch trosodd a chynorthwywch ni;' ac nis gallem lai na theimlo fel yr apostol pan ddywedai,—'gan gwbl gredu alw o'r Arglwydd ni i bregethu yr efengyl yno.'

Ond 'pa le mae'r Cenadau?—pa fodd y ceir y rhai hyn?' Rhoddwyd ar y Cyfarwyddwyr i ymofyn am danynt; a dichon fod o bwys adrodd pa fodd yr aethom yn mlaen gyda hyn. Gosodwyd o'n blaen restr o holl weinidogion yr Eglwys, a detholasom ugain, y rhai a farnem yn addas i'r gwaith. Anfonasom lythyrau at y rhai hyn, yn galw eu hystyriaeth at y ddyledswydd o fyned allan yn Genadau at y paganiaid, ac yn dymuno cael gwybod beth oedd eu golygiadau a'u teimladau hwy eu hunain ar y mater. Ymroddodd chwech o'r brodyr yn hollol i ni i wneyd fel y gwelem yn dda â hwynt. Wedi ymgynghoriad a gweddi ddifrifol, dewisasom ddau allan o'r chwech, a chynghorasom y Gymanfa i'w danfon allan. Cymeradwyodd y Gymanfa ddewisiad y Cyfarwyddwyr gyda golwg ar un o honynt, ond gwrthwynebwyd dewisiad y llall, gan y bernid na ddylai gael ei symud o'r lle yr oedd yn llafurio yn selog a llwyddiannus ynddo, yn gymaint a bod y lle hwnw yn faes Cenadol ei hun, yn y parth gorllewinol o'r Iwerddon. Annogwyd y Cyfarwyddwyr i ddewis un arall yn ei le, a'r Arglwydd a'u nerthodd yn fuan i gyflawni y gorchwyl hwnw er boddlonrwydd mawr iddynt eu hunain ac i'r Gymanfa. Canfyddir wrth hyn ein bod wedi myned yn mlaen yn newisiad y Cenadau, ar yr egwyddor fod

* *Ulster*, un o bedair talaeth yr Iwerddon yn cynnwys naw o Siroedd.

holl weinidogion yr Eglwys yn weision i'r Corff, ac yn rhwym i lafurio lle bynag y gwel yr Eglwys yn dda eu danfon. Yr ydym wedi dewis dau o'n brodyr mwyaf cymeradwy, y rhai oeddynt anwyl a defnyddiol yn eu plwyfydd,—yn addas i lafurio mewn unrhyw le, ac wedi eu cynysgaeddu yn helaeth â doniau, ac â gras.

Dygwyddodd, ar yr un amser ag yr oedd y ddau frawd hyn i gael eu neillduo at y gwaith Cenadol, fod y Gymanfa yn cyfarfod i berffeithio ei hundeb â chorff yr Ymneillduwyr (*Seceders*) yn Iwerddon. Ystyriwyd hyn yn amgylchiad dedwyddol, a threfnwyd fod neillduad y Cenadau i fod yn orchwyl cyntaf y Gymanfa Gorfforedig, cygynted ag y gwnelid cyhoeddiad ffurfiol o'r undeb. Dygwyd y rhag-drefniad hwnw yn mlaen, a neillduwyd y Parch. Mri. Glasgow a Kerr fel Cenadau at y paganiaid, yn ardal *Katiawar*, yn India'r Dwyrain, dros 'Gymanfa Gyffredinol Eglwys Bresbyteraidd yr Iwerddon.' Dydd i'w gofio ydoedd hwnw; pery ei ddylanwad tra paräo côf; a henaint a'i hadgofia yn aml, ac a fynega pa beth a wnaed arno i genedlaethau dyfodol.

Ar ddydd neillduad y Cenadau nid oedd genym ddim arian i'w danfon allan. Yr oeddym wedi barnu os gwnai Duw roi dynion i ni, y rhoddai efe arian i ni hefyd yn fuan; ac nid ofer fu ein ffydd. Dechreuwyd tanysgrifiad yn y Gymanfa, a'r aelodau a gyfranasant y'nghylch £500. Appeliwyd at gynulleidfaoedd *Belfast*, y rhai a gasglasant £600. Anfonodd llawer o gynulleidfaoedd yn y wlad eu cyfraniadau, o honynt eu hunain. Yr oedd gan ein brodyr y *Seceders* tua £200 mewn llaw, yr hyn a fwriasant i'r drysorfa gyffredinol; ac fel hyn, mewn dau fis, y casglwyd tua £1500 i ddechreu ein hanturiaeth Genadol. Galluogwyd ni â'r swm crybwylledig i ddwyn traul *Outfit* ein dau Genad a'u gwragedd, i dalu eu llong-lôg o Liverpool i Bombay, ac i dalu eu cyflog am flwyddyn yn mlaen llaw. Maent i gael yr un tâl a'r hyn a roddir yn gyffredin gan Eglwys *Scotland*. Yr oedd gallu a phresennoldeb Duw mor amlwg yn yr hyn oll a wnaed, fel y llanwyd ein calonau o lawenydd. Ymddangosai pawb fel pe baent wedi eu meddiannu â gwresogrwydd sanctaidd yr achos Cenadol. Rhoddodd Duw ffafr i'r anturiaeth ar bob llaw. Nid oedd dim cost ar ddiwalliad arianol y *Bankers*; trosglwyddwyd ein Cenadau a'u gwragedd oddiyma i Liverpool yn ddi-gost, trwy haelioni perchenogion yr agerdd-long;—mewn gair, yr oedd pawb ag sy'n proffesu dim parch i'r gwirionedd yn ymddangos yn awyddus i gymeryd rhan yn y gwaith, tra yr oedd gelynion Cristionogaeth wedi synu a chythruddo.

Awst y 29ain, 1840, hwyliodd ein brodyr i Liverpool, ar ol gwasanaeth tra effeithiol ar fwrdd yr agerdd-long, lle yr ymgasglodd llawer i ddangos eu cydymdeimlad a'u cariad, ac i ganu yn iach i'w cyfeillion hoff. Yn mhen ychydig ddyddiau ar ol eu dyfodiad i Liverpool, cychwynasant tua Bombay ar fwrdd llong a elwir 'Wave.' Y mae Dr. Wilson yn eu dysgwyl yn Bombay, ac y maent wedi eu cyfarwyddo i ymgynghori a chydweithredu â Chenadon Eglwys *Scotland* gymaint ag a fyddo'n bosibl, i ddyfod yn gydnabyddus â'u cynlluniau a'u gweithrediadau hwy, ac i ymdebygoli iddynt gymaint ag y byddo modd, ac fel y byddo eu sefyllfa yn caniatâu.

Pa beth bynag fydd dylanwad dyfodol ein Cenadaeth, y mae daioni annhraethadwy wedi cael ei effeithio gartref eisoes. Mae ein Heglwysi wedi eu deffroi a'u cynhyrfu mewn ysbryd o gydymdeimlad, yn mhell tu hwnt i ddim a allesid ei ddysgwyl. Mae yr Arglwydd eisoes wedi rhoddi i ni arwydd er daioni, yn haelioni, a difrifoldeb, ac ysbryd gweddi ei bobl. Cyn i'r brodyr gychwyn, hysbyswyd fod cyfarfod gweddi i gael ei gynal yn Belfast, a gorlanwyd un o'n Heglwysi helaethaf, tra yr oedd y bobl yn tywallt eu calonau mewn gweddi dros ein Cenadau a'u gwaith. Pan y rhoddodd Duw orchymyn i Jeremia gyhoeddi ei farnedigaethau, efe a roddodd iddo yn arwydd "wialen almon," yr hon a arwyddai, yn ol yr esboniad a roddodd efe ei hun, "Canys mi a brysuraf fy ngair i'w gyflawni." Yr oedd y pren almon yn blodeuo yn gynar ac yn fuan, yr hyn oedd yn arwyddo cyflym gyflawniad o air yr Arglwydd. Ac yr ydym ninau hefyd yn sicr wedi cael ein harwydd, "arwydd er daioni:"—y mae'r ysbryd a roddodd Duw i'w bobl gartref, yn ernes y bendithia ac y llwydda efe eu gwaith mewn gwlad Dramor, ac y prysura efe ei air, gair ei drugaredd a'i addewid, i'w gyflawni."

FY 'HOFFUS GYFAILL.—Ysgrifenwyd yr hanes uchod gan weinidog enwog yn Belfast; a'r hyn a'm cymhellodd i anfon cyfieithiad o hono i chwi oedd y tebygolrwydd sydd ynddo i hanes 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig.' Llonwyd fi yn fawr pan ddarllenais ef gyntaf, ychydig ddyddiau yn ol, a diammheu genyf y syna llawer o'ch darllenwyr, wrth ganfod mor hynod o debyg yw y ddwy Gymdeithas i'w gilydd, o ran yr egwyddorion ar ba rai y sylfaenwyd hwy,—bychandra eu dechreuad,—y dull yn mha un y maent wedi gweithredu hyd yn hyn, ac effeithiau daionus eu sefydliad ar gynnulleidfaoedd y ddau gorff y perthynant iddynt. Ai tybed mai ammhriodol ydyw i ni, wrth olygu'r amgylchiadau hyn, 'ddiolch i Dduw, a chymeryd cysur?' Cymhellir a chalonogir dynion y byd i ymosod ar anturiaethau mawrion trwy weled ereill yn gwneuthur yr un modd; a digon cyfreithlon, tybygwyf, ydyw i ninau ymwroli gyda 'r achos Cenadol, pe na b'ai genym amge-

sail i hyny, na bod y fath gorff enwog a Phresbyteriaid yr Iwerddon wedi gweithredu yn yr un achos, yn gymhwys oddiar yr un egwyddorion, a bron yn hollol yn yr un llwybr; a hyny heb fod y naill gorff yn gwybod dim am symudiadau y llall yn yr achos. Ond, pe na byddai genym yr amgylchiadau rhag-grybwylledig i'n calonogi i fyned yn mlaen gyda'r gorchwyl sydd genym mewn llaw;—a phe b'ai pob plaid arall o grefyddwyr yn eistedd i lawr mewn diofalwch yn achos lledaeniad yr efengyl, ein dyledswydd ni yw llafurio â'n holl egni i'w danfon i blith yr holl genedloedd. Canys gorchymyn Pen mawr ei eglwys ydyw, 'Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur;' a pha gymhelliad cryfach a all neb o honom ei ofyn na'i orchymyn ef? a pha galondid mwy a all neb ei ddymuno na'i addewid ef, 'Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd?' Wrth ei ganlynwyr y llefarodd Efe fel hyn; ac os ydym ninau yn ystyried ein hunain yn eglwys i Grist, dylem gofio fod y gorchymyn sydd genym yn sail i'n gwaith yn ymgorffoli yn eglwys, ac yn rym i'n hymdrechiadau i ledaenu'r efengyl yn ein gwlad ein hunain, ac i ddysgu ein cydgenedl a'n cymydogion, yn ein rhwymo hefyd i bregethu yr efengyl, hyd y mae'n bosibl i ni, 'i bob creadur,' ac i wneyd a allom i ddysgu 'yr holl genedloedd.' Canfyddir, wrth yr hanes uchod, mai ystyriaeth o'r rhwymedigaethau hyn a dueddodd Cymanfa Ulster i sefydlu ei Chymdeithas hi, a'r un peth sydd wedi peri i rai o honom ninau ddymuno, er ys blynyddoedd bellach, i'r Corff y perthynwn iddo ymffurfio yn Gymdeithas Genadol Dramor. Teimlem yn dra sicr, wrth ddymuno felly, y byddai cael Cymdeithas o'r fath, yn foddion i gyffroi meddyliau ein cyfeillion i dosturio yn fwy dwys dros y cenedloedd sy'n amddifaid o air y bywyd, i weddio yn fwy dyfal drostynt, ac i gyfranu yn fwy helaeth tuag at anfon yr efengyl iddynt; ac y mae'r hyn sydd wedi cymeryd lle eisoes, yma ac yn y Dywysogaeth, ar ol sefydlu 'y Gymdeithas Genadol Gymreig,' wedi cyfiawnâu yn hollol y dysgwyliadau oedd genym ar y pen hwn. Mae hyn, mi feddyliwn, yn ddigon o reswm dros ein gwaith yn ymneilldu o oddiwrth Gymdeithas Genadol Llundain. A chan fod pob lle i ddysgwyl y gweithreda ein cyfeillion yn fwy egniol gyda'r achos Cenadol ar wahan, nid wyf yn gweled pa fodd y gall neb o bleidwyr y Gymdeithas hono,—hyd yn nod y Dirprwywyr eu hunain, feio arnom am hyny. Yn wir, byddai yn anghyson iawn iddynt wneyd; canys pe gofynid iddynt paham yr oedd yn rhaid sefydlu y cyfryw Gymdeithas, pan oedd Cymdeithasau Cenadol ereill eisoes mewn gweithrediad, yr wyf yn mawr gam-gymeryd os nad yr un rheswm a ddygid dros hyny, a'r hyn a roddais uchod, sydd wedi ein cymhell ni i sefydlu 'y Gymdeithas Genadol Gymreig,' a Phresbyteriaid yr Iwerddon eu Cymdeithas hwythau. Mewn gair, oddiar gyffelyb egwyddor y sylfaenwyd yr holl wahanol Gymdeithasau Cenadol sydd yn ein gwlad; a diau fod llawer mwy yn cael ei wneyd felly tuag at ledaenu'r efengyl dros y byd, na phe buasai ein holl weithrediadau Cenadol yn cael eu dwyn yn mlaen o dan olygiad rhyw *un* Gymdeithas gyffredinol: a hyd nes delo cristionogion i fod yn unffurf mewn barn ar athrawiaethau yr efengyl, a llywodraeth eglwysig, fel hyn, ond odid, y parâ yr eglwysi i weithredu hefo'r achos Cenadol.

Y mae sylwadau rhagorol ar yr achos hwn wedi cael eu cyhoeddi yn ddiweddar, gan un o ysgrifenwyr mwyaf adeiladol yr oes,* a chrefaf ganiatâd i osod dyfyniad cyfieithiedig o honynt ger bron eich darllenwyr. Ar ol crybwyll am y diffyg *egwyddor sanctaidd* sydd yn yr eglwys yn ei llafur Cenadol, y mae 'n sylwi fel y canlyn, —"Ymddengys fod yr eglwys, megys o un fryd, wedi bwrw oddiwrthi y rhwymedigaeth o ddwyn y gwaith Cenadol yn mlaen. Onid felly y mae,—fod y gwaith o ledaenu'r efengyl fel ped fae yn gorphwys llai ar yr eglwys nag ar Gymdeithasau gwahanol? Ond yn mha le, yn ngair Duw, y darllenwn fod Pen mawr yr eglwys wedi dyweyd wrth un *Gymdeithas* Genadol, 'Ewch *chwi* i'r holl fyd,' &c. Hyn a ddywedodd efe wrth ei eglwys broffesedig. Y mae'r rhwymedigaeth uchel ac arbenig o efengyleiddio cenedloedd y byd, ynte, yn ol yr apwyntiad dwyfol a gwneiddiol, yn gorphwys yn hollol ac yn ddifrifol ar eglwys Crist. A hyn ni all drosglwyddo i unrhyw Gymdeithas, na pherson unigol. Ac etto, gofynaf drachefn, onid felly y mae,—fod holl zel, a llafur, a hunan-ymwadiad, yr anturiaeth sanctaidd hon, wedi ei roddi ar ryw ychydig bersonau, sydd yn ffurfio Cyfeisteddiad, Trysorydd, Ysgrifenydd, &c.? Onid yw yr holl waith o drefnu cynlluniau, casglu arian, dewis Cenadau, pennodi maes eu llafur, a'u danfon allan, wedi cael ei droi trosodd gan yr eglwys, (i'r hon y perthyn y gwaith) i'r ychydig frodyr hyn? Nid wyf yn dyweyd gair yn erbyn buddioldeb y Sefydliadau Cenadol sydd yn bod:—y maent, yn ol natur yr achos, yn anhebgorol angenrheidiol; ac nis gallaf weled pa fodd y gellir eu hebgor, tra byddo'r ysbryd Cenadol mor isel, heb attal ein holl weithrediadau, Cartrefol a Thramor. Ond dywedaf etto, pe ba'i yr eglwys yn gwneyd ei dyledswydd, fel y mae o dan rwymedigaethau difrifol i

---

* Y Parch. Octavius Winslow, awdwr y ddau lyfr rhagorol, 'The inquirer directed to an Experimental and Practical view of the Atonement,' Ditto of the work of the Holy Spirit.'

wneyd, byddai y cyfryw Sefydliad yn afreidiol. Mae yn wir y byddai ar yr eglwys eisiau ei swyddogion; ond byddai y rhai hyny yn ychydig, ac yn gynil. Ceid mai doethineb fyddai i'r eglwys leihau ei *machinery* mawr, a bwrw yr hyn y mae yn awr yn talu i'w gynal, i drysorfa yr Arglwydd yn uniongyrchol. Yn lle gofyn ymweliad blynyddol dau o weinidogion i bleidio yr achos yn mysg yr eglwysi, mewn trefn i adgoffa iddynt eu dyledswydd, i gyffroi eu *zel*, a'u cymhell i haelioni, hwy a ddeuent yn mlaen yn ewyllysgar o honynt eu hunain, ac ni byddai eisiau ond yr amnaid i'w cael i roddi eu haberthau gwirfoddol ar yr allor Genadol. A ydyw yr eglwys Gristionogol yn deall yn hollol y cyfrifoldeb neillduol a phwysfawr y mae hi fel hyn yn daflu oddiarni ei hun wrth ei drosglwyddo i Sefydliad gwahanedig? A ydyw hi yn ystyried y *gallu* tra mawr â pha un y mae'n gwisgo y cyfryw Sefydliad? A ddarfu hi erioed feddwl fod y cyfrifoldeb hwnw bron yn ormod i ymgynal tano, a'r gallu hwnw bron yn annherfynol? A ydyw hi yn pwyso 'n ddifrifol y ffaith fod swyddogion ei gwahanol Gymdeithasau Cenadol, nid yn unig yn olygwyr arianol, ond eu bod hefyd wedi eu gwisgo âg awdurdod ysbrydol o'r fath mwyaf difrifol?—eu bod yn cymeryd allan o'i dwylaw hi, holl oruwch-olygiad y gwaith Cenadol, yn dewis ei Chenadau, barnu eu duwioldeb, trefnu maes eu llafur, a phenderfynu ar y lleoedd i ba rai y cânt eu danfon? A ddarfu hi erioed ystyried mai hwynt hwy, yw yr unig frawdle ddaearol y mae Cenadau yn gyfrifol iddi, tra nad ydynt hwy, yn eu sefyllfa swyddawl, yn gyfrifol i unrhyw gorff eglwysig? A pha wahaniaeth bynag mewn barn a ddichon godi rhwng Cenadau ar led, neu rhwng y Cenadau hyny â'r Cyfeisteddwyr gartref, nad oes yr un llys arall nac uwch i appelio ato,—yn gymaint a bod yr eglwys wedi gwisgo swyddogion ei gwahanol Sefydliadau âg awdurdod eglwysig sydd yn ddiderfyn, a phenderfyniadau pa un sydd ddigyfnewid! A ddarfu yr eglwys Gristionogol, gofynaf etto, ystyried y pethau hyn yn ddifrifol ac yn ffyddlon? Yr wyf yn meddwl naddo. Dealler fy mod yn addef yr angenrheidrwydd am Sefydliadau Cenadol, yn amgylchiadau presennol pethau;—a hyd nes y delo yr eglwys i weled a theimlo yn fwy dwys ei rhwymedigaeth personol ei hun i Dduw, ac i'r byd;—hyd oni ddychwelo at ei nodwedd Apostolaidd, ac i gymeryd y gwaith o efengyleiddio y byd i'w llaw ei hun, fel y byddai arfer a gwneyd,—y bydd y cyfryw Sefydliadau yn angenrheidiol. Yr wyf yn meddwl hefyd fod y cyfryw Sefydliadau wedi cyflawni y gwaith a ymddiriedodd yr eglwys iddynt, yn ffyddlon a da,—ac ystyried yr holl anmherffeithrwydd, y gwahanol farnau, &c, a raid fod, o angenrheidrwydd, yn gysylltiedig â'r cyfryw Sefydliadau.

* * * "Wrth son am yr eglwys yn cymeryd i'w llaw ei hun y gwaith o ledaenu yr efengyl, trwy offerynoliaeth Cenadau, cyfeiriaf at yr eglwys yn ei nodweddiad rhanedig. Y peth y dadleuaf yn bennodol am dano, yw, y dylai pob cyfundeb crefyddol ymgorpholi yn Gymdeithas Genadol,—ffurfio ei Gyfeisteddiad ei hun, dewis ei ddynion ei hun, pennodi maes eu llafur, a'u cynal yn y gwaith. Byddai y buddioldeb cysylltiedig â'r drefn hon yn fawr iawn. Byddai y perygl o ddewis a danfon allan ddynion annghymhwys yn llawer llai;—byddent yn ddynion ag y cafodd yr eglwys, o fynwes yr hon y dewisid hwy, gyfleusteri farnu yn deg am eu duwioldeb, eu hysbrydolrwydd, a'u cyrhaeddiadau,—yn ddynion profedig,—dynion yn mwynâu ymddiried y corff a'u dewisent. Byddai dylanwad llwybr felly o weithredu ar y cyfryw eglwys Genadol yn dra ffafriol i'r achos a'r ysbryd Cenadol. Sefydlid dyddoreb (*interest*) o natur ddofn, arosol, a chynyddol, yn mhob eglwys. Plenid hedyn Cenadol yno, a pharâu a wnai hwnw i dyfu ac ymledaenu, nes i'w ganghenau ymwau o amgylch pob aelod o'r eglwys; y surdoes gwerthfawr hwn yn fuan a lefeiniai yr holl does. Buddioldeb arall i'r cyfryw eglwys oddiwrth y drefn hon fyddai sefydlu cynnadledd cyson a hyfryd rhwng yr eglwys â'r byd paganaidd, trwy gyfrwng gohebiaethau ei Chenadau. Rhoddai hysbysrwydd cyson y'nghylch cynydd neu aflwyddiant teyrnas Crist faeth parâus i'r ysbryd Cenadol, gan y byddai yn ddefnydd a chymhelliad i lafur a gweddi mwy dyfal. A hyn yn ei dro, a barai ddylanwad iachusol ar dduwiolfrydedd yr eglwys, gan ychwanegu ei hysbrydolrwydd, dyfnâu ei sancteiddrwydd, cyffroi a sancteiddio ei chydymdeimlad, cydgrynôi ei galluoedd, a rhwymo yr holl gorff yn fwy agos fel un frawdoliaeth sanctaidd. Oblegyd, pa beth sy'n peri dylanwad mwy sanctaidd ar eglwys,—a pha beth sy'n *cementio* a gwau aelodau eglwys y'nghyd yn fwy agos na chydymdeimlad a chydweithrediad yn achos y byd colledig? Pe b'ai cristionogion, y rhai sydd yn awr yn coleddu ymraniadau ac ymrysoniadau yn eu plith eu hunain, gan wanâu a threulio eu nerthoedd mewn dadleuon segur ac ansanctaidd, yn deffroi i ystyried achos chwe' chan' *miliwn* o baganiaid, ac i deimlo eu rhwymedigaethau pennodol a pharâol i Dduw a'r paganiaid,—O mor fuan yr iacheid pob ymraniadau, ac y darfyddai pob llid a malais! Collid ac annghofid y cyfan mewn cydymdeimlad cyffredin dros alwedigaeth eglwys waredigol i Grist, yr hwn a lyngcai pob peth iddo ei hun, ac a effeithiai ar yr holl frawdoliaeth.

"Y mae rhyw gyd-lesoldeb, fel y dangoswyd, yn yr anturiaeth Genadol, ag sydd yn tueddu 'n gryf i gymhell ei hawl ar eglwysyr Arglwydd Iesu Grist, ac i'w cynhyr

lafur mwy egnïol ac unol yn y gwaith. Mae'r eglwysi hyny sydd yn ffafro a chynal yr achos sanctaidd hwn, yn cael eu bendithio a'u cynal, mewn canlyniad, gan yr achos a gynorthwyant. Y rhai a roddant help i gloddio'r ffos trwy ba un y mae dyfroedd bywiol y cysegr yn cael eu danfon i ffrwythloni ac adfywio 'r anialwch moesol, a ddyfrêir eu hunain. Y mae bendith ddeublyg ar haelioni Cristionogol; mae'n bendithio y sawl sydd yn ei ymarfer, yn gystal a'r neb sydd yn ei dderbyn. Dim ond i'r eglwysi gael eu bedyddio â'r ysbryd Cenadol, a rhaid y byddant yn bobl ffafredig, mewn modd neillduol, gan Dduw. Gwaith Duw ydyw, a rhaid y bydd y rhai oll a gydweithiant drosto ef yn y gwaith, yn fendigedig ganddo ef. Tra yn llunio llwybr i wellâu y byd sy'n gorwedd mewn drygioni,—tra yn coleddu awyddfryd serchog am iachawdwriaeth pechaduriaid, a chynydd teyrnas Crist, chwanegir eu ffrwythlondeb ysbrydol eu hunain; cryfeid eu heddwch a'u cariad brawdol, eu dyfalwch mewn gweddi a'u hysbrydolrwydd; a chawodydd bendith a ddisgynent ar eu gwinllan eu hunain, ac o'u hamgylch. Nid oes i'r darllenydd ond adolygu hanes y corff y perthyna iddo, i gael prawf o wirionedd y sylw hwn. * * * Gallaf yn hyderus lefaru am yr enwad yr wyf fi fy hun mewn cysylltiad âg ef, a dyweyd yn ddibetrusder, na fuasai hanner y rhifedi, na'r duwioldeb, na'r dylanwad ac sydd ynddo yn awr, oni buasai y dyddordeb dwfn, a'r cydweithrediad a deimlwyd ac a weithredwyd ganddo, yn yr anturiaeth ddwyfol hon. Yr oedd yr amser ag yr agorodd Rhagluniaeth ddrws iddo i anfon Cenadau i'r Trefedigaethau ac i'r Dwyrain, yn adeg newydd a dysglaer yn hanes y Corff. O'r amser hwnw y mae llanw o fendithion wedi bod yn rhedeg i mewn i'r eglwysi. Mae Duw wedi codi dynion, a thywallt cyfoeth i mewn, ac y mae'r ddau wedi cael eu rhoddi yn wirfoddol ac yn hael ar yr allor Genadol. A diammheu genyf y cadarnêid yr un peth trwy hanes enwadau Cristionogol ereill.

"Nid oes dim, ychwaith, a dueddai mor effeithiol i dynu eglwysi Crist yn fwy agos at eu gilydd,—i ddifa eu cenfigenau, a dystewi eu hymrysonau, â rhyw gydymdeimlad cyffredinol dros y rhai a ddisgynant i'r pwll mewn anwybodaeth ac anwiredd, ac ymdrech cydunol a chyffredinol i'w gwaredu. Rhwymyn cydymdeimlad dros yr amddifaid oddi cartref, a fydd yn rhwymyn undeb rhwng yr eglwysi gartref. Ni cheir dim amser i gyneu a chodi ffagl annghydfod ac ymryson. 'Y byd i Grist' fydd yr unig arwydd-air ar y faner, a'r unig rybudd air yn mysg lluoedd Israel Brydain. A'r rhwymyn mawr sydd etto i uno eglwys Crist yw yr achos Cenadol. Y mae Crist, trwy ei groes, i dynu pawb ato ei hun; ac Ysbryd Crist, yr hwn yw yr ysbryd Cenadol, a dŷn holl ganlynwyr Crist at eu gilydd. Ac ond i'r egwyddor hon lenwi'r eglwysi,—ond iddynt deimlo yn ddwys fod yn rhaid iddynt fod yn Genadol eu cyfansoddiad, yn Genadol eu cymeriad, ac yn Genadol eu hysbryd,—ond iddynt gredu'n ddifrifol mai arnynt hwy y gorphwysa 'r gwaith o efengyleiddio cenedloedd y byd,—ond iddynt ddyfod yn llu cyfammodol 'yn gynorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn,' buan yr atebid gweddi y Gwaredwr, 'Fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti y Tad ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni; fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i.' O! pa bryd yr ymwregysa eglwys yr Arglwydd Iesu at y gwaith mawr o bregethu'r efengyl i bob creadur? Pa bryd y teimla mai ei gwaith *hi* yn unig ydyw?—ac mai ei gwaith priodol hi ydyw, pwy a fedr ammheu?—Yr eglwys yw unig drysordŷ y gwirionedd ar y ddaear. Od oes dim sancteiddrwydd yn y byd, od oes dim cydymdeimlad, neu oleuni, neu ddylanwad iachusol, yma y mae. Oddiallan i'r eglwys nid oes ond tywyllwch ysbrydol, ac anmhuredd moesol. Hi yw 'goleuni y byd,' a 'halen y ddaear.' Iddi hi, fel offeryn, yr ymddiriedwyd tynghed moesol y byd; mae ganddi y goleuni a wasgara ei dywyllwch, yr halen a ettyl ei lygredigaeth moesol, y feddyginiaeth a iachâ ei afiechyd moesol. Os bydd hi yn anffyddlon i'w hymddiried, pwy a geir i gymeryd y gwaith mewn llaw, ac i gyflawni gorchymyn y Gwaredwr dyrchafedig? O! pa bryd yr ymgyfyd yr eglwys i'w mawredd a'i dyrchafiad priodol ei hun? Pa bryd y teimla hi na ellir trosglwyddo ei rhwymedigaethau yn y gwaith mawr hwn i unrhyw berson unigol na sefydliad gwahanedig?—bod ganddi rhyw beth ychwaneg i wneyd na chodi peiriant mawr i fynu, ei osod ar dro, ac yna gorwedd a chysgu?—bod yn rhaid iddi wneuthur yr hyn y mae rhwymedigaeth arni i ymaflyd ynddo â'i llaw, â'i holl egni? Atebaf, ni ddaw hi byth, hyd oni chaffo ei bedyddio yn fwy nerthol â'r Ysbryd, a'i chydffurfio'n fwy manol âg esiampl Arglwydd bendigedig Cenadaethau."

Yr oeddwn wedi bwriadu dyweyd gair mewn ffordd o gyfarchiad at ieuengctyd crefyddol, yn enwedig Efrydwyr Athrofa y Bala, ond rhag ofn blino eich darllenwyr yn ormodol â meithder, terfynaf yn awr, gan hyderu y caiff y sylwadau blaenorol ystyriaeth ddyladwy gan y sawl sydd etto yn hwyrfrydig i gynorthwyo ein Cymdeithas, ac y byddant yn foddion i gadarnâu meddyliau ein cyfeillion o barth teilyngdod yr anturiaeth yr ydym wedi cymeryd mewn llaw. Ydwyf, &c.

JOHN ROBERTS

*Liverpool*, Mawrth 8, 1841.

## HANESION CARTREFOL.

CASGLIAD CENADOL SIR FON,

*Am y fl.* 1840.

Barchedig Syr—Derbyniais, oddiwrth y Parch. Ebenezer Davies, y rhestr isod o gasgliadau cynnulleidfäoedd y Trefnyddion Calfinaidd yn Môn at yr achos Cenadol, yn y flwyddyn 1840. Efallai y ceir hysbysiad eto pa fodd y neilldawyd yr arian at y Cymdeithasau Cenadol. Dymunir cael y cyfrifon yn ddioed oddiwrth y Siroedd ereill.——Yr eiddoch, &c.

*Wyddgrug.* Roger Edwards.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Aberffraw | £2 | 9 | 0 |
| Amlwch—Casgliad Cyhoeddus | 9 | 17 | 0 |
| Rhodd y Parch. W. Roberts | 1 | 0 | 0 |
| „ Mr. W. Hughes | 1 | 0 | 0 |
| „ Miss Mary Jones | 0 | 10 | 0 |
| Ysgol Sabbathol—Dosparth cynnorthwyol y meibion | 1 | 7 | 6 |
| Dos. cynnorthwyol y merched | 1 | 8 | 5 |
| Dos. Miss Margaret Roberts | 0 | 10 | 6 |
| Borthaethwy | 6 | 13 | 7 |
| Brynsieucyn | 6 | 10 | 0 |
| Bethania | 3 | 12 | 0½ |
| Bethel | 4 | 18 | 8 |
| Bryn-du—Casgliad Cyhoeddus | 2 | 0 | 1 |
| Rhodd Mr. Jones Llangwyfan | 1 | 0 | 0 |
| Bodedern | 3 | 18 | 10½ |
| Bethlehem—Casgl. Cyhoeddus | 2 | 18 | 4½ |
| Cyfaill i Gymdeithas Werddonig Llundain er sefydlu Ysgolion, a lledaenu yr Ysgrythyrau sanctaidd yn yr Iwerddon | 1 | 0 | 0 |
| Bethesda | 5 | 13 | 9 |
| Beaumaris | 6 | 13 | 0 |
| Caergeiliog | 2 | 2 | 1 |
| Carmel | 0 | 15 | 0½ |
| Caergybi—Casgliad ar ol pregethau gan y Parch. Wm. Roberts | 13 | 10 | 4 |
| Tanysgrifiadau—H. Evans, Ysw. | 1 | 0 | 0 |
| W. Owen, Ysw | 1 | 0 | 0 |
| Mr. T. Jones | 1 | 0 | 0 |
| Cyfaill i'r Genadaeth yn India, gan R. J. | 0 | 10 | 0 |
| Blwch Cenadol gan A. G. | 0 | 8 | 0 |
| „ S. M. Owen | 0 | 6 | 6 |
| Cefn-iwrch | 0 | 10 | 1 |
| Dwyran | 7 | 5 | 5½ |
| Dothan | 4 | 0 | 0 |
| Elim | 1 | 12 | 1½ |
| Gaerwen | 7 | 2 | 11 |
| Gosen | 5 | 9 | 0 |
| Gilead | 2 | 13 | 0 |
| Glasinfryn | 0 | 18 | 2½ |
| Gorslwyd | 1 | 17 | 8 |
| Gwalchmai | 3 | 9 | 6 |
| Hebron | 2 | 3 | 0 |
| Hafodlas | 1 | 8 | 2½ |
| Llanfair | 3 | 10 | 6 |
| Llangefni | 14 | 8 | 6 |
| Llangristiolus | 5 | 4 | 9 |
| Llanfwrog—Casgl. Cyhoeddus | 4 | 10 | 1 |
| Blwch Cen. Miss E. Jones | 2 | 14 | 0 |
| „ Mr. E. Elias | 1 | 6 | 9 |
| Llanfaethlu | 3 | 2 | 0½ |
| Llanrhuddlad | 2 | 14 | 0 |
| *Llanerch-y-medd | 4 | 0 | 8½ |
| Llanallgo | 1 | 19 | 1 |
| Llanddona | 3 | 4 | 11½ |
| Llangoed | 2 | 0 | 6 |
| Llandegfan | 1 | 5 | 10½ |
| Moriah | 0 | 13 | 7½ |
| Newborough | 9 | 9 | 0 |
| Nebo | 2 | 16 | 4 |
| Nazareth | 2 | 10 | 6 |
| Parc | 1 | 0 | 0 |
| Penygarnedd a Phenucheldref | 5 | 8 | 9 |
| Rhoscolyn | 2 | 8 | 2 |
| Siloh—Casgliad Cyhoeddus | 1 | 13 | 8 |
| Ysgol Sabbathol, Merched | 2 | 16 | 9 |
| „ Meibion | 1 | 10 | 2½ |
| Casgl. Cwrdd Gweddi Misol | 0 | 5 | 0½ |
| Sion | 2 | 15 | 6 |
| Siloam | 2 | 2 | 5 |
| Talwrn | 2 | 12 | 7 |
| Ty'n-y-maen—Cas. Cyhoeddus | 2 | 10 | 4 |
| Blwch Cen. Miss M. Rowlants | 0 | 6 | 8 |
| Tŷ Mawr | 2 | 17 | 0 |
| Tabernacl | 3 | 4 | 1 |
| Tabor (Llanynghenedl) | 1 | 5 | 7 |
| | £220 | 10 | 10½ |

*Cyfanswm Casgliadau amryw fanau ag sydd wedi eu rhoddi i lawr yn fanylaidd yn y Cyfrif uchod.*

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Amlwch | £15 | 13 | 5 |
| Bryndu | 3 | 0 | 1 |
| Bethlehem | 3 | 18 | 4½ |
| Caergybi | 17 | 14 | 10 |
| Llanfwrog | 8 | 10 | 10 |
| Siloh | 6 | 5 | 8 |
| Ty'n-y-maen | 2 | 18 | 0 |

## Y SENEDD YMERODROL.

Mae Argl. Stanley wedi dwyn i mewn i Dŷ y Cyffredin gyffelyb Ysgrif ag a ddygodd efe y llynedd, yr hon, yn ol ei farn ef, a'r lleill o'r *Tories*, sydd yn gynnygiad ar welliant yn y gyfraith am Gofrestraeth Pleidleiswyr yn newisiad Aelodau y Senedd yn y Werddon. Llwyddodd Swyddogion y llywodraeth y llynedd i'w hattal rhag passio drwy y Senedd. Ond y leni, dyg yr un Boneddwr gyffelyb Ysgrif i'r Tŷ. Ac yn y cyfamser, dyg Argl. Morpeth Ysgrif oddiwrth y Llywodraeth, yr hon a farnai y Swyddogion ei

* Gwnaeth Ysgol Sabbathol Llanerch-y-medd gasgliad o £7 16s. heblaw y swm uchod a wnawd gan y gynnulleidfa, ac anfonwyd i Liverpool oll, *heb godi y doll arnynt*, gan Mr. John Williams, yr Arolygwr.

bod yn welliant mwy addas ac angenrheidiol na'r eiddo Argl. Stanley, i'r un perwyl. Ac yna dyma ddwy Ysgrif yn cael eu dwyn i mewn, mewn enw i'r un amcan, ond yn mhell o gario yr un effeithiau ar drigolion y Werddon. Mae Ysgrif Arglwydd Stanley yn tueddu i leihau nifer y pleidleiswyr, yn enwedig y rhai isel radd; eithr mae Ysgrif y Llywodraeth, yn tueddu yn hytrach i'w chwanegu hwynt. Ac, fel y mae y Llywodraeth yn cael y rhagorfraint o flaenori, hwy a ddygasant eu hysgrif i'r Tŷ, i'w hail ddarllen ar yr 22ain o Chwefror. Yna gwnaed prawf i'r eithaf, unwaith etto, ar ddoniau, nerth, ac effeithiolaeth y *Whigs* a'r *Tories* yn y Tŷ, Dyg Argl. Stanley i mewn Ddeiseb o Liverpool wedi ei llawarwyddo gan saith ar hugain o filoedd o'r trigolion, o blaid ei Ysgrif ef. Dyg Argl. Morpeth i mewn Ddeiseb o Dublin wedi ei llawarwyddo gan dros dri chan mil o drigolion, o blaid ei Ysgrif yntau. Parhawyd i ddadleu am bedwar diwrnod; ac ar y 25ain rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid Ysgrif y Llywodraeth | 299 |
| Yn ei herbyn hi | 294 |
| Mwy o blaid y Llywodraeth o | 5 |

Yna hysbysodd Argl. J. Russell y bydd iddo ef roi digon o amser i Aelodau y Tŷ i ystyried y peth, ac y bydd iddo ddwyn yr Ysgrif i mewn i'w manylu mewn Eisteddfod o ddarn i ddarn ar y 23ain o fis Ebrill, sef yr wythnos gyntaf ar ol gwyliau y Pasc.

## LLYFRGELL YR ATHROFA.

(Parhad o du dal. 96.)

GAN MR. EBENEZER COOPER, LLANGOLLEN.

Holl Waith Milton .............. 1 Gyf.

GAN MRS. MARGARET JONES, CORWEN.

Testament Lladin a Groeg ....... 1 „

GAN MR. EVAN LLOYD, TABERNACL, SIR DREFALDWYN.

| | | |
|---|---|---|
| Greek Delectus .................. | 1 | „ |
| Latin Grammar (Eton) ......... | 1 | „ |
| Orations of Demosthenes (Leland) | 1 | „ |
| Baker's Curse of Britain ......... | 1 | „ |
| Schleusner's Lexicon (Carey) .... | 1 | „ |
| Chambaud's French Grammar.... | 1 | „ |
| Chambaud's French and English Idioms .................. | 1 | „ |
| Jones on the Trinity ........... | 1 | „ |
| Greek Testament ....... ....... | 1 | „ |
| Valpy's Latin Grammar ......... | 1 | „ |
| Greek Grammar (Smith's Eton) .. | 1 | „ |
| Merlet's French Grammar......... | 1 | „ |
| Lord Barrington's Works.......... | 3 | „ |

(*I'w barhau.*)

Dyma i'r cyfeillion restr o'r llyfrau sydd eisoes wedi eu rhoddi at Lyfrgell yr Athrofa, a dymunir cydnabod eu haelioni a'u caredigrwydd yn fawr. Mae'n debyg ei fod ar feddwl llaweroedd eto i ddangos eu hewyllys da i'r Myfyrwyr, trwy anrhegion ychwanegol at yr hyn a dderbyniwyd. Fel y dywedwyd o'r blaen, bydd pob llyfr yn dderbyniol ac yn gymmeradwy, ond er cyfarwyddyd i rai, enwir ychydig a fyddent yn dra defnyddiol.

Fe wêl y cyfeillion y bydd pob llyfr ar Dduwinyddiaeth yn fuddiol—ond heblaw hyn, gellir nodi amryw, heb eithrio ereill na enwir, megys *Encyclopædias*, *London* neu'r *British* neu'r *Metropolitana*.—*Lexicons* i'r ieithoedd Lladin a Groeg a Hebraeg.—Grammadegau hefyd i'r ieithoedd hyn, megys *Dr. Lee's*, neu *Moses Stuart's Hebrew Grammar &c*:—*Mathiæ's Greek*, *Zumpt's Latin Grammars &c*.—*Lexicons* i'r Testament Groeg, megys *Schleusner*, *Robinson* (Edit. *Bloomfield*) *&c*. Awdwyr Groegaidd, megys *Thucydides*, *Herodotus*, *Demosthenes*, *Aristophanes*, *Æschylus*, *Sophocles*, *Euripides*, *Homer*, *Xenophon*, *&c*, *&c*., amryw gopiau. Awdwyr Lladinaidd, megys *Tacitus*, *Livy*, *Sallust*, *Juvenal*, *Terence*, *Horace*, *Cæsar*, *Cicero*, *Virgil*, *&c*., *&c*., amryw gopiau. Unrhyw waith ar Ddaearyddiaeth (*Geography*) Seryddiaeth (*Astronomy*), Rhifyddiaeth, *Mathematics* &c.

Er cyfleusdra i'r rhai hyny a ddymunent wneuthur unrhyw anrheg o lyfrau, nodir y personau canlynol, fel Cyfeisteddiad yr Athrofa i'w derbyn.

SIR FON.

Parch. John Elias, Llangefni.
W. Roberts, Amlwch
C. Williams, Pencaint
John Prydderch, Talwrn
Mr. Richard Davies, Llangefni
David Roberts, Mynydd y gôf
John Williams, Frongoch

SIR GAERNARFON.

Parch. James Hughes, Lleyn
John Jones, Talsarn
John Jones, Tremadoc
Mr. John Jones, Beddgelert
John R. Jones, Bangor
John Jones, Ynyscain
W. Williams, Llanerch
E. Roberts, Crug

SIR DREFALDWYN.

Parch. Robert Davies, Llanfair
J. Hughes, Pont Robert
David Morgan, Trallwm
Mr. Hugh Jones, Llanidloes
W. Lloyd, Llanwyddelan
John Jones, Machynlleth

SIR FEIRIONYDD.

Parch. R. Griffiths, Dolgellau
R. Humphreys, Dyffryn
Mr. Humphrey Davies, Corris
William Rees, Towyn
W. Williams, Dolgellau

AMWYTHIG.

Mr. Hugh Griffiths, Barker St.

Caerlleon.
Parch. John Parry, a Mr. Edward Peters

Sir Ddinbych.
Parch. Moses Parry, Dinbych
Hugh Hughes, Llanrwst
John Foulkes, Abergele
Mr. William Jones, Llanrwst
David Edwards, Dinbych
O. Williams, Clawdd newydd

Sir Fflint.
Parch. Robert Roberts, Rhos
John Phillips, Treffynnon
Roger Edwards, Wyddgrug
Mr. David Davies, Treffynnon
Thomas Owens, Treffynnon
Edward Peters, Caergwrle
G. Roberts, Penygardden
Thomas Jones, Wrexham
Ebenezer Cooper, Llangollen

Liverpool.
Parch. J. Hughes, 31, Mount Street
Henry Rees
Mr. David Davies, Paradise St.

Manchester.
Mr. Robert Morris,
John Hughes
James Hughes

Llundain.
Griffith Davies, Ysw. 11, Lombard St.

## PRIODWYD.

Mawrth 2, gan y Parch. R. Brown, yn Nghapel yr Anymddibynwyr, Gwrecsam, Mr. Heth Jones, o'r Mwnglawdd, a Miss Elizabeth Jones, Glan 'r afon, gerllaw Gwrecsam.

Paradwys fo'ch priodi,—rai anwyl,
Hir einioes i'ch lloni;
A byw'n saint mewn braint a bri,
Hyd echwyl oes boed i chwi.

## MARWOLAETHAU.

Ionawr 7, Elizabeth Jones, Tan'rallt, Llanrug, Swydd Gaernarfon, yn 57 oed; wedi bod am 26ain o flynyddoedd, yn aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd.—D. W.

Chwefror 8, yn Pen y cae, Swydd Fynwy, yn dra disymwth, yn 78 mlwydd oed, Owen Enos, blaenor gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn y lle uchod. Yr oedd yn ei iechyd hyd ychydig fynydau cyn iddo farw. Bu gyda'i waith y diwrnod hwnw; ac wrth ddychwelyd adref ymddyddanodd â'r Saer ynghylch gwneyd ei arch. Yr oedd oedfa yn y Capel y noson hòno; ond o herwydd oerni yr hin, a'i henaint yntau, nid oedd efe ynddi. Aeth y teulu oll ond efe ac wyres fechan iddo; cadwodd ddyledswydd deuluaidd cyn i'r teulu ddychwelyd, ac yna gosododd ei law ar ben ei wyres, a chynghorodd hi i aros yn y *Society* tra byddai byw; gan nas gallai byth gael gwell braint. Yna aeth i'r llofft, ac i'w wely fel arferol. Ymhen oddeutu deng mynyd, daeth y teulu i'r tŷ y rhai a'i cawsant yn ymdagu âg angeu, fel nas gallai ddywedyd gair, ac yn mhen ychydig fynydau ehedodd ei enaid i fyd yr ysbrydoedd. Nis gwelwyd yn yr ardaloedd hyn yn yr oes bresennol, gymmaint galar gan wreng a boneddig, mewn byd ac eglwys, ar ol un dyn tylawd; na chymmaint o ystyriaeth mewn gwlad ei bod wedi colli gwr ac oedd yn cael llawer o feddwl yr Arglwydd.

Chwefror 10, ar ol hir gystudd, Mr. Hugh Jones, Ty'n lon, Pentre y berw, Llanidan, Môn. Bu yn aelod hardd yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd; yn ei gystudd bu yn dawel a dyoddefgar; a gadawodd dystiolaeth dda ar ei ol.

Chwef. 12, Mr. D. Richards, Plas Isaf, Meifod, Sir Drefaldwyn, yn 31 mlwydd oed. Cafodd ei ddwyn i fynu o'i febyd dan ofal y Trefnyddion Calfinaidd; gyda pha rai y bu yn ffyddlon ac yn zelog hyd ddydd ei farwolaeth. Cyn i Eglwys Meifod ymuniawnu o dan bwys ei galar am y Parch. E. Griffiths, symudwyd Mr. R. ymaith, un o'i berthynasau, gwr ieuanc a ddysgwylid a fuasai yn ddefnyddiol iawn. Cludwyd ef i le beddrod ei dadau yn monwent Meifod, a thraddodwyd pregeth ar yr achlysur gan y Parch. E. Hughes, oddiwrth Mat. 24. 44.—(A dynwyd allan o Lythyr E. D. Meifod.)

Chwef. 25, Miriam Roberts, merch y diweddar Mr. Aaron Roberts, Druggist Dinbych.

Mawrth 14, ar ol byr gystudd, Mr. David Lloyd, Blaenor gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, Nerquis, yn 60 oed.

Yn ddiweddar, Mrs. Roberts, gwraig y Parch. R. Roberts, Tan y Clawdd, Rhosllanerchrugog, yn 76 oed. Bu yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd am yn agos i 60 mlynedd. Yr oedd y fam hon yn Israel yn hynod am amryw rinweddau Cristionogol; yn enwedig ei haelioni a'i ffyddlondeb gyda'r achos crefyddol. Teimlir colled am dani mewn amrywiol fanau, ond yn enwedig yn y cyfarfod gweddio merched, a gynnelid yn wythnosol, i'r hwn yr oedd yn dra ffyddlon bob amser, nes llwyr fethu bod yn bresennol o herwydd afiechyd. Yr oedd ei thŷ yn hysbys i laweroedd o bregethwyr y Methodistiaid, er's llawer blwyddyn, fel eu cartref cysurus pan ddeuent y ffordd hono. Claddwyd hi yn monwent Rhiwabon. Y Sabbath canlynol, traddodwyd pregeth angladdol ar yr achlysur, gan Mr. T. Jones, Gwrecsam, oddiar 2 Cor. 5. 5. i dyrfa luosog o wrandawyr yn Nghapel Rhosllanerchrugog.

*_* *Gwelliant Gwall.*—Yn Nghofnodau Cymdeithasfa Dolgellau, yn rhifyn Ionawr diweddaf, tu dalen 13, colofn ail, llinell 25, yn lle "dan y *waredigaeth,*" darllener "dan y *weinidogaeth.*"

# IAGO. M. N. 10.

**GAN WM. PUGH.**

Casgliad, Mri. Richard a Joseph Williams, Hymn 472.—Casgliad Mr. Morris Davies, Hymn 313.

Agorwyd teml yr Arglwydd yn y nef, A gwelwyd arch ei lân gyf..am..mod ef; Holl ryfeddodau Per..son Crist a'i waith

Cyfiawnder Duw sydd yno 'n ddysglaer iawn, A'r gyfraith bur bob iot o hon..i'n llawn; Ond i bechadur mel...ys yw y sain,

Y tanllyd gledd fu'n e..ffro iawn cyn hyn, T'ranau a mellt ofn....ad....wy Sin..ai fryn, Sy'n awr yn dawel yn yr Arch ddi-lyth,

Crist ydyw'r arch a'r dru..gar..edd..fa rad, Yn enw hwn an......tur....iwn at y Tad, Fe wrendy gwyn pechad....ur heb ei ladd,

A welir yn..o i drag'wyddol..deb maith, :||:

Fod trugar..edd..fa hef..yd rhwng y rhai'n; :||:

Y gair Gor..phenwyd a'u taw..el..odd byth. :||:

Fe gymmer blaidd yr en....aidd is..el sedd. :||:

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXV.] MAI, 1841. [LLYFR XI.

## ARFAETH DUW.

(Parhad o du dalen 5.)

III. ARFAETH Duw mewn perthynas i bob math o weithredoedd.

1. Gweithredoedd y creaduriaid.—2. Ei weithredoedd ei hun. Gweithredoedd y creaduriaid a ddosbarthir yn ddau fath, sef gweithredoedd naturiol a gweithredoedd moesol.

Sylwn ar arfaeth Duw mewn perthynas i weithredoedd naturiol pob creadur. Ceir dynion yn yr un deyrnas a ni, a haerant yn ëofn, fod ein byd ni yn rhy fach, ei breswylwyr yn rhy ddiddym, a'u gweithrediadau yn rhy isel, a digyfrif, i alw sylw y Bod anfeidrol, yn eu llywodraethiad, chwaethach yn eu trefniad er tragywyddoldeb. Ond dysgir ni yn y gair, i olygu yr holl greadigaeth fel *machine* cywrain, wedi ei wneuthur yn y modd perffeithiaf, gan y Duw unig ddoeth, fel y mae pob olwyn yn troi yn gyson, i ateb ei ddibenion gogoneddus ei hun yn ei gyngor tragywyddol. Edrychodd arni yn ei thröad cyntaf braidd, a dywedodd "Da iawn ydoedd." "A hysbys i Dduw ei weithredoedd oll erioed." Amlwg yw fod gweithrediadau naturiol y creaduriaid wedi eu trefnu; oblegid, "Wele, myfi (ebe Duw) a greais y gôf, yr hwn a chwyth y marwor yn tân, ac a ddefnyddia arf i'w waith; myfi hefyd a greais y dinystrydd i ddistrywio." Pob darganfyddiad o bethau dirgelaidd, pob cywreinrwydd mewn celfyddydau, pob cynnydd mewn dysgeidiaeth a gwybodaeth a ddygir oddiamgylch yn ol ei fwriad digyfnewid, "Efe yn ol ei gyngor, sydd yn datguddio pethau dyfnion a chuddiedig." "Efe sydd yn rhoddi doethineb i'r doethion, a gwybodaeth i'r rhai a fedrant ddeall."

Heblaw hyny gosododd reddf ym mhob creadur, a phob creadur a weithreda yn rhyfedd yn ol y reddf hòno, ond sicr yw fod y cwbl yn unol â'i fwriadau. "Y ciconia yn yr awyr a edwyn ei dymhorau; y durtur hefyd, a'r aran, a'r wennol, a gadwant amser eu dyfodiad." "Nid yw y morgrug bobl nerthol, etto y maent yn darparu eu lluniaeth yr haf; y cwningod nid ydynt bobl rymus, etto hwy a wnant eu tai yn y graig; y locustiaid, nid oes brenin iddynt, etto hwy a ânt allan yn dorfeydd; y pryf copyn a ymafla â'i ddwylaw, ac y mae yn llys y brenin." "Y mynyddoedd uchel sydd noddfa i'r geifr, a'r creigiau i'r cwningod."

Yn nesaf, arfaeth Duw mewn perthynas i weithredoedd moesol creaduriaid rhesymol. Gweithredoedd moesol dynion ydynt ddau fath, da a drwg. Angenrheidiol yw sylwi ar y matter hwn gyda manyldra ac arafwch.

Am weithredoedd da, cynhyrfa Duw ddynion yn sanctaidd i'w cyflawni; "canys Duw sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." Dywedir eu bod wedi rhagddarparu fel y rhodiem ni ynddynt. Ordeiniodd ei bobl fel yr elent, ac y dygent ffrwyth, ac yr arhosai eu ffrwyth.

Am arfaeth Duw mewn perthynas i weithredoedd drwg, y mae gwahanol farnau yn mysg dynion; ond ni a ymdrechwn i gael allan y gwirionedd, trwy ffurfio ein barn wrth y "gair, a'r dystiolaeth," ac os bydd yn gyson â meddwl Duw yn ei air, rhaid y bydd yn gyson â chymeriad moesol yr Arfaethwr. Rhai a farnant na allasai Duw attal neu rwystro dyfodiad pechod i'r byd; ond y mae y farn hon yn hollol gyfeiliornus; oblegid attaliodd ef yn yr angylion a gadwasant eu dechreuad; attaliodd ef yn nynoliaeth Crist, "yr hwn nid adnabu bechod:" a bydd yn sicr o'i attal byth yn ysbrydoedd a chyrff y cyfiawn y rhai a berffeithir. Heblaw hyn gorchfyga bechod trwy ei

ddylanwadau sanctaidd, yn nghalonau miliwnau, a syrthiasent i afael euogrwydd a llygredigaeth, yr hyn sydd brawf digonol y gallasai ei rwystro a'i attal, pe barnasai hyny ar y cyfan yn ddoeth a da iddo i'w wneuthur. Eraill a osodant arfaeth Duw yn y fath fodd fel pe bae drwyddi yn gorfodogi dynion i gyflawni pechod. Diau, fod y farn hon yn gabledd, ac yn groes hollol i reswm ac ysgrythyr. "Yn ol dull dyn yr wyf yn dywedyd, pa fodd gan hyny y barna Duw y byd?" Ni syrthiai y cyfrifoldeb ar ddyn, ond ar y gorfodogwr. Er eglurhâd, cymerwn yr hyn a ganlyn. Yr wyf fi yn ddirwestwr, ac fel y cyfryw wedi ymrwymo i ymattal oddiwrth y diodydd meddwol; ond pe rhwymid fy nwylaw a'm traed, a phe agorid fy ngenau, a phe tywelltid diod feddwol iddi, ac felly fy ngorfodogi i'w chymeryd, ni syrthiai y cyfrifoldeb o dori yr ymrwymiad arnaf fi, ond ar fy ngorfodogwr, neu fy ngorfodogwyr. Ond os yfwn yn wirfoddol, er cael fy nhemtio, safwn fy hun yn gyfrifol am hyny. Nis gall y diafol orfodi neb i gyflawni anwiredd, gall eu temtio, ac y mae yn gwneuthur yn fynych. Eithr am Dduw dywedir, nid yn unig nad yw yn gorfodogi dynion, ond nad yw yn eu temtio. "Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtir; canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio neb; yna y temtir pob un, pan y tynner ac y llithier ef gan ei chwant ei hun." Nid yw gan hyny yn awdwr pechod mewn un modd. Y farn gysonaf â'r gwirionedd dwyfol, yw fod Duw wedi arfaethu goddef i bechod gael ei gyflawni. Nid wyf am i neb gredu hyn oni allaf trwy resymau cedyrn ei dangos y ragoraf. Ar ol hir ymchwiliad a myfyrdod, dyma y golygiad diogelaf, yn ol fy meddwl i. Nid yw arfaethu goddef yn cynnwys y gallasai pethau fod, neu beidio a bod, wedi i Dduw eu trefnu; ond yn unig fod y Bod anfeidrol wedi penderfynu peidio attal neu rwystro y cyflawniad o bechod, a phenderfynu goddef iddo gymeryd lle, a hyny i ddibenion gogoneddus, prïodol i'w fawredd a'i ogoniant ei hun.

Amlwg i bob grammadegwr, yw, fod y prif-air goddef, yn brif-air gweithredol, ac felly yn cynwys gweithredydd a gweithrediad. A phan y prïodolir ef i Dduw, efe yw y gweithredydd, a goddef yw y gweithrediad. Onid gweithred lywodraethol yn Ahasferus, oedd goddef i'r Iuddewon ladd eu gelynion, ar y dydd a bennodid i'w lladd hwy? Onid gweithred lywodraethol yn Arglwydd y gogoniant, oedd goddef i'r cythreuliaid fyned i'r genfaint foch? Y Bibl a ddengys yn eglur fod Duw yn goddef gweithredoedd, a gweithredwyr drygionus, mewn amser. "A oddefodd i'r holl genhedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain." "A oddefodd lestri digofaint, wedi eu cymhwyso i golledigaeth." Yn awr, os yw Duw yn goddef mewn amser, ac os nad yw ei weithrediadau mewn amser, ddim amgen nac esboniad ar ei arfaeth dragywyddol, yna, rhaid ei fod wedi arfaethu goddef. Gan hyny, prïodol yn ol fy meddwl i, yw dywedyd fod Duw wedi arfaethu goddef pechod.

Cyn gadael y pwngc hwn, angenrheidiol yw egluro tri gosodiad fel y canlyn, sef yn 1. Fod pob dyn yn rhydd weithredydd. Os oes gorfodaeth ar greadur rhesymol, o du yr arfaeth, i gyflawni pechod, yna rhaid fod y gorfodaeth hwnw yn *natur* yr arfaeth, ac os yw yn natur yr arfaeth, rhaid ei bod yn arfaeth orfodol; o ganlyniad, rhaid fod Duw wedi arfaethu eu gorfodogi. Gwnelai hyn y Duw cyfiawn yn awdwr pechod, ac felly taflai anfri a dianrhydedd ar ei gymeriad fel llywodraethwr cyfiawn, doeth, a da. 2. Fod Duw yn ei ddoethineb anfeidrol yn goruwchrëoli drwg, i ddwyn oddiamgylch ddibenion gogoneddus, a sanctaidd. 3. Er hyny, fod y cyflawnydd, neu y cyflawnyddion o'r cyfryw ddrwg yn cael eu cosbi, yn ol rheolau cyfiawnder diduedd. Ac felly, "Cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl ffyrdd, a sanctaidd yn ei holl weithredoedd." Cawn nodi rhai engraifftiau ysgrythyrol, i brofi y tri gosodiad hyn. Yr esampl gyntaf a enwaf yw Joseph. Gwerthodd brodyr Joseph ef i'r Aipht, yn hollol rydd, heb ddim gorfodaeth, ond gorfodaeth cenfigen a chasineb, oblegid mai efe oedd anwylyd ei dad. Eithr "Duw a'i bwriadodd er daioni, i gadw yn fyw bobl lawer." Gwelwn ddoethineb Duw yn dwyn daioni allan o ddrygioni. Yn nesaf dilyna y gosb. Rhwymwyd Simëon, yr hwn fuasai waethaf yn y bai, yn eu gwydd hwynt oll, a dygwyd hwynt oll i'r fath gyfyngder, fel "y dywedasant wrth eu gilydd, Diau bechu o honom yn erbyn ein brawd; oblegid gweled a wnaethom gyfyngdra ei enaid ef, pan ymbiliodd efe â ni, ac ni wrandawsom ef; am hyny y daeth y cyf-

yngdra hwn arnom ni." A phan gafwyd y cwpan yn sach Benjamin, dywedodd Judah wrth Joseph, "Pa beth a ddywedwn wrth fy arglwydd? pa beth a lefarwn? pa fodd yr ymgyfiawnhâwn? cafodd Duw allan anwiredd dy weision: wele ni yn weision i'm harglwydd, ïe nyni, a'r hwn y cafwyd y cwpan gyd âg ef hefyd." Yma, y gwelwn gyfiawnder Duw yn eu cosbi.

Yr engraifft nesaf a nodaf yw Dafydd. Yr oedd Dafydd yn gweithredu yn hollol rydd, oddiar ei chwant aflan a phechadurus, yn ei odineb gyda gwraig Urïas. Cafwyd Solomon dda a doeth o'r wraig hòno; daeth y Crist bendigedig dda o linach Solomon. Wele un o'r drygau mwyaf yn cael ei oruwch-reoli i ddwyn i ben y daioni penaf. "Nid ymedy y cleddyf a'th dŷ yn dragywydd," dyna y gosb; ac felly cyfiawnder Duw yn ymddysgleirio. Yn yr amgylchiad hwn, gwelwn holl briodoliaethau Duw yn gweithredu yn dra gogoneddus. Ei allu yn cynnal Dafydd; ei amynedd yn goddef Dafydd; ei wybodaeth yn hysbysu i Nathan y proffwyd mai efe oedd y gŵr; ei gariad, ei drugaredd, a'i ddaioni yn llanw ei galon âg edifeirwch, ac yn tynu ymaith ei bechod; ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd yn fflangellu ac yn ceryddu Dafydd oblegid ei bechod.

Gwelwn hyn drachefn yn amgylchiadau Judas. Gweithredai Judas yn hollol rydd, oddiar ei egwyddor gybyddlyd, wrth werthu ei Feistr am ddeg ar hugain o arian; etto yr oedd yn "gwneuthur pa bethau bynag a ragluniodd llaw a chyngor Duw eu gwneuthur." Y Messiah drwy hyn a draddodwyd i ddwylaw anwir, croeshoeliwyd ef ar bren, ond trwy farwolaeth yr addfwyn Oen, caed ffordd i arbed troseddwr euog. Pwy a all beidio canfod mawr amryw ddoethineb Duw yn hyn. Eithr am Judas dywedir ei fod dan bwys euogrwydd ei bechod yn gorfod cyfaddef, "Pechais gan fradychu gwaed gwirion." "Ac efe a aeth allan ac a ymgrogodd." O'r grogfa aeth i'w "le ei hun," ac yno cosbir ef byth.

Yr esampl olaf a nodaf yw yr Iuddewon. Yr oeddynt hwythau yn gweithredu yn hollol rydd oddiar genfigen a gelyniaeth at Grist, ei athrawiaeth, a'i wyrthiau. Gwyddai Pilat hyny yn dda. "Tywysog y bywyd a laddasant." Gwadasant y Sanct a'r cyfiawn, ac a ddeisyfasant roddi iddynt ŵr llofruddiog. Eithr bu farw "dros yr annuwiol" "fel y dygai ni at Dduw," "i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro iddo ei hun yn bobl brïodol, awyddus i weithredoedd da." "Fel y glanhäi efe hi, a'i phuro yn eglwys iddo ei hun, heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw." Wele, y dibenion mwyaf uchel a gogoneddus yn cael eu cyflawni trwy eu gweithredoedd drygionus. Ac yn gosb arnynt, anfonodd Duw y Rhufeiniaid i ddial ar y lleiddiaid hyny, trwy ddifetha eu lle a'u cenedl; a'r rhai a adawyd yn fyw a wasgarwyd ar hyd y byd, i fod yn grwydriaid, yn watwargerdd, ac yn gân ym mhlith holl genhedloedd y ddaear. "Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anghrediniaeth, fel y trugarhai wrth bawb." "O! ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw, mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt."

Eithr fe a ddywed rhywun, pa fodd yr eglurir y geiriau hyny, "Y neb y myno y mae efe yn ei galedu;" "a'r Arglwydd a galedodd galon Pharaoh?" Nid ydym i olygu fod Duw yn cyfansoddi, neu yn ffurfio, caledwch a thywyllwch yn nghalon Pharaoh, na neb arall. Byddai hyny yn groes i'w burdeb, a'i sancteiddrwydd, a gwnelai ef yn awdwr pechod. Ond gadawodd i Pharaoh ymgaledu, yn ol ei duedd naturiol a phechadurus. Y mae balchder, caledwch, a thywyllwch yn naturiol i ddyn, oddiwrth lygredigaeth ei natur; a'r pethau hyn a gynnyddant trwy fynych arferiad â phechod. Ac felly o'r diwedd yr Arglwydd yn eu rhoddi i fynu mewn ffordd o farn i feddyliau anghymeradwy, i gyflawni pob aflendid yn un chwant; ac i dduw y byd hwn, yr hwn sydd yn eu dal yn gaeth wrth ei ewyllys. Rhaid hefyd fod Duw wrth eu gadael iddynt eu hunain, yn attal oddiwrthynt y dylanwadau hyny ag sydd yn angenrheidiol i feddalhau a goleuo eu calonau a'u meddyliau. Nid yw dan rwymau i'w rhoddi i neb; yn ei ras y mae yn eu rhoddi i rai, ac yn ei gyfiawnder y mae yn eu hattal oddiwrth eraill. Gyda golwg ar hyn y dywedir ei fod yn cuddio pethau ei ras oddiwrth y doethion a'r deallus, a'u datguddio i rai bychain, a hyny oblegid mai felly y rhyngodd bodd yn ei olwg. Ti a ddywedi gan hyny wrthyf, Paham y mae efe etto yn beio caledwch a thywyllwch dynion? Canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef? Yn hytrach, O ddyn, pwy wyt ti, yr hwn a ddadleui yn erbyn

Duw? a ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, paham y'm gwnaethost fel hyn? onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch ac arall i ammharch? Beth os Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd trwy hirymaros lestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth; ac i beri gwybod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, y rhai a rag-barotodd efe i ogoniant." "Felly, gan hyny, y neb y myno y mae efe yn trugarhau wrtho, a'r neb y myno y mae efe yn ei galedu."

2. Arfaeth Duw mewn perthynas i'w weithredoedd ei hun. Daeth ei weithredoedd creadigol, a'i weithredoedd grasol ac achubol yn iachawdwriaeth pechaduriaid o ddynion, dan sylw amryw weithiau yn y Traethawd hwn: gan hyny ni sylwaf mwyach ar y rhai hyny. Y gweithredoedd y bwriadwyf sylwi arnynt, ydynt ei weithredoedd gwyrthiol, ei weithredodd cosbedigaethol, a'i weithredoedd amddiffynol i'w bobl.

Arfaeth Duw mewn perthynas i'w weithredoedd gwyrthiol. Yr oedd yr holl wyrthiau cyd-fynedol â chenadwri Moses at Pharaoh; a mynediad Israel trwy y Môr Coch megis ar hyd tir sych, ynghyd â dinystr Pharaoh a'i lu ynddo, yn ol cyngor a bwriad Duw. "Canys y mae yr ysgrythyr yn dywedyd wrth Pharaoh, i hyn y'th gyfodais di, fel y dangoswn fy ngallu ynot ti, ac fel y datgenid fy enw trwy yr holl ddaear."

Yr holl wyrthiau rhyfeddol a gyflawnwyd gan Grist, pan ar ein daear ni, oeddynt yn ol bwriadau tragywyddol y Duwdod. Pan oedd yr Iuddewon yn ei erlid, ac yn ceisio ei ladd, oblegid iddo iachau dyn ar y Sabbath, "yr Iesu a'u hatebodd hwynt, y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr wyf finnau yn gweithio." "Ni ddichon y Mab wneuthur dim o hono ei hun, eithr yr hyn a welo efe y Tad yn ei wneuthur." "Canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hyny, y rhai yr wyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i." Felly, fel y gorchymynodd y Tad iddo felly yr oedd yn gwneuthur.

Drachefn, arfaeth Duw mewn perthynas i'w weithredoedd cosbedigaethol. Amlwg yw fod dinystr cenedloedd, teyrnasoedd, ac ymerodraethau wedi eu trefnu yn nghyngor Duw. Darllener Daniel 2. 38—44. "O ordinhad y gwyliedyddion y mae y peth hyn, a'r dymuniad wrth ymadrodd y rhai sanctaidd, (sef mynediad Nebuchadnezzar o blith dynion i bori glaswellt fel anifail) fel y gwypo y rhai byw mai y Goruchaf a lywodraetha ym mreniniaeth dynion, ac a'i rhydd i'r neb y myno efe, ac a esyd arni y gwaelaf o ddynion." Gan hyny, "Nid o'r dwyrain, nac o'r gorllewin, y daw goruchafiaeth, ond Duw sydd yn barnu, efe a ostwng y naill ac a gyfyd y llall."

Yr ydoedd caethiwed Israel yn yr Aipht am bedwar cant o flynyddoedd; eu caethiwed yn Babilon; ynghyd â'u dinystr diweddaf, wedi eu penderfynu. "A'r genedlaeth yr hon a wasanaethant a farnaf fi; ac wedi hyny y deuant allan â chyfoeth mawr." "Ac wedi dwy wythnos a thriugain y lleddir y Messia, ond nid o'i achos ei hun; a phobl y tywysog yr hwn a ddaw a ddinystria y ddinas a'r cyssegr; a'i ddiwedd fydd trwy lifeiriant, a hyd ddiwedd y rhyfel y bydd dinystr anrheithiol; ac efe a sicrhâ y cyfammod â llawer dros un wythnos; ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio: a thrwy luoedd ffiaidd yr anrheithia efe hi, hyd oni thywallter y dyben terfynedig ar yr anrheithiedig." Parotôdd hefyd dân tragywyddol i ddiafol a'i angelion.

Yn olaf, arfaeth Duw mewn perthynas i'w weithredoedd amddiffynol i'w bobl ei hun. Pan yn dinystrio ei elynion, amddiffyna ei blant, fel y dywed y Bardd,

"Gwelir ac adwaenir Duw
Yn ninystr dynion annuw,
Ac yn ngwedd trugaredd gu.
Yn dilyn ei wan deulu."

Gellid ysgrifenu cyfrol gyfan ar y pwnc hwn; ond ni chaf nodi ond ychydig esamplau. Yr oedd eglwys Dduw, yn ei gwahanol sefyllfaoedd dan yr hen oruchwyliaeth, yn cael ei chadw a'i diogelu yn ol bwriadau arfaethol Duw. Yr oedd "dan ymgeleddwyr a llywodraethwyr, hyd yr amser a osodwyd gan y Tad." Dan yr oruchwyliaeth efengylaidd hefyd, "pan y gwnaethpwyd pob peth yn newydd," y mae yn cael ei dwyn ym mlaen yn ol y penderfyniadau dwyfol. "Wele, y mae y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, a myfi a wnaf â thŷ Israel, ac â thŷ Judah, gyfammod newydd: myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt; a mi

a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." Erledigaethau a dioddefiadau eglwys Crist, dan y deg ymerawdwyr Rhufeinig, dealledig wrth y deg diwrnod; a than Rufain Babaidd dros amser, ac amserau, a hanner amser, neu ddau fis a deugain, un mil dau cant a thriugain o ddyddiau, neu flynyddoedd; parhad arosiad yr eglwys yn yr anialwch, a'r tystion yn prophwydo mewn sachliain; a theyrnasiad anghrist, yn gystal a gogoniant dilynol yr eglwys, pan y bydd goleuni a chynnydd dirfawr arni, ac ychwanegiad anarferol at eu nifer, a Christ yn teyrnasu o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau y ddaear, ydynt unol âg arfaeth Duw. Darllener llyfr y Datguddiad, a gwelir hyn yn amlwg. "Ti a gyfodi, ac a drugarhei wrth Sïon; canys yr amser i drugarhau wrthi, ïe, yr amser nodedig a ddaeth."

Ymdrechais, drwy gorph hyn o Draethawd, yn 1. I gadw cymmeriad moesol Duw yn ddilwgr. 2. I gadw llwybr agored o flaen pechadur euog am ei fywyd. 3. I orchfygu ysbryd Antinomiaeth. A gobeithiwyf y caiff y darllenydd leshad trwy fy ymdrech llesg a gwael.

*Caergybi.* WILLIAM ROBERTS.

## SYLWADAU GAN Y DIWEDDAR BARCH. D. CHARLES, CAERFYRDDIN.

### SYLWAD AR 2 COR. iv. 6.

"Canys Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist."

GOLEU i'r byd tywyll yw yr efengyl; etto mae miloedd heb weled dim er lles a chadwedigaeth, oblegid fod eu meddyliau wedi eu dallu. Mae goleuni datguddiad yn ddigon i *gondemnio* y byd, ond nid i *achub* y byd. Yr oedd yn annigonol i gadw dyn rhag camsynied yn Mharadwys; gan hyny pa fodd y gall fod yn ddigon i'w adferu wedi iddo fyned ar gyfeiliorn. Yr oedd goleuni y datguddiad dwyfol gan y dysgyblion hyny ar y ffordd i Emmaus. Agorodd Crist iddynt yr ysgrythyrau, a phwy a allasai wneud hyny fel Efe? Ond rhy fach oedd y datguddiad a'r agoriad o hono. 'Agorodd,' hefyd, 'eu *deall* hwynt, fel y deallent yr ysgrythyrau.' Dyma y peth mawr a wnaeth Duw i'r Corinthiaid: ac heb hyn y mae'r efengyl a'r pregethiad o honi yn ofer. Peth tebyg i greu goleuni naturiol sydd yma. Gweithrediad gallu gyda geiriau oedd hi ar y cyntaf; felly yma. Tywyllwch naturiol oedd yno—hollol wrthwynebrwydd i'r goleuni; felly yma. Nid oes dim mewn dyn nad yw yn wrthwyneb i oleuni sanctaidd yr efengyl.

### SYLWAD AR IOAN vi. 39.

"A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd i; o'r cwbl a roddes efe i mi na chollwn ddim o hono, eithr bod i mi ei adgyfodi yn y dydd diweddaf."

'O'R cwbl a roddes Efe i mi.' Bu rhoddi ar ryw wrthddrychau mewn cyfammod yn nhragywyddoldeb. 'Eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi.' Dyma bethau rhyfedd fu rhwng y personau dwyfol yn nhragywyddoldeb. Mae y Tad yn dweyd ei ewyllys wrth y Mab, a'r Mab yn dweyd ei ewyllys wrth y Tad. Mae ewyllys y Tad am ddiogelwch credinwyr trwy yr adgyfodiad, ac ewyllys y Mab am eu gogoneddiad wedi hyny.

'Na chollwn ddim o hono, ond bod i mi ei adgyfodi yn y dydd diweddaf.' Addawodd hyn i'w Dad er tragywyddoldeb. Mae addewidion yr iachawdwriaeth yn passio yn gyntaf rhwng y personau dwyfol, ac yna y maent yn cymmeryd ail argraffiad, ac yn cael eu rhoi i'r pechadur tlawd i gymmeryd gafael arnynt i gael bywyd a chysur. Mae holl fendithion y cyfammod wedi passio mewn addewidion rhwng y personau dwyfol er tragywyddoldeb. Cyfrifiad cyfiawnder y Mab—y mae'r Tad wedi addaw hyny iddo. Yr Ysbryd—mae yr Ysbryd wedi ei addaw i'r Mab, ac wedi ei dderbyn ganddo, a'i dywallt ganddo. Maddeuant pechodau —mae'r Tad wedi addaw hyny i'r Mab, y bydd iddo faddeu i bawb a gredant yn ei enw. Gall y credadyn ei geisio gan y Tad gan ddywedyd, "Dyro yr hyn a addawaist i'r pen yn y cyfammod: cofia y cyfammod.' Felly y gall ddweyd wrth y Mab, "Yr wyf yn rhoddi fy nghorph i'th ofal—cofia yr hyn a addawaist i'r Tad, ei adgyfodi yn y dydd diweddaf!"

Mae hyn yn rhoi rhyw olwg ryfedd ar yr adgyfodiad:—llwch y ddaear yn ngafael cyfammod;—rhyw beth gwerthfawr yn nghrombil y ddaear na ellir colli dim. "Na chollwn ddim"—dim—yr oll i ddyfod i'r lan yn gyffelyb i'w gorph gogoneddus

Ef. Y mae y fath beth ag i *ti* gael gwybodaeth gadarn am y gorchwyl mawr hwn yn bresennol. Oblegid "y rhai a alwodd Efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe." Mae cyfodi dy gorph o'r bedd y dydd mawr mewn cyssylltiad cadarn â chyfodiad dy enaid yn awr o fedd pechod. Mae derchafiad dy enaid o lygredigaeth pechod yn wystl, yn ernes, o adgyfodiad dy gorph y dydd olaf. Mae dechreuad y da ar yr enaid yn sicrhau ei orpheniad ar y corph y dydd mawr. Canys "Os Ysbryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw sydd yn trigo ynoch; yr hwn a gyfododd Grist o feirw a fywiocâ hefyd eich cyrph marwol chwi trwy yr Ysbryd yr hwn sydd yn trigo ynoch."

---

### SYLWADAU AR UFUDD-DOD CRIST.

Ni bu ufudd-dod *creadur* erioed dan gyfammod heb wobr iddo, neu heb roi hawl i ryw beth, ychwaethach yr ufudd-dod mwyaf a fu erioed. Nid rhoi hawl yw rhyddhau oddiwrth gosp. Gall y nefoedd ddweyd, 'Gwna yr hyn oedd ysgrifenedig arnaf fi, a byw fyddi," dan y cyfammod cyntaf; a pha fodd yr wyf yn agored yn awr heb fod un ufudd-dod yn ammod? Pan y byddo y saint yn myned i mewn i'r nef, y maent yn myned i nef wedi eu hagor â gwaed.

Y Parch. D. Charles.

---

### GWASTRAFFIAD AMSER.

Amser yw un o'r trugareddau gwerthfawrocaf a gyfrenir gan ragluniaeth Duw; ond trwm yw adrodd, gwastreffir ef yn fawr gan y nifer luosocaf o eppil Adda. Ymddyga dynion yn gyffredin fel pe nas gwyddant yn iawn pa beth i wneud â'u hamser. Llawer o fynydau gwerthfawr a dreulir yn ymofyn ac yn ymholi, 'Pa beth a wnaf ette?' a'r cyffelyb; a lle y dylasai y gwaith fod wedi ei orphen, bydd yr amser wedi ei dreulio mewn ymholiadau yn ei gylch: a thra y byddont hwy yn segura y mae amser ei hun yn carlamu, a'r nos yn dyfod a hwythau yn ymddyrysu yn eu hamcanion Pe gellid casglu nifer yr oriau a wastreffir fel hyn yn un cyfanswm, ceir gweled fod blynyddoedd lawer wedi eu treulio mewn oferedd.

Y mae amser yn cael ei wastraffu mewn llawer dull a modd; ac hefyd mewn manau, ac ar achlysuron y dysgwylid yn amgenach.

1. Mewn cyfarfodydd crefyddol.—Mae amser yn llithro yn gyflym tra y bo y gynulleidfa yn eistedd mewn dystawrwydd yn aros am y pregethwr, neu am y blaenor eglwysig i ddarllen pennod a myned i weddi. Yn y cyfarfodydd neillduol hefyd, archollir meddyliau llawer wrth weled rhy ormod arafwch y swyddogion, ac wrth eu clywed yn ymholi pa beth i'w gymmeryd mewn llaw, a pha fodd i ymdrin âg ef. Frodyr anwyl, ni ddylai y pethau hyn fod felly. Yr oedd yr offeiriaid yn gwybod eu gwaith a'u dyledswydd cyn ymddangos o honynt yn y deml. Ac onid rhwyddineb mawr i swyddog eglwysig fyddai gwybod ei waith cyn myned ato; ac onid effeithiai hyny yn rhagorach ar y gynnulleidfa yn gyffredinol? Nid wyf heb wybod nad oes eisieu pwyll ac arafwch, ond gwneler hyny heb gamdreulio amser.

2. Mewn myfyrdodau diles, ac ymddyddanion niweidiol.—Mae treulio amser fel hyn yn waeth na segura; o herwydd y mae pob math o ymddyddanion a myfyrdodau yn dwyn canlyniadau nas gall seguryd unigol eu cwblhau. Tra y mae dynion yn ymddigrifo mewn ffraeth-eiriau segur ac ysmaldod, y mae y farn yn nesu; a thra y myfyriont bethau ofer y mae pyrth tragywyddoldeb ymron yn y golwg.

3. Mewn oediad pechadurus am y pethau mwyaf eu pwys.—Er y cwynir yn fynych fod amser yn ei fynediad yn gyflym, ac yn ei derfyniad yn ansicr, ond os daw y farn i'r meddwl, ac os ymresymir am gyfiawnder a dirwest, oedir hyny hyd 'amser cyfaddas;' ac o herwydd oedi fel hyn, y mae myrddiynau a fu yn bwriadu ymofyn am y gobaith da mewn amser yn griddfan yn awr yn y pwll diwaelod, a'thymmor gwerthfawr yr enaid i fod yn gadwedig wedi myned heibio am byth!

4. Mewn ysbleddach a meddwdod, ac uwchben y cwpan feddwol. Llawer o amser a dreulir mewn tafarndai. Ai tybed, nas gellir treulio amser yn amgenach na hyn? Gwario iechyd am yr hyn sydd yn ei niweidio; ïe, am yr hyn sydd yn ddinystr i enaid a chorph. Ond yn y diwedd y gwelir ei werth! A wna adgofion [illegible]

wedi gwario cymmaint o'th amser ym mysg meddwon dawelu dy gydwybod euog?

Mae amryw ffyrdd ereill, trwy ba rai mae dynion yn gwastraffu eu hamser, y rhai nad allaf eu henwi yn awr. Ond cyn diweddu dymunwn wasgu yr ystyriaethau hyn at y darllenydd.

Mae yn ddyledswydd arbenig ar bob gradd a sefyllfa o ddynion ymaflyd mewn gorchwylion neillduol er gwrteithio y meddwl, a hyny ar wahan oddiwrth eu galwedigaethau bydol—rhyw bethau llesawl i ymdroi ynddynt er lleshad eu cydoesolion. Amser yw y tymmor i gasglu gwybodaethau a thrysorau ysbrydawl a'u gwna yn ddedwydd am dragywyddoldeb.

Ar iawn ddefnyddio amser yr ymddibyna dedwyddwch amserol a thragywyddol dyn. Ychydig a gafodd anrhydedd a chyfoeth mawr, dysgeidiaeth uchel, a galluoedd cryfion; ond y mae amser wedi ei ymddiried i bawb fel eu gilydd. Gofynir i bawb yn ddiwahaniaeth, yn nydd y farn gyffredinol, am y defnydd a wnaethant o'u hamser, a pha fodd y treuliasant ef.

Ymegnïed pob un, gan hyny, i wneuthur iawn ddefnydd o'i amser, fel y gallo sefyll yn wrol ar geulan tragywyddoldeb, a dywedyd gyda'r apostol, 'Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd,' &c. 2 Tim. 4. 7, 8.

*Waunfawr.* THETA.

## SERYDDIAETH.

### PEN. III—Y GYFUNDRAETH HEULOG.

*(Solar System.)*

ANWYL GYFEILLION SERYDDAWL.—Yr ydym, yn y Traethawd presennol, yn dyfod i wneud rhai Sylwadau ar y rhan hòno o ofyddiaeth Seryddawl a elwir y Gyfundraeth Heulog, yr hon sydd yn cynnwys yr haul a'r planedau, ac amryw o ser cynffonog *(comets)*. Yn awr, gwnawn rai Sylwadau cyffredinol mewn perthynas i'r cyrph wybrenol hyn. Yn gyntaf, yr Haul; ac yna ar y drefn y mae y planedau yn troi o'i amgylch; ynghyd a'u maintioli, ac amserau eu cylch-droadau. Ac ar ol cymmeryd golwg gyffredinol fel hyn arnynt (os na fydd yn flin genych chwi, Mr. Cyhoeddwr, a chan ddarllenwyr lluosog y Drysorfa hefyd) ni a gymmerwn bob un o honynt dan sylw drachefn, a hyny yn fwy manwl a helaeth, mewn perthynas i'r hyn sydd yn wybodus am danynt.

Yr Haul sydd oddeutu 886,149 o filltiroedd mewn tryfesur; ac yn fwy na'r ddaear o 1,377,633 o weithiau, ac yn 500 o weithiau yn fwy na'r holl blanedau ynghyd. Yr haul ydyw ffynon goleuni a gwres i'n daear ni.

Mercher, y blaned agosaf at yr Haul, sydd yn 36 o filiwnau o filltiroedd oddi wrtho, ac yn troi o'i amgylch mewn 87 o ddyddiau, a 23 o oriau, yn y cyflymdra o 109,000 o filltiroedd bob awr. Ei thryfesur sydd oddeutu 3100 o filltiroedd, a'i maintioli yn gyfartal i'r unfed ran ar bymtheg o'n daear ni.

Y blaned nesaf ydyw Gwener, yr hon sydd 68 o filiwnau oddiwrth yr haul, ac yn symud o'i amgylch mewn 224 o ddyddiau, a 17 o oriau, yn y cyflymdra o 89,000 o filltiroedd yn yr awr; ei thryfesur sydd 7498, ychydig yn llai na thryfesur y ddaear.

Y blaned nesaf ydyw y Ddaear, yr hon yr ydym ni yn preswylio ynddi. Ei phellder oddiwrth yr haul sydd 95 o filiwnau o filltiroedd. Amser ei chylchdroad blynyddol ydyw 365 o ddyddiau a 6 o oriau. Ei thryfesur sydd oddeutu 7964 o filltiroedd.

Y nesaf mewn trefn oddiwrth yr Haul ydyw Mawrth, yr hon sydd 124 o filiwnau o filltiroedd oddi wrtho, ac yn cyflawni ei chylchdro o'i gwmpas mewn blwyddyn, 321 o ddyddiau, a 23 o oriau, ac yn myned 55,000 o filoedd o filltiroedd bob awr. Ei thryfesur sydd 4,218 o filltiroedd.

Yn nesaf, y mae yn dilyn bedair o blanedau o ganfyddiad diweddar, sef Vesta, Juno, Ceres, a Pallas. Rhai bychain yw y rhai hyn: ac nid ydyw y fwyaf o honynt, yn ol y cyfrif uchelaf, ddim dros 1200 o dryfesur. Vesta, yr agosaf o'r pedair i'r Haul, sydd 225 o filiwnau o filltiroedd oddi wrtho. Juno oddeutu 253 o filiwnau. Ceres 263 o filiwnau. Pallas 263 o filiwnau. Mae Vesta yn cyflawni ei chylchdro o amgylch yr haul mewn tair blynedd a thri chwarter. Juno mewn pedair blynedd a chwarter. Ceres a Pallas bob un mewn oddeutu pedair blynedd a saith mis.

Y blaned nesaf mewn pellder oddiwrth yr haul ydyw Jupiter, yr hon sydd 495 o filiwnau o filltiroedd oddi wrtho, ac yn

myned o'i amgylch mewn 11 o flynyddoedd, a 315 o ddiwrnodau, yn y cyflymdra o 29,000 o filltiroedd bob awr. Ei thryfesur sydd 89,000 o filltiroedd, sef 11 o weithiau yn fwy na'r ddaear.

Y nesaf mewn trefn ydyw Sadwrn. Mae ei phellder hi oddiwrth yr haul yn 900 o filiwnau o filltiroedd, ac yn myned o'i amgylch mewn oddeutu 29 a hanner o flynyddoedd. Ei chyflymder ydyw 22,000 o filltiroedd yn yr awr: a'i thryfesur sydd 79,000 o filltiroedd; oddeutu naw o weithiau yn fwy na'r ddaear.

Yr olaf ydyw Georgium Sidus, yr hon sy ddwy waith bellder Sadwrn oddiwrth yr haul, sef 1800 o filiwnau o filltiroedd. Y mae yn cyflawni ei chylchdro o'i amgylch mewn oddeutu 83 a hanner o'n blynyddoedd ni. Ei chyflymdra ydyw oddeutu 15,000 o filltiroedd yr awr; a'i thryfesur sydd yn 34,000 o filltiroedd. Mae maintioli y blaned hon 80 o weithiau yn fwy na'r ddaear.

Wrth hyn ni a welwn fod un-ar-ddeg o fydoedd mawrion yn troi o amgylch yr haul, a elwir planedau. Y gair planed sydd o darddiad Groegaidd, ac yn arwyddo gwibio, a hyny o herwydd symudiadau y planedau, fel y sylwyd eisoes, mewn cyferbyniad i'r sêr sefydlog. Nid ydynt yn meddu goleuni ynddynt eu hunain, ond y maent yn derbyn eu goleuni oddiwrth yr haul, yr un modd a'n daear ni. Pe byddent yn meddiannu goleuni ynddynt eu hunain ymddangosent bob amser yn grwn, fel yr haul, yr hyn nid ydynt. Y maent yn troi o amgylch yr haul agos mewn cylch crwn, ond nid yn hollol felly; ac i gyd yn troi o'r gorllewin i'r dwyrain.

Yr un-ar-ddeg hyn a elwir yn brif blanedau. Mae gan amryw o honynt blanedau o ail radd yn cydfyned â hwynt, a elwir lleuadau. Mae un yn canlyn y ddaear; pedair yn canlyn Iau; saith yn canlyn Sadwrn; a chwech yn canlyn Georgium Sidus.

Mae enwau y planedau yn tarddu oddiwrth enwau y duwiau paganaidd; y rhai hefyd a roddasant eu henwau i'r fath feteloedd ag oedd yn adnabyddus i'r henafiaid; ac a'u rhoddasant yr un modd i ddyddiau yr wythnos.

Nid oedd y planedau Uranus, Pallas, Juno, Ceres, a Vesta, yn adnabyddus hyd y triugain mlynedd diweddaf. Astronomyddion diweddar a alwant Georgium Sidus, y blaned a ganfyddwyd gan Herschel, Uranus, ac yn y chwedl-ddysg baganaidd nodir hi fel tad Sadwrn—a Sadwrn ydoedd dad Jupiter—a Jupiter ydoedd dad Mawrth. Y Lleuad oedd yn cael ei galw Luna, a chyfrifid hi yn ferch i Terra, y ddaear.

Yr oedd nodweddiadau y planedau hefyd yn cael eu dangos trwy briodoliaethau adnabyddus y duwiau, enwau pa rai oeddent yn gymmeryd yn berthynasol arnynt. Yr oedd y ddaear yn cael eu hystyried fel mam yr holl natur grëedig, ac wedi cael eu hordeinio gan y dduwies, ar ba un yr oedd yr henafiaid yn ymbil am gyfran pob bendithion naturiol.

Mercher, am nad yw ond anaml yn weledig, a hyny ond am amser byr, yn arwyddo cenad cyflym y duwiau.

Venus, yr hyfrydaf o'r holl blanedau, ydoedd gysgod o dduwies y cariad; o herwydd ei thegwch a'i harddwch y rhoddid arni yr enw hwn.

Iau, y fwyaf o'r holl blanedau, ydoedd yn dal allan dad galluog y duwiau a dynion. Pan ydoedd Sadwrn, dywyll yr olwg arni, yn cael ei chyfrif yn arwyddlun o henafiaid oedranus ac anynad Jove.

Y meteloedd hyny, ynghyd â dyddiau yr wythnos, pa rai sydd yn cyfateb yn neillduol i'r haul a'r lleuad, a'r pum planed arall, a ellir eu gweled yn y daflen ganlynol:

| | | |
|---|---|---|
| Yr haul...... | Aur........ | Dydd Sul |
| Y Lleuad.... | Arian...... | „ Llun |
| Mawrth...... | Haiarn...... | „ Mawrth |
| Mercher..... | Arian byw .. | „ Mercher |
| Iau......... | Alcan (*tin*) .. | „ Iau |
| Gwener..... | Copr......... | „ Gwener |
| Sadwrn..... | Plwm........ | „ Sadwrn. |

Mi feddyliwn nad oes achos ymholi yn nghylch y cyssylltiad sydd rhwng aur a'r haul, na rhwng y lleuad ag arian, pan mae Beirdd pob oes a chenedl yn clodfori yr 'haul euraidd,' a 'goleuni arianaidd y lleuad.' O haiarn yr oedd duw rhyfel yn ffurfio arfau dinystr. Pan oedd Mercher yn noddwr anonestrwydd a dichell trwy yr holl fyd henafol, o achos hyn y cafodd ei arwyddnodi trwy arian byw. Y fetel alcan a bendodwyd i Iau, tybygir, trwy fod Corybantes, offeiriad Cybelle, yr hwn oedd yn

gweini i Iau yn Crete, yn ei fabandod, yn arfer boddi ei floeddiadau trwy dincian symbalau alcan. Copr sydd wedi ei gyssylltu ag enw Gwenor, yr hwn oedd dduw gwarcheidwawl ynys Cyprus. Yn y lle hwn y cafodd Gwener ei eni, ac yr ydoedd yn arferol gynt o ddiwallu y byd â phres ei fwngloddiau: ac anrhydeddid Gwener yn fwy na'r holl dduwiau. Fe allai fod plwm wedi cael ei osod i lawr fel cysgod Sadwrn o herwydd ymddangosiad tywyll a phlymaidd y blaned hono.

Cafodd dyddiau yr wythnos eu cyssylltu yn neillduol a phob planed, o herwydd bod yn ol yr hen reolau ser-ddewinawl ryw ddylanwad ac awdurdod ganddynt ar y dyddiau hyny ag sydd yn myned ar eu henwau.

Ond cyn diweddu y bennod hon rhaid i mi wneuthur sylwad bychan mewn perthynas i'r Cometau, pa rai sydd yn perthyn i'r Gyfundrefn hon.

Y gair Comet sydd yn deilliaw o'r Groeg, ac yn arwyddo gwallt. Gelwir hwy felly, y mae yn ddiammeu, o herwydd y goleuni caddugawl a chymylog sydd yn eu canlyn, neu o'r hwn y mae rhai o honynt yn ymddangos yn gynnwysedig. Nid ydyw y Cometau, fel y cyrph wybrenol ereill, yn ymsymud yn yr un ffordd—rhai o honynt sydd yn myned o'r dwyrain i'r gorllewin, a rhai o'r gorllewin i'r dwyrain; pan y mae ereill yn taro i lawr o barthau uchelaf yr eangder—yn myned oddi amgylch yr haul ac yn dyrchafu i fynu eilwaith i'w huchder cyntefig; ac nid yw eu llwybr yn gylch crwn: ond y mae daear-fesurwyr yn alw yn grymedd damegol (*parabolic curve*), yr hwn sydd yn hirgylch cul. Mae rhai o honynt, pan y maent yn y rhan gulaf o'u cylchwy yn agosach o lawer i'r haul na'r un o'r planedau; ond pan y maent yn yr eithafnod cyferbyniol y maent yn llawer pellach oddi wrtho.

Y'mhlith yr amrywiol farnau sydd ym mysg dynion mewn perthynas i natur y Cometau, barn Newton oedd yn cael ei derbyn hyd yn ddiweddar. Ei dyb ef oedd fod y Cometau yn gyfansoddedig o sylwedd caled, cryno, a pharhaus; yn alluog i ddyoddef graddau rhyfeddol o wres ac oerfel heb y radd leiaf o ddadgyfansoddiad. Mae y Cometau yn gwahaniaethu llawer yn eu maintioli fel y planedau, rhai yn fwy a rhai yn llai na'n daear ni: ond nid ydyw eu maintioli wedi ei benderfynu i fanyldra hyd yn hyn, nac ychwaith amser eu cylchdroadau.

Dim yn ychwaneg y tro hwn: yn y nesaf rhoddwn Draethawd lled fanwl ar yr Haul, ei faintioli ymddangosiadol, ynghyd a'i wres a'i oleuni.

*Llundain.* L. WILLIAMS.

---

## PEGWN Y DE.

MAE yn hysbys i rai o'n darllenwyr fod dwy agerdd-long, o'r enwau *Erebus* a *Terror*, wedi cychwyn o Frydain er ys deunaw mis yn ol, dan lywyddiaeth Cadpen J. C. Ross, R.N. a'r Llywydd Crozier, ar hynt forawl i chwilio allan sefyllfa pegwn deheuol yr ehedfaen, neu sefyllfa ddeheuol y maen tynu; ac hefyd i olrhain y Môr Deheuol, cyn belled ag y gallont hwylio tua phegwn deheuol y byd, oblegid ychydig iawn a wyddys hyd yn hyn am y Dosparth hwnw o'r ddaear. Ac yr oeddynt i wneuthur amrywiol ardremiadau ar y llu nefol, ac effeithiau y maen tynu, &c. mewn gwahanol fanau ar eu mordaith. Y lle cyntaf y codasant Dremyn-dwr (*Observatory*) oedd yn Madeira, lle yr arosasant amryw ddyddiau. Oddiyno hwy a fordwyasant i St. Helena, ac wedi hyny i *Cape of Good Hope*; ac ym mhob un o'r lleoedd hyny hefyd hwy a adeiladasant Dremyn-dwr, ac a osodasant ysgolheigion hyddysg mewn Daearyddiaeth a Seryddiaeth i wneuthur Ardremiadau parhaus, ar yr un amserau pendant, ar unwaith a'u gilydd; ac i gadw cyfrif manwl o'u hardremiadau ar ben pob un o'r tyrau. Yna hwyliasant i *Kerguelen Land*, ac y'mlaen i *Sabrina Land*, lle y gwnaethant ardremiadau arbenig. Ac wedi hyny cyrhaeddasant i *Hobart Town*, yn *Van Dieman's Land*, erbyn mis Awst, 1840.

Yno fe gyfarfu Cadben Ross a'i hen gyfaill, Syr J. Franklin, Llywydd yr ynys, yr hwn a'i cynnysgaeddodd ef â phob cymmorth a allai at gyflawni y gorchwylion pwysig ag oedd ganddo mewn llaw. Yn *Hobart Town* hefyd hwy a godasant Dwr tremio, ac a'i dodasant dan ofal gwyr cymmwys i ardremio arno, fel yn y manau ereill. Oddiyno hwy a hwyliasant tua'r de, yn union ar ol y 26 o Hydref, 1840, ac ni chlybuwyd gair oddiwrthynt ar ol hyny, canys hwy a aethant ym mlaen i'r môr anghysbell a didramwy. Ni wyddys pa bryd y ceir clywed oddi wrthynt etto.

Cadben Ross sydd nai i Syr John Ross, ac efe yw y swyddog, yr hwn, yn Mehefin, 1831, a blanodd faner Brydain ar begwn y maen tynu gogleddol; a'r hwn, yn ei amrywiol fordeithiau ymchwiliadol yn moroedd rhewlyd y gogledd, gyda'i ewythr a Syr Edward Parry, a dreuliodd wyth gauaf a phed-

war haf ar ddeg, yn y manau anghysbell a didramwy hyny; ac felly, y mae yn amlwg nas gallesid cael un dyn mwy addas yn yr holl fyd i fyned allan i foroedd y De ar yr ymchwil presennol na'r gwr anturiaethol a hyfedr hwn.

Mae yn ymddangos ddarfod i'r Cadben Ross, ar ol ei ddyfodiad i *Hobart Town*, glywed fod dwy llynt forawl, sef un o Ffrainc, a'r llall o America, wedi cychwyn allan, ar ol ei fynediad ef allan o Frydain, tua Môr y De, i'r cyffelyb berwyl ag yntau, sef i ymofyn am Gyfandiroedd, neu Ynysoedd, os oes rhai, yn y Dosbarth hwnw o'r byd. Ond gan nad oedd y llongau hyny wedi eu haddasu i gyfarfod â pheryglon darnau mawrion o rew yn mhellder eithafion y dosbarth deheuol o'r byd; ac o herwydd anfedrusrwydd y llywyddion dibrofiad a osodwyd arnynt, gorfu arnynt droi yn eu holau, a dychwelyd tua'u hamrywiol borthladdoedd cartrefol. Ac felly, fe dybygid, fod y gorchwyl o ymchwilio eithafion parthau deheuol y byd yn cael ei adael yn unig yn llaw y Prydeiniaid.

Gwyddom fod yn mwriad Cadben Ross i hwylio yn union-gyrchol tua phegwn y de, yr hwn y mae efe yn ddysgwyl ei gyrhaeddyd, sef sefyllfan y maen tynu, tua lledred 68 deheuol, a hydred 144 dwyreiniol. Dyna oedd ei farn ef cyn cychwyn o Frydain; ac y mae yr ardremiadau a wnaeth efe mewn amrywiol fanau ar ei fordaith wedi ei gadarnhau ef yn y farn hòno yn fwy nag o'r blaen.

---

## HANES CALCUTTA.

PRIF ddinas Bengal, yn yr India Ddwyreiniol yw Calcutta; a dyma breswylfa Prif-Lywydd holl Sefydliadau Brydain Fawr yn y Dosbarth hwnw o'r byd. Mae yn debygol fod ein Cenadwr Cymreig, y Parch. Thos. Jones, yn Calcutta ar y pryd yr ydym yn ysgrifenu hyn o hanes; ac o herwydd hyny fe fydd yn hyfrydwch gan lawer o'n darllenwyr gael ychydig o olygfa hanesyddol am y ddinas fawr a phoblogaidd hon.

Mae yn sefyll ar fin yr afon fawr Hoogly, yr hon sydd fraich orllewinol o'r afon nodedig Ganges. Dinas ydyw o adeiladaeth ddiweddar, wedi ei sylfaenu ar y fan lle y bu gynt y pentref paganaidd a elwid Govindpour. Yn y flwyddyn 1690, y cafodd Cymdeithas o Gydfasnachwyr Brydain ganiatad gan lywodraeth y Mogul i ymsefydlu gyntaf yn y lle hwn. A gwr o'r enw Mr. Job Channock a bennododd ar y llanerch i adeiladu y ddinas arni.

O fewn tair milltir i'r ddinas y mae llyn mawr o ddwfr hallt, ac y mae y môr yn ei lenwi ef yn mis Medi; ac yn Rhagfyr y mae yn ei adael yn wag, gan adaw ar ei ol edd o amryw fath o bysgod, y rhai sy'n w o eisieu gwlybwr, ac yn peri drewdod yn yr awyr ag sydd yn bynod o afiachus i'r trigolion o amgylch. Hefyd y mae hen arferiad paganaidd y Gentooaid o daflu cyrph y bobl dlodion a fyddont feirw i'r afon Hoogly yn magu chwaneg o afiechyd yn yr awyr. Ond yn awr y mae y llywodraeth yn cadw dynion mewn cychod ar hyd yr afon i ddefnyddio moddion i'w soddi hwynt i'r gwaelod cyn gynted ag y canfyddont hwynt yn nofio ar y wyneb.

Mae Calcutta, erbyn hyn, yn ddinas fawr a phoblog iawn, yn cynnwys nid llawer llai na miliwn o drigolion, medd Malcom, y teithiwr Cristionogol, yr hwn a ymwelodd â'r gwledydd hyny yn ddiweddar iawn. Y mae y rhan o'r ddinas, a gyfanneddir gan y Brytaniaid, yn cynnwys adeiladau heirdd, ond y rhan fwyaf o'r tai a adeiladwyd yn ol dull cyffredinol preswylfeydd yn yr India. Ei heolydd ydynt gulion iawn, a cheimion hefyd; ac y mae llawer o lynau dwfr a gerddi yn gymmysgedig â hwynt. Y tai a adeiledir weithiau â phriddfeini, a phryd arall â chlai tew, a'r rhan fwyaf â choed a elwir [illegible] a phlethwellt; fel y mae yr holl amrywiaeth hyn o adeiladau yn ymddangos yn anhardd a gwrthun i'r olwg. Nid yw y tai priddfeini ond dau uchder llofft yn gyffredinol; ond y tai *bamboos* a chlai nid ydynt ond un llawr, ac wedi eu toi â gwellt. Mae penau y tai priddfeini yn wastad ac nid yn griboog. Pan ddygwyddo tân ymgymmeryd mewn tŷ, fe lysg y cwbl o'i flaen yn yr ochr hono i'r heol, yn gyffredin, oni ddygwydd fod tŷ o briddfeini i attal ei rediad.

Ond yn y blynyddoedd hyn y mae Calcutta yn cael ei hadnewyddu a'i phrydferthu yn fawr. Yr heolydd yn cael eu sychu, a'r llynau dwfr yn cael eu llenwi, fel y mae y ddinas yn llawer iachach ei hawyr nag y bu, ac heb nemawr o'r tawch a'r tarth afiachus yn codi o'r dyfroedd sefydlog a welid mewn cynnifer o fanau o'i mewn.

Y Castell a elwir Fort William, ac y mae yn rhagori fel amddiffynfa ar bob un o fewn yr holl India. Fe'i dechreuwyd ef ar y cynllun eang ag y mae yn awr gan Arglwydd Clive, yn ddiattreg ar ol rhyfel Plassey. Fe ddywedir iddo gostio dwy filiwn o bunnau.

Calcutta yw prif fasnachle Bengal. Ac y mae ei chynnydd yn sefyll mewn mesur mawr iawn ar y llawn ryddid crefyddol sydd yn cael ei fwynhau gan y trigolion. Mae yno lawn ryddid i bob math o grefydd. Goddefir i'r Paganiaid gario eu heilunod mewn cydgordaith drwy yr heolydd. Mae y Mahometaniaid yn cael dwyn yn mlaen eu crefydd eu hunain mewn heddwch. Ac y mae gan y Pabyddion eglwys iddynt eu hunain; ac felly yr un modd y Protestaniaid hefyd.

Mae cymmysgedd o arferion yr [illegible] a'r Asiaid i'w weled yn [illegible] yn Calcutta. Mae yr olwg ar y [illegible] a'r

amrywiol fath o gerbydau, ceir, mèni, certwyni, cludai, &c. ar hyd yr heolydd yn ddigon i beri syndod ar ddieithriaid. Mae arferion a seremonïau yr Hindwaid, a gwahanol ddulliau eu gwisgiadau, a'u cludai, yn peri fod yr olygfa yn fwy rhyfedd, mae yn debygol, nag un ddinas arall yn yr holl fyd.

(*I'w barhau.*)

## LLYTHYRAU, &c

### ANFOESOLDEB IEUENGCTYD MON AC ARFON.

LLYTHYR I.

BARCHEDIG SYR,—Sylwais yn ddifrifol ar lythyr eich Gohebwr Mr. R. Williams, a ymddangosodd yn y Drysorfa am Ebrill, yn cynnwys hanes am anwybodaeth foesol y werin yn yr Iwerddon; a'r hyn sydd yn gwneud y drwg yn waeth ydyw yr anhawsdra i dynu gwlad o'i harfer; canys yr unig reswm a gafodd Mr. W. ganddynt dros eu casineb i ddarllen y Bibl ydoedd, fod eu heglwys yn gwahardd y fath beth; felly yn dilyn arfer eu gwlad a'u tadau.

Er fod rhai miliynau o aelodau Eglwys Rhufain yn yr Iwerddon, mewn rhwymau ac ufudd dod iddi, etto y mae nifer nid bychan yn Brotestaniaid effro, goleu, a duwiol yn eu plith. Tybiwn, gan hyny, fod rhai o'r cyfryw yn darllen, yn yr *Old England*,* hanes y brawdlys olaf a fu yn Nghaerynarfon, lle yr hysbysir am gŵyn a roes merch ieuangc yn erbyn Ffermwr cyfrifol am Dori Ammod Priodas (*Breach of a Promise of Marriage*) a'r modd yr ymddygodd efe i geisio tori ei charitor. Gwysiodd, medd yr hanes, o ddeg i ddeuddeg o ddynion ieuangc i dystiolaethu ei bod hi wedi caniatau iddynt o amser i amser fyned i'r gwely ati. Atebodd y *Counsellor*, Mr. Temple, drosti nad oedd hi i'w beio yn y peth hwnw, am mai hyny oedd arfer y wlad, a bod ei charitor mor lân a merched ieuangc y wlad yn gyffredin!!

Fel hyn, trwy yr argraffwasg, mae hanesion a helyntion y naill wlad yn dyfod yn adnabyddus i'r llall. A thra bom ni, yn Sir Gaernarfon, yn gofidio dros gyflwr y gwr o Glawdd Offa y coffheir am dano yn yr un Rhifyn, ac am gyflwr y Pabydd yn yr Iwerddon, y mae y Protestant hefyd yn Nublin yn gwrido am ansawdd ac arferion ein gwlad ninnau, ac yn synu, fel y barnwr, Syr J. Williams, fod y fath gywilydd-dra yn oddefol hyd yn nod yn mhlith yr uchelwyr yn Arfon.

Hwn yw y prawf cyntaf a fu yn ein plith ar y fath achos, ac y mae yr hanes yn argraffedig i bawb a'i darlleno, ac arfer ein gwlad yn gyhoeddus i'r byd. Ac yn ngwyneb y fath ffieidd-dra amcanaf, drwy eich caniatad, appelio yn y Drysorfa, 1. At ferched ieuaingc ein gwlad. 2, At y meibion. 3, At benau teuluoedd. Ac yn 4, At y wladwriaeth yn gyffredinol, i ymdrechu i alltudio y fath warth pechadurus o'n gwlad.

*Llandegai.* ARDREMIWR.

* Hotel, neu dafarndŷ parchus, yn St. George's Quay, Dublin, lle y derbynir Newyddiaduron o Gymru.

## ANERCHIAD

### AT GYMDEITHAS ELUSENGAR TREFRIW, IONAWR 16, 1841.

*Yr hon a ffurfiwyd yn ddiweddar tuag at gynnorthwyo teuluoedd tlodion yn y gymmydogaeth.*

GYFEILLESAU ELUSENGAR.—Un o'r addurniadau prydferthaf ar Gristionogion yw *tymmer haelionus.* Mae hon yn dosturi yn y meddwl, yn drugaredd yn y galon, ac yn rhoddion yn y dwylaw. Gwna ei meddiannydd mor deimladwy a phe byddai oll yn fywyd digymmysg. Hi a esyd ei *glust* a'i *lygaid* cyn agosed i'w *galon* fel na ellir cyfleu dim dan olygiad y naill heb sylw y llall. Pan 'ddychymyga ei *galon* ef haelioni,' fe chwilia ei *glust* a'i *lygaid* ef y 'cŵyn ni wyddai:' a phan ddygir ato gŵyn y weddw a'r amddifaid, 'efe a egyr ei enau, a farn yn gyfiawn, ac a ddadleu dros y tlawd a'r anghenus; Ie, efe a egyr ei law i'r tlawd, ac a estyn ei ddwylaw i'r anghenus.'

Pryd y byddo gwlad wedi ei llenwi o gybyddion, 'hwy a ddiddymmant enaid y newynog, ac a wnant i ddiod y sychedig ballu;' ond pan amlhäo y rhai haelionus yn y tir, 'bydd llawer o ymborth yn maes y tlodion.' Os gwelir crefydd yn adfeilio mewn gwlad, bydd y dymmer hon yn ymddieithro; ond pan flaguro duwioldeb mewn bro, fe flodeua *haelioni.* Cadarnheir hyn gan ragfynegiad y Prophwyd Esaiah am ddychweliad Tyrus, pan y dywed am ei effeithiau (23. 18.) "Yna y bydd ei marchnad a'i helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd: ni thrysorir ac nis cedwir: canys eiddo y rhai a drigant o flaen yr Arglwydd fydd ei marsiandiaeth; i fwytta yn ddigonol, ac yn ddillad parhaus." Gyda golwg ar hyn y dywed Ioan hefyd, yn ei Epistol cyntaf (3. 17.) na's gall fod cariad at Dduw yn yr hwn a gauo ei dosturi oddiwrth yr anghenog, pan fyddo ar ei law ei gynorthwyo.

Teilwng o'ch sylw hefyd yw, eich bod wrth gymmorth y tlodion yn eu hangen, yn cyflawni un o'r dyledswyddau a gymhella Duw drwy yr oesoedd ar ddynion. Os edrychwch i ddeddf Moses, cewch weled fod Duw yn gorchymyn hyn yno: ac yn defnyddio llawer o resymau i gymmell cenedl Israel i'w chyflawni. Weithiau efe a gyfyd o flaen ein llygaid, y berthynas a hanfoda rhyngddo ef a'r tlawd, er eu cymmell at hyn; 'Canys fy ngweision i ydynt,' medd efe, Lef. 25. 42. Drachefn, coffâ iddynt berthynas y cyfoethog a'r tlawd â'u gilydd,

i'r dyben o gynhyrfu eu tosturi at yr anghenog. 'A phan dlodo dy *frawd* gyda thi, a llesgâu o'i law; cynnorthwya ef, fel y byddo byw gyda thi; er ei fod yn ddieithrddyn, neu yn alltud.' 'Gan agoryd, agor dy law i'th *frawd*, i'th anghenus, ac i'th dlawd yn dy dir.' Lef. 25. 35. Deut. 15. 11.

I'r un dyben y dwg efe ar gôf iddynt bryd arall, y caredigrwydd a dderbyniasant eu hunain, pan y'u gwaredwyd hwy o'r Aipht. 'A chofia mai gwas fuost yn nhir yr Aipht, a'th waredu o'r Arglwydd dy Dduw: am hyny yr ydwyf yn gorchymyn y peth hyn i ti heddyw,' sef cofia y tlawd. Deut. 15. 15.

Yr ydym yn cael fod Duw yn gwrthod gweddi ac ympryd yr un genedl, wedi hynny yn amser y prophwyd Esaiah, am nad oeddynt yn cyflawni y ddyledswydd hon. 'Onid dyma yr ympryd a ddewisais? onid tori dy fara i'r newynog, a dwyn o honot y crwydriaid i dŷ, a phan welych noeth ei ddilladu; ac nad ymguddiech oddiwrth dy gnawd dy hun.' Esa. 58. 6, 7. Aml iawn y geilw y Testament Newydd am hyn hefyd. 'Ond gwneuthur daioni (medd yr Apostol) a chyfrannu nac anghofiwch.' Heb. 13. 16.

Y peth nesaf a gyflwynaf i'ch sylw yw, eich bod wrth gyfrannu i'r tlodion yn dilyn ôl traed y praidd a fu yn y byd y cynoesoedd. Yr oedd eu goreuon yn enwog yn eu gofal am y tlodion. Job a lefai o'r cynddydd, 'Llygaid oeddwn i'r dall, a thraed oeddwn i'r cloff. Tad oeddwn i'r anghenog; a'r cwyn ni wyddwn a chwiliwn allan.' (29. 15 16.) Ac Apostol mawr y cenhedloedd a ddywedai ymhen oesoedd wedi hynny, 'Yn unig ar fod i ni gofio y tlodion, yr hyn hefyd y bum i ddiwyd i'w wneuthur.' Gal. 2. 10.

Nid anmhriodol, efallai, fyddai i mi yn y lle hwn, eich arwain at rai o'r gwragedd sanctaidd a fu gyda y weinidogaeth hon o'ch blaen. Y mae Solomon yn rhestru hyn gyda rhagoriaethau y wraig rinweddol, gan ddywedyd, 'Hi a egyr ei llaw i'r tlawd, ac a estyn ei dwylaw i'r anghenog.' 'Cyfraith trugaredd sydd ar ei gwefusau.' Diar. 31. 20, 26. Dowch ymlaen oddiyna i'r 8fed o Luc, cewch Joanna a Susanna, a llawer eraill, yn gweini i'r Iesu yn ei dlodi, o'r pethau oedd ganddynt. Ewch wedi hynny i'r 9fed o'r Actau, chwi a welwch luaws o wragedd gweddwon yn wylo ar ol *Dorcas*, ac yn dangos i Pedr y peisiau a'r gwisgoedd a wnaethai hi iddynt yn ei bywyd. Yn yr 16eg o'r Epistol at y Rhufeiniaid hefyd, y mae yr Apostol yn coffa am Phebe, Mair, Tryphena, Tryphosa, a Persis, y rhai oedd yn cymmeryd llawer o boen gyda hyn, ac a fuont gymmorth i lawer. Ac wrth ysgrifennu at Timotheus, efe a ddywed, 'Na ddewiser yn weddw un a fo dan driugain mlwydd oed, yr hon fu wraig i un gwr, yn dda ei gair am weithredoedd da, os dygodd hi blant i fynu, os bu letengar, o golchodd hi draed y saint, o chynnorthwyodd hi y rhai cystuddiol, o dilynodd hi bob gorchwyl da." Am hynny cyfarchaf chwi yngeiriau y bardd.

Agor dy drysor, dod ran—trwy gallwedd
Tra gellych i'r truan,
Gwell ryw awr golli'r arian,
Na chau'r god, a nychu'r gwan.

Ymhellach, hyfryd i chwi yw cofio bod Duw wedi troi afonydd ei fendithion i redeg i'r ffynhonnau y tardd elusenau o honynt. Hyn a gadwodd *Gelwrn* a *Sten*, y weddw o *Sarepta* yn llawnion, er cyfrannu o honynt i ŵr Duw. 'Gwyn ei fyd a ystyrio wrth y tlawd, (medd Dafydd) yr Arglwydd a'i gwared ef yn amser adfyd.' A'r doethaf o ddynion a ddywed, 'Rhyw un a wasgar ei dda, ac fe chwanegir iddo; a rhyw un arall a arbed fwy nag a weddai, ac efe a syrth i dlodi. Y neb a roddo i'r tlawd ni bydd angen arno; ond y neb a guddio ei lygaid a gaiff lawer o felldithion.' Ac odid nad yw hir ymarferiad a'r ddyledswydd hon, wedi eich gallnogi chwithau i ddywedyd oddiar brofiad, nad yw 'Rhoddi i'r tlawd, ond rhoddi echwyn i'r Arglwydd,' a gwyddoch na edy Duw mo'i fenthyg heb ei dalu gyda llôg. Nid oes gennym un hysbysiad y bydd Duw yn gwneuthur un cydnabod o neb am roddi llawer o arian yn y *Banc*; ond y mae gennym y sicrwydd mwyaf, y bydd ein rhoddion i'r tlodion yn cael eu cyfrif yn deilwng o'u cyhoeddi yn rhinweddau yn y farn diweddaf. Mat. 25. 35—40. Gan nad llafurio am gyflog yr ydych, etto, bydd cofio nad yw Duw yn anghyfiawn fel yr anghofio eich gwaith, yn peri adnewyddol sirioldeb i'ch meddyliau yn eich llafur.

Drachefn, buddiol yw i chwi gofio, bod cyfrannu i gyfreidiau y saint yn foddion i gynnyddu mewn gras. Nid annifyr, nac anfuddiol, gobeithio, fydd i chwi ddarllen y 58 o Esaiah, lle y cyfarfyddwch a'r geiriau canlynol a'u cyffelyb:—'Os tynni allan dy enaid i'r newynog, a diwallu yr enaid cystuddiedig; yna dy oleuni a gyfyd mewn tywyllwch, a'th dywyllwch fydd fel hanner dydd. A'r Arglwydd a'th arwain yn wastad, ac a ddiwalla dy enaid ar sychder, ac a wna dy esgyrn yn freision, a thi a fyddi fel gardd wedi ei dyfrhau, ac megys ffynnon o ddwfr yr hon ni phalla ei dyfroedd.'

Yn y 6ed at yr Hebreaid, a'r 10, 11 o adnodau, cewch y ddyledswydd hon ynghydag eraill, yn cael ei dodi i lawr fel moddion i gyrraedd 'llawn sicrwydd gobaith hyd y diwedd.' Yn awr, gwelwch bod [illegible] yn haelionus at y tlodion, yn llw[illegible] i ymgyfoethogi mewn gras. *Am* [illegible] *chwiorydd anwyl, byddwch* [illegible] *a helaethion yngwaith yr* [illegible]

*tadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd.*

Y mae un ystyriaeth arall ar fy meddwl, a duedda i'ch calonogi i fyned ymlaen yn eich rhoddion i'r tlodion, sef, Mai â 'chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw.' 'Llewyrched felly eich goleuni gěr bron dynion,' medd Crist, 'fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi; ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.' Gogoneddu Duw, yw ei gydnabod ef y peth ydyw: felly y mae cywir wneuthur elusen yn ogoniant i Dduw yn gymmaint a'i fod yn gydnabyddiaeth o'i awdurdod ef yn gofyn gennym y ddyledswydd hon. Heblaw hynny, 'Y mae gweinidogaeth y swydd hon (elusengarwch) nid yn unig yn cyflawni diffygion y saint, ond hefyd yn ymhelaethu trwy aml roddi diolch i Dduw.' Am hynny, cerddwch rhagoch, fy chwiorydd, a gogoneddwch Dduw yn hyn o ran; 'Canys y mae Duw yn abl i beri i bob gras fod yn helaeth tuag attoch chwi; fel y byddoch chwi ymhob peth, bob amser, a chennych bob digonolde yn helaeth i bob gweithred dda.' 'Wedi eich cyfoethogi ymhob peth i bob haelioni, yr hyn sydd yn gweithio trwom ni ddiolch i Dduw.

CARWR RHINWEDD.

## "AGWEDD CREFYDD YN NGHYMRU."

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR—Caniatewch i mi, drwy gyfrwng y Drysorfa, hysbysu eich Gohebydd IOAN, yn atebiad i'w lythyr ataf drwy yr un llwybr, y mis diweddaf, fod y Traethawd a ysgrifenais ar y mater uchod weithian yn y Wasg (ac yn wir yr oedd wedi ei hanner argraffu cyn i'w lythyr ymddangos) a bydd yn barod i'w werthu erbyn diwedd y mis hwn. Gan fod gryn amser wedi pasio er pan ysgrifenais ef y waith gyntaf, gorfuwyd i mi dynu ymaith rai pethau, ac ychwanegu at faterion ereill, fel yr oedd yr achos a'r amser presennol yn gofyn. Gan obeithio y bydd y Traethawd fel y mae yn awr, yn llaw Ysbryd yr Arglwydd yn foddion i argyhoeddi y difraw, ac i adfywio yr Eglwys yn mysg fy nghydgenedl yn gyffredinol.

Cyn i mi, o ran fy meddwl, foddloni i gychwyn ar y gwaith pwysig o ysgrifenu ar "Agwedd Crefydd yn Nghymru, ynghyd a'r moddion tebycaf i gaffael adfywiad crefyddol," yn ol yr hysbysiad a ymddangosodd yn y Drysorfa, y Gwladgarwr, a'r Dysgedydd, penderfynais, os byddwn yn llwyddiannus i gael y naill wobr neu y llall a gynnygiasid, y rhoddwn y cwbl oll at ryw achosion crefyddol. Ac yr wyf yn addaw etto, os ceir gwerthiant da ar y Traethawd, y prïodolaf ryw gyfran o'r elw at yr unrhyw achosion.

Mae Awdwr y "Pregethwr a'r Gwrandawr" wedi ei ddarllen drwodd mewn llawysgrifen, ac wedi cyfansoddi Llythyr canmoliaethol rhagorol i fod yn brintiedig yn ei ddechreuad; a chyfaill arall, yr hwn a gafodd ac a gymmerodd y drafferth fwyaf gyda'r gorchwyl amcanedig o'r dechreu, sef Mr. Thomas Jones, Wrexham, gwedi ysgrifenu Llythyr eglurhaol ar yr holl achos, yr hwn hefyd a argreffir yn yr un modd.

Gellir crybwyll cymmaint a hyny hefyd fod un o'r tri beirniaid pennodedig, sef y Parch. Edward Davies, gynt Athraw Athrofa y Drefnewydd, gwedi barnu y Traethawd hwn yn oreu ar y matter. Mi goeliaf y bydd hyn oll gyda'u gilydd yn help nid bychan tuag at ei werthu, ac y bydd hefyd fel rhyw radd o feddyginiaeth i'r holl siomedigaethau blaenorol.

Gweler ar glawr y Rhifyn hwn am faint, pris, a dull y llyfr, a chan bwy y mae ar werth, &c.——Eich ufudd was,

JOSEPH WILLIAMS.

*Liverpool.*

## MEDDIANNAU A GYFRENNIR AT ACHOSION CREFYDDOL.

GAN fod neillduo rhyw gyfran o'n meddiannau bydol at achos crefydd yn ddyledswydd orphwysedig ar bawb, nid afreidiol yw ymofyn pa fodd y mae cyfiawnder yn galw am i'r meddiannau hyny gael eu defnyddio. Mewn perthynas i'r rhoddion a gyfrenir heb un dyben iddynt gael eu cadw fel cyfoeth neu *fund* barhaus nid oes un dyryswch; ac y mae yn ddiau mai dyma y dull goreu o gyfranu mor belled ag y mae yn ddichonadwy. Ond y mae yn amlwg nas gellir dwyn yn mlaen waith yr Arglwydd heb ryw gymaint o feddiant sefydlog. Yn enwedig y mae addoldai yn wir angenrheidiol. Pe gellid gwneuthur hebddynt rhagflaenid llawer o ymryson a therfysg; ond nid oes un llwybr o'r fath, hyd yma, wedi ei ddwyn i'r golwg. A thra fyddo tai yn cael eu harfer i addoli, y maent o angenrheidrwydd yn feddiannau arosol; ac am y dull goreu o ddefnyddio y cyfryw feddiannau y mae rhai yn teimlo anhawsder i benderfynu.

Nid oes neb yn dadleu yn erbyn cyfoeth sefydlog o'r fath a nodwyd. Nid yn hyn y mae'r amheuaeth. Y mae gan yr Annibynwyr addoldai yn gystal ag enwadau ereill; ac os gadewir arian i fod yn gyllidfa barhaus mewn cysylltiad â'r addoldai hyny, nid wyf yn deall fod neb o honynt yn eu gwrthod. Ond pan gyfrenir tir iddynt i adeiladu addoldai, neu pan dderbyniant arian ar ryw ammodau penodol, y mae rhai o honynt yn dadleu ei bod yn gyfiawn iddynt gadw yr addoldai a'r arian heb sefyll at yr ammodau. Dyma farn a pha un nis gallaf mewn un modd gydweled. Y mae yn ymddangos i mi na ddylem weithredu yn groes i'r gyfraith wladol mewn un amgylchiad, oddieithr pan fyddo gair yr Arglwydd yn galw am hyny. Ond nid yw yn debyg y bydd neb o'r Annibynwyr mor ffol

a haeru fod yr Ysgrythyr yn eu rhwymo i ddal gafael, doed a ddelo, yn yr addoldy a'r cwbl sydd yn perthyn iddo. Os yw eu cydwybodau yn peri iddynt newid o ran eu barn, nid oes un gydwybod yn peri iddynt gadw yr addoldŷ. Os na fedrant gydymffurfio a'r ammodau, paham na allant adael llonydd i'r meddiannau?

Fe allai y dadleuir nad oes gan neb hawl i drefnu pa ddefnydd a wneir o'u meddiannau ar ol eu marwolaeth. Byddai yn hawdd profi i'r gwrthwyneb; ond nid yw hyny yn angenrheidiol yn y lle hwn; oblegid derbynir y cyfryw feddiannau yn ddirwgnach gan yr Annibynwyr eu hunain. Ond os nad oedd gan y rhoddwr hawl i gyfranu, neu os nad ydynt hwy yn foddlon i'r ammodau, paham y derbyniant y rhodd? Os nad yw yn gyfreithlon bradychu ymddiried, os oes drwg mewn tori ammod, ac os oes gwahaniaeth rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder, yna y mae yn berffaith eglur y dylent wneuthur un o ddau beth, un ai gwrthod y rhodd, neu gyflawni yr ammodau ar ba rai yr oedd y rhodd yn cael ei chynyg iddynt.

Drachefn, os oes ganddynt ryddid i dori ymrwymiad ar ol marwolaeth y rhoddwr, paham nad oes ganddynt yr un hawl cyn hyny? Y mae yn debyg am yr holl addoldai Annibynol sydd a *deeds* yn perthyn iddynt fod eu cynulleidfaoedd yn ystyried eu hunain yn rhwym o sefyll at y *deeds* tra fyddo y rhoddwyr yn fyw. Hyd hyny ni chant bregethu na dysgu dim yn groes i'r *deeds*. Onid oes yma anghysondeb? Onid oes yma yr hyn a alwant hwy yn gaethiwed? Er mwyn bod yn fwy cyson â hwynt eu hunain, dysgwyliaf eu clywed yn dadleu o hyn allan eu bod yn rhydd i wyrdroi y *deed* cyn marwolaeth y rhoddwr, a bod ganddynt hawl i dori yr ymrwymiad, os dewisant, y diwrnod cyntaf ar ol ymrwymo. Nid yw o un dyben iddynt ddweyd eu bod yn erbyn pob math o ymrwymiadau; oblegid *y mae deeds* yn cynwys pynciau duwinyddol fel ammodau yn perthyn i ugeiniau o addoldai Annibynol: ac os nad wyf yn camsyniad, dyma'r ffaith am y rhan fwyaf o honynt. Am yr addoldai hyny yr ydym yn bresennol yn siarad; ac am yr addoldai hyny y mae rhai wedi haeru fod yr eglwysi yn rhydd i dori eu hymrwymiadau, yr hyn sydd yn ymddangos i mi yr anghyfiawnder mwyaf a ellid byth ei gyflawni.

Pe byddai eisiau dweyd mwy, gellid ychwanegu fod yr Annibynwyr eu hunain, mewn un amgylchiad nodedig, wedi ymddwyn yn ol yr egwyddor a amddiffynir genyf. Yr oedd Lady Hewley wedi gadael arian at ddybenion neillduol i ryw eglwysi yn Lloegr. O ychydig i ychydig aeth yr eglwysi hyny yn Sociniaid. Ond am fod yr arian yn cael eu defnyddio ganddynt *yn groes i'r deed*, y mae amryw bersonau wedi ymdrechu i'w cael yn ol at eu dybenion priodol: a'r personau hyny ydynt Annibynwyr. Cefnogwyd hwynt gan gyhoeddiad misol, a'r cyhoeddiad hwnw yw y *Congregational Magazine*. Yn awr, gofynaf yn sobr, A yw yr ymdrech hwn yn ymdrech cyfiawn? Os ydyw, y mae defnyddio meddiannau yn groes i'r dybenion at ba rai y cyfrenir hwynt yn anghyfiawn; ac y mae y rhai a ddadleuant dros hyny yn euog o gefnogi anghyfiawnder. Teimlwyf braidd yn chwith fod yn rhaid treulio cymaint o amser i esbonio testyn ag sydd mor hawdd i bob dyn diragfarn ei ddeall: ond gobeithiaf ei fod erbyn hyn yn eglur i'r byraf ei gyrhaeddiadau, ac y gellir ystyried bellach fod y pwnc hwn wedi ei benderfynu.

Y gwirionedd nesaf y dymunwn alw sylw atto ydyw hwn. Mewn eglwysi Annibynol y mae yr addoldai a'r oll sydd yn perthyn iddynt yn eiddo i'r gweinidogion; hyny yw, nis gall yr eglwys droi ymaith y gweinidog a dewis un arall yn ei le, tra na fyddo y gweinidog hwnw yn euog o heresi neu anfoesoldeb. Dywedais hyn fwy nag unwaith o'r blaen, ac nid oes neb wedi cynyg ei wadu. Pa beth, gan hyny, yw attebiad yr Annibynwyr? Gellir ei gynwys i gyd mewn tair llythyren, sef, d i m, dim. Ffordd gyffredin rhai dynion pan ddygir ffaith anwadadwy yn eu herbyn, yn lle cyfaddef y gwir, yw brygawthan â'u holl egni am gant a mil o bethau nad ydynt yn perthyn dim i'r pwnc; ac yna gwaeddant ar eu cyfeillion, Oni welwch chwi mai ni sydd yn iawn? Ac ond odid na fydd rhai o'r cyfeillion hyny yn ddigon anwybodus i'w credu. Byddaf bob amser yn barnu, pan welaf ddyn yn ymddwyn fel hyn, mai gwaith ofer yw ei ddilyn ar hyd ei holl drofeydd. Oni cheidw at y testun, y mae yn amlwg mai nid cael allan y gwirionedd sydd mewn golwg. Ond nid oes un gradd o berygl iddo hudo neb ond y rhai na fedrant, neu y rhai na fynant, ddosbarthu rhwng drwg a da. Gofyniad pob dyn call yw, Pa beth sydd wirionedd? Ac fe genfydd y cyfryw mai y gwirionedd ar y pwnc hwn ydyw, nad oes gan eglwys Annibynol yr un gradd o feddiant yn yr addoldŷ, na gallu i beri i'r gweinidog ymadael pan na fyddo efe ei hun yn dewis. *Facts are stubborn things*; a dyma'r *fact* neu'r ffaith: dyma wirionedd nas gellir ei ddadlu; ac yn yr olwg arno pwy na theimlai dosturi at sefyllfa yr eglwysi Annibynol? Pe byddai y cwbl a ddywedir am *deed* y Trefnyddion yn hollol gywir; etto byddant yn mwynhau mwy o ryddid, ac yn llawer mwy dedwydd, hyd yn nod yn yr agwedd hono, na'r Annibynwyr.

Dalier sylw hefyd mai nid barn rhyw *Dwrne* bychan sydd genyf i bwyso arno; ond y mae'r ddadl wedi ei phenderfynu drwy awdurdod yr *High Court of Chancery*. O ran hyny, ni fu dim dadl erioed mewn perthynas i hawl *yr eglwys neu'r gynulleidfa*. Fe wyr pawb ag sydd yn gwybod dim, fod hyny yn annichonadwy, heb i'r

eglwys neu'r gynulleidfa fyned i'r draul o gael *deed* fel un y Trefnyddion Calfinaidd wedi ei *hen rolio* yn y *Court of Chancery*. Yr holl ddadl oedd rhwng y *Trustees* a'r gweinidog, ac y mae hono wedi ei phenderfynu o blaid y gweinidog; ac yn ol y penderfyniad y mae y gweinidog yn ansymudadwy, oddieithr iddo fod yn euog o ryw gyflafan anghyffredinol. Fe allai y dywed yr eglwysi annibynol nad ydynt yn dewis appelio mwy at y gyfraith wladol. Pa fodd ynte y maent yn meddwl cael yr addoldai yn eiddo i'r eglwysi? A ydynt yn bwriadu cymeryd y gyfraith i'w dwylaw eu hunain? Gan nas gallant eu cael *yn ol* y gyfraith, a ydynt yn bwriadu cymeryd meddiant o honynt *yn groes* i'r gyfraith? Gwell iddynt aros yn gyntaf nes y deuant yn ddigon cryfion i wrthsefyll galluoedd y gyfraith. Hwyrach y gwrth-ddadleuir ymhellach mai ar y *deeds* y mae'r bai, a phe byddai yr addoldai Annibynol hebddynt y byddent yn eiddo i'r eglwysi. Dyma gamgymeriad etto. Yn y lle cyntaf, y mae yn rhaid wrth *deeds* o ryw fath neu gilydd cyn y bydd yr addoldai yn feddiant i neb. Yn ail, fod pynciau duwinyddol yn ammodau ynddynt sydd yn rhoddi hawl i'r Trustees droi ymaith y gweinidog oblegid heresi. Ac yn drydydd, pe na byddai pynciau duwinyddol ynddynt, nis gellid troi ymaith y gweinidog pe pregethai Sociniaeth neu Southcotiaeth. Felly y mae tu hwnt i bob dadl nad yw addoldai Annibynol, ac nas gallant fod, yn eiddo i'r eglwysi. Yr unig ffordd i gael addoldai yn eiddo cyffredinol i gymdeithas o bobl fel y cyfryw yw trwy gyfrwng *Constitutional Deeds*, cyffelyb i rai y Trefnyddion Wesleyaidd, neu y Trefnyddion Calfinaidd. Heb hyny y mae meddiant yr addoldai yn rhwym o fod yn nwylaw personau neillduol: nid oes gan y gymdeithas na hawl iddynt na llywodraeth arnynt.

Wedi i'r ffaith hon gael ei gosod ger bron er ys misoedd lawer yn yr iaith Gymraeg, a hono yn Gymraeg hawdd i'r ysgolhaig lleiaf ei deall, a chan ei bod hefyd mor sicr fel na feiddir ei gwadu, onid yw yn rhyfedd clywed neb yn dweyd fod yr Addoldai, yn ol trefn yr Annibynwyr, yn eiddo i'r eglwysi? NAC YDYNT, meddaf unwaith etto, NID ydynt yn eiddo i'r eglwysi. A chan nad ydynt, ac nas gallant fod felly heb *Constitutional Deed*, i ba ddyben y cruglwythir geiriau ar draws eu gilydd i ganmol y drefn Annibynol? Cymmerwch yn araf, anwyl gyfeillion, a gadewch i ni ofyn i chwi un neu ddau o gwestiynau. Dyma weinidog T. a gweinidog Ll. onid yw yr eglwysi wedi liwyr flino arnynt, ac yn dewis iddynt ymadael? "Ydynt, y mae hyny yn ddigon gwir." Y mae yn rhaid eu bod gan hyny yn bur annedwydd; ond aroswch, onid ydych yn arfer dweyd fod yr addoldai, yn ol eich trefn chwi, yn eiddo i'r eglwysi? "O ydym—trefn ragorol yw ein trefn ni. Nyni fydd yn fuan yn llenwi y byd." Da iawn: ond y mae un peth yn lled dywyll i mi, sef pa fodd y mae y gweinidogion a nodwyd yn cael aros yn faich ac yn flinder i'r eglwysi? Paham na ddywedid wrthynt fod yn rhaid iddynt ymadael? "Wel—ie—ond—ond—a glywsoch chwi am y gyfundraith hollol newydd sydd wedi ei darganfod yn ddiweddar?" *Come to the point*, frodyr; paham nad yw yr eglwysi yn troi ymaith eu gweinidogion, pan ewyllysiant wneuthur hyny? "Wel, y gwirionedd yw, fod y gwyr a enwasoch wedi myned yn rhy gyfrwys; a chan fod ganddynt ddigon i fyw arno heb ymddibynu ar yr eglwys, y maent yn rhoddi her i neb eu troi ymaith." Felly yn wir; ond un gair etto. Paham, frodyr hybarch, yr arferwch ddweyd fod eich addoldai yn eiddo i'r eglwysi, pan y gwyddoch nad ydynt?" "Wel, y mae hyny yn atteb dybenion neillduol gyda'r gwrageddos anwybodus; ac nid oedd dim achos i chwi ein dynoethu fel y gwnaethoch yn y Drysorfa. Pe medrem, ni a'ch cospem i'r eithaf. Yr ydym wedi bod yn ymgynghori âg amryw gyfreithwyr, ond—" Ië, yr ydych chwithau yn hoffi y gyfraith wladol weithiau; ond am yr addoldai yr oeddym yn ymddyddan; ac mi a welaf nad yw yr holl ystwr ynghylch hawl yr eglwysi ond siarad ofer. Nid yw y cwbl ond sŵn gwag heb ddim sylwedd. Yr ydym yn cael yn y diwedd mai dadleu yr oeddych o blaid rhywbeth nad oedd, ac nad yw mewn bodoliaeth.

Dywedir am ryw *Showman* unwaith, ei fod, yn mhlith llawer o bethau dieithr ereill, yn dangos cleddyf, gan ddywedyd wrth yr edrychwyr synedig, Dyma y cleddyf â pha un y tarawodd Balaam yr asyn. "Ha wyr bach, meddai un, dyna beth rhyfedd.' "O, meddai y llall, y fath beth mawr yw bod yn ddyn dysgedig." Ond dygwyddodd fod yno un yn gwybod ychydig o wahaniaeth rhwng ei law ddehau a'i law aswy; a dywedodd hwnw wrtho nad oedd gan Balaam yr un cleddyf, ond mai dymuno yr ydoedd fod ganddo gleddyf. Digon gwir, meddai y *Showman*, ond nid yw hyny o ddim pwys, oblegid dyma y cleddyf ag yr oedd Balaam yn dymuno am dano. Felly am yr Annibynwyr, y mae rhai o'u hamddiffynwyr yn dra hoff o ddangos yr awdurdod sydd gan yr eglwysi i'w harfer tuag at y gweinidogion. Ond erbyn edrych, nid ydyw yr awdurdod hòno ganddynt: ac fe allai y dywedir bellach nad yw hyny o ddim canlyniad, oblegid fod yr eglwysi yn dymuno am dani. Y mae ganddynt lawer o ragorfreintiau, ac y maent yn hynod o gyfoethog *mewn dymuniad*. Gallant ddymuno cael yr addoldŷ iddynt eu hunain. Gallant ddymuno am weinidog newydd. Gallant ddymuno am i'r hen ymadael, neu gael ei symud oddiar y ddaear. Ond mor gynted ag y dywedant air wrtho, *Stop*, medd y gweinidog, myfi bia 'r capel.

Os nad ydynt yn foddlawn i'r gymhariaeth uchod, dyma un arall. Mewn llyfr a gyhoeddwyd yn ddiweddar dan yr enw, *Sayings and Doings of Samuel Slick*, o waith yr Ynad Halyburton, y mae Samuel yn adrodd ei fod un noswaith yn cysgu mewn gwely *damp*, ar dywydd oer, mewn tŷ adfeiledig, a'r eira yn dyfod i mewn trwy y to i'r ystafell. Ac mewn breuddwyd fe welai un o'r rhianod mwyaf prydferth yr olwg arni yn mron rhynu gan oerfel. Samuel a dosturiodd wrthi, a daflodd ei fantell drosti, ac a wnaeth bob ymdrech i'w hymgeleddu. Ond er mawr ofid i Samuel druan, *hi a fu farw.* Ofer fyddai ceisio dysgrifio ei deimladau mewn amgylchiad mor ddifrifol. Yn y fan, beth bynag, fe ddeffrôdd; a pha beth oedd ganddo ond llonaid ei freichiau o eira! Nid annhebyg yw sefyllfa rhai o'r Annibynwyr. Meddyliasant eu bod wedi cael gafael mewn trefniant na fu erioed o'r blaen ei fath. Yr addoldŷ yn eiddo *for ever* i'r eglwys; Jubili y Milflwyddiant wedi gwawrio; a hen greigiau Cymmru yn dechreu dyspedain gan sain yr hen benill hwnw,

Nyni, nyni, pwy ond nyni,
Sy'n haeddu'r mawl, a'r parch, a'r bri.

Ond ysywaeth, y maent hwy eu hunain yn gorfod cyfaddef fod yr oerfel wedi ymaflyd yn nghyfansoddiad y trefniant; ac er yr holl ffwdan i'w gysuro, a'i ganmol, a gweini ymgeledd iddo, y mae nâdau brawychus y cyfeillion yn dangos nad oes ganddynt fawr obaith am ei hoedl. Ond y gwirionedd yw, pe craffent ychydig yn fanylach, caent weled na bu y fath drefniant erioed mewn bod, ac nad yw y cwbl yn ddim yn y byd ond breuddwyd Samuel Slick.

Rhag ofn y gall fod rhyw un mor fyr ei gyrhaeddiadau fel nad yw etto yn deall, gosodaf y ffaith uchod ger bron unwaith yn yn ychwaneg. Yn gyntaf, *er* rhwymo yr addoldŷ wrth ryw grynodeb o bynciau duwinyddol, nis gall eglwys Annibynol droi ymaith y gweinidog, os na fydd yn euog o heresi neu anfoesoldeb. Ac yn ail, *heb* rwymo yr addoldŷ wrth bynciau duwinyddol nis gall ei droi ymaith ond oblegid anfoesoldeb yn unig, yr hyn sydd yn gwneyd ei chyflwr yn gaethach fyth. Dyma fel y mae y mater wedi ei benderfynu drwy awdurdod y llywodraeth; a pha newidid y penderfyniad hwn mewn amser dyfodol, ni fyddai hyny yn effeithio ond i symud y llywyddiaeth o ddwylaw y gweinidog i ddwylaw y *Trustees*, yr hyn a'i gwnelai yn gaethach fyth etto. Ymddengys mai yr enw sydd gan rai o honynt ar y Trefnyddion yw, Pobl y goreu i gyd. Y mae yr enw yn eithaf priodol am a wn i; ac yr un mor briodol fyddai eu gâlw hwythau, Pobl y gwaethaf i gyd. Os na allant droi ymaith y gweinidog ond oblegid heresi neu anfoesoldeb, y mae yn ddrwg felly; ond os na allant ei droi ymaith ond oblegid anfoesoldeb yn unig, gwaethaf i gyd er mwyn Annibyniaeth. Os yw y llywyddiaeth yn hollol yn nwylaw y gweinidog, y mae yn ddrwg felly; ond pe symudid y llywyddiaeth i ddwylaw y *Trustees*, gwaethaf i gyd etto er mwyn Annibyniaeth. Pa beth a ddaw o honynt, druain,—*Pobl y gwaethaf i gyd.*

Mi feddyliwn bellach fod hyn yn ddigon o barthed i'r trefniant Annibynol. Fe wel y darllenydd fod y sylwadau uchod wedi parotoi y ffordd i ddangos dyben a natur *Constitutional Deed* y Trefnyddion Calfinaidd; ond gan fod yr ysgrif hon wedi myned eisoes yn ddigon maith, gadewir hyny hyd y Rhifyn nesaf.

L. EDWARDS.

---

## CYFARFOD YSGOLION Y GROES.

MR. CYHOEDDWR.—Derbyniais y llythyr canlynol oddiwrth gyfaill, yn hwn a gynnwys Hanes Cyfarfod Dau Fisol a gynnaliwyd yn y Groes, Sir Ddinbych, Tach. 1, 1840. Meddyliwyf fod y materion a gynnwysa, yn fuddiol ac yn adeiladol; a diammeu y byddai ei gyhoeddi yn y Drysorfa yn llesâad i'r Ysgolion Sabbathol yn gyffredinol.—Yn eiddoch, &c.

*Sir Fflint.* SYLWEDYDD.

"ANWYL GYFAILL—Yn unol a'ch cais wele fi yn anfon i chwi ryw grynodeb bychan, o'r materion yr ymdriniwyd arnynt yn ein Cyfarfod Dau Fisol. Wedi dechreu y cyfarfod, gofynwyd i'r gwahanol genadon, a oedd yr Ysgolion wedi bod yn llafurio gyda'r materion a gawsant am y ddau fis diweddaf? Atebwyd fod cryn lafur wedi bod, a bod rhai wedi darllen dwy benod, ac ereill dair, o lyfr y Diarhebion (hwn oedd y mater a roddwyd) Dywedid am rai athrawon, y buasent yn darllen y llyfr i gyd, heb fod yn un gorchest iddynt, a hyny oblegid eu difaterwch. Dull difraw y cyfryw, sydd yn eu gwneud yn gwbl anfuddiol i'w dosparthiadau; ac yn gwneud y Bibl yn llwyr anfuddiol iddynt hwythau. Pe cawsent ryw ranau ereill o'r gwirionedd i'w chwilio, yr un fath fuasent hwy, er fod holl fwngloddiau y Bibl o'u blaen, nid ydynt wedi canfod ynddynt ddim yn werth eu sylw. Mae yr hyn sy'n angenrheidiol, mewn trefn i gael pleser wrth chwilio yr ysgrythyrau yn ddiffygiol yn eu hysbryd. Nid oes un dyn a chwilia y Bibl gyda phleser, ond yr hwn a argyhoeddwyd o'r diben mewn golwg wrth ei roddi i'r byd; a gwir deilyngdod a hawl y Bibl i nerth uwchaf ei feddwl a'i ddeall, a grym penaf ei ddirnadaeth.

Y mae llyfr y Diarhebion heb ei weled erioed genym y peth ydyw, ac heb ei ddefnyddio i'r diben ei bwriadwyd. Mae ynddo fydoedd o ryfeddodau, ar ba rai nid ymsefydlodd drychau y darganfyddydd enwocaf; a rhifedi cydwëedig o ganghenau

athrawiaethol, a rheolau moesol, i ba rai, ni thalodd y myfyriwr galluocaf ddigon o sylw.

Wedi ychydig o ymdriniaeth yn y dull uchod, daeth y mater dan sylw; sef, A ydyw yr Ysgol Sabbathol yn addoliad dwyfol. Ofnid nad ydyw y wlad yn gyffredin, na ninnau fel Athrawon, yn ei golygu felly, o leiaf nad ydym yn ymddwyn fel pe credem hyny. Mae yr ysbryd gwag, anystyriol, ysgafn a didaro, ynghyd a'r twrf mawr sydd yn yr Ysgol, yn dylanwadu yn mhell er profi hyny.

I ba beth yr ymgynnullwn y bobl yn nghyd, os nad oes genym y bwriad o'u cynnull i addoli yr Arglwydd. Nid oes dim yn ngosodiadau Duw a chyfaddasrwydd ynddynt, i gyfarfod a thuedd lygredig y pechadur; ac nid oes yn yr Ysgol Sabbathol, fel y mae yn sefydliad Dwyfol, un math o bleser na difyrwch, i ysbryd chwydd-edig, a meddwl cnawdol, y dyn diail anedig. Gan hyny, rhaid fod genym ryw ddiben uwch mewn golwg, na chynnull pobl at eu gilydd i bechu; nac ychwaith er eu hattal i bechu yn unig, y mae yn wir fod attal un pechadur i gyflawni *un* weithred bechadurus, yn ddaioni mawr; ïe mor fawr, fel y mae yn sicr o effeithio ar dragywyddoldeb y creadur. Ond nid hyn yw ein holl ddiben yn ymgynnull; canys yr ydym hefyd yn cymhell i rinwedd;—ac yn annog i gariad a gweithredoedd da. Dysgir dynion i adnabod Duw, ac i fod yn ddarostyngedig i'w lywodraeth,—a phlenir ynddynt egwyddorion gwir grefydd; a'r cwbl i derfynu yn ogoniant i Dduw, trwy achub eu heneidiau.

Yn gymmaint a bod rhyw ysbryd cyffredin, o'r fath a nodwyd, yn dueddol i ffynu yn mhlith pechaduriaid, y mae yn anghenrheidiol bod rhyw oruchwyliaeth a'i llaw ar hyny yn barhaus; a bod gogoniant yr Arglwydd yn wastad o flaen ein meddwl. Yna gallwn, pa bryd bynag y cyfarfyddwn yn yr Ysgol, ddyweyd fel y doethion gynt, "A daethom i'w addoli ef."

Rhaid i'w "addoli ef" fod yn brif beth genym yn yr Ysgol; ni all dim arall wneyd y tro yn ei le, y mae dysg a doniau yn dda a chanmoladwy, ac ni ellir myned yn mlaen yn gysurus hebddynt, etto ni all hyny lenwi lle addoliad ysbrydol.

Yr achos fod cyn lleied o addoli yn yr Ysgol, ydyw, diffyg meddwl am hyny cyn dyfod iddi; ac felly yr ydym yn rhwym o ymddwyn yn anmbrïodol ynddi. Y mae llawer yn meddwl y cynhwysir addoli i gyd, mewn canu, neu fod ar y gliniau yn gweddio; ond camsyniad mawr yw hyny. Cydnabod, ofni, parchu, ac ymostwng i lywodraeth Duw, yw gwir addoli. Cynhwysa agwedd yr ysbryd o fewn, ynghyd a'r corff oddi allan: rhaid cael yr enaid o fewn yn ddifrifol a syml ger bron Duw; a rhaid i agwedd y corff gyd daro â hyny, mewn trefn i ennill cymmeriad addolwyr. Y mae pob peth sydd yn wir hanfodol i addoli, yn cyd-gyfarfod yn yr Ysgol Sabbathol. Mae'r Arglwydd yn gorchymyn i ni ddarllen ei air, gwnawn ninnau hyny yn yr ysgol; ac felly, yr ydym yn ufuddhâu i'w orchymyn, ac wrth ufuddhâu yn ymostwng i'w awdurdod, ac wrth gydnabod ei awdurdod, yn ei ogoneddu: a rhoddi y gogoniant dyledus oddiwrthym, yw yr holl addoliad y mae Duw yn ei ofyn oddiar ein llaw; y mae lle i ofni fod llai o addoli yn yr Ysgol y dyddiau hyn nag a fu. Amser yw i ni ddeffroi o gysgu, rhag fod penwyni yn ein toi, heb yn wybod i ni.

Doethineb yw arfer y moddion goreu at gyrhaedd unrhyw ddiben a fydd genym mewn golwg, a hyny yn y dull cyfaddasaf, etto gellir arfer y moddion goreu, heb ddefnyddio y dull goreu; ac oblegid hyny collir y diben mewn golwg. Y moddion goreu at gael cynhauaf da, ydyw aredig, llyfnu, a hau. Ac os trinir y tir yn dda cyn hau, gellir dysgwyl cnwd toreithiog. Ond mae yn amlwg i'r meddylgar, wrth edrych ar ambell i Ffermwr yn trin ei faesydd nas gall ddysgwyl llawer o ffrwyth; a hyny o herwydd ei fod yn arfer moddion *priodol*, mewn dull *anmhriodol*. Yr un fath y mae gyda'r ysgol, y mae genym y moddion goreu tuag at gael cnwd o sancteiddrwydd, ond nid ydym yn arfer y moddion yn y dull goreu, a thrwy hyny, yr ydym heb gyrhaedd y diben mewn golwg.

Mae yr Ysgol a'i hwyneb yn erbyn llygredigaeth, ac am hyny gwyliwn fod yn llygredig ynddi, rhag wrth hyny, i ni, trwy ein hymddygiadau wrthweithio ei diben. Tuedd yr Ysgol yw lladd balchder, a difa ysgafnder; gan hyny os byddwn yn gellweirus ynddi, pa fodd y gallwn ddysgwyl iddi lwyddo. Pe llywodraethid ni ag ystyriaeth o fawredd y Duw sydd i'w addoli nis gallem ymddwyn yn anmhriodol.

'Y flwyddyn y bu farw Uzïa y brenin,' meddai Esaia 'Y gwelais yr Arglwydd yn eistedd ar orseddfa uchel a dyrchafedig.' Effeithiodd hyn mor fawr arno, nes gwaeddi, 'Gwae fi; canys darfu am danaf; o herwydd gwr halogedig ei wefusau ydwyf fi.' Gwelwn gan hyny fod yr hyn a ddengys Duw yn fawr, yn dangos dyn yn fychan, yn hyn sydd yn gymhelliad cryf i addoli. Mae yr holl ysgrythyr wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, a rhaid i ninnau fod yn yr un ysbryd wrth eu trin, a'u darllen. Y maesydd ydynt wynion i'r cynhauaf, am hyny deffrown o'n cysgadrwydd ac ymegnïwn.

Wedi yr ymdriniaeth uchod, sylwyd ychydig am gywreinrwydd uwch ben y Bibl. Y mae yr Ysbryd Glân mewn trefn i ergydio balchder, a thrywanu hunan, yn llyfr y

Datguddiad, yn herio cywreinwyr y byd—yn *challengio* pawb—ac yn rhoi beiddiad i lonaid byd o hunanolion, i ddyfod yn mlaen â holl nerthoedd ei hamgyffrediadau, ac i roddi prawf o rymusder eu galluoedd, gan ddywedyd, "Yma y mae doethineb. Yr hwn sydd ganddo ddeall, bwried rifedi y bwystfil; canys rhifedi dyn ydyw." Pa le mae y doeth? Yma y mae doethineb. Pa le y mae 'r ymholydd? Yma y mae doethineb. Pa le y mae y *critic?* Yma y mae doethineb. Pa le y mae y gwr â'r deall mawr? bwried rifedi y bwystfil. Deuant yn mlaen, a rhont brawf o gyflymder eu deall—dangosant nerth eu dirnadaeth—rhoddant arddangosiad o ymgyfodiad uchaf y dychymmyg, a all groesi y llinell rhwng dim a bodolaeth, a rhychwantu y greadigaeth. Bwriwch rifedi y bwystfil os gellwch. Deuwch a rhoddwch brawf, a chewch weled beth a ellwch ei wneyd.

Cymmerodd rhai y beiddiad, ac ysgrifenasant gyfrolau mawrion, er penderfynu yr amser; ac yn ol eu barn hwy dylasai fod wedi cymmeryd lle. Ond ofer eu gwaith, fe ddaliwyd y doethion yn eu cyfrwystra; a phan y tybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid. Y mae lle i ofni fod llawer yn ymwthio mewn awydd bechadurus, a blys cnawdol, odditan leni dirgelwch, y rhai a gadwodd yr Arglwydd iddo ei hun, a lleoedd na buasai saint duwiol a dysgedig y Bibl, byth yn eu cynnyg, ond yn eu rhyfeddu. Pe dilynid esiampl yr apostol Paul byddem yn eithaf diberygl. Pa fodd y cyhoeddi, Paul, gyfiawnder a thoster Duw, gyda'r moroedd o ddaioni ag sydd yn dygyfor yn eu hanfod? "O ddyfnder!" Pa fodd y cysoni gau allan yr Iuddewon, mewn trefn i drugarhau wrth bawb? "O ddyfnder golud doethineb, a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt." Y mae hyn yna yn ddigon i'w ddywedyd ar ddirgeledigaethau sydd yn orchuddiedig gan dywyllwch, nas gall goleuni celfyddyd a rheswm byth ei symud ymaith. Pethau amlwg a roddwyd i ni. Y mae yn gofyn llywydd da i hwylio llestr anturiaethol, er ei chadw rhag myned yn ddrylliau; felly hefyd mewn perthynas i un a fo tan ddylanwad teimlad o fyfrydwch, yn chwilio y Bibl, er ei hattal rhag myned yn ddrylliau wrth daro yn erbyn creigiau dirgeledigaethau dwyfol. Llefwn fwy am Ysbryd y gwirionedd i'n tywys i bob gwirionedd.

Aeth fy llythyr yn faith, er na roddais ynddo ond crynodeb bychan o'r pethau a adroddwyd yno. Gwnewch y defnydd a fynoch o hono, a byddwch iach."

Eich hen gyfaill, mewn serch atoch.

WILLIAM DAVIES.

*Bryn y Wylfa, Dinbych.*

---

## COFIANT

### Y DIWEDDAR MR. EDWARD ROBERTS, VAYNOL, SWYDD GAERNARFON.

Yr oedd Edward Roberts yn fab i Robert ac Elin Edwards, o'r Dyffryn mymbyr, ger llaw Capel Curig. Er nad oedd ei rieni yn proffesu gyd âg un blaid grefyddol, etto ystyrid hwy yn rhai rhinweddol, a hynod o foesol; ac ymdrechent i fagu eu plant felly; ac yn hyn buont yn llwyddiannus iawn hefyd.

Oddeutu deuddeng mlynedd yn ol, priodwyd E. R. â Chatherine, merch Mr. David Williams, Pengwern, yn Swydd Meirion. Yr oedd hi yn aelod gyda'r Annibynwyr, a bu yn ffyddlawn hyd angeu: a gadawodd ei hanwyl briod, a'i hunig ferch, i alaru ar ei hol.

Yn fuan wedi i Mr. E. Roberts briodi, ymunodd â'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghapel Curig; ac wedi hyny, daethant i'r Vaynol, yn agos i Fangor, lle y buont byw yn gysurus hyd oni wahanodd angeu hwy; ac er eu bod yn myned i wahanol leoedd i addoli, ar y Sabbathau, ac amseroedd ereill, rhoddent brawf digonol eu bod yn gallu cyd-addoli gartref, 'gan ddyrchafu dwylaw sanctaidd, heb na digter na dadl,'

Ychydig cyn marwolaeth ei wraig, sef oddeutu saith mlynedd yn ol, neillduwyd ef yn flaenor i'r eglwys gynnulledig yn Nghapel y Graig: ac efe a fu flaenor, ffyddlawn a diwyd hyd ddydd ei farwolaeth; ïe, nid enw blaenor yn unig oedd arno, ond yr oedd yn ateb i'r enw, trwy flaenori mewn gweithredoedd da.

Yr oedd yn ddyn o dymherau siriol iawn, ond, nid ysgafn: llawen yn wastadol; etto, pwysig ac ystyriol; ïe, i fod yn fyr, yr oedd yn briod serchog, yn dad anwyl, yn feistr tirion, yn gymmydog hawddgar, a masnachwr cyfiawn; a hyn oedd un o'i ragoriaethau penaf, sef mewn gras a doethineb, yn ymarfer â'r byd hwn heb ei gamarfer: ïe, tystiai pob graddau a'i hadwaenai, ei fod yn neillduol o enwog yn hyn. Er y byddai yn trin llawer o dir, ac yn amaethwr galluog, etto, trinai y byd fel o hyd breichiau, neu megys â blaenau ei fysedd. Nis gwelais ef erioed wedi glynu yn y clai tew a'r pridd tomlyd o ofalon bydol; nac wedi ei orchuddio gan ddonau geirwon rhagofalon. Pan y cai golledion, trwy ddamweiniau, ni welid *ef* yn cyffro nac yn newid ei wedd; ond byddai lawen yn wastadol; ac, er i'w olud gynnyddu i fesur helaeth, mewn ychydig amser, ni chafwyd achos ofni iddo roddi ei galon arno. Byddai yn cyfranu yn haelionus at bob achos da yn ei fywyd; ac yn ei ewyllys diweddaf, gadawodd haner cant o bunnau tuag at dalu dyled y Capel y perthynai iddo,—ac

O! mor ddymunol fyddai gweled llawer etto yn dilyn ei esampl ef yn hyn.

Nid oedd o ddoniau a gwybodaeth uchel iawn: ond etto, yr oedd yn deall athrawiaeth yr efengyl yn dda, ac ni phetrusaf ddywedyd iddo gael y wybodaeth benaf; sef ei fod yn bechadur colledig ynddo ei hun, ac mai Iesu Grist yn unig oedd 'abl i'w gadw erbyn y dydd hwnw.' Pan byddai yn cynghori yn y cyngor, gwnai hyny yn ddoeth, ysgrythyrol, adeiladol, ac effeithiol iawn weithiau. Pan traethai am bethau ysbrydol, byddai yn ymddangos fel un à phrofiad o honynt ei hunan, yr hyn sydd hollol angenrheidiol tuag at gyflawni y gorchwyl hwn yn deilwng. Ni ddywedai lawer, ond yn gyffredin dywedai yn ddoeth; yr oedd yn debycach i'r hwn y dywedir fod 'ei enau yn ei galon, na'r hwn y mae ei galon yn ei enau:' sef, byddai yn ystyried cyn dywedyd, ac nid dywedyd cyn ystyried.

Pleidiai bob achos da a rhinweddol; a ffieiddiai bob ymddygiad anaddas i'r efengyl: megys balchder, hunan-rodres, ymffrost, a gwag-ogoniant. Yr oedd yn ddirwestwr da hyd angeu; a gorchymynodd i'w gladdedigaeth fod yn ddirwestol, ac felly y bu.

Ond, er mor ddefnyddiol ac anwyl oedd ein cyfaill hoffuslawn, gwelodd Brenin Sion yn dda ei gymmeryd ef ymaith, megys ynghanol ei ddefnyddioldeb; ond hyderwn nid cyn gorphen ei waith, ac addfedu. Nid oedd yn ddyn hollawl iach er ys blynyddau, er yr ymddangosai yn gryf. Blinid ef, fel y tybid, gan ddolur yr afu *(Liver complaint)*. Ychydig wythnosau cyn ei farwolaeth, cyfarfu a damwain, trwy syrthio ar ei ddwyfron, ar gareg, fel yr anafodd yn drwm oddi mewn; modd bynag, yn fuan wedi hyn, torodd rhyw beth yn ei *freast*, a daeth llawer o waed i fynu iddo, a hyny amryw weithiau.

Yr oedd yn hynod o ddyoddefus yn ei glefyd, ïe, siriol yn angeu fel yn ei fywyd. Adroddai ranau o'r ysgrythyrau gyda llewyrch mawr weithiau, 'megys gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef,' &c. dywedai wrthyf unwaith yn debyg i hyn, 'Nid wyf fi yn cael dim pleser yn mhethau'r byd hwn er ys blynyddau, ac nid oes arnaf un gradd o eisieu gwella a byw yn hwy; ond, yn unig yn achos yr eneth yma,' sef ei uniganedig ferch, yr hon sydd oddeutu 11eg oed.

Fel hyn ein cyfaill a wanhaodd yn raddol er pob moddion a ddefnyddiwyd; ac ar yr 28ain o fis Gorphenaf, 1840, hunodd yn dawel yn yr Iesu, yn 47 mlwydd o oedran.

Nos cyn ei gladdedigaeth, traddodwyd pregeth ar yr achlysur, gan Mr. Morris Hughes, Felinheli, oddiwrth Ps. 97. 1, 2. Boreu dranoeth, hebryngwyd ei gorph ef, gan dyrfa barchus, i fynwent Llanllechid, sef tua naw milldir o ffordd, ac yma y claddwyd ef, yn medd ei anwyl briod, lle y gorweddant yn dawel hyd ddydd yr adgyfodiad mawr. 'O! mor fendigedig yw coffadwriaeth y cyfiawn.'——Yr eiddoch,

THOMAS HUGHES.

*Ger Bangor.*

---

## GOFYNION.

AT Y PARCH. D. MORGANS, TRALLWM.

BARCHEDIG SYR,—Gan fy mod yn deall fod eich llafur chwi wedi cael ei gyfyngu i raddau mawr i'r parth hwnw o'r byd a elwir GOROR CLAWDD OFFA; a bod sefyllfa foesol trigolion y lle hwnw wedi bod, ac yn bod, yn agos iawn at eich calon chwi, ac amryw ereill o'ch ffyddlawn a'ch parchedig frodyr yn Swydd Drefaldwyn. Yr wyf yn deall hefyd eich bod yn llafurio o dan raddau lled fawr o anfanteision, a hyny am nad ydyw eich cydgenedl yn gwneud y peth a ddylent, nac ychwaith y peth a allent, gyda golwg ar eich cynnorthwyo.

Ac hefyd fe allai fod peth o'r bai yn gorwedd wrth eich drws chwithau a'ch brodyr, am eich bod wedi bod yn rhy esgeulus o roddi i ni ddysgrifiad lled fanwl trwy gyfrwng y DRYSORFA, neu yn ryw ddull arall, pa fodd y mae pethau yn bod gyda golwg ar gyflwr ysbrydol preswylwyr lluosog y rhan hyny o'n gwlad.

Yn awr, dymunaf arnoch chwi, neu rai o'ch brodyr, roddi atebiad i'r Gofyniadau canlynol:—

Yn 1af, Pa sawl milldir o hyd a lled ydyw y rhan hyny o'n gwlad ag sydd yn cael ei alw GOROR CLAWDD OFFA?

Yn 2il, Pa faint ydyw amcan-gyfrif o'r trigolion?

Yn 3ydd, Er's pa sawl blwyddyn yr ydys wedi dechreu llafurio yn eu plith?

Yn 4ydd, Pa faint yw nifer y pregethwyr sydd yn llafurio yn y lle?

Yn 5ed, Pa faint yw nifer y tai addoliad sydd wedi eu hadeiladu yno?

Yn 6ed, Mewn pa faint o ardaloedd yr ydys yn pregethu mewn tai annedd?

Yn 7fed, Pa sawl Ysgol Sabbathol sydd yn y lle, a pha faint yw nifer yr Ysgolheigion?

Yn 8fed, Pa sawl cangen eglwys sydd wedi eu planu yn y lle, a pha faint yw nifer yr aelodau?

Yr wyf yn gweled fy ngofyniadau yn myned yn ormod o rês i chwanegu dim atynt y waith hon, ond, fe allai, os bydd rhywun mor fwyn a'u hateb, y gwel ef lawer peth yn eisieu ei ddangos, yn enwedig gadewch i ni gael gwybod, 'Pa faint a wnaeth yr Arglwydd eroch.' Nid wyf yn gofyn y gofyniadau uchod o un cywreinrwydd; ond yr wyf yn eu gofyn gan obeithio y bydd i atebiad gael ei roddi iddynt, ac y bydd i'r atebion

hyny roddi i ni helaethach hanes o'r GOROR nac ydym wedi ei gael hyd yn hyn. "Ac y bydd i hyny effeithio yn dda arnom er chwanegu ein casgliadau, fel y galler cynnorthwyo y brodyr sydd eisoes yn llafurio yn y lle, i ymroddi yn fwy llwyr i'r gwaith; a hefyd ychwanegu ereill atynt, fel cyn hir 'Y byddo eu diffaethwch yn cael ei wneud fel Eden, a'u hanialwch fel gardd yr Arglwydd.'

DAVID WILLIAMS.

*Ty ddewi, Dinorwic.*

Wele yr wyf yn anturio rhoddi'r Gofyniad canlynol yn eich gofal, gan ei gyfeirio yn benaf at R. ab Gwilym, Glan 'r Afon, W-dd-r-g; dymunaf arno roddi eglurhad ar Mat. 8. 29. sef y rhan ddiweddaf o honi, "A ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser,' Pa amser oedd y diafol yn ei feddwl?

MYFYR.

*Glan Nant.*

1. Dymunaf am gael eglurhad ar Mat. xii. 5. Sef 1. Pa gyfraith a feddylir?

2. Beth a feddylir wrth fod yr offeiriaid ar y Sabbath yn y *deml*, yn *halogi* y Sabbath?

3. A pha fodd yr oeddent yn ddigerydd?

*Llanllyfni.* W. HUGHES.

A oes sail i feddwl, ac i ddywedyd, oddi wrth Act. 16. 13. fod y gwragedd yn arfer ymgynnull i weddio yn gyhoeddus? Ac a ydyw yn ddyledswydd ar wragedd yr oes bresennol ddyfod at eu gilydd i hyny?

UN SY'N HOFF O WEDDIO.

Pa un ai pethau amheüus ac y byddo dadl mewn perthynas iddynt gan ddwy blaid, neu ynte pob math o arfer y gyfraith wladol, gan y naill frawd at frawd arall, a olygir yn 1 Cor. vi. y rhan flaenaf?—os y cyntaf a olygir, yna y mae y naill frawd crefyddol yn rhydd i arfer y gyfraith wladol tuag at frawd crefyddol arall er ei alluogi i gael yr hyn sydd ddyledus iddo, sef i godi dyled—nid oes, debygid, ddadl yn hyn.

Ond os yr olaf a feddylir, yna mae crefydd, neu broffes grefyddol, y naill frawd yn achlysuro colled y brawd arall, oblegid nis gall y brawd crefyddol sydd ofynwr weithredu tuag at y brawd sydd ddyledwr, heb ryw gymmaint o amser (ïe, yn wir, weithiau, lawer mewn rhai manau) i'r eglwys weithredu tuag ato, ac yn y cyfamser hwnw fe allai y daw gofynwr nad yw grefyddol ar y dyledwr, ac y myn ei eiddo, ac felly colledir y brawd crefyddol, a hyny am ei fod yn grefyddol. Eglurhad ar y mater uchod a rydd fawr foddlonrwydd i eich cyfaill,

ANWYBODUS.

Syr,—Dymunaf gael eglurhad, drwy gyfrwng y Drysorfa, ar Am. vi. 9, 10.

*Caerludd.* GWILIM WYRE.

Dymunaf arnoch chwi, neu ryw un o'ch Gohebwyr ffyddlon a deallus, roddi esboniad eglur ar Preg, 1. 9, 10.

A ydyw yn beth y dylid ei oddef yn y dyddiau hyn, bod gwrthwynebwr i'r Gymdeithas Ddirwestol yn athraw yr Ysgol Sabbathol? [Darllened Einion Ddu Gofnodau Cymdeithasfa Llanfair,fyn y Drysorfa am Mehefin, 1840.]

Pa bryd y dechreuodd Crist ar ei Swydd Offeiriadol?

EINION DDU.

*Tref Rhiw-waedog.*

Barchedig Syr,—Clywais lawer o sôn am y gwr a adnabyddid wrth yr enw 'Shiencyn Benhydd,' y byddai yn cael rhyw oleu wrth ymdrin â phrofiadau, &c. ei frodyr yn nesaf bron at brophwydoliaeth. Buasai yn ddifyrus genyf gael hanes y gwr hynod hwnw yn y Drysorfa, a hanes rhai o'r troion mwyaf nodedig a'i cyfarfu.

DEWI GLAN OGWEN.

Dywedir yn Rheolau Dysgyblaethol y Methodistiaid Calfinaidd, (Rheol xvii.) 'Na byddont yn ocrwyr,' &c. a dywedir yn y sylw-nod ar waelod y ddalen, nad 'llog gweddol,' ond 'llog *anghymmedrol*,' sydd bechadurus, &c. Byddai yn ddymunol cael eglurhad pa faint ydyw y 'llog anghymmedrol,' yr hwn sydd 'bechadurus,' ac yn dyfod dan yr enwad o *Ocraeth?* Ac os ydyw i fod yn fwy weithiau na'u gilydd, yn wyneb gwahanol amgylchiadau masnach, pa fodd i'w reoleiddio yn gyson, nid a chyfraith y tir yn benaf, ond â rheolau y Bibl?

*Llanbrynmair.* W. W.

Pa un ai gweithred a gyflawnir ar unwaith yn yr adenedigaeth, ynte gwaith a ddygir yn mlaen yn raddol ar enaid y Cristion, yw selio â'r Ysbryd Glan? Ac os gwaith parhaus, pa wahaniaeth sydd rhyngddo a sancteiddio?

BRODOR O RIWBRYFDIR.

Dymunaf gael eglurhad ar Psal. 103. 1. 'Fy enaid, bendithia yr Arglwydd.'

1. Beth yw bendithio?

2. Pa fodd y mae i ni fendithio yr Arglwydd yr hwn sydd yn ein bendithio ni?

DELTA.

Syr,—Dymunaf arnoch chwi, neu rai o'ch Gohebwyr deallus, roddi eglurhad byr ar Salm 127. 4.

Dymunaf arnoch eglurhau 1 Tim. 5. 9. Beth a feddylir wrth beidio dewis un yn weddw dan driugain mlwydd oed, &c.?

G. M.

Wrth ddarllen y Drysorfa am y mis diweddaf, canfyddais yno sylwadau ar ofyniad Ap Gwilym. Fe ddywed yr atebydd "mai y Ddeddf Foesol ydoedd gwreiddyn y Cyfammod Gweithredoedd," ac y mae yn dywedyd ym mhellach "fod y Cyfammod hwnw yn gofyn bywyd y dyn yn bresennol; neu Iawn dragywyddol anfeidrol am na chadwyd yr ammodau." Yn awr, gan fod y wlad, yn dywyll, a rhanedig ar y pwngc hwn, erfyniaf arnoch roddi y gofyniadau canlynol yn y Drysorfa.

1. Pa un ai y Cyfammod Gweithredoedd, a'i Duw fel amddiffynwr ei Ddeddf, sydd yn gofyn Iawn?

2. Ai Iawn i'r Cyfammod Gweithredoedd oedd yr hwn "a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd?"

3. Os Iawn i'r Cyfammod Gweithredoedd oedd, yn mha le y ceir sail ysgrythyrol i farnu hyny?

IOAN, *Glan Du-bach, Ffestiniog.*

GOFYNION AC ATEBION.

BARCH. SYR.—A fydd yn wiw genych chwi, neu un o'ch Gohebwyr, ateb y gofynion canlynol? ABON ARMON

GOF. 1. Ai rhanau o waith Gweinidog yr efengyl ydyw gweinyddu bedydd a swper yr Arglwydd?

ATEB. Ië. Mat. 28. 19.

GOF. 2. A ydyw eu gweinyddu yn waith *mwy, cymmaint*, neu *lai* pwys; na chyhoeddi yr efengyl?

ATEB. Nid mwy; ac nid nemawr lai, os dim. Mae yn debygol mai lled gyffelyb ydynt; oblegid Pen yr Eglwys a orchymynodd y naill a'r llall, ar yr un amser, a hyny i'r un Apostolion: ac mae y naill a'r llall yn cynnwys datguddiad o'r Iachawdwr a'r iachawdwriaeth sy'n deilliaw drwyddo i bechaduriaid.

GOF. 3. A oes y fath beth a "Gweinidog cymmwys y *Testament Newydd*" yn bod, ac heb fod yn *gymmwys* i weinyddu y pethau hyn?

ATEB. Fe allai fod; ond anfynych iawn y dygwydd hyny. Mi adwaen i wr dall, heb weled dim, yr hwn sydd yn ol barn pawb o'r saint a'i hadwaenant ef, yn "weinidog cymmwys y Testament Newydd;" ond nid yw efe yn "gymmwys i weinyddu bedydd a swper yr Arglwydd." Ac fe ddichon fod rhai pethau ereill, heblaw dallineb, yn anghymwyso un at y cyfryw waith.

GOF. 4. A ydyw trefn wirioneddol Cristionogaeth mewn neillduo i'r weinidogaeth, yn galw am neillduad heblaw yr un i'r weinidogaeth, cyn bod ganddynt hawl i weinyddu y sacramentau i'r eglwysi ger bron Crist, pen yr eglwys, yr hwn a osododd yr ordinhadau hyn?

ATEB. Mae y neillduad cyntaf yn ddigon o ran *hawl*. Ond gan nad yw yn angenrheidiol i bob pregethwr weinyddu yr Ordinhadau; os bydd trefn eglwysig corph o bobl grefyddol yn galw am neillduad drachefn wrth ymaflyd mewn rhan arall o'r gwaith sanctaidd, peth afreolaidd fyddai i un pregethwr yn y Corph hwnw eu gweinyddu hwynt heb ei alw neu ei neillduo drachefn i hyny. Os bydd i Grist, Pen yr Eglwys, godi dau bregethwr mewn ardal, a'u hanfon allan i'r cynhauaf mawr; ac i'r Eglwys y perthynant iddi eu galw a'u neillduo i waith y weinidogaeth; gan na bydd eisieu y ddau i weinyddu yr ordinhadau, mae gan yr Eglwys hono hawl i ddewis yr un a fyno o'r ddau at hyny o orchwyl, ac i'w neillduo ef eilwaith drwy gydsyniad cyhoeddus a gweddi. Ac fe fyddai yn anaddas i'r llall eu gweinyddu hwynt heb ei alw i hyny gan yr Eglwys. "Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn."—CYH.

---

MR. GOLYGYDD.—A ydyw yn unol â rheolau y Trefnyddion Calfinaidd i aelod perthynol i'r Corph hwnw, ymuno mewn glân briodas âg aelod perthynol i enwad arall o Eglwys Crist os bydd arwyddion boddlonol o dduwioldeb ar yr aelod hwnw?

J. R.

ATEB. Rheol VII. yn Nghyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd yw yr unig un am briodi, yr hon sy fel hyn:—"Na byddo iddynt briodi un digred," &c. Ac yn yr eglurhad yn ngwaelod y ddalen ar "rai digred," nid oes yno un gair yn tueddu yn erbyn priodi "aelod perthynol i enwad arall o Eglwys Crist, os bydd arwyddion boddlonol o dduwioldeb ar yr aelod hwnw."

CYHOEDDWR.

---

MR. GOLYGYDD.—Dymunwn weled golygiadau un o'ch Gohebwyr deallus yn y Drysorfa ar natur cosb pechod; golygir yn gyffredin mai y gosb *ei hun*, ac nid Iawn *yn lle* cosb oedd dioddefaint y Cyfryngwr. Os ydyw cosp pechod yn gyfaddas o ran ei natur i'r cyflwr euog a llygredig y mae pechaduriaid wrth naturiaeth ynddo, a allasai y Cyfryngwr sanctaidd ei ddyoddef, yr hwn yr oedd ei natur, (pa beth bynag am ei sefyllfa gyfrifol) mor hollol wahanol i'r rhai yr aeth dan gosbedigaeth eu heddwch hwynt? "Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?" R. O. R.

ATEB. Edryched R. O. R. am atebiad i'r Gofyniad uchod yn y Llyfr rhagorol hwnw, "Y Pregethwr a'r Gwrandawr," Gan y Parch. Richard Williams, Liverpool, Ymddiddan X. tu dalen 121. "Am Natur yr Iawn—pa beth ydyw?" Ac yn Ymddiddan XIII. 157. "Am Fechniaeth Crist."

CYHOEDDWR.

---

SYR.—Dymunwn arnoch roddi ger bron eich Gohebwyr y Gofyniadau isod, gan

obeithio y gwneir sylw o honynt.—G. R. S.

Gof. 1. A oedd gan y Phariseaid ryw wybodaeth ysbrydol am wir grefydd, pan ydoedd Crist ar y ddaear?

Ateb. Nac oedd. Luc xi. 39, 40, 41, 42, 43, &c.

Gof. 2. A ydyw y geiriau hyny o eiddo yr Arglwydd Iesu, a'r sydd yn Luc 11. 2, yn orchymmyn i ni ddywedyd "Gweddi yr Arglwydd" bob amser pan yn gweddïo, ynte nad ydynt?

Ateb. Nac ydynt; canys nid yw "Gweddi yr Arglwydd," fel y gelwir hi, ddim yn hollol yr un eiriau yn Mat. 6. a Luc 11.

Cyhoeddwr.

---

Yn Rhifyn Chwefror, tu dal. 56, canfyddaf ryw *Theta* yn gofyn eglurhad ar Job 14. 22. Ac yn Rhifyn Mawrth, tu dal. 88. canfyddaf ryw *R. Davies* yn ateb y Gofyniad—"Mai dyn marw a feddylir yn yr adnod;" ond cyn y gallaf weled yr un ffordd ag R. Davies na Boothroyd, y mae yn rhaid tynu yr "ynddo" sydd yn yr adnod allan, ac hefyd o waith Boothroyd, canys fe ddywedir fod "ei enaid ynddo."

*Cwm—n.* T. Thomas.

ARALL.

Mewn dyn byw, mae enaid yn bod,—efe
A'i feib, sy'n yr adnod
Glir hanes, eglur hynod:
Diameu 'nawr, dyma nôd.

Dyn marwol, nid yw'n ymyraeth—a'r byw
Er ei boen, a'i alaeth:
Ni chofiai, un uwchafiaeth:
Eu gado'n ol, i gyd wnaeth.

Robert Jones, (Bardd du Môn.)

*Atebiad i Ofyniad K. Phillips, Carmel, tu dal. 55. am gysondeb Esay* 46. 10. *a* 1 *Tim.* 2. 4.

Pan oeddwn o 12 i 15 mlwydd oed, anfonais yr un gofyniad o ran ystyr i'r Goleuad, ond fy mod yn rhoddi 2 Pedr 3. 9. yr hon sydd o'r un ystyr a 1 Tim. 2. 4. Cefais i y pryd hwnw yr atebiad canlynol, yr hwn, ond odid, a wasanaetha er rhoddi boddlonrwydd i Mr. K. Phillips, Thnetos.

"Atebiad. Mae y ddwy adnod uchod yn hynod o eglur a chyson a'u gilydd. Y gyntaf yn Esay 46. 10.—"Fy nghyngor a saif a'm holl ewyllys a wnaf." Mae 'r geiriau yn dangos dianwadalwch cyngor a bwriadau y Jehofa. Mae 'r geiriau blaenorol fel hyn; "Myfi ydwyf Dduw, ac nid neb arall; Duw *ydwyf*, ac heb fy math; yn mynegi y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed etto"—wedi hyny, yn dywedyd, "Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf." Fel pe dywedasai, Ni newidiaf fi fy hun byth mo'm cyngor; ac ni ddichon neb arall byth ei newid ef, na'm rhwystro i gyflawni fy holl amcan a'm hewyllys, canys "Duw ydwyf, ac heb fy math."

"Yr adnod arall sydd fel hyn,—"Heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." Mae 'r ymadroddion blaenorol fel hyn, "Nid yw yr Arglwydd yn oedi ei addewid, (fel y mae rhai yn cyfrif oed) ond hir-ymarhöus yw efe tuag atom ni:" wedi hyny, "heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." "Nid yw yr Arglwydd yn oedi ei addewid." hyny yw, Nid yw efe yn oedi addewid ei ddyfodiad i farnu 'r byd, fel y mae yn ymddangos i rai ei fod; ond yr achos o'i arosiad cyhyd yw, ei fod yn ymarfer ei amynedd i fod yn hir-ymarhöus tu ag atom ni, gwrthrychau ei gariad tragywyddol, a'i fod heb ewyllysio bod cymmaint ag un o honom yn golledig, ond bod i bob un o honom *ni*, y rhai a garwyd â chariad tragywyddol, ac a brynwyd â gwerthfawr waed Crist, ddyfod i wir edifeirwch am ein pechodau, ac i dderbyn y cymmod, fel y byddom gadwedig. Felly nid oes yn yr adnodau hyn un gradd o *anghysondeb*, ond pob *cysondeb* a godidowgrwydd a ddichon fod yn gynnwysedig mewn ymadroddion. Dywed yr Apostol Pedr, "Nid ydyw yr Arglwydd yn oedi ei addewid, ond hir-ymarhöus yw efe tu ag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch;" am hyny gellir dywedyd ei fod *yn ewyllysio* i bawb, o'r rhai y mae efe yn ymaros o'u herwydd o ran ei ddyfodiad i farnu 'r byd, hyd nes dyfod o honynt i edifeirwch; ïe, y mae efe yn ewyllysio *i'r rhai hyny oll fod yn gadwedig*. Ac yna y mae yr Arglwydd trwy'r Prophwyd Esay, yn dywedyd, "Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf." Cadwedig fyd iant. Arbedir y byd nes dyfod o honynt i'r ddiogelfa, fel yr arbedwyd yr hen fyd nes dyfod Noah i'r arch. C——r."

ARALL.

Gan nad yw y Gofynydd yn egluro pa beth neu bethau sydd yn ymddangos yn anghyson iddo, nid oes genyf ond dychymygu (yr hyn nid yw yn beth canmoladwy) mai oddiar ystyriaethau anghywir gyda golwg ar yr olaf, y mae yr *anghysondeb dychymygol* hwn yn codi; sef, meddwl fod y "pob dyn" yn cymmeryd i mewn yr holl deulu dynol yn gyffredinol; pan mae yn amlwg mai wrth y dull yma o lefaru y meddylir Cenedloedd yn gystal ac Iuddewon; ac nid yn unig hyny, ond hefyd pob dyn, sef pob sefyllfa yn mhlith dynion; ac fe welir yn y dydd olaf fod ewyllys yr Arglwydd wedi ei gyflawni gyda golwg ar hyn, canys bydd y gwaredigion yn dyrfa fawr nas gall neb eu rhifo; bydd y dyrfa wynfydedig hon, yn cynnwys rhai o bob llwyth, iaith, a graddau; breninoedd a deiliaid, boneddig a thlawd, hen ac ieuangc, &c. Ac, O caffer holl ddarllenwyr y Drysorfa yn eu mysg. Hawdd fuasai i mi nodi amryw leoedd yn yr ysgrythyrau lle yr arferir y cyfryw ymadroddion a *phawb, pob dyn, &c.*

ac y mae yn ddigon amlwg nad ydynt yn cynnwys pob dyn a fu, sydd, ac a ddaw, ond rhag eich blino gadawaf hyny yn awr.
*Hopton.* NIHIL.

---

*Ateb i Ofyniad T. ab Dewi, Rhif.* 122. *tu dalen* 55.

Mae y benod y dyfynir y geiriau o honi, yn rhoddi hanes am gyfnewidiad mawr, ag oedd ar gymmeryd lle yn mywyd Saul, sef ei eneiniad yn frenin ar Israel. Yr oedd y cyfnewidiad hwn y fath, ag oedd yn gofyn am lawer o ddoniau i'w addasu i fod yn flaenor ar bobl yr Arglwydd. Ac y mae yn ddiammeu genyf mai gyda golwg ar ei gymmwysderau a'i ddoniau i gyflawni yr hyn oedd yn disgyn arno y dywedir i *Dduw roddi iddo galon arall;* sef calon addas i'r hyn oedd o'i flaen: cafodd galon breninol a milwraidd, a gweithredwyd cyfnewidiad mor fawr arno fel ag yr oedd yn *wr arall.* Ond er yr holl bethau rhagorol hyn, mae ei hanes yn diweddu yn hynod o ddu, fel nad oes modd llochesu y meddwl, ei fod wedi ei ail eni; na, mae yr ysgrythyr, yn dyweyd yn eglur, *Nid oes i leiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo.* Mae llawer o addysgiadau buddiol i'w cael oddiwrth hanes y dyn hwn, gochelwn bwyso ar na gwybodaeth, doniau, na chymmwysderau, na dim, tu yma i gael anian ddnwiol, gwneler ni yn greaduriaid newydd, a llefain y byddom yn wastadol am gyflawniad o'r addewid yn Ezec. 36. NIHIL.

---

*Ateb i Ofyniad Gwilym ap Gwilym, Rhif.* 122. *tu dalen* 56.

Goddefer i mi fenthyca rhan o bregeth y Parch. J. Elias, ar yr achlysur o farwolaeth Mr. T. Davies, o'r Tir Newydd &c., i ateb y gofyniad uchod: a rhag nad yw y llyfr bychan buddiol, yn yr hwn y gellir gweled y dernyn melys canlynol, yn meddiant pawb o'ch lliosog ddarllenwyr, sef "Cofiant byr o fuchedd a marwolaeth" y gwr ieuangc a nodwyd. Gwel tu dal. 19, a 20. NIHIL.

"II. Marwolaeth y saint. Mae y saint yn meirw fel ereill. Sant oedd y cyntaf erioed a fu farw (Abel) ac un enwog o'r saint oedd Abel, un agos at ei Dduw. Er cariad Duw tuag at ei saint, maent yn meirw; er bod Ysbryd Crist ynddynt, maent yn meirw; ac er eu bod y rhai mwyaf defnyddiol yn y byd, maent yn meirw: er y gallasai Crist droi angeu draw. Oni allasai yr hwn a'u doniodd &c., beri na chaent farw? Gallasai; ond dewis eu gadael a wnaeth. O herwydd ei fod yn eu caru, mae yn gadael iddynt feirw: nid yw yn dewis eu gadael yn hir mewn cystuddiau. Paham mae y saint yn meirw, a Christ wedi marw drostynt? Ateb. Ni bu Crist farw fel na byddai iddynt hwy feirw, ond fel y tynai efe golyn angeu. Paham y mae y saint yn meirw, a'r Ysbryd Glân yn preswylio ynddynt? Ateb. I gael tynu y gwahanglwyf ymaith o'r babell:—i gael eu cyrph yn burach nag yn awr, i breswylio gyda Duw mewn gogoniant. Paham mae y saint yn meirw a hwythau y rhai mwyaf defnyddiol ar y ddaear? Ateb. I gael gorphwys oddiwrth eu llafur, a myned i mewn i lawenydd eu Harglwydd &c."

---

*Ateb i Ofyniad I. ab Ioan, tu dal.* 56. Am eglurhad ar Gal. 3. 24. "Y ddeddf oedd ein hathraw ni at Grist," sef pa ddeddf a feddylir?

Y Ddeddf Foesol a'r Seremoniol, fel *dau fur* yn cadw ac yn gwrchawd dwy ochr y ffordd, fel na fyddai i bobl yr Arglwydd gael lle i wyro ar un llaw, ond cyfeirio eu golwg yn uniawn tu ag at Grist: y Ddeddf Foesol trwy ddangos perffeithrwydd ei gofynion, yn eu cadw rhag ymddiried yn eu hunan gyfiawnder; o'r Ddeddf Seremoniol yn eu cadw rhag syrthio i anobaith, trwy ladd anifeiliaid yn aberthau yn lle y troseddwyr, i arwain eu meddwl i fyfyrio ar aberth Crist, yr hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth dros bechaduriaid.—*Allan o waith y Parch. T. Jones, Gan W. Jones, Maes y groes.*

ARALL.

Y ddeddf foesol a feddylir. Er eglurhad sylwer fel hyn, dywedir mai "trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." Pan mae yr Ysbryd Glan yn argyhoeddi pechadur, mae yn dangos iddo ei fod yn euog yn wyneb y ddeddf; a'i fod yn agored i'w melldithion, ac mai yr unig ffordd i ddiangc ydyw trwy ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, "Yr hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un sydd yn credu;" ac yn galluogi y truan i waeddi "ac y'm ceir ynddo ef." Yn y modd yma (i fod yn fyr) mae y ddeddf a gyhoeddwyd ar Sinai mewn deg o orchymynion yn athraw at Grist trwy ddangos yr angenrheidrwydd sydd ar y pechadur am Gyfryngwr. NIHIL:

---

Yn y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa; tu dalen 87, gwelais amryw Ofynion wedi eu cyfeirio ataf gan eich Gohebydd, *Derfel Meirion,* yn nghylch aceniad geiriau anghyfiaith yn y Bibl, eu defnydd mewn barddoniaeth Gymreig, yn nghyda'u heffaith gyferbyniol mewn barddoniaeth a cherddoriaeth.

Tuag at roddi boddlonrwydd i'ch Gohebydd yn nghylch y cyfryw eiriau, dylid bod yn gydnabyddus â *rheolau acenyddawl* yr ieithoedd i ba rai y maent yn perthynu; ac er hyny, cyfarfyddir âg anhawsderau mawrion i gael allan yr aceniad cywir a phriodol mewn rhai amgylchiadau. Gwn fod rhai wedi ceisio dwyn y cyfryw eiriau dan reolau acenyddawl yr iaith Gymreig; ond gan eu bod felly gan mwyaf yn seinio yn dra dy-

eithr i glust Cymro, efallai mai cymhwys, ach yw eu hystyriad fel estroniaid yn ein hiaith, a'u trin fel y cyfryw, na cheisio eu dwyn dan reolau acenyddawl y Gymraeg. Efallai y caiff D. M. ryw foddlonrwydd ar y pwngc os bydd iddo edrych i *Walker's Rules for the pronunciation of Scripture proper names*, yn niwedd ei Eirlyfr. Yn nghylch defnyddiad y cyfryw eiriau mewn Hymnau a phennillion, fy meddwl i yw, nad ydyw yn hanfodol iddynt fod yn y cyfryw sefyllfa ag a fyddo yn peri i'r acen ieithyddol a'r farddonol fod yn cyfateb i'w gilydd, fel mewn geiriau Cymreig, ond y gellir eu defnyddio yn y cyfryw leoedd ag a fyddo yn peri i'r acen farddonol ddisgyn ar y naill sill neu y llall, ac weithiau ar fwy nag un sill yn yr un gair, a hyny yn ddigon didramgwydd a boddhaol gan y glust, fel yn yr engreifftiau a nodwyd gan eich Gohebydd, ar y sill flaenaf a'r olaf fel hyn :—

'A'u holl gadwynau'n chwilfriw mân,
A'u câr am *Galfari*'

Ar yr ail sill fel hyn :—

'Na wnawn ond canu tra bawn byw
Am ras Cal*faria* fryn.'

Ar y sill flaenaf yn unig, yn y gorfan gyrch ddisgynedig, fel hyn :—

'Ar *Galfari* fryn, agorwyd cyn hyn
Ryw ffynon anfeidrol ei rhin !'

i mae y naill a'r llall o'r gwahanol aceniadau hyn yn disgyn ar y glust gyda'r un boddhad ac ystwythder, yr hyn a rydd sail gref i dybio nad ydyw y gair uchod a'i gyffelyb i fod dan reolau acenyddol, fel pe byddent eiriau Cymreig.

Erfyniwyf hynawsedd Mr. D. M. tra y dywedwyf nad wyf yn deall y gofyniad canlynol o'i eiddo, sef, 'Pa un a ddylid wrth ganu, ai ysgoi aceniad y dôn, ai yntau aceniad y geiriau ?'

I'r gofyniad nesaf, sef, 'Pa un ai dyben y pennill yw dangos y dôn, ynte amcan priodawl y dôn yw dangos y pennill?' Gellir ateb, mai dyben ac amcan pob tôn a ddylai fod gwneud y geiriau a genir ar y dôn hono yn fwy grymus ac effeithiol, ac y mae rhagoriaeth a theilyngdod pob tôn yn gyfartal â'r gallu sydd ynddi i ateb y cyfryw ddyben. Dylid fod yn dra gofalus, gan hyny, yn newisiad tonau, i ddewis y cyfryw ag a fyddont yn cydweddu âg ansawdd y geiriau a fwriedir ganu; diffyg o'r hyn sydd wedi bod lawer gwaith yn achos o iselhad ac anfri ar ein caniadaeth eglwysig, yr hyn a darddai naill ai o esgeulusdod neu anwybodaeth blaenoriaid canu. Dylai y geiriau a'r dôn fod yn cyfateb hefyd o ran eu *hacenion*, hyny yw, fod y rhanau mwyaf pwysig o'r geiriau o ran *ystyr* a *sain*, (y rhai y mae y bardd medrus yn ofalus bob amser i'w gosod yn eu lleoedd priodol, yn ol rheolau acenyddol y farddoniaeth,) yn cael eu darlunio yn gywir drwy seiniau priodol o ran ansawdd ac amser yn y dôn, fel y byddo ysgogiadau a'r drychfeddyliau cynnwysedig yn y blaenaf yn cael ei effeithioli a'i rymuso gan yr olaf; yr hyn y dylai pob cyfansoddwr cerddoriaeth fod yn dra chyfarwydd ynddo, tuag at gynhyrchu y cyfryw gyfansoddiadau ag a fyddont yn cynnwys *bywyd* a *theimlad* priodol. 'A ydyw yn bosibl canu yn ddeallus, heb yn gyntaf wybod ychydig am aceniad mewn geiriau ?' Diameu y byddai hyny yn fanteisiol. Nid wyf yn deall meddwl y gofynydd yn ei ofyniad olaf ychwaith, pe buasai yn ymdrechu i ofyn yn eglurach, buasai hyny yn fantais i 'ysgrifenu ychydig yn oleu,' mewn ffordd o atebiad, yn ol cais eich Gohebydd.

R. MILLS.

---

*Ateb i Ofyniadau R. Mills, yn Rhifyn 124, tu dalen* 114.

Gof 1. Pwy oedd awdwr y pennill a noda efe ?

Ateb. Y diweddar Fardd enwog, Edward Jones, gynt o Maes y Plwm.

Gof. 2. A ydyw yn argraffedig, os ydyw, yn mha le ?

Ateb. Ydyw; yn yr ail ran o'i Lyfr. tu dalen 13.

*Llanrhaiadr.* T. HUGHES.

---

*Cyfieithiad o'r Penillion Seisnig yn y Drysorfa am fis Mawrth, a anfonwyd gan yr hen Fam yn Israel, Mrs. Jones, Dinbych.*

At ffynon Jacob estron ddaeth
Er lloni'i gorph oedd wyw ;
A'r wraig Samaraidd, er mor ffraeth,
Ni wyddai 'i fod E'n Dduw.

Yr hyn pe gwyddai, 'chalon brudd,
Dychlam'sai yn ei chell ;
Ger y Messiah, byth ni ludd
I enaid ddyfroedd gwell.

Y ffynon hon mae'n ddrych di goll
O ddelw Brydain syw,
A Iesu'n teithiaw trwyddi oll,
Pwy wyr nad estron yw ?

Hwn raid i Brydain 'nabod, clyw,
Neu gwyno'i choll a'i chlwy ;
Ond wele'n ffrydiaw ddyfroedd byw,
Tyr'd, yf, ni sychi mwy.

*Liverpool.* R. JONES, (Asiedydd.)

At ffynon Jacob gwr fu'n dod
Ar daith yn flin a gwan—
Nis gwyddai merch Samaria fod
Duw Jacob yn y fan.

Pe gwydd'sai hyn ei henaid gwael
Chwennych'sai ddoniau mwy
A lluddias ni wnai'r Iesu hael
Y doniau dardd o'i glwy'.

Y ffynon hon drych cywir yw
O Frydain firain le—
Trwy hon tramwya'n Iesu gwiw,
Ond pwy a'i hedwyn E'?

Ond Brydain raid ei 'nabod Ef
Cyn hir, neu gwyno'i gwae—
O tyr'd ac ŷf o'r ffrwd sy gref
Can's disychedu mae.

*Caerlleon.* J. MORRIS.

---

*Englyn yn lle atebiad i chwe Gofyniad T. sydd ar amlen y Drysorfa am Ebrill,* 1841.

Na anfoner yn Ofynion——bythol
O bethau mor weigion;
A hwylier pob gwehilion,
Adref a hwy, o'r Dref hon.

*Caerlleon,* Ebrill 6, 1841. HEN FARDD.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

### ANNOGAETH I DDARLLEN LLYFRAU BUDDIOL.

BYDDAF yn gofidio yn fy meddwl yn fynych, oblegid bod cyn lleied o awydd darllen Llyfrau da, a buddiol, yn mysg ieuengctyd Cymru, a chyn lleied o Lyfrau bychain adeiladol, i'w rhoddi yn eu dwylaw. Darfu i *Gymdeithas y Traethodau Crefyddol,* gynnyg yn dirion iawn, lawer gwaith, ein cynnorthwyo i gael Llyfrau bychain buddiol, am bris isel, i'w rhoddi yn nwylaw y bobl ieuaingc; ond y mae yn ddrwg genyf ddywedyd nad ydym yn cynnorthwyo y Gymdeithas ragorol hòno, nac yn derbyn ei chynnygion tirion i'n cynnorthwyo ni fel y dylem. Y mae diffyg ysbryd darllen pethau buddiol yn ein gwlad, a dyma un achos fod gwybodaeth grefyddol efengylaidd mor brin, gan y nifer fwyaf o'r gwrandawyr.

Y mae Llyfrau a Thraethodau anfuddiol a niweidiol yn cael eu taenu ar hyd Gymru, rhyw dadleuon chwerwon cyndyn, dirmygu eu gilydd, &c. 'yr hyn nid yw fuddiol i ddim, ond i ddadymchwelyd y gwrandawyr.' Y mae yn ddrwg genyf, fod llawer o bobl ieuaingc yn cael blâs ar y cyfryw bethau.

Y dyddiau diweddaf gwelais Lyfryn bychan, hardd, ac annhraethol ei werth, yn yr iaith Gymraeg, wedi cael ei gyfieithu gan weinidog duwiol, haelionus, o gariad at lês y Cymry; a'i argraphu gan *Gymdeithas y Traethodau Crefyddol.* Gwaith y diweddar Barchedig W. Mason ydyw; gwr oedd iach yn y ffydd, ac efengylaidd iawn yn ei brofiad, &c. Gwyr y rhai a ddarllenasant ei waith yn yr iaith Saesonaeg, ei fod yn felys iawn. Enw y Llyfryn bach yw, *Briwsion oddiar fwrdd y Meistr.* Briwsion o'r bara goreu, o'r bwyd iachusaf ydyw: ïe, y mae digon yn y Briwsion yma i ddiwallu enaid newynog, briwsion digon mân y gall babanod ymborthi arnynt.

Tybygwn fod y Llyfryn bychan hwn yn deilwng o le yn llogell pob pregethwr, a blaenoriaid yr eglwysi: gallant gael addysg i falu pethau mawrion yr efengyl yn ddigon mân i rai bach yn Nghrist i ymborthi arnynt.

Gweddai bod nifer o honynt gan bob Ysgol Sabbathol, i'w rhoddi yn anrhegion i'r Ysgoleigion mwyaf teilwng, &c.

Dymunwn i lawer iawn ei ddarllen, a chael llês mawr trwyddo: fel yr hôffont ddarllen pethau buddiol, ac y casâont bethau ofer, a diadeiladaeth.—Eich gwasanaethwr, &c. JOHN ELIAS.

*Fron, Mawrth* 23, 1840.

---

'*Salvation.*' *Ton wedi ei chyfaddasu i Emyn yr Esgob Heber,* 'O fryniau oerion, Greenland,' &c. Gan W. Matthews, Nottingham; J. Hart, Hatton Garden, Llundain.

Mae yn hoff genyf weled, yn y 'Drysorfa, llwyddiant y 'Gymdeithas Genadol Gymreig.' Drwy y sefydliad yma, agorir y ffordd i gynnal yr hyn a elwir gan y Saeson, '*Missionary Meetings,*' yn aml yn ein plith: am hyny, dymunaf alw sylw neillduol y Cantorion at ddernyn addas i ganu ar yr achlysuron hyny, sef 'Salvation,' wedi ei chyfaddasu i Emyn yr Esgob Heber, 'O frynian oerion Greenland, &c. Gan W. Matthews, Nottingham. Hyderaf y cymmerir yr amnaid hwn, ac y bydd boddhad drwy hyny i bawb a'i pryno.

T. T.

---

*Pregethau y diweddar Barch. Christmas Evans, Gweinidog enwog a llafurus gyda'r Bedyddwyr yn Nghaerynarfon.*

Mr. Golygydd,—Rhyfedd gymmaint o Lyfrau da sydd yn cael eu llwybreiddio i ni Genedl y Cymry, drwy offerynoldeb yr argraffwasg, yr hon sydd braidd mor werthfawr i ni ag yr oedd y ddawn wyrthiol yn nyddiau yr Apostolion. Yn mhlith yr amrywiol o'r Llyfrau da sydd wedi dod yn y dyddiau hyn daeth Cyfrol hardd o Bregethau y diweddar Barch. Christmas Evans, allan o argraff-wasg Mr. Ll. Jenkins, Caerdydd, yr hon sydd yn cynnwys 85 o bregethau, 10 o ddammegion, 5 o areithiau. Ac er gymmaint o filoedd o gopïau sydd wedi eu gwerthu o'i bregethau, &c. ac hefyd o'i Gofiant, deallwyf fod ychydig etto o gopïau ar law heb eu gwerthu. Ymdrechwyd i roddi y gwaith uchod allan mewn trefn iddo aros gyda'r Cymry fel arogl pêr-lysiau gweinidogaeth Christmas Evans, yr hon oedd fel perllan o bomgranadau seiliedig ar waed dihalog.

Mae Christmas yn awr o ran ei foncyff wedi ei soddi o'r golwg yn y pridd. Ei

ganghenau yn arogli yn beraidd yn y Cofiant a'r Pregethau crybwylledig ar y ddaear —ei flodeuyn wedi ymagor yn nghanol Paradwys Duw. Yn awr, mae'r gwaith yn curo am dderbyniad wrth ddrws yr hwn a hoffa gael trysorfa o wybodaeth, a chael gafael ar ganolbwynt yr ystrydoedd sydd yn arwain drwy ddirgeliou trefn iachawdwriaeth,—a'r ffrydiau dysglaer o wahanol wybodaeth a ellir gael ynddynt. Mae enaid rhesymol Christmas wedi bod fel fflam yn ehedeg ynddynt o ben mynydd Seina, ar goppa mynydd Calfaria, fel y mae wedi cynayrchu ynddynt, iachâd i'r clwyfus—golwg i'r dall--gwisg i'r noeth--a gwleddoedd yn eu paradwysaidd flâs i'r newynog.

J. H.

---

*'Ieuo yn Anghymarus.' Pregeth gan y* Parch. H. Gwalchmai, Llanidloes.

Fy Nghydbroffeswyr Ieuainc,

Y mae ein proffes yn dangos ein bod wedi ymddidoli oddiwrth y byd annuwiol, ac fel dieithriaid a phererinion yn teithio tua Chanaan nefol, ond yn wir, y mae gelynion lawer i ymladd â hwynt yn yr anialwch, ac achos sydd i wylio a gweddio rhag putteinio gyda rhyw eulunod fel yr Israeliaid gynt, ac ymollwng i afael â phechodau, a thrwy hyny golli cymdeithas ein Tad nefol.

Y mae Pregeth gan y Parch. H. Gwalchmai, Llanidloes, ar 14, 15, 16, 17, 18, adn. o'r 6 bennod o 2 Cor. yn erbyn y pechod o ieuo anghymarus newydd ddyfod allan o'r argraffwasg, ac yn werth sylw pob un ac sydd ar enw Crist, trwy fod y pechod hwn yn cael ei ddangos mor neillduol y'nghorph y Bregeth ragorol hon. Yr wyf wedi ei darllen yn fanwl ac yn ystyriol, a fy marn ydyw, fod y pwngc wedi ei drin yn oleu ag yn eglur, yn ngoleuni Gair Duw, gyda rhesymau anwrthwynebol; a diammeu y bydd pob un ystyriol a gaiff y fraint o'i darllen o'r un farn. Fe addef pob un profiadol o bethau'r Bibl, mai gael byw yn nghymdeithas Duw, ac ymgysuro ynddo, yw'r llwybr dedwyddaf yn y byd, ac mae ymlithro i ryw bechodau, a choleddu rhyw eulunod, yw'r achos i gredadyn golli gwedd wyneb Duw, a thristau yr Arweinydd nefol, a thrwy hyny nid oes ond helbul ac an nghysur i ddysgwyl, wedi colli'r gyfrinach felus hon. Mae colli cyfoeth, perthynasau a chyfeillion hoff yn golled fawr, ond dim i'w gydmaru â cholli cymdeithas ein Duw yn y dyrys anial hwn. Wrth ddarllen y Bregeth dan sylw, a myfyrio ar dystiolaethau y Bibl, a gynnwysir ynddi, ynghyd â'r rhesymau cedyrn, yr oeddwn yn canfod ieuo anghymarus yn bechod ffiaidd ger bron Duw, ac yn ben ffordd i arwain plent-n Duw i golli aml wledd felus rhyngddo Dduw; a diammeu y bydd llawer ag wedi syrthio i'r pechod hwn, yn ddigon d i addef yr un peth, ac y bydd yn anhawdd i lawer brawd a chwaer ag sydd yn euog o'r trosedd yma, ddarllen y Bregeth ragorol hon heb golli dagrau lawer.

Mi obeithiaf y bydd rhieni crefyddol yn ymdrechu i'w chael, a than fendith Duw hi all fod yn fendithiol i'w dwyn yn fwy ystyriol, gyda golwg ar briodi eu plant; a fy nymuniad yw galw fy nghyd-ieuengtid ag sydd ar enw Crist, i fod yn berchenogion y Bregeth hon, a'i darllen yn ystyriol, gyda'r difrifwch a'r dwysder mwyaf, fel y canfyddont yr anmhosiblrwydd i blentyn Duw a gelyn Duw, allu mwynhau eu gilydd yn yr Arglwydd, a'r hyfryd fywyd fydd i ddau a fo yn cyd garu Crist, yn cyd-broffesu Crist, ac yn feddiannol ar Ysbryd Crist ymuno, a chael mwynhau eu gilydd, ar eu taith trwy yr anialwch i'r Canaan nefol.

*Ll-a-n-i-d l-o-e s.* W. M.

---

DERNYN O HENAFIAETH.

*Côf Plentyn.* Er's pedair blynedd-arddeg a deugain yn ol, pan oeddwn yn blentyn naw oed, bum am ychydig o amser yn dysgu darllen Cymraeg gydag un Mr. Richard Jones, oedd yn cadw Ysgol râd dan Madam Bevan, dybygwyf, mewn lle a elwir Bryn yr Odyn, Sir Gaernarfon. Byddai ein Meistr duwiol a llafurus yn ein *catecisio* ni, yn gweddio ac yn canu gyda ni bob dydd. A'r mynyd hwn, fe ddaeth un o'r Pennillion a fyddem yn arfer ei ganu yno i'm meddwl mor gywir a phe buaswn wedi ei glywed ddoe: yr hwn sydd fel y canlyn:—

Gogoniant i Dad trag'wyddoldeb,
  Am garu o'i fawr burdeb y byd.
Gogoniant i'r Mab a fu'n chwysu,
  A marw i'n prynu mor ddrud.
Gogoniant i'r Ysbryd sancteiddiol,
  Wna'r Eglwys ddewisol yn wen.
Gogoniant i'r Drindod mewn Undod,
  Boed moliant a mawr-glod, Amen.

Dymunwn fod Rhieni plant, ac Athrawon Ysgolion, yn canfod, drwy yr eu graifft hon, yr effaith hirfaith sy'n dilyn addysgu plant. Y Cyhoeddwr.

---

ESIAMPL NODEDIG O HAELIONI.

Agorwyd Capel newydd, hardd a chyfleus, perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd, yn Llanelly, Swydd Gaerfyrddin, yn mesur 65 troedfedd o hyd, a 55 troedfedd o led, ar y 12 ar 13 o fis Mai, 1840. Traddodwyd pregethau rhagorol ar yr achlysur gan y Parchedigion T. Richard, Abergwaun, W. Griffiths, Gower, D. Howells, Caerfyrddin, D. Roberts, Abertawe, W. Powell, Penfro, a J. Davies, Penmorfa. Casglwyd yn y Cyfarfodydd yma (yn unig) y Swm o £370 7s. 7c.! Oherwydd nad ymddangosodd un sylw ar hyn yn eich Cyhoeddiad yn yr amser priodol, cymmeraf y cyfleusdra yma i anfon hyn i chwi fel y byddo Eglwysi Cymru yn y cyffredin weled pa beth a ellir wneud drwy ymdrech. T. T.

# BARDDONIAETH.

## EIDDUNEB.

ENGLYNION AR BRIODAS MR. GRIFFITH DAVIES, HENURIAD YN EGLWYS Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN LLUNDAIN, A MRS. GLYNNE, O'R UN LLE, CHWEFROR 3, 1841.

GWEN Nef wèn a myrdd gwyn fyd——a rodder
Ar weddill eich bywyd,
Dyddiau a mawr ddedwyddyd
Tan wawr hedd tyner o hyd.

Dwyn einioes dan iau anwyl——y byddoch
Er budd yn mhob gorchwyl—
O bob rhâd, mwynhâd mewn hwyl,
Uwch pris, fo yn eich preswyl.

Medi cysur pur heb ball,——mwy wneloch,
Ymanwylo'n ddiball—
Un o duedd a deall,
Er lles y naill i'r llall.

Gwraig o anian fel HANNAH,——o rinwedd
Fel yr enwog SARAH;—
Duwiol fel MAIR *Judea*
Fô'r FAIR hon, dirion a da.

Dymuniant ei phriod mwynwawr,——drwy oes
Ei drysor bendithfawr—
Gwir berl goreu ei barlawr,
Mwyn fywiol em nefol wawr.

Hyles weinyddes rinweddol,——i'w gwr
Yn goron wastadol—
Mewn gwiwdeb i neb yn ol—
Tlws eirian teulu siriol.

O ddefnydd yn nydd, fun addas——yn ail,
Ië'n uwch na DORCAS;—
Ei daioni'n fri dinas—
Na fo gwraig yn fwy ei grâs.

Ymholi i ymweled ——lle bo'r ing,—
Llwybrau angen chwilied;—
Llawer loes lloiâu ar lêd,
All ei gŵr law-agored.

Dodi enaint ei doniau——law lesol,
I laesu gofidiau;—
Tyner bryd hon i barâu
Fo lewyrch claf-welyau.

Yn ISRAEL fel yn fam——uchel enw,
Dichlynaidd a dinam;—
A'r gŵr gwir, cywir bob cam,
Fo a'i lwybrau fel ABRAM.

Enwog dros achos uchel——Duw a'i Fab
Hyd fedd trwy bob awel—
Mewn gras, ESAIAS lawn sêl,—
Yn ei ddwnad yn DDANIEL.

Teml i'r Ion fo'ch tŷ aml râd,——yr ebyrth,
Cerubaidd addoliad;—
Dau yn dân dan dywyniad
Boddlon wyneb tirion Tad.

O daw unawr ryw donau,——angorwch
Y'ngharìad y Meichiau;—
Duw y grâs ni âd groesau,
O chewch hwynt, ond i'ch iachau.

Erchaf, eiddunaf ddoniau,——amlwg lwydd
Mal gwlith ar eich penau—
Na weler tan nen olau
Hapusach, ddedwyddach dau.

Pan ddaw awr i'r pen i ddirwyn——einioes,
Bood yna i'ch derbyn
Bywyd o wedd Mab y Dyn,
Uwch awyr, heb frycheuyn.

*Llundain*, Chwef. 23, 1841. E. G. W.

## DADL RHWNG Y PRYNWR A'R GWERTHWR.

*Prynwr.*

GWARTH Turpin yw rhoi gwerth teirpunt—i un
Yn enw gwerth chwêphunt.

*Gwerthwr.*

Gwarth tebyg rhoi gwerth dwybunt
I neb oll yn lle un bunt.

*Prynwr.*

Nid rheswm gofyn triswllt,—a hyny
Am haner gwerth pum-swllt:
Dewiswch golli deuswllt,
Ymrowch Syr, cymerwch swllt.

*Gwerthwr.*

Trosedd yw cynyg triswllt,—e wyddis,
Am eiddo werth nawswllt;
Un a chais i ddwyn chweswllt,
Na wna sôn am ddwyn un swllt.

D. JONES.

## ENGLYNION I'R ENLLIBIWR.

ENLLIBIWR gwenwr ar gynen,—addig
At heddwch y dïen,
E ladd sant, ei wledd yw sen,
Gwna fagu du genfigen.

Enllibiwr cwynwr rhag cynydd—y da,
Pob duwch a genfydd;
A llunia fai'r lle ni fydd
I'w gludo dros y gwledydd.

Enllibiwr cablwr pob call,—a gwenwyn
I gynydd pawb arall,
Cuddiai'r gwyn, cyhoeddai'r gwall,
Fe ddua a fo ddiwall.

Enllibiwr beiwr pob un—fo enwog,
Ei fwyniant yw burgun;
Gwawdia heirdd i'w godi hun;
Deil y gwarth, y d—l gwrthun.

Holl obaith yr Enllibiwr,—a'i weithred,
Yw sathru Rhinweddwr;
Ei hoff wledd yw gwaeledd gwr,
Neu faeddu Tangnefeddwr.

*Caernarfon.* D. JONES

### EMYN

*I'w chanu wrth fedyddio plentyn.*

'Gadewch i blant ddod ataf fi,'
Medd Iesu yn ei air;
'Lle i rai bychain Sïon Duw,
O fewn fy mreichiau cair.

'I'r cyfryw rai mae teyrnas nef,
A'i breintiau'n awr yn rhydd;
Am hyny na waharddwch hwynt,
Can's gwawrio wnaeth y dydd.'

Ar sail y Bibl, cadarn, gwir,
Y deuwn ni a'n had;
Gan orfoleddu am y fraint,
Yn hyfryd dŷ ein Tad.

Yn blant digofaint ganwyd ni,
Ein cyflwr, aflan yw;
Ond trwy rinweddau gwaed y groes,
Mae gobaith in' gael byw.

Gwaed y taenelliad ydyw'r gwerth,
Sy'n eiriol yn y nef;
Arwyddir hwn trwy fedydd dwr;
Am sylwedd boed ein llef.

Cyflwynwn ni y baban bach,
I'th ofal Iesu mawr;
Ac yn dy goron boed yn berl,
'Nol darfod dyddiau'r llawr.

W. Rowlands.

*Caerefrog Newydd.*

## HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

### MARWOLAETH RAZAFY, UN O GRISTIONOGION MADAGASCAR.

Gwyr y rhan fwyaf o'ch darllenwyr, mae'n ddilys genyf, am y creulonderau a ddangoswyd ac a ddangosir gan Frenines Madagascar at y rhai sydd wedi eu hennill i gofleidio egwyddorion y Grefydd Gristionogol.

I ochelyd y blinfyd, yn hytrach na gwadu eu ffydd, ymadawodd rhai o'r proselytiaid âg ynys Madagascar yn nghynauaf y fl. 1838, ac a gyrhaeddasant Loegr yn mis Mai y flwyddyn ganlynol. Ac y'mhlith y ffoaduriaid yr ydoedd gwrthddrych yr hanesyn byr canlynol, sef Razafy, (neu Sarah,) yr hon a fu farw yn Lloegr yn mis Rhagfyr diweddaf.

Yr oedd Andrianilaina, prïod Razafy, wedi gwybod am nerthoedd yr efengyl beth amser cyn i'w meddwl hi gael ei oleuo am danynt; ond trwy ei esampl a'i addysg ef parodd Duw hefyd iddynt fod yn effeithiol i'w hennill hithau i ymorphwys ei henaid ar ei Fab, ac i ganfod gwagder a ffoledd delwau ac eilunaddoliaeth. Ymagorodd holl wirioneddau y Bibl fel llawr-faes ëang o'i blaen, ac arweiniwyd hi ar unwaith i ymwrthod â phaganiaeth, a gosod ei hyder a'i chred yn yr Hwn a ddaeth i'r byd i achub pechaduriaid. Yn y cyfwng hwnw, pan ydoedd etto yn cloffi rhwng dau feddwl, erledigaeth dost a yrodd Rafaravary (un a ddyoddefodd lawer yn achos crefydd) am nodded i'w thŷ hi; a thrwy hyny y gwnaed hi yn fwy cydnabyddus o wirioneddau yr efengyl, ac y torwyd y ddadl ar unwaith yn ei meddwl mai "yr Arglwydd oedd Dduw," gan fyned ar ei ol ef. Ymglymodd ysbryd y naill am y llall, a phan oeddynt wedi eu hymddifadu yn hollol o ordinhadau cyhoeddus, hwy a gawsant hyd i hyfrydwch wrth ddarllen yr Ysgrythyrau gyd â'u gilydd, gweddïo yn daer, ac ymddyddan am y pethau a berthynent i'w tragywyddol heddwch.

Wedi dyoddef llawer o herwydd eu crefydd penderfynasant adael gwlad eu genedigaeth; a Duw yr heddwch a'u cynnorthwyodd hwy i ymadael â bröydd llawnion o greulonderau, ac a'u harweiniodd i wlad lle y derbyniwyd hwy yn wresog yn rhwymau ffydd a chariad.

Ond er y dydd y laniodd Razafy yn Lloegr, ni fwynhaodd iechyd da; ond yr oedd gwendid ei chyfansoddiad y'ngwyneb y caledwch a ddyoddefodd, wedi difa ei nerth a byrhau ei dyddiau; ac ar y 26 o Ragfyr diweddar, ar y plygeinddydd, mewn tawel ymorphwysiad ar y Gwaredwr mawr, hi a roddes ei phen i orphwys yn angeu pan oddeutu 22ain flwydd oed.

Yr oedd ei holl ddyddiau o grefydda zelog.—Gyda diwydrwydd mawr y glynai wrth ddarllen—yn ddyfal iawn y gwaeddai am drugaredd, a phan ydoedd yn rhy wàn i benlinio, mynych y gwelid hi â'i phenelin yn gorphwys ar y bwrdd, a'i dwylaw yn anhuddo ei gwyneb yn tywallt ei chalon ger bron Duw mewn gweddi. A llawer gwaith y clywyd hi yn cymmeryd rhan yn y ddyledswydd deuluaidd, ac yn gweddïo yn gyhoeddus yn iaith Madagascar.

Un boreu Sabbath rhyfeddai yn fawr wrth ffyrdd dirgel ragluniaeth y Jehofah. A phan hysbyswyd iddi am ferthyrdod rhai o'i chyfeilleaau yn Madagascar, canmolai ddaioni Duw ati hi, yr hon nad oedd nemmawr o amser er pan welodd Ewropead gyntaf, yn ei harwain i Loegr i farw, "Iё, (meddai) yma, yn mysg pobl yr Arglwydd y ceir o hyd i fy llwch i etto ar foreuddydd y dydd olaf."

Pan oedd yn marw y geiriau a lefarodd oedd, "Iesu, Iesu, ti sydd yn fy nghymmeryd i ymaith," a chan droi ei phen at gyfeilles a safai yn ei hymyl, a gwenu yn siriol arni, ei rhan anfarwol a ehedodd i'r trigfanau dedwydd, lle nas gall gorthrymder ac erlid sangu ei chynteddau.

Yr hanes olaf a dderbyniwyd o Madagas-

car, sydd yn dangos fod y ddïadell fechan hòno etto yn cael ei hymlid gan fleiddiau a llewpartiaid creulon a gwaedlyd. Er hyny y maent yn cadw eu ffydd, ac yn gwaeddi yn nghlustiau pob Cristion Prydeinaidd, "O! na ddeuai dyddiau rhyddid Madagascar, ac O! na wawriai dydd ei gollyngdod."

Rhyw foneddiges gyfrifol yn y ddinas hon (ar gais pa un yn benaf yr ysgrifenwyd yr hanes uchod) wrth ddarllen am ddyoddefiadau merthyron Madagascar, a fydrai ychydig linellau Seisnig, efelychiad gwael o ba rai a roddaf yma.

O! falchaidd Frenines sy'n wir
  Yn malchder dy galon yn awr—
Dy sedd a'th lywodraeth cyn hir
  Yn llwyr a ddymchwelir i'r llawr;
Wyn bychain diniweid y nef
  Ni chei di yn chwerwaidd eu trin,
Cânt lechu'n ei glyd fonwes Ef,
  Tra byddo dy aethau di'n flin.

Ond etto er uched dy ffroen,
  Er cael dy lychwino gan waed,
O! tyred trwy ffydd at yr Oen,
  Yr aberth a roed er glanhâd;
Ehed at yr Iesu, Ehed
  Fe'th ylch o'th euogrwydd yn lân
Fe olchodd Manasseh (O! cred)
  Yn wynach na'r teg eira mân.

O'i fodd y sancteiddiodd ef Saul,
  A Magdalen hefyd yn rhad;
Cei dithau lochesu'n ei gôl,
  A phrofi rhinweddau ei waed:—
Ymysg d'offeiriaid a'u broch,
  Yn nghanol dy ddelwau sy'n wyw
Cei waeddi yn uchel a chroch
  "Yr Iesu yw f' Arglwydd a'm Duw."

---

## CASGLIAD CENADOL SIR DDINDYCH, AM Y FLWYDDYN 1840,

*At y Gymdeithas Genadol Gymreig.*

| | | |
|---|---|---|
| Bettws, Cyhoeddus.... | 0 15 8 | |
| Mr. Jones, Bryn ffanigl | 1 0 0 | |
| | | 1 15 8 |
| Bontuchel .......... | | 0 8 0 |
| Bryn .............. | | 0 12 5 |
| Bryndionyn Cyhoeddus | 0 10 0 | |
| Ysgol Sab. ........ | 0 13 6 | |
| | | 1 3 6 |
| Brynllwyni .......... | | 1 8 0 |
| Cefn Coch Cyhoeddus | 0 4 3 | |
| Ysgol .......... | 0 16 6 | |
| | | 1 0 9 |
| Cefnmeriadog ........ | | 0 10 0 |
| Clawddnewydd ...... | 1 4 0 | |
| Ysgol Wann ...... | 0 7 8 | |
| | | 1 11 8 |
| Conwy .............. | | 1 7 2 |
| Cwm................ | | 0 17 8 |
| Cyfylliawg .......... | | 0 10 0 |
| Dyserth (rhan) ...... | | 0 10 6 |
| Garnedd, Cyhoeddus .. | 0 6 11 | |
| Ysgol ........... | 1 15 7 | |
| | | 2 2 6 |
| Green .............. | | 0 15 2 |
| Groes .............. | | 0 9 4 |
| Gwytherin Cyhoeddus | 0 9 0 | |
| Ysgol ............ | 1 18 1 | |
| Ysgol Cae'r Graig .. | 0 17 1 | |
| | | 3 4 2 |
| Henefail ............ | | 0 6 0 |
| Henllan ............ | | 4 14 0 |
| Llandudno .......... | | 0 18 10 |
| Llanefydd .......... | | 1 0 0 |
| Llansanan .......... | | 1 1 0 |
| Llanelian............ | | 0 7 3 |
| Llanelidan, Cyhoeddus | 0 8 4 | |
| Cymun Rodd ...... | 0 10 0 | |
| | | 0 18 6 |
| Llanelwy............ | | 6 8 5 |
| Llangerniw, Cyhoeddus | 0 4 0 | |
| Ysgol ............ | 1 16 0 | |
| | | 2 0 0 |
| Llanrwst, Cyhoeddus.. | 3 7 9 | |
| Rhan o Gasgliad Ysgol 1839 ...... | 7 13 6 | |
| Etto 1840 ........ | 7 6 4 | |
| Mr. Thomas Powel | 0 10 0 | |
| Parch. Hugh Hughes.. | 1 0 0 | |
| Bethel, Cyhoeddus .... | 0 15 11 | |
| Ysgol ............ | 1 19 10 | |
| | | 22 1 4 |
| Llysfaen ............ | | 0 10 5 |
| Mochdre ............ | | 0 19 4 |
| Nantglyn............ | | 0 13 6 |
| Pandy Tudur— | | |
| Cyhoeddus ........ | 0 18 0 | |
| Ysgol ............ | 2 2 0 | |
| | | 3 0 0 |
| Pentre Celyn ........ | | 0 6 6 |
| Pentre Llanrhaiadr .. | | 0 15 7 |
| Penuel .............. | | 0 3 9 |
| Prion .............. | | 0 11 11 |
| Pwllterfyn, Cyhoeddus | 0 9 5 | |
| Ysgol ............ | 3 5 7 | |
| Ysgol Bryngwian .. | 0 12 3 | |
| | | 4 7 |
| Rhiw .............. | | 0 12 0 |
| Rhuddlan .......... | | 2 12 7 |
| Rhyl................ | | 1 2 6 |
| Rhuthin ............ | | 3 8 1 |
| Roewen, Cyhoeddus .. | 0 17 8 | |
| Ysgol ............ | 1 4 9 | |
| | | 2 2 5 |
| Saron .............. | | 0 10 2 |
| Salem, Cyhoeddus .... | 0 10 0 | |
| Ysgol ............ | 2 18 0 | |
| Cynyrch Pren Afalau | | |
| Mr. E. Hughes .. | 0 15 0 | |
| Mr. W. Elias ...... | 0 10 0 | |
| Cyfaill yn yr Ysgol.. | 0 13 0 | |
| Cyfaill i'r Genadaeth | 1 0 0 | |
| | | 6 6 0 |
| Talbont, Cyhoeddus .. | 0 10 6 | |
| Ysgol ............ | 0 10 0 | |
| | | 1 0 6 |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Tanfron ............ | 0 | 7 | 8 | | | |
| Cefn Forest........ | 0 | 7 | 1 | | | |
| | | | | 0 | 14 | 9 |
| Towyn .............. | | | | 0 | 13 | 3 |
| Trefriw, Cyhoeddus .. | 0 | 18 | 10 | | | |
| Ysgol ............ | 1 | 2 | 8 | | | |
| | | | | 2 | 1 | 6 |
| Y Cyfanswm | | | | £91 | 6 | 3 |
| Man Gostau ...... | | | | 0 | 4 | 3 |
| Anfonwyd Ebrill 10 i Mr. John Roberts .. | | | | £91 | 2 | 0 |

*At Gymdeithas Genadol Llundain.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Abergele— | | | | | | |
| Casgliad y Meibion | £3 | 15 | 2 | | | |
| Casgl. y merched 1839 | 2 | 17 | 8 | | | |
| Etto ......... 1840 | 3 | 16 | 2 | | | |
| Parch. Thos. Lloyd | 1 | 10 | 0 | | | |
| | | | | 11 | 19 | 0 |
| Dinbych— | | | | | | |
| Cyfarfodydd Gweddi Cenadol ........ | 12 | 18 | 1 | | | |
| Mr. Aaron Roberts.. | 0 | 10 | 0 | | | |
| Blwch Cenadol Mr. W. Mellish ...... | 1 | 0 | 0 | | | |
| | | | | 14 | 8 | 1 |
| Dyserth (rhan) ...... | | | | 0 | 10 | 6 |
| | | | | 26 | 17 | 7 |
| Man Gostau ...... | | | | 0 | 4 | 3 |
| Anfonwyd i Lundain | | | | 26 | 13 | 4 |
| Ebrill 10. Anfonwyd i Mr. J. Roberts .... | | | | 91 | 2 | 0 |
| Anfonwyd i Lundain.. | | | | 26 | 13 | 4 |
| Cyfanswm Swydd Ddinbych ...... | | | | 117 | 15 | 4 |

---

*Cyfraniadau a dderbyniwyd at y Gymdeithas Genadol Gymreig.*

Dymunwyf gydnabod (gyda diolchgarwch) dderbyniad y symiau canlynol at wasanaeth 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig,' sef—

| | | | |
|---|---|---|---|
| O gwr *gorllewinol* Sir Feirionydd | £64 | 16 | 7 |
| Llwyneinion do. ............ | 1 | 0 | 0 |
| Rhanau o Sir Drefaldwyn .... | 56 | 0 | 0 |
| Sir Ddinbych ............... | 91 | 2 | 0 |
| Bettws y coed ............... | 3 | 6 | 6 |
| America (!) ............... | 29 | 6 | 4 |
| Y cyfan | £245 | 11 | 5 |

Dros y Cyfeisteddwyr

JOHN ROBERTS.

*Liverpool*, *Ebrill* 19, 1841.

*Hanes Cyfarfod Blynyddol yr Ysgolion Sabbathol yn Aberteifi, am y flwyddyn 1840.*

CYNHALIWYD y Cyfarfod hwn yn Blaen y plwyf, y 23ain o Chwefror diweddaf. Y Cyfarfod Athrawon am 9 o'r gloch y boreu, a ddechreuwyd gan y brawd James Davies, Pen-y-Morfa. Yna galwyd ar y brawd John Jones, Llanbedr, i fod yn Gymmedrolwr y Cyfarfod. Wedi hyny, galwyd y cyfrifon am y flwyddyn ddiweddaf, y rhai oedd fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Dospeirth .................... | 9 |
| Ysgolion, heblaw canghenau .... | 53 |
| Athrawon ac Athrawesau ........ | 1755 |
| Plant, neu Ysgolheigion ........ | 12607 |
| Pennodau o'r Bibl a adroddwyd .. | 240251 |
| Pennodau o Hyfforddwr Mr. Charles | 5955 |
| Pynciau ...................... | 471 |
| Pen. Rhodd Tad, a Mam ......... | 13622 |

Cafwyd fod y chwanegiad y flwyddyn ddiweddaf ar y flwyddyn o'r blaen fel y canlyn:—Plant 469. Pennodau o'r Bibl 36250, Egwyddorion 1150. Pynciau 17. Rhodd Tad a Mam 2190.

Yna penderfynwyd fod i bob Ysgrifenydd i osod colofn yn eu llyfrau, i gadw rhif yr holl adnodau a adroddir yn yr Ysgolion, gan rai nad allant ddysgu Pennodau. Penderfynwyd hefyd fod i bob dosparth, yn eu cyfarfodydd dau fisol, i nodi dau Ymwelwr (neu ragor, os bydd angen am hyny,) i ymweled â'r holl Ysgolion yn eu dosparth eu hunain, i'r dyben o edrych a fydd yr Ysgolion yn cael eu dwyn yn mlaen yn rheolaidd, gan obeithio hefyd y bydd hyny yn foddion i adfywio ychydig ar y gwaith tra gwerthfawr hwn.

Yna dewiswyd y brawd James Davies i fod yn Gadeirydd y Cyfarfod Cyhoeddus, yr hwn a ddechreuwyd am 11 o'r gloch, gan y brawd David Thomas, Llanddewi. Wedi hyn, mewn araeth fer, (ond cynnwysfawr) dangoswyd natur, a dyben y Cyfarfod, gan y Cadeirydd. Ac yn ganlynol i hyny, efe a alwodd ar y brawd Thomas Edwards, i lefaru gair ar Ragoroldeb y Bibl fel llyfr Ysgol Sabbathol, ar bob llyfr arall. Yna galwodd ar y brawd Evan Jones, Llangeitho, i lefaru ar ragoroldeb yr Ysgol Sabbathol fel moddion i gyfrannu addysg grefyddol. Wedi hyn galwodd y brawd Abel Green, Aberaeron, i lefaru am y pwysfawrogrwydd o hyfforddi plant yn mhen eu ffordd. Yna galwyd y brawd John Jones, Blaenannerch, i lefaru, Pa bethau yn *benaf* sydd i'w eu dysgu yn yr Ysgol Sabbathol.

Wedi hyn, y brawd Jenkin Davies, Twrgwyn, a lefarodd am yr Effeithiau daionus a ellid ddysgwyl oddiwrth yr ysgol Sabbathol. Ac yn ddiweddaf galwyd y brawd J. Jones, o Lanbedr, i lefaru am yr Angenrheidrwydd o fod yn effro, ac yn egniol i addysgu ein cyd-genedl, a'n cyd-oeswyr, gan fod yr amser yn fyr, a'r nos yn dyfod, pryd na ddi-

chon neb weithio. Dylem fod yn effro yn laf, Oherwydd y cyfrif a raid i ni roddi. 2. Oherwydd fod llawer o'r oes wedi darfod yn barod. 3. Oherwydd yr egni sydd mewn llawer i blanu egwyddorion drwg. 4. Oherwydd y llwyddiant mawr a welwyd yn oyd fyned âg egni a llafur. 5. Daioni a rhinwedd ydyw bod yn egniol gyda gwaith da. 6. Dyma'r ffordd i blanu gwir grefydd yn y wlad. 7. Mae'r amser i hyn yn fyr iawn; dim ond un dydd o bob saith. 8. Dyma'r ffordd i ddilwytho y gydwybod.

Y rheswm dros hyn yma ydyw, fod y nos yn dyfod, pryd na ddichon neb weithio. Yn laf, Y mae'n dyfod yn sicr. 2. Mae'n dyfod yn fuan. 3. Y mae'n dyfod ar bawb. Ac yn olaf, y mae yn dyfod am byth. Gallaswn roddi i chwi dalfyriad o'r holl areithiau rhagorol. Ond rhag meithder, gadawaf yn awr gyda dyweyd i'n Cadeirydd Parchedig roddi pen ar y Cyfarfod hwn eilwaith, gydag annogaeth i bawb i ddyfod at ei orchwyl yn uniongyrchol. Yna galwodd y Cadeirydd ar y brawd Evan Evans, Aber-y-ffrwd, i selio y Cyfarfod trwy weddi. Yna ymadawsom, gan ddywedyd (bob enaid, feddyliwn i,) 'mai da oedd i ni fod yma.' Yr ydwyf yn sicrhau i chwi, Mr. Golygydd, mai nid oddiar ddefod ag arfer yr ydwyf yn dywedyd mai Cyfarfod rhagorol iawn oedd hwn. Yr ydoedd felly mewn gwirionedd. Ac yr ydwyf yn gobeithio yn hyderus y bydd effeithiau daionus yn ei ganlyn.

B. EVANS.

*Lletty John.*

---

## HANESION TRAMOR

CHINA.—Mae newyddion cysurus iawn wedi dyfod o China. Mae prif sylfaeni ammodau heddwch wedi eu sefydlu rhwng Brydain fawr â China, a hyny ar deleran ffafriol i Frydain. Mae China i dalu *chwe miliwn o dolars* i Frydain tuag at gost yr ymgyrch, a hyny ynghorph chwe blynedd, sef un miliwn bob blwyddyn, yr hyn a wna oddeutu un miliwn a hanner o bunnau o'n harian ni. Mae ynys Hong Kong i fod yn eiddo Brydain, fel cartreffe i'n llongau, a sefyllfan Masnach â China. Ac mae Masnach a thramwy rhydd i fod rhwng y Chineaid a'r Brytaniaid o hyn allan. Mae yr ymryson wedi darfod, y cleddyf wedi ei roi yn y wain, a heddwch wedi ei sefydlu. Ond ni wnaed hyn cyn i'n Llyngeswr Elliott a'i frwydrwyr ymroddi i saethu y magnelau mawrion at eu hamddiffynfeydd a'u cestyll, a chymmeryd amryw o honynt oddiar y Chinëaid: yna hwy a ymroisant i geisio sefydlu ammodau heddwch. Mae Brydain yn rhai pob man i fynu iddynt yngbyd â'r Ynys Chusan, ond yn unig Ynys Hong Kong, fel y crybwyllwyd uchod. Hyn a fu yn mis Ionawr diweddaf, Gwnaethpwyd hyn oll cyn dychweliad Elliott adref.

Y TWRCIAID A'R AIPHTIAID,—Mae yr achos o anghydfod rhwng Llywydd yr Aipht ac Ymerawdwr Twrci heb ei gwbl wastattau etto. Mae y Twrc eisiau cael rhyw awdurdod parhaus ar Lywydd yr Aipht; ac mae yntau yn anfoddlawn iddo gaei hyny: ond mae y rhyfel rhyngddynt wedi ei lwyr attal er's talm.

UNOL DALEITHIAU AMERICA.—Y mae Mc Leod, gwr o Frydain, yn y carchar etto: ond diau y bydd raid i'r Americaniaid ei ollwng ef yn rhydd yn fuan bellach. Nid oes braidd neb yn meddwl yn awr y baidd America fyned i ryfel â Brydain, canys mae Pen Llywydd y byd wedi 'peri i ryfeloedd beidio hyd eithaf y ddaear.' Ac os â America i ryfel â ni mewn amser heddychlawn fel hyn, fe fydd holl alluoedd Brydain Fawr ar dir a môr yn rhydd i frwydro yn eu herbyn. Diau y briwid Brydain; ond fe ddyfethid America.

---

## HANESION CARTREFOL.

Y SENEDD YMERODROL.—Nid oes braidd i ddim achosion o bwys yn myned ymlaen yn nau Dŷ y Senedd yn yr wythnosau hyn. Ac yn ddiweddar gohiriwyd y Senedd dros wyliau y Pasc; eithr y maent wedi ymgyfarfod etto. Achos y Werddon a ddaw bellach o flaen y Tŷ; ac yna ceir prawf etto ymhellach o ogwyddiad yr Aelodau at y naill neu y llall o'r ddwy Ysgrif sydd o'u blaen, sef un Arg. Morpeth, ac un Arg. Stanley. Mae pob un o'r ddwy Ysgrif yn cael eu dwyn i mewn fel Diwygiad ar gyfraith dewisiad Aelodau y Senedd; ond y ddadl yw, pa un o'r ddwy fydd yn wirioneddol Ddiwygiad.

---

### AGORIAD CAPEL EBENEZER, BEDFORD ST. LIVERPOOL.

AR ddydd Gwener y Groglith diweddaf (Ebrill 9, 1841) agorwyd y Capel uchod. Yr oedd yn wyddfodol amryw Bregethwyr a Gweinidogion, a thorf fawr iawn o wrandawyr. Mae'n dda genym allu dyweyd, a dyweyd heb un gradd o betrusder, iddynt gael arwyddion amlwg a boddlonol iawn o bresennoldeb yr Arglwydd ar y pryd hwn. Ar yr achlysur canwyd amryw benniliion melysion o waith Mr. J. Roberts, (Minimus) pigion o ba rai efallai a gyhoeddwn yn ein Rhifynau dilynol.

---

*Hanes am ddiogelwch y Llong ar fwrdd yr hon y mae y Cenhadwr Cymreig.*

Mae yn ddywenydd genyf allu hysbysu fod hanes wedi dyfod i ddwy long gyfarfod â'r 'Jamaica,' y gyntaf ar Ionawr 10, yn lledred 11 deheuol a hydred 31 gorllewinol; a'r llall tua dechreu Chwefror, yn lledred 48 a hydred 18 dwyreiniol.

*Liverpool.* JOHN ROBERTS,

Y DRYSORFA.

RHIF. CXXVI.] MEHEFIN, 1841. [LLYFR XI.

## COFIANT EDWARD ROBERTS, TOWYN MEIRIONYDD.

EDWARD ROBERTS ydoedd fab i John a C. Roberts, Dyffryn-glyn-cûl, Plwyf Towyn, Swydd Feirionydd. Ymadawodd a'r fuchedd hon boreu Sabbath y 27ain o Ragfyr, 1840, yn 26 mlwydd oed.

Yr oedd yn wr ieuaunc o dymherau hynaws a siriol iawn wrth natur; ac er ei fod yn cyd-redeg â phleserau gwageddus ieuenctyd yr oes mewn graddau, nid oedd yn cyd-fyned â'r rhai mwyaf rhyfygus. Byddai yn arferol o fyned i'r Ysgol Sabbathol, ac i wrandaw pregethiad yr efengyl, a phob moddion o ras, yn lled gyson gydâ ei dad a'r teulu lluosog. Yr oedd cymhelliadau, ac ymrysoniadau dwys, ar ei feddwl er's blyneddau am gymmeryd yr iau, a dyfod at grefydd, ond parhâu i gloffi yr oedd ef, a thori ei addunedau deddfol.

Ond wrth wrandaw pregethu ar y geirian, 'Pa hyd yr ydych yn cloffi rhwng dau feddwl? os yr Arglwydd sydd Dduw, ewch ar ei ol Ef,' &c. torodd y ddadl,—penderfynodd wynebu y'mlaen fel ag yr oedd, heb ymgynghori mwy â chig a gwaed, gan ofni os yr ymgyndynai yn hŵy, y byddai iddo ddiffodd pob cymhelliadau, ac i'r Arglwydd dewi wrtho. Ac yna ymadawodd â'i holl hên gyfeillion gwageddus, a holl arferion llygredig y wlâd, ac a wynebodd yr Eglwys yn grynedig iawn, a rhoddodd yr Arglwydd iddo le yn ei dŷ, yn gynes a serchogaidd gan y gynnulleidfa eglwysig, pan oedd ef oddeutu 15 mlwydd oed.

Yr oedd yn nodedig mewn darllen a chwilio yr Ysgrythyrau a myfyrio ynddynt, gweddïo, ac ymddyddan â'r cyfeillion mwyaf ysbrydol am bethau perthynol i grefydd a duwioldeb; mewn gair, yr oedd ef yn un ag oedd yn ceisio pethau'r deyrnas yn gyntaf, ac wedi ei ennill at achos crefydd â'i holl galon.

Yr oedd yn ymddysgleirio mewn hunan-ymwadiad, gostyngeiddrwydd, addfwynder, a ffyddlondeb, yn dra eglur. 'Gan dybied ereill yn well nag ef ei hunan;' ac hefyd mewn cariad brawdol yn gynes iawn at ei frodyr. Er hyny byddai yn cwyno wrth ei gyfeillion, ei fod ef yn ofni yn fynych, na chychwynasai erioed yn iawn gydâ chrefydd. Ac er ei fod mewn ammheuon (fel y soniwyd) etto cloddio yn ddyfnach ddyfnach yr oedd ef am y wir sylfaen, mewn llafur a lludded beunydd, hyd nes oedd ei gynnydd yn eglur i bawb.

Dywedai yn y gymdeithas eglwysig fod yn dda ganddo feddwl am yr adnod hono, "Corsen ysig nis tyr, a llin yn mygu nis diffydd;' a'i fod yn cael gradd o gysur oddiwrthi i ddysgwyl am i'r wawr dori ar ei ysbryd llesg.

Ac oddiwrth hon cynghorai yr ieuenctyd crefyddol, 'Na ddiystyrent ddydd y pethau bychain;' a'i fod yn deall mai nid peth yn ei gyflawn faintioli ydyw gras yn ei gychwyniad, neu ei blaniad cyntaf; ond cyffelyb i'r gronyn hâd mwstard yn y ddammeg, â chynnyddiad mawr iddo, gan ei fod yn eginyn byw.

Cafodd o hyny allan raddau o adnewyddiad, a mesur o ryddhâd efengylaidd i ymorphwys ar, ac i gofleidio Crist a'i addewidion: a chynnyddodd ei ddawn, a'i wybodaeth, ynghyd a'i brofiadau ysbrydol o bethau'r efengyl, nes oedd yr eglwys fechan hono yn cael budd a lleshad neillduol yn ei gymdeithas. Yr oedd yn debyg i Jonathan a'i gludwr arfau, gwedi cael ychydig o'r mêl. 'Er bod yn ddiffygiol eto yn ei herlid hwynt.'

Barnodd yr eglwys fod ynddo raddau o gymmwysderau i flaenori fel golygwr

ar y gangen eglwys hono (er mor wael ac annheilwng ydoedd ef yn ei olwg ei hun :) a hysbyswyd hyn iddo ef.

Rhyfeddodd yn fawr yn y llwch bod ei frodyr yn meddwl am dano i ymgymmeryd â'r fath waith pwysig a difrifel, sef i fugeilio Eglwys Dduw yr hon a brynodd efe â'i werthfawr waed; ond mewn ufudd-dod i'r alwad, efe a ymostyngodd i lais ei frodyr, a neillduwyd ef, a dau frawd ereill, at y gwaith pwysfawr, pan oedd ynghylch 20 oed. A bu gyda'l frodyr yn ffyddlon ac yn gynnes yn bugeilio y praidd gweiniaid, ac yn eu porthi âg ymborth iachusol; ac etto yn llai ac yn waelach na neb yn ei olwg ei hun. Ni ymchwyddodd ef ddim wrth gael ei dderchafu mewn swydd yn yr eglwys; ond yr oedd y gwaith mawr mor bwysig ar ei feddwl, yn ei gadw i lawr yn ostyngedig a chrynedig iawn. Cynnyddodd (trwy ras) mewn gwybodaeth a phrofiadau ysbrydol a phob dawn addas i'w ei swydd, ac addurniad fel Cristion. Annogai lawer ar yr eglwys i ymofyn am grefydd dda, ac i weddïo llawer drosto yntau, ac i ymgadw oddiwrth bob peth a fo'n tueddu i angharìad ac oerfelgarwch yn eu plith. 'Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd.' Yr oedd mewn mesur mawr yn deilwng o'r enw 'mab tangnefedd,' canys yr oedd yn feddiannol o'r Ysbryd mewn gradd helaeth.

A phan welodd yr eglwys ei fod yn cynnyddu felly, tybiodd y brodyr ei fod wedi derbyn grâdd o ysbryd y weinidogaeth gyhoeddus, ac annogwyd ef i arfer ychydig ar ei ddawn yn achlysurol, ac i hyn etto ufuddhaodd yn grynedig iawn.

Cafwyd profiad o hono yn ei gymmydogaeth, a chymmeradwywyd ef yn garedig, unfryd, a boddlongar; a derbyniwyd ef gan y Gymdeithasfa yn ol trefn ein Corph yn rheolaidd.

A bu dros ychydig o flyneddau yn llafurus mewn cylch bychan yn ngweinidogaeth efengyl y tangnefedd, dan arddeliad a derbyniad cynnes a chroesawgar gan ei frodyr. Er hyn oll yr oedd yn ofni yn fynych na alwyd mo'no i'r gwaith pwysfawr o bregethu yr efengyl. Ac fel yr oedd yn dyfod o'r Capel, gwedi bod yn cadw oedfa, dywedai wrth frawd ei bod hi wedi bod yn galed ac yn dywyll iawn arno wrth lefaru. Atebodd y brawd fod ei brofiad yn wahanol iawn i'w deimladau ef, a'r gynnulleidfa hefyd, hyd yr oedd yn ei ddeall. Ac yna efe a geisodd ei galonogi ef yn serchog i fyned yn mlaen; bod yr addewid o'i du ef; ond pan yr oedd ef bron ag ymollwng mewn digalondid daeth yr adnod hono ar ei feddwl gydâ nerth, 'Digon i ti fy ngras i,' a chafodd adnewyddol nerth i fyned yn mlaen gydâ'r gwaith: ac ni chafodd y fath wasgfa mwy; ond bu yn ffyddlon dros yr ychydig yspaid o amser ag y gwelodd Arglwydd mawr y cynhauaf yn dda ei adael ar y maes.

Byddai yn myned i'w gyhoeddiadau Sabbathawl yn ffyddlon drwy bob tywydd a rhwystrau er gwendid cyfansoddiad ei gorph; o herwydd yr oedd yr afiechyd a fu yn angeu iddo gwedi dechreu flyneddau cyn hyn. A phan oedd yn pregethu am y farn, oddiwrth yr adnod yn Actau 24. 25. 'Ac fel yr oedd efe yn ymresymu am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd,' cafodd arddeliad neillduol ar y weinidogaeth; ac argyhoeddwyd a chwanegwyd pedwar yn yr oedfa hono at yr eglwys: a bu hyn yn radd o rym i'w feddwl, iddo gael y fraint (yr annheilyngaf) i fod yn offeryn i gychwyn rhyw eneidiau ar ol yr Arglwydd.

Yn ganlynol i hyn tueddwyd ef, yn nghyd a chydsyniad ei dad ac ereill, i fyned i Athrofa'r Bala, dan olygiad y Meistri a'r Parchedigion Charles ac Edwards. Ond cryfhaodd ei afiechyd, a gorfu iddo ymadael a dyfod adref yn mhen o ddeutu 8 mis, sef o Medi hyd y Calammai canlynol. 'Nid fy ffyrdd i yw eich ffyrdd chwi.'

Ac yna dygwyd ef i ysgol cystuddiau nes ei addfedu i'r 'Breswylfa lonydd, lle ni ddywed y preswylydd claf ydwyf.' Byddai yn arferol o bregethu yn effeithiol a difrifol iawn oddiar y testyn hwnw, 'Amser blinder yw hwn i Jacob, ond efe a waredir o hono;' a byddai yn fynych yn coffhau'r geiriau ar ei glaf wely. Nis gallodd, ar ol ei ddychweliad adref o'r Ysgol, godi fawr allan mwy; ond deuai amrai o'r brodyr i ymweled ag ef, ac i lefaru yn y tŷ; a chadwai y cyfeillion yno gyfarfodydd i weddïo yn fynych. Yr oedd yn hoff iawn ganddo ymddyddan a'i frodyr crefyddol: byddai gwedd siriol efengylaidd arno yn eu cymdeithas, yn ymddangos fel pe buasai yn anghofio ei ofid a'i boen corphorol.

Ar ol i hen frawd fod gydag ef yn darllen, gweddio, ac yn ymddyddan yn

lled faith, ofnodd ei fod yn paráau yn rhŷ hir, o herwydd gwendid ei natur lesg; eisteddodd y brawd o'r neilldu tra bu ei chwaer a'i frodyr yn ei osod yn y gwely, ac yr oedd yn anhawdd iddynt (er fod dwylaw cariad yn ei drin) ei gyfaddasu ef yn ei orweddfa heb effeithio ar ei friwiau, a'i aelodau clwyfus. Wrth edrych arnynt, dywedodd y brawd wrtho, 'Y mae gair ar fy meddwl wedi disgyn, hyd yr wyf yn ei ddeall, yn ddigyfrwng oddiwrth yr Arglwydd, beth meddwch chwi am i'r Arglwydd gyweirio eich gwely?' Meddai yntau, 'Yr wyf yn meddwl y byddai y gwely hwnw yn ddigon esmwyth.' 'Wele, dyma i chwi ei addewid 'cyweiriaf ei holl wely yn ei glefyd.' Atebodd, gydâ gwen siriol, Ni bydd draen y yn gwely yna. Na fydd frawd anwyl, gorweddwch mewn tangnefedd.

Bu amrai flyneddau felly mewn cystuddiau parhaus. Darfu ei rïeni, trwy ei gydsyniad, ymdrechu i ymarferyd â phob moddion, a chyfarwyddyd meddygon ag oedd yn ddichonadwy; ac yr oedd rhagluniaeth wedi trefnu eu sefyllfa yn alluadwy iddynt wneuthur hyny yn lled helaeth; ond nid oedd dim yn llwyddo—

'Rhaid oedd cael Edward dawel adre'
O wall y llawr i well lle.'

A phan welodd nad oedd dim yn tycio fel moddion i ragflaenu ei afiechyd, ac i estyn ei ddyddiau yn ngwinllan ei Arglwydd, trodd ei wyneb fel Hezekiah megis at y pared; a cheisiodd ymgymodi â'r drefn, gan roddi ei hunan dan law y meddyg mawr, 'Yr hwn a ddichon iachau pob clefyd ac afiechyd yn mhlith y bobl.'

Dywedai wrth ei chwaer (pan oedd ef megis yn rhosydd Moab) a hi yn trin ac yn glanâau ei friwiau mawrion, 'Paid, fy chwaer fach, a bod yn faith, gwnant y tro yn burion i fyned i'r bedd.' Dro arall dywedai wrth ei fam, y byddai iddi golli dau o'i phlant yn fuan; bod fy mrawd yn myned i'w brïodi, a minuau yn myned i'r bedd; dywedai hefyd mai bwlch cyfyng iawn yw marw! Ac fel yr oedd ei dad tirion yn edrych arno yn gyd-ymdeimladol yn llafurio dan ei gystuddiau blinion, dywedai. 'Nid oes imi bellach ond ychydig o ddyddiau gydâ chwi, nes y byddaf yn huno yn yr angeu.'

Dyoddefai, yn dawel yn ei holl gystuddiau, gan ddywedyd ei ewyllys ef a wneler, gan gyfiawnhau yr Arglwydd. Ac nad oeddynt ond byr ac ysgafn i'r hyn yr haeddasai fod danynt; A diddim mewn cymhariaeth i'r hyn a ddyoddefodd y *cyfiawn* yr hwn a aeth i le yr anghyfiawn. Y mae annhraethol felysder yn y gair *gorphenwyd* ar y pren: glan tragywyddol i Ben yr eglwys a'r eglwys ynddo. A dywedai mai dyma oedd yn dal ei feddwl gwan rhag suddo yn y dyfroedd dyfnion; a bod ganddo obaith cael codiad pen trwy yr hwn a ogwyddodd ei ben ar y groes; a'i fod yr gobeithio yn hyderus *am ei fater* tragywyddol ei fod wedi *rhoddi* ei *hunan* i gadw, i'r hwn sydd yn *abl* i gadw yr hyn a roddir ato erbyn y dydd hwnw.

Fel ag yr oedd ef yn myned *ddyfnach ddyfnach* i lyn tywyll cysgod angeu, yr oedd hi yn myned *oleuach oleuach* ar ei ysbryd.

Ac, oddeutu tair wythnos cyn ei ymadawiad, aeth yn salach o ran ei gorph gwael. 'Ond er llygru'r dyn oddi allan yr oedd y dyn oddi mewn yn adnewyddu o ddydd i ddydd.' Llewyrchodd yr Arglwydd ar ei ysbryd mewn modd neillduol o hyny allan.

Ac ynghylch deu-ddydd cyn ei symud, torodd y wawr yn neillduol arno, gan ganu yn orfoleddus iawn,

'Os rhaid myned trwy gystuddiau,
A gorthrymderau maith;
Melysach fydd fy nghanu
Pan elwy 'i ben fy nhaith.

Tystiolaethodd, yn nghlywedigaeth ei chwaer, a'r rhai oedd gydâ hi yn gweini iddo ef, 'Mae'r beiau gwedi eu madden, mae'r beiau gwedi eu madden!' Ac fel hyn y paráodd hyd y diwedd. Weithiau annogai y teulu i ymdrechu am fyned trwy y porth cyfyng. Byddai yn fynych yn coffâu yr hên destyn a grybwyllwyd. 'Amser blinder yw hwn i Jacob; ond efe a waredir o hono.' Adroddai amrai o ysgrythyrau yn effeithiol iawn, megis, 'Tŵr cadarn yw enw'r Arglwydd, Dy ddeddfau oedd fy nghân yn nhŷ fy mhererindod. Myfi a fyddaf yn Dduw iddynt hwy,' yr hon yw addewid fawr yr addewidion, a byddai yn cael ei orlenwi â gorfoledd wrth ei choffâu.

Cynghorai yr ieuenctyd, gan ddywedyd, 'Ceisiwch grefydd dda.' 'Pa fodd y glanhâ llanc ei lwybr? wrth ymgadw yn ol dy air di.' O! na byddai holl ieuenctyd (ac ereill) o'r dalaith yn ceisio gras i'w efelychu!

Ond y noswaith olaf y bu yn y byd, cododd yr haul, a llewyrchodd y fwy

tanbaid nag erioed arno, pan oedd ei draed yn rhydau yr Iorddonen; a chanodd fel hyn:—

'Pan fo nhraed yn rhydau 'r afon,
Loesion angeu'n chwerw iawn,
Gwell i mi na'r greadigaeth,
Yw'r hwn fu farw un prydnawn.

Ac oddeutu 10 o'r gloch y nos Sadwrn olaf, cafodd ymweliadau tra grymus ac effeithiol! Os nid bron yn wyrthiol, dalier sylw, *pan oedd ei lais ef wedi tori a bloesgi; a'i ddeheulaw a'i fraich wedi gwywo a myned yn ddiffrwyth* hollawl er's 15 niwrnod, cyfodai ei law a'i fraich wywedig i fynu, a derchafai ei lais yn uchel ac eglur iawn, nes dadseinio er syndod yr holl dŷ, dan ddylanwadau cryfion ac aunghyffredinol yr Ysbryd Glân, gan ganu y pennill gorfoleddus hwn yn brofiadol, effeithiol, a nefolaidd iawn, fel na's gellir yn hawdd ei ddesgrifio;—

'Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn fy lle,
Swm fy nyled mawr fe'u talodd,
Ac a groesodd filiau'r Ne,
Trwy ei waed imi caed,
Fythol heddwch a rhyddhâd!'

Ac fel yr oedd ei natur a'i nerth yn pallu, ac yntau yn y goleu ar gyffiniau y Ganaan, dywedai yn isel, ac yn dawel, mewn tangnefedd, '*gorphwys bellach, gorphwys bellach!*' Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig. Ac efe a gafodd ei ollwng i'w orphwysfa dragywyddol mewn tagnefedd, a hunodd yn yr Iesu, yn nghylch 6 o'r gloch, y boreu Sabbath, 27 o Ragfyr, 1840.

Tywyll ydyw trefn rhagluniaeth,
Etto uniawn odiaeth yw;
Brenin Seion biau'r deyrnas
Mae'n dra addas wrth y llyw:
Er fod pethau yn ymddangos;
'Nawr yn groes i'n deall ni;
Ymostwng Gristion gwell 'n gyson,
Ddyfnion droion Un yn Dri.

Chwi rïeni a chyfeillion,
Dyma'r amser union yw;
I ni blygu ac ymostwng,
Fel mae'n deilwng dan law Duw:
Rhoddi mae a chym'ryd ymaith,
Yn ol arfaeth ddoeth y nef;
Cymorth i ni bawb yn weddus,
Gwympo i'w ewyllys Ef.

*Pen Parc.* J. W. J.

DYN GONEST.—Ni fedd ond un galon; ni feddwl am dyst, ond o gallineb. Ei air yw ei femrwn—a'i ïe yw ei lw, yr hwn ni wna nac arswyd na cholled iddo ei dòri byth.

D. GLAN OGWEN.

COFNODIAD BYR O BREGETH Y PARCH. EBENEZER RICHARDS,

*Yn Nghymdeithasfa Amlwch, tuag ugain mlynedd yn ol.*

"Ac efe a fydd yn Noddfa."—ESAIA viii. 14.

I. YR oedd sefyllfa y llofrudd yn Israel gynt, yn ddrych o gyflwr pechadur ger bron Duw: yr ydym ni yn

1. Yn llofruddion i ein heneidiau ein hunain.

2. Llofruddion i ein cymmydogion o ein hamgylch.

3. Llofruddion Duw pe gallem.

II. Yr oedd y noddfeydd yn Israel yn gysgod o Grist fel noddfa.

1. Nid oedd yr un noddfa ond yn Israel. Num. 35. 6—32.

2. Yr oeddynt ar wasgar, yn hawdd myned iddynt.

3. Yr oedd y ffyrdd wedi eu gwastadhau atynt.

4. Yr oedd pontydd i fyned tros yr afonydd.

5. Yr oedd mynegfys wedi eu gosod ar y croesffyrdd.

6. Gosodiad Dwyfol oedd y noddfeydd hyny.

7. Yr oedd diogelwch perffaith ynddynt.

8. Yr oedd digon o luniaeth ynddynt.

9. Yr oedd yn rhaid cadw lle yn wastadol ynddynt.

10. Yr oedd yn rhaid aros yno hyd farwolaeth yr offeiriad.—adn. 32.

III. Yr oedd y ffoi i'r noddfeydd hyny yn gysgod o bechadur yn ffoi at Grist.

1. Yr oedd yn rhaid i'r ffoaduriaid adael pob peth.

2. Yr oedd yn rhaid iddynt ddeall eu bod mewn perygl.

3. Yr oedd yn rhaid iddynt gredu nad oedd noddfa arall.

4. Yr oedd yn rhaid credu fod diogelwch yn y noddfeydd hyny.

5. Yr oedd yn rhaid rhedeg â'r holl egni i'r noddfa.

IV. Rhagoriaeth ein noddfa ni, sef Crist, ar eu noddfeydd hwy.

1. Nid oedd ond un math, sef rhai llofruddiog, yn cael eu cadw yno.

2. Yr oeddynt mewn math o alltudiaeth tra byddent byw.

3. Yr oeddynt yn myned â phethau allanol gyda hwy.

4. Fe allasent hwy farw yn y sefyllfa hòno.

Gan fod Crist yn Noddfa, a chan nad

oes un lle arall i ochel y dymmestl, a'r ffordd yn barod i ni redeg ar hyd-ddi, rhedwn gyda brys rhag i ni fod yn rhy ddiweddar. Amen.

*Liverpool.* O. WILLIAMS

## SYLWAD AR RHUF. XIII. 8.

"Na fyddwch yn nyled neb o ddim."

MAE anturiaethau byrbwyll yn anghysson â Christionogaeth; ac mae rhedeg i ddyled heb olwg ar fodd i dalu, ac heb benderfyniad am dalu, yn drosedd o orchymyn Duw, o gyffelyb natur i ladrad. Fe ddylai pob Cristion fyw yn yn ol ei sefyllfa; a pheidio bod yn warth i'w broffes drwy fyned i ddyled nas gallo yn hawdd ei thalu: ïe, yn wir, ni ddylai fyned i ddyled mewn un modd os gall beidio.

Ac os rhedodd efe i ddyled, ac heb ganddo fodd i dalu, efe a ddylai ymostwng o'i herwydd, cyfaddef ei bechod ger bron Duw, a gweddïo yn daer arno, am gael modd i dalu, a thrwy hyny i gyflawni ei addunedau. Nid yw yn ofynol ar Gristion osod rhyw addurn mawr arno ei hun, ond mae yn ofynol iddo 'harddu athrawiaeth Dduw ein Hiachawdwr yn mhob peth.' Mae y dyn sydd wedi rhedeg i ddyled, a hyny heb fod yn ofid iddo, ac nid yw yn ymostwng o'r herwydd, nac yn ymdrechu i ddyfod allan o'i ddyled, yn rhoi lle mawr i ammeu ei onestrwydd, pa broffes bynag a wnelo o grefydd, canys y mae Duw yn dywedyd wrth bawb a broffesant ei achos ef, 'Na fyddwch yn nyled neb o ddim, ond o garu bawb eich gilydd.' Fe ddylai Cristion dalu i bawb yn ddioed, ac yn ol ei gytundeb; fe ddylai ei air ef fod yn wirionedd cadarn, a'i addewid yn sicr fel llw.

## SERYDDIAETH.

### PENNOD IV.—YR HAUL.

"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygad weled yr haul."—SOLOMON.

WEDI gwneud rhai sylwadau y tro diweddaf ar y gyfundraeth heulog, a gosod i lawr sylfaen y gyfundraeth hòno, a chasglu ei defnyddiau megys yn nghyd; yr ydym yn awr o dan yr angenrheidrwydd o adeiladu ar y sylfaen hòno, a gwneud rhai sylwadau manylach arni, fel yr addawyd; ac ni a ddechreuwn etto y tro hwn fel y tro diweddaf, gyda'r haul.

Yr ydym yn cael, yn y bennod gyntaf o Genesis, yn yr hanes a rydd Moses o'r greadigaeth, i'r Arglwydd wneuthur dau oleuad mawrion, a'u gosod yn ffurfafen y nefoedd, i fod yn arwyddion ac yn dymhorau, yn flynyddoedd ac yn fisoedd; y goleuad mwyaf i lywodraethu'r dydd, a'r goleuad lleiaf i lywodraethu'r nos; y mwyaf ydyw yr haul, a'r lleiaf ydyw'r lleuad. Testyn yr ysgrif hon yn bresennol ydyw y mwyaf, sef yr haul; ac wrth fyned yn mlaen, ni a sylwn ar dri pheth mewn perthynas iddo. Yn 1. Ei gorph fel y mae yn ymddangos trwy wydr-ddrychau. 2. Ei oleuni ysblennydd. 3. Ei wrês treiddgar.

Ond yn laf, Ei ymddangosiad. Nid oes gan yr haul ond symudiad bychan iawn yn y ffurfafen, yr hyn sydd ddyledus i ad-dyniad y gwahanol blanedau; ac y mae pob amrywiaeth yn ei faintioli yn codi oddiwrth symudiad y blaned ar ba un y mae yr edrychwr yn sefyll, ac nid oddiwrth symudiad yr haul. Ond y mae gan yr haul symudiad arall, hollol annibynol ar gyfnewidiad y lle, sef ei symudiad ar ei echel, yr hyn a gyflawnir ganddo mewn pump ar hugain o ddyddiau. Y moddion trwy ba rai y mae'r symudiad hwn yn cael ei wneud yn amlwg ydyw, diflaniad ac ail ymddangosiad ysmotiau tywyll a phennodol ar ei wyneb dysglaer.

Fe allai na byddai yn annoeth i ni wneud rhai sylwadau ar yr ysmotiau hyn cyn myned yn mhellach; pe byddai i ni edrych ar yr haul trwy syll-ddrych galluog, yn gyfryngedig o wydrau o wahanol liwiau, i rwystro ei wres a'i oleuni tanbaid i niweidio y llygad, ni a ganfyddem amryw o frychau ar ei wyneb, o wahanol ffurf a maintioli. Rhai o honynt yn hollol ddu, ereill i raddau yn fwy goleu. Y brychau hyn a ganfyddwyd yn gyntaf gan Galileo, oddeutu 242 o flynyddoedd yn ol, ac y maent yn ddarostyngedig i lawer o anwadalwch: weithiau y maent yn ymddangos yn lledaenu, ac yn mwyhau, pryd arall y maent yn tynu yn nghyd, ac yn ymddangos yn llai mewn maintioli; weithiau y maent yn ymranu yn amrywiol, bryd arall mae dau neu ragor o honynt yn uno ynghyd. Mae rhai seryddwyr wedi barnu bod amryw o'r brychau hy

45,000 mewn tryfesur: ac y maent yn cau i fynu yn hollol mewn ysbaid chwech wythnos. Scheiner, yr hwn a wnaeth sylwadau mynych ar yr haul, ynghyd â'i frychau, o'r flwyddyn 1611 hyd y flwyddyn 1629, a ddywed na bu yr haul yn rhydd oddiwrthynt yr holl amser hwnw oddieithr ychydig o amser yn Rhagfyr 1622. Ar amserau ereill yr oedd 20 neu 30 i'w canfod, ac yn y flwyddyn 1653, fe ganfyddodd 50 o frychau ar ei wyneb ar unwaith. Y rhanau hyny o'r haul nad ydynt yn feddiannol gan y brychau sydd yn mhell o fod yn unffurf yn eu hymddangosiad, yr hyn y mae Dr. Herschel yn ei briodoli i wyneb anwastad ei awyrgylch.

Fe ganfyddodd y Dr. Lang un o'r brychau hyn yn tori yn ddau ac yn ymwahanu oddiwrth eu gilydd gyda'r cyflymdra mwyaf; ac un arall a ganfyddwyd gan y Dr. Wollaston, yn tori yn ddarnau yr un modd ag y bydd iâ yn tori pan y caffo ei daflu o lyn rhewedig, ac yn llithro mewn gwahanol ffyrdd. Mewn perthynas i natur y manau tywyll, y mae gwahanol farnau. Meddyliodd rhai eu bod yn cael eu gw uthur i fynu o ddefnydd tywyll a chymylog, ac yn ymsymud i lawr ac i fynu yn y llifnodd tanllyd, o ba un yr oeddynt yn meddwl bod yr haul yn gyfansoddedig: ereill a farnent mai mwg oeddent yn cyfodi o geudyllau tanllyd yn yr haul: neu fath o ewyn yn nofio mewn cefnfor dirfawr o ddefnydd ffrydiawl. Yn y gwrthwyneb i hyn, yr oeddent yn ystyried y manau goleu ar wyneb yr haul, ac a'i galwent yn gymylau o oleuni, ac yn darth dysglaer. Dyma'r tybiadau oeddent yn cael eu dal yn gyffredin mewn perthynas i'r pwnc, ond nid ydyw yn ymddangos ei fod wedi cael ei ystyried gyda llawer o fanylrwydd hyd yn ddiweddar. Mae canfyddiadau a sylwadau y Dr. Herschel, gwedi llanw'r diffyg o hyn i fynu i raddau mawr. Mae y seryddwr enwog hwn yn rhoddi rhesymau cedyrn i benderfynu bod y farn oedd yn cael ei derbyn yn gyffredin, mai byd o dân gwirioneddol ydoedd yr haul, yn hollol gyfeiliornus. Barna ef, yn y gwrthwyneb, mai corph tywyll yw yr haul; ac nad oes ynddo na gwres na goleuni, ond ei fod yn cael ei amgylchu gan awyrgylch ddim yn llai na 1843, nac yn fwy na 2765 o filldiroedd mewn uchder, ac yn gynnwysedig o ddau ddosparth: yr agosaf at yr haul sydd yn dywyll, ac yn gyffelyb i gymylau ein daear ni; a'r nesaf allan yn oleu a dysglaer, ac yn rhoddi cyflawnder dirfawr o oleuni. Mae'r brychau tywyll hyn, medd ef, yn cyfodi oddiwrth wahanol achosion: un ai mai agoriadau yn y cymylau dysglaer sydd yn rhoddi goleuni, trwy ba rai y gellir canfod y cymylau tywyll is law iddynt; neu ynte y mae yn achlysurol agoriadau trwy y ddau ddosparth hyn, a chorph tywyll yr haul ei hunan yn ymddangos trwyddynt; ond y mae ef yn dychymygu mai mynyddoedd uchel yn yr haul ydyw y rhan fwyaf o'r manau tywyll hyn, a bod rhai o honynt yn 300 o filltiroedd o uchder. Ond i hyn y mae gwrthwynebiad o herwydd y gwnai ochrau'r mynyddoedd gyflwyno graddiad o oleuni oddiwrth y manau duon i ddysglaerdeb cyffredin wyneb yr haul; yr hyn sydd yn ymddangos nad ydyw yn bod.

Ond yn bresennol, gwnawn rai sylwadau mewn perthynas i oleuni yr haul, pa beth ydyw goleuni nid ydym yn gwybod; yr ydym oll yn teimlo ei ddylanwad siriol a hyfryd, ac yn ei gydnabod: ond nis gwyddom pa beth, na pha fodd y mae yn cael ei wneuthur i fynu. O'r fynyd y gwnaeth y Creawdwr yr haul i lywodraethu'r byd i'r fynyd bresennol, y mae yn parhau i dywallt rhyw lifeiriant o oleuni ar bob peth o'i gwmpas, ac etto heb gael ei ddyhysbyddu na'i leihau mor belled, o'r hyn lleiaf, ag i ni wybod. Mae yn ymddangos bod yr haul yn ddyledus am ei oleuni i'r awyrgylch sydd o'i gwmpas; ac y mae'r dyb hon yn cael ei chadarnhau gan weithred nodedig, a ddatguddiwyd gan y wyddoreg dremiadol, yn y ganrif bresennol. Mae darnyn o wydr tri onglog yn cael ei arfer yn fynych i wneuthur prawfiadau yn yr olwg-gelfyddyd a elwir *prism*, yr hwn sydd yn hirgul; ac os edrychir arno o lwyr ei ben sydd yn ymddangos yn dryfalawg. Pan byddo pelydr yr haul yn myned trwy ddarnyn o wydr, neu unrhyw gorph tryloyw arall o'r ffurf hwn, mae pelydr y goleuni yn ymwasgaru allan mewn dull hirgul, ac yn ymddangos o amrywiol liwiau; yn un pen yn goch, ac yn y pen arall yn grinllys, a'r cyfrwng rhwng y

ddau liw hyn, yn cael ei feddiannu gan felyn, gwyrdd, (*violet*) glas, ac aurafal, (*orange*), a glas yr India, (*indigo*). Yr ymddangosiadau hyn sydd mewn amgylchiadau cyffredin: ond pe bai y cyfrwng lliwiedig hwn, (yr hwn a elwir *Solar Spectrum*), yn cael ei olygu yn ofalus trwy gymmorth sylldrych, canfyddid amryw o linellau meinion tywyll yn ei groesi. Yn awr, mae yn debygol bod hyn yn tarddu trwy fod rhyw faint o'r pelydr lliwiedig yn cael ei lyncu gan awyrgylch yr haul, oherwydd pe bai llinell ddu yn cael ei rhoddi allan yn y rhanau hyny o'r *spectrum* lle mae'r pelydr heb gael ei sugno, fe wnai gynnwys yr un ddull belydr lliwiedig.

Am natur goleuni, mae hyn wedi bod yn hir yn wrthddrych myfyrdod athronyddol. Yr oedd yr athronyddion boreuaf mewn amheuaeth pa un a oedd gwrthddrychau yn dyfod yn weledig trwy ryw foddion yn tarddu o honynt hwy eu hunain, neu ynte oddiwrth lygaid yr edrychydd; ac mewn perthynas i'r pwnc y mae barnau amryw yn barhaus yn ansefydlog. Mae rhai yn meddwl y dichon goleuni fod yn hylif, ac yn cael ei wasgaru trwy yr holl greadigaeth. Mae ereill o'r farn mai ansawdd yn unig ydyw goleuni, yr hwn nas gall fodoli yn annibynol ar ddefnydd; ac y mae yn gofyn cymmorth pelydr yr haul i'w roddi mewn gweithrediad. Ond yr oedd Newton yn barnu bod goleuni yn gynnwysedig o rifedi dirfawr o fymrynau (*particles*), rhyfeddol o fychain, yn cael eu taflu ymaith o'r corph dysglaer, trwy allu gwrthyredigol gyda chyflymdra dirfawr, ac i bob ffordd: mae cyflymdra gronynau y goleuni yn sicr yn rhyfeddol, yn agos i ddau cant o filoedd o filldiroedd mewn eiliad o amser, yr hyn sydd yn agos i filiwn o weithiau yn fwy na chyflymdra pelen magnel (*cannon ball*). Wrth ystyried bod goleuni yn ymwasgaru gyda'r fath gyflymdra, mae yn sicr pe na byddai ei ronynau yn rhyfeddol o fychain y gwnai daro yn erbyn cyrph gyda nerth dirfawr; yr hyn fyddai yn niweidiol iawn i beiriannau tyner y llygaid, ac a wnai yn fuan, mae'n debygol, achosi dallineb. Heblaw hyn, dywedir hefyd bod gronynau y goleuni yn cael eu taflu allan o'r haul, neu unrhyw gorph dysglaer arall mewn llinellau uniawn, ac yn cadw eu symudiad union-linellog hyd onis caffont eu troi allan o'u llwybr gan un o'r achosion canlynol, sef trwy ad-dyniad gan ryw gorph arall, yn agos i ba un y maent yn myned heibio, yr hyn a elwir yn blygiad (*inflection*): neu ynte y maent yn cael eu troi o'u llwybr wrth fyned ar wyr trwy gorph o wahanol ddwysder, yr hyn a elwir yn wrthdoriad (*refraction*); neu ynte gael eu troi o'r neilldu trwy wrthsafiad rhyw gorph cyfryngedig, yr hyn a elwir yn adlewyrchiad (*reflection*); neu yn olaf gael eu hollol rwystro gan ryw gorph i ba un y maent yn treiddio, yr hyn a elwir yn ddiffoddiad (*extinction*). Dilyniad y gronynau hyn, fel y maent yn canlyn naill y llall mewn llinell hollol uniawn, a elwir yn belydr y goleuni; ac y mae y pelydr hwn, yn mha ddull bynag y caffo newid ei gyfeiriad, bob amser yn cadw gyrfa uniawnlinellawg hyd onis caffo ei newid drachefn.

Mae yn beth i'w ystyried nad ydyw pelydr y goleuni ynddo ei hun yn weledig, ond trwy ei offerynoldeb yr ydym yn canfod y corph dysglaer, o ba un y mae yn dyfod yn wreiddiol; a'r cyrph tywyll o ba rai y mae yn adlewyrchu: ni a welwn esiampl o hyn yn y lleuad, oblegid canfyddwn hi yn dysgleirio trwy ei bod yn adlewyrchu goleuni'r haul, ac etto ni chanfyddwn y pelydr yn myned o'r haul i'r lleuad. Dosberthir cyrph fel y maent yn dwyn perthynas â goleuni yn dri dosparth. 1af, Y rhai hyny sy'n rhoddi allan oleuni, megys yr haul a'r sêr sefydlog. 2. Y cyrph hyny sydd yn trosglwyddo pelydr y goleuni, megys yr awyr, gwydr. 3. Y cyrph hyny ag sydd yn adlewyrchu goleuni, megys y lleuad, y ddaear, neu haiarn wedi ei gaboli, &c.

Ond yn awr, cyn gadael y pen hwn, rhaid dyweyd ychydig am oleuni Caersidydd, yr hwn sydd yn ymddangos ar dymhorau pennodol yn y flwyddyn, ac yn enwedig ar ddechreu Mawrth, ychydig o amser cyn codi, a chwedi gostwng haul: mae yn oleuni gwynaidd yn hollol wan a theneu, a'r sêr yn weledig trwyddo. Mewn ffurf mae yn tebygoli i fera, (*pyramid*) neu ynte y dorth siwgr; fe allai bod gwir achos y goleuni hwn heb ei gael allan etto, ond dywed rhai bod ffurf y goleuni hwn yn tarddu oddiwrth

droad chwyrn yr haul, yr hyn sydd yn achos i'r awyrgylch sydd yn amgylchynu ei gyhydedd ymestyn yn ddirfawr; pan y mae y rhan arall, yr hwn sydd uwchlaw ei begynau, trwy yr un achos, yn ymgymmeryd â'r llun yr ydym ni yn gweled goleuni Caerwidydd. Mae yn beth rhyfeddol bod yr haul yn parhau i daflu allan y fath gyflawnder dirfawr o oleuni i gynnifer o fydoedd o'i amgylch, a hyny am filoedd o flynyddoedd, ac etto heb dderbyn goleuni o un man, na lleihau yn ei oleuni i'r radd lleiaf o ddechreu y byd hyd yn awr, ar ddim ar a wyddom ni.

Y peth arall perthynol i'r haul ydyw ei wres: y mae amrywiol ffyrdd yn bod i gynnyrchu, neu i genedlu gwres, ond ni a gyfyngwn y sylwadau hyn yn hollol yn bresennol at y gwres hwnw a gynnyrchir gan yr haul. Dywedwyd yn flaenorol mai y farn gyffredin gan yr henafiaid oedd bod yr haul-yn fyd o dân; ond gwrthwynebir hyn yn gadarn gan y Dr. Fardice, ynghyd â'r Dr. Herschel, a dywedant trwy brawfiadau digonol, nad ydyw yr haul ynddo ei hun yn boeth o gwbl; nac ychwaith y pelydr heulawg, ond bod ynddo allu i gynnyrchu gwres pan mewn cysylltiad â chyrph ereill. Mae yn rheol safadwy mewn perthynas i gyrph poethion, iddynt boethi cyrph a fyddo yn oerach na hwynt pan y caffont eu dwyn yn agos atynt, ond rhaid deall bod rhai cyrph yn derbyn gwres gyda mwy o barodrwydd nag ereill, fel y dangosir yn ol llaw. Yn awr, pe cymmerem losg wydr mawr, a dal dernyn o haiarn yn aelwyd y pelydr, (*focus*) fe gynnyrchid y fath wres nes toddi'r haiarn, ac etto heb effeithio ond ychydig iawn ar y gwydr, trwy ba un mae y pelydr yn myned. Ond pe dodem ddwfr hollol loyw yn *focus* y gwydr, ni chynnyrchai y radd leiaf o wres, ïe, pe rhoddem ynddo wirod gwin ni wnai ond braidd gyneu. Ac y mae y gwres sydd yn toddi'r haiarn yn fwy na digon i ferwi y dwfr: ac oddiwrth hyn, heb wneuthur un prawf ychwanegol, mae yn ymddangos nad ydyw pelydr yr haul yn boeth ynddo ei hun; ac mae pob lle i gredu nad ydyw yr haul yn boethach na'r ddaear yr ydym ni yn preswylio. Nid ydyw pelydr yr haul yn poethi cyrph ond yn unig pan y maent yn cael eu difa, neu eu plygu; fel hyn, dwfr hollol loyw nid ydyw yn cael ei boethi, nac ychwaith yr awyr oddiar y cymylau, o herwydd nad oes ond ychydig iawn o wyredd yn cymmeryd lle yn yr amgylchiadau hyn, ac am hyny, nid ydyw'r gwres a gynnyrchir braidd yn werth ei grybwyll. Mae parthau uchaf yr awyr am hyny yn hynod o oer, er eu bod yn agored i weithrediad uniongyrchol yr haul.

Pan y mae pelydr y goleuni yn cael ei adlewyrchu, nid ydyw yn cyffwrdd â'r corph adlewyrchedig, ond yn cael ei daflu yn ol cyn dyfod at ei arwyneb; ac felly po wÿnaf a fyddo unrhyw gyrph, neu fwyaf uchel y byddont wedi eu caboli, lleiaf yn y byd o wres y maent yn dderbyn: ac o'r tu arall, yn ol y cyfartalrwydd y byddo defnyddiau yn ymadael a gwyn, neu gaboledig, i'r graddau hyny y maent yn sugno neu yn difa pelydr yr haul.

Mae rhai yn dychymygu bod gwahanol bellderau y planedau oddiwrth yr haul yn gwneuthur gwahaniaeth mawr yn y gwres y maent yn dderbyn o hono; a dychymygir bod y blaned Mercher yn hynod o boeth, pan mae *Georgium Sidus* yn rhyfeddol o oer; ond pan y mae y gwres sydd yn cael ei gynnyrchu mewn cyrph yn ymddibynu ar eu natur eu hunain i'w dderbyn, fe ddichon nad oes ond ychydig iawn o wahaniaeth yn ngwres y planedau, fe ddichon eu bod wedi eu cyfansoddi yn y fath fodd fel y gallont dderbyn pelydr yr haul mewn cyfartalwch i'w pellderau oddiwrtho.

Yn awr, oddiwrth yr hyn a ddywedwyd mewn perthynas i'r haul, ni a welwn nad oes ynddo na thân naturiawl na thân ceginawl; ac mai nid diffyg tanwydd ychwaith ydyw yr achos ei bod yn oerach y gauaf nâ'r haf; y mae hyn hefyd yn ymddangos yn rhyfedd wrth ystyried bod yr haul lawer iawn yn nes i'r ddaear y gauaf; ond yr achos o hono ydyw, bod pelydr yr haul yn disgyn yn fwy union syth ar y ddaear yr haf, ac yn fwy gwyrog y gauaf. Gallem amlygu hyn trwy esiampl brofedig, pe byddai dau yn eistedd o flaen ciriau o dân yr aelwyd, a bod un yn eistedd yn yr ochr, ac yn agos i'r tân, a'r llall ar ganol yr aelwyd, a chymmaint arall o ffordd rhyngddo âg ef, teimlai yr olaf lawer mwy o wres na'r

blaenaf, er ei fod lawer yn mhellach oddiwrth y tân.

[Y blaned Mercher yn y nesaf.]

*Llundain.* L. WILLIAMS.

Yr huan buan i'r byd—y gwelyd
Gysur â'i wynebpryd,
Daw, gwawr ân ei hawr o hyd
Er ceinfwyn wawr y cynfyd.

D. JAMES.

## HANES CALCUTTA.

(Parhad tu dalen 139.)

CYN y rhyfel yn 1756, amddiffynid Dinas Calcutta gan warchawdlu o 300 o filwyr Ewropaidd, y rhai a arferent gynnorthwyo i ddwyn llongau Cydfasnachwyr yr India ar hyd yr afon o Patua, yn llwythog o *salt-petre*, *opium*, sidan, &c. Yr oedd masnach Bengal yn cynnyrchu llwythi gwerthfawr i 50 neu 60 o longau bob blwyddyn, heblaw yr hyn a gludid gan lestri bychain i'r gwledydd amgylchiadol. Ond o herwydd fod Calcutta yn cynnyddu mewn bri, a masnach, a chyfoeth, fe gododd Nabob Surajah Dowlah, Llywydd ar barth o'r India, i ymosod arni hi yn y flwyddyn 1756, â lliaws mawr o wyr meirch a gwyr traed, ynghylch 70,000 o nifer, a 400 o Elephantiaid, wedi eu harfogi i ryfel: hyn a fu yn Mehefin 15, 1756. Efe a ddechreuodd ymosod ar y gyfran o'r Gwarchawdlu nesaf allan. Ac ar yr 16eg, efe a ymosododd ar ran arall o'r milwyr; eithr gorfu arno encilio yn ei ol bob tro. Ond ar yr 18fed, efe a ymosododd arnynt gyda grym a mileindra ofnadwy, nes bu gorfod i'r milwyr ymgrynhoi i'r Amddiffynfa. Yna daeth y gelyn, Surajah Dowlah i mewn i'r ddinas, ac a'i hyspeilodd hi am 24 o oriau. Yna y gelyn a orchymynodd i'w filwyr ymosod ar yr Amddiffynfa. Ac erbyn galw am gyfarfod milwraidd i ystyried beth a wneid, fe gafwyd nad oedd gan ein gwyr ni ddim ychwaneg o bowdr a bwledi nag a barhai iddynt ryfela dros dri diwrnod. Yna anfonwyd yr holl foneddigesau a ellid gael gafael arnynt i ddiange mewn llongau i lawr yr afon. Ac fe aeth llawer o foneddigion, masnachwyr, ac amryw o'r milwyr ymaith mewn llongau, fel na adawyd yn yr Amddiffynfa ond 250 o filwyr, Mr. Howell, eu Cadfrig, 4 cadpen, 50 o swyddogion ereill, 11 o is-swyddwyr, 14 o gadpeniaid llongau, a 29 o feistriaid y Gweithfaoedd.

Yna cyfranodd Mr. Howell gisteidiau o gyfoeth rhwng y milwyr, ac a addawodd ychwaneg o wobrwy iddynt os parhaent i wrthsefyll y gelynion nes eu gorchfygu. Wedi hyny dechreuodd y gelynion ymosod arnynt yn llu dirfawr, hwythau a barhasant i'w gwrthwynebu ac i saethu atynt o'r Amddiffynfa nes lladd oddeutu deuddeng mil o honynt. Ac ni laddwyd ond 5 o filwyr Brydain y dydd cyntaf o'r ymgyrch. Ond, fodd bynag fe barhaodd yr ymosodiad hyd brydnawn yr 20fed, pryd y lladdwyd amryw o'n gwyr arfog, ac y prinhawyd y powdr, fel y bu raid iddynt godi i fynu faner heddwch, i geisio dyfod i ryw gytundeb. Fe geisiodd Mr. Howell, y pryd hyn, ffoi i'r llongau, ond yr oedd pob cwch wedi cael eu hanfon i lawr yr afon. Yna troes yr ychydig o'r milwyr gwarchawdiog perthynol i Holland, yn dwyllodrus, ac a agorasant y drws cefn i ollwng y gelynion i mewn i'r Amddiffynfa, a hwy a laddasant y rhan fwyaf o'n milwyr ni, ac a gymmerasant y gweddill yn garcharorion. Mae agos yn annyoddefol darllen hanes y creulonderau digyffelyb a arferodd y milwyr paganaidd tuag at y carcharorion hyn, nes difa y cyfan agos o honynt oddiar y ddaear. Allan o'r 146 o'r dynion a garcharwyd, ni adawyd yn fyw o honynt ond 23; a'r rhai hyny yn yn weiniaid iawn, ac ymron marw, ac yr oedd Mr. Howell, eu Cadfrig, yn un o'r rhai diangol.

Eithr ar ol y galanastra hwn, fe droes y rhôd yn ninas Calcutta cyn pen hir, oblegid fe anfonodd Brydain y Llyngesydd enwog Watson, a'r Milwriad Clive, yno i'w chymmeryd hi oddiar y Gormesdeyrn creulon ac annynol Surajah Dowlah, a buan y llwyddasant i wneud hyny, yn y flwyddyn 1757. Dilynwyd hyn â buddugol ryfel Plassey. Gorchfygwyd, diorseddwyd, a lladdwyd y Penaeth Surajah Dowlah, a theyrnasodd Meer Jaffier yn ei le ef, yr hwn a ymrwymodd i dalu swm mawr o arian fel gwystl na byddai iddo byth aflonyddu Dinas Calcutta. Ac wedi hyny hefyd mae y gwledydd meithion a gymmerodd Brydain oddiar y naill a'r llall o ormeswyr a gwrthryfelwyr yn yr India Ddwyreiniol, wedi peri diogelwch a llwyddiant mawr ar fasnach a chyfoeth Dinas Calcutta.

Un o'r moddion mwyaf tuag at lwyddiant a heddwch Calcutta, oedd gwaith Syr W. Jones, yr hwn, ar yr 15ed o Ionawr 1784, a sefydlodd Gymdeithas i chwilio i mewn i Hanesyddiaeth Gwladwriaethol a Naturiaethol, Henafiaeth, Celfyddydau, a Dysgeidiaeth Asia. Felly, fe ddaeth Dysgeidiaeth Ewrop, yn nghyda dynoliaeth, haelioni, a heddwch, o'r diwedd, i gael eu sefydlu yn Ymerodraeth ëang Indoostan, yr hon a fu am gyhyd o oesoedd yn ysglyfaeth i drais a gormes gorthrymwyr a thrawslywodraethwyr anhywaith a drygionus.

Hanes eu Crefydd yn y nesaf.

## AFONYDD YR INDIA DDWYREINIOL.

*Y Cenadwr Cymreig.*—Yn ol pob tebygolrwydd, y mae Mr. Jones, y Cenadwr Cymreig, ar y naill neu y llall o'r afonydd mawrion hyn ar yr amser ag yr ydym ni yn ysgrifenu eu hanes hwynt, sef yn Mis Ebrill, 1841. Crybwyllwn am dair o afonydd, yn

gyntaf, yr Afon Ganges; yn ail, Afon Hoogley; a'r drydedd, Afon Burrampooter.

*Afon Ganges.* Mae tarddiad y Ganges yn Thibet, yr hon sydd yn wlad uchel a mynyddig iawn. Mae hi yn ddwy afon ar ei chychwyniad, a'r ddwy yn rhedeg o'u gwahanol darddiad tua'r Gorllewin, ac yn tueddu tua'r Gogledd am oddeutu tri chant o filltiroedd; ac yna maent yn cyfarfod â rhimyn mawr o fynyddoedd Himmaleh, ac wedi hyny maent yn troi tua'r Dehau, ac yn ymuno yn un afon, pryd y gelwir hwynt yn wirioneddol yn Ganges. Wedi ymuno o honynt y mae y Ganges yn troi i redeg tua'r Dwyrain, ar hyd gwlad anwastad, a elwir Stringur, hyd oni chyrhaeddo hi i wlad Hurdwar. Felly, wedi rhedeg o honi ar hyd ac ar draws gwledydd mynyddig a geirwon am wyth gant o filltiroedd, y mae hi yn dyfod i wlad wastad Hindoostan; ac ar hyd y wlad hon y mae hi yn rhedeg yn araf i Gulfor Bengal, yr hyn sydd yn fil a thri chant a hanner o filltiroedd o hyd, o'i tharddiad i'r môr. Mae yr Indiaid yn addoli yr Afon fawr hon, ac yn teithio ar eu pererindod o bellder mawr o ffordd i dalu eu hadduned au iddi.

*Hoogly.* Yr Afon Hoogly sydd gainc o'r Afon Ganges, sef yr adran mwyaf gorllewinol o honi. Mae hon yn ddwy gainc yn ei chychwyniad o'r Afon fawr, ac wedi hyny yn ymuno yn un afon dan yr enw Hoogly. Enw un o'r ddwy gainc hyn yw Cossimbusar, ac enw y llall yw Jellinghy. Ar yr Afon Hoogly y mae Porthladd Calcutta; a hi yw yr unig fraich o'r Ganges sydd yn cael ei thramwyo yn gyffredinol gan longau.

*Burrampooter.* Mae hon yn Afon fawr iawn. Mae hon yn codi yn agos i darddiad yr Afon Ganges yn mynyddoedd Thibet. Ei rhediad cyntaf sy tua'r Dwyrain, yn hollol groes i'r Ganges; ac mae yn troi ac yn trosi drwy Thibet, lle y gelwir hi yn Afon Sampoo, ac yna mae yn rhedeg gydag ystlys cyffiniau Lassa, ac wedi hyny mae yn rhedeg tua'r De-Ddwyrain o fewn dau gant ac ugain milltir i Yunan, eithafion Gorllewinol China. Wedi hyny, mae yn troi yn gyflym tua'r Gorllewin drwy Assam, ac yn rhedeg tua Bengal, lle y mae hi yn cael ei galw yn Burrampooter. Mae yr Afon hon yn cydgyfarfod â'r Afon Ganges o fewn deugain milltir i'r môr, wedi rhedeg o honi o'i tharddiad hyd yno dros ddwy fil o filltiroedd o ffordd.

---

## Y GWANWYN FEL ARWYDD-LUN ADGYFODIAD Y CORPH.

Nid ydoedd y rhan fwyaf o'r blodau a serchwn yn awr, ond gwreiddiau breision ac an ffurfiol ychydig amser yn ol; eithr erbyn hyn y maent yn brydferthwch i'r ddaear, ac yn lloniant i'n llygaid. Onid ydynt yn arwydd-lun rhagorol o adgyfodiad y cyfiawnion, a sefyllfa eu cyrph yn eu hystâd adfywiol? Fel yr ydoedd gwreiddiau tlysaf, tra yn gladdedig yn y ddaear, heb ffurf na harddwch, eithr wedi eu hadfywio eilwaith gan y gwanwyn, a wisgwyd â swynion dirif, felly y bydd y corph dynol, yr hwn, tra yn y bedd, nid yw ond gwrthddrych dychryn, etto a gaiff brofi cyfnewidiad rhyfeddol yn nydd yr adgyfodiad: heuwyd ef mewn gwendid, ond caiff ei gyfodi mewn nerth; heuwyd ef mewn anmharch, ond caiff ei gyfodi mewn gogoniant. Mor fuan ag yr olynir y gauaf gan y gwanwyn, felly yr olynir yr argraffiadau prudd dywyll a gynnyrchai tymor enyd, gan fywyd a llawenydd: ac fel y bydd dyddiau cyntaf y gwanwyn yn peri i ni anghofio dyddiau anghysurus y gauaf—felly yn nydd yr adgyfodiad, yr anghofiwn ddyddiau prudd-glwyfus ein hymdaith ar y ddaear. Yma, gall cymylau cystudd daflu eu du-leni dros ein gwynebpryd, ond pan y gwawria dyddiau y greadigaeth newydd, ni bydd gofid mwy: nis gall dim aflonyddu tawelwch yr enaid, eithr fe'i llenwir â llawenydd bythol.

Y Gwanwyn ydyw adnewyddiad cyffredinol yr holl ddaear: er mor brudd yr ymddangosai yn nhymor y gauaf, etto, pa mor ddedwydd a chysurus ydyw ei gwynebpryd yn awr? Mae pob gwrthddrych fel yn cyduno i'n llawenhau; ac nis gallwn dybied yn amgen, nad ydyw pob gwanwyn megys yn ein harwain i drigfan fwy cysurus. Felly, yn nydd yr adgyfodiad, canfyddwn ein hunain wedi ein halltudio i drigfan newydd, oruchel a dedwydd. Rhyddheir y nef a'r ddaear newydd oddiwrth pob [illegible]ion a berthynent i'r ddaear hon. Pan y treiddio pelydrou yr Huan i'r ddaear, ymgyfyd miloedd o blanhigion a blodau o'i mynwes; yr un modd yn nydd yr adgyfodiad, yr ymgyfyd miloedd o genedlaethau a gladdwyd yn y llwch. Fel y mae blodau y gwanwyn yn tarddu o'u hadau, yn gyflawn o brydferthwch, felly y bydd corph y Cristion a gyflëwyd yn y ddaear yn cyfodi y dydd hwnw, wedi ei amgylchu â gogoniant, a'i wisgo â phrydferthwch nefol.

Y gwanwyn ydyw cychwynydd hydyfiant y glaswellt, blodau, a'r planigion o bob math. Yna bydd pob peth a gychwyna darddu uwch arwyneb y ddaear yn arledu ei hun fwy fwy bob dydd, ac yn cynnyddu yn weledig. Felly y bydd dydd yr adgyfodiad i ysbryd anfarwol y Cristion, yn gychwyniad y cynnydd anorphenol a wna mewn daioni; yna, ni bydd un gwendid na rhwystr i'w attal yn ei fynediad yn mlaen ar lwybr perffeithrwydd. Efe a â o nerth i nerth, o un gradd o ddedwyddwch i un arall. Yn y gwanwyn mae holl natur fel yn cyfodi o gwag i foli ei Chrewr; [illegible] aceniadau trigolion yr awyr, mewn [illegible]nolawd cyffredinol, i ogoneddu y Bod mawr a'u creodd. Cyffelyb ganiadau o lawenydd a [illegible]

yn nydd yr adgyfodiad, o eneuau dawiolion, pa rai a adnewyddir o'r llwch i fywyd tragywyddol.

Gyda pha orlewygawl lawenydd y llenwir enaid y Cristion y pryd hynny! os ydyw y gwanwyn amserol mor gyfoethog ei addurnion, pa faint fydd cyfoeth gwanwyn tragywyddol y greadigaeth newydd!!

*Rhyl.* Cyf. JOHN WILLIAMS.

---

## HANES RHYFEDDOL JACK DLAWD, Y LLONGWR.

YCHYDIG fisoedd yn ol, mewn cyfarfod Bibl Gymdeithas, ymddangosodd gwr tra thrwsiadus ar yr esgynlawr; ac wedi cyfarch y gynnulleidfa mewn dull tra grymus o blaid y Fibl Gymdeithas, dywedodd, 'Yr oedd gan ryw fachgenyn mewn tref borthladd, y tad mwyaf diras a nwydwyllt, yr hwn oedd forwr. Ryw brydnhawn, anfonwyd y bachgen i'r porthladd i alw ei dad, a thrwy ei weled yn feddw, canlynodd ychydig ymddyddan. Y tad wedi cyffroi trwy ryw air a ddywedodd y llangc a'i troediodd ef dros y dibyn i'r môr. Felly yn ei nwydau aeth y tad dan honcian i'r dafarn. Yr oedd y nos yn nesau, a'r plentyn yn ymdrechu â'r tònau, ac yn mron soddi, pan ganfu cwch yn perthyn i long rhyfel ef wrth fyned heibio, at y llong, ac yn ddamweiniol a'i cododd ef o'r dyfrllyd fedd. Gan fod y llong dan rwymau i hwylio, hi a gychwynodd y noswaith hono. Cymmerodd y morwyr sylw mawr o'r llangc, a thranoeth wedi clywed ei hanes ryfeddol, hwy a'i galwasant ef Jack Dlawd.

Hwyliai y llong i wledydd tramor; a daeth Jack yn fuan yn llengcyn bywiog a defnyddiol ar ei bwrdd. Ei dymer dda, yn nghyda'i fywiogrwydd, a ennillodd iddo gyfeillion lawer, ac yn mhen ychydig flynyddoedd, daeth yn anwyl gan bawb ar y bwrdd. Dygwyddodd na adawodd Duw mo'no ei hun yn ddidyst yn y llong hon; yr oedd un neu ddau o'r dwylaw heb gywilydd arnynt i ddarllen y Bibl yn gyhoeddus, ac arddel eu hymlyniad wrth y Gwaredwr croeshoeliedig. Fe sylwid yn dirion ganddynt ar Jack Dlawd; ac fe'i deffrowyd yn drugarog trwy Ddwyfol ras.

Bu amrai o'r dwylaw feirw, a chymmerwyd rhai newyddion ar y bwrdd amryw weithiau. Yr oeddid erbyn hyn ymron ag anghofio hanes Jack. Bu ymladdfa,* a llawer o ddynion a laddwyd ac a glwyfwyd. Wedi gosod y clwyfedigion yn y clafdy, ymwelwyd â hwynt yn dosturiol gan Jack. A dygwyddodd i un hen forwr, yr hwn a glwyfwyd mor drwm, fel nad oedd gobaith am ei fywyd, fod yn wrthddrych ei ofal Cristionogol, gan y gwelai efe ei fywyd yn cyflymu ymaith. Dechreuodd feddwl yn ddifrifol am ei enaid gwerthfawr ac anfarwol; a mynych y gwelid ef yn wylo yn hidil oblegid ei bechodau. Ar yr achlysuron hyn, ni pheidiodd Jack a darllen yr ysgrythyr, a nodi allan iddo y rhanau mwyaf perthynol i bechadur argyhoeddedig o'i euogrwydd a'i berygl, ac yn awyddus i ffoi rhag y llid a fydd. Cafodd yr hen forwr tlawd o'r diwedd wawr o obaith, ac annogwyd ef i ffoi at yr Hwn a fu farw dros y penaf o bechaduriaid. Yr oedd y fath gwmwl dychrynllyd yn ei orchuddio, fel nad allai yn ddiysgog ymaflyd yn y gobaith a osodwyd o'i flaen; er nas beiddiai yn hollol ei wrthod chwaith. Ychydig ddyddiau cyn ei farw yr oedd Jack yn sefyll wrth ei wely, pryd y croch lefodd yr hen wr mewn llif o ddagrau, gan ddywedyd, 'Nis gellir maddeu i mi! Na, na, yr wyf fi, wr ieuangc, yn llofrudd! O! fy mhlentyn, fy mhlentyn! fy machgen, fy anwyl fachgen! Edrychwch, a gwelwch ef yn ymdrechu â'r tonau! clywch! mae'n gwaeddi am gymmorth! ydyw, mi a'i clywais ef yn dywedyd, O dad, achubwch fi! O, achubwch ef! Gwnewch, bobl dda, achubwch ef! tefiwch raff drosodd; gwthiwch y cwch allan! a wneiff neb ei achub ef? O! mae efe yn soddi, a'i dad yw ei lofrudd! Ië, sarhad i mi, Mary! Mae'n gwaeddi etto, etto, mor wyllt ag o'r blaen, ac yn wylo. Rhowch i mi fy mhlentyn! lle mae fy machgen? Mary anwyl, nis gallaf feddwl yn awr, ac anghofio fy mlinderau. Yr wyf yn glwyfedig! Yr wyf yn marw! Dialedd a'm goddiweddodd i! O, ddychryniadau cydwybod euog.' Jack Dlawd, wedi ei orchfygu gan dosturi, cariad, llawenydd, a rhyfeddod, mewn llif o ddagrau, a gwympodd ar wddf yr hen forwr, dan lefain, 'fy nhad, fy nhad, fy nhad! wele eich mab, eich bachgen! ni chollwyd fi; fe'm hachubwyd i gan gwch y llong. O, y mae trugaredd i chwi, fy nhad, fy nhad!

'Beth,' meddai yr hen wr crynedig a dychrynedig, 'ai tydi yw fy machgen, fy mhlentyn, yr hwn a droediais dros y dibyn?

'Ië, fy nhad, credwch fi, myfi, ïe, myfi yw efe. Bob amser, er pan y'ch clwyfwyd chwi, teimlwn y fath serch annirnadwy tuag atoch; o ddydd i ddydd yr oedd fy ymysgaroedd yn cynhesu atoch. Carwn chwi yn fwy na'r un dyn a welswn erioed. Cyfrifwn fy hun yn bur ddedwydd wrth ddarllen a gweddïo gyda chwi. Rhyfeddwn yn aml at fy nheimladau; mae y dirgelwch yn awr wedi ei amlygu. Bum yn gweini ac yn dyddanu fy nhad.'

'Fy mhlentyn; ïe, tydi yw fy mhlentyn: gwelaf wedd fy Mary anwyl!'

Llif o ddagrau a'u rhwystrodd hwy ill dau i siarad am rai mynydau. O'r diwedd, llefodd y dyn ieuangc, 'Duw trugarog, mor rhyfeddol yw dy ffyrdd! O, achub, achub! yr wyf yn atolygu arnat, fy nhad, yr hwn a arbedaist yn rasiawn, ac â pha un y dygaist fi, yn gydnabyddus mewn ffordd mor annisgwyliadwy.'

Jack a dawodd, y tad a lawenychodd; llawenydd a diolchgarwch a ddysgleiriasant yn ei wynebpryd. Y nefoedd a wenodd ar y dyn marwol; ac yn ganlynol, llais distaw a droaglwyddodd i'w enaid dangnefedd yr hwn sydd uwchlaw pob deall. Ond y mae yn dyfod yn rhy ofidus i chwanegu; digon yw dywedyd i dad Jack Dlawd fyw amryw ddyddiau ar ol hyn, ac iddo farw dan orfoleddu yn Nuw, Gwaredwr ei enaid. Yn mhen oddeutu dwy flynedd, aeth y rhyfel heibio. Ac wedi gollwng y dwylaw ymaith, daeth Jack adref, ac a ddefnyddiodd ei amser a'i ddawn i gynghori pechaduriaid i ffoi am noddfa at Iesu Grist.'

Ymataliodd yr areithiwr am enyd—yna y gynnulleidfa yn dra chyffrous, a edrychent arno, gan ddysgwyl yn bryderus am y canlyniad; pryd, gan ymgrymu yn weddaidd, y gwaeddodd, 'Foneddigion a Boneddigesau, yn adroddwr yr hanesyn yma yr ydych chwi yn awr yn gweled Jack Dlawd.

HUMPHREY JONES.

*Cwmrhwyddfor.*

O. Y. Mewn perthynas i wirionedd yr Hanesyn uchod, anfonais at y neb a'i cyhoeddodd yn yr iaith Saesoneg, ac atebodd, '*There is no doubt but the account is true*;' ac mewn perthynas i'w deilyngdod o le yn y Drysorfa, gadawaf hyny at eich barn chwi.

## LLYTHYRAU, &c.

## NATUR EGLWYS.

YR wyf yn hollol gredu fod y Trefnyddion yn ymdeimlo yn eithaf tawel a digyffro mewn cysylltiad â'r ddadl ar 'Natur Eglwys;' ond y mae lle i feddwl fod yr Annibynwyr yn dechreu ofni y canlyniadau. Os nad ydynt yn wan eu hyder nad gau yw eu hachos, pam y ceisiant ei gynnal yn y dull y maent? oherwydd 'Nid gwaeth y gwir er ei chwilio.' Ond nid wyf yn bwriadu gwneud un sylw o unrhyw gangen o'r ddadl yn bresennol, nac o'r ystranciau a wneir gan rai Annibynwyr i gynnal Annibyniaeth: yn unig dymunaf hysbysu i'ch darllenwyr nad yw llythyr olaf Mr. Roberts i fyned heibio yn ddisylw. Ysgrifenais at Olygydd y Dysgedydd, am gael caniatad i ateb Mr. Roberts yn y Cyhoeddiad hwnw, gan mai yno yr oedd ei ysgrif wedi ymddangos, ac felly cawsai yr Annibynwyr a phawb chwareu teg i weled y ddwy ochr, a barnu drostynt eu hunain; ond gwrthodwyd fi. Nid wyf am wneud sylwadau yn awr ar lythyr nac ymddygiadau y Golygydd, gan fy mod, oddiar annogaethau cyfeillion, yn bwriadu cyhoeddi ail lyfr ar y ddadl. Nid wyf am hòni fod genyf awdurdod i fynu y fath ganiatad gan y Golygydd—na; gwn fod ganddo hawl i dderbyn a gwrthod yr hyn a fyno. Ond nis gallaf lai na rhyfeddu 'rth ei ragrith chwaith. Diraddiant a gwarthruddant Olygwyr ereill, am wrthod ysgrifiau—a mynant i'r wlad feddwl fod y Dysgedydd yn rhydd i bawb farnu drosto ei hun. *Rhydd!* ydyw i Ysgrifau a font yn difrio Trefnyddion a Threfnyddiaeth. Pa faint o Ysgrifau a wrthodwyd gan Olygydd y Dysgedydd yn y misoedd diweddaf, am eu bod yn gwrthbrofi rhai o'r llythyrau cywilyddus a ymddangosasant ynddo yn ddiweddar? dyma ymddygiad un o noddwyr mawr rhyddid! Y maent yn meddwl, tra y cauant faes y 'rhydd-resymu,' i Mr. R. &c. fyned trwy eu *manœuvres* yn ddigythrwfl, y gallant gadw yr Annibynwyr i guro eu dwylaw, a gwaeddi buddugoliaeth! Ond yr wyf yn coelio ei bod yn rhy ddiweddar. Gwn am lawer fy hunan, (a dichon bod llawer nas gwn i am danynt) sydd wedi canu yn iach i Annibyniaeth, ar ol dechreuad y ddadl hon. Nid rhyfedd fod rhai o'n brodyr gwrthwynebol yn dechreu newid eu barn—unwaith, dywedent byddai y ddadl yn debyg o wneud lles; ond yn bresennol, tybiant y bydd yn debyg o wneud niwed mawr.

Yn fy llyfryn nesaf yr wyf yn bwriadu gwneud atebion trwyadl i resymau olaf Mr. Roberts. Hefyd, Sylwadau helaeth ar Drefnyddiaeth, mewn gwahanol gysylltiadau. Prawf fod y *Deed* wedi ei ffurfio yn berffaith gysson â rhyddid crefyddol ar un llaw, ac âg egwyddorion athroniaeth gwladol (*political philosophy*) ar y llaw arall: ac y byddai cyfansoddiad Mr. Roberts yn ddinystr i wladwriaeth. *Y Congregational Union of England and Wales*, yn groes i Annibyniaeth. Y *Congregational Union of Scotland*, ac Annibyniaeth yn groes i'w gilydd. Rhai o brif enwogion cynnulleidfaol yr oes yn addef yr egwyddor Henaduriaethol—Annibynwyr enwog yn groes eu barn i Mr. Roberts am '*Deeds* Addoldai,' &c. &c. Adolygiad ar yr Eglwys Annibynol yn 'Dyffryn Clwyd,' ac Annibynwyr Rhuthin. Profir y cwbl, mor bell ag y bydd yn angenrheidiol, â ffeithiau anwadadwy.

Dichon y dywedir y dylwn wneud rhyw sylw o'r llyfr sydd yn cael ei barotoi yn fy erbyn gan yr *enwog* Robert Jones, (neu, fel y myn ef alw ei hun, R. J. Pryce) o Fon; ond ofer i neb wneud sylw o un na wna ei blaid ef ei hun nemawr o sylw arno. Gwn am weinidogion Annibynol sydd yn ymwrthod yn hollol â Robert druan: ac os gwir a glywais, buasai yn well gan Mr. R. iddo beidio a dangos ei hun yn *bretender* yn y ddadl hon. Ond digon tebyg, y bydd *rhyw beth* yn dderbyniol mewn adeg mor gyfyng. Ond o'm rhan fy hun, nid wyf yn bwriadu colli fy amser gyda'r dyn hwn, am fy mod yn meddwl mai gelyniaeth ataf yw yr achos penaf ei fod ef yn *pretendio* dim â'r pwnc. Er ys rhai blynyddoedd yn ol, anfonodd Robert ataf am ei gefnogi i gyhoeddi rhyw lyfran ar Gerddoriaeth; ond nid allaswn wneud hyny yn gydwybodol,

am y gwyddwn nad oedd ond *pretender* mewn Cerddoriaeth. Digiodd Robert yn ddirfawr, ac os dyn anianol ydyw, nid rhyfedd os gwna ef ei oraf yn fy erbyn. Boed iddo, gan fy mod yn deall na ddichon i'r cyfryw un fy niweidio.

*Llanidloes.* I. G. ALAWCH.

---

DEGFED LLYTHYR IORWERTH,

*At ei gyfaill ar ei neillduad yn Henadur Eglwysig.*

FY NGHYFAILL,—Gwyddost yn dda fod iawn drefn yn hanfodol i gysur a llwyddiant. Gwlad heb drefn sydd wlad heb nemawr o gysur a dedwyddwch. Y teulu lle mae pawb yn ceisio bod yn ben, y mae pawb yn amrafaelio, ac heb neb yn gysurus, na dim yn trafaelu yn hwylus. Y mae yn hanfodol i gysur a llwyddiant teyrnas Crist yn y byd, fod rhai yn ben, a bod y penaethiaid hyny yn llafurus i gadw trefn, a gweled fod yr achos yn ei holl gylch yn trafaelu 'yn weddus ac mewn trefn.' Awdwr trefn yw Duw; ac os ydym yn proffesu tebygolrwydd iddo, dylem yn mhob peth ymestyn i'w efelychu; fel na fyddo yr Eglwys, yr hon sydd yn cael ei galw yn oleuni'r byd, y gwrthddrych anmherffeithiaf yn y byd; ond y byddo trwy iawn drefn a gweddeidd-dra yn cael ei gosod fel canwyll ar ganwyll bren i oleuo i bawb ag a fyddo yn agos ati, ac i ddal y goleuni hyny yn ngwydd y byd, nes y byddo ei leoedd tywyll yn oleuni yn yr Arglwydd. Ni fydd yr eglwys byth 'fel dinas ar fryn' nes y byddo'r gwaith yn syrthio yn gyffredinol i ddwylaw dynion llawn awydd a zel ysbrydol am ei ddwyn yn mlaen gyda y gweddeidd-dra a'r drefn teilwng i'w awdwr. Galarus yw gweled crefydd, yn ei holl ranau, yn sarnfa gyffredin rhwng pawb; a thrwy hyny cuddio ei theilyngdod a'i gogoniant o wydd y byd. Cadw dy le dy hun, fy nghyfaill, a gwna dy oreu er cadw pawb ereill yn eu lleoedd; ac na fyddo'r naill yn rhuthro i le'r llall. Mae rhyw awyddu mewn dynion i ddringo i sefyllfaoedd na alwyd hwy erioed yno gan Dduw na dynion; bydd raid it' fod yn llygeidiog i ganfod, ac yn wrol i wrthwynebu y cyfryw, onite, bydd y gwersyll yn sicr o ymddyryrau, ac ar ol unwaith ymddyrysu dyna'r cwbl yn methu trafaelu. Gyda y fath drefn anghydmarol y byddai plant Israel yn teithio trwy'r anialwch dan lywyddiaeth ddwyfol. Yr oedd y Lefiaid yn llywyddu'r babell, a'r llwythau ereill yn gwersyllu mewn trefn a gwyledd oddi amgylch iddi. 'Dod i'r Lefiaid awdurdod ar babell y dystiolaeth, ac ar ei holl ddodrefn, ac ar yr hyn oll a berthyn iddi: hwynt-hwy a ddygant y babell, a'i holl ddodrefn, ac a'i gwasanaethant, ac a wersyllant o amgylch i'r babell, A phan symudo'r babell, y Lefiaid a'i tyn hi i lawr; a phan arhoso'r babell, y Lefiaid a'i gosyd hi i fynu: lladder y dyeithr a ddelo yn agos. A gwersylled meibion Israel bob un yn ei wersyll ei hun, a phob un wrth ei luman ei hun, trwy eu lluoedd. Meibion Israel a wersyllant bob un wrth ei lumau ei hun, dan arwyddion tŷ eu tadau; o amgylch pabell y cyfarfod y gwersyllant o hirbell.' Yn y dull trefnus hyn yr ymladdent, y teithient, ac y gwersyllent. Pob un yn ei le, yn dilyn ei luman ei hun, ac yn ymwneyd a'i orchwyl ei hun. Nid yr un dull, mae'n wir, sydd i fod yn mhlith Cristionogion, ag oedd yn mhlith yr Iuddewon yn yr anialwch; nid at hyny yr wyf yn cyfeirio, ond at drefnusrwydd y dull hyny, yn nghyd a'r angenrheidrwydd o ryw lwybr trefnus, yn gydweddol â natur y dull a fyddo, o angenrheidrwydd, ar bethau yn ol ansawdd yr oruchwyliaeth a fyddo yr eglwys yn hanfodi dani. Pwy all edrych ar awdwr natur heb weled ar yr un olwg awdwr trefn natur? Ac os yw Duw mor drefnus yn nghyfansoddiad a dygiad yn y blaen deyrnas natur, nid oes genym un lle i feddwl ei fod yn fwy annrhefnus yn nghosodiad a gweinyddiad teyrnas ei ras. Y mae'r Apostol Paul yn cyfeirio at drefnusrwydd y corph dynol, yn amrywiaeth ei aelodau, ac oddiyno yn tynu addysgiadau mewn perthynas i drefn eglwysig. 'Canys y corph nid yw un aelod, eithr llawer. Os dywed y troed, Am nad wyf law, nid wyf o'r corph; ai am hyny nid yw efe o'r corph? Ac os dywed y glust, Am nad wyf lygad, nid wyf o'r corph, ai am hyny nid yw efe o'r corph? Pe yr holl gorph fyddai lygad, pa le yr byddai'r clywed? pe'r cwbl fyddai glywed, pa le y byddai'r arogliad? Eithr yr awr hon, Duw a osododd yr aelodau, bob un o honynt yn y corph, fel yr ewyllysiodd efe,' &c. Yna y mae yn ychwanegu. 'A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys, yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, &c. Ai apostolion pawb? ai prophwydi pawb? ai athrawon pawb?' Nage yn ddiau, a phe byddai felly, byddai yn gyfansoddiad eithaf anmherffaith ac anghysurus. Os yw Duw wedi golygu trefn i hanfodi yn ei dŷ, a phob un i wneud y gwaith perthynol i'w swydd, heb ymaflyd mewn gorchwylion nad yw yn perthyn iddo, bydd ddyfal yn ol eithaf dy wybodaeth i gadw hyny ar ei droed, yn yr eglwys. Mae parodrwydd mewn dynion i ymaflyd mewn gwaith perthynol i swyddau sanctaidd yr eglwys, yn arwyddo ymyliad i dir rhyfygus a chnawdol, yn nghyd a diystyrwch ar osodiadau Crist yn ei Eglwys, yr hyn yn ddiau a ddaw o dan y cymmeriad o 'gablu urddas' mae trefn yn anhebgorol angenrheidiol, nid yn unig yn y pethau mwyaf, ond hefyd yn y pethau lleiaf, ag sydd yn dal perthynas â theyrnas Crist. Dylai pob cyfrifon perthynol i'r achos gael ei gadw yn drefnus fel y byddai i'w ddarllen yn flynyddol yn ngwydd yr holl eglwys; ac, fel y byddai i'w ganfod i'r oes a ddel. Y mae hawl gan bawb

cyfranu at unrhyw achos i wybod pa fodd y maent yn cael eu trenlio. Y mae pob ymddygiad croes i hyn yn dra-arglwyddiaeth ar iawnderau dynion, yr hyn nad oes genyt ti na neb arall awdurdod i wneud. Cofia o hyd mai gwas, ac nid arglwydd, ydwyt.

Y mae canu mawl yn weddus ac mewn trefn, yn beth prydferth a chanmoladwy iawn; a gobeithio y byddi yn bob annogaeth at hyny.

Bydd rhai o'r hen bobl yn dyweud yn aml fod llawer o falchder gyda'r canu trefnus, a thrwy hyny gölli'r ysbryd sydd yn hanfodol i foli'r Arglwydd. Mae perygl, yn sicr, i ddynion golli yr ysbryd, ond mi debygwn, mai nid mewn iawn drefn y mae'r achos o hyny, ond yn nhuedd y galon lygredig i ymfalchio, ac i 'ymado oddiwrth Dduw byw.' Ac yn wir, fe allai fod cymmaint o le gan falchder lechu mewn annrhefn ag sydd mewn trefnusrwydd; yn yr hen ddull â'r dull diwygiedig. Os oes un yn ymfalchïo yn ei drefn y mae'r llall yn ymfalchïo yn ei annhrefn. Nid gwaeth gan falchder, am a wn i, lechu dan hen gôt, mwy na chôt newydd, bydd fyw ar bethau bach iawn dan bob un o'r ddau. Y mae yn fwy na thebyg fod Satan yn aml yn temptio dynion i ffûg ostyngeiddrwydd, yn gystal a'i godi i grys ymchwydd. Gobeithio y cawn adnabod ei ddichellion ef: O, ebe ambell un, pan daw yr Ysbryd Glân i weithio mewn modd grymus ar ddynion fe ddryllir yr holl drefn gyda'r canu, hi aiff yn waeddi am fywyd pryd hyny. Wel, pan y tywelltir ef yn ysbryd gweiddi, pob peth yn burion, gadewch i ni waeddi wed'yn; a phan y delo yn ysbryd canu gadewch i ni ganu. Gadewch i bob peth gael ei enw iawn a'i le priodol. Cywilyddus fyddai dyweud ein bod yn canu, pan y byddom yn gweiddi; oblegid ni byddai hyny ond difenwad ar y gelfyddyd gerddorawl. Pell wyf fi rhag meddwl fod ysbryd mawl yn gynwysedig mewn bod un yn dechreu pan y byddo'r llall yn diweddu, a phob un yn gweiddi am yr uwchaf, heb fod yn trafaelu wrth un rheol ond eu mympwy eu hunain. Nis gallwn droedio un tir tra yn y byd hwn nad ydym mewn perygl mawr i fod yn golledwyr, gan hyny byddai yn burion it' wasgu at feddyliau yr ieuenctyd, a phawb yn gyffredinol, yr angenrheidrwydd o fod yn wyliadwrus rhag fod y galon yn ddistaw er fod y tafod yn llefaru yn uchel. Pregethu trefnus a ganmolir yn ein dyddiau ni, a da iawn yw gweled cymmaint o ddiwygiad yn archwaeth y wlad yn hyny; er nad ydyw etto mor cyffredin at y peth y dylai fod; ac y mae yn ymddangos i mi, nad oes y duedd leiaf yn y bregeth drefnusaf i bechu presennoldeb yr Ysbryd Glân ymaith.

Hefyd, y mae cyhoeddi pregethwyr yn weddus yn beth ag y dylit wneud ychwaneg o sylw arno, er ei gyflawni mewn dull mwy gweddaidd. Y mae'r dull cyffredin ac anmharchus o gyhoeddi dynion, y rhai mewn gwirionedd sydd yn deilwng o barch, yn tueddu i iselu, nid yn unig y dyn, ond gweinidogaeth yr efengyl, yn ngolwg y byd, yn nghyd a pheri i ddynion cyffredin eu meddyliau gymmeryd mwy o ryddid ac eonder gyda y pregethwr nag sydd o reswm fe allai iddynt. Gwyddom yn burion y byddis yn siarad am y dynion mwyaf parchus, ger gwydd pawb a fyddo yn dewis gwrando, yn y dull iselaf ac anmharchedicaf, yn fwy tebyg fel y byddis yn siarad am blant nag am weinidogion Crist. Yn wir, y mae'r dull o ymddyddan a ddefnyddir yn llawer lle rhy wael i amryw o honynt fel dynion, heb son dim am eu swydd fel cenhadau dros Dduw. Dylit roddi eu henwau bedydd arnynt, ac nid rhyw enwau plentynaidd. Pa mor isel bynag yr edrychir ar hyn, y mae mwy o bwys ynddo nag y mae llawer wedi ei feddwl, yn gymmaint a'i fod yn iselhad ac yn warthruddiad ar weinidogaeth yr efengyl.

Yr wyf yn cyfaddef mai anwybodaeth yw hyn yn benaf, ac nid anmharch; etto dylit gyfarwyddo a dysgu yr anwybodus yn y pethau lleiaf fel y pethau mwyaf, ac nid rhoi esiampl ddrwg iddo er ei gefnogi yn ei anwybodaeth. Yr oedd Paul yn ysgrifenu at Timotheus i'r dyben o'i ddysgu pa fodd i ymddwyn yn nhŷ Dduw, &c. Pa fodd i ymddwyn at Dduw, at bethau Duw, at bobl Dduw yn ol eu gwahanol sefyllfaoedd, ac at bawb yn gyffredinol trwy'r byd. Un o'r gwersi a ddysgir yn ysgoldŷ Crist yw rhoi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. Yn gymmaint a bod tuedd mewn dynion i ddilyn esiampl eu blaenoriaid, gwylia ar dy ymddygiadau tuag at weinidogion Duw, rhag i hyny (er fe allai yn hollol ddifeddwl) dueddu at iselu gweinidogaeth yr efengyl, a'i gosod yn sarnfa gyffredin.

Fy nghyfaill, er mor annrhefnus yr wyf fi wedi dyweud am drefn, etto, gobeithio y cymmeri yr addysg oddiwrth y cwbl, gan ymestyn i ymwneyd â phob peth yn weddus ac mewn trefn.——Yr eiddot,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

---

ANFOESOLDEB IEUENCTYD MON AC ARFON.

LLYTHYR II.

BARCHEDIG SYR,—Cymeraf genad yn awr i gyfeirio yr hyn sydd ar fy meddwl yn benaf at ferched ieuaingc o sefyllfa isel na chyffredin yn Nghymru, o herwydd fy mod yn meddwl fod eu siampl hwy yn rhoddi annogaeth fawr i'r arferiad waradwyddus o gydorwedd yn eu rhag-gyfeillach i'r sefyllfa briodasol.

Nid oes dim, a chymmeryd pethau yn gyffredin, mor barchus yn ngolwg meibion dynion â'r hyn a elwir '*female virtue and modesty.*' Ac os bydd rhyw ferch yn ol o hyn, yna y mae wedi colli ei gradd yn

mysg ei chyfeillesu anrhydeddus. Ni bydd arfer y wlad ond esgus gwan a diles i bledio yn ngwyneb y Bibl am y canlyniadau gwarthus sydd yn digwydd yn lled gyffredin wrth wneuthur fel y mae ereill yn gwneuthur. Gwyddoch chwi, sydd wedi bod mewn ysgolion parchus yn Nghymru neu yn Lloegr, nad yw yn arfer yn mhlith boneddigesau i oddef y fath hyfdra digywilydd a gollwng dynion atynt i'w gwely. Ac, O! na ddilynech eu siampl yn y peth hwn. Nid wyf yn meddwl nad ydyw pobl ieuaingc i ymweled â'u gilydd mewn modd parchus a gweddaidd. Ond os daw neb atoch mewn ffair neu farchnad yn hyf a gwagsaw, nac ymollyngwch gydag ef. Ond boed iddo ddeall wrth eich teimladau, er bod y ferch yn cael ei chyfrif y llestr gwanaf, etto ei bod yn sefyll ar uwch tir nag y gall yr hyfaf o ddynion ei hiselu. Hwn yw y tir cyntaf i chwi i'w ennill.

Bwriwn pod ymollyngosech a myned gyda y cyfryw ddyn yn ol yr arfer i'r dafarn, neu *Hotel Teetotal*, *&c.* ymddwyn yn gellweirus a gwamal, beth a ddisgwyliasai, ond, yn ol arfer y wlad, ddyfod y noswaith hono i'ch cartref, ac wedi rhoi ei geffyl yn yr ystabl, curo wrth eich ffenestr, gan feddwl gyda llawn hyfdra fod ganddo hawl bellach i gael treulio y noson yn eich ystafell wely. Llawer llw ac addewidion a wnaed ar y fath achos i briodi, a llawer calon drom a dorwyd trwy dwyll yr addunedwr.

Tybiwn, ar y llaw arall, fod y dyn hwn wedi cael y fath attalfa genych ag oedd deilwng i'r hyfdra, ac er i chwi ystyried y peth islaw eich sylw i'w adrodd, etto nid felly y buasai ef yn ystyried yr ymddygiad. Os nad oedd yn eich adnabod, ymofynasai yn eich cylch, a mawr fuasai ei syndod a'i barch i chwi wrth ystyried y peth. Ac, er fe allai mai rhy brin yr anfonasai '*apology*' i chwi, etto wedi cael gwybodaeth am eich rhodiad barud, a'ch ymddygiad difeius y'ngwydd y byd, ei ddymuniad mewn sobrwydd fyddai i fod mor ddedwydd a chael y fath un yn wraig iddo; canys nid oes neb yn deilwng o'r enw gwr, na ddymunai i gymmeriad ei wraig cyn, yn gystal ac wedi, priodi fod can wyned â'r eira, ac iddi yn mhob modd fod yn ddifrycheulyd yn y byd.

Nac ymresymed neb mwy â chig a gwaed, ond ymdrechwn i fwrw ymaith y fath arfer bechadurus o'n mysg i eigion môr angof, fel na waradwydder ein llysoedd gwladol â'r fath ffieidd-dra mwy.

*Llandegai.* ARDREMIWR.

---

## ANNERCHIAD

### AT GYMDEITHAS ELUSENGAR TREFRIW, CHWEFROR 27, 1841.

LLYTHYR II.

GYFEILLESAU ELUSENGAR,--Er fy mod wedi ymdrin â'r annogaethau i elusengarwch, yn y rhan gyntaf o'm hanerchiad, yn fwy fel braint nac fel dyledswydd; etto, amlwg yw, i'r hwn a ddarlleno ac a ystyrio ei Fibl, bod cyfranu i'r tlodion yn ddyledswydd arnom yn gystal a rhagorfraint gennym: oblegid y mae yr hwn a ddywedodd, 'Dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn;' wedi gorchymyn hefyd, 'Câr dy gymmydog fel ti dy hun.' Ond gan fod y gwirionedd hwn mor eglur fel nas beiddia neb ei wadu, ni byddai treulio amser i'w brofi ond gwastraffu fy oriau i, a beichio eich amynedd chwithau. O ba herwydd âf rhagof yn bresennol i alw eich sylw ar yr ymofyniad tra phwysig hwnw, sef, *Pa bethau sydd i gydfyned â'n rhoddion, er eu gwneuthur yn aberthau a rynga fodd Duw?* Wrth ddarllen y Bibl chwi a welwch y gall gweithred fod yn orchymynedig gan Dduw, a'n cyflawniad ni o honi yn waharddedig. Gorchymyn Duw i Israel oedd i offrymu rhoddion ac aberthau dan y gyfraith, ond yr oedd eu gwaith hwy, o aberthu yn amser Esaiah, yn 'gas gan ei enaid ef,' a'u haberthau yn 'faich trwm arno, blinodd yn eu dwyn.' Ac fe ddywed yr Arglwydd Iesu 'fod yn rhaid gweddïo yn wastad ac heb ddiffygio,' etto mae 'gweddi yr annuwiol yn bechod.' Felly, mae yn ddichonadwy fod ein rhoddion i'r tlodion yn fwy ffiaidd yn ffroenau Duw, er ei fod wedi gorchymyn i ni wneuthur elusen.

Cyn y bydd eich elusenau yn aberthau cymmeradwy gan Dduw, rhaid iddynt *darddu* oddiar gariad at Duw. Y mae cariad at Dduw yn egwyddor fywiol yn y Cristion yn ysgogi ac yn trefnu ei holl rasusau, a'i alluoedd ef, i weithredu yn brïodol (er nad yn berffaith) ar bob gwrthddrych. Dyma yr olwyn fawr sydd yn gosod ei holl beiriant crefyddol ef i weithio.

Y mae ei *ffydd* ef yn gweithio trwy gariad, Gal. 5. 6. ei *weithredoedd da* ef, yn llafur cariad, 1 Thes. 1. 3. a'i weinidogaeth ef i'r saint, yn ffrwyth llafurus gariad at enw Duw, Heb. 6. 10. Ac os na bydd eich gwasanaeth chwithau, fy anwyl chwïorydd, yn llafur cariad, ni chynnwysa un radd o rinwedd, neu, ddaioni ysbrydol, er ei fod ynddo ei hun yn ddaioni naturiol. Pan y sonia yr Ysbryd Glan am elusengarwch, efe a arfera fanylrwydd mawr, er ein cadw rhag ymorphwys ar y cyflawniad allanol, heb wir gariad yn y galon. Mewn un man efe a ddywed, 'Trwy gariad gwasanaethwch eich gilydd:' ac wrth annog y Colossiaid i gymmwynasgarwch, y mae yn gorchymyn iddynt, yn gyntaf peth, 'Wisgo ymysgaroedd trugareddau.' A phan y dengys yr Apostol i'r Corinthiaid yr angenrheidrwydd am gariad, efe a ddefnyddia yr ymadroddion cryfaf, yn y modd egluraf a mwyaf phenderfynol, ar y matter hwn, gan ddywedyd, 'A phe porthwn y tlodion â'm holl dda, a phe rhoddwn fy nghorph i'm llosgi, ac heb gariad genyf, nid yw ddim lleshad i mi.'

Y peth nesaf sydd yn angenrheidiol i

wneuthur eich llafur yn wasanaeth i Dduw, ydyw *dyben* da. Nid yw canlyniadau unrhyw weithred yn newid dim ar ei natur, onidê byddai ffrwythau toreithiog a gogoneddus y groes yn profi croeshoeliad Arglwydd y gogoniant yn weithred helaethaf ei rhinwedd a gyflawnwyd erioed. Felly, gan hynny, gall gweinidogaeth eich swydd chwithau ymhelaethu trwy aml roddi diolch i Dduw; a bendithion yr hwn oedd ar ddarfod am dano ddyfod arnoch; ac er hyn oll bod eich cyflawniadau yn fratiau budron yn nghyfrif Duw, o herwydd dyben drwg. Y mae edrych ar ogoniant Duw fel dyben eithaf yn nghyflawniad elusen, yn hanfodol i'w daioni moesol. Nid wyf yn dywedyd, na ddylech fabwysiadu dybenion ereill, ond rhaid iddynt oll fod yn ddarostyngedig a gwasanaethgar i ogoniant Duw, onide, hwy a alltudiant bob gwir rinwedd allan o'ch gwaith. Ceisio eu moliannu gan ddynion, a halogai elusenau y Phariseaid gynt i'r fath raddau, fel y buasai eu hanrhegion yn deilyngach o'r enw aberthau iddynt eu hunain, nac elusenau i'r tlodion. Yn wyneb hyn y cyfarwyddyd Dwyfol yw, 'Am hynny pan wnelych elusen, na udgana o'th flaen, fel y gwna y rhagrithwyr yn y synagogau, ac ar yr heolydd, fel y molianner hwy gan ddynion.' Clywed un yn ymffrostio llawer yn ei rinweddau, neu ei weled mewn ymdrech galed i'w dangos, sydd arwydd sicr ei fod yn byw ar brinder o weithredoedd da: oblegid y mae gweithredoedd da, yn canmol eu cyflawniad, mor nerthol wrth bob cydwybod dynion, fel na raid wrth wasanaeth ei dafod ef ar yrachos; ac os rhaid wrth eiddo rhyw un i hyn, 'canmoled arall dydi ac nid dy enau dy hun.' Os bydd un yn deilwng o ganmoliaeth, fe ofala ei gymmydogion am wneud hyny; ond os na bydd, gwell yw iddo yntau fod yn ddistaw. Gan hynny, chwi a welwch bod dyben cywir mor bwysig ac angenrheidiol i chwi yn eich gwasanaeth, fel na byddai yn anghydweddol â'r hyder sydd genyf yn eich uniondeb, i mi annog pob un o honoch i holi ei hun, o ba ysbryd y mae; a gweddio ar i Dduw adnewyddu ysbryd uniawn o'ch mewn yn wastadol.

Wedi cymmeryd golwg ar yr *egwyddor* a'r *dyben* a geisir genych wrth wneuthur elusen, efallai nad anfuddiol fyddai i mi sylwi etto ar y *dull* o'i gwneuthur. A'r peth cyntaf a ddaw dan ein sylw yma yw, y dylai eich rhoddion fod yn gyfiawn; hynny yw, na byddoch wrth wneuthur trugaredd i'r naill yn gwneuthur anghyfiawnder âg ereill, trwy gyfranu yr hyn nad yw yn eiddo gwirioneddol i chwi eich hunain. Dylid gwneuthur cyfiawnder â phawb, cyn gwneuthur trugaredd â neb yn y golygiad hwn, rhag bod ein tosturi, fel y dywed Solomon am fatter arall yn *greulondeb*.

Ond gan fod pethau ereill yn galw yn uchel am ein sylw yn bresennol, ni wnaf ond gadael y pwngc hwn i gydwybod pob un o honoch, i'w drin yn ymarferol.

*Yr ail beth* a enwaf am y *dull* o gyfrannu, yw y rheol a esyd y Bibl i'n haddysgu pa faint i'w roddi, yr hyn a geir yn ngeiriau yr Apostol, 'Pob un megis y llwyddo Duw ef.' Mae yn boenus meddwl fod cyn lleied o barch yn cael ei dalu yn y wlad i'r rheol hon. Mynych y gwelir y tlawd sydd yn byw ar drugaredd ei gymmydogion yn cyfrannu cymmaint a'r cyfoethog sydd a'i ganmoedd neu ei filoedd yn y *Bank*. Ni fynwn er dim, sefyll yn lle y diweddaf yn y farn a ddaw, pan y bydd ei arian a'i aur wedi rhydu, a'u rhwd hwynt yn dystiolaeth yn ei erbyn ef, ac yn bwyta ei gnawd ef fel tân. Y peth a barodd i'r Arglwydd Iesu fod mor ddibris o roddion lluosog y cyfoethogion, pan oedd yn edrych arnynt yn bwrw eu rhoddion i'r drysorfa, oedd, eu bod yn eu rhoddi o'r hyn oedd yn weddill ganddynt. Cofiwch chwithau, fy chwïorydd, mai y blaenffrwyth ac nid y gweddill a ddewisa Duw bob amser oddiwrth ddynion i'w wasanaeth. Ymddengys i mi y dylai pob un roddi nes teimlo oddiwrth roddi; ac mai dyma a enwogodd y wraig weddw dlawd, *rhoddi o'i heisiau yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd*. Wrth hyn, fe wel y dosparth tlottaf o honoch, er eu cysur, bod Duw yn edrych gyda mwy o foddlonrwydd, filoedd o weithiau, ar ddull cywir o roddi, nac ar y rhoddion helaethaf. Y mae Duw yn rhy gyfiawn tuag ato ei hun i ofyn *llai* nac a allwn roddi; ac yn rhy gyfiawn tuag attom ninnau i ofyn *mwy* nac a allwn roddi: felly ond i bob un o honoch wybod pa faint a all roddi, hi a genfydd ar unwaith pa faint a ddylai gyfrannu.

Y trydydd peth angenrheidiol yn y *dull* o gyfrannu yw, rhoddi yn llawen ac o barodrwydd meddwl. Yr un peth a feddylir yn y Bibl wrth roddi yn llawen, a rhoddi o barodrwydd meddwl, a rhoddi o'r galon. Dangosodd yr Arglwydd, yn neddf Moses, bod rhoddi o'r galon yn dra angenrheidiol, pan y cysylltodd ei fendithion wrth y dull hwn o gyfrannu, 'Gan roddi dod iddo (sef o'r blawd) ac na fydded drwg yn dy galon pan roddych iddo: canys o achos y peth hyn y'th fendithia yr Arglwydd dy Dduw yn dy holl waith, ac yn yr hyn holl y dodych dy law arno.' A thrachefn, fe ddywed yr Apostol, 'Pob un megys y mae yn rhagarfaethu yn ei galon, felly rhodded; nid yn athrist, neu trwy gynnull: canys rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu.' Ac mewn lle arall, efe a orchymyn i'r 'hwn sydd yn trugarhau wneuthur hynny mewn llawenydd.'

Un o'r pethau mwyaf dymunol a boddhaol a wnaethym i yn fy oes oedd edrych drwy ddrych y dystiolaeth ar Dafydd a'i bobl yn offrymu i'r Arglwydd yn ei ddyddiau olaf. 1 Cron. 29. Ac os cedwir chwithau yn yr agwedd hon, byddwch yn hyfryd i chwi eich

hunain, ac yn anrhydedd i Dduw a'i achos. Yn awr, cymmeraf fy nghenad i gyflwyno i'ch sylw ychydig bethau a welir yn Dafydd a'i bobl, wrth offrymu i'r Arglwydd, fel y byddo i chwithau ymdebygu iddynt wrth aberthu i'r tlodion.

1. Yr oedd eu hagwedd yn *siriol* a *hyfryd*. 'A'r bobl a lawenhasant, pan offrymentoo'u gwirfodd: am eu bod â chalon berffaith yn ewyllysgar yn offrymu i'r Arglwydd.'

2. Yr oedd eu haddefiad yn *briodol*. Cydnabyddent mai o ras a daioni Duw, ac nid o honynt eu hunain, yr oedd yr holl rinweddau a feddiannent. 'Eithr pwy ydwyf fi, a phwy yw fy mhobl i, fel y caem ni rym i offrymu yn ewyllysgar fel hyn? Canys oddiwrthyt ti y mae pob peth, ac o'th law dy hun y rhoisom i ti.'

3. Yr oedd eu purdeb a'u diragrithrwydd yn eglur. 'Gwn hefyd, O fy Nuw, mai ti sydd yn profi y galon, ac yn ymfoddloni mewn cyfiawnder. Myfi yn uniondeb fy nghalon, o wirfodd a offrymais hyn oll.'

Bellach ni wnaf, cyn terfynu y waith hon, ond annog pob un o honoch i 'fyned a gwneuthur yr un modd,' gan fod yn llawen a hyfryd i'ch meddyliau, am y cyfleusdra i anrhydeddu Duw a'ch cyfoeth.

CARWR RHINWEDD.

## ATHROFA Y BALA.

HYBARCH GYFAILL,—Da oedd genyf weled amnaid 'Ll.' yn y Drysorfa am Ebrill, mewn perthynas i'r Athrofa uchod, a gobeithiwyf nad ydyw yn cam-gymmeryd am barodrwydd y 'Gogledd i ddod' a'u cyfraniadau haelionus tuag ati, yn ol esiamplau tra chlodwiw ein cyfeillion yn y Dehau.

Gan fod Cyfeisteddwyr perthynol i Athrofa y Gogledd mor wasgaredig oddiwrth eu gilydd, anhawdd yw eu cael ynghyd yn fuan, i benderfynu ar unrhyw drefn bennodol i gasglu; ond hyd nes y gwneir hyny, cymmeraf y cyfleusdra hwn i hysbysu y derbyniaf yn ddiolchgar unrhyw gyfraniadau o'r Dywysogaeth, neu o drefydd Lloegr, tuag at y drysorgyff, (*fund*) a chânt ymddangos yn y Drysorfa fel y delont i law.

Cofied ewyllyswyr da yr achos, mai '*Deuparth gwaith yw ei ddechreu*,' a gobeithiaf y bydd i zel y rhai cyntaf, 'ennyn llawer iawn.'

Nis gwn pwy yw yr ysgrifenydd 'Ll.' ond gall y llythyren a arferodd, arwyddo '*llawnder*,' ac o hwnw, tra hoffus fyddai genyf gael yr esiampl gyntaf; a hyderaf y dilynir ef gan nifeiri 'lluosog,' o gyfranwyr 'llawen,' y fath y mae yr 'Arglwydd yn eu caru.'——Ydwyf, yr eiddoch yn ostyngedig

D. DAVIES, Trysorydd.

*22, Paradise Street, Liverpool.*

## MEDDIANNAU A GYFRENIR AT ACHOSION CREFYDDOL.

WRTH ymgynyg at y gorchwyl o ddangos natur a dyben *Constitutional Deed* y Trefnyddion Calfinaidd, y mae yn briodol sylwi nad oes y gradd lleiaf o gyssylltiad rhwng y testun hwn a'r ddadl yn nghylch Henaduriaeth ac Annibyniaeth. Addefir hyn, debygid, gan ein gwrthwynebwyr: ond er mwyn llusgo y *Deed* i fewn, dywedant mai testun y ddadl bresennol yw hyn, 'Pa beth yw Trefnyddiaeth?' Yn y lle cyntaf, *nid hwn oedd y testun*; ond yr angenrheidrwydd am Gymdeithasfaoedd a Chyffes Ffydd. Ac yn ail, pe cymmerid ef yn destun, nid yw y *Deed* yn perthyn dim i hwn ychwaith. Fe fu y Trefnyddion am ugeiniau o flynyddoedd hebddi; ac ar ol ei chael ni orfodogir neb i wneuthur defnydd o honi. Oblegid eu hanwybodaeth y mae llawer o'r eglwysi hyd heddyw heb wneud derbyniad o'r manteision a ddeilliant oddiwrthi. Gadewir hwynt yn hyn o beth yn hollol at eu rhyddid eu hunain. Ond deallwyf fod amryw o honynt er yn ddiweddar wedi gweled eu camsyniad. Am y daioni hwn, yr ydym yn ddyledus i'n cyfeillion Annibynol. Dylem fod yn dra diolchgar iddynt am droi oddiwrth y pwnc at y *Deed*; a gobeithiaf yn ostyngedig, y bydd yr ysgrif bresennol yn ddigon i argyhoeddi yr Annibynwyr eu hunain, mai gwell iddynt, yn hyn fel llawer peth arall, yw efelychu y Trefnyddion Calfinaidd.

Y mae un o'r gweinidogion parchusaf yn mhlith yr Annibynwyr wedi gweled hyny er ys amryw fisoedd, ac wedi meddu ar y dewrder a'r gonestrwydd i ddangos hyny trwy yr argraff wasg. Nis gwn pa fodd i ddangos yr angenrheidrwydd am y *Deed* yn fwy eglur nag yn ei eiriau ef ei hun, y rhai ydynt fel y canlyn:—

"Y mae llawer o Gapelydd yn cael eu rhoddi mewn gweithredoedd cyfraith i'r enwad a elwir Annibynwyr, ac yn cael eu rhoi mewn ymddiried. Y mae llawer o'r Capelydd, yn ol cyfraith y wlad, wedi myned yn *private property* i'r *trustees* a'u hetifeddion. A pha beth sydd yn attal i'r Capelydd y cesglir arian atynt trwy y wlad, dan yr enwad uchod, fyned yn noddfäau i bob math o gredöau, a phob math o drefn eglwysig? A oes rhyw beth mewn Anymddibyniaeth i'w hadnabod fel un gymdeithas, ac y gellid cael cyfraith i wneuthur yr addoldai i'r gymdeithas hono, ac i fod yn eiddo i'r cyfryw? ac os oes, pa beth ydyw?

"Os atebir trwy ddywedyd, 'O, y Bibl ydyw ein rheol ni,' nid wyf yn ystyried hwn yn atebiad pwrpasol, o herwydd y mae y Bibl gan bleidiau ereill; ac hefyd nid yw yr Anymddibynwyr yn cydfarnu â'u gilydd am y Bibl ddim mwy nag y maent yn cydfarnu â phleidiau ereill; am hyny, nis gall y Bibl eu dangos yn un corph. A oes

rhyw undeb allanol rhyngddynt â'u gilydd fel crefyddwyr yn wahanol eglwysi, yn fwy nag sydd rhyngddynt ag eglwysi o enwadau ereill o Gristionogion? Os oes, pa beth ydyw?"

Dyma sylwadau y Parch H. Jones, Tredegar, un o'r ysgrifenwyr galluocaf yn mysg yr Annibynwyr, mewn ysgrif o'i eiddo a ymddangosodd yn y "Diwygiwr." Pe byddai yr holl Annibynwyr mor onest ag ef, darfyddai y ddadl am drefn eglwysig rhyngddynt hwy a'r Trefnyddion. Diammeu y caiff, os na chafodd, lawer o sarhad am ddyweyd y gwir oddiwrth ambell *bigot* penfeddal. Ond y mae pob dyn cydwybodol yn rhwym o'i barchu; os yw yn ei holl ysgrifeniadau yn gyson â'r ysgrif o ba un y cymerwyd y geiriau uchod. Y mae yn eithaf sicr mai efe sydd yn cadw at drefn yr hen Annibynwyr; a'r rhai a'i gwrthwynebant ydynt ddilynwyr y Browniaid, math o Ismaeliaid penboeth, pigog, poenus, a gyfododd yn yr unfed ganrif ar bymtheg. Ond i ddychwelyd at y dyfyniad—gweithred gyfreithiol, ag y mae y gwr parchedig hwn yn dyweyd fod cymaint o angen am dani yn mysg yr Annibynwyr, yw *Deed* y Trefnyddion Calfinaidd; yr achosion ag y cwyna efe o'u herwydd oedd yn ei gwneuthur yn angenrheidiol; a'r dybenion ag y mae efe yn dadleu drostynt, yw y dybenion a atebir trwyddi. Gofynir ganddo, "A oes rhyw beth mewn Anymddibyniaeth i'w hadnabod fel un gymdeithas, ac y gellid cael cyfraith i wneuthur addoldai i'r gymdeithas hòno, ac i fod yn eiddo i'r cyfryw?" Atebaf, Nac oes yn Annibyniaeth y dyddiau hyn; ond y mae mewn Trefnyddiaeth: ac oblegid hyny, yr oedd y Trefnyddion yn gallu cael "cyfraith i wneuthur yr addoldai i'r gymdeithas hòno, ac i fod yn eiddo i'r cyfryw."

Dichon fod y dyfyniad uchod yn priodoli mwy o awdurdod i'r *Trustees* nag sydd yn perthyn iddynt. Ymddengys nas gallant droi ymaith y gweinidog, ond mewn rhyw amgylchiadau nodedig. Er i'r aelodau gael goleuni newydd ar lawer o bynciau pwysig, a newid yn hollol yn eu golygiadau, y mae yn rhaid iddynt ymfoddloni ar yr un gweinidog, os bydd yn dewis aros yno, pe byddai byw ddeugain mlynedd. Ond y mae dau beth i'w hystyried yn mhellach. Yn gyntaf, pan fydd y gweinidog yn medru boddio y *Trustees*, nis gall yr eglwys ei droi ef ymaith *mewn un amgylchiad*. Ac yn ail, pan fyddo y gweinidog farw, gall y *Trustees* wneuthur fel y mynont â'r addoldy, ond iddynt ofalu am fod ynddo ryw esgus o wasanaeth crefyddol, a'i fod yn cael ei alw yn Gapel Annibynol. Fe welir, gan hyny, nad oedd y dysgrifiad a roddwyd yn y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa yn cynwys ond ychydig o drueni yr Annibynwyr. Dyma ryw faint at hyny, a phe dewisid, gellid rhoddi ychwaneg etto. Digon tebyg y dywedir, fel y dywedwyd cyn hyn, fy mod wrth ychwanegu at, yn tynu oddiwrth yr hyn a ddywedais o'r blaen. Pa fodd bynag am hyny, y mae y cwbl a osodwyd i lawr yn yr ysgrif o'r blaen yn wirionedd, ac y mae yr ychwanegiad hwn yn wirionedd hefyd. Dyma gyfraith Prydain fawr; ac y mae yn amlwg fod cyfraith y Bibl yn rhwymo yr Annibynwyr, yn gystal ag ereill, i blygu iddi. Ond pa un a ydynt hwy yn ystyried eu hunain yn rhwym ai peidio, nid oes ganddynt ddim i'w wneuthur ond plygu. Os atebir y gallant wneud un peth arall, sef mynu cyfraith newydd; addefaf y gallant, ac ni ddylai neb eu beio am hyny. Ond os ydynt yn dewis i'r gyfraith hòno fod yn rhyw fantais iddynt, y mae yn rhaid iddi fod fel y dysgrifir hi gan Mr. H. Jones, "yn gyfraith i wneuthur yr addoldai i'r Gymdeithas, ac i fod yn eiddo i'r cyfryw." A chyn y byddai yn ddichonadwy iddi fod felly, byddai yn rhaid iddi fod yn hollol o'r un natur a *Deed* y Trefnyddion. A chyn y gall yr Annibynwyr gael un *Deed*, neu gyfraith o'r fath, byddai yn rhaid iddynt ymwrthod a'u Hultra-anymddibyniaeth.

Ai tebyg y bydd neb o honynt mor ffol a dadleu yn ngwyneb hyn, nad ydynt yn cymeryd y gyfraith wladol yn rheol mewn achosion crefyddol? Pwy sydd yn dyweyd y dylent wneuthur hyny? Ond onid yw y gweinidogion a'r *Trustees* dan rwymau cydwybod i ddiogelu yr addoldai i'r eglwysi, yn lle cadw yr afael arnynt yn eu dwylaw eu hunain? Dyma'r cwbl yr ydym yn dadleu drosto, a dyma'r cwbl a wnawd gan y Trefnyddion. Y mae yn debyg fod yr Annibynwyr yn *recordio* eu Capeli, er mwyn bod dan nawdd y llywodraeth, pe bai terfysgwyr yn ceisio eu haflonyddu. Ond y maent wrth eu *recordio* yn gwneud cymmaint o ddefnydd o'r gyfraith wladol ag oedd y Trefnyddion wrth ffurfio y weithred grybwylledig.

A thrachefn, y mae rhyw *Deed* yn perthyn i bob Capel Annibynol; ac y mae cymmaint a fyno y gyfraith wladol â'u *Deed* hwy, ag â *Deed* y Trefnyddion. Y gwahaniaeth rhyngddynt yw hyn:—Y mae Gweinidogion a *Thrustees* yr Annibynwyr yn gofalu am gadw yr holl awdurdod yn eu dwylaw eu hunain: ond y mae gweinidogion a *Thrustees* y Trefnyddion wedi cyflwyno yr holl feddiant i'r corph; ac y mae pob Capel sydd wedi ei rwymo wrth y *Constitutional Deed* yn perthyn cymaint i'r aelod iselaf ag i'r gweinidog parchusaf yn y cyfundeb.

Er mwyn gwneud y peth yn fwy eglur etto, os oes modd, goddefer i ni sylwi pa beth sydd yn ofynol cyn y gall addoldy fod yn eiddo cymdeithas. Dyma adeilad yn cael ei roddi dan ofal *Trustees* i fod yn addoldy i gymdeithas eglwysig. Nid oes yma ddim yn penderfynu pwy, na pha fath rai sydd i gyfansoddi y gymdeithas hòno

Gan hyny, nid oes gan yr eglwys sydd yn dygwydd ymgyfarfod yn yr addoldy ddim mwy o feddiant arno nag sydd gan ryw bersonau ereill mewn unrhyw ran o'r byd. Cyn y gall fod yn eiddo i'r eglwys y mae yn rhaid cael Gweithred yn dysgrifio yr eglwys hòno wrth ryw nodau neillduol, ac y mae yn rhaid i'r Weithred hòno gael ei *henrollio* yn y *Court of Chancery*. Ond gan y byddai y draul yn ormod i un eglwys ar ei phen ei hun, y mae yn anhebgorol angenrheidiol i ryw nifer o honynt ymuno, a gwneuthur yr holl addoldai yn eiddo i'r holl eglwysi mewn cyfundeb. Felly y gwnawd gan y Trefnyddion Wesleyaidd, yn amser yr hen John Wesley; ac y maent amryw weithiau wedi profi lles dirfawr oddiwrth hyny. Felly hefyd, er ys amryw flynyddau, y gwnaeth y Trefnyddion Calfinaidd. Hyn, heb ddim mwy na llai, yw natur a dyben y *Constitutional Deed.*

Os oes rhyw un, wedi'r cwbl, yn methu gweled buddioldeb o honi, byddai yn dda genyf pe deuai Coombe, neu ryw *Phrenologist* arall i deimlo ei benglog. Diau y cyfarfyddent â llawer o anhawsdra i benderfynu gyda pha ddosbarth o greaduriaid i'w restru. Os oes y fath un mewn bod yn rhyw gŵr o'r ddaear, coded ar ei draed, edryched i fynu fel dyn, ac atebed yn eglur pa beth y mae efe ei hun yn dadleu drosto. Os nad wyf yn camsynied, yr ateb a roddir ganddo yw, y dylai yr addoldai fod yn eiddo i'r eglwysi. Wel, anwyl gyfaill, dyna'r *very thing* SYDD gan y Trefnyddion yn barod, a dyna'r *very thing* NAD yw gan yr Annibynwyr. Os dyna'r drefn y mae ein brodyr Annibynol yn dadleu drosti, y mae yn hen bryd iddynt gael *Constitutional Deed*, yn hollol yr un fath a'r Trefnyddion. Ond pe meddyliai un eglwys am ei chael iddi ei hun yn unig, byddai yn rhaid i'r *Trustees* werthu yr addoldy i gael arian i dalu am y *Deed*. Gan hyny, y maent yn rhwym o ymuno â'u gilydd, a gwneud yr addoldai yn eiddo i'r undeb yn gyffredinol.

Y mae yn wir y gellir gwneud addoldai, fel rhyw feddiant arall, yn eiddo i nifer o bersonau *wrth eu henwau*, heb gymeryd y llwybr y dadleuir drosto yn yr ysgrif hon. Ond byddai y cyfryw addoldai yn eiddo i'r personau hyny a'u hetifeddion, ac nid i neb arall. Nis gellid diarddel yr un o honynt, a gallent hwythau dderbyn, neu beidio derbyn, y neb a fynont. Ond y mae y personau mewn cymdeithas eglwysig yn rhwym o newid yn barhaus: a'r unig ffordd ag y mae yn ddichonadwy gwneud addoldy yn eiddo i'r eglwys yw, trwy ei gyssylltu, nid wrth bersonau, ond wrth egwyddorion. Y mae yn rhaid cael rhyw egwyddorion fel nodau i ddysgrifio y gymdeithas, ac y mae yn rhaid rhwymo yr addoldy i fod yn eiddo i bawb a fyddont yn ateb i'r dysgrifiad hwnw, ac nid i neb arall. Y mae hyn yn anhebgorol, ac nid yn unig yn ol y gyfraith wladol, ond yn ol natur pethau. Yn awr, pa beth yw y canlyniad? Pan fydd unrhyw berson, neu bersonau, yn peidio ateb i'r nodau a ddysgrifir, y maent yn peidio a bod yn aelodau priodol o'r cyfryw gymdeithas, ac o angenrheidrwydd yn colli pob meddiant yn yr addoldy. Y mae hyn yn tarddu yn anocheladwy. Heb hyn ni chyrhaeddid byth yr amcan sydd mewn golwg, sef cadw yr addoldy yn eiddo i'r gymdeithas. Cyn y gall addoldy fod yn eiddo i gymdeithas, y mae yn ofynol rhoddi dysgrifiad o'r gymdeithas hòno, fel y gellir ei hadnabod. Ond yn yr amgylchiad hwn nis gellir ei dysgrifio wrth enwau personol yr aelodau. Gan hyny, y mae yn rhaid ei dysgrifio wrth ryw gyffes ffydd. O ganlyniad, pwy bynag nad ydynt yn cydfyned â'r gyffes hòno, nis meddant yr un gradd o hawl yn yr addoldy.

Os ymuna amryw eglwysi i ddwyn yn mlaen yr amcan crybwylledig, y mae yn hawdd gweled hefyd nas gall pob addoldy fod yn eiddo neillduol i'r eglwys sydd yn arfer ymgynnull ynddo. Rhaid i'r holl addoldai fod yn feddiant cyffredinol i'r holl eglwysi. Y mae hyn etto yn ganlyniad anocheladwy. Er hyny, nid yw yn ganlyniad annedwydd, ond yn gwbl i'r gwrthwyneb. Yn ol y drefn hon, y mae pob aelod yn y cyfundeb, pe teflid ef ar ryw achlysur i blith ei frodyr mewn ardal bellenig, yn meddu cymaint o hawl yn yr addoldy hwnw a'r rhai sydd yno yn cartrefu; ac felly am bob un o honynt hwythau pan elont i ardal arall. Yr un modd hefyd am bob pregethwr; tra fyddo yn cydymffurfio â rheolau y cyfundeb, nid oes un pregethwr arall, nac un *Trustee*, nac un nifer o *Drustees*, yn meddu awdurdod i'w gau allan o'r un addoldy perthynol i'r cyfundeb: ac nis gall y pregethwr ychwaith gymeryd meddiant o'r un addoldy yn groes i ewyllys yr eglwysi sydd yn cyfansoddi y cyfundeb. Ni ddywedir hyn mewn ffordd o ymffrost, ond yn unig, ac yn hollol, mewn ffordd o hunan-ymddiffyniad.

Rhag gormod meithder, gadewir y gwrthddadleuon hyd y Rhifyn nesaf. Ond gellir sylwi cymaint a hyny yn y fan yma. Pe byddent oll yn seiliedig ar wirionedd, etto y mae y *Deed* dan sylw mor anhebgorol fel y mae yr angenrheidrwydd am dani yn gorbwyso cymaint arall o anfanteision. *Pe byddent*, meddaf, yn seiliedig ar wirionedd. Ond y mae yn hawdd dangos am y cwbl a ddygir yn mlaen gan ein gwrthwynebwyr nad oes y gradd lleiaf o sail iddynt yn un man, ond yn eu dychymygion hwy eu hunain.

L. EDWARDS.

O. Y. Mewn perthynas i'r llythyr ffug-fethodistiaidd y soniais am dano ddeu-fis yn ol, yr wyf yn deall fod y person a roddodd ei enw wrtho wedi cyhoeddi nad oedd dim a fynai Gweinidogion yr Annibynwyr

a'r gwaith o'i gyfansoddi. Y mae yn wirionedd i mi dderbyn hysbysiad fel y dywedais o'r blaen, i'r perwyl a ddywedais, oddiwrth un o'u gweinidogion hwy eu hunain; ond rhag y dichon ei fod ef wedi camgymeryd, barnwyf mai cyfiawn yw gosod y dystiolaeth uchod ger bron darllenwyr y Drysorfa. Buasai y cyfryw lythyr yn mhob ystyr yn anheilwng o sylw, oni bai fod yr Annibynwyr wedi ei weled yn ddigon pwysig i'w argraphu, a gwneud llawer o sŵn yn ei gylch.

Nis gallaf roddi yr ysgrifell heibio o'm llaw heb grybwyll un gair yn ychwaneg. Y mae yn dra thebyg y bydd llawer yn ystyried nad yw testun yr ysgrif hon yn werth ysgrifenu cymaint arno: ac y mae yn rhaid i mi gyfaddef nad wyf yn mhell iawn oddi wrth fod o'r un feddwl. Ond pan y mae yr Annibynwyr yn gwneud cymaint o egni yn gyhoeddus ac yn ddirgelaidd i'w gam-ddarlunio, pan yr ânt oddiamgylch gan ddyweyd wrth bawb a gyfarfyddant, 'A glywsoch chwi fod Capeli y Methodistiaid wedi myned yn *fforffet* i'r llywodraeth?' Er mor ddisail yw dywediadau o'r fath, ac er nad ydynt yn gweini dim ond digrifwch i bawb sydd yn gwybod yn well, etto y maent yn rhwym o beri aflonyddwch i feddyliau y bobl gyffredin. Oblegid hyn, yr ydym dan angenrheidrwydd i ddangos dybenion y *Deed* ag y sonir cymaint am dani: a chyn y gellir gwneuthur hyny, y mae yn rhaid i ni ddangos sefyllfa yr addoldai hyny sydd hebddi. Ar yr un pryd, hyderaf y bydd un ysgrif etto yn llawn ddigon—nid digon i roddi taw ar ein gwrthwynebwyr: y fath wyrth a hyny ni ddysgwylir—ond digon i roddi boddlonrwydd trwyadl i bob meddwl diragfarn. L. E.

---

## "CONSTITUTIONAL DEED."

HYBARCH SYR,—Fel yr oeddem yn darllen Mat. 21. 12, 13. yn yr Ysgol, un o'r plant a ddywedai, 'Nad oedd Iesu Grist o'r un farn a Mr. Roberts, Llanbrynmair, mewn perthynas i hawliau tai addoliad.' Gofynwyd, Pabam? Atebai, 'Oblegid iddo fynu y Deml at yr hyn y cyfodwyd hi, er fod y mwyran (*majority*) yn barnu yn wrthwynebol,' 'Ië,' ebe ei gyd-ddysgybl, 'yr oedd Ef yn Arglwydd ar y Deml, am hyny, ni ddylid ei gymmeryd ef yn rheol.' 'Gwir,' ebe y llanc, 'ond y rheswm a rydd dros ei ymddygiad yw, '*Tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ i;*' at y dyben hwn yr adeiladwyd ef.' A welwch chwi fel y mae yr ieuengctid yn barnu trostynt eu hunain?

---

## Y PARCH. L. EDWARDS, A'R ANNIBYNWYR.

### AT GYHOEDDWR Y DRYSORFA.

SYR,—Mewn difrif calon, a oes dim gobaith y bydd i ŵr y Bala roddi heibio bellach fflangellu'r Annibynwyr, a hwythau yn cnoi'r fflangell ac yn chwyrnu, nes bod amryw o'r *bodau deallawl* yn tybied ei bod yn taranu tua chymau Trefaldwyn a Meirion, ac yn ofni i'r *thunderbolt* ymluchiaw o Frynmair, a disgyn tua chymydogaeth y Bala. Ac ar brydiau ereill yn udo o tan arteithiau y chwip, nes bod y swn aflafar yn ddigon i syfrdanu y *dynol deulu* o Gaergybi i Gaerdydd. A oes dim gobaith, meddaf, iddo bellach daflu y fflangell o'i law?

Gallai fod Mr. Edwards yn barod i ddyweyd mai gwr heddychgar yw ef, ac mai mewn tymer heddychlon yr ysgrifenasai ei Draethawd cyntaf ar 'Natur Eglwys'; ond fod yn iawn iddo ymddiffyn yn wyneb yr ymosodiad anfrawdol a wnaed arno: a chan i'r Annibynwyr ei herio i faes dadl, mai cyfiawnder yw dangos i'r byd eu gwendid, a hyny ar y tir a ddewisasant hwy eu hunain.

Ond, fy hybarch gyfaill (Mr. E.) goddefwch air neu ddau serch hyny. Os nad ydyw cyfiawnder yn gofyn i chwi arbed, beth am drugaredd? Pe buasai'r Annibynwyr yn ystyried eu *system* yn rhy gref i ddim a ysgrifenasid yn ei herbyn ei dwyn i warth, buasai yn rhesymol i chwi ysgrifenu eilwaith ac eilwaith er dangos iddynt eu cyfeiliornad. Pe buasent yn meddwl y gall'sent ddadymchwel eich rhesymau chwi buasai yn deg i chwithau ymdrechu i'w hargyhoeddi. Ond y mae yn ymddangos nad felly y mae: canys y mae'r Annibynwyr yn gweled eu hunain ar dir mor wan, ac yn teimlo mor anhapus yn y ddadl bresennol, fel y maent yn mawr ddymuno i chwi dewi,—ïe, wedi anfon llythyr atoch i'r perwyl hwnw,—ïe, wedi cyhoeddi y llythyr hwnw, i ddangos i'r *bydyssawd* eu bod yn ofni nas daliai eu *system* mo'ch gwaith yn ei chadw ddim yn hwy mewn *sefyllfa prawf*,—ïe, wedi ei gyhoeddi fel llythyr Methodist, gan feddwl os cai neb, y cai un o'r enwad hwnw, ffafr yn eich golwg, ac y byddai iddo lwyddo yn ei gais,—ïe, y mae arnynt y fath arswyd rhag i chwi fyned rhagoch efo 'sgrifenu, fel y maent yn dangos eu hanfoddlonrwydd i chwi 'sgrifenu, a'u dymuniad i chwi dewi, a hyny yn enw y cyfeillion penaf a feddwch ar y ddaear.

Yn awr, gan fod ein cyfeillion, yr Annibynwyr, yn gweled eu hunain ar dir meddal, yn ofni i'ch rhesymau eu dynoethi, a'u gwneyd yn warth drwy'r Dywysogaeth, ac wedi defnyddio y moddion tebycaf a allent ddyfeisio i gael genych dewi; onid ydyw trugaredd yn siarad rhywbeth? A ydyw hono, attolwg, wedi ei halltudio o fro'r Bala?

Wel, meddwch, yr wyf yn bwriadu o hyn allan adael llonydd i fy nghyfaill o Lanbrynmair; 'goreu i gyd.' Ond pam nad allech ddangos yr un *indulgence* i'r Annibynwyr yn gyffredinol?

Yr ydys yn dyweyd fod y gwr hwnw mor ddolurus ar ol eich ffiangellau chwi, fel y mae yn ofni cynyg un math o atebiad i Draethawd Llanidloes, rhag i'r dyn hwnw drachefn ei drin yn debyg i fel y triniasoch chwi ef: y mae y naill a'r llall o'r pethau yna, dybygaf fi, yn gydnabyddiaeth deg o fod y *system* Annibynol yn anniffynadwy. A pheth mwy a fynech chwithau? Gadewch bellach i'ch tosturi daflu ei asgell drostynt.

Efallai y dywedwch etto nad oes eisiau dim ond iddynt wneyd proffes gyhoeddus o'u hargyhoeddiad, yn y misolyn *geirwir* a *boneddigaidd* a elwir 'y Dysgedydd,' na bydd y ffrae ar ben. Wel, Wel, pa les ydyw siarad fel yna? Onid adwaenoch y natur ddynol yn ddigon da i wybod mai cryn beth ydyw i un dyn, chwaethach corff *respectable* o bobl, gyfaddef mewn geiriau ei fod wedi cyfeiliorni? Y mae y llythyr *clodwiw* a anfonodd yr Annibynwyr atoch fel llythyr Methodist, drwy gyfrwng y 'Dysgedydd' yn ymddangos i mi yn gydnabyddiaeth mor wirioneddol ac effeithiol (er nad yn gwbl mor onest ac uniongyrchol) a phe buasent yn addef eu camgymeriad mewn ffurf a geiriau eglur. Yn awr, anwyl Syr, gan fod yr Annibynwyr wedi dyfod cyn belled a hyna mewn ffordd o gydnabyddiaeth o'u gwendid a'u camgymeriad, feddyliwn i na raid i chwithau ond teithio ynghylch yr un pellder mewn ffordd o lwfio at wendid y natur ddynol, *a thrugarhau, a thosturio, a phasio heibio, &c.* na bydd y ddadl drosodd.

Gobeithiaf, Mr. Cyhoeddwr, na chymer fy nghyfaill yn anngharedig arnaf gynyg y pethau uchod i'w sylw: os na fydd yn dygwydd cydweled â hwynt, nid wyf yn bwriadu digio wrtho, am y gwn ei fod yn llawer gwell barnwr ar gyfryw faterion na'i annheilwng gyfaill, ATHRYWYNWR.

*Mai* 12, 1841.

O. Y. Gwelir y llythyr y cyfeirir ato uchod yn y Dysgedydd am Chwefror diweddaf: a gwelir hefyd ddangosiad, yn Nhrysorfa Ebrill, tu dal 113, a hyny oddiar dystiolaeth un o'u gweinidogion hwy eu hunain, mai Annibynwyr, ac nad neb o'r Methodistiaid, yw ei awdwyr. Ac er y saif y llythyr yn y Dysgedydd, fel llythyr Methodist, i dwyllo pob dyn a'i darlleno ac a'i credo, o hyn i ddydd brawd; etto nid ydym i feddwl fod ein cyfeillion yn gwneuthur twyll er mwyn twyllo, ond yn hytrach er mwyn cael taw ar Mr. E. am eu bod yn ofni, dybygid, y byddai i'w resymau cedyrn osod y drefn Annibynol dan warth oesol.

Efallai, pe gofynid yn frawdol i'n cyfeillion Annibynol roddi rheswm am y fath gast, y byddent yn barod i ateb (yn debyg i'r gwr parchus o'r Iwerddon pan y dannodid iddo ei waith yn *forgio* enw ei gymydog) '*It was an ingenious device.*'

Y mae'n wir fod yr Annibynwyr yn ceisio ymddiheuro mewn amryw ffyrdd, ar amleni Dysgedydd Ebrill a Mai, oddiwrth y cyhuddiad a wnaeth un o'u gweinidogion arnynt wrth Mr. L. E. ond y mae y naill a'r llall o'r ffyrdd hyn mor gwmpasog ag ydyw myned o Amlwch i Ddolgelley trwy Birkenhead; ac o ymddangosiad mor ystrywgar ynmron, a'r *ingenious device* ei hun: ond etto hwyrach y rhaid lwfio tipyn yn y fan yma i wendid y natur ddynol, canys y mae un ystryw yn fynych yn gofyn cant o ystranciau i'w chadw o olwg y cyffredin.

---

## CYFARCHIAD

### I MR. JOSEPH WILLIAMS, O LIVERPOOL,

*Ar ymddangosiad y Llyfr cyntaf o'i waith, sef* "DIWYGIAD CREFYDDOL," &c.

WEDI hir ddysgwyl i chwi ufuddhau i gais eich cyfeillion am gyhoeddi eich Traethawd ar 'Agwedd Crefydd yn Nghymru,' dywenydd genyf o'r diwedd iddo ddyfod yn ddiogel i'm llaw. A chan mai hwn yw y Llyfr cyntaf a gyhoeddasoch, o'ch cyfansoddiad eich hun—ac hefyd o herwydd y gyfeillach sy rhyngom—meddyliais nad ammhrïodol fyddai i mi lunio math o Gyfarchiad (nid Adolygiad, canys ni'm cynnysgaeddwyd â galluoedd digon cryfion i eistedd yn y Gadair fawr feirniadol) i chwi ar ei ymddangosiad, fel y deallech na byddai eich gwaith yn myned heibio yn ddisylw.

Er bod ychydig o wallau argraffyddol ynddo, etto dywedaf mai

Byr achos codi'r *brychau*,—a dadwrdd,
  A d'wedyd mai *gwallau*
  Annoethaidd ynt—a nhwythau
  Yno'n ddir, ond un neu ddau.

Bellach âf y'mlaen i nodi ynddo ychydig o'r pethau a barasant i mi hyfrydwch wrth ei ddarllen, ac a'm cynhyrfasant yn benaf i lunio y Cyfarchiad hwn. Yn nhu dalen 1, 9, 38, 49, 53, 63, &c. &c. boddlonwyd fi yn fawr wrth weled yr hyawdledd â pha un yr ysgrifenech y nodiadau hyn. Ac, er harddu y gadwen euraidd o ymresymiadau, mor ddifyrus hefyd y tryfrithech hi

Ag aml chwedl i oglais y dymmer—
  Hanesyn difyrus bâr wen ar y rudd—
Rhywbeth i godi yr ysbryd o'i brudd-der,
  A gwneuthur y sylw mor oleu a'r dydd.

Mae y ddau beth hyn, yn ol fy nhyb i, yn llefain o blaid y llyfr bychan hwn, mor uchel a chroch ag ydyw y ddwy linell ar y clawr a'r wyneb-ddalen, sef 'Fod un o'r Beirniaid wedi barnu y Traethawd yn fuddugol;' a Llythyr Canmoliaethol y gwr craff a gallnog hwnw, y Parch. Richard Williams, o Liverpool.

Ond wrth sylwi ar eich Llyfr yn fwy manylaidd o glawr i glawr, codai teimladau diolchus yn fy enaid fy mod yn Gymro—wedi fy nwyn i fynu yn nhawel Dywysogaeth Cymru,—Gwlad sydd â rhediad ei haddysg yn addysg grefyddol—gwlad, sydd â'i chymdeithasau yn gymdeithasau crefyddol—gwlad, sydd â'i llyfrau (y rhan fwyaf o honynt) yn llyfrau crefyddol—a'r wlad sydd â'i chenedl o'r bron yn genedl grefyddol. Wrth gyfarfod â rhyw hanesyn fel y canlyn, mawrheais fy mraint o fy mod wedi cael fy nwyn i fynu mewn Ysgol râd yn Nghymru, mewn amgylchiadau nas gallai papurau, a llythyrau, anffyddiaeth ddygwydd dyfod yn agos i fy nwylaw. Dywedir fod mwy na 2,000,000 o gyhoeddiadau y *Socialists* wedi eu cyhoeddi y flwyddyn ddiweddaf. A bod un Newyddiadur Sabbathawl, yn llawn o'r hyn sydd halogedig, ac o anffyddiaeth, yn gwerthu 65,380 yn wythnosol, yr hyn a gostia £1,634 12s. 6ch.; ac a ddyry fwy na £600 o elw yn nwylaw ei berchenogion, neu fwy na £30,000 bob blwyddyn. Ac er dygwydd o hyna yn Lloegr, y'mhlith y Saeson, drwg oedd genyf ganfod yn nhu dal. 3. o'ch llyfr caumoladwy, fod rhyw *Semi-Oxford Tracts* yn ymddangos yn Nghymru, gan raf y gallesid dysgwyl fod mwy o synwyr yn eu copa, os nad o ras yn eu calonau. Pwy na chyduna i addef ei bod yn hwyr bryd bellach i gael allan Draethodau, &c. i ddeffro cenedlaethau Prydain o gwsg a marweidd-dra i yru y gelyn allan o'r tir?

Wrth sylwi ar y drefn a gymmerasoch mewn llaw, canfyddais chwi yn ddebëuig, wedi ei ranu i bum pen cyffredinol—o ba rai y tardda amryw fân gangenau, yn llawn blodau addurnedig a ffrwythau melysion. Ond pe bawn yn cynnyg sylwadau ar bob pwnc a'm boddhaodd, bron na thybiwn nad bychan fyddai i minnau gyhoeddi Llyfr Swllt arall o sylw arno; am hyny, fy nghyfaill, byddwch ffyddlon ar ychydig yn unig.

Wedi crybwyll o honoch yn Pen. I. Am Eglwys Dduw, arweiniasoch fi yn Pen II. i ddeall a dirnad beth oedd Adfeiliad Eglwysig, a'r effeithiau a ddilynodd hyny: ond yn y 3edd Ben. portreiasoch ddydd y Pentecost o'm blaen, a diwygiadau yr hen Jonathan Edwards, a Whitefield, a Wesley, hyd onid oeddwn innau fel chwithau yn ymgysuro yn ngeiriau y frawddeg olaf o'r bennod, 'Bod dydd ei nerth ef yn gwawrio ar ddynion celyd er gwaethaf y cwbl; ac yna y gwneir hwynt yn ufudd ac yn ewyllysgar yn ei wasanaeth ..... a'r gair hwnw yn profi fel mêl i'r eglwys, ac yn deilwng o gael ei argraffu â llythyrenau o aur pur, sef 'A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig.' Act. 2. 47. —tu dal. 10, 11.

Yn y bennod nesaf y cyfarfyddais â sylw ar 'Agwedd Bresennol Crefydd yn Nghymru.' Yn awr, ebe fi, y caf y Dywysogaeth wedi ei dilênu o fy mlaen, ac edrych arni, yn fy ystafell wrthyf fy hun, yn Nghaerlleon; ac fel *Panorama*, neu *Camera Obscura* gorwych, yn lledu eu *transactions* crefyddol o fy mlaen: ac ni'm siomwyd. Wedi rhedeg o hon wyf dros amrywiol ddosparthiadau, a chael fy argyhoeddi yn un, a'm hadeiladu yn y llall, daethym at Dos. 5. am Weddio, a mawr yr ofnais eich bod yn rhy gywir 'fod llawer i'w cael ysywaeth yn ymfoddloni ar gyflawni ffurf o weddi heb ddim gwasgfa a chaledi,' (tu dal. 19.) ac 'heb ddysgwyl yn hiraethlawn am atebiad i'w gweddïau, gwedi eu dyrchafu i fynu;' (tu dal. 20.). 'A bod eisieu agwedd *corph* ac *ysbryd* o newydd ar lawer wrth weddïo; a bod lle i ofni fod dirywiad fel hyn yn cynnyddu yn y wlad,' (tu dal. 22.) ac yn 'awr gobeithiaf finnau (fel chwithau) y bydd y sylwadau yn foddion yn llaw yr Arglwydd i beri diwygiad nid bychan ar frys mawr hefyd.'

Aml saeth a ffonod a roisoch i mi wrth drin am 'Wrando,' ac 'Ymddyddan ar ol Addoliad;' ac os nad wyf yn twyllo fy hun, cânt fod yn destyn gweddi genyf at Dduw am fy niwygio.' (Dos. 6. 7. tu dal. 22—26.)

Yn eich ymdriniaeth â'r Ysgol Sabbathawl, (Dos. 9. tu dal. 29.) dywedasoch i mi aml newydd, a rhoisoch i mi lawer addysg; ac fel yr eneth fechan a nodasoch (tu dal. 31,) dywedaf finnau—

'Yno bum, ac yno'r âf,
Can's nefoedd fechan yno gâf,'
Athrofa nef yw hefyd,
Ysgol yn ben ysgolion byd.

Ac wrth grybwyll, hefyd, am y 'Cymdeithasau Biblau a'r Cenadon,' (Dos. 13. tu dal. 36.) rhoisoch awgrym am ddechreuad y Gymdeithas Genadol Gymreig: a theimlais effeithiau rhyfeddol yn fy ysbryd wrth ddarllen y frawddeg hon (tu dal. 40.) 'Cymdeithas ydyw yn benaf yn mysg y Trefnyddion Calfinaidd; ac er fod y cyfeillion hyn mewn ofn a chryndod mawr yn dechreu ar eu hanturiaeth bwysig, y mae dau beth nodedig iawn wedi ei gyrhaeddyd yn mhob man lle y sefydlwyd y Gymdeithas hyd yma, sef peri mwy o weddïo yn mysg y bobl, a chynnydd mwy yn eu casgliadau.' 'Mwy o weddïo, a chynnydd yn y casgliadau!' Ah! ai gwir hyn, fy nghyfaill? os ïe, beth sydd eisieu ychwaneg? tafled Cymry anwyl Le'rpwll eu 'hofn a'u cryndod' o'r neilldu, a gweithredant yn rhydd, fel yr awelon ar fryniau bröydd eu genedigaeth, a chyn hir saethir cenadon allan o Athrofeydd y Bala a Threfecca, i dryfritho Bryniau Kassia, i lenwi gororau Llydaw, ac i gynniwair hyd gymoedd anghyabell Gwerddon Babyddawl, a thra y bo'nt hwy yn cyfranu efengyl hedd, gyda'r '*Welshism*,' a'r ysbryd Cymreigaidd, a ganmolid gan y

Parch. J. Sherman yn Nghymdeithasfa Dinbych, y bydd Ysbryd Duw yn gweithio, a chenedl y Cymru yn Llo'rpwll a'r Dywysogaeth, yn gorfoleddu wrth weled 'caffaeliad y cadarn,' yn cael eu dwyn, 'a'r carcharorion yn cael eu gollwng yn rhydd.' Yn mha le y mae lle i 'ofn a chryndod,' tra y mae *mwy* o *weddio*, a *chynnydd yn y casgliadau?*—a phawb yn gwybod nad yw bod yn sicr, yn ddiymmod, ac yn helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol yn flinderus ac yn ofer.

Yn nesaf wedi hyny y daw Cymdeithas Dirwest i'r bwrdd—

*Dirwest*, ei henw fywioga fy ysbryd,
*Dirwest*, mae 'i heffaith yn lloni fy nghorf;
*Dirwest*, rydd nerth yn fy mysedd i ysgwyd
Tànau fy nhelyn awenawl sy'n llorf.

Wel, beth sydd genych chwi i ddyweyd am Ddirwest, fy nghyfaill? Dyweyd iddi wneuthur daioni mawr yn America. Da iawn. Dyweyd fod dros Bedair Miliwn a hanner o'i meibion yn yr Iwerddon. Da iawn. Ond a wnaeth hi rywbeth i Gymru? Do, meddwch, a rhaid i mi gael coffâu y dywediad, a gresyn na chae ei argraffu â phin o haiarn ar blwm, ac na cherfid ef yn y creigiau dros byth, fel y cedwid ef ar gôf tra bo Cymro yn anadlu awelon bryniau gwlad ei enedigaeth. 'Mae hanesion gwerthfawrusaf hefyd gwedi dyfod o Gymru i'n clustiau yn ddiweddar, sef fod Diwygiadau Crefyddol wedi tori allan mewn llawer man, yn enwedig yn Siroedd Dinbych a Meirion, a bod y diwygiadau cryfaf yn y manau lle yr oedd Dirwest yn fwyaf blodeuog. Mae agos i ddwy fil o eneidiau gwedi eu hychwanegu at eglwysi y Trefnyddion Calfinaidd yn Sir Feirionydd, yn nghorph y flwyddyn ddiweddaf, ac ychwanegiad mawr wedi bod yn yr un Sir at eglwysi yr Anymddibynwyr hefyd; a'r naill enwad fel y llall yn tystiolaethu yn neillduol i wasanaeth yr Achos Dirwestol er dwyn y Diwygiadau rhyfedd hyn oddi amgylch.' tu dal. 43. Dwy fil gwedi eu hychwanegu mewn blwyddyn at yr eglwys yn Meirionydd—a llawer at eglwysi yr Annibynwyr, trwy wasanaeth Dirwest! Digon, Arglwydd, a gormod o dal i waelddyn fel myfi am Ddirwesta dros bedair blynedd! Diolch, Arglwydd, am fod yn un gydag achos a effeithiodd mor ddaionus.

*Dirwest*, ces galon i hoffi'th leferydd;
DIRWEST, ti'm dygaist â glendid dy wedd:
Gobeithio 'rwyf etto gwna rhyw ysgrifenydd
Roi DIRWEST yn amlwg ar gareg fy medd.

Dwy fil a offrymaist i Grefydd yn anrheg
O fewn i Feirionydd, dy fyddin sy gref;
O arwain, Iehofa, hwy oll ar bob adeg
O Ddirwest at Grefydd, â chrefydd i'r nef.

Wedi lledaenu y *Canvass* o fy mlaen, a gweled y darlun yn amlwg, gresynais beth o herwydd nad oes yr adfywiad a weddai ar achos mor ragorol. Ac yn ngwyneb y diffygion hyn, pa beth a wneir ynte? A phrin y tröais ychydig ddalenau, nad dyma i mi bennod gyfan ar y mater, a naw dosparth campus yn egluro ei chynnwysiad—ac yn awr, teilwng fyddai i bob gradd a swydd yn Eglwys Dduw graffu ar eu dyledswyddau—a mŷnu phregethu 'Crist wedi ei groeshoelio,' (Dos. 1.); 'gweddïo am yr Ysbryd Glan,'(Dos.2.); 'cynnyddu mewn cariad brawdol,' (Dos. 3.), &c. &c.; fel yr ennillom y dyben mawr o'r cwbl, wrth ymaflyd yn 'y moddion tebycaf er caffael Adferiad ac Adfywiad Crefyddol,' i beri fod Cymru yn blodeuo fel y rhosyn, ac adfeiliadau y muriau yn cael ei cyweirio, a'r wlad a fu yn llawn drain a dyrysni yn blodeuo ac yn ffrwythloni fel gardd yr Arglwydd.

Ond cyn diweddu, dymunwn yn fawr fod i un dosparth yn neillduol gael sylw arbenig pob Athraw, a Chyfarfod Athrawon, yn Nghymru, sef Dos. 7. 'Sefydliad Dosparth y Bibl ar ddull newydd yn yr Ysgol Sabbathawl.' Os bu syniadau fel hyn yn cynhyrfu Crefyddwŷr America i anturio dyfais newydd yn ngwahanol ranau achos yr Arglwydd, ac os bu Dosparth y Bibl yn fwy na'r cwbl yn fendithiol yn eu mysg, paham y caiff yr un Ysgol Sul y'Nghymru, o'r Capeli mawrion yn y trefydd hyd at Ysgol yr ysgubor fechan yn ngŵr y mynydd fod yn ymddifad o beth mor fendithiol? O! na, na, mynwn hyn i weithrediad buan a phrysur, fel y bo cynnydd amlwg ar y gwaith, 'ac y byddo yr Ysgrythyrau yn cael mwy o barch cyffredinol yn ein mysg, a'u dylanwad yn fwy amlwg ac ehelaeth ar ein cydwladwyr nag y buont erioed o'r blaen,' tu dal. 60.

Yn awr, fy nghyfaill, yr wyf wedi dyfod hyd at derfyn eich Llyfr—ond cyn, efallai, i chwi orphen darllen y ffiloreg hon, y byddaf wedi ail ddechreu arno; ac hyderwyf y bydd llawer o'i sylwadau yn argraffedig ar fy nghôf, er fy mudd a'm lleshad, ac er bendith i fy enaid.

Yn iach i chwi, fy nghyfaill, caniatäed Duw i chwi feithion flwyddi i ddwyn allan etto lyfrau lawer o'r Argraff-wasg, ac yn eu plith, 'Ail-argraphiad wedi ei helaethu a'i ddiwygio o'r Traethawd ar Agwedd Crefydd yn Nghymru.' A phe bawn yn myned i ddyweyd gair o'i blaid wrth fy nghydwladwyr, dywedwn,

A glywodd am dano—pryned,
A bryno—darllened,
A ddarlleno—ystyried,
A ystyrio—gwnaed.

Ydwyf, eich hen gyfaill,

*Caerlleon.* TEGIDON.

**CWYN ODDIWRTH EGLWYS Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN BILSTON, AT EU BRODYR YN NGHYMRU.**

ANWYL FRODYR,—Annogwyd ni gan y Parch. J. Edwards, y Berthen, pan oedd efe yma yn mis Tachwedd diweddaf, i ddosbarthu y dref, i'r dyben o ymofyn yn fanwl am y Cymry, i edrych pa nifer o'r cyfryw yn gallu siarad yr Iaith Gymraeg, sydd yn preswylio o'i mewn. Gwnaethom hyny, a chawsom fod pymthegcant o Gymry yn preswylio o fewn tair milltir i'r Capel Cymraeg; ac y mae cannoedd o honynt yn trengu o eisieu gwybodaeth. Gan hyny, O frodyr, yn Siroedd Fflint, Ddinbych, a Threfaldwyn, cyflawnwch eich addewidion i ni, trwy anfon atom weinidogion i bregethu yr efengyl dragywyddol. Mae y siomedigaethau a gawsom yn peri nychdod mawr i'r achos yn ein mysg yn ei fabandod. Yr ydym yn barnu, pe byddai yma weinidog dyeithr bob Sabbath, y byddai y gynnulleidfa yn lliosog yn fuan iawn.

Nid yw nifer ein haelodau eglwysig oud pedwar-ar-ddeg; ac yr ydym yn talu deunaw punt o *rent* am ein Capel; ac yn gwneud yr hyn a roddwyd arnom tuag at gynnal y weinidogaeth gyda'r parodrwydd mwyaf, er nad ydym ond gweithwyr tlodion oll, oddigerth pedwar. Eithr os bydd y genhadaeth yn fylchiog mewn anfon atom rai i bregethu, fe fydd ein llafur yn ofer, a'r Cymry yma yn ymddifad o'r moddion a drefnodd Duw i achub pechaduriaid. Gan hyny, O frodyr, gwrandewch ar ein cwyn, ac anfonwch atom, yr ydym yn atolwg i chwi.—Ydwyf, dros yr Eglwys,

DAFYDD DAVIES.

*Darlistan, gerllaw Bilston,*
Mai 6, 1841.

---

DIRWEST YN CAEL EI AMDDIFFYN GAN FARNWR GWLADOL.

RHAN o araeth Baron Gurney, wrth gyfarch yr uchel-reithwyr, pan yn agor brawdlys ddiweddaf yr Amwythig, Mawrth yr 20, 1841.

Ar ol enwi a chrybwyll am yr amrywiol droseddau oedd i gael eu profi, &c. dywedodd ei Arglwyddiaeth i'r perwyl a ganlyn:

'Ar y fath achlysur a hyn, y mae y meddwl yn naturiol yn cael ei arwain i sylwi ar y ffynonau o ba rai y tarddant, yn gystal ag ar helaethrwydd (neu amledd) troseddau; a'i fod ef yn cael ei argyhoeddi fwy-fwy bob dydd, mai y bai arswydus o feddwdod oedd y prif achos: ewyllysiai ef annog yr uchel-reithwyr i wneud eu hegni i anghefnogi y] drwg hwn; ac nid hwy yn unig, ond pob tad i deulu, pob Meistr, a Swyddog plwyfol, yn ddiau pob dyn, beth bynag fyddo ei sefyllfa, a ddylai ymdrechu i roddi y drwg hwn i lawr. Un o addurniadau penaf y fainc Seisnig, Arglwydd Hale, er's mwy na dau can mlynedd yn ol, yn dra addas a briodolai gynnyddiant trosedd-au i feddwdod. Y ffordd oreu i buro y ffrwd yw attal y ffynon rhag myned yn aflan.

Gobeithiai y gwnai pob boneddig ei oreu i ddwyn yn mlaen ddysgeidiaeth, ac i ddirgymmell y lleshad o arferion cymmedrol.

Os gwnaent hyn, dysgen ti bob graddau eu dyledswydd iddynt eu hunain, i'w cymmydogion, i'w Llywydd, ac i'w Duw.

*Llwydiart.* EDWARD OWAIN.

---

DIRWEST YN Y WERDDON.

AETHUM drosodd i Ddublin, yn gynnorthwy i gynnal Cyfarfod pregethu Cymraeg, yn y ddinas hòno, ar yr 11eg o Ebrill diweddaf. Yr oeddwn wedi clywed llawer am y Diwygiad Dirwestol oedd wedi cymmeryd lle yn ddiweddar yn y Werddon. Ac er i mi gymmeryd sylw manwl wrth deithio yn ol ac yn mlaen ar hyd heolydd y ddinas fawr hòno am dri diwrnod, ni chanfyddais gymmaint ag un dyn meddw mewn un man!!! Yna dywedais ynof fy hun, Wele Ddirwest megys Ioan Fedyddiwr gynt, yn 'parotoi ffordd yr Arglwydd.' Gobeithwyf y gwneir sylw o hyn gan fy mrodyr, ac yr anfonir, dan nawdd y Gymdeithas Genhadol Gymreig, weithwyr i'r cynhauaf yno, fel yr achuber y miloedd sydd yn gorwedd mewn drygioni, ac wedi eu gorchuddio â chaddug o anwybodaeth a choel-grefydd yn y wlad boblogaidd hòno. Frodyr, defnyddiwch yr adeg!

Ond, trwm genyf adrodd yn mhellach, i mi, ar fy nyfodiad adref, ddyfod trwy un dref yn Lloegr, ac un arall yn Nghymru, ac er fy mod yn teithio drwyddynt yn lled gyflym, mi a ganfyddais ddynion ag arwyddion amlwg o anghymmedroldeb arnynt yn gyhoeddus, ar yr heolydd, yn mhob un o'r ddwy dref. Gan hyny dywedaf, Dos rhagot, ti ddyngarol Gymdeithas Ddirwestol, hyd oni ddiddymer yr arferiad o ddiodydd meddwawl mewn gwlad a thref.

*Wrexham.* J. JONES.

---

**ADOLYGIAD Y WASG.**

HOFF a dymunol ydyw genyf gael rhoddi hysbysrwydd i Ieuengctyd crefyddol Cymru, fod Pregeth dra rhagorol y Brawd Humphrey Gwalchmai, ar 'Ieuo yn Anghymmarus,' wedi dyfod allan o'r Argraff-wasg. Yr oedd awydd ar fy meddwl am i'r Bregeth hon gael ei chyhoeddi drwy yr Argraffwasg er pan glywais ef yn ei phregethu, er ys rhagor i un-mlynedd-ar-bymtheg yn ol. Y mae hi yn Bregeth oleu, gadarn, ac ysgrythyrol ar y mater. Y mae yn dangos y mater drwy yr Hen Destament a'r Newydd, yn y modd egluraf, a mwyaf anwrthwynebol: ac y mae am bris digon isel i'r nifer fwyaf o Ieuengctyd allu ei phwrcasu; a'm taer ddymuniad i ydyw, ar iddynt ei phrynu, a'i darllen, a'i dwys ystyried.

Wyf, un sydd yn gwir ddymuno pob daioni i'm cenedl y Cymry,

*Pont Robert.* JOHN HUGHES.

# COFNODAU CYMDEITHASFA Y DREFNEWYDD,

**Ebrill 28, 29, 30, 1841.**

**Cadeirydd,—Y Parch. Richard Williams, Liverpool.**

Dydd Mercher, Ebrill 28ain, cynnaliwyd Cyfeisteddfod ar achos y Gymdeithas Genadol Gartrefol; ac am 8 o'r gloch bore Iau, bu Cyfeisteddfod i rag-olygu materion erbyn y cyfarfodydd dilynol yn y Gymdeithasfa.

*Cyfarfod y Pregethwyr, am 10 o'r gloch dydd Iau.*

Yn y cyfarfod hwn, ymddyddanwyd â saith o frodyr, y rhai y bwriedir eu hordeinio yn Nghymdeithasfa y Bala, i weinyddu y Sacramentau.

Holwyd hwy am eu hargyhoeddiad cyntaf, eu profiad presennol o wirioneddau Duw, a'u teimlad yn wyneb yr alwad arnynt i gyflawn waith y weinidogaeth.

Cafwyd boddlonrwydd mawr wrth eu clywed yn adrodd hanes dechreuad yr argraffiadau crefyddol ar eu meddyliau, a dygiad y gwaith da yn mlaen ynddynt. Wrth wrando arnynt, gwnaeth un brawd y casgliadau canlynol:—

'Y mae profiadau y brodyr hyn, yn fy nghadarnâu, yn 1af. Am ddefnyddioldeb y drefn o fagu plant yn yr eglwys. Dyma ffrwyth daionus y pren hwn o fy mlaen heddyw.

2il. Am yr angenrheidrwydd am ddiwygiadau, neu adfywiadau, ar grefydd. Yr oedd hyn yn cael ei arddangos yn adroddiadau y brodyr. Y mae adfywiadau, neu ryw beth anarferol ar amserau, yn ysgubo musgrellni a marweidd-dra o'r eglwysi, ac yn dwyn llaweroedd i'r eglwysi.

3ydd. Am offerynoliaeth y Gair Dwyfol yn achubiaeth pechaduriaid. Yr oedd pob un o'r brodyr yn adrodd rhyw adnod oedd wedi bod yn ei argyhoeddi, neu yn ei ddysgu, neu yn ei ddyddanu.'

Brawd arall a dynodd yn gasgliad, na byddo i ni ffurfio rhyw lwybr, neu dori cynllun i ni ein hunain, neu i eraill, ynghylch dyfodiad at grefydd. Yr oeddym yn gweled fod gan Ysbryd Duw amrywiol ffyrdd i weithredu yn achubol. Na thorwn lwybr iddo o ran y dull o weithredu, ond chwiliwn am yr arwyddion o'i weithrediadau.

Gyda golwg ar waith y weinidogaeth, sylwyd mai agwedd ddymunol iawn yw agwedd iselfrydig a gostyngedig gyda y gwaith. 'Onid pan oeddit fychan yn dy olwg dy hun,' meddai Samuel wrth Saul, 'y gwnaed di yn ben ar lwythau Israel?' Yr oedd Samuel yn golygu fod Saul wedi colli yr agwedd meddwl yna pan yr anufuddâodd i air yr Arglwydd. Ni chawn fod yn fawr gan Dduw, heb i ni fod yn fychan yn ein golwg ein hunain. 'Rhoddwyd y gras hwn i mi,' meddai Paul. Wele, tydi yw y gwr mwyaf gan hyny. O na; 'y llai na'r lleiaf o'r holl saint' ydwyf. Nid yw cael ein codi i swydd uchel yn achos gorfoledd; mwyâu ein cyfrifoldeb y mae hyny. Wedi i'r deg a thriugain ddychwel adref o'u cenadaeth yn llwyddiannus a siriol, ebai Crist wrthynt, 'Yn hyn na lawenhewch.' Rhaid ymofyn am ryw sail well na swydd i lawenâu o'i phlegid.

Sylwyd hefyd fod ymröad meddwl at waith yr Arglwydd yn gyson â gweled ein gwaeledd ein hunain. Nid yw 'chwennych swydd esgob,' a theimlo, 'Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?' yn anghysylltiedig â'u gilydd. Yn y profiad o'n gwendid ein hunain, rhaid i ni fyned yn mlaen gan ymaflyd yn nerth Duw.

Tuag at fod yn weinidogion cymhwys a llwyddiannus, mae cydnabyddiaeth helaeth â Gair Duw yn wir angenrheidiol. Dylid edrych ar y Bibl yn fwy nag fel offeryn at waith; rhaid i ni ei gymeryd fel ymborth at fywyd. Dylem draddodi pob pregeth oddiar gredininaeth bersonol o Air Duw. 'Yr ydym yn credu, ac am hyny yn llefaru.' Mae yn o debyg fod y llefaru yn fynychach gyda ni na'r credu. Mae lle i ofni y byddai ein geneuau yn gauedig lawer Sabbath pe na phregethem yn amlach nag yr ydym yn credu. Mae pregethu oddiar deimladau crediniol, a thuedd ynddo i beri ffydd i eraill; a'r teimladau sydd i'w cael oddiwrth weithrediad ffydd, ni cheir mo honynt oddiwrth ddim arall.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 2 o'r gloch.*

1. Cyhoeddwyd amser Cymdeithasfäoedd dyfodol.

Cymdeithasfa y Bala i fod Mehefin 14, 15, 16, 17. Cyfeisteddfod perthynol i'r Genadaeth Gartrefol i fod nos Lun, Meh. 14; cyfeisteddfod yr Athrofa, am 10 bore dydd Mawrth; y cyfeisteddfod at achosion cyffredinol y Gymdeithasfa, am 2; a phregethu yn yr hwyr. Dydd Mercher, cyfarfod Pregethwyr am 8 yn y bore; yr Ordeiniad am 11 o'r gloch; cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 2; a phregethu am 5. A'r moddion dydd Iau fel arferol.

Cymdeithasfa flynyddol Liverpool i fod Sulgwyn (Mai 30).

Cymdeithasfa flynyddol Môn i fod yn Amlwch, Mehefin 24 a 25.

Cymdeithasfa chwarterol y Deheudir i fod yn Aberhonddu, Mai 19 a 20.

Cymdeithasfa flynyddol y Deheudir i fod yn Llangadog, Sir Gaerfyrddin, Mehefin 29 a 30.

2. Enwyd y brodyr a ddewiswyd o'r Siroedd i'w hordeinio yn y Bala; dau o Sir

Fôn, tri o Sir Gaernarfon, a thri o Sir Feirionydd.

Penderfynwyd dodi caniatâad i Athrawon ac Athrawesau proffesedig i fod yn bresennol yn yr Oriel, ar yr ordeiniad, ond iddynt ddangos tocynau o'u haelodaeth.

3. Dywedwyd gair am Gofiant y diwedd ar Barch. ABRAHAM JONES, gan y Parch. JOHN HUGHES, a rhoddwyd annogaeth wresog i'w brynu a'i ddarllen.

Hysbyswyd hefyd am Bregeth y Parch. H. GWALCHMAI, ar Ieuo Anghymarus. Yr oedd amryw o'r hen frodyr wedi clywed ei thraddodi er ys blyneddau yn ol, gyda blâs, a da oedd ganddynt ei gweled yn awr yn argraffedig. Darlleniad o honi, gydag ystyriaeth ddifrifol, a fyddai o fuddioldeb mawr i ieuengctyd yr eglwysi.

4. Ymddyddanwyd â dau o Bregethwyr ieuainc o Sir Drefaldwyn, sef John Mills, a John Owen, Dolanog.

Holwyd hwy gan y Parch. T. PHILLIPS, Gelli, am eu profiadau ysbrydol; gan y Parch. W. ROBERTS, Clynog, am eu hegwyddorion athrawiaethol; a chan y Parch. W. PRYDDERCH, Caio, am eu cymhelliadau i'r weinidogaeth. Yr oedd eu hatebion yn dra boddlonol, a rhoddwyd derbyniad unfrydol iddynt i gyfundeb y Gymdeithasfa.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am* 8 *o'r gloch, bore Gwener.*

1. Rhoddwyd bèr olwg ar hanes yr achos crefyddol yn Sir Drefaldwyn.

Cwynwyd nad oedd chwanegiad mawr wedi bod at yr eglwysi yn un man, ond yr oedd ambell un yma a thraw yn troi o'r newydd i dŷ yr Arglwydd. Yr oedd golwg lled gysurus yn y cyffredin ar yr achos Dirwestol; haws cyfrif y rhai sydd heb fod yn Ddirwestwyr, na'r rhai sydd yn Ddirwestwyr, yn yr eglwysi.

Yr oedd pedwar o bregethwyr y Sir hon wedi myned ymaith i'r America er y Gymdeithasfa y flwyddyn yn ol. Crybwyllwyd am y brawd Thomas Griffiths, yr hwn a fu farw ar ei daith yn Sir Fôn. Yr oedd yn briodol dyweyd am dano, 'Da, was da a ffyddlawn, buost ffyddlawn ar ychydig.'

2. Penderfynwyd anfon y llythyr canlynol at y Parch. JOHN ELIAS, i ddangos ein cydymdeimlad âg ef yn ei waeledd corphorol,

"Anwyl a Pharchedig Frawd,

"Yr ydym fel Cymdeithasfa Chwarterol, cynnulledig yn y Drefnewydd, yn unfryd yn eich anerch, gan gydymdeimlo mewn brawdgarwch diragrith â chwi yn eich cystudd presennol. Da a fuasai genym eich cael yn ein mysg yn ein Cymmanfa hon, megys y cawsom chwi am lawer o flynyddoedd, ac yr ydym yn teimlo yn chwith a galarus oblegid ein colled am danoch yn ein cyfarfodydd.

"Y mae yn ddyledus arnom gydnabod yn ddiolchgar y gras Duw a'ch daliodd yn y weinidogaeth er ys yn agos i hanner canrif. Cawsoch fod am yr ysbaid maith hwn mewn lle amlwg yn ein plith, heb halogi eich dillad na cholli eich coron. Ein gobaith a'n gweddi ydyw, ar i Arglwydd y cynhauaf estyn eich dyddiau, a'ch adferu o'ch anhwylder corphorol, i weithio etto ar ei faes. Chwennychem yn fawr eich gweled yn Nghymdeithasfa Chwarterol Mehefin; ac nid oes dim yn anhawdd i'r Arglwydd: ac ar yr un pryd, dymunem gymhorth i roddi yr achos i Dduw, gan ymostwng i'w ewyllys; canys yr ydym yn credu eich bod yn llaw Tad sydd yn anfeidrol ddoeth a da. Yr Arglwydd yw Efe: gŵyr beth sydd oreu, ac ni wna ond sydd oreu.

"Anwyl frawd, dymunem eich gweddïau drosom ninnau, ar i Dduw Israel aros yn ein mysg, a chadw ei amddiffyn ar yr holl ogoniant. Yr ydym yn teimlo yn dra ymollyngar, yn enwedig yn y Gymdeithasfa hon, wrth edrych yn ol, a meddwl am gynnifer o dadau enwog, a brodyr ffyddlawn, a gymerwyd oddiwrthym drwy angeu. Gorchfygwyr gyda Duw, a chewri mewn doniau ysbrydol oeddynt hwy, ac nid ydym ninnau ond megys ceiliogod rhedyn mewn cyferbyniad iddynt. Ond y mae yn gysur i ni er hyny, fod y cleddyf a'r arfau a ddefnyddiwyd mor fedrus ganddynt hwy, yn ein dwylaw ninnau yn awr. Yr Arglwydd a nertho ein breichiau i'w trin. Yr ydym yn tystio yn ddiffuant fod Methodistiaeth Calfinaidd Gymreig yn agos at ein mynwesau, ac yr ydym yn penderfynu o lwyrfryd calon i'w dal i fynu yn ei phurdeb. Mae ein gwinllan, yr hon a blanwyd gan ddeheulaw Arglwydd y lluoedd, etto heb ei difa gan y golyn; mae ei chaeau etto heb ei rhwygo, fel na all y neb a elo heibio ar hyd y ffordd dynu ei grawn hi. Yr ydym yn cael pob arwyddion fod y brodyr ieuainc yn ein mysg, yn gystal a'r rhai henaf, yn dymuno dal yn ddiysgog at ffurf yr ymadroddion iachus, ac at ein trefn henaduriaethol, yr hon a arddelwyd mor fawr gan ein Duw. Etto, yr ydym yn gweled dirfawr angen am i Arglwydd Dduw ein tadau ymddangos yn amlycach yn ein plith, a pheri gweled ei nerth a'i ogoniant megys y'u gwelsom yn y cyssegr.

"Da genym ddeall, anwyl frawd, fod y gwirioneddau a bregethasoch trwy eich oes yn ddefnydd eich cysur yn eich cystudd; a'n dymuniad didwyll ydyw, ar i chwi brofi yn helaethach helaethach o'r cysur cryf sydd i'w gael y'mhethau dianwadal cyngor Duw, fel, er llygru y dyn oddiallan, yr adnewydder y dyn oddimewn o ddydd i ddydd. Y mae yn ddios genym, na bydd i'r Arglwydd Crist, yr hwn a wasanaethasoch o'ch ieuengctid, eich gwrthod pan ballo eich nerth. Ffyddlawn yw yr hwn a'ch galwodd, yr hwn hefyd a'i gwna.

"Derbyniwch hyn fel arwydd o'r serch

gwresocaf atoch, a'n meddylgarwch am danoch yn eich cyflwr cystuddiedig.

"Arwyddwyd dros y Gymdeithasfa,
JOHN HUGHES, Pont Robert,
ROBERT GRIFFITHS, Dolgellau,
WILLIAM ROBERTS, Clynog,
JOHN FOULKES, Abergele,
DAVID MORGAN, Trallwm,
RICHARD WILLIAMS, Cadeirydd,
ROGER EDWARDS, Ysgrifenydd.

*Drefnewydd, Ebrill* 30, 1841."

3. Ymdriniwyd â hawl plant crefyddwyr i aelodaeth eglwysig.

Sylwyd mai perthynas â'r cyfammod newydd sydd yn rhoddi hawl i hâd credinwyr i ragorfreintiau y cyfammod. Y mae eisiau i ni ddeall gwahaniaeth rhwng y cyttundeb tragywyddol rhwng y Personau Dwyfol a elwir yn gyfammod tragywyddol, a'r cyfammod newydd. Mae y cyfammod newydd yn ddatguddiad efengylaidd o'r cyfammod hwnw. Y drefn dragywyddol wedi disgyn yn yr efengyl i'n hymyl ydyw. Cyfammod Duw â Christ fel cynnrychiolwr ei hâd ysbrydol yw y naill, a chyfammod Duw yn Nghrist â dynion yw y llall. Mae Duw yn cymmeryd hâd y rhai a ymaflo yn y cyfammod yn ddeiliaid o hono; ac y mae yn perthyn i'r cyfammod newydd, nid yn unig fendithion ysbrydol, ond rhagorfreintiau allanol. Gan fod plant yn cael eu cymeryd i'r cyfammod, mae hawl ganddynt i fedydd, fel un o'i ragorfreintiau. Yr oedd cyfammod Abraham yn ddangosiad o'r cyfammod efengylaidd, ac y mae ei sylwedd ynddo. Mae y cyfammod newydd yn cael ei wahaniaethu oddiwrth gyfammod Sinai. Dywed yr Arglwydd, 'Mi a wnaf â thŷ Israel ac â thŷ Juda gyfammod newydd; nid fel y cyfammod a wnaethum â'u tadau hwynt, yn y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt i'w dwyn o dir yr Aipht.' Dadleuai rhai fod dirymiad goruchwyliaeth Sinai, yn dirymu cyfammod Abraham. Ond sicrëir i'r gwrthwyneb gan yr Apostol. 'A hyn yr wyf yn ei ddywedyd, am yr ammod a gadarnäwyd o'r blaen gan Dduw yn Nghrist, nad yw y ddeddf, oedd bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd wedi, yn ei ddirymu, i wneuthur yr addewid yn ofer.' Addewid Duw i Abraham ydoedd, 'Mi a fyddaf yn Dduw i ti, ac i'th had.'

Dylid gwahaniaethu rhwng breintiau crefydd a seremonïau crefydd. Os braint yw aelodaeth eglwysig, y mae hòno yr un dan bob goruchwyliaeth, er i ffurf y derbyniad gael ei newid. Nid y ffurf yw y fraint, ac nid y fraint yw y ffurf; mae y fraint yr un er i'r ffurf gyfnewid. Mae yr Arglwydd Iesu wedi dyweyd, 'Eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd.' Pwy a faidd ddywedyd am y plant bychain, yn wyneb yr Arglwydd Iesu, nad oes hawl ganddynt i'r deyrnas? Mae yn gyhuddiad annheilwng ac annyoddefol yn erbyn goruchwyliaeth yr efengyl, ei chyhuddo o amddifadu yr eglwys o un o'r breintiau graslonaf.

Ofnir fod llawer o rïeni yn dyfod a'u plant i'w bedyddio heb ganddynt yr un drychfeddwl ysgrythyrol am y tir y maent yn sefyll arno; dim ond eu bod yn dilyn arferiad a ffasiwn. Dylid deall fod gan blant credinwyr hawl i fedydd yn eu perthynas a'u rhieni: y maent yn ddeiliaid y deyrnas, ac yn eu bedydd y mae yr *uniform* yn cael ei wisgo am danynt. 'Bedyddio i Grist.' Dylai rhieni crefyddol edrych ar eu plant yn gyssegredig i Grist, a'u hyfforddi yn gyfatebol.

4. Sylwyd ychydig ar Gyfiawnder Ymarferol.

Gofynwyd, Yn mha amgylchiadau y gall brawd ymgyfreithio â brawd, a bod er hyny yn ddigerydd? Dywedwyd mai anghyfiawnder sydd yn ffynu mewn rhai lleoedd, yw fod y naill aelod eglwysig yn cymeryd mantais ar aelod eglwysig arall, i redeg i'w ddyled, ac aros heb dalu, gan feddwl na chai y brawd crefyddol roddi cyfraith arno. Dylai brawd sydd yn cael cam yn y modd yna, hysbysu yr achos i'r Blaenoriaid, fel y trinier y peth yn yr eglwys; ac os profir y llall yn euog o'r anghyfiawnder, dylid ei roddi ar dir y gall y gyfraith wladol ymaflyd ynddo. Dylai yr eglwys fod yn llys cydwybod (*court of conscience*) mewn materion fel hyn. Os rhoddir achwyniad yn erbyn aelod am nacâu talu yr hyn sydd ddyledus arno, dylai y blaenoriaid chwilio i'r peth, a threfnu i'r dyn dalu fel ar fel, yn ol ei amgylchiadau, neu dileu y ddyled, ac oni wna, dylid gweithredu y cerydd pennodol arno.

Gofynwyd. Y mae brawd crefyddol yn fy nyled er ys amser; ni ddywedodd wrthyf na thalai; ond er hyny nid ydyw yn gwneud; rhoddais ei achos i ddwylaw swyddogion eglwysig y lle; ond ni wnaethant ddim o hono; beth a wnaf yn wyneb hyn?

Atebiad. Doder achos y blaenoriaid a esgeulasant amddiffyn cyfiawnder, dan sylw Cyfarfod Misol y wlad hòno, fel y galwer hwy i gyfrif am eu bai.

Gof. A oes gan unrhyw aelod yn y Corph hawl fel y cyfryw, i anfon at y Cyfarfod Misol, pan fyddo yn cael ei anfoddloni gan rywbeth a wneler yn yr eglwys gartref?

Ateb. Os bydd yn tybied na ymddygodd y swyddwyr yn iawn ac yn onest, y mae ganddo hawl i wneuthur *appeal* heibio iddynt hwy at y Cyfarfod Misol. Pwy bynag a feddylir ei fod yn cael cam yn y llys cartrefol, y mae ganddo hawl i gyflwyno ei achos i lys uwch.

ROGER EDWARDS,
*Ysgrifenydd*

# BARDDONIAETH.

## ENGLYNION I'R MEDDWON.

Och feddwon! chwi a fyddwch—yn ebrwydd
Mewn obry dywyllwch,
Sy'n dònau o fflamau fflwch,
Pau gofid, pyg a yfwch.

Yn ebrwydd oni sobrwch,—gwres awchus
Gor syched a deimlwch;
Ni fydd mewn pyg tremyg trwch
Byth ofyn, beth a yfwch?

Deifas i oeri 'i dafod—o'r ufel,
Dwfr ofyn, nid Gwirod;
Ow! erfyn yn ddiddarfod,
Er hyn 'does defnyn yn dod.

Daw eto bob dïotwr—i synio'n
Gysonach am wlybwr,
Pan uda 'n ffau 'r Poenydiwr,
A phoeth safn, am ddafn o ddw'r.

Daw atal i'ch dïota—o orfod
Ar derfyn eich gyrfa;
A'r pryd hwn tân annwn wna
Yn anferth eich enynfa.

E ddaw ing na ddiengwch—o'i eirias,
Pan orwyllt sychedwch;
Yn nghendod eich trallod trwch
O boeth ufel, beth yfwch?

Yn merw y tân ulw, ni welwch—un dafn,
Yn y dyfnaf fwllwch;
Mewn rheibiad a rhuad rhwch
Tònau ufel, tân yfwch.

Dïotwyr, fe ŷf Duw atoch—i'r ffau,
A'r phiol lanwasoch;
Ei gwin lysg, mae'n gymmysg goch,
Sug ysawl a wasgasoch.

Daw tormach wedi termio,—marwol derm,
Ar lid Duw gewch etto;
Ni fydd fyth tra nefoedd fo
Drem hunell o'r derm hono.

O'ch gwirfodd ar eich gyrfa,—heb oedi,
Gwnewch beidio dïota;
Ow, na wnewch yr hyn a wna
Gynud i dân *Gehenna*.

Y moddion sy'n eich meddwi—gwarth ydynt,
Gwrthodwch eu profi;
Y rhai 'n droes i'ch einioes chwi
Dirionwch yn drueni.

Duw Iôn i feddwon ni faddau,—gwelwch
Eich gwaelion gyflyrau;
Ofer hwyr edifarhau
Yn ingawl loesion angau.

Eithr i chwi'n awr, O throwch yn ol—o naws
Yn wir edifeiriol,
Nêr faddau yn wirfoddol,
Eich holl ffyrdd erchyll a ffol.

*Caernarfon.* DAVID JONES.

## ENGLYNION AM UFFERN.

UFFERN isod y ffwrn ysawl,—dylif
Y dïaledd trag'wyddawl;
Tònau di dor, tân di dawl,
Nos gwaeau anysgöawl.

Mellt Ebal lamwyllt wibiant—ar unwaith,
Heb ronyn o seibiant;
Drwy ei niwl draw anelant
I galon sech gelyn sant.

Llyn tro annwn llawn trueni—eirias,
Yn orwyllt dryferwi;
Tân yn llawn brwmstan yn lli
Trwy'i chanol sy'n trychioni.

Tân digofaint yn dygyfor—o hyd,
Tu hwnt i'r Gagendor,
Yn drag'wyddawl ferwawl fôr;
Llem eirias y llom oror.

Y fagddu bygddu heb wawl,—orchuddir
A chaddug drag'wyddawl;
Mwgwd du dew, mŵg di dawl,
Y cudd eigion caddugawl.

Pydew hyll y pau t'wyllaf,—tew allu
Y tywyllwch eithaf;
Tawch poeth llid noeth Naf
Yn ordoion o'r duaf.

Llyn y fall llawn o fwllwch,—echr anferth
A chronfa pob tristwch:
Myglyd drangc y maglau trŵch,
Mantellog mewn tywyllwch.

Pynau adfyd mewn poenydfan—ffyrnig,
Uffernawl gyflafan;
Mae gwlaw tost y maglau tân
Ar y dieflig rawd aflan.

Draw acw 'n fall, drychin a fydd—ynddi,
Heb hindda 'n dragywydd;
Heb dô rhag enbyd dywydd,
Na nesâd at doriad dydd.

Och elynol chwil wynias,—heb oeri,
A'i berwad yn grychias;
Croch erain mewn crych eirias,
Trwy drochion y creision cras.

Pau nychlyd heb un achles,—y *Dophet*,
Nas diffydd ei phoethwres:
Mae gwae a gwreich, mŵg a gwres,
Rhuedig trwy yr *Hades*.

*Caernarfon.* D. JONES

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

## CYMDEITHASFA MANCHESTER.

Cynnaliwyd y Gymdeithasfa hon ar yr 8, 9, 10, a'r 11 o Ebrill, ac yr oedd genym bregethu eleni mewn dau fan ychwanegol, sef Pendleton, ac Oldham. Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn llawer lluosocach nag y gwelsom hwynt erioed o'r blaen.

Y brodyr a bregethodd eleni oeddynt, y Parch. John Hughes, Pont Robert, William Roberts, Amlwch, John Hughes, Liverpool, John Pryddcrch, Môn, David Rowland, Llidiardau, Roger Edwards, Wyddgrug, Robert Hughes, Conwy, a Thomas Jones, Liverpool.

Dymunem gydnabod ein rhwymedigaethau i'r Hollalluog Ddnw am ei bresennoldeb, yr hyn a eglurhawyd yn y cynnorthwyon mawr a roddwyd yn ngwaith y weinidogaeth, trwy yr hyn y bu y pregethau yn efengylaidd, blasus, a grymus; a'i gydnabod hefyd am gynnorthwyo ein brodyr anwyl i ddyfod atom drwy lawer o anhawsderau, a'u cadw yn ei law tra buont yma.

Dangoswyd caredigrwydd mawr gan drigolion y dref, a rhodded yr Arglwydd iddynt gael trugaredd gan yr Arglwydd yn y dydd hwnw, yw gweddi yr eiddoch, yn rhwymau'r efengyl dragywyddol.

*Manchester.* W. WILLIAMS.

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ y Cyffredin,* Ebrill 29. Dug Arglwydd Morpeth drachefn Ysgrif y Llywodraeth am ddiwygiad yn newisiad Aelodau y Senedd yn y Werddon ger bron y Tŷ. Gwnaeth Arg. Howick gynnygiad am ryw gyfnewidiad o bwys yn yr Ysgrif. Ond gan fod swyddogion y Llywodraeth yn barnu y byddai y cyfnewidiad hwnw yn peri na byddo yr ysgrif yn werth ei phassio yn gyfraith, hwy a'i gwrthwynebasant ef â'u holl rym. A dadl boethlyd a fu ar yr achlysur. Ymunodd y Toriaid â chynnygiad Arg. Howick. Ac yna rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid cynnygiad Arg. Howick | 300 |
| Yn erbyn ........................ | 289 |
| Mwyrif............ | --- 11 |

Wedi hyny barnodd y Llywodraeth mai gwell oedd iddynt roi yr ysgrif i fynu; ac felly fu. Bellach wedi i'r swyddogion fethu yn eu hamcan i bassio eu Hysgrif hwy yn gyfraith, mae yn debygol y daw Arglwydd Stanley a'i Ysgrif yntau ymlaen: ond bernir yn gyffredinol na phassia hôno ddim chwaith.

Wedi i'r Swyddogion golli y dydd gyda'u cynnygiad am bassio eu Hysgrif ynghylch diwygiad ynghyfraith dewisiad Aelodau y Senedd yn y Werddon, yn lle bod Arg. Stanley yn dyfod a'i Ysgrif ef ymlaen, fe gafwyd achos arall a ddadl ryfeddol rhwng Swyddogion y Llywodraeth a'r Toriaid. Pan ddygwyd Cyfrifon y flwyddyn i'r Senedd, fe welwyd fod y Cyllid yn llai na'r draul o'r swm mawr o £2,400,000. Ac i wneud y diffyg hwn i fynu, yn lle rhoi trethi newyddion ar y wlad, bwriadodd y Swyddogion gynnyg am gael arian i mewn mewn ffordd arall, sef drwy chwanegu masnach Brydain â Gwledydd tramor. Ac i'r dyben hwnw gwnaethant gynnygiad am ostwng toll y Siwgr, y Coed, a'r Yd tramor; ac felly tynu i lawr bris yr Yd i gael bara yn rhad i'r tlodion, a phris y Siwgr yr un modd, a'r Coed hefyd.

Ond gwrthwynebodd Sandon y cynnygiad â'i holl rym; yn benaf rhag tynu toll oddiar y Siwgr, oblegid felly, eb efe, fe ddygir Siwgr o'r gwledydd Caethfasnachol i'r deyrnas hon, ac fe fydd hyny yn annogaeth i gaethfasnach i godi ei ben wedi costio cymmaint o arian i'w dynu ef i lawr.

Dechreuwyd y ddadl hon yn Nhŷ y Cyffredin, ddydd Gwener Mai 7fed. Ac fe barhawyd i ddadleu ar yr achos am wythnos gyfan. Mewn gair, nid oes agos i ddim yn myned ymlaen yn y Senedd yr wythnosau hyn ond ymryson rhwng y Toriaid a'r Whigiaid. Beth fydd diwedd hyn oll nis gwyddom. Yr achos o draul drom y flwyddyn, oedd Rhyfel yr Aiphtiaid--Rhyfel China, a'r Diwygiad dirwestol yn y Werddon yn lleihau y Cyllid, &c. &c. &c.

Parhau y mae y ddadl yn Nhy y Cyffredin hyd y dydd hwn (Mai 17.) ynghylch tynu ymaith ran o doll y siwgr. Ac wedi hyny, dysgwylir y bydd cyffelyb ddadl ynghylch toll y coed; ond yn enwedigol toll ar yr ŷd, ynghylch yr hyn y mae y deyrnas drwyddi oll yn wahanol iawn eu meddyliau. Mae trigolion y trefydd, a'r holl weithwyr drwy y wlad, yn dymuno tynu y doll oddiar yr ŷd, i'r dyben o gael bara yn rhad i'r bwytâwr, ac fe fyddai yr holl ffermwyr yn dymuno yr un peth, ond yn unig, y maent yn methu dirnad, pe felly fyddai, pa fodd y gallent dalu yr ardrethion i'r Meistriaid tir. Mae yr holl fater hwn yn sefyll ar hyn, sef, yr angenrheidrwydd am i berchenogion tiroedd ostwng yr ardrethion ar y ffermydd i'w deiliaid. Peth anhawdd iawn gan ddyn yw dyfod i lawr. Mae tuedd ynddo i ddringo; ond mae yn anewyllysgar i ymostwng. Ond fe debygid mai hyn fydd raid o'r diwedd; canys y mae y doll ar yr ŷd tramor yn peri i wledydd tramor roi toll ar eu gwahanol eiddo hwythau, ac felly yn attal cynnydd masnach. Hefyd, mae toll yr ŷd yn peri fod y bara yn rhatach o lawer mewn gwledydd

ereill, nag yn y wlad hon, ac o ganlyniad yn eu galluogi hwynt i werthu nwyfau gwneuthurawl yn rhatach na ni.

Mai 18, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,

Yn erbyn Cynnygiad y Llywodraeth 317
O'u plaid hwynt ................ 281
Mwy yn erbyn o ........ —— 36

Yna, (Mai 20,) hysbysodd Arg. J. Russell fod y Tŷ i'w ohirio hyd ddydd Llun, Mai 31, sef dros Wyliau y Sulgwyn. Ac y bydd iddo, ar y 4ydd o Mehefin, ddyfod a'r cynnygiad i mewn am dynu i lawr doll yr Ŷd. Ac y mae Deisebau o blaid ac yn erbyn yn dylifo i'r Senedd yn barhaus.

---

DAMWAIN TRWY FELLT.—Ar brydnawn dydd Sadwrn, Mai 1, dygwyddodd tymhestl ddychrynllyd o fellt a tharanau yn nghymmydogaeth y Bala. Yn ystod y dymhestl, gwnaeth un o'r mellt alanasdra mawr mewn tŷ fferm a elwir y Garnedd, yn gyfagos i'r dref uchod. Bernir iddi ddyfod i lawr i'r tŷ drwy y simdde, am ei bod wedi hollti ar un ochr, a dyfod o rai o'r cerig i lawr, ac aeth darnau o honynt i'r cig crogedig uwch ben y llawr. Holltodd un o gerig y llawr yn ddarnau—a tharawodd y forwyn i'r llawr yn ddiffrwyth, a'r ddau blentyn hefyd; ac ysgubodd un o'r ddau i bellder o'r man lle yr oedd i'r twll lludw, a briwodd ychydig ar ei glun. Tarawodd y gwas hefyd oedd ar y buarth yn ddiffrwyth, a tharawodd saith o foch, a llo, ac aeth heibio i fachgenyn oedd yn sefyll yn ymyl y llo heb effeithio dim arno. Ond y mae y rhyfeddod fwyaf yn ol—er yr hyn oll a nodwyd diangodd pawb â'i fywyd ganddo—ond aeth y fellten i'r ystabl ac a laddodd ddau goffyl!! Onid yw yr Arglwydd mawr a thrugarog i'w weled yn amlwg yn ei ddaioni, ddarfod iddo drefnu llwybr y fellten hon fel y gwnaeth, ac nas dygodd yr holl deulu o'r bron mewn moment i'r bedd. EPHA.

*Tref-Rhiwaedog.*

[Mwy dewisol o lawer fuasai i'n cyfaill roi ei enw priodol wrth yr hanesyn hwn: ac oni bai i ni dderbyn sicrwydd o'i wirionedd heblaw y llythyr hwn ni chyhoeddasem ef.]

---

## MARWOLAETHAU.

---

FY HOFFUS GYFAILL,—Gyda theimladau tra galarus y cymerwyf fy ysgrifell mewn llaw y waith hon, i hysbysu i'ch darllenwyr y newydd trwm a'n cyrhaeddodd yn ddiweddar, sef marwolaeth y Parch. Josiah Hughes, yr hyn a gymerodd le yn *Malacca*, Tachwedd 25, 1840, y diwrnod y cychwynodd ein brawd, y Parch. Thos. Jones, oddiyma ar ei Genadaeth i Fryniau Kassiah. Ni chafwyd etto unrhyw hysbysrwydd am yr amgylchiad crybwylledig, ond a gymerwyd allan o Newyddiadur a gyhoeddwyd yn Malacca, ac oddiwrth yr hanes a adroddir yno, ymddengys fod y trancedig mewn mwynhad o iechyd da ddydd Mawrth (y 24ain), pryd y ciniawodd gyda phrif athraw a berthyn i Gymdeithas Genadol Llundain, (y Parch. John Evans). Cymerwyd ef yn sâl o'r *cholera* hanner awr wedi saith yn yr hwyr; ond gan feddwl yn lled ysgafn o'r ymosodiad, esgeulusodd anfon am gymhorth meddygol tan hanner nos, pan y dwyseiddiodd yr afiechyd, ac y cyrchwyd meddyg;—ond er holl ymdrechiadau hwnw, parhaodd i wanychu, a bu farw cyn un o'r gloch!

Wrth wneud yr hysbysiad blaenorol, chwanega golygydd y Newyddiadur fel y canlyn:—'Bu Mr. Hughes yn preswylio yn ein mysg, mewn cysylltiad â Chenadaeth Cymdeithas Llundain, amryw o flynyddoedd cyn cymeryd ei ordeinio gan Esgob Calcutta; ac yn ystod ei weinidogaeth yr oedd wedi ennill parch a serchawgrwydd, nid yn unig ei blwyfolion ei hun, ond trigolion y dref yn gyffredinol. Fel prawf o'r parch a deimlid tuag ato, nid oes eisiau ond crybwyll, fod y trigolion Protestanaidd mor awyddus am iddo aros yn eu plith, ac yn ofni cymaint rhag iddo symud o Malacca ar ol ei ordeiniad yn Calcutta, fel y danfonasant Erfyniad at y Llywodraeth i'w bennodi yn *Gaplan* Malacca,—yr hyn a wnaed yn ebrwydd.'

Oedran Mr. Hughes, pan fu farw, oedd 38 mlwydd. Claddwyd ef y dydd canlynol, a chyflawnwyd y gwasanaeth gan Mr. Evans, yr hwn a ymddangosai ar yr achlysur yn dra galarus, a theimladol. Yr oedd yntau y pryd hyny, debygid, yn bur iach, ac ar ol gorphen y gwasanaeth, aeth ychydig filltiroedd i'r wlad, lle y bwriadai dreulio ychydig ddyddiau gyda gweinidog perthynol i'r Athrofa. Ond galarus yw adrodd, tarawyd ef gan yr un afiechyd ag y bu farw ei gyfaill Mr. Hughes o hono, tua dau o'r gloch y boreu Sabbath canlynol, ac y'mhen pedair awr a hanner, cyn i'r meddyg gyrhaedd ei ystafell, yr oedd ei enaid wedi dianc at Dduw yr hwn a'i rhoes!

Dyma ddau weinidog i Grist wedi cael eu tori i lawr gan angau y'nghanol eu llafur a'u defnyddioldeb ar y maes Cenadol; a phwy ni wel yn yr amgylchiad galarus hwn, alwad uchel i attolygu ar Arglwydd y cynauaf i anfon gweithwŷr i'r cynauaf, ac i lafurio yn fwy egniol o blaid y cymdeithasau sydd wedi eu sefydlu yn ein gwlad, i barotoi a danfon allan Genadau i bluth y paganiaid,—ac yn mysg ereill, 'Y Gymdeithas Genadol Gymreig.' Gwyn fyd na bai genym frawd arall *heblaw yr un sydd yn awr yn efrydu yn y Bala*, ac achos eneidiau myrddiynau China, (lle y mae drws eang eisoes wedi ei agoryd) yn gorphwys mor ddwys ar ei galon, nes peri iddo waeddi, 'Wele fi, anfonwch fi;' a hanner dwsin ereill i'w danfon i Fryniau Kassiah, Llydaw, &c.

Cymeraf y cyfleuster cyntaf, ar ol derbyn hysbysrwydd manylach o barth marwolaeth fy niweddar gyfaill, Mr. Hughes, i anfon i chwi ychydig o Gofiant am dano, i'w gyhoeddi yn y Drysorfa.—Ydwyf, &c. &c.

JOHN ROBERTS.

*Liverpool, Mai* 11, 1841.

MAI 4, yn y Wyddgrug, yn 68oed, bu farw Mr. John Jones, Cefn y gadair, masnachwr cyfrifol, ac un o flaenoriaid y Trefnyddion Calfinaidd yn nhref y Wyddgrug, a thad Mr. Thomas Jones, (*Glan Alun*) Gwrecsam. Yr oedd ef yn gwaethygu o ran ei iechyd er ys llawer o fisoedd, ond yr oedd yn gallu myned oddiamgylch hyd o fewn pythefnos i'w farwolaeth, pan yr aeth i'w wely, nid i gyfodi mwyach. Gadawodd fab a merch i alaru ar ei ol. Claddwyd ei ran farwol dydd Llun, Mai 10fed, pan yr oedd ceraint, cyfeillion, a brodyr lawer, wedi dyfod ynghyd i dalu eu teyrnged olaf o barch iddo. Ar yr achlysur, cyfarfyddwyd yn y Capel, lle y dechreuodd Mr. John Davies, Nerquis, trwy ddarllen a gweddïo, ac y traddodwyd Araeth Angladdol gan Mr. Owen Jones, Wyddgrug; a Mr. Thomas Owen, o Wern y mynydd, gerllaw y Wyddgrug, wedi dyweyd ychydig eiriau, a ddybenodd trwy weddi. Oddiyno awd i eglwysdŷ y plwyf, a gadawyd y corph yn mynwent y Wyddgrug i orphwys mewn gobaith Y nos Sabbath ganlynol, traddodwyd Pregeth Angladdol gan Mr. Roger Edwards, oddiar 1 Cor. 15. 26. 'Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angeu.'

Er mwyn rhoddi darluniad o'r brawd ffyddlawn hwn a fu farw, nid annhriodol a fyddai rhoddi rhai dyfynion o'r Araeth a'r Bregeth ddywededig. Mr. O. Jones a ddywedodd, 'Mae yr Apostol mewn man yn rhoi siars bendant i'r Cristionogion, gan ddywedyd, 'Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw; ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt.' Yr oedd ein hanwyl frawd, Mr. Jones, yr hwn y daethom ynghyd heddyw i hebrwng ei ran farwol tua thŷ ei hir gartref, yn un o'n blaenoriaid ni; ac ar amryw olygiadau, y blaenaf yn ein plith ydoedd; ac y mae yma gannoedd yn ein heglwys yn dystion o'i glywed lawer gwaith, â difrifoldeb dwys a dagrau, yn traethu gair Duw iddynt; ac er nad oedd ef yn feddiannol ar ryw hyawdledd ymadrodd fel llawer, etto yr oedd ei ddifrifoldeb gwastadol, ei onestrwydd neillduol, a'r golygiadau gwreiddiol a hynod o brofiadol, ac iachusol a feddai ar Air yr Arglwydd, yn gymhwysderau nid distadl ynddo i draethu Gair Duw fel henuriad eglwysig i ni. Ond yr oeddwn yn meddwl pe buasid yn gofyn i mi dynu nodweddiad ein brawd ymadawedig mewn ychydig eiriau, nas gallaswn wneud yn well nag yn y geiriau hyny a ddywedai Nehemiah am Hananiah, tywysog y palas yn Jerusalem, 'Yr oedd ef yn wr ffyddlawn ac yn ofni Duw yn fwy na llawer.' Dyma y prif gymhwysderau hanfodol i wneud dyn yn Gristion da, ac yn swyddog eglwysig defnyddiol; ac yr oedd ein brawd ymadawedig yn feddiannol ar y rhagoriaethau enwedig i raddau helaeth iawn. Yr oedd ei dŷ, ei law, ei amser, a'i galon, a'r oll ydoedd ac a feddai, yn gyssegredig mewn ffyddlondeb at waith yr Arglwydd.'

Mr. Roger Edwards yn ei Bregeth a adroddai, 'Cafodd ein brawd Mr. Jones, argraffiadau crefyddol ar ei feddyliau pan yn ieuanc iawn, a'r rhai hyny nis gadawsant ef, ond eu heffeithiau a welid arno trwy ei oes. Aeth yn wr ieuanc i brif-ddinas Llundain, lle yr arosodd am flyneddoedd; ac yno cafodd ei gadw rhag nesâu at wagddifyrau a gorwageddau y byd, ac i feithrin parch at foddion gras. Wedi dychwelyd oddiyno, a phriodi, ac ymsefydlu yn y dref hon, ufuddhaodd o'r diwedd i'r cymhelliadau oedd yn dilyn ei feddwl, ac efe a'i briod, yr hwn a'i rhagflaenodd flyneddoedd i'r nefoedd, a fwriasant eu coelbren ar yr un amser yn mysg pobl Dduw. Yr oedd ei grefyddgarwch yn ymddangos fwy-fwy o hyd; er nad oedd ar ddechreuad, mwy nag ar hyd, ei oes grefyddol yn gwneud rhyw sŵn a thrwst mawr gyda chrefydd, yr oedd yn hawdd i bob llygad syml weled ei fod yn ofni yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw ef. Yn mhen amser cafodd ei alw i fod yn un o flaenoriaid yr achos yn y lle hwn; ac yr oedd y dewisiad yn ddiedifarus gan yr eglwys; cafwyd yn Mr. Jones oruchwyliwr ffyddlawn; yr hyn a allodd a wnaeth. Yr oedd yn ofalus iawn am yr achos yn ei holl amgylchiadau, ac efe yn benaf, ac yn mron yn gwbl oedd yn golygu ei bethau arianol; a'i ysgrif-lyfrau ar ei ol a dystiant mai swyddwr parod, gonest, a threfnus ydoedd. Yr oedd yn awyddus i wneuthur a allai gyda phob achos da: gyda yr Ysgol Sabbathol, Cymdeithas y Biblau, &c. yr oedd ef yn weithiwr da.

Fel dyn, fel Cristion, ac fel swyddog eglwysig, ni wyddai ein brawd ddim am rodres; yr oedd yn ymddangos y peth oedd, heb ddim plygion o'i gwmpas. Yr oedd yn wastad yn rhoddi crefydd mewn lle *simple* iawn; ei ddarluniad o honi ydoedd, Enaid yn pwyso ar dystiolaeth Duw am ei Fab; a ffydd ynddo yn gweithio ufudd-dod iddo. Yr oedd yn wyliadwrus iawn rhag myned ar ol dychymygion, a rhoddi gormod o raff i deimladau. Aml y rhoddai i ni ocheliadau yn y gymdeithas eglwysig rhag hyn, a chyfeiriai ni yn fynych at yr hyn a ddywedid yn y Gair am 'Dduw a'i drefn,' yr hyn oedd yn hoff-ymadrodd ganddo. Yr oedd ei grefydd ef yn ymddangos, nid yn gymaint yn ei ddesgrifiadau o honi ar eiriau: ni wnai hyny ond yn anfynych ac yn fyr iawn,—ond yn ei ffrwythau; pryder am ogoniant Duw, parch i'w Air a'i ordinhadau, cyflawniad cydwybodol o bob dyled-

swydd, ac ymogeliad gofalus rhag pob rhith drygioni. Yr oedd yn un dysglaer mewn crefydd deuluaidd; yr oedd ei dŷ yn dŷ gweddi; ac ni wnai dim beri iddo roddi addoliad Duw o'r neilldu. Dywedir am Ioan Fedyddiwr, 'Pawb oll a gyfrifent Ioan mai prophwyd yn ddiau ydoedd,' Ac y mae yn ddilys genyf y gallaf finnau ddywedyd am ein cyfaill a hunodd, Pawb oedd yn ein adwaen a gyfrifent mai Cristion yn ddiau ydoedd. Mae yn wir nad ydoedd yn rhydd oddiwrth gamgymeriadau ac anmherffeithrwydd y fuchedd hon. 'Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro Od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith yw hwnw.' Byddai ei *blaindra* a'i onestrwydd yn ei arwain weithiau i eithafion, i ddweyd ei feddwl yn rhy fyrbwyll ar unwaith. Ond hawdd iawn fyddai maddeu iddo ef; oherwydd byddai yn bur amlwg fod ei ddyben yn gywir. Ei weithrediadau a oddefent archwiliad iddynt, oblegid yr oedd efe fel Jacob yn wr dysyml.

Yr oedd yn hawdd gweled er ys cryn amser yn ol, fod ein brawd yn addfedu i fyned adref; yr oedd ei brofiadau, ei weddiau, a'i ymddygiadau yn dangos i ni nad ydoedd yn mhell oddiwrth ogoniant. Er llygru y dyn oddiallan, y dyn oddimewn a adnewyddid o ddydd i ddydd. Ychydig o amser cyn iddo fyned i'w wely i beidio codi o hono, dywedodd wrthyf mewn ymddyddan, 'Ni wn yn iawn beth a ddaw o honof gyda'r cystudd yma; ai gwella ai marw a wnaf.' Wel, meddwn innau, beth bynag a ddaw o'r cystudd hwn, mae yn dda i chwi mai nid yrwan y mae i chwi ddechreu ymofyn am grefydd. 'O nage,' meddai, 'yr wyf yn meddwl fy mod wedi rhoi fy hunan i Grist er ys blyneddoedd bellach; ac nid oes genyf yn awr ond pwyso ar y dystiolaeth am dano; mae yn dda genyf am y gorchymynion hefyd, er fy mod yn methu eu cadw wrth fy modd; ond ar y dystiolaeth am Dduw a'i drefn y mae pwys fy enaid.' Mae yma amryw yn cofio y seiat ar fore Sabbath yn ddiweddar, pan y proffesodd broffes dda fod y sylfaen safadwy ganddo. 'Bum yn ofni llawer,' meddai, 'ond gallaf ddyweyd heddyw fod y sylfaen a ddeil yr ystorm o dan fy enaid.' Ac yn ei gystudd, ychydig cyn ei farw, dywedodd wrth gyfaill, 'Y mae y Graig yn ddiysgog.' Bu farw ein brawd yn debyg fel y bu byw: nid oedd yn teimlo dim rhyw orlonder grymus ar un llaw, nac yn teimlo dim arswyd nac ymollyngdra ar y llaw arall; diwedd y gwr uniawn hwn oedd tangnefedd. Yr oedd ei boen gorphorol yn gref, ond yr oedd ei amynedd yn gryfach; ni chlybuwyd ef yn grwgnach dim yn ei gystudd; yr oedd yn amlwg ddigon fod tangnefedd Duw, yr hwn sydd uwchlaw pob deall, yn cadw ei feddwl a'i galon rhag terfysgu yn ngrym y dŵr. Meddyliwn am dano, dilynwn ei ffydd, ac ystyriwn ddiwedd ei ymarweddiad.'

Mai 4ydd, bu farw Mary Evans, Hafod, Llangwyllog, yn 76 oed. Yr oedd yn aelod ffyddlawn a pharchus gyda'r Trefnyddion Calfinaidd er's llawer o flynyddoedd. Cafodd gystudd maith a thrwm; ond dyoddefodd y cwbl yn amyneddgar dros ben, ni chanfyddwyd ynddi duedd i rwgnach yn ei holl gystudd: 'Ymostyngodd dan alluog law Duw,' Ymadawodd mewn tangnefedd, a'i hysbryd mewn hwyl nefolaidd.

THOMAS CHARLES.

*Trewalchmai.*

Yn Ngwrecsam, y 14eg o Fai, 1841, yn 26 oed, bu farw Mr. John Lindop, pregethwr ffyddlon a llafurus, gyda'r Trefnyddion Calfinaidd. Yr ydoedd ei lafur gweinidogaethol yn benaf yn mhlith y Saeson, yn Ngoror Clawdd Offa. Fe deimlir hiraeth a galar dwys ar ei ol gan ei berthynasau a'i gyfeillion, a cholled drom am dano, yn y manau y byddai yn arfer a phregethu ynddynt. Y Sabbath diweddaf cyn ei farwolaeth, efe a ddywedodd, yn nghlywedigaeth ysgrifenydd yr hanes hwn, ac un o henuriaid yr Eglwys Galfinaidd y'Ngwrecsam, fod y geiriau canlynol, sef, 'Hwn a osododd Duw yn Iawn,' wedi dyfod i'w feddwl gyda goleu a nerth *anarferol*. A dywedodd iddo ddarllen y geiriau lawer gwaith o'r blaen, ond na phrofodd erioed y fath beth ag a brofodd ynddynt y tro hwn. Ac fel un wedi ei orlenwi â syndod ac â rhyfeddod, ac yn canfod yn y geiriau obaith bywyd tragywyddol, efe a'u *hail* adroddodd yn y dull mwyaf *deffrous* ac *effeithiol*, gan ddywedyd '*Hwn a osododd Duw yn Iawn*.' Yr ydoedd yn hawdd canfod fod y dystiolaeth hon o Air Duw, fel creigiau cedyrn, yn cynnal ei enaid, rhag suddo mewn anobaith tragywyddol.

Yr oeddwn i, a'm cyfaill Mr. Edwards, yn llawenhau yn ddirfawr, wrth weled ein brawd trengedig, ar finion tragywyddoldeb, yn canfod yn y geiriau a goffawyd, drefn gadarn, gyfiawn, a gogoneddus i beidio damnio yr euog.

Y mae yn dda genyf gael y cyfleustra i hysbysu, ei fod yn un o'r dirwestwyr mwyaf selog ag a roddwyd erioed mewn bedd; ac yn un oedd yn meddu hyawdledd rhagorol i bleidio yr egwyddorion Dirwestaidd. Er fod Dirwest yn lled isel yn y dref lle yr ydoedd yn byw, etto efe a barhaodd yn ffyddlawn a dewr gyda'r achos, ac a fu fel canwyll yn llosgi mewn lle tywyll.

Ar yr 17eg o Fai, fe hebryngwyd ei weddillion marwol, gan dorf luosog iawn, ac a'u rhoddwyd i orwedd yn mhriddellau mynwent Gwrecsam, hyd y dydd y bydd llef yr Archangel, ac udgorn Duw, yn treiddio i grombil y beddau, ac i waelodion y moroedd.

EDWARD FRANCIS.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXVII.] GORPHENAF, 1841. [LLYFR XI.

## Y BOD O DDUW.

LLAWER yn ddiau sydd wedi cael ei ddweud a'i ysgrifenu mewn perthynas i wirionedd safadwy a diysgog y pwnc y dymunwyf y tro hwn wneuthur rhai sylwadau yn ei gylch; ond y mae o'r fath ddirfawr bwys a chanlyniad fel y dylid, drachefn a thrachefn, ymdrin âg ef, a'i wneuthur yn destyn myfyrdod dyfnddwys a gwastadawl y meddwl. Nid oes un ran o grefydd yn mha un y dylem fod yn fwy cadarn a diysgog na'r athrawiaeth am y *Bód o Dduw;* canys dyma ydyw unig sylfaen ddigryn crefydd ac addoliad ysbrydol; "Oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef." Heb. 11. 6.

Os nad oes Duw yn bod nid yw crefydd ond cyfundraeth o dwyll a chyfeiliornadau. Nid oes nemawr wahaniaeth beth a gredir, beth a ddywedir, na pha beth a wnelir, os nad oes Duw yn bod, i'r hwn yr ydym yn gyfrifol, a cher bron yr hwn y mae yn rhaid i ni ymddangos, er derbyn yn ol ein cyfiawn haeddiant. "Bwytawn ac yfwn; canys y foru marw yr ydym;" yna y bydd diwedd arnom.

Ond, Ah! pa beth ydyw yr athrawiaeth beryglus a dinystriawl hon? Ni cheid lle iddi i roi gwadn ei throed i lawr, na modd iddi i sugno ei hanadl gwenwynig ac atheistaidd byth, pe na chofleidid ac yr anwylid hi gan y dyn, "yr hwn nad yw Duw yn ei holl feddyliau."

Mae yn bwnc ag sydd heb ei benderfynu pa un a ddichon fod atheist gwirioneddol a gwreiddiol ai peidio. Mae yn wir fod llawer mor wallgofus a rhyfygus fel y dymunant na byddai yr un Duw, fel y proffesant ac yr haerant; ond ar yr un pryd, tra annhebyg ydyw fod yr un o'r rhai hyn yn credu yn ddiysgog ac yn barhaus yr hyn a wrthbrofir mor amlwg gan ddeddf natur, ac ysgogiadau cyhuddawl eu cydwybodau eu hunain. Ac yn wir, y mae y dyn a ddywed ei fod yn credu yn ddilys nad oes yr un Duw yn bod, wedi ymdroi ac ymsuddo i dywyllwch mor ddygn a chaddugawl, ac wedi cyrhaedd yn raddol i dir caledwch mor farnol, ac mor erchyll a rhyfygus, fel y mae wedi pechu ymaith hyd yn nod ei ddeall a'i reswm ei hun, ac wedi dyfod y mwyaf ynfyd a gwallgof o bawb oll. "Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw," Ps. 14. 1.

Ond yn bresennol dygaf ger bron rai o lawer o'r profion a ddyrysant haeriadau cyfeiliornus anffyddwyr, ac a gadarnhant athrawiaeth fawr y Bod o Dduw.

I. Cyfaddefir yn gyffredinol fod Duw, neu arddelir rhywbeth yn Dduw, gan holl ddynolryw yn mhob cenedlaeth, ac yn mhob parth o'r byd; ac nid yw yn rhesymol credu y buasai y farn byth yn cyrhaedd y fath gyffredinolrwydd pe na buasai yn wirionedd safadwy. Dyma oedd barn a golygiadau y philosophyddion paganaidd yn yr oesoedd a aethant heibio, yn gystal a chofleidwyr Gristionogaeth yn ein dyddiau ni. Nid yn unig yr oeddent hwy yn cyfaddef hyn yn beth possibl, ond yn ei brofi yn wirionedd anwadadwy. Dywed Aristotle fod gan bawb ryw ymsyniad am Dduw, a bod y rhai sydd yn ammeu nad oes Duw i'w addoli, a rhïeni i'w caru, yn haeddu eu cospi yn hytrach na dadleu â hwynt. Cicero hefyd a ddywed nad oes yr un genedl mor greulawn, gwyllt, a barbaraidd fel nad ydyw yn coledd y gred am Dduw. Mae'n wir fod llawer mewn anwybodaeth am y Duw a ddylent addoli, etto nid ydynt mor anwybodus fel y barnant nad oes yr un Duw.

Seneca hefyd sydd yn ymresymu yn yr un dull, ac yn defnyddio ymron yr un geiriau. Plutarch, y Groegwr, yr enwog fuchdraethodwr (*biographer)* sydd yn defnyddio yr ymadroddion hynod a ganlyn, "Pe yr elech drwy yr holl ddaear gallech weled dinasoedd heb furiau, heb freninoedd, heb chwareudai, heb athrofäau, heb ddysgeidiaeth, ond ni welodd neb erioed yr un ddinas heb demlau, ac heb dduwiau, lle y defnyddir gweddïau, llwon, oraclau, ac aberthau, er symud ymaith ddrwg, a chyrhaedd y da." Mae yn wir yr haerir gan rai fod cenedloedd, neu lwythau, wedi eu cael allan yn Affrica ac America heb ganddynt yr un meddwl na dychymmyg am Dduw, ond nid haeriadau a brofant wirionedd unrhyw bwnc, ond ffeithiau a phrofion.

Mae teithwyr a chenadon yr efengyl hefyd yn llwyr brofi i'r gwrthwyneb. Ni thywynodd haul erioed ar lwyth na chenedl heb fod ganddynt ryw wybodaeth, neu feddwl, am Fod uwchlaw pawb a phobpeth, a chanddo hawl i'w parch a'u haddoliad. Os oes gan blant dynion eu hamrywiol dduwiau, a'u gwahanol dduwiau, ïe, fel yr addolant ymron bob peth fel Duw, nid ydyw hyn oll ond tystiolaeth gadarn a chywir yn sicrhau fod un gwir a bywiol Dduw yn bod. Pa wrthddrych sydd i'w addoli sydd mewn ambeuaeth gan ddynion, ac nid a oes gwrthddrych y dylid ei addoli ai peidio. Yn awr, os nad oes Duw yn bod, pa fodd, attolwg, y mae pawb, yn mhob oes, ac yn mhob cwr o'r ddaear, ond rhyw ychydig o atheistiaid ffiaidd a drygionus wedi syrthio i'r un cyfeiliornad? Y mae'n amlwg nad oedd trigolion y byd yn gwybod am feddyliau a thraddodiadau yr oll o'u cyd-ddynion; ac yn wir ni wyddai llawer, hyd yn ddiweddar, fod dynion mewn bod heblaw hwy eu hunain: ac os nad oes Duw yn bod, pa fodd yr oedd yn bossibl i bob llwyth, ac iaith, a chenedl, a phobl, mewn eithaf dyeithrwch ac anwybodaeth hollol o feddyliau ac ymarferiadau, ac hyd yn nod o fodolaeth eu gilydd, droi i'r un llwybr gwyrgam ac anwireddus? Hyn oedd nid yn unig yn annhebygol ond yn eithaf ammhossibl.

II. Fod Duw yn bod sydd dra amlwg hefyd oddiwrth ddeddf a goleuni natur, a llais cydwybod pob dyn. Mae y farn hon yn egwyddor wreiddiol, ac yn reddf dufewnol ac hyffredinol yn mhawb. Nid rhyw goel a ffurfiwyd yn nychymyg a meddwl dyn, trwy ryw foddion, yn ystod ei oes yn y byd ydyw, ond y mae yn gymmysgedig â natur, ac yn un â chyfansoddiad pawb yn dyfod i'r byd. Dyn ar y cyntaf a grewyd ar ddelw Duw; ac yr oedd gwybodaeth o Dduw ei wneuthurwr yn un o berffeithiau y ddelw hon, ac er ei fod dan y cwymp yn garcharor tyn yn nghadwynau dyrysedig tywyllwch ac anwybodaeth, etto nid ydyw pob gwreichionen, neu bob llewyrch, o'i wybodaeth ddechreuol am Dduw, a pbob gradd o'i ystyriaeth o'i rwymau i Dduw, wedi ei llwyr ddiffodd yn ei feddwl. Mae y grediniaeth am Dduw fel tân wedi ei anhuddo tan ludw y cwymp; a phan gynhyrfer y tân mae yn fuan yn dechreu gwreichioni. Hyn a brofir yn y modd mwyaf amlwg yn ngeiriau yr apostol, Rhuf. 2. 14, 15. "Canys pan yw y cenedloedd, y rhai nid yw y ddeddf ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain. Y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi." Y cenedloedd, y rhai nad oedd y ddeddf ganddynt yn ysgrifenedig, neu yn argraffedig, fel ag yr oedd gan yr Iuddewon, ac fel y mae genym ni, oeddynt ddeddf iddynt eu hunain, gan fod deddf natur, yr hon a ysgrifenwyd, neu a blanwyd, gan Dduw yn y dyn cyntaf, byth o ran ei sylwedd, i ryw raddau, yn aros yn eu calonau hwy, a'u bod yn cael eu dylanwadu, a'u tueddu, gan y gweddillion hyny o'r ddeddf i wneuthur y pethau, sef y dyledswyddau, oeddent yn cael eu gorchymyn gan y ddeddf; eu cydwybodau hefyd, a'u meddyliau, neu eu hymresymiadau, ar yr un pryd, megys yn passio barn o gondemniad, neu o gymmeradwyaeth, ar y gweithredoedd a gyflawnent. Y mae hyn yn amlwg ddangos fod credu yn y Bod o Dduw yn naturiol i ddyn er maint ei dywyllwch a'i anwybodaeth, gan fod deddf ei natur, a goleuni ei gydwybod, yn dwyn y fath dystiolaethau cedyrn am wirionedd y grediniaeth.

Rhaglaw y nefoedd yn y llys isod yn y meddwl yw cydwybod—swyddog Duw ydyw, ag sydd yn trin ei achosion yn mynwes pob dyn. Pe na buasai genym yr Ysgrythyrau sanctaidd fel datguddiad ysgrifenedig o Dduw, etto, buasai genym dystion rhy gryfion i'w gwrthwynebu, sef cydwybod a goleuni

natur, yn dangos ei fod. Os gofynir pa fodd y daeth y farn fod Duw yn bod mor gyffredinol yn meddyliau pawb o holl genedloedd y ddaear yn ddiwahaniaeth. Mae gan yr anffyddiwr, neu yr atheist, yr atebion canlynol i'r gofyniad, ac yn wir y mae y lluosowgrwydd hyn o atebion yn dangos na ŵyr efe ei hun, ac onidê buasai un yn ddigon.

1. *Trwy draddodiad*, medd efe. Wel, os trwy draddodiad rhaid ein bod ni wedi derbyn y traddodiad hwn gan ein hynach, sef ein tadau neu ein teidiau; a rhaid oedd iddynt hwythau eu derbyn gan eu hynach, a'r rhai hyny gan eu hynach drachefn, ac fel hyn yr ydym o angenrheidrwydd yn dyfod at y cyntaf yn rhywle. Ac yn awr gofynir o ba le y derbyniodd ef y fath draddodiad? Ac yn mhellach, os trwy draddodiad, ai dyma yr unig draddodiad? Pa le y mae y lleill oll? Pa fodd y daeth hwn yn unig i anfarwoli ei hun yn y fath fodd, pan y mae y lleill wedi eu claddu yn medd angof? Nis gellir nodi allan ond un traddodiad ag sydd wedi cyrhaedd gradd helaeth o gyffredinolrwydd yn mhlith y gwahanol lwythau o ddynion, hyny yw, aberthu; a hyn sy'n cadarnhau, i'r graddau uchaf, y pwnc dan ystyriaeth; canys os byddys yn aberthu i Dduw, addefir drwy hyny fod Duw.

2. Nid ydyw y farn am y Bod o Dduw ond twyll a chelwydd a luniwyd gan ryw ddynion mewn awdurdod, megys breninoedd, tywysogion, a phenaethiaid, er cadw eu hisradd, neu y rhai oedd dan eu hawdurdod, mewn braw, a dychryn; ac o ganlyniad i ymostwng yn fwy llwyr a gwirfoddawl i'w trefn a'u rheolaeth. Os celwydd gwirfoddawl a ffurfiwyd er twyllo dynion ydyw, rhaid iddo gael ei lunio gan un, neu gan ychwaneg, yn y dirgel neu yn y cyhoedd. Os gan un, pwy oedd yr un hwnw? beth oedd ei enw? ac yn mha le yr oedd yn preswylio? Pa fodd, atolwg, nad oes y sôn lleiaf am ddyn a ddyfeisiodd y fath grediniaeth dwyllodrus ar ddalenau hanesyddiaeth? Os gan ychwaneg nag un, pa fodd yr oedd yn bossibl cadw y ddyfais yn ddirgel? Pa fodd na ddaethai rhyw un, neu ryw rai, ryw fodd, ar ryw bryd, o hyd i'r ddichell? Os yn ddirgel y dyfeisiwyd ac y dychymygwyd y fath goel, ac na ddaeth erioed i'r amlwg, pa fodd y gall yr anffyddiwr roddi hanes i ni am yr hyn na ŵyr ddim am dano, sef peth na chafodd erioed ei amlygu? Ai dychymygu a wnaeth? Nid ffaith yw dychymyg. Ai cymmeryd hyn yn ganiataol a wnaeth? Fel hyn nid oes rhith o rym yn ei ymresymiad. A freuddwydiodd efe y fath beth? Wel, os felly deffroed, agored ei lygaid, a chaiff weled yn fuan mai breuddwyd yw. Os dichell a luniwyd yn gyhoeddus ydyw credu fod Duw, pa fodd y credwyd twyll mor gyhoedd? pa fodd y daeth celwydd mor amlwg i gael coel mor ddiysgog, ac i gael ei dderbyn mor gyffredinol fel gwirionedd sier a safadwy?

3. Nid yw y farn am y Bod o Dduw ond rhyw goel wag a ffurfiwyd yn meddwl dyn dan effaith a dylanwad ofn. Wel, bwriwn olwg am fynyd ar yr wrthddadl hon etto. Ni luniwyd dyn ar y cyntaf yn bechadurus, gan hyny uwchlaw bod yn ofnus. Ei lunio mewn pechod a fuasai yn groes i sancteiddrwydd Duw; ei lunio mewn ofn a fuasai yn groes i ddaioni Duw. Nid ofn ydyw yr achos y credir fod Duw; ond credu fod Duw ydyw yr achos o ofn: yr hyn sydd yn dangos mai dyryswch yr atheist yn y fan yma ydyw, gwneud yr achos yn effaith, a'r effaith yn achos. Rhaid fod gwrthddrych ofn yn ngolwg y meddwl, cyn y gall ofn weithredu yn y meddwl; a golwg ar y gwrthddrych sydd yn creu y teimlad o ofn: gan hyny nid oedd modd yn y dechreu i ofni fod Duw yn bod heb gredu yn gyntaf ei fod yn bod. Rhaid i'r dyn cyntaf a ofnodd fod Duw gredu yn gyntaf ei fod, ac onide paham yr ofnodd yr hyn ni chredodd ynddo, ac ni feddyliodd am dano? Os gofynir i'r anffyddiwr, a ydyw yn ofni Duw, dywed nad ydyw: a'r achos o hyn ydyw (medd efe) am nad ydyw yn credu fod Duw. Wel, yn awr rhaid iddo ef ei hun gyfaddef fod credu yn y Bod o Dduw, o angenrheidrwydd, yn rhwym o flaenori ofn ei fod. O! mor wan yw ei resymau, ac mor ddiddim a disail yw ei gyfundraeth, pan y dilyner hi i'w gwreiddyn a'i gwaelod.

III. Profir y Bod o Duw yn y modd cadarnaf oddiwrth waith y greadigaeth. Ffrydiau a ddangosant ffynon; effaith a brawf fod achos; ac adeiladaeth sydd yn tystio fod adeiladydd, "Canys pob tŷ a adeiledir gan ryw un, ond yr hwn a adeiladodd bob peth yw Duw," Heb. 3. 4. Edryched plant anffyddiaeth ar rywadeilad gywrain a gorwech, megys teml Solomon yn Jerusalem, neu deml Belus yn Babilon, neu Eglwys Gadeiriol St. Paul yn Llundain, ac ymdrechent i ffurfio y fath ddarbwylliad fod yr holl

elfenau, y meini, y coed, yr haiarn, y pres, yr arian, a'r aur, wedi rhyw ddygwyddawl daflu eu hunain i'r fath berffaith drefn a chydgordiad, heb erioed i law ddoeth a medrusawl celfyddiaeth gyffwrdd dim â hwy. A allant hwy wneuthur casgliad mor annaturiol a hyn? a allant hwy ffurfio yn eu meddyliau, ïe, yn eu meddyliau eu hunain, sydd wedi ymddallu mewn annuwiaeth, farn mor ffol ac ynfyd a hon? Ow! Ow! ni byddai hyn ond pentyru ynfydrwydd a sothach, ïe, yn wir, gormod trais a gwastraff fyddai hyd yn nod ar ryfyg ac anwybodaeth. "Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod." Rhuf. 1. 20. Mae y greadigaeth yn ddrych mor ddysglaer, ac mor loyw, fel pe na bai yr anffyddiwr yn cau ei lygaid yn wirfoddawl y gwelai Fod a pherffeithiau Duw yn mhob peth. Mae pob creadur o'r cawrfil mawr yn eithaf y goedwig, hyd y pryfyn lleiaf a mwyaf diddim dan ein traed, yn cyhoeddi Duwdod, gallu, a gogoniant eu Gwneuthurwr doeth a daionus. Y nefoedd, y ddaear, a'r môr, ydynt genadau y Duwdod. Mae eu llais mor groch, eu goleu mor ddysglaer, eu cydgordiad mor berffaith, a'u hardderchawgrwydd mor ogoneddus a mawryddig, fel y mae lluoedd lawer o genedloedd y ddaear, yn nhywyllwch caddugawl paganiaeth, wedi eu dwyfoli, neu eu cymmeryd yn lle Duw. Y maent wedi cymmeryd y gwas yn lle ei arglwydd; neu y tyst yn lle y barnwr. Gellir mor hawdd wadu fod haul, pan ydym yn gweled ei harddawl belydrau yn gwisgo y byd â gogoniant ac â harddwch, a gwadu fod Duw pan yr ydym yn canfod ei weithredoedd mor gyhoedd ac mor amlwg yn mhob man ac yn mhob peth. Nid oes dim y gall y meddwl syniad am dano, y llygaid edrych arno, a'r llaw ymaflyd ynddo, trwy y greadigaeth faith i gyd, nad ydyw yn brawf o'r Bod o Dduw. Os edrychwn i'r nefoedd uwch ben, y mae fel rhyw wasgarfa fawr o fydoedd dirif a difesur. Os edrychwn etto i'r byd isod, y bellen ddaearol hon, sydd yn grogedig ar ddiddim yn y gwagle dirfawr, yn tafolu gan ei phwys ei hun, ag sydd yn drigfa pob rhyw a phob math o greaduriaid a thrysorau. Ac os trown ein golwg drachefn ar y weilgi, neu y dyfnfor mawr, yn berwi ac yn ymchwyddo ei donau gorwyllt, yn ymdreiglo ar ei wely eang, ac yn chwyrndaflu ei fynyddoedd dyfrllyd, etto, trwy oesau y byd, yn aros o fewn i'w derfynau gosodedig. Onid ydyw hyn oll yn brawf cadarn a goleu o ryw Fod ag sydd o anfeidrol ddoethineb, gallu, mawredd, gogoniant, a daioni? Nid oes dim ag sydd yn fwy gwageddawl a gwallgofus na dyweyd fod y greadigaeth er tragywyddoldeb. Rhaid fod i bob effaith ei achos, a'r achos hwnw uwchlaw yr effaith.

1. Nis gall corph o sylwedd anfywydawl (*matter*) fodoli heb ffurf a threfn, ac nid ydyw yn bossibl iddo dderbyn yr unrhyw ddull, neu agwedd, ond trwy weithrediad achos; gan hyny, gan fod y greadigaeth mewn bod, a hyny mewn dull arbenig, rhaid fod achos wedi bod mewn gweithrediad i'w dwyn i fod, ac i fodoli fel y mae, yr hyn nis gall fod ond Duw.

2. Os ar ryw ddamwain y daeth y greadigaeth i fod, yna damwain a'i gwnaeth o ddim, ac felly a'i creodd: gan hyny damwain sydd Greawdwr, yr hyn sydd eithafion ynfydrwydd i feddwl am dano. Hefyd, os damwain a ddygodd bob peth o ddim i fod, geill damwain etto yru pob peth o fod i ddim. Hwyrach y gwna damwain ddifodoli y byd cyn gwawr y foru, a rhoddi bod i fyrdd o fydoedd yn ei le. Ac fel hyn, pwy a ŵyr beth a wna damwain, neu yn wir beth na wna, canys y mae yr un gallu ac awdurdod gan ddamwain yn awr ag oedd erioed.

3. Nis gallodd y greadigaeth roddi bod iddi ei hun. Meddylier am ddyn, "uchder llwch y byd," gogoniant y byd isod, a oedd yn bossibl iddo ef i achosi ei ddechreuad! Beth oedd dyn cyn iddo gael ei fod? Dim. Wel, a allasai dim achosi bodoliaeth? Os rhoddodd fod iddo ei hun rhaid iddo weithredu cyn iddo fodoli. Modd hyn yr oedd dyn yn ddim, ac etto mewn bod, ar yr un amser. Och! y fath gruglwyth o dwyll a chelwydd ydyw annuwiaeth.

4. Os oedd gan ddyn allu i roddi bod iddo ei hun ryw fodd, rhaid fod ganddo yr un gallu i ffurfio ei fodolaeth y modd y mynai. Os oedd yn achos iddo ei hun, yna yr oedd yn arglwydd arno ei hun. Yn awr gofynwyf, Paham na wnaeth efe ei hun uwchlaw cyrraedd gofid, a blinder, a phoen? Drachefn, os oedd ganddo allu i roddi bod iddo ei hun, onid oedd ganddo yr un gallu i roddi bod i bob peth islaw iddo ei hun? a pha fodd nas gall efe yn awr roddi bod

i'r pryfyn mwyaf diddim? Peth arall, os gallodd roddi bod iddo ei hun, pam nas gallodd gynnal, neu gadw, y bod hwn byth yn ei feddiant ei hun? Pa fodd y mae mor anffodus a marw, a disgyn i ororau oerion y bedd? Digon i roddi terfyn ar y ddadl yw hyn, "Gwybyddwch mai yr Arglwydd sydd Dduw, efe a'n gwnaeth ac nid ni ein hunain, ei bobl ef ydym, a defaid ei borfa." Ps. 100. 3.

IV. Y Bod o Dduw a brofir yn mhellach oddiwrth ffordd Rhagluniaeth, neu y drefn a'r llywodraeth sydd ar y byd. Pwy a all wrando ar hyfryd dôn y delyn, neu felus lais unrhyw offeryn cerdd, heb ar yr un pryd feddwl am fedrusrwydd y llaw a'i lluniodd, a chywrain wybodaeth yr hwn sydd yn eu chwareu? A phwy a all edrych ar oruchwyliaethau, a throion, a threfniadau y byd, heb feddwl am yr hwn sydd "â'i orseddfa yn y nefoedd, a'i freniniaeth yn llywodraethu ar bob peth." Ps. 103. 19. "Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth." Ps. 19. 2. Pa fodd na bai'r nos yn ein gorchuddio pan yn mwynhau goleuni canol dydd? neu paham na byddai y dydd yn gwawrio yn nyfnder tywyllwch canol nos? Mae hyny yn ymddibynu ar ddyddiawl drogylch yr haul, medd yr anffyddiwr. Wel, atebed yn mhellach, pa fodd nad yw yr haul byth yn troseddu ei ddeddf, ac nad ydyw byth yn newid trefn ei ysgogiad? Gwn y dywedir fod ysgogiad neillduol a naturiol yn mhob bod fel y mae yn ymddibynu ar, ac yn cael ei ddylanwadu gan fod neu fodau ereill. Yn awr, tyred gyda mi, O anffyddiwr, at y cyntaf yn y gyfres yma, a dywed i mi, ar ba beth y mae hwnw yn ymddibynu? Pa beth yw yr achos o'i ysgogiad, a chan ba beth y mae yn cael ei ddylanwadu? Onid ydwyt dan orfodaeth i ddywedyd, gan y Duw sydd "yn taenu y gogledd ar y gwagle, ac yn crogi y ddaear ar ddiddim." Job 26. 7. Mae natur yn cynnwys defnyddiau annawl a gwrthdarawawl, megys sychder a lleithder, oerni a gwres, tân a dwfr, &c. Y rhai hyn ydynt yn bodoli, ac yn cydweithredu mewn cysondeb a chydgordiad â'u gilydd, yr hyn nis gallai byth fod oni bai fod cynnalydd a llywydd mawr yn eu goruwchreoli oll. Byddai y rhai hyn mewn ymdrech ac ymladdfa wastadol a'u gilydd, pe na byddai neb i'w meistroli. Lle mae y tân yn orchfygawl sychai y dwfr i fynu: a lle y mae y dwfr yn fuddugawl diffoddai y tân yn y fan Ond er fod natur yn llawn o elfenau croes a gwrthwynebawl, maent oll mewn heddwch a chydgordiad a'u gilydd, yr hyn sy'n eithaf a pherffaith brawf o'r Bod o Dduw.

V. Y prawf olaf a enwaf o'r Bod o Dduw ydyw y barnau ofnadwy ag sydd o bryd i bryd wedi syrthio ar y byd annuwiol. Nid yn unig y cleddyf, yr haint, y newyn, a daeargryn, &c. ond yn fwyaf neillduol y barnau a dywalltwyd ar ddynion drygionus ac annuwiol y byd, megys atheistiaid, anffyddwyr, cablwyr Duw, ac erlidwyr crefydd. Fel y mae Duw yn profi ei fod, ac yn amlygu ei berffeithiau, yn naioni ei ragluniaeth, Act. 14. 17, felly hefyd yn ngwg ei ragluniaeth: "canys digofaint Duw a ddatguddiwyd o'r nef yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion, y rhai sydd yn attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder." Rhuf. 1.18. Y diluw a lifodd dros fyd llawn o bechaduriaid drygionus ar yr un waith, ac a'u hysgubodd i waelodion distryw. Sodom a Gomorrah, a'r lleill o ddinasoedd y gwastadedd, a yswyd gan dân o'r nefoedd. Herod a darawyd gan angel yr Arglwydd, a chan bryfed yn ei ysu efe a drengodd, Act. 12. 23. Ananias a Sapphira hefyd a darawyd yn feirw am y pechod o gelwydd, Act. 5. 1--10. Ond âf heibio i'r pethau hyn, er y profir hwynt yn ffeithiau safadwy, nid yn unig yn yr ysgrythyr (y gair a saif byth) ond hefyd gan amrywiol haneswyr yn ngwahanol oesau y byd, ïe, hyd yn nod gan y rhai sydd wedi ymdrechu eu goreu i'w gwrthbrofi.

Mae gwadwyr Duw, a chablwyr ei enw, wedi bod yn nodau amlwg i'r dialeddau mwyaf dwys a difaol mewn amseroedd diweddarach. Hobes, yr anffyddiwr, oedd yn wastad yn cael ei hela gan ddychrynfeydd a phangfeydd cydwybod euog, a'i eiriau diweddaf oeddent, "Yr ydwyf yn cymmeryd naid yn y tywyllwch." Francis Newport, yn ei oriau diweddaf, oedd yn y fath arteithiau poenus, fel pe buasai eisoes yn nyfnder uffern. Altamont a fu farw mewn poenau dychrynllyd. Monsieur Voltaire hefyd, pan ddaeth Dr. Trouchin i mewn i'w ystafell, a waeddodd, "Yr ydwyf yn wrthodedig gan Dduw a dyn." A dywedai drachefn, "Doctor, mi a roddaf i chwi hanner fy eiddo os gwnewch arbed fy mywyd am chwe mis." Ond y meddyg a ddywedodd, "Syr, nis gellwch fyw am

chwech wythnos." "Wel," atebai yntau, "os felly, rhaid i mi fyned i uffern, a chwithau a ddeuwch yno gyda mi." Yn fuan wedi hyn efe a yrwyd i wydd y Duw a wadodd ac a gablodd dros ei oes. Gwel hefyd *Simpson's Plea for Religion; Examples of Dying Infidels, &c.*

Gellid nodi lluoedd o esamplau yn ychwaneg, ond i ba ddyben? Och! onid yw hyn yn ddigon? Nid oes yr un atheist yn y byd tu draw i'r bedd: ac yn wir siglir eu seiliau, os na lwyr ddadymchwelir eu cyfundraeth, cyn iddynt ymadael o'r byd hwn.

Bellach rhaid terfynu: pen ar yr oll a ddywedwyd yw hyn, "Yr Arglwydd efe sy Dduw, yr Arglwydd efe sy Dduw." "Y Duw a wnaeth y byd, a phob peth sydd ynddo, gan ei fod yn Arglwydd nef a daear." Nid yw efe yn ddiau nebpell oddiwrth bob un o honom, oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod. Dyma y Duw sydd yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau; gan hyny nesawn ato am ein bywyd. Mae efe yn Dduw cadarn i iachau, ac yn Dduw parod i faddeu. Ofnwn ef, gan hyny, gwasanaethwn ef, ufuddhawn iddo, carwn ef, a rhodiwn er ei ogoniant, a dywedwn "Y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd."

*Penfro.* QUERCUS.

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd gan y diweddar Barch. Hugh Charles, Gwalchmai, Môn, yn addoldŷ y Trefnyddion Calfinaidd yn Beaumaris, Sabbath, Tachwedd* 9, 1834.

Neh. 9. 17. 'Etto ti ydwyt Dduw parod i faddeu.'

Prif fendith sydd yn gyfranedig i Eglwys Dduw ar y ddaear ydyw maddeuant pechodau; ac y mae pawb sydd wedi myned trwy borth adenedigaeth wedi cael maddeuant, ac wedi derbyn ysbryd maddeugar, fel y maent yn maddeu i'w gilydd. Mae Crist yn gorchymyn hyn, 'Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, a gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt.' Ac nid *gorchymyn* Crist yn unig yw y geiriau, ond *esiampl* Crist hefyd. Dyna fel y cawn yn hanes bywyd Crist gan y pedwar Efengylwr. 'Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd.' Y mae ysbryd maddeuant ac ysbryd Crist'nogaeth, wedi eu cyssylltu yn anwahanol â'u gilydd.

Yn y testyn, gwelwn yn I. Y gwrthrych sydd yn cael ei nodi, Duw,—'Etto ti ydwyt Dduw.'

II. Y desgrifiad y mae'r testyn yn ei roddi am dano,—'Duw parod i faddeu.'

(1.) Y Bod o Dduw, Sylfaen crefydd natur ydyw y Bod o Dduw,

(2.) Sylfaen y grefydd Gristionogol, ydyw adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw.

Ym mhob oes o'r byd, ac yn mhlith pob cenedl dan y nef, fe addefir y Bod o Dduw, er fod rhyw dorfeydd o hiliogaeth Adda, yn amrywiol barthau o'r ddaear, yn hollol amddifaid o'r wybodaeth iachusol am y gwir a'r bywiol Dduw. Mae yn wirionedd profadwy, nad oes un genedl dan y nef nad ydyw yn ddarostyngedig i ymgrymu i ryw wrthrych neu wrthrychau. Y mae o'r angel uchaf yn nef y gogoniant, hyd yr abwydyn dystadlaf ar y domen, yn cyhoeddi yn amlwg y Bod o Dduw. Hefyd, un ydyw Duw, er fod tri pherson yn yr hanfod dwyfol. 'Clyw, O Israel, (medd yr Ysbryd Glan trwy enau y prophwyd Esaia) ein Duw ni sydd un Arglwydd.'

Y mae hanesiaeth yn dywedyd fod tair miliwn o wahanol dduwiau yn cael eu haddoli yn yr India; ond y mae yr Efengyl yn cyhoeddi mewn llais didor, ysbrydol, a dwyfol, nad oes yr un o honynt yn Dduw, ac nad ydynt o ddim lles i'r addolydd; ond bendigedig fyddo Duw, dyma ni yn cael addoli Duw y duwiau, ac Arglwydd yr holl arglwyddi, yr hwn sydd yn llenwi pob lle ac amgylchiad ar yr un amser. Y mae yn llenwi y nefoedd â'i ogoniant a'i sancteiddrwydd; yn llenwi y ddaear â'i drugareddau, a'i ras; ac yn llenwi uffern yn ei ddigofaint a'i gyfiawnder.

2. Fe'i desgrifir yn 'Dduw yr amynedd.' Y mae yr Apostol Pedr yn profi y gwirionedd hwn yn wyneb y rhai ag oedd, wrth fwynhau amynedd Duw, yn meddwl ei fod ef yn oedi ei ddyfodiad; ond ebe yr Apostol, 'Hirymarhous yn efe tuag atom ni.' 2 Pedr 3. 9.

3. Fe'i desgrifir yn anghyfnewidiol. Yr oedd yr athrawiaeth o anghyfnewidioldeb Duw yn cael ei phroffesu gan, ac yn gysur cryf i dduwiolion yr Hen Destament. Dywedir gan y patriarch Job, 'Y mae efe yn un, a phwy a'i try ef?' Hefyd, dywedodd Duw ei hun,

'Myfi yr Arglwydd ni'm newidir.' Mal. 3. 6.

4. Fe'i desgrifir yn Dduw'r cariad.

5. Trugarog. Hefyd, y mae mawredd yn perthyn i Dduw; ond nid af fi â'm llinyn byr i fesur ei fawredd. Y mae ei fawredd yn anchwiliadwy, a'i ffyrdd yn anolrheinadwy. Y mae rhuad y llew cryfaf yn y goedwig, hyd drydar yr adar gwanaf, yn cyhoeddi mawredd yr hwn a'u gwnaeth; ïe, y mae cymmaint o fawredd Duw i'w weled yn y llysiau yn y maes, fel nas gall tafod Seraph, na Cherub byth ei fynegi. Y mae yn rhyfedd yn ei gyngor, ac yn ardderchog yn ei holl weithredoedd: hefyd, cyfiawn ydyw Duw, ac nid oes ynddo ddim anghyfiawnder; sanctaidd, ac nid oes ynddo ddim halogedigaeth.

II. Y desgrifiad y mae'r testyn yn ei roddi am Dduw,—'Duw parod i faddeu.' Un o fendithion y cyfammod gras ydyw maddeuant pechodau. Ond i sylwi ychydig mewn ffordd o addysg.

1. Yr hyn sydd gan ddynion ydyw pechod.

2. Yr hyn sydd gan Dduw ydyw maddeuant.

1. Yr hyn sy gan ddynion yw eu pechod Beth ydyw pechod? Anghyfraith, peth anghyfreithlon; camwedd, peth cam, camu dros reol uniawn Duw. Y mae gan ddynion eu pechod mewn dau olygiad,

(1.) Trwy gyfrifiad, (2.) Trwy wneuthuriad.

(1.) Trwy gyfrifiad; sef y gorchymyn a roddwyd i Adda i beidio a bwyta o ffrwyth y pren gwaharddedig. Yr oedd y gorchymyn yn cynnwys addewid a bygythiad. Y mae yn cael ei alw cyfammod gweithredoedd, o herwydd ar weithredoedd dyn yr oedd yn sefyll, Cadben llong fawr ydoedd Adda, wedi ei osod gan Dduw, ac os âi efe â'r llestr i'r porthladd dymunol, yr oedd ei holl hiliogaeth i lanio gydag ef; ond ar draws creigiau geirwon anufudddod yr aeth Adda cyn pen pedair awr ar hugain, fel y boddodd efe, a'i holl hiliogaeth mewn môr o lygredigaeth.

(2.) Trwy wneuthuriad. Y mae dynion yn cyflawni pechodau trwy wrthryfelgarwch, trwy anghofio, ac anghredu.

Y fendith werthfawrocaf a ddaeth i'n byd ni erioed ydyw yr efengyl, a'r pechod gwaethaf ydyw annghredu yr efengyl. "A hon yw yr ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni;" myned o wlad goleuni i dywyllwch fydd yn gwneud tywyllwch yn 'dywyllwch eithaf.'

2. Yr hyn sydd gan Dduw, maddeuant. Beth ydyw maddeuant? Gwaith Ysbryd Duw yn symud yr euogrwydd oddiar berson y dyn, yn symud y rhwymedigaeth i gosp, er mwyn y boddlonrwydd a gafodd efe yn ei Fab ar y groes. Beth ydyw pechod? Peth ffiaidd ac atgas. Beth ydyw maddeuant? Ei gladdu. Hen gladdwr heb ei fath ydyw Duw: fe gladdodd gorph Moses unwaith, ac ni chafodd neb mo'i fedd hyd heddyw.

1. Ystyriwn yr hyn sydd yn gynnwysedig mewn maddeuant pechodau. Y mae'r ysgrythyr, mewn iaith amlwg, yn gosod allan natur a chynnwysiad maddeuant pechod, megis symud ymaith anwiredd, dileu camweddau fel cwmwl, anghofio pechodau, bwrw pechodau tu ol i'w gefn, cuddio pechod, peidio cyfrif pechod, a'r cyffelyb. Y mae'r gwirionedd a enwyd yn eglur brofi, nad diffyg sylwi gan Dduw ar bechod ydyw maddeuant, ond grasol ymddygiad yn Nuw tuag at bechaduriaid, er mwyn a thrwy Iesu Grist; yn pardynu holl feiau y troseddwyr, ar gyfrif yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd yr Arglwydd Iesu Grist ar eu rhan.

2. Ystyriwn pa fodd y mae Duw yn maddeu i bechaduriaid. 1. Y mae Duw yn maddeu pechodau yn gyfiawn. 2. Yn gyflawn. 3. Yn rhad. 4. Am byth. 1. Y mae Duw yn maddeu pechodau yn gyfiawn. Fe fydd synu syllu, a rhyfeddu, doethineb a graslonrwydd y ddwyfol ddyfais, a gafwyd yn y cyngor hedd, ac a sicrhawyd yn y cyfammod newydd, lle y gosodwyd i un dibechod farw dros bechaduriaid, fel y byddai i Roddwr y gyfraith gael lle i faddeu i'r troseddwyr yn gyfiawn, ac i'w lywodraeth gael ei hanrhydeddu.

2. Mae Duw yn maddeu yn gyflawn: yr oedd y Psalmydd duwiol yn galw ar ei enaid, a chwbl ag oedd ynddo, i fendithio yr Arglwydd, yr hwn sydd yn maddeu yr holl anwiredd. 'Teflaist fy holl bechodau y tu ol i'th gefn.' Hefyd y mae y maddeuant cyflawn hwn yn cael ei ddal allan dan y gydmariaeth fwyaf eang, megis pellder y dwyrain oddiwrth y gorllewin, 'Ceisir anwiredd Israel, ac ni bydd;' a

phechodau Judah, ond nis ceir hwynt. Maddeuwyd aml bechodau Mair Magdalen.

3. Mae Duw yn maddeu i bechaduriaid yn rhad, ac y mae hyny yn newydd da pan nad oes genym ddim i dalu. Luc 7. 42.

Anwyl gynnulleidfa, llefwn am brofi blas maddeuant, dyma ydyw sail pob gwynfydedigrwydd. Ac yn olaf, am byth, trugarog fyddaf wrth eu hanngyfiawnderau hwynt, a'u pechodau hwynt, a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach.' Heb. 8. 12. Jer. 31. 53. Dysgwn oddiwrth yr hyn a ddywedwyd gymmeryd golud gras Duw yn destun myfyrdod, a'i air ef yn rheol yn mhob ymddygiad. Amen.

*Beaumaris.* R. LLOYD.

## SERYDDIAETH.

### PEN. V—Y BLANED MERCHER.

GWEDI gwneuthur rhai Sylwadau ar yr Haul y tro diweddaf, yr ydym yn awr yn dyfod i wneuthur ychydig o Sylwadau yn mhellach mewn perthynas i'r bydoedd hyny sydd yn troi o amgylch yr Haul; ac o herwydd bod eu maintioli, eu gwahanol bellderau oddiwrth yr haul fel eu canòlbwynt, ynghyd a'u blynyddoedd, wedi cael eu gosod i lawr o'r blaen yn Pen. III, awn heibio i hyny yn bresennol at bethau ereill.

Y blaned Mercher ydyw yr agosaf i'r haul am ddim ag sydd wybyddus etto. Mae'n myned o amgylch yr haul mewn llwybr hirgylchawl, yr un modd a'r holl blanedau ereill. Ac o herwydd fod y blaned hon gymmaint yn agosach i'r haul na'r ddaear, bernir bod y gwres a'r goleuni y mae hi yn dderbyn oddiwrtho yn fwy o saith o weithiau na'r hyn y mae'r ddaear yn ei dderbyn. Nid ydyw Mercher byth yn codi lawer o flaen yr haul, nac ychwaith yn hir cyn myned i lawr ar ei ol: ac anfynych iawn y gellir ei chanfod â'r llygad noeth o herwydd ei hagosrwydd iddo, ond fe ellir ei gweled weithiau ar dywydd goleu, ychydig o amser cyn i'r haul godi yn y boreu, ac am ychydig wedi iddo fachludo yn yr hwyr, pan y mae yn ymddangos bellder mawr oddi wrtho. Y mae ei hymddangosiad yn ddisgleiriach na Gwener, a chanddi fath o wawr las oleu o'i hamgylch.

Mae amgylchiad neillduol, perthynol i'r blaned hon, (yr hwn hefyd sydd yn perthyn i rai o'r planedau ereill) yr hwn ~n profi i bob boddlonrwydd nad ydyw yn disgleirio trwy rinwedd un goleuni ynddi ei hunan, ond yn unig adlewyrchu ei goleuni o'r Haul. Yr amgylchiad hwn ydyw bodolaeth gwahanol ymddangosiadau cyffelyb i'r rhai hyny sydd i'w canfod yn gylchynol yn ein lleuad ni.

Pan y mae Mercher yn ymddangos yn ei phellder eithaf oddiwrth yr haul y mae i'w chanfod yn debyg i hanner cylch, mwy neu lai, yn ol fel y byddo sefyllfa y ddaear. Ond pan y mae hi yn myned yn mlaen i'r ochr gyferbyniol i'r Haul, yn mha un y mae y ddaear yn gorwedd, mae y rhan oleuedig o honi yn dyfod yn fwy na hanner cylch, yn ymddangos yn grythog, yn debyg i'r lleuad pan y byddo rhwng y chwarter cyntaf a'r llawn. Pan y mae Mercher yn ei phellder eithaf oddiwrth y ddaear mae yr haul y pryd hwnw rhyngddynt, a thrwy hyny yn cau allan y blaned o'r golwg yn hollol, fel nas gellir byth ganfod ei holl wyneb goleuedig o'r ddaear; ond pan y mae yn dadsuddo yr ochr arall i'r haul mae yn dyfod eilwaith yn weledig, a'r rhan hyny o'i gwyneb sydd yn oleu yn dyfod yn fwyfwy i lun hanner cylch, fel y mae hi yn trafaelu yn mlaen i'r sefyllfa hòno, yn mha un mae hi yn ffurfio cyfongl gyda'r ddaear a'r haul. Ac fel y mae hi yn myned yn mlaen etto yn ei chylchdro, mae yn dynesu yn raddol at y ddaear, a'i gwyneb goleuedig yn lleihau, ac yna yn cyrhaedd ei maintioli lleiaf.

Trwy brawfiadau o'r fath hyn yr ydym yn deall nad ydyw planed yn ymddangos yn ddysglaer trwy ei goleuni ei hun, ond yn unig ei dderbyn o'r haul, ac yn ei adlewyrchu i'r ddaear; ac y mae pob lle i farnu bod y ddaear yn adlewyrchu goleuni oddiar ei gwyneb; ac os oes trigolion yn y planedau y maent yn ei chanfod mewn gwahanol ymddangosiadau, megys hanner cylch, a hanner llawn, &c.

Nid oes dim brychau i'w canfod yn gyffredin ar wyneb Mercher, a thrwy hyny nis gellir sicrhau amser ei throad ar ei hechel, a hyd ei dydd a'i nos; ond dywed un Seryddwr, o'r enw Schroeter, ei bod yn cyflawni ei chylchdro dyddiol mewn 24 o oriau, a 5 o fynydau; a dywed yr un gwr bod mynydd ar wyneb Mercher ddim llai na deng milltir o uchder, yr hyn sydd lawer uwch nag yr un ar y ddaear, er bod y ddaear yn llawer mwy na Mercher.

Mae llwybr y blaned hon y tu fewn i lwybr y ddaear, ac yn gogwyddo tu ag ato saith o raddau. Y mae weith-

iau islaw y ddaear, bryd arall y mae uwchlaw y ddaear; ac weithiau y mae yn croesi llwybr y ddaear, ac felly ar linell gywir rhyngom ni a'r Haul, ac yn ymddangos fel brycheuyn tywyll ar ei wyneb.

Y blaned hon ydyw y leiaf o'r ddwy sydd yn troi y tu fewn i lwybr y ddaear, ac yn cael ei chario o amgylch yr haul gyda chyflymdra mawr. Ac oddi yma y daeth fod y blaned yn cael ei hystyried yn ddammegol fel cenad y duwiau. Yr oedd yn cael ei chynnrychioli yn arwyddluniol gan ddyn ieuanc, gyd âg adenydd wrth ei ben a'i draed, a'i ffon wedi ei chordeddu â seirph ac adenydd ganddynt.

Pan y mae planed yn gywir rhwng yr haul a'r ddaear, dywedir fod y blaned hòno yn ei chyssylltiad iselaf a'r haul; ond os bydd yr haul yn gywir rhwng y blaned a'r ddaear, dywedir ei bod yn ei chyssylltiad uchelaf a'r haul; y geiriau iselaf ac uchelaf sydd yn cael eu hystyried mewn cyfeiriad at bellder mwyaf a lleiaf y blaned oddiwrth y ddaear.

Pan y byddo dwy blaned 180 o raddau, sef hanner cylch oddiwrth eu gilydd, y mae y ddwy y pryd hyn, y naill ar gyfer y llall, fel y gallo llinell union fyned trwy eu canolbwynt, ac hefyd trwy ganolbwynt y ddaear rhwng y ddwy, gelwir hyn yn gyferbyniad. Nis gall yr amgylchiad hwn byth ddygwydd i'r planedau Mercher a Gwener, o herddwy bod eu cylchdro yn llai nag eiddo y ddaear, am hyny nis gall byth fyned rhyngddynt a'r haul.

Mewn perthynas i ddwysder defnydd y blaned hon bernir ei bod naw o weithiau yn ddwysach na'r dwfr, ac o gwmpas dwywaith yn ddwysach na'r ddaear.

Mae yn ofynol weithiau gwybod pan y byddo y blaned yn y de, er mwyn cael cyfleusdra i'w hadnabod; ond y mae gwybodaeth o hyn yn llai ei bwys mewn perthynas i Mercher, nag un o'r planedau ereill, oblegid bod ei hagosrwydd at yr haul yn ei gwneud ond lled anaml yn weledig: ei hamser yn croesi y nawn-gylch *(meridian)* sy'n amrywio o chwarter wedi deg hyd dri chwarter wedi un yn y dydd.

(*Y blaned Gwener yn y nesaf.*)

*Llundain.* L. WILLIAMS.

Mae i'r Planedau mawrion—uwch awyr,
Oer awch, a ser gwynion,
Lwybrau mad o roddiad Ion
A luniodd yr olwynion. D. JAMES.

## LLYTHYRAU, &c.

### XI. LLYTHYR IORWERTH

*At ei gyfaill ar ei neillduad yn Henadur Eglwysig.*

FY HOFFUS GYDYMAITH.—Y mae yn llawn bryd erbyn hyn ddyfod at y rhan hyny o'th swydd, ag y mae yr Ysgrythyr yn ei nodi fel dy brif orchwyl; sef, 'Gwasanaethu byrddau.' Gellit feddwl wrth ranau o'r gwirionedd, mai i'r dyben o wasanaethu byrddau yn benaf yr ordeiniwyd y swydd hon i'r Eglwys Gristionogol. Yn ngwyneb bod aelodau yr eglwys yn amlhau, a llawer o honynt yn dlodion, barnwyd mai dyledswydd yr eglwys oedd llunio rhyw lwybr i ddiwallu y dosparth hyny o'i haelodau, ag oedd mewn angen a thlodi; o ganlyniad, yr oedd eisieu dynion addas a chymmwys i gymmeryd y baich hwn oddiar ysgwyddau yr apostolion, ac i arolygu y rhan hyn o oruchwyliaeth yr Eglwys Gristionogol. 'Ac yn y dyddiau hyny, a'r dysgyblion yn amlhau, bu grwgnach gan y Groegiaid yn erbyn yr Hebreaid, am ddirmygu eu gwragedd gweddwon hwy yn y weinidogaeth feunyddiol. Yna'r deuddeg a alwasant yn nghyd y lluaws dysgyblion, ac a ddywedasant, Nid yw gymmesur i ni adael gair Duw, a gwasanaethu byrddau. Am hyny, frodyr, edrychwch yn eich plith am seithwyr da eu gair, yn llawn o'r Ysbryd Glan a doethineb, y rhai a osodwn ar hyn o orchwyl. Eithr nyni a barhawn mewn gweddiau a gweinidogaeth y gair. A boddlon fu yr ymadrodd gan yr holl luaws; a hwy a etholasant Stephen, gwr llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glan, a Phylip, a Phrocorus, a Nicanor, a Thimon, a Pharmenas, a Nicolas, proselyt o Antiocia: y rhai a osodasant hwy ger bron yr apostolion, ac wedi iddynt weddio, hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt hwy.'

Y mae yn fwy na thebyg mai dyma'r pryd y sefydlwyd y swydd hon yn yr Eglwys; a hyny o herwydd lluosogiad yr aelodau, a helaethiad y gwaith. Y mae'n wir bod rhai yn barnu fod y swydd hon yn nyddiau Crist, oddiwrth y geiriau hyny:—'Eithr y mwyaf yn eich plith chwi, bydded megys yr ieuengaf, a'r penaf megys yr hwn sydd yn gweini,' &c. ac mai ychwanegiad atynt a gymmerodd le yn y geiriau a nodwyd, yn ngwyneb helaethiad yr achos crefyddol. Ond, beth bynag am hyny, ymddengys yn amlwg mai eu gwaith yn benaf oedd gwasanaethu byrddau. Y mae yn amlwg yn wyneb yr Ysgrythyrau, mai dyledswydd pob eglwys yw bwrw golwg ar amgylchiadau y tlodion sydd ynddi, yn nghyd a chyfansoddi Trysorfa er cynnorthwyo y cyfryw mewn henaint âg amgylchiadau cyfyng. Ac yn ddiammeu mai trwy ddwylaw y Diacon y mae'r cwbl i gael ei drosglwyddo, yr hyn sydd rán arbenig o'i swydd yn Eglwys Crist. Eglur yw na fu

yr eglwys erioed hebr yw ddarpariaeth gogyfer ag angen ei thlodion, ac nid yw yn gydweddol âg egwyddor Cristionogaeth, iddi fod byth felly chwaith. Mae'r egwyddor Gristionogol yn tori allan mewn hynawsedd, ewyllys da, trugarawgrwydd, a chymmwynasgarwch i bawb, 'yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd.' Paul, yn ei lythyr at y Corinthiaid, sydd yn rhoi cyfarwyddiadau manylaidd yn nghylch darparu ar gyfer y tlawd. 'Hefyd am y gasgl i'r saint, megys yr ordeiniais i eglwysi Galatia, felly gwnewch chwithau. Y dydd cyntaf o'r wythnos, pob un o honoch rhodded heibio yn ei ymyl, gan drysori, fel y llwyddodd Duw ef, fel na byddo casgl pan ddelwyf fi.' Yr ydym hefyd yn darllen fod eglwysi Macedonia ac Acaia yn gwneud cynnorthwy i'r rhai tlodion o'r saint ag oedd yn Jerusalem, a'i drosglwyddo iddynt trwy ddwylaw yr Henadur.

Yn gymmaint mai trwy eu dwylaw hwy y mae pob cyfraniadau eglwysig yn cael ei weinyddu, nid rhyfedd fod yr apostol, wrth nodi y cymmwysderau angenrheidiol i'w cael ynddynt, yn dywedyd, 'Rhaid i'r diaconiaid yr un ffunud fod yn onest, nid yn budr elwa.'

Yr un apostol yn ei lythyr at y Rhufeiniaid sydd yn cyffwrdd a'r agwedd a ddylai fod ar y swyddwyr hyn yn ngweinyddiad eu swydd; 'Yr hwn sy yn cyfranu (eb efe) gwnaed mewn symlrwydd; hyny yw, yn anhunanol, ac annhueddol. 'Yr hwn sydd yn trugarhau,' neu yn dangos trugaredd trwy gynnorthwyo y claf, yr helbulus, y weddw a'r amddifaid, 'gwnaed mewn llawenydd.' Wrth 'yr hwn sydd yn trugarhau,' &c. fe allai y cyfeirir at yr hwn sydd yn oruchwyliwr ar drysorfa yr eglwys, ac yn cyfranu ei rhoddion i'r anghenus. Rhoddion personol a roddid gan y cyfranwyr i'r sawl y gwelont yn dda, ond rhoddion eglwysig gan yr Henadur yn unig; am hyny, y mae yn debygol ei fod yn cael ei alw, fel Swyddwr yn Eglwys Crist, 'Yr hwn sydd yn trugarhau,' neu yr hwn sydd yn oruchwyliwr ar, ac yn weinyddwr o, gyfraniadau yr Eglwys. Am swyddwyr y mae'r apostol yn siarad yn y bennod hon, ac yn cynghori pawb i fod yn ddyfal ac yn ddiwyd yn yr hyn a ymddiriedwyd iddynt, beth bynag yw hyny. 'Canys megys y mae genym aelodau lawer mewn un corph, ac nad oes gan yr holl aelodau yr un swydd, felly ninnau, a ni yn llawer ydym un corph yn Nghrist, a phob un yn aelodau i'w gilydd. A chan fod i ni amryw ddoniau, yn ol y gras a roddwyd i ni, pa un bynag ai prophwydoliaeth, prophwydwn yn ol cyssondeb y ffydd; ai gweinidogaeth, byddwn ddyfal yn y weinidogaeth; neu yr hwn sydd yn athrawiaethu, yn yr athrawiaeth; neu yr hwn sydd yn cynghori yn y cyngor, &c. Yr hwn sydd yn cyfranu gwnaed mewn symylrwydd, a'r hwn sydd yn trugarhau mewn llawenydd.'

Byddai yn burion peidio cymmysgu swyddau yr eglwys cyn lleied ag y byddo modd; ac i bob un edrych at y gwaith a ymddiriedwyd iddo, fel un ac fydd raid iddo roi cyfrif yn y farn. Bydd pob un yn atebol y diwrnod hwnw am yr hyn a ymddiriedwyd iddo, fel prif orchwyl. Gorchwyl y prophwyd yw edrych at gyssondeb y ffydd; oblegid rhaid iddo roi cyfrif am hyny. Y gweinidog sydd raid edrych at y weinidogaeth, fel un cyfrifol i'w Farnwr. Gorchwyl yr hwn sydd yn cynghori yw edrych at ei gyngor, a thraddodi ei gyngor yn ffyddlon; oblegid y mae cyssylltiad rhyngddo ef a'i gyngor a'r farn ddiweddaf. Felly hefyd yr hwn sydd yn trugarhau ac yn cyfranu, a ddylai yr un modd edrych yn fanol pa fodd y mae yn ymddwyn, yn gymmaint a bod dydd i fwrw golwg ar y cwbl. Nid y pulpit fydd yn dy gwrdd di, fy nghyfaill, y dydd hwnw, ond y byrddau. Fe fydd y pulpit, y cyngor, yr athrawiaeth, &c. yn cwrdd llawer yno, ond tebyg yw, mai'r byrddau, os dim, fydd yn dy gyfarfod di yno; gan hyny, at y byrddau y dylit ti edrych fwyaf fel prif waith dy swydd. Y mae yn debyg fod y Cristionogion boreuol yn hynod o ofalus am y tlodion perthynol i'r eglwys, yn nghyd âg ereill yn achlysurol. Yr oeddynt yn ddiareb yn y byd o herwydd eu cymmwynasgarwch i'w gilydd. Os byddai undeb mwy na chyffredin rhwng rhyw rai, dywedid am danynt, Maent yn caru eu gilydd fel Cristionogion.

Yr oedd yr Ymerawdwr Julian, yn dywedyd mai yr achos nad oedd y grefydd Baganaidd yn llwyddo, oedd, nad oeddynt yn caru eu gilydd fel y Cristionogion; oblegid, ebe y Pagan hwnw, os na lwydda ein crefydd ni fel yr ydym yn dymuno, bai y rhai a'i proffesant yw hyny. Oblegid pan edrychom ar y grefydd hyny sydd wedi bod yn brif achos i gynnydd llygredigaeth, (sef y grefydd Cristionogol) hynawsedd at ddyeithriaid, gofal yn nghylch claddu'r meirw, sancteiddrwydd bywyd, &c. sydd yn dirgymhell ei hegwyddorion. Y tlodion wedi eu hesgeuluso gan ein hoffeiriaid ni, y Galileaid annuwiol hyn a sylwodd ar hyny, a chan ymroddi i ddyngarwch a chymmwynasgarwch, cymhellasant y gwaethaf o bethau ar feddyliau dynion; oblegid gan ddechreu gyda'u cariad-wleddoedd, a gweinidogaeth byrddau, fel y'u galwent, y maent wedi tynu y ffyddloniaid i annuwioldeb.

Gallwn weled, wrth ymadroddion y Pagan hwn, mai ymarfer crefydd sydd yn dyrchafu ei hegwyddorion, ac yn cyfiawnhau ei dybenion, ac nid siarad am dani. Yr wyf yn awr, fy mrawd, yn barod i ymholi, Pa le y mae caru ein gilydd o galon bur yn helaeth wedi myned erbyn heddyw? Pa le y mae y cydymdeimlo mewn cystuddiau, y cynnorthwyo mewn anghenion, a gweinyddu cysuron mewn dygn helbulon heddyw? Mae caru ar air ac ar dafod yn unig yn

beth gweddol rad, ond yr ysbryd a'r gwirionedd sydd yn hynod o brin. Gresyn yw meddwl fod ambell aelod eglwysig wedi hir gystudd yn ymadael a'r fuchedd hon, heb fod neb wedi ymholi, a oedd ganddo rywbeth i wlychu ei enau cras-boethlyd ai peidio. Beth yw hyn ond anghofio y rhai sydd yn rhwym? Gochelwn, fy nghyfaill, fyned dan y cyhuddiad trwm hyny, 'Canys bum newynog, ac ni roisoch i mi fwyd: bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod: bum ddyeithr, ac ni'm ddygasoch gyda chwi: noeth, ac ni'm dilladasoch: yn glaf, ac yn ngharchar, ac ni ymwelsoch â mi.'

Os bydd rhyw un yn nghanol llawnder y byd, caiff ddigon o ymwelwyr, a rhagor, fe allai, nag y bydd yn dewis eu gweled, ond y tlawd sydd mewn eisiau cyfeillion. Y mae Duw yn edrych yn garedig ar yr hwn sydd yn 'trugarhau mewn llawenydd,' wrth wir wrthddrychau trugaredd. Yr wyf yn meddwl y byddi yn barod i ddyweyd, fod y pethau hyn agos allan o arferiad yn bresennol. Yr wyf yn cyfaddef eu bod i raddau pell iawn; etto, yn gymmaint a'i fod yn cael ei annog yn y gwirionedd, mae yn ddyledswydd arnom ymestyn at hyn hefyd. Yr oedd yr arferiad o drigo mewn bythod ar ddyddiau gwyl y pebyll wedi myned i lawr o ddyddiau Josuah, mab Nun, hyd ddyddiau Nehemiah; etto, pan ddeallodd Nehemiah fod hyny yn ysgrifenedig yn nghyfraith yr Arglwydd, cyfododd yr arferiad yn union. Nid yw hir esgeulusdod o unrhyw ddyledswydd yn un rheswm am barhau i'w esgeuluso. Mae eisieu arnom ninnau godi at ein gwaith, y dyddiau peryglus hyn; mae llawer o fylchau llydain yn muriau Sion, sydd ag eisieu eu hadgyweirio. Mae genyf fwrdd arall i alw dy sylw ato, ag sydd bron cyn llwyded a'r cyntaf; sef bwrdd y weinidogaeth. Ond rhag dy flino a meithder, gadawaf hwnw hyd ryw amser arall.

Yr eiddot,

IORWERTH GWLAD FORGAN.

## DIRAGRITHRWYDD PABYDDOL.

CYN dechreu y bregeth boreu Sabbath diweddaf, yn un o Gapelydd y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Liverpool, wele fachgenyn yn cael ei anfon i'r *Vestry Room*, a phapuryn yn ei law, ac arno yn ysgrifenedig fel y canlyn:—"*Please to recommend to your Congregation the repose of the soul of Margaret Pope, lately dead.*"

Er prawf fod y deisyfiad hwn yn bwysig a diragrith ar feddwl y sawl a'i hanfonodd, gwelwyd amryw mewn agwedd ddifrifol ar eu gliniau oddi allan i ddrws y Capel, tra yr oedd y gynnulleidfa oddi fewn (yn ol eu tyb hwy mae'n debyg) yn cydymdrechu i ollwng enaid Margaret Pope o'r Purdan i esmwythdra.

Os yw ymdrech y Pabyddion druain mor egniol i gael esmwythdra i eneidiau rhai wedi meirw, pa ddyled mor fawr sydd arnom ni i fod yn llafurus ac egniol i gael eneidiau y rhai byw at Grist, yr hwn sydd yn gwahodd ato ei hun bawb am esmwythdra i'w heneidiau? Os meddyliwch y crea y ffaith uchod ryw radd o dosturi yn mynwesau Cristionogion ein gwlad yn achos y rhai sydd yn cael eu camarwain i gredu celwydd, gellwch ei roddi yn y Drysorfa.—

Yr eiddoch yn ddiffuant,

SAMUEL JONES.

*Liverpool, Mai* 5, 1841.

## ADOLYGIAETH

*Ar Lyfr Cathlau Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd, yn Liverpool; mewn ffordd o Sylw ar Ofyniad Mr. R. Mills, Llanidloes, yn Rhifyn* 124. *tu dal.* 114.

YN ganlynol i ofyniad a atebwyd eisoes, gofyn Mr. Mills,—"Pa beth yw yr achos na allai y Trefnyddion Calfinaidd gyduno ar un Llyfr Hymnau i fod at wasanaeth y Corph yn Nê a Gwynedd?" &c. Fel sylw ar gynnwysiad y gofyniad hwn, archaf ryddid i osod yr hyn a ganlyn at ystyriaethau fy mrodyr, y Trefnyddion, trwy y Dywysogaeth a threfydd Lloegr yn gyffredinol.

Meddyliwyf y tarddodd yr hyn a noda Mr. Mills, yn ei ddechreuad, ac yr achoswyd ei barhad, hyd yn ddiweddar, yn anmherffeithrwydd y gwahanol Lyfrau Hymnau a gynygiwyd o bryd i bryd at wasanaeth y Cyfundeb, ac a ddefnyddiwyd am dymhorau ganddo. Heb gyfeiriad neillduol, na diffyg ewyllys da tu ag at y naill na'r lleill o'r rhai hyn, goddefer i mi sylwi,—y golygwyf yn ddiragfarn mai y goreu o honynt oll, ydoedd, "Grawn Sypiau Canaan," o gasgliad y diweddar Barch. Robert Jones, o Rhos-y-lan. Bu y casgliad rhagorol hwnw, yr wyf yn meddwl, mewn cyson ddefnyddiad yn holl gynnulleidfaoedd y Cyfundeb trwy Wynedd, a rhai o drefydd Lloegr, drosyspaid deugain mlynedd o amser. Ond golygwyf na ddefnyddiwyd mo hono ond mewn ychydig gynnulleidfaoedd yn y Deheubarth; a rheswm digonol paham,—bod Mr. R. Jones wedi cyfnewid tipyn ar rai o'r Hymnau o'r eiddo y "Peraidd Ganiadydd," ac ereill, er mwyn gwneyd yr iaith a ddefnyddid ynddynt yn fwy dealladwy i drigolion Gwynedd, at wasanaeth y rhai yn fwyaf neillduol y bwriadodd i'w Gasgliad fod.

Mae yn hysbys i'r nifer luosocaf o ddarllenyddion y "Drysorfa" ddarfod i'r Parchedigion Richard Williams, a Joseph Williams, ar ddymuniad, ac at wasanaeth cynnulleidfaoedd y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool, gasglu Llyfr helaeth o Hymnau a Salmau, yr hwn a gyhoeddwyd ar draul yn Eglwys yno. Yn wir, ni phetrusaf ddy-

wedyd ei fod yn rhagori llawer oddieithr yn unig yn ei enw, ar yr hen "Grawn Sypiau," a fu mor gymeradwy a defnyddiol yn ein plith dros gynifer o flynyddoedd.

Mae o ran ei ddefnyddiau yn gyflawn, yn amrywiaethawl, ac yn ardderchawg; yn athrawiaethol, yn addysgiadol, ac yn brofiadol, yn gymhwys i ddeall a chyrhaeddiadau maban, ac yn addas i amgyffredion yr athronydd duwinyddol mwyaf treiddgar. Mae ynddo Salmau a Hymnau addas i'w defnyddio yn mhob amgylchiad, ac ar bob achlysuron; yn fyr, y mae yn cynnwys helaethrwydd o ganiadau hyfryd er diwallu a chyflawni dymuniadau helaethaf y rhai hyny a hoffant ac a ymhyfrydant mewn caniadau cynnulleidfäol, teuluol, a phersonol, dirodres, syml, ac ysprydol, yr hyn sydd yn gwneuthur ei fod yn addas o gael ei gyfrif yn deilwng o gymeradwyaeth a derbyniad y Corph o hono at ei wasanaeth yn gyffredinol. Fel y mae yn gyflawn o ran amrywiaeth defnyddiau, y mae yr un modd yn arddangosiad helaeth o wahaniaethau doniau o'r mwyaf syml, diaddurn, tyner, ac anfursenaidd, hyd y mwyaf cywrain, goruchel, ac addurnawl. A pha ryfedd, pan yr ystyrier mai detholiadau ydyw o ganiadau goreu y Parch. W. Williams, D. Charles, Morgan Rhys, John Hughes, Anne Griffiths, R. Jones, Wern, E. Evans, Dr. Lewis, Edw. Jones, Maes y plwm, Thos. Jones, Dinbych, James Hughes, Peter Jones, ac Edmund Prys; prif Hymnyddion y genedl, a llawer ereill gyda hwynt; rhy faith eu henwi.

Nid oes yn y Cyhoeddiad hwn unrhyw gyfnewidiadau mewn ystyr na barddoniaeth yn yr Hymnau na'r Psalmau a gynnwys, ond y maent oll yn y ffurf gysefin, yn yr hon y daethant o ddwylaw eu cyfansoddwyr, yr hyn a ystyrir yn ychwanegiad at ei gymhwysder a'i deilyngdawd i fod yn Llyfr at wasanaeth a defnyddiad y corph yn gyffredinol. Wrth ddywedyd fel hyn nid wyf yn beio ar y cyfnewidiadau a wnaeth Mr. Robert Jones yn rhai o honynt, etto wrth gydmharu ei ddiwygiadau ef arnynt, â'r hyn ydynt yn eu ffurf wreiddiol, fel y'u gwelir yn y Llyfr dan sylw, golygwyf nad oedd ei ddiwygiadau ef arnynt, ond mwy afreidiol nag y tybiais yn flaenorol eu bod. Nid wyf ychwaith yn anghytuno â golygiad yr hyfedr Fardd, fy nghyfaill Mr. P. Jones,—"Mai hawdd a fuasai diwygio ychydig ar yr iaith mewn rhai geiriau, a llyfnâu ychydig ar y farddoniaeth mewn ambell linell lle y ceir sill yn ormod i'r mesur." Etto golygwyf mae yn eithaf ofer a niweidiol y trodd allan bron bob ymdrech a wnaed tu ag at hyny. Felly barnwyf mai tra doeth yr ymddygodd y Cyhoeddwyr yn eu hymgadwad oddiwrth ymyraeth â'r fath ddiwygiadau.

Ychydig flynyddoedd yn ol, mewn ysgrif a ymddangosodd yn y "Drysorfa," sylwais ar aflwyddiant rhai o honynt hwy a gymerasant arnynt y gorchwyl o ddiwygio cyfieithiad yr Archddiacon Prys o'r Psalmau, ac oni buasai fod arnaf ofn y pryd hwnw, chwyddo yr ysgrif hòno i ormod meithder, buaswn yn sylwi yr un modd am rai o'r gwahanol ddiwygiadau a wnaed o bryd i bryd ar rai o'r Hymnau a geir yn addiwygiedig i'w ffurf wreiddiol yn y Llyfr hwn, yn enwedig yr eiddo Anne Griffiths, y rhai wrth geisio eu diwygio a andwywyd. Yr oedd rhai o'r diwygiadau hyn megys cymylau duon yn tywyllu llewyrch y profiadau melus a nefolaidd oedd yn gweithredu ynddi, ac fel llenorchudd yn cuddio ardderchawgrwydd y Person goruchel, yr oedd hi mor beraidd yn canu iddo, yr hyn a ganfyddir mor ddysglaer a gogoneddus trwy ei Hymnau yn eu ddull gwreiddiol a gwehelyth. Buaswn y pryd hwnw yn erfyn —os cyhoeddid drachefn y Casgliadau a'u cynnwysent—ar iddynt gael ymddangos yn y ffurf y cyhoeddesid hwynt gyntaf gan y diweddar Barchedig Thos. Charles. Ond y mae ymddangosiad y cyhoeddiad rhagorol hwn, yn gwneyd hyn i raddau helaeth yn afreidiol. Haws canfod gwall na'i ddiwygio. TALMID.

## ANFOESOLDEB IEUENGCTYD MON AC ARFON.

### LLYTHYR III.

*Parhad yr Anerchiad at y Merched Ieuaingc.*

DYWED pawb sydd yn wybodus mewn hanesyddiaeth, mai yn ol yr anrhydedd neu y dirmyg a delir i fenywaid unrhyw wlad, y mae y wlad hòno yn sefyll yn uchel neu yn isel mewn moesau a rhinweddau ymhlith cenhedlaethau y ddaear. Mae amryw wledydd, megis yr India, China, a Thwrci, &c. yn ddirmygus o'r rhyw fenywaidd; ond y maent yn Lloegr yn barchus i'r radd uwchaf. Os byddis yn teithio mewn cerbyd (*coach*), y mae y meibion yn parchu y ferch, drwy gynyg iddi y lle a ddewiso; ac wrth fyned i'r tŷ, y ferch yn mlaenaf; ac wrth y bwrdd, caiff y dewis cyntaf o'r peth a fyddo ger bron. Y mae pob ymddyddan, o natur fwy neu lai i ennill gair da a gwên y *softer sex*; felly y mae eu rhinweddau da hwythau yn taenu y fath wareidd-dra, nes yw yr effaith yn amlwg i bob dyn ystyriol.

Pan ydoedd y diweddar Dr. Heber yn Esgob yn yr India Ddwyreiniol, gwahoddodd amryw o benaethiaid yr India i'w blas. Yr oedd ei briod ac amryw foneddigesau ereill o Loegr yn bresenol. Pan welodd Tywysogion ac uchelwyr yr India ymddygiad hardd Mrs. Heber a'r boneddigesau ereill, synasant wrth feddwl fod yn bosibl i fenywaid feddiannu y fath rinweddau hardd a'r fath synwyr cryf; ac nid bychan oedd clôd y mawrion hyny fod y

fath arferiad yn ein gwlad, a chaniatau i'r merched gyd-gyfarfod a'r meibion mewn cwmpeini. Gofynai un o foneddwyr Lloegr, 'Paham na oddefwch chwithau i'ch merched ymddangos mewn cwmpeini?' Atebai, 'Nid yw arfer ein gwlad felly; a mwy na hyn, ni fedraf ddywedyd pa faint o amser fyddai yn angenrheidiol i'w dysgu i fod yn gyffelyb i ferched Lloegr, y rhai sydd yn anrhydedd i'r byd.' Gwelwch, gan hyny, y fath effaith sydd mewn siampl.

Ond i ddychwelyd at yr arferiad lygredig sydd yn ein gwlad, o '*caru yn y gwely*.' Goddefwch i mi ddywedyd, mai gyda chwi, y merched ieuaingc o uchelradd, yn y parthau hyn o Gymru, y mae yr arferiad mewn mesur mwy neu lai i sefyll neu syrthio. Os bydd tair neu bedair o forwynion yn eich cartrefi, cofiwch fod eich siampl chwi, fel merched ieuaingc, ymhlith eich gweinidogion, o bwys mawr; os ymlithrwch gydag arfer y wlad, bydd eich awdurdod ar ben, a'ch siampl yn annogaeth i wneyd ar eich ol. Ond os cedwch eich lle fel nas gall neb edliw yr arferiad i chwi, bydd eich cynghorion a'ch rhybuddion yn fwy effeithiol, ac yn debycach i'w diwygio hwythau oddiwrth yr arferiad.

Pa ddygwyddiad bynag a gyfarfyddo neb, ai da ai drwg, mawr fydd y chwedleua yn ei gylch. Boed i chwi droi clust fyddar at bob peth anweddus a glywch yn eu plith; ac os bydd iddynt droi i ymddyddan am *gyfhwr hon a hon*, gwaherddwch y peth, drwy hysbysu nad yw yn oddefol genych wrando y fath ymddyddanion, y rhai a ddylai fod yn achos gwrido mewn dystawrwydd yn hytrach na chwedleua yn uchel am danynt. Fel hyn dysgwch i'r rhai sydd islaw i chwi mewn sefyllfa wers yn ei hiawn bryd; o ddiffyg hyn y mae llawer o annrhefn yn dygwydd mewn teulu, a gwyddoch fod 'ymddyddanion drwg yn llygru moesau da.'

Nid oes nemawr ysgol o dan yr enw '*Ladies' Boarding School*' yn y dyddiau hyn nad ydynt yn dra gofalus i egwyddori y merched ieuaingc mewn crefydd a moesau da; felly ymarferwch chwithau yn eich cartref a'ch cymydogaeth yr hyn a ddysgasoch, fel y caffo eich rhieni y dedwyddwch o deimlo yn brofiadol, fod y moddion a ddarparwyd er eich meithrin yn addysg ac ofn yr Arglwydd, wedi llwyddo trwy fendith Duw i wrthsefyll temtasiynau llygredig yr ardaloedd hyn, a holl ddrwg arferion y byd anwir hwn.

*Llandegai.* ARDREMIWR.

---

## AT ARDREMIWR LLANDEGAI.

SYR,—Yr ydwyf yn dra diolchgar i chwi am eich ardremiad yn y ddau lythyr a anfonasoch i'r Rhifynau diweddaf o'r Drysorfa, ar agwedd ieuengctyd trythyll, ac anaddas, yn Arfon, a Mon, yn eu rhagfynediad i'r ystad briodasol. Hyn a barodd aethau i fyned trwy fy nghalon, wrth foddwl ein bod wedi ein dyrchafu mor uchel mewn breintiau, ac etto mor isel ein cymmeriad yn hyn yma trwy y Dywysogaeth. Ond y mae yn dda genyf bod Cymdeithas Diweirdeb wedi dod i ymweled a'r gwledydd hyn, a'i bod yn cynnyg ymwared anffaeledig oddiwrth y llygredigaeth crybwylledig.

Mae y foneddiges hon yn estyn llaw o ymwared, trwy daflu ei halen i ffynonell y llygredigaeth; ac megys arch Noah, yn ddiogel ac yn sicr, rhag y diluw mawr sydd wedi ymdaenu dros y gwledydd: diau genyf y deuai pob dyn a'r sydd yn ofni Duw, yn caru Crist, a'i waith, a llesiad ei genedl, yn bleidiol i'r Gymdeithas hon ond ystyried 8 neu 10 o bethau.

Yn 1. Am fod cymdeithas yn beth grymus ac effeithiol. Yn 2. Am fod y gymdeithas hon yn milwrio yn erbyn y pechod a'r sydd yn rhwymo miloedd yn ngafael colledigaeth dragywyddol. Yn 3. Am fod y Bibl yn bleidiol i'r gymdeithas. 4. Am fod cyfeillachu yn anamserol yn dra gwrthun fel rhagbaratoad i'r fath sefyllfa anrhydeddus a phwysig ag ydyw priodas. 5. Am fod cymmaint o blant ordderch yn ein gwlad, ac yn enwedig cyntaf-anedigion; fel ag y bernir nad oes un briodas o 5 yn anrhydeddus! 6. Am fod cymmaint o blant yn cael eu lladd: rhai cyn eu geni, ac ereill wedi eu geni: lleddir, a chuddir lliaws aneirif. 7. Oblegid y cywilydd y mae y plant hyn yn ei wisgo tra yma yn y byd. Os gofyna rhyw un iddynt, plant pwy ydynt, gostyngant eu pen, a thawant a sôn. 8. Am fod cymmaint o dreth y tlodion' yn myned at fagu y plant hyn, ac i adgyweirio eu mamau i'w sefyllfa gyntefig. 9. Am fod ein cenedl yn hyn yma, yn is ei chymmeriad, o bosibl, na'r un genedl mewn parth mawr o'r byd. 10. Am fod Eglwys Crist yn cael mynych flinder oblegid y pechod yma, ag sydd fel cancr yn ei hysu trwy yr oesoedd: ac os daw i'r maes o blaid y gymdeithas hon diau y caiff hi ymadawiad oddiwrth y pechod yma yn gystal ag y cadd oddiwrth feddwdod, trwy ddirwest. Hyn yw fy nymuniad fy nghyfaill: byddai yn dda genyf weled eich Ardremiadau etto ar yr un achos

*Llanllechid.* ARDREMIWR.

---

## AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

SYR,—Canfum yr Holwyddoreg canlynol yn argraffedig mewn amryw Gyhoeddiadau misol, a Newyddiaduron wythnosol; ac os gwelwch yn dda ei argraffu yn y Drysorfa, wele Gyfieithiad o hono i chwi yn y Gymraeg lân. Nid wyf yn meddwl fod holl wyr urddasol yr Eglwys Sefydledig yn credu, nac yn cymmeradwyo, yr Holwydd-

oreg hwn, ond y mae plaid o honynt yn gwneuthur hyny: a pha beth, meddaf, a allai yr Ymneillduwyr, bob enwad o honynt, ddysgwyl oddiar law y gwyr hyn pe y caent awenau y llywodraeth iddynt eu hunain? Dim ond pob erledigaeth a gormes.

Ydwyf yr eiddoch,

PHILOLOGOS.

## RHAN O HOLWYDDOREG ATHRAWIAETHOL YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

Gof. 1. Pwy yw eich dysgawdwyr ysbrydol a chyfreithlawn?

At. Gweinidogion yr Eglwys Sefydledig yn y llywodraeth hon.

G. 2. Pa enwau a roddir arnynt?

A. Esgobion, offeiriaid, a diaconiaid.

G. 3. Ai nid yw dysgawdwyr ymneillduedig yn weinidogion yr Efengyl?

A. Nac ydynt: ni chawsant erioed eu galw "yn ol urdd Aaron."

G. 4. Ond, ai nid ydynt yn haeru eu bod wedi eu galw gan Dduw yn dumewnol?

A. Ydynt; ond pe buasent, hwy a alwesid yn ol trefn y gair, yn allanol.

G. 5. Pa beth ydych yn ei ddeall wrth drefn y gair?

A. Hwy a ddylasent gael eu hordeinio gan y rhai hyny a enrhydeddwyd âg awdurdod yn y gynulleidfa, i alw ac anfon gweinidogion i winllan ein Harglwydd; a'r rhai ydynt olynwyr yr Apostolion.

G. 6. Pwy yw y rhai hyn?

A. Esgobion Eglwys Loegr, yn yr Eglwys Wladol.

G. 7. Pwy a neillduodd yr esgobion?

A. Eu cynddrychiolwyr ysbrydol; a'r rhai hyny gan eu blaenyddion, ac felly yn y blaen, hyd oni ddeloch at amserau apostolaidd, a dynion apostolaidd, ac felly at Grist, sylfaenwr ein crefydd.

G. 8. Pwy sydd yn ordeinio offeiriaid a diaconiaid?

A. Yr Esgobion, trwy gynorthwy y Presbyteriaid.

G. 9. Onid yw yn dra pechadurus i drawsfeddianu y swydd santaidd hon?

A. Ydyw; fel y mae yn amlwg oddiwrth amgylchiad Corah, Dathan, ac Abiram, yn yr 16eg bennod o Numeri.

G. 10. Pwy sydd yn ordeinio dysgawdwyr ymneillduedig?

A. Maent naill ai yn bechadurus yn ordeinio eu gilydd, neu ni ordeinir hwy mewn un modd; ac felly ym mhob ystyr y mae yn eithaf pechadurus iddynt drawsfeddianu y swydd.

G. 11. Eithr, ai nid yw dysgawdwyr ymneillduedig yn cael eu hystyried yn ddynion da?

A. Ydynt yn aml yn cael eu cydnabod felly; ac felly yr oedd Corah, Dathan, ac Abiram, cyn i Dduw eu hamlygu fel rhai tra phechadurus.

G. 12. Ond, ai ni allwn eu gwrando yn pregethu?

A. Na allwn; oblegid dywedodd Duw, "Ciliwch oddiwrth bebyll y dynion drygionus hyn."

G. 13. Pwy gan hyny a ddylem eu gwrando, a chymeryd ein dysgu ganddynt?

A. Gweinidogion yr Eglwys, gyda y rhai y dywedodd Crist y byddai hyd ddiwedd y byd.

G. 14. Pa fodd y mae Crist gyda ei weinidogion hyd ddiwedd y byd?

A. Trwy ei Ysbryd sanctaidd, gan fendithio yr ordeiniadau, sef mawl, gweddi, darlleniad a phregethiad y gair, ynghyd a'r Sacramentau sanctaidd.

---

## YMRWYMIAD ROBERT BOLTON.

*A ysgrifenwyd ganddo mewn Bibl Teuluaidd.*
*—Gwel* Brook's Lives of the Puritans, Vol. 2. p. 390.

O'R diwrnod hwn allan hyd ddiwedd fy einioes, nid âf yn feichiau am iechyd neb,* ac nid yfaf *a whole carouse*† mewn gwydryn, cwppan, *bowl*, neu ryw lestr arall, pa fath bynag; pwy bynag fyddo, oddiwrth bwy bynag y delo, oddieithr fod angheurheidrwydd ar natur am dano. Nid fy ngrasusaf frenin, nac un o'r ymerawdwyr mwyaf, nac un gorthrymwr ar y ddaear; nid fy nghyfeillion anwylaf, nac holl aur y byd, a wna fy ngorfodogi, neu fy nenu. Nid angel o'r nefoedd (yr hwn mi wn ni chynygiai) a'm perswadiai. Nid Satan a'i holl hen ddyfeisiau, na holl allu uffern ei hun a all fy nhwyllo. Trwy y pechod pennodol hwn (canys pechod yw, ac nid un bach) yr ydwyf wedi cael allan fy mod wedi troseddu, a dianrhydeddu fy Nghreawdwr mawr a gogoneddus; a fy Ngwaredwr trugarog, yn fwy nag yn yr holl bechodau ereill yr ydwyf yn dueddol iddynt. Oherwydd y pechod hwn mae fy Nuw wedi bod lawer gwaith yn ddyeithr i mi—oherwydd hyn, ac nid un peth arall, yr ydwyf yn ymgyfammodi, ac yr ydwyf yn galenog yn gofyn i'n Tad daionus yn y nefoedd o'i fawr ddaioni, a'i anfeidrol drugaredd, yn Iesu Grist, i'm nerthu yn yr unrhyw, ac i fod yn ffafriol i mi am yr hyn aeth heibio. Amen.

ROBERT BOLTON.

*Broughton, Northamptonshire,*
*Ebrill* 10, 1637.

---

* *Myned yn feichiau;* h. y. myned yn feichiau na chaiff neb o'r cwmpeini ddim niweid tra fyddo yn yfed. Yr arferiad yma a gymmerodd le yn amser y *Daniaid* yn y deyrnas hon, y rhai, yn fynych, a arferent drywanu, neu dori gyddfau, y brodorion pan fyddentlyn yfed.

* *A whole carouse in a glass*, Gair Ffrancaeg yw yn arwyddo yfed yn galed, mewn modd anarferol—yfed y cwbl—yfed o law i law yn ddidor, a llyncu y cwbl.

## AT Y BEIRDD.

MR. GOLYGYDD,—Medrusrwydd eich Gohebwyr caredig, a'ch parodrwydd chwithau, Barchedig Syr, a'm cefnogodd i anfon y Llinellau hyn, o waith Beza; tan arwyddlun crefydd, a gyfieithwyd o'r Lladin i'r Saesonaeg, gan blentyn deuddeg oed; gan obeithio na ofidiaf mo honoch chwi, na hwythau, trwy ddeisyf eu gweled wedi eu cyfieithu i'r iaith Gymraeg gan rai o'm cyfeillion ieuaingc, yr hyn a'm boddhai yn fawr.
Wyf, Barch. Syr, eich annheilwng chwaer,
*Dinbych.* MARY JONES.

Who art thou, meanly clad, who passest by?
I am Religion, sprung of God on high.
Why art thou seen in such a mean disguise?
All perishable riches I despise.
What book is that which in thy hand I see?
My Father's sacred laws, rever'd by me.
Why is thy naked breast expos'd to sight?
That shews that candour is my chief delight.
Why is thy arm upon the Cross reclin'd?
The Cross alone is rest unto my mind.
What are those spreading wings which strike my eye?
To teach weak man above the stars to fly.
Why is that radiant glory round thee? tell—
With that the mental darkness I dispel.
What signifies you bridle? To control
The raging passions of the human soul.
Why is grim Death trod under foot by thee?
Behold the Conqueror of Death in me!

---

## YR ODYDDION A'R RECHABIAID.

BARCH. SYR,—Er cymmaint o anfoddlonrwydd a gwrthwynebiad a ddangosir i rai ymuno â'r Odyddion o Aelodau y Trefnyddion Calfinaidd, y mae yn hysbys mai ymuno y mae amryw yn barhaus, naill ai trwy fod yn anhysbys o'r rhybuddion, neu o herwydd methu gweled y niweid yn brydlon,—ac yr wyf yn deall fod ereill yn debyg o ddilyn eu hesiamplau. Ond y mae ereill yn dysgwyl i'r corph lluosog a pharchus yr ydym yn perthyn iddo ffurfio rhyw Gymdeithas gyffredinol trwy'r Dywysogaeth, a rhanau o Loegr, lle y mae achos gan y Methodistiaid Cymreig a atebai yr un dyben, tebyg i'r un Rechabaidd (ond gadael y dirgelwch allan) a hyny yn fuan. Yr wyf yn dra sicr pe rhoddid anogaeth a chynllun genych chwi yn y Drysorfa, neu gan rai o'ch Gohebwyr, y gellid ffurfio Cymdeithas fuddiol enwog a lluosog iawn, ac na byddai un angenrheidrwydd i roddi un gwaharddiad i neb perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd ymuno mwy â'r Odyddion, nac un Gymdeithas arall. Er nad wyf fi nac Odydd na Rechabiad, yr wyf yn taer ddymuno eich sylw ar hyn yn y Drysorfa nesaf, yn nghyda chynnygiad o ryw Gynllun i weithredu.

ANTI-QUARRELLIAN.

## SYLW AR YR ATEBIAD YNGHYLCH Y DDEDDF A'R CYFAMMOD GWEITHREDOEDD.

WRTH sylwi yn Rhifyn Rhagfyr, tu dal. 369, ar Atebion i Ofynion yn nghylch y Ddeddf a'r Cyfammod Gweithredoedd, yr wyf yn gorfod addef fod yn mysg yr Atebion cynwysfawr a chedyrn hyny, un gwahaniaeth yn cael ei gymell rhwng y Ddeddf a'r Cyfammod Gweithredoedd, nas gall fy amgyffrediadau byrion ganfod ei briodoldeb, yr hyn a barodd i mi gymeryd hyfdra ar hynawsedd a galluogrwydd yr hybarch Atebwr i erfyn am ychydig o eglurhad yn mhellach ar y pwngc.

'Gof. Pa beth mae y Cyfammod Gweithredoedd yn ei ofyn gan ddyn yn bresenol?

'Att. Perffaith ufudd-dod i'r Ddeddf Foesol, ac Iawn anfeidrol am y troseddiadau a gyflawnwyd.

'Gof. Pa beth mae y Ddeddf Foesol yn ei ofyn gan ddyn yn bresenol?

'Att. Perffaith ufuddod—mae y Ddeddf Foesol yn ei ofyn o berffaith ufudd-dod, ac yn ei felltithio am anufudd-dod.'

Nid ydyw y ddau atebiad hyn yn gwneuthur un gwahaniaeth rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Ddeddf Foesol ond yn unig, mewn bod y blaenaf yn gofyn Iawn am anufudd-dod, a bod yr olaf yn melltithio am anufudd dod. Rhoddir y naill a'r llall yn unedig yn y gofyniad o berffaith ufudd-dod, ond yn annghytunol a'u gilydd am ddyoddefydd y gosp haeddianol i anufudd-dod; pa un ai yr euog ei hun, ai rhyw berson diniwed i sefyll drosto. O herwydd rhaid fod pa bethau bynag sydd yn gwahaniaethu rhwng Iawn a Chosp, yn gwneuthur yr unrhyw wahaniaeth rhwng gofyn y naill a bygwth y llall. Os caniateir nad Iawn yw cosp, neu nad yr un peth yw cosp ac Iawn, rhaid addef nad gofyn Iawn yw bygwth cosp, neu nad yr un peth yw bygwth cosp a gofyn Iawn. Cyhoeddi cospedigaeth ar ei throseddwr y mae y Ddeddf Foesol, ac nid gofyn Iawn drosto. Nis gall egwyddorion uniondeb ganiatau iddi wneuthur ond un o'r ddau, naill ai cospi y beius neu dderbyn Iawn trosto, a bygwth y naill sydd yn gwneuthur yn annichonadwy iddi ofyn y llall; tra y mae penderfyniad diamodol y blaenaf (sef yn y dydd y bwytai o hono, gan farw ti a fyddi farw) yn amddifadu y troseddwr o unrhyw sail i dybied y rhoddasai y Deddfroddwr dderbyniad i'r olaf pe y gallasai y troseddwr ei hun ei chwilio allan. Ac nid oddi ar ansawdd gweinyddiad y gyfraith tuag at ufudd-dod i'w rheol y mae y gwahaniaeth sydd rhwng cosp ac Iawn yn cyfodi, ond oddiar natur y rhwymau a all fod ar yr hwn sydd o dan y gospedigaeth i'w dyoddef. Nid oes gan y gyfraith ond gweinyddu cosp o farwolaeth am drosedd heb un eithriad na gwahaniaeth, pa un

bynag ai ar y troseddwr ei hun, ai ynte ar ryw un arall yn meddu cymwysder i sefyll yn wirfodol drosto, trwy gymeryd ei haedd-iant priodol yn rhwymedigaeth gyfiawn arno ei hun. A rhaid addef fod diniweid-rwydd perffaith, a hawl yn ei fywyd ei hun, yn gymwysderau hanfodol angenrheidiol mewn un a ewyllysiai gyflawni y gy-mwynas hon dros yr euog; cystal ag an-feidroldeb o urddas personol i gyfyngu tragywyddoldeb parhad y dyoddefiadau haeddianol hyny i yspaid terfynedig.

Nid ydwyf yn gallu dirnad pa fodd y mae y Cyfammod Gweithredoedd yn gofyn Iawn am anufudd-dod, neu yn gofyn y fath *draws-newidiad* ag i un di-niwed sefyll o dan gospedigaeth yr euog; tra mae y Ddeddf Foesol, ar y llaw arall, yn bygwth gweinyddu y gosp ar berson y troseddwr ei hun. Ni ddichon i gyfiawnder ganiatau ond un o'r ddau, naill ai gwein-yddu y gosp ar y troseddwr ei hun, neu ynte ar un diniwed drosto; gormod ei gweinyddu ar y naill a'r llall, a'r un gor-modiaeth a fyddai gofyn y naill a bygwth y llall am yr un anufudd-dod. Onid ydyw yr ymgais hwn i wahaniaethu rhwng y Cyfammod Gweithredoedd a'r Ddeddf Foesol yn rhedeg y gwahaniaeth rhyngddynt yn rhy bell, o gymmaint ag y mae yn gosod y naill a'r llall yn annghytunol a'u gilydd, neu yn hytrach yn croesymddadleu â'u gilydd, trwy fod y blaenaf eisiau cospi anufudd-dod yr euog ar un diniwed yn ei le, a'r olaf yn cyhoeddi y gosp am an-ufudd-dod ar y troseddwr ei hun. Onid ydyw yn fwy priodol rhoddi y *Ddyfais* o *Iawn*, neu y traws-newidiad grasol a rhy-feddol hwnw o ryddhau yr euog trwy Ddirprwyaeth, yn berchenogaeth wreiddiol i'r *Cyfammod Gras* yn hytrach nac i'r Cyfammod Gweithredoedd; a phriodoli gofyn Iawn i'r olaf a ymddengys imi yn *Gymmysgu* y *Cyfammodau*. Ac onid ydyw gosod yr olaf i ofyn Iawn am y *troseddau* a gyflawnwyd yn awgrymu, mai nid â'r camwedd cyntaf yn unig yr oedd a fynai y Cyfammod hwnw, ond fod Adda yn parhau yn ei sefyllfa Ben-cyfammodol pan yn cyflawni rhyw drosedd arall.

Gobeithiwyf y gwna y sylwadau hyn o'r eiddof ddisgyn ar deimlad hynaws yr hybarch Atebydd, yn y diniweidrwydd a'r serchogrwydd oedd yn eu gorlenwi pan yn cyfodi oddiar fy meddwl tywyll i.

ANWYBODUS.

---

## UN O RYFEDDODAU RHAGLUNIAETH.

BARCH. SYR,—Cyfieithiais y chwedl gan-lynol allan o'r Llyfr buddiol hwnw *Todd's Sunday School Teacher:* a chan fod dau neu dri o bethau pwysig i'w gweled ynddi mi a benderfynais eu hanfon i chwi.—Yn y lle cyntaf gall plant bychain yr Ys-golion Sabbathol weled y budd a'r llesâd sydd mewn trysori pethau crefydd yn eu côf, erbyn y delo blinder i'w cyfarfod. Yn yr ail le, fe wel rhïeni bod argraph eu haddysg hwy ar feddyliau eu plant yn mhob man: yr oedd yr adnodau a'r pennillion a ddysgwyd i Regina yn aros ar ei chôf yn ngwasanaeth caled coedwigoedd anial. Ac yn olaf, gall pawb weled fod Duw yn gofalu am ei blant yn y cyfyngderau mwyaf—a thrwy oruch-wyliaethau rhyfedd yn trefnu eu rhyddid a'u hymwared. Os rhowch le iddi yn eich Cy-hoeddiad chwi a'm boddhewch i yn fawr, a hyderwyf na ddigiwch neb arall.

T——N.

Er ys llawer blwyddyn yn ol aeth gwr o Germani i fyw i Dalaith Pensylfania, yn America. Nid oedd y gwr hwn ond tlawd iawn, ac yr oedd ganddo deulu mawr. Nid oedd yr un ysgol ddyddiol, nac ysgol Sab-bathol, nac eglwys ychwaith yn y wlad hòno, ac o herwydd hyny efe a gadwai ei holl deulu gartref ar y Sabbath, gan eu hyfforddi a'u haddysgu yn ngair a gwirioneddau Duw.

Yn y fl. 1754, tòrodd allan ryfel gwaedlyd yn Canada, rhwng y Ffrancod a'r Saeson. Ymunodd yr Indiaid â'r Ffrancod, ac arfer-ent fyned i Pensylfania, a llosgi y tai, a lladd y trigolion, a lladrata pob peth a chwennychent. Ac o'r diwedd daethant o hyd i dŷ y dyn tlawd y soniwn am dano.

Nid oedd neb yn y tŷ oddigerth y gwr a'i fab hynaf, a dwy eneth fechan, Barbara a Regina: yr oedd y fam, ac un o'r bechgyn wedi myned âg ychydig ŷd i'r felin i'w falu, ac felly y diangasant hwy.

Wedi i'r Indiaid ddyfod i'r tŷ, ymaflasant yn y tad ac yn y bachgen a lladdasant hwy yn y fan, a chymmerasant y ddwy eneth fechan i ffwrdd—un yn ddeg oed ar llall yn naw. Aethant â hwy ymhell bell oddiyno, gyda lluaws mawr o blant bychain galarus ereill, y rhai a ddygasant ymaith wedi idd-ynt yn gyntaf lofruddio eu rhïeni.

Ni wybuwyd byth pa beth a ddaeth o Bar-bara fechan; ond Regina a roddwyd at hen wraig o'r Indiaid, gyda geneth fechan arall ddwyflwydd oed, yr hon na's gwelodd Re-gina erioed o'r blaen. Bu yr hen wraig hon yn greulon iawn wrthynt. Nid oedd ganddi ond un mab, yr hwn a fyddai yn absennol oddiwrthi am rai wythnosau; ac yn y cyf-amser hwnw arferai yr hen wraig yru y ddwy eneth fach i'r coedwigoedd i gynnull iddi wreiddiau a ffrwythau cymmwys i'w bwyta; ac os dygwyddai iddynt ddyfod adref heb ganddynt ddigon iddi curai hwynt yn dost.

Nid oedd Regina byth yn anghofio ei thad a'i mam, a'r eneth fach arall oedd bob amser yn ymlynu wrthi hi. Tan y coed a'r prysg-wydd dysgai Regina i'r eneth fach benlinio ar y ddaear, a gweddïo ar yr Arglwydd Iesu Grist, ac adrodd gyda hi yr holl bennillion bychain a ddysgodd ei thad a'i mam iddi yn y bwthyn bychan gartref.

Fel hyn yr aeth naw faith flwyddyn dros eu penau, hyd onid oedd Regina [illegible]

pedair-ar-bymtheg oed, a'i chyfeillies fechan oddeutu un-ar-ddeg. Ac yr oedd eu calonau bychain, drwy yr holl amser, fel yn dymuno am yr hyn oedd dda. Yn y caethiwed hwn arferent adrodd i'w gilydd yr adnodau a lynasant yn nghof Regina; ond yr oedd un pennill bychan a hoffent yn fwy nag ereill, a hwn a adroddent yn fynych fynych.

Yn y fl. 1764, gwelodd Duw yn dda arwain y milwr Seisnig hwnw, y Milwriad Bouquet, i'r fan lle yr oeddynt. Efe a orchfygodd yr Indiaid, ac a wnaeth iddynt ofyn am heddwch. Efe a ganiataodd hyny iddynt ar yr ammod y byddai iddynt roddi i fynu iddo ef yr holl bobl wynion oedd yn gaethion ac yn garcharorion ganddynt. Yna dygwyd dros bedwar cant at y Milwriad, ac yn eu mysg y ddwy eneth fechan hyn. Yr oeddynt oll yn wrthrychau gresynus, ac yn teilyngu y tosturi mwyaf.

Arweiniodd y Milwriad hwy i dref Carlisle, yn Pensylfania, a chyhoeddodd yn mhob papur newydd, am i'r holl rïeni ag oedd wedi colli eu plant trwy yr Indiaid, dyfod yno i chwilio am danynt yn mysg y pedwar cant.

Yn mhlith ereill daeth mam Regina, yn wraig weddw alarus, i dref Carlisle i edrych a allai hithau gael hŷd i'w phlant ag oedd wedi eu colli! Ond wedi iddi fyned yno, nid oedd yn adnabod Regina, ac nis gallai ychwaith. Yr oedd wedi tyfu i fynu, yn debyg yr olwg i'r Indiaid, wedi eu gwisgo yn yr un dillad a hwythau, ac yn siarad yr un fath a hwy hefyd.

Aeth yr hen wraig i fynu ac i lawr drwy y dorf dan wylo, ond nis gallai adnabod ei phlentyn. Yr oedd yn sefyll i edrych arnynt, ac yn wylo yn chwerw pan ddaeth y Milwriad ati, ac a ofynodd iddi, "A ydych chwi yn cofio *dim* drwy yr hyn y gallech gael hyd i'ch plentyn?" Atebai hithau nad oedd yn cofio dim ond pennill o hymn fechan a arferai ganu i'w phlant, yr hwn oedd fel y canlyn:—

Fy hun, ac nid fy hun yr wyf
Mewn anial tywyll du,
Rhoi cysur yn y man lle b'wyf
Y mae 'Ngwaredwr cu:
A'r man bo Ef â'i wyneb cun
Nis gallaf fi fod yno 'm hun.

Archodd y Milwriad arni fyned at y dorf plant, a chanu yr hymn fel yr arferai wneuthur gynt. Prin iawn yr oedd y fam alarus wedi canu dwy linell drosodd, nad dyma Regina yn rhuthro o'r canol, ac yn taflu ei hunan i freichiau ei mam. Yno yr oedd y ddwy yn wylo o lawenydd, a'r Milwriad yn llawen iawn o'u cyflwyno i'w gilydd. Ond am yr eneth fach arall, nid oedd ganddi hi rïeni. Yr oedd yn debygol iawn eu bod wedi eu lladd. Ymaflodd yn Regina, ac ni adawai iddi fyned i ffwrdd hebddi, ac o ganlyniad aeth gyda hi adref, er mai tlodion iawn oeddynt.

Wedi myned i mewn i fwthyn ei mam dechreuodd Regina holi am "yr hen lyfr yr oedd Duw ynddo yn llefaru wrthym ni." Ond nid oedd gan ei mam hi yr un Bibl; yr oedd yr Indiaid wedi ei losgi, pan losgasant y tŷ yn Philadelphia, ac y lladdasant y teulu oll.

Cymmaint oedd awyddfryd Regina am y Bibl, a chymmaint oedd awydd y fam am iddi ei gael, fel y penderfynodd fyned i Philadelphia i brynu un—ond y Gweinidog a roddodd un iddynt, a'r foment y derbyniodd Regina ef i'w llaw, er syndod mawr, darllenai ef yn rhugl.—*Todd's Sunday School Teacher, p.* 166—169.

---

## Y FRWYDR FAWR, NEU Y DDADL BOETHLYD.

Barch. Syr,—Gwelwch yn dda ganiatau i mi fynegi fy meddwl mewn perthynas i'r frwydr fawr sydd yn para o hyd yn y Cyhoeddiadau misol, rhwng y Parchedigion L. Edwards ac S. Roberts. Yr wyf yn tystio bod genyf barch diragrith iddynt, gan eu hystyried yn wyr o ddysg a dawn i ysgrifenu; ond mae yn ofid calon i mi, a llawer ereill, eu bod yn ysgrifenu *fel*, ac ar y *materion, y maent*, er ys misoedd bellach. Maent yn frodyr rhy anwyl a defnyddiol i'w gadael i ddyfetha eu cysur, a chamddefnyddio eu hamser, i frwydro â'u gilydd, a chynhyrfu y gwledydd â'u hysgrifeniadau. Am hyny, yr wyf yn gofyn cenad i godi i fynu yn ngwydd Cymru, i *ddymuno*, neu i *gymhell*, bod iddynt hwy, a Mr. Mills, ac ereill, roi i fynu y ddadl bellach, a pheidio ysgrifenu, (yn y Misolion o leiaf,) ar y pynciau sychion a chynhyrfus hyn; a bod iddynt ddefnyddio eu talentau godidog i ysgrifenu ynddynt ar destunau mwy melys a phwysig na *Constitutional Deed* y Trefnyddion, a Natur Eglwys. A bydded i bwy bynag o fy mrodyr, y Trefnyddion a'r Annibynwyr, ag sydd yn cyd-weled â myfi yn hyn gefnogi y cynnygiad hwn yn yr *Athraw*, y *Drysorfa*, neu y *Dysgedydd*, am y mis nesaf. Yna gobeithiwyf yr ufuddhant; o herwydd mae nodweddiad a chyssegredigrwydd crefydd; ac hefyd, diogelwch, tangnefedd, ac uchel anrhydedd y *Dissenting Interest* trwy Gymru, yn galw yn uchel am iddynt dewi, debygaf fi.

Gan hyny, dywedaf wrthynt yngeiriau yr Apostol, "Yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth, ac na byddo ymbleidio yn eich plith: eithr bod o honoch wedi eich cyfan-gyssylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn."

Os na ellwch fod o'r un farn am y pethau a enwyd, gadewch lonydd iddynt, fy mrodyr anwyl; a llawenhewch eich bod o'r un farn am y drefn ryfedd i gadw pechadur. Ac os oes angenrheidrwydd am ychwaneg o eglurdeb ar y *Constitutional Deed*, neu ar Nat-

r

Eglwys, gwnewch hyny trwy gyhoeddi llyfrau, ar eu penau eu hunain, ac nid yn Nghyhoeddiadau Misol y Dywysogaeth.

Mae gennyf ychydig bethau i ddywedyd wrth fy mrodyr parchedig a dysgedig hyn, nad yw yn perthynu i bawb eu deall; am hyny mynegaf fy meddwl mewn iaith adnabyddus iddynt hwy, er nad yw felly i bawb.

Je suis tres fâche mes chers freres de tout l' embarras que vous vous êtes donnèes. Je aurait cependant beaucoup mieux valu ne rien dire. Car ce que vous avez fait est plus important que vous ne l' imaginez; parceque les divisions et la discords entre les chretiens sont d'autant plus immenses que les causes qui y donne lieu sont peu importants; le caractère qui a ête montre et les expressions employèes par les deux parties sont entièrement indignes des ministres savants comme vous.

Abandonez Je vous prie ces sujets desagreables qui ne tiennent a rien de bon Il y a des sujets de plus grande importance que le contrat constitutionnel des Methodistes, et la nature du gouverhement de l'eglise.

C'est pourquoi Je vous conjure d'emyloyer vos talents, vos affections, vos mains, des quelques choses plus profitables.

Les hommes savants ne font pas toujours tout les biens qu'ils pourraient faire.

Votre reputation ne depend pas de caprice des hommes, ni des louanges qu'on vous donne et accorde; mais elle depend nos actions louables et utiles que nous faissons. Il n' existe pas un homme dans le monde quelque soit son merite, qui ne sentirait quelque mortification, s'il savait tout ce qu'on dit et ce qu'on pense de lui.

"Mes Freres, que la grâce de notre Seigneur Jesus Christ soit avec votre esprit."

J' ai l' honneur, d' etre votre tres-humble et tres-obeissant serviteur, et votre tres-sincère ami,

Dans l'union de l'Evangile,

*Trallwm.* D. MORGAN.

## GOFYNION.

### AT MR. L. WILLIAMS, LLUNDAIN.

ANWYL SYR,—Wrth ddarllen eich Dosbarth Seryddawl yn Rhifyn Mai, 1841, tu dalen 136, gwelais beth ag sydd yn ymddangos i mi yn anghyssondeb i'r eithaf; sef dywedir am *Jupiter*, fod ei thryfesur yn 89,000 o filltiroedd, sef 11 o weithiau yn fwy na'r ddaear; a Sadwrn yn 79,000, oddeutu naw gwaith yn fwy na'r ddaear. Ond dyma lle mae'r anghyssondeb, pa fodd y mae *Georgium Sidus* yn ddim mwy na 34,000 o dryfesur, ac yn fwy o 80 o weithiau na'r ddaear? Attolygaf ar Mr. L. Williams egluro hyn i ni ar frys. RICHARD DAVIES.

*Moel y froches.*

Syr,—Ar ba sail y naccewch chwi (y Trefnyddion Calfinaidd) fedyddio babanod dynion digred? Nid wyf yn gofyn hyn yn gecrus, nac oddiar anghydsyniad â'ch dull, (oblegid barnwyf yn ddiysgog a chydwybodol mai yr eiddoch sydd fwyaf ysgrythyrol) eithr o herwydd bod ereill o wrandawyr cyson yr enwad uchod yn ei olygu yn gyfeiliornus, ac ni bydd sylw neb yn fwy cymmeradwy na'r eiddoch chwi, Mr. Cyhoeddwr. Attolygwyf arnoch wneud sylw buan o hono.

Wyf, Syr, yr eiddoch,

*Aberaeron* IOLO GLAN MUCHEDD.

### *At Olygydd y Drysorfa.*

Syr,—Cefais lawer o bleser y naill dro ar ol y llall, wrth ddarllen yn eich cylchgrawn tra buddiol atebion cynnwysfawr a synwyrol, i lawer o ofyniadau dyrus a anfonwyd iddo. Byddaf ddiolchgar i chwi os gosodwch y gofyniadau canlynol yn y Drysorfa.

1. Pa bryd, a chan bwy, y pregethwyd yr efengyl gyntaf yn Rhufain?

2. Paham yr ysgrifenodd Paul ei lythyr at y saint yn y ddinas hòno yn yr iaith Roeg yn hytrach na'r Lladin, gan mai Lladin oedd iaith trigolion y ddinas?

3. Pa bryd yr ysgrifenodd Paul y llythyr hwn, ac o ba le yr ysgrifenodd efe ef?

CARWR GWYBODAETH.

BARCHUS OLYGYDD,—Diolchwn i chwi, neu rai o Ohebyddion deallus y Drysorfa, os hysbyswch i mi y rheol am iawn osodiad y tair llythyren a ganlyn, yn niwedd geiriau; sef *i*, *u*, *y*. Gosodaf bedwar gair ger eich bron er engraifft; *athrawiaethu*, *argyhoeddi*, *cerydd*u, *hyfforddi*, a geiriau cyffelyb i hyny. Paham y gosodir *u* yn y gair *athrawiaethu*, ac *i* yn y gair *argyhoeddi*? Mi a feddyliwn mai yr un rhan o ymadrodd yw y naill fel y llall. Diau y byddai rhyw gyfarwyddyd am iawn osodiad y llythyrenau hyn yn fuddiol iawn i'r genedl ieuainc. Cawsom ein anrhegu genych flynyddau yn ol â Grammadeg trwy gyfrwng y Drysorfa. Byddwch cystal a'n anrhegu etto â rhyw engraifft neu reol i osod y llythyrenau uchod yn briodol.

Hefyd, yn mherthynas i'r llythyren *y*, y lle priodol o'i gosodiad hi mewn geiriau.

EBWYDD BACH.

A welwch chwi yn dda, neu rywun o'ch Gohebwyr, hysbysu i mi, a oes meddyginiaeth i'w gael i iachau Rhwygiad, neu, fel y dywed rhai, Toriad llengig, (*Rupture*)? Ac os oes, pa beth ydyw? Diolchwn i, ac amryw ereill, am gael gwybodaeth am hyn.

R. D.

Syr,—Dymunaf gael gwybod, pa un ai y Cyfammod Gweithredoedd, ai y Cyfammod Gras, ai ynte oedd y ddau yn cael eu gwneud âg Israel ar Sinai, yr hwn Gyfam-

mod y sonir am dano yn yr 8fed bennod o'r Hebreaid?

Pa fodd y cysonir yr adnodau canlynol: Mat. 21. 41. a Luc 20. 16.

Mae Matthew yn dyweyd mai yr arch-offeiriaid oedd yn dywedyd, 'Efe a ddifetha yn llwyr y dynion drwg hyny.' Ac y mae dull Luc o ymadroddi, fel pe buasai yr Iesu yn dyweyd, 'Efe a ddaw ac a ddifetha yn llwyr y dynion drwg hyny;' a'u geiriau hwythau yw, 'Na ato Duw.'

*Blaenau Festiniog.* IOANNES.

A oedd marwolaeth yn hanfodol i'r natur ddynol cyn y cwymp? Os nad oedd, Pa fodd yr oedd yn ymgynnal ar bethau naturiol; megis cysgu a bwyta, &c.?

R. W. O.

Dymunwn gael gwybod trwy gyfrwng y Drysorfa, beth ydyw meddwl y gair *cymmell;* dywed rhai nad ydyw yn meddwl dim mwy na *chynghori;* dywed ereill ei fod yn *gorfodogi, &c.* Atebiad i hyn a foddlona amryw, heblaw yr eiddoch,

*Llundain.* L.—s. W—s.

---

## ATEBION.

*Cyfieithiad o'r llinellau Saesoneg yn y Drysorfa am Ebrill.*

IOAN iv. 5—10.

At ffynon Jacob daeth estronawl ddyn,
A'i gais oedd diluddedu 'i babell flin;
Ni ddaeth i dyb 'r hon ddaethai i dynu dw'r,*
Mai Duw ac Arglwydd Jacob oedd y gwr.

Pe gwybuasai hyn, ei meddwl prudd
Am ffrydiau gwell frefasai fel yr hŷdd;—
Messia tirion nis gomeddai hi,
Ond rhoddai iddi 'r *ffrydiau gwell* yn lli'.

Mae yr hen ffynon hon, fel cywir ddrych
Yn adlewyrchu delw Prydain wych:—
Yn awr mae'r Iesu 'n tramwy trwy ein tir,
Ond pwy sy'n ei adnabod Ef—*Y Gwir.*

Ond rhaid i Frydain adwaen hwn yn awr,
Neu gael i'r eithaf deimlo'i cholled fawr;
Gwel fywiol ffrŵd,—nac oeda ddim yn hwy,
Ond ŷf o hon,—ac na sycheda mwy:

*Bangor.* GLASLYN.

*Atebiad i Ofyniad W. Hughes, Llanllyfni, Rhif.* 125, *tu dalen* 148, *am eglurhad ar Mat.* 12. 5.

Gof. 1. Pa gyfraith a feddylir?

Ateb. Cyfraith Moses. Gwelir y gyfraith yn nghylch y Sabbath, berthynol i'r offeiriaid yn Num. 28. 9.

Gof. 2. Beth a feddylir wrth fod yr offeiriaid ar y Sabbath yn y *deml* yn *halogi* y Sabbath.

Ateb. Bod yr offeiriaid yn y deml yn cyflawni eu gorchwylion ar y Sabbath fel pe buasai yn rhyw ddiwrnod cyffredin arall. Rheol y gyfraith Iuddewig oedd, '*Templo non esse Sabbatum;*' hyny yw, Yn y deml ni bydd Sabbath.

Gof. 3. A pha fodd yr oeddynt yn ddigerydd?

Ateb. Yr oedd addoliad y deml yn eu beagusodi, a'u bod yn gwneud eu gorchwylion at wasanaeth Duw yn peri eu bod yn ddigerydd, er gwneud pethau oeddynt ynddynt ac o honynt eu hunain yn halogi y Sabbath; megys lladd aberthau, blingo, darnio, cynneu tân, &c. y rhai pe eu gwneuthid mewn rhyw le arall, ac i ryw ddyben arall, amgen nag at wasanaeth Duw, a fuasai yn dwyn cerydd a chosp angeuol arnynt. Yr oedd ymadrodd cyfystyr â hyn yn nghyfreithiau Rhufain Baganaidd, yr hwn, yn ei iaith gynhenid, a ddarllenid fel hyn, '*Umbro negabat pollui qui opus ad deos pertinens sacrorumve causa fecisset,*' hyny yw, Ni fynai Umbro gael ei halogi ond mewn gwaith perthynol i'r duwiau, neu a gyflawnid yn achos defodau sanctaidd.—*Vide Synopsis Criticorum et Aliorum Commentatorum in Mat.* 12. 5.

*Gynt Llanllyfni.* D. LLOYD.

*Atebiad i Ofyniad Myfyr, yn Rhifyn Mai, tu dal.* 148, *am amser i boeni y diafol.*

PAN bechodd yr angylion hwy a gollasant ffafr a phresennoldeb Duw; ac yn awr y maent yn teimlo ei ŵg a'i lid; ac fe'u gyrwyd hwynt allan o'r nefoedd, ac fe'u gorfodwyd i adael eu trigfa yno. Ond etto, gwyddent nad ydyw eu llawn gospedigaeth gwedi ei fwrw arnynt. Ond fe ddaw amser yn yr hwn y poenir y cythreuliaid yn fwy, a gwyddant hyny. Y dydd olaf yw dydd gosodedig eu poenedigaeth gyflawn, yn y Tophet hwnw a ddarparwyd er doe i'r brenin, i benaeth y cythreuliaid, ac i'w angylion.

Ond y maent yn awr gwedi eu rhwymo mewn cadwyni, ac fe gyrhaedda eu gallu gymmaint a hŷd y cadwyni, ond dim yn rhagor; a chânt yn awr beth esmwythder mewn cydmariaeth, ond daw dydd (*sef dydd y farn*) pan y poenir hwynt yn hollol; ac yr wyf o'r farn mai y dydd hwnw a feddylir yn yr adnod y crybwylla MYFYR. Ac yn y dydd hwnw y rhwymir y diafol a'i blant mewn cadwyni tragywyddol, ac y bwrir hwynt i'r tywyllwch eithaf, a bydd anadl digofaint yr Arglwydd megys afon o frwmstan yn eu hyau, a thragywyddoldeb diddarfod o'u blaenau, heb byth obaith am ymwared o'u trueni.

*Glan yr afon.* R. AB GWILYM.

*Atebion i Ofyniadau Delta, yn Rhifyn Mai, tu dal.* 148.

Gof. 1af. *Beth yw bendithio.* Pan briodolir bendithio i'r Arglwydd, arwyddocir

---

* Y wraig o Samaria.

yn 1af, Ei ddaioni yn cyfranu cyflawnder o roddion a phethau tymhorol i unrhyw bersonau, a gwneuthur eu hamgylchiadau a'u hachosion yn llwyddiannus a hylwydd yn y byd: megys yr eiddo Laban a Jacob, Gen. xxx. 27. xxxix. 5.

II. Rhoddiad o fendithion tymhorol, ysbrydol, a thragywyddol i'w bobl, Gen. xii. 2. xxv. 35. Act. iii. 26. Eph. i. 3.

III. Trwy wneuthur ei bobl yn berffaith ddedwydd mewn cyflawn fwynhad o hono ef ei hun yn y nefoedd, Dat. xiv. 13.

IV. Trwy sancteiddio a neillduo unrhyw beth at wasanaeth cyssegredig a sanctaidd, Gen. ii. 3. Exod. xx. 11.

Pan y perthyn hyn i ddynion, 1af, golygir eu gwaith yn cyhoeddi ac yn datgan eu bendith mewn modd difrifol ac arbenig, ar un yn fwyaf neillduol; tebyg i hyn y gwnai y Patrieirch sanctaidd yn ol ordinhad Duw, trwy osod a gwneuthur un o'u meibion yn brif berchen ac etifedd o'u hetifeddiaeth, ac nid o'u heiddo hwy yn unig, ond o addewidion a bendithion y Cyfammod hwnw a wnaed gan Dduw â'u tadau; gan ragddywedyd, a gweddïo, am y bendithion hyny y gwnai yr Arglwydd yn ol ei air, eu cynnysgaeddu â hwynt, Gen. xxvii. 4. 25. 30. 2. Mae'n cynnwys taer-ddymuniad a gweddi ar Dduw am gyfraniad o'i fendithion i ereill, Num. vi. 23, 24. 2 Sam. vi. 18. Luc vi. 6, 28.

Gof. 2il. *Pa fodd mae i ni fendithio yr Arglwydd, yr hwn sydd yn ein bendithio ni?* 1af, Trwy ddyrchafu, mawrygu, a moliannu enw'r Arglwydd, am ei arddercbowgrwydd annhraethol, perffeithrwydd ei natur sanctaidd, a'r hyn oll ydyw ynddo ei hunan, Ps. xcv. 3, 6. civ. 1. 3. cxxxviii. 1, 2, 6, cxlv. 1, 10.

II. Trwy gydnabod a chyfaddef, gyda diolchgarwch gostyngedig, aml ddaioni, trugareddau, bendithion tymhorol ac ysbrydol, a dderbyniasom ni ac ereill o law yr Arglwydd; ac yn y Salm ciii. y cawn ddysgrifiad cywir o wir gydnabyddiaeth y Salmydd duwiol am y bendithion hyn, &c. ac yn y profiad o honynt y mae'n galw yn egnïol ar ei enaid, â'i holl alluoedd, 'y cwbl sydd ynof,' i fendithio enw yr Arglwydd, y rhai y coffâ efe yn deilwng a difrifol iawn, adn. 1—14. Ps. xxxiv. 3. 8. lxviii. 19, 20. cxi. 5. cxvi. 12. Galar. iii. 22, 26. Act. xxv. 28. Eph. i. 3. Phil. iv. 6. 1 Pedr i. 3. 1 Tim. ii. 1.

*Caerlleon.* J. M.

ARALL.

1. Wrth fod Duw yn bendithio dyn y meddylir, ei wneud ef yn dda, neu yn well, neu yn fwy dedwydd, adn. 3, 4. Yn yr ystyr hyn ni all dyn fendithio Duw, oblegid mai derbynydd ydyw dyn, Act. 17. 25. Ond wrth fod dyn yn bendithio Duw y meddylir, dweyd yn dda am dano, neu ei ganmol, a'i foliannu ef. Ps. ciii. Darllener y Psalm i gyd, y'nghyda'r Psalmau canlynol iddi. Hefyd, ei ganmol yn wyneb gwg rhagluniaeth, 1 Sam. 3. 18. Job 1. 21. yn enwedigol am ei ddoniau achubol, Col. 3. 15.

2. Pa fodd y mae i ni fendithio yr Arglwydd? "Pa beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi.' Ateb. Phiol Iachawdwriaeth a gymmeraf, ac ar enw yr Arglwydd y galwaf, 'gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad am bob peth, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist,' Gal. 3. 17. 'Trwyddo ef, gan hyny, offrymwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau yn cyffesu i'w enw ef.'

E. THOMAS.

---

SYR,—Dymunaf i chwi, neu ryw un o'ch Gohebwyr deallus, roddi atebiad i'r gofyniad canlynol, drwy gyfrwng y *Drysorfa*, a hyny mor fuan ag y byddo modd.

Rhyw amser yn ol, cymmerodd priodas le rhwng Iago, a Mary ——. Mewn o gylch mis ar ol priodi, gadawodd Iago Mary ei wraig, ond paham y gadawodd efe hi, nis gwn. Ond pa fodd bynag mewn o gylch tair blynedd wedi i Iago ymadael â Mary, efe a briododd wraig arall, er bod Mary ei wraig gyntaf yn fyw y pryd hyny, ac yn fyw etto hefyd. Yn awr, y mae Mary wedi digio drwyddi; ac yn dymuno cael gwybod, drwy gyfrwng y Drysorfa, a ydyw yn gyfreithlon yn wyneb gair Duw iddi hithau hefyd briodi tra y byddo Iago ei gwr yn fyw? Y mae hi yn tystio nad godineb o'i thu hi a barodd iddo ef ymadael â hi.

PELAGIUS.

ATEB.

Diau y dylid cospi Iago am briodi gwraig arall, a'i wraig Mary etto yn fyw, Rhuf. 7. 2, 3. a 13. 4.

Ond mewn perthynas 'i Mary fod yn rhydd i briodi gwr arall,' mi a gymmeraf fenthyg ymadrodd o bregeth ragorol y Parch. H. Gwalchmai ar 'Ieuo yn anghymarus,' i hysbysu ei farn ef ar y mater. 'Pwy bynag a briodo yr hon a ysgarwyd, y mae efe yn gwneuthur godineb.' Mat. 5. 32. 'Ni all neb fod yn briod â mwy nag un ar unwaith; ïe, ni all hyd yn nod neb o'r pleidiau ysgaredig, hyd nes y bydd i angeu roddi terfyn i oes un o honynt.' tu dal. 10.

CYHOEDDWR.

---

Y MODD I ORPHEN UNRHYW WAITH WEDI EI DDECHREU.

Fy rheol i at hynyma yw hyn:—Dwys ystyried cyn dechreu gorchwyl a ydyw yn gyfryw ag a ddylwn ei wneuthur, ac a ydyw yn fy ngallu ei gyflawni. Os nad yw yn orchwyl a allaf ei gyflawni, ni chynnygiaf arno; ond os ydyw o fewn fy ngallu i'w gyflawni, drwy ymroddi i'w wneuthur, ni orphwysaf nes y gorphenwyf ef.

DR. HUNTER.

## CYNGHORION MEDDYGOL.

*Rhag y Peswch.*—Cymmerwch 20 *grain* o *Ipecacuanha*, 40 dyferyn o *laudanum*, 4 owns o *clarified honey*, a hanner llonaid cwpan dê o finegr. Dodwch hwynt oll mewn pottel hanner peint, a gorphenwch ei llenwi hi â dwfr. Ysgydwch a chymmysgwch y cyfan â'u gilydd. Cymmerwch ddwy lonaid llwy fwyta o'r cymmysg hwn ddwy waith neu dair yn y dydd.

*Domestic Economy for April*, 1841.

*Rhag y Quinsy.*—Gan fod lluaws o ddynion yn dyoddef yn dost gan ddolur yn y gwddf, meddyliais y byddai y cyngor canlynol o werth ei argraffu yn y Drysorfa, ac yn dderbyniol ganddynt hwythau.

Cymmerwch olwyth bras o gig moch, wedi dechreu melynu, os gellir ei gael, a deliwch ef o flaen y tân i doddi am ben ystor (*rosin*), ac wedi i'r ddau cyd-doddi a chymmysgu, rhoddwch hwy mewn gwlanen am eich gwddf, a gwisgwch ef nes y deloch yn berffaith iach. Y mae yn esmwythau yn fuan, ac yn rhyddhau y gwddf, trwy ostwng y chwydd gyda brys. Profwyd ef yn effeithiol iawn lawer gwaith.—*Oddiwrth Ohebydd.*

*Rhag diffyg Traul Bwyd* (Indigestion).—Cymmerwch *Powdered Rhubarb*, 1 *scruple*, *Bi Carbonate Magnesia*, 10 *grains*, *Tincture Columba*, 2 *drams*, *Cinnamon Water*, 6 *drams*. Cymmysgwch hwynt ynghyd, a llyncwch y cyfan yn yr hwyr, cyn fynyched ag y byddo yr afiechyd yn gofyn. Gwna llai y tro i ieuengctyd. Profwyd y cyngor hwn, a chafwyd ef yn effeithiol iawn.

## COFIAINT.

### COFIANT THOMAS HUGH, TRAWSFYNYDD.

Thomas Hugh oedd fab i Hugh Ellis, a Catherine Thomas, o blwyf Trawsfynydd. Ganed ef yn y flwyddyn 1760, a bu farw Hyd. 19, 1840, yn ychydig dros ei 80 mlwydd oed.

Byddai yn arfer gwrando gweinidogaeth yr efengyl yn lled ddiwyd yn mhob man y cai gyfle: ychydig o foddion gras ydoedd y pryd hyny mewn cydmariaeth i'r hyn sydd yn awr. Yr hyn a effeithiodd yn benaf ar ei feddwl er ei ddwyn i ystyriaeth am fater ei enaid oedd gair yn mhregeth Mr. Rees, Llanfynydd, yn y Bermo, debygaf, ryw bryd yn y 1789; sef, 'fod yr Arglwydd yn gyffredin yn dechreu gweithredu ar feddyliau y rhai ag yr oedd yn meddwl eu hachub cyn eu 30 mlwydd oed.' Nis gallasai ymysgwyd oddiwrth y sylw hwn. Beth bynag penderfynodd gyd a'r wraig y lletyai yn ei thŷ (oblegyd yn y Bermo yr oedd y pryd hwn yn dilyn ei alwedigaeth o adeiladu tai) fyn'd dros y Bibl o'i gŵr, ac felly y bu. Aethant ill dau dros yr holl gyfrol sanctaidd yn lled fuan, gan ddarllen bob yn ail adnod.

Yn fuan wedi hyn, sef pan oedd ynghylch 30 mlwydd oed, efe a ymunodd â'r eglwys ymha un y bu yn aelod hardd, a diddolur, am oddeutu 50 o flynyddau. Gwnaed ef yn flaenor yn mhen ychydig wedi hyn, ond anfoddlawn iawn oedd i'r swydd gan ystyried ei anghymwysder i'r fath sefyllfa; 'ni chymmerodd yr anrhydedd hwn iddo ei hun.' Yn yr holl gylchoedd ag y gosodwyd ef i droi ynddynt gan ragluniaeth ddoeth y nef amcanai, hyd eithaf ei allu, i'w llenwi yn deilwng i'w broffes.

Yn ei alwedigaeth dymborol bu yn effro a diwyd hyd y gallodd. Fel Tad yr oedd yn dirion a gofalus; nis gallesid dywedyd am dano mai 'gwaeth oedd na'r diffydd.' Fel Cristion rhodiodd lwybrau uniawn, gan ymdrechu i 'ymddwyn yn addas i efengyl Crist.' Fel Henuriad yn eglwys Dduw yr oedd yn ymgeleddgar, gonest, a di-dderbynwyneb, gan ystyried pwysfawrogrwydd ei swydd a'r cyfrif oedd yn ei aros. Yr oedd yn hynod o wrthwynebol i feithder mewn dim—yr oll a ddywedai fyddai'n fyr ac i'r pwrpas. Yn ei fasnach â'r byd yr oedd yn ddiareb am eirwiredd, gonestrwydd, a *phunctuality*. Yr oedd ei eiriau a'i addewidion yn llwon yn wastad yn ei olwg: llawer gwaith y dywedodd wrth ei blant am beidio a phrynu dim mewn shopau heb dalu am dano ar y pryd: yr oedd yn bwngc ganddo beidio rhoddi dim i lawr, ond talu am dano wrth ei gael.

Bu am gryn bedair blynedd ar ddeg o'i ddyddiau olaf yn analluog i weithio gan henaint. Darllenodd fwy na mwy y blynyddau hyn; yr oedd rhyw lyfr beunydd o'i flaen; ei hoff lyfrau, heblaw y *Bibl*, ydoedd, *Geiriadur Mr. Charles*; *Llyfr Gurnal*; *y Wisg Wen*; *Eliseus Cole*; *Taith y Pererin*; *Golwg ar Deyrnas Crist*, &c. Ac, O! na byddai mwy o ddarllen ar y Llyfrau hyn a'u cyffelyb gan grefyddwyr yr oes hon; ni byddai hyn yn 'ochenaid' iddynt.

Ond gair neu ddau am ei ddyddiau olaf. Ae i'r fynwent yn lled fynych yn ei wythnosau diweddaf, fel pe buasai yn awyddu am y gwely pridd i orphwys. Yr oedd yn wastad am gael ei gladdu yn medd ei dad. Golygai ef yn ddyn duwiol. Ofni y glyn y byddai ar hyd ei oes; ond erbyn myned iddo gwelai fod y niwed wedi ei symud o hono. Yr adnodau a weinyddai fwyaf o gysur iddo yn y bwlch hwn oeddynt y geiriau hyny 'yn hyn y mae cariad,' &c. 'wele yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo,' &c. hefyd y darn pennill hwnw. 'Ar fyr daw dydd cai nofio i mewn i'w dawel hedd,' &c. Gan droi yn y gwely at un o'i feibion oedd wrth y pared yn ei helpu dywedai 'ni raid i ti ddim bod yna yn fy machgen i; *dyma'r dydd wedi dyfod*

Gofynai un o'i ferched iddo, pa un oreu genych fy nhad bach a'i byw a'i marw? O, ebe yntau, 'dim eisieu mendio yn ychwaneg.' Codai ei lygaid i ben y gwely, a gwenai, gan ddywedyd yr adnod hono, 'nid oes lidiawgrwydd ynof.' Codai ei ddwy fraich i fynu fel pe buasai yn treio ei nerth, gollyngai hwynt i lawr gan ddywedyd 'wel, wel, dyma fy nerth i wedi darfod!' Cyffelybai ei hun i un ar lan y môr yn dysgwyl y don olaf; dymunai yn fawr gael cyfranogi unwaith yn ychwaneg o Swper yr Arglwydd, fel y tro olaf cyn gweled y person fel y mae a bod yn debyg iddo: felly efe a gafodd y fraint: wedi darfod dywedai wrth rai o'i blant ag oedd yn sefyll yn ei ymyl, fod crefydd wedi newid yn fawr y dyddiau hyn ragor oedd yn ei ddyddiau ef: ychydig, ebe fe, sydd o siarad yn awr am y person bendigedig y bum yn gwneuthur cof am ei angeu gwerthfawr. Dywedai un cyfaill o enwad arall, wedi ei farwolaeth, 'Wel, wel,' does dim i ni ond gweddïo na thyfo y drain yn uwch na'r allor; peth mawr yw symud ymaith hen flaenoriaid duwiol.' Yn ei wylnos llefarodd Mr. David Thomas, Sir Aberteifi, a'r Parch. John Jones, Talysarn, oddiar Ps. 23. 4. a Mat. 24. 44. dywedai yr olaf wrth gymmwyso ei bregeth at yr achlysur 'wel, meddyliwyf y dylwn wneyd crybwylliad o'r amgylchiad sobr sydd wedi cymmeryd lle yn eich ardal y dyddiau diweddaf, sef marwolaeth ein hanwyl dad; yr oeddych yn deall wrth fy nhestyn mai dyma yr achos i mi lefaru arno heno. Er mai amgylchiad sobr yw marw i bawb, etto yr oedd yn elw mawr iddo ef; yr oedd buchedd sanctaidd a bywyd duwiol ein hen dad yn eglur ddangos ei fod ef yn Nghrist er's llawer o flynyddau. Bu yn was ffyddlon i'r Eglwys yn y lle yma, yn eu cynghori a'u rhybuddio am hir amser. Y mae yn awr wedi tewi, ei ganwyll wedi lloagi i'r *socket*—ac yntau wedi ehedeg i'r wlad lle ni ddywed yr un o'i thrigolion 'claf ydwyf.' Da fyddai i filoedd ddilyn ei esiampl, a chanlyn ei ol.'

Yn mhen tua hanner blwyddyn wedi hyn claddwyd merch iddo, yn meddu, yn ol pob argoelion, yr un werthfawr ffydd ag yntau. Gofynwyd iddi, yn ei dyddiau olaf, am ei phrofiad: atebai hithau fod yr aberth mawr yn ddigonol i'r penaf o bechaduriaid. Dywedodd hyn lawer gwaith yn ddystaw fel y gallai, o herwydd yr oedd mewn gwaeledd a gwendid mawr. Gofynwyd wed'yn a oedd arni ofn marw; atebai nad oedd *ddim;* fod yn well ganddi farw na byw, a myn'd i orwedd i'r graian oer; dywedai y cai 'godi o'r bedd ar ddysglaer wedd ei phriod.' Ceisiai yn fynych ganu y pennill hwnw, ond yn methu gan [illegible]ndid:—

'[M]ae dyddiau griddfan imi'n hir,' &c.

Unwaith wrth ymdrechu i symud ei phen ar y gobenydd, dywedai, fe ogwyddodd Iesu ei ben, onid do? Diolch iddo, fe ddaw fy nymuniadau oll i ben ar fyrder, sef cael marw yn yr Arglwydd. Wrth y rhai a safai yn ei hymyl, dywedai, 'peidiwch ag wylo dim o'm plegyd i, y mae yn ddigon goleu oddifynu: gwn ei bod yn lled gyfyng ar fy natur yn y cystudd heddyw, ond yr wyf yn eu profi oll yn fuddiol, a gwir angenrheidiol i mi: bendigedig fyddo yr Arglwydd.' Ymdrechai i ganu y pennill hwnw:—

'O gariad, O gariad anfeidrol ei faint
Fod llwch mor annheilwng,' &c.

Gofynodd pa faint oedd ar y dydd, ac wedi deall, ymdrechai i ganu y pennill hwnw wed'yn:—

'Mae dyddiau griddfan imi'n hir
Caethiwed Babel fawr,' &c.

Fel hyn awyddai am gael ei gollwng adref. Ebe hi wedy'n, Clod byth a fyddo i'r Duwdod am gofio y penaf o bechaduriaid. Galwodd am ei merch hynaf at y gwely, a dywedodd wrthi mai crefydd dda oedd yn talu yn y glyn. Ymofyn am dani ar frys. Yna daeth ei phlant bach at y gwely; cydiodd yn dŷn yn llaw un o honynt, gan ddywedyd wrthi 'Ann bach, bydd siwr o gofio dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuengctyd,' a chyd a hyny torodd rhywbeth yn ei brest nes ei mygu mewn moment. Felly ehedodd ei rhan anfarwol *o'r diwedd* i fro lle y cai dangnefedd; ac o hyn allan 'ni chlyw lais y gorthrymydd.'

GALARWR TRWM AR OL Y DDAU.

---

## COFIANT AM JANE JONES, O RUTHYN.

J. Jones, oedd ferch T. a Jane Humphreys, gynt o'r Hendre, yn mhlwyf Derwen, Swydd Dinbych, y rhai a symudasant wedi hyny i blwyf Llanlidan. Gweddw ydoedd i'r diweddar, Robert Jones, o Ruthin, aelod hardd yn eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn y dref hòno, yr hwn a hunodd yn yr Arglwydd oddeutu chwe blynedd ar hugain yn ol.

Cafodd Jane Jones y fraint o ymuno ag achos Mab Duw yn moreu ei hoes; gadawyd hi yn weddw, fel y crybwyllwyd, oddeutu chwe blynedd ar hugain yn ol, gyda phump o blant amddifaid; a'i Thad nefol, (fel y sylwai yn fynych) ydoedd ei hunig wrthddrych i ddysgwyl wrtho am gyfarwyddyd a nerth yn ei hamgylchiad galarus; a chafodd brofi a gweled yn eglur ar hyd ei hoes, mor dda yw'r Arglwydd, ac mai gwyn fyd y gwr a ymddiriedo ynddo ef. Bu ei dau blentyn ieuangaf feirw yn eu babandod. Ei mab hynaf, ar ol cyrraedd gradd uchel o enwogrwydd fel areithydd a chyfansoddydd, ac ennil amryw wobrwyon, ac ariandlysau yn y cylchwyl-

iau Cymreigyddoligynt, a fu farw Gorph. 11, 1828. gorphenodd ei yrfa yn ddedwydd yn yr Arglwydd, a'i eiriau olaf oeddynt, 'Arglwydd Iesu derbyn fy ysbryd.' Mab a merch yn unig sydd yn fyw yn bresennol, y cyntaf sydd yn preswylio yn Aberystwyth, a'r olaf gwedi ymsefydlu yn Rhuthyn.

Yr oedd J. Jones yn agored i aml a blin gystuddiau; mynych wendid ac anhwyldeb corphorol, a thrwy y cwbl gwelodd ogoniant y Gwaredwr; a rhagoroldeb, addasrwydd, a holl-ddigonolrwydd trefn Iachawdwriaeth ynddo ef. Hoffodd y drefn, a chydsyniodd â hi o'r galon: 'cafodd ogoniant yn lle galar, a gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig.'

Byddai yn aml yn gwledda ar gariad Crist, ac yn amcanu at ganu mawl i'r hwn a'i carodd; ond oherwydd poen ag oedd yn ei *breast*, byddai yn gorfod tewi yn fuan; ond er y cwbl byddai yn llawenhau wrth gofio'r dydd y cai hi fyned adref, a chanu clod iddo heb arni na phoen na braw. Trwy lawer o orthrymderau, yr aeth i mewn i deyrnas nefoedd, yr oeddynt yn cadw ei henaid yn effro, a'i grasau yn loywon, ac mewn ymarferiad parhaus.

Am gynyddu mewn gras a sancteiddrwydd, trwy ryw foddion (er iddynt fod yn chwerwon) ydoedd ei gweddi feunyddiol. Mynych y dywedai mai 'da oedd ei chystuddio,' yr holl ffrwyth yw tynu ymaith bechodau; er llygru'r dyn oddiallan, y dyn oddimewn a adnewyddir o ddydd i ddydd; ond er ei bwrw i lawr, etto ni fyddai un amser yn cael ei llwyr adael; ond fel y byddai y dydd felly y byddai ei nerth.

Addewidion y gair oeddynt mewn modd rhyfeddol yn cael eu cymhwyso ati i'w nerthu a'i dyddanu, fel y byddai yn siriol ac yn llawen mewn gorthrymderau; nodaf rai pethau ag oedd i'w gweled yn amlwg iawn ynddi, sef parodrwydd i ymddyddan am bethau ysbrydol, awydd ac ymgais diflino am wneud daioni, dyfalwch yn moddion gras, er ei holl lesgedd a'i gwendid, a zêl a chariad oeddynt hynod iawn ynddi hefyd. Yr oedd yn dwyn mawr zêl dros ogoniant Arglwydd Dduw y lluoedd. Yr oedd yn llawn eiddigedd ac awyddfryd sanctaidd am weled sancteiddrwydd yn cynnyddu yn yr eglwys, a phob anwiredd wedi cau ei safn. Byddai ei henaid yn ymofidio ynddi pan y byddai yr enw mawr yn cael ei gablu. Yr oedd yn edrych yn graff ar y bylchau a'r adwyau a fyddai ar lawr, ac yn ymdrechu gyda'r cyntaf i'w codi i fynu. Hefyd, yr oedd y gras o gariad i'w weled yn amlwg iawn ynddi, a byddai ei henaid yn llosgi at Dduw a'i bobl.

Un hwyr Sabbath, pan oeddwn gyda hi yn tŷ, a pawb wedi myned i addoli, dechreuodd wylo, gan ddywedyd, 'O! na bawn gyda hwy yn addoli heno; y mae hiraeth ar fy nghalon am gael myned i'w deml sanctaidd ef; ond yn wir nid yw wedi fy llwyr adael, mae efe weithiau yn fy nyddanu â dyddanwch ei ysgrythyrau; waith arall daw pennill hyfryd i fy meddwl; a bydd y rhai hyn yn fwy o werth i mi yn yr amgylchiad yr ydwyf ynddo, na phe cawn y byd i gyd yn grwn.' Un tro arall, pan yr oeddwn yn dygwydd bod gyda hi, dechreuodd ganu y pennill hwnw.

> Mi gysgaf hun yn dawel,
> Dros enyd yn y grafel, &c.

Ac yna dywedai, 'O! ddydd hyfryd, pan bydd y corph gwael hwn yn fwyd i bryfed; a fy enaid gwedi ehedeg gartref i ganol gogoniant,' &c. Dywedai hefyd am y gwaed sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod, a gofidiai lawer o eisieu caru yr hwn a'i rhoddes ei hun yn Iawn. Ac wedi dyoddef llawer yn y corph, a phrofi pethau nefolaidd yn ei hysbryd, hi a fu farw, ac a aeth i danguefedd.

R. AP GWILYM.

*Glan yr Afon, Wyddgrug.*

Trwm newydd, chwaer anwylaf,
A anfonaist i mi'n awr,
Fod ein mam, ein mam dyneraf,
Gwedi ein gado ar y llawr.
P'le caf bin, ac Iaith mor dreiddgar,
Edryd rinwedd mam mor fwyn?
P'le caf inc mor ddu a'm galar?
P'le caf bapur ddeil fy nghwyn?

Fe'm cynghorodd, do, yn forau,
Mae nghydwybod heddyw'n dyst,
Ac mae adsain ei gweddiau
Etto'n swnio yn fy nghlust.
Yn y miloedd o helbulon
Gwrddais ar fy siwrnau gam,
Dirgel gredwn yn fy nghalon
Fod Duw yn gwrando gweddi 'mam.

O! mor gyson oedd ei hawydd
Am ein dysgu ffordd i fyw,
Oni dd'wedai wrthym beunydd
Nad oedd dim o werth heb Dduw?
A phe cawswn olwg arni
Cyn ei myned fry i'r nef,
Gwn mai 'chyngor olaf imi
Fuasai—'Myn ei 'nabod ef.'

Trwy ei hoes ei hoff Waredydd
Ydoedd ei phrif wrthrych cu;
Daliodd yntau hi'n ei chystudd,
Ac yn yr Iorddonen ddu:
Diau genyf nad oes heddyw
Sant na Seraph uwch y nen
Yn fwy gwresog iddo'n canu,
A rhoi'r goron ar ei ben!

Ah! pa beth, yw'm dyled bellach
Gwedi colli'm duwiol fam?
Nid galaru'n ffol a grwgnach—
Dilyn ol ei throed bob cam
Bod ei siamplau a'i chynghorion,
Ynwyf fi yn byw o hyd,
Ac y cofiwyf ei rhybuddion
Tra y byddwyf yn y byd.

R. J.

# BARDDONIAETH.

## Y NEFOEDD.

Llu cân engyl glân goleuni,—foliant
Yn filoedd aneiri';
Am eu crëad rhad i'w Rhi,
A'u cadw wedi 'u codi.* *creu.

Seintiau filiynau folant,—yr Iesu,
Ar orsedd gogoniant;
I'w Brenin am wiw bryniant,
Rhoi y goron wiwlon wnant.

## DAU ENGLYN I'R IESU.

Duw hyfiawn, a dyn hefyd,—wyt Iesu,
Tywysog y bywyd;
Y ddwy anian dda unwyd,
Yn mherson ein Iôn o hyd.

Iachawdwr rhadwych ydwyd,—Pen breiniol
Un Brenin yr holl-fyd,
O'r nef disgyni hefyd,
Ar orsedd wen, uwch ben byd.

*Plas Nannerch.* Benjamin Hughes.

## GALAR AM FY MRAWD.

*Sef y diweddar John Hughes, o Blas yn Nannerch, Swydd Ddinbych, yr hwn a fu am amryw flynyddoedd yn yr America Ddeheuol, yn yr India Orllewinol, &c. a'r tair blynedd olaf o'i fywyd yn Ffrainc. Bu farw yn Mhlas yn Nannerch, y 29ain o fis Mawrth diweddaf, yn 34 mlwydd oed.*

Rhoddi mrawd yn rhwydd y'mro—y dufedd,
A dyfod i'w amdo,
Sy'n peri clwy' trwy y tro,
A galar im' ac wylo.

Darfu ei deithiau dirfawr,—dros foroedd
Drwy ferw blin trystfawr;
Yr olaf daith ar elawr,
Oedd i wely lletty'r llawr.

Ei hanesion i'm llonni,—o brudd-der
Oedd braidd yn aneiri';
Ond yn hwy 'does mwy i mi,
Mewn tawel le mae'n tewi.

Ei odiaeth 'sgrifeniadau—'storïawl,
Ystyrir yn ddïau;
Fel profion teg o'i ddoniau,
Heb eisiau'n bod mo'm clod clau.

*Plas yn Nannerch.* Benjamin Hughes.

## ENGLYN

*I'w ddodi ar y Blwch Cenadol.*

Eich rhoddion 'n rhwyddion rhoddwch—o [giliau
Y galon cyssegrwch,
Cyfran o'r arian cofiwch,
Llonwych blant llenwch y blwch.

Un o Ysgol Sabbathol Prestatyn.

## LLINELLAU

*Ar Briodas Mr. W. Hughes, Llywydd y Llong Una, Port Madog, a Miss Jane Thomas, Bwlch-y-fedwen, Pen-y-morfa, yn Nghapel Nazareth, Penrhyn-deu-draeth, Ebrill* 16, 1841.—*Hon yw y Briodas gyntaf yn y Capel hwn.*

Priodas, addas yw, gwnaed heddyw dystio hyn,
Llaw cariad clymiad clau, a wnaed rhwng dau yn dŷn:
Rhwng Adda 'nghyd ag Efa gynt
Yn Eden Ardd, bu hardd eu hynt.

Mae hon yn ordinhad o drefniad Un yn Dri,
Gwylder â'n llanwo i gyd wrth ei harferyd hi;
Angenrhaid oedd cael dau y'nghyd
I ddechreu oesau borau'r byd.

"Nid da bod dyn ei hun," cytun ddywedai'r Tad—
Gwnaf iddo beth na fedd, ymgeledd ryfedd rad;
Hon elwir gwraig, os nad yw'n gref,
I'oesi 'n iawn o'i asen ef.

Cyfammod ydyw hwn, gochela bwn a gwall
I'r naill fyw'n hynaws heb ddigllondeb at y llall,
A gallu doeth, O! gwell yw dau
I dynu'r gwys dan rywiog Iau.

Hyfrydwch mawr ar fro yw gweled ieuo dau,
Heb anwadalwch dwl, heb goledd meddwl gau,
Bod o un farn i gadarn gyd-
Afaelu 'mhethau'r nefol fyd.

Gwaherddir ieuo 'n anghydmarus, egwan swydd
Y ffyddiog a'r digred, Ow! leied gânt o lwydd,
Ymdynu'n groes hyd oes ar daith,
Anfoddog wedd—hyn fydd eu gwaith.

Paul a dd'wedodd pen, y wraig wèn yw y gwr,
A phen yr Eglwys rydd, yw Crist rhag stormydd stwr;
A phen Crist ydyw y Duw Dad,
A hyn yn wir gaiff hir goffâd.

Y fodrwy sydd yn sel—nes del yr angeu du,
Weithredwr hŷf a thrwm, i ddattod cwlwm cu;
Fe rydd yr Ion fendithion fil
A'i gu fwynhau i gyfiawn hil.

Asaph.

# NODDFA YR AMDDIFAID, M. N. 8. 7.—Hymn 354, Casgliad Morris Davies.

GAN ROWLAND PRICHARD, BALA.

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

***Talfyriad o hanes Gweithrediadau a Llafur Cymdeithas Ysgol Sabbathol Tyddewi, am y flwyddyn* 1840, *sef y pummed er pan y'i sefydlwyd.***

| DERBYNIADAU. | £ | s. | c. | TREULIADAU. | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Yn llaw y Trysorwr oddiar 1839 | £3 | 19 | 1 | Biblau, Testamentau, &c .... | £6 | 3 | 10½ |
| Aelodau y Gymdeithas ...... | 11 | 17 | 6 | Cymdeithas Genadol Gymreig | 5 | 0 | 0 |
| Llyfrau a werthwyd ........ | 0 | 3 | 8 | Dillad i blant tlodion........ | 2 | 1 | 1½ |
| | | | | Cyfarfodydd yr Ysgol ...... | 1 | 12 | 6 |
| | | | | Am y flwyddyn ............ | £14 | 17 | 6 |
| | | | | Yn llaw y Trysorwr ........ | 1 | 2 | 9 |
| Am y flwyddyn ........ | £16 | 0 | 3 | | £16 | 0 | 3 |

HYBARCH OLYGYDD.—Ar ddymuniad Swyddogion y Gymdeithas uchod, yr anfonaf atoch Dalfyriad o'i phummed Mynegiad. Wrth gymharu y flwyddyn ddiweddaf â'r un flaenorol, gwelwch fod cyfraniadau yr Aelodau yn helaethach o 14s. 4½c. ac o £1 19s. 5c. na'r flwyddyn 1838. Fe ddosparthwyd yn ystod y flwyddyn 12 o Fiblau, 8 o Destamentau, a 151 o Lyfrau Ysgol cyffredin yn rhad.

Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar i'r Arglwydd am y daioni hyny sydd wedi ei effeithio eisoes trwy gyfrwng y Gymdeithas fechan hon. Gallwn dystio fod ein hymdrechiadau wedi llwyddo yn llawer tu hwnt i'r hyn ag oeddem yn ddysgwyl. Mae yr angen am lyfrau a deimlid ychydig yn ol, yn awr wedi ei ddiwallu i raddau helaeth; nid llai na 89 o Fiblau, 89 o Destamentau, ac 1495 o Lyfrau Ysgol cyffredin, sydd wedi cael eu dosparthu yn rhad gan y Gymdeithas yn ystod y pum mlynedd. Mae ein golwg yn bresennol yn benaf at ddilladu plant tlodion y dref a'r gymmydogaeth, sydd yn methu dyfod i gael addysg o eisieu ychydig ddillad i daflu am eu cyrph noethion. Hyderwn y bydd i'r Arglwydd, trwy y moddion hyn, gyflawni ei ddybenion mawr; ac y cawn etto weled cynnydd parhaus ar ein hymdrechiadau; ïe, bydded ein hymdrechiadau, ein cyfraniadau, a'n gweddïau, y cyfryw ag a fyddo yn deilwng i'r achos gogoneddus hwn; nid yn unig yn y dref hon; ond hefyd trwy'r wlad yn gyffredinol, fel na byddo un o deulu Gomer, heb ei hyfforddi yn Ngair yr Arglwydd.

Ydwyf, Syr, yr eiddoch yn serchog,

*Tyddewi.* E. WILLIAMS.

---

### CYMDEITHASFA CHWARTEROL SWYDD FORGANWG.

CYNNALIWYD y Gymdeithasfa uchod, yn Nghastellnedd, Mawrth 31, ac Ebrill y 1 a'r 2, 1841.

Nos Fercher, am 7, gweddiodd y Parch. Daniel Roberts, Lodge, a phregethodd y Parch. J. Hughes, Llangollen, oddiar, Diar. 4. 7, 8. a'r Parch. Thomas Richards, Abergwaun, oddiar Esa. 65. 25.—Am 8 boreu ddydd Iau, cadwyd Cyfeisteddfod, gan Gynrychiolwyr y Siroedd. Ac am 10 cadwyd Cyfarfodydd y Pregethwyr, a'r Diaconiaid, mewn gwahanol fanau,—am 1 o'r gloch, cyfarfyddodd y Pregethwyr a'r Diaconiaid ynghyd;—am 3, ar y maes, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. Rees Phillips, Llanymddyfri, a phregethodd y Parch. Moses Parry, Dinbych, oddiar Esa. 53. 12. a'r Parch William Morris, Tyddewi, oddiar Ps. 107. 20.—Am 6, yn addoldŷ y Trefnyddion, pregethodd, y Parch. Jenkin Davies, oddiar Job 20. 24. a'r Parch. Daniel Roberts, oddiar Mat. 16. 18.—Yn Soar, (addoldŷ yr Annibynwyr) pregethodd y Parch. Thos. Elias, Llangamarch, oddiar 1 Bren. 18. 21. a'r Parch. H. Gwalchmai, Llanidloes, oddiar Dat. 4. 2, 3. Yn Maes yr hâf (addoldŷ yr Annibynwyr) pregethodd y Parch. William Williams, Talgarth, oddiar Ps. 50. 23. a'r Parch. J. Hughes, Llangollen, oddiar Ps. 84. 11.—Yn addoldy y Bedyddwyr, pregethodd Mr. E. Lewis, Abergwaun, oddiar Ps. 85. 6. a'r Parch. R. Williams, Liverpool, oddiar Diar. 28. 13.—Yn addoldy y Wesleyaid Seisnig pregethodd y Parch. W. Powell, Lacharn, oddiar 1 Cor. 13. 13. a Mr. E. Davies, Briley, oddiar Mat. 16. 24. yn Addoldy y Wesleyaid Cymreig pregethodd, Mr. J. Davies, Swydd Aberteifi, oddiar Eph. 2. 7. a Mr. Richard Roberts, Dolgellau, oddiar Col. 3. 4.

Dydd Gwener, am 6, yn y boreu yn Soar, addoldy yr Annibynwyr, pregethodd y Parch. John Jones, Llanbedr, oddiar Col. 3. 4. a Mr. R. Roberts, oddiar Mat. 5. 3.—Am 10, ar y maes, gweddiodd y Parch. Thomas Elias, a phregethodd y Parch. R. Williams, Liverpool, oddiar 2 Petr 1. 1. a'r Parch. William Griffiths, Browyr, yn Saesneg, oddiar Luc 10. 42. a'r Parch. Thomas Richards, oddiar 48. 17. —Am 2, gweddiodd, Mr. James Davies, a phregethodd y Parch. H. Gwalchmai, oddiar Ps. 101. 3. a'r Parch. J. Hughes, oddiar 1 Bren. 18. 21.—Am 6, yn Soar, pregethodd y Parch. Moses Parry, oddiar

Luc 15. 10. a'r Parch. William Havart, oddiar Mica 6. 8.

Yn addoldŷ y Trefnyddion, yr un amser, pregethodd y Parch. R. Williams, Liverpool, oddiar Heb. 3. 19. a'r Parch. Morgan Howell, Casnewydd, oddiar Eph. 2. 8.

Cafwyd arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd ar y Gymanfa hon; gyda phob rhan o'r gwaith; nid ydym yn dywedyd hyn, am ei fod yn beth arferol i'w ddywedyd ond clywsom rai o'n hen frodyr yn dywedyd, na fuont mewn un gymanfa, âg arwyddion mwy amlwg, o bresennoldeb yr Arglwydd yn *gyffredinol* erioed,—y weinidogaeth oedd effeithiol iawn, a'r gweision yn cael cymhorth i'w thraddodi, a'r effeithiau sydd i'w gweled yn dangos na bu yr efengyl mewn gair yn unig, ond mewn nerth, a chyda sicrwydd mawr.

*Castellnedd.* W. James.

---

HANES CYFARFOD PREGETHU BETHESDA FFESTINIOG.

Barchedig Syr,—Efallai nad annerbyniol gan eich llednais ddarllenwyr fydd cael ychydig o hanes cyfarfod pregethu a gynnaliwyd yn Bethesda, Blaenau Ffestiniog, ddydd Llun y Pasg diweddaf; sef y 12 o Ebrill, 1841. Treuliwyd y dydd yn y drefn a ganlyn:—Am hanner awr wedi pump yn y boreu, cadwyd cyfarfod i weddio gan yr ieuenctyd, am i'r Arglwydd roddi ei bresennoldeb grasol yn y moddion ar hyd y dydd; a chawsom arwyddion amlwg ein bod wedi cael ein gwrando yn hyny.

Am 8, cynnaliwyd cyfarfod Eglwysig cyffredinol, yn mha un yr ymdriniwyd am grefydd ymarferol: dywedodd y llywydd (sef Mr. William Hughes,) yn y dechreu, nad gwahanol grefyddau oedd i ni i'w ddeall wrth ddyweyd crefydd ysbrydol, crefydd brofiadol, a chrefydd ymarferol; ond gwahanol eiriau am grefydd, yn ei gwahanol ranau, a'i ffurfiau ydyw. A dywedodd mai un egwyddor fawr o fywyd ysbrydol, planedig gan yr Ysbryd Glân yn enaid y dyn, yw gwir grefydd; a bod yr egwyddor hòno pa le bynag y byddo yn tori allan yn ffrwythau peraidd er gogoniant i'w phlanwr, sef Ysbryd Duw. A'r ffrwythau hyny yw crefydd ymarferol. Nodwyd rhai ffrwythau sydd i'w cael ar yr hwn sydd yn ymarfer â chrefydd yn deilwng,

1. Y mae efe yn adnabod ei hun i raddau helaeth; yn edrych o ba ysbryd y bydd yn wastadol; ac o ganlyniad y mae efe yn gwylied ar ei ysbryd beunydd, 'ac yn cadw ffrwyn yn ei enau tra fo'r annuwiol yn ei olwg;' ac fe ddywed Solomon fod yr hwn a 'lywodraetha ei ysbryd yn well na'r hwn a ennillo ddinas;' a chawn orchymyn ganddo i 'gadw ein calon yn dra diesgeulus, canys allan o honi y mae bywyd yn dyfod,' hyny yw, mae ein buchedd a'n hymarweddiad yn esbonio i'r byd pa fath yw ein calon; gan hyny, y mae'n ddyledswydd neillduol arnom wylied rhag cynhyrfiadau ein nwydau llygredig, a sylwi yn fanwl pa fath agwedd a thymher fydd ar ein hysbrydoedd, pan y byddom yn ymddyddan ac yn siarad a'n cyd-ddynion bob amser ac yn mhob man; a phwy bynag sydd yn feddiannol ar y bywyd a soniwyd am dano, y mae efe yn gwylied yn ddibaid, yn gystal a gweddio yn ddibaid, ac nid crefydd yn y capel yn unig yw crefydd hwnw; na, mae'r iawn grefyddwr mor grefyddol gartref a chyda'i gyd-weithwyr, ag ydyw mewn unman arall.

2. Sylwyd fod yr hwn sydd yn ymarfer â duwioldeb yn addas, yn edrych yn fanwl iawn am gyflawni ei wers ei hun, ac nid 'ymyraeth â materion rhai ereill.' Ac mae peidio a gwneuthur hyny yn ddiffyg mawr yn yr oes hon, ac wedi achosi i enw'r Arglwydd gael ei gablu, ac wedi peri i lawer terfysg gymmeryd lle yn y byd a'r eglwys cyn hyn. A diau pe bai mwy o ymdrech am ymddwyn yn ol rheol Gair Duw yn hyn y byddai dedwyddwch a moesau'r genedl yn helaethach o lawer, a byddai yn Baradwys ar y ddaear i raddau helaeth i'r peth yw yn awr; a bydded i ni oll ddal ar gyngor Paul, sef 'edrych am feddiannu ein llestr ein hun yn dda,' ac nid ymyraeth â materion rhai ereill.

3. Fod cadw'r Sabbath a'i sancteiddio yn rhan helaeth o grefydd ymarferol. A rhai manwl iawn gyda hyny yw y crefyddwyr diargyhoedd, ni byddant hwy yn ymarfer a gwneuthur dim ar y Sabbath os gellir ei wneuthur y dydd blaenorol, neu ei oedi hyd y dydd canlynol, megys ymofyn dwfr, a chario mawn neu glo, a'r cyffelyb bethau: ac ni byddant hwy yn lladratta rhanau o'r Sabbath trwy fyned i, ac aros yn eu gorwedd-leoedd i gysgu yn hwy y Sabbath nag amserau ereill; hefyd y mae yn gwylio rhag myned i siarad yn anweddaidd am y byd hwn a'i bethau ar y Sabbathau; ac ni bydd ef yn myned i wag rodiana ar y Sabbath, ond bydd efe yn ymdrechu am ddilyn moddion gras yn wastadol; a bod fel y wenynen ynddynt, mewn agwedd eithaf effro a bywiog; casglu'r haf erbyn y gauaf. Hefyd y mae gair Duw yn ein rhwymo i gadw a sancteiddio y Sabbath, Esa. 58. 13.

4. Sylwyd fod gweithredu cyfiawnder tuag at bawb yn ffrwyth amlwg i'w ganfod lle byddo gwir grefydd yn y galon. Yr ydym wedi cael yn helaeth ar hyn yn y Rhifyn diweddaf.

Cyn terfynu cawsom rai cyfarwyddiadau pa fodd i gael crefydd i ymarferiad diargyhoedd. Dywedwyd fod darllen a myfyrio yn ngair Duw yn foddion llwyddiannus neillduol i hyny; mae'r hwn sydd yn myfyrio yn nghyfraith yr Arglwydd 'fel pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa;' ceir ffrwyth arno ef yn mhob

amgylchiad bob amser; os daw Dirwest i geisio ffrwyth arno bydd yno i'w gael, ac os daw Cymdeithas Diweirdeb ato i ymofyn ffrwyth, bydd i'w gael yn y fan; oblegid y mae ffrwyth yn ei bryd i gael arno ef tra y byddo yn cyflawni y dyledswyddau hyn. Hefyd dyma gyngor Paul i Timotheus 'Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros, fel y byddo dy gynnydd yn eglur i bawb.' A hefyd, mae gweddio am i Dduw roi ei ofn ynom yn un o'r prif bethau tuag at ein dwyn i fyw yn grefyddol. Y mae ofn Duw yn y galon yn cenedlu parch ac ufudd-dod i'w holl orchymynion. A thyna fel y gwaeddodd un oedd yn meddu'r ofn mabaidd hwn, 'Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?' ac ond cael ofn Duw yn y galon, fe'n galluogir i fyw er ei ogoniant yn mhob man; fe geir peth daioni yn Abia, er mai yn nhŷ Jeroboam annuwiol y bydd.

Am 10, Pregethodd Mr. J. Donn, Efrydydd, yn Athrofa'r Bala, oddiar Heb. 11. 16. a Mr. E. Foulks, Llanddeiniolen, oddiar Deut. 23. 21. Am 2, pregethodd Mr. Morris Anwyl, Beddgelert, oddiar 1 Tim. 1. 15, a Mr. W. Hughes, Llanrwst, oddiar Heb. 6. 11. Am 6, pregethodd Mr. M. Anwyl, oddiar 2 Cor. 5. 20, a Mr. S. Jones, Llandrillo, oddiar Mat. 11. 28. Yr oedd y gwrandawyr yn gannoedd eu rhifedi, ac yr oedd yr hin yn dra ffafriol i'r rhai oedd yn yr awyr agored yn gwrando.

J. A. JONES.

## CYFARFOD PREGETHU PRESTATYN, MEHEFIN 2, 1841.

CYNNALIWYD Cyfarfod Pregethu yn y lle hwn ddydd Llun y Sulgwyn:—Am 8 y boreu cawsom gyfarfod Eglwysig rhagorol a melus, da oedd bod yno;—am 10, gweddiodd Mr. John Jones, Newmarket, a pregethodd Mr. John Davies, Nerquis, a Mr. William Williams, Manchester. Am 2, gweddiodd Mr. Emrys Evans, Abergele, a phregethodd Mr. Moses Parry, Dinbych, a Mr. W. Williams. Am 6, pregethodd Mr. John Roberts, Bettws, a Mr. John Davies.—Ymadawsom a hiraeth mawr am gyfarfod cyffelyb etto. W. D.

## HANESION TRAMOR.

### RHYFEL CHINA.

GWYR amryw o'n darllenwyr fod Ymerawdwr China wedi nacau llaw-arwyddo yr Ammodau heddwch a wnaeth Keshen, un o'i Benaethiaid ef, â'r Cadpen Elliott. Ac o herwydd i Keshen wneud y cyfryw gytundeb â Llyngeswr Brydain, fe ddigiodd ei Ymerawdwr ffroen uchel gymmaint wrtho, fel y rhwymodd ef mewn cadwyni haiarn, ac a'i dododd mewn carchar yn Pekin. Wedi hyn dechreuodd y rhyfel ail ymgymmeryd, yn fwy tanllyd nag o'r blaen o lawer. Ar yr 20fed dydd o Chwefror, cychwynodd y Llyngesydd Syr I. I. Gordon Bremer, gyda ei longau rhyfel, tua cheg afon Canton, ac efe a gymmerodd holl Amddiffynfeydd Bogue rhag blaen, sef 30 o honynt, yn cynnwys 800 o Fagnelau mawrion—ac efe a ddinystriodd yr holl Fagnelfâau, a'r Gwngloddiau amddiffynol, oddiyno hyd at furiau Canton; gan ddryllio, llosgi, suddo, a chymmeryd, y llongau rhyfel a ddelai yn ei ffordd ar hyd yr afon. Ac ar y 18fed o Fawrth, efe a gododd faner Brydain ar furiau y Weithfa fawr ger llaw dinas Canton. Yn yr ymgyrch hwn, wrth gymmeryd Amddiffynfeydd y Bogue ni laddwyd cymmaint ag un gwr o Frydain, ond fe laddwyd 250 o'r Chineaid, ac fe gymerwyd 1,300 yn garcharorion. Gollyngwyd y carcharorion oll yn rhydd, gan eu dodi ar y lan arall i'r afon. Ond wrth frwydro ymlaen tua Canton, fe laddwyd 25 o'n pobl ni, ac un swyddog, ac fe friwwyd 26. Gwnaeth ein pobl ni Gyhoeddiad i'w anfon i Canton, i hysbysu i'r trigolion nad oeddis yn bwriadu drygu trigolion y ddinas, os ceir llonydd i fyned ymlaen â masnach—yn yr agwedd bresennol sydd ar bethau. Ond os bydd i filwyr China aflonyddu ar ein milwyr ni yn eu gwarcheidwaeth ar yr Amddiffynfeydd a gymmerasant i'w meddiant, y bydd i filwyr Brydain ymroddi i fyned ymlaen i gymeryd Canton, er mawr alanastra i'r trigolion.

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ y Cyffredin.*—Dydd Iau, Mai 27. Dyg Syr Robert Peel i mewn gynnygiad, am anfon Annerchiad at y Frenhines, i hysbysu iddi, "nad ydyw Swyddogion ei Mawrhydi yn meddu digon o ymddiried Tŷ y Cyffredin i'w galluogi i ddwyn ymlaen drwy y Tŷ y cyfryw fesurau a farnant hwy o bwys hanfodol er lles y wladwriaeth, a bod eu parhad hwy yn eu swyddau, dan y cyfryw amgylchiadau, yn groes i natur ein trefn llywodraeth." Ac wedi i'r Cadeirydd osod y peth yn ofyn iad o flaen y Tŷ, cododd Arg. Worsley ar ei draed, ac a ddywedodd, Er iddo ef yn ddiweddar wrthwynebu y llywodraeth, nad allai efe gydsynio â'r cynnygiad hwn o eiddo Syr R. Peel.

Mr. Cristopher a lefarodd hefyd i wrthwynebu y cynnygiad. Syr J. C. Hobhouse a hysbysodd, fod swyddogion presennol y llywodraeth wedi dyfod i'r llywodraeth yn y flwyddyn 1835, pryd nad oedd y goron yn bleidiol iawn iddynt, ond er hyny, ac er i Dŷ yr Arglwyddi fod agos ar hyd yr amser yn wrthwynebol iddynt; ïe, er cael o honynt wrthwynebwyr lawer iawn, o'r pryd hyny hyd y dydd hwn, hwy a ddygasant drwy y Senedd lawer o gynnygion o bwys mawr, y rhai oll a sefydlwyd yn gyfreithiau llesol yn y wladwriaeth. Daethant i'w

swyddau yn mis Mehefin, a hwy a sefydlasant yn yr eisteddiad cyntaf y Senedd "Gyfraith Diwygiad Corphoraethau Bwrdeisiol Lloegr, Cymru, a Scotland." Yn y flwyddyn 1836, hwy a sefydlasant gyfraith cyfnewidiad y Degwm, yr hon a gyfrifid yn ddigon o orchwyl un Eisteddiad Seneddol. Wedi hyny hwy a sefydlasant "Gyfraith Cofrestraeth genedigaethau, priodasau, a marwolaethau," yr hon gyfraith, y pryd hyny, a gyfrifid yn ymwared mawr i Ymneillduwyr o wahanol enwadau crefyddol yn Mrydain Fawr. Yn y flwyddyn 1837, fe fu marwolaeth y Brenin William, a dyfodiad ein Rhadlonaf Frenhines i'r Orsedd yn achlysur o attal gorchwylion y Senedd i gryn raddau. Yn y flwyddyn 1838, sefydlasant "Gyfraith Cyfnewidiad y Degwm yn y Werddon;" a hyny drwy anhawsdra mawr, a gwrthwynebiadau lawer oddiwrth y Toriaid. Yn y flwyddyn 1839 hwy a sefydlasant amrywiol o gyfreithiau pwysfawr a buddiol iawn; megis "Cyfraith Hedd-Geidwadaeth" *(Police Act,)* drwy yr holl deyrnas. A "Chyfraith Gostyngiad y Llythyrdoll," yr hon yr oedd yr holl wlad yn galw yn uchel iawn am dani; yr hon gyfraith y bu Syr Robert Peel yn wrthwynebol iawn iddi. Yn y flwyddyn 1840, hwy a sefydlasant "Gyfraith Diwygiad Corphoraethau y Bwrdeisdrefi yn y Werddon." Yn yr un flwyddyn hefyd, hwy a sefydlasant "Gyfraith Diwygiad Eglwysig; ac hefyd "Cyfraith Undeb y ddwy Canada yn Ngogledd America"

Yn y cyfamser hefyd, hwy a ddygasant ymlaen amrywiol gynnadleddau a goruchwyliaethau gydag amrywiol wledydd tramor ar achosion o fawr bwys, a hyny yn y cyfryw fodd doeth a medrus fel y derbyniodd Arg. Palmerston glod ac anrhydedd mawr drwy holl Ewrop, fel y gorfu ar amryw, hyd yn nod y Toriaid eu hunain, gyfaddef ei ddealltwriaeth a'i fedrusrwydd yn iawn drefnu achosion dyrys a chymmysglyd i ddybenion daionus a llwyddiannus.

Cefnogodd Mr. D'Israel gynnygiad Syr R. Peel, ynghyd a Mr. Liddell, a Mr. Walter; eithr gwrthwynebodd Syr H. Fleetwood, a Mr. Macauley ef. Aeth pawb adref am un ar gloch y boreu.

Mehefin 2. Dechreuwyd ar y ddadl am gynnygiad Syr R. Peel yn erbyn swyddogion y Llywodraeth drachefn, a pharhawyd i areithio, rhai o'u plaid, ac ereill yn eu herbyn, ar hyd y dydd, a hyd lawer iawn o'r nos.

Mehefin 3. At y ddadl etto. Ac felly hefyd Meh. 4. Yna fe ranwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn Swyddogion y llywodraeth | 312 |
| O'u plaid hwynt ................ | 311 |
| Mwy yn eu herbyn o ......... | 1 |

Yna dywedodd Arg. John Russell, nad oedd o fawr ddefnydd ceisio myned ymlaen gyda'r fath Dŷ ag oedd mor ranedig: y bydd iddo ef geisio myned ymlaen i bassio rhai o'r Ysgrifau ag oedd eisoes o flaen y Tŷ, y rhai yr oedd gwir angenrheidrwydd i'w passio yn yr Eisteddfod presennol, ac yna digorphorir y Senedd, a nyni a appeliwn at y wladwriaeth yn gyffredinol am ail ethol Aelodau Tŷ y Cyffredin, fel y ceir gweled yn fwy amlwg, pa un a ydyw y bobl yn dewis i'r Whigiaid aros yn eu swyddau, ai ynte gwell fydd ganddynt gael eu llywodraethu gan y Toriaid.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Mehefin 10, Areithiodd Arglwydd Brougham ar yr achlysur o ymraniad Tŷ y Cyffredin ynghylch cynnygiad Swyddogion y Llywodraeth am dynu ymaith ran o doll y Siwgr, y Coed, a'r Yd. Ac efe a ddangosodd ei fod ef yn benderfynol o'r un farn ar yr achosion hyn a swyddogion y Llywodraeth. Cafodd hyn effaith mawr ar yr holl Dŷ.

*Tŷ y Cyffredin.*—Mehefin 10, hysbysodd Syr R. Inglis, ei fod ef yn bwrw heibio ei gynnygiad am adeiladu ychwaneg o Eglwysydd hyd oni chyfarfyddo y Senedd newydd, ar ol yr Etholiad nesaf.

Darllenwyd Ysgrif Diwygiad Corphoraethau Bwrdeisiol y drydedd waith. Ystyriwyd Ysgrif yn erbyn gwobrwyo Pleidleiswyr mewn Etholiad Aelodau y Senedd, gyda manylrwydd.

Mehefin 12, darllenwyd ysgrif diddymiad gwobrwyo pleidleiswyr y drydedd waith, a phassiwyd hi. Ymadawodd Aelodau y Tŷ yn lled gynnar y prydnawn.

Nid oes ond rhyw ychydig bethau etto i'w gorphen, na bydd y Senedd yn cael ei digorphori; ac y bydd yr holl deyrnas yn ferw gwyllt yn ethol Aelodau Tŷ y Cyffredin o newydd.

Digorphorwyd y Senedd, Mehefin 22ain.

---

### CYFRAITH BRECH Y BUCHOD.

Mewn canlyniad o fod dynion yn parhau i impio y frech wen ar eu plant, a thrwy hyny yn arfer moddion i gadw y clefyd trwm hwnw yn y wlad, a bod llawer o blant a phobl mewn oedran yn meirw o'r frech wen bob blwyddyn; ac hefyd fod esgeulusdra mawr mewn rhieni o impio Brech y Buchod ar eu plant, a thrwy hyny yn bwrw dirmyg ar y datguddiad rhyfeddol a ddygodd yr Arglwydd i'r byd fel moddion i yru y Frech wen o'r byd, barnodd Senedd Brydain fod yn angenrheidiol gwneud Cyfraith newydd ar yr achlysur, i'r dyben o roi attaliad ar gynnydd y frech wen, drwy roi pob annogaeth a hwylusdod i gael pawb i impio Brech y Buchod ar eu plant drwy yr holl deyrnas. Gwnaed cyfraith felly. Yn awr, mae pwy bynag a impio y frech wen ar un ieuanc neu hen, a phwy bynag a fyddo yn offerynol i beri fod y frech wen yn cael ei hachosi ar nebun oddiwrth un a'r frech wen arno, y bydd iddo gael ei gospi â charchariad. A phwy bynag a elo allan i blith pobl, a'r frech wen arno, neu

ddygo ei blentyn dan y frech wen i blith pobl mewn un modd, y bydd iddo gael ei gospi am ei ddrygfoes a'i anufudd-dod. I'r dyben o hwyluso moddion i impio Brech y Buchod ar blant pawb, mae lleoedd cyfleus wedi eu pennodi drwy yr holl deyrnas, lle y mae Meddygon medrus yn ymgyfarfod ar amserau priodol i impio Brech y Buchod ar blant pobl dlodion am ddim.

---

BEIRNIADAETH Y PENNILLION DIRWESTOL.

*At Olygydd y Drysorfa.*

SYR,—Byddwch cystal a hysbysu i'ch darllenwyr ddarfod derbyn pump-ar-hugain o gyfansoddiadau ar y Dôn a elwir *Mentra Gwen*, i'w canu yn Ngwyliau Dirwestol y Plant. Ond nid oes onid dau o honynt o nemawr deilyngdod, sef yr eiddo ASAPH a GWYLYM DOL. Y cyntaf a farnwyd oreu, ac iddo ef y cyflwynir y wobr; ond gan fod GWYLYM DOL wedi dilyn ei sodlau mor agos rhoddir iddo yntau "Draethawd rhagorol y diweddar Doctor Owen ar Gyfiawnhâd" yn wobr, a chyhoeddir y ddau pan y ceir eu henwau priodol. Ond gan fod dau wedi arfer y ffugenw ASAPH, gwybydder mai yr un yn dechreu yn y geiriau canlynol yw y goreu.

"Wyryfon dewrion Dirwest—
Rhoddwn floedd," &c.

*Tyddewi, Dinorwic.* DAVID WILLIAMS.

---

## DAMWEINIAU, &c.

GALARUS EFFEITHIAU MEDDWDOD!!

Nos Fawrth, Mai 4, fel yr oedd gwr tra adnabyddus yn mhlwyf Aberystryth, gerllaw Nant-y-glo, yn dychwelyd adref o farchnad y Fenni, aeth gyda dyn arall i dafarn ar fin y ffordd, lle yr arosasant am gryn amser. Wedi iddynt gychwyn oddiyno, a myned oddeutu 150 o latheni, efe a yrodd ei geffyl o nerth carnau, ac a adawodd ei gyfaill, ac yn rhywfodd yn rhyfyg ei feddwdod syrthiodd oddiar ei geffyl dros y ffordd i'r afon, yn agos i'r Daren ddu (*Black Rock*) yn mhlwyf Llanelli. Mewn braw a dychryn mawr aed i chwilio am ei gorph, ac ar foreu y dydd canlynol y cafwyd ef â'i draed yn y dwfr, a'i ben wedi ysigo. Wele rybydd etto, ond pa le y mae'r meddwyn a'i cymmer at ei ystyriaeth!!

CASAWR MEDDWDOD.

ARALL.—Mehefin 11, fel yr oedd llencyn ieuanc, oddeutu 20 mlwydd oed, wedi dyfod i'r ddinas hon a llwyth o gig o'r wlad gyfagos i'r farchnad, galwodd wrth un o'r darllawdai am hanner barril o Borter i fyned gydag ef yn ol. Yn y darllawdŷ hwn, *croesawuyd* (?) ef yn llon â boliad o gwrw da. Wedi myned ychydig ar ei ffordd, dechreuai guro yr anifail, yr hwn a aeth o'r herwydd yn afreolus iawn, ac yn y fan syrthiodd y llencyn ar ei benaeth y ceffyl yn rhydd o'r drol,—a rholiodd y faril Borter ar draws ei glun, ac a'i torodd yn yfflon. Gwaedodd lawer iawn, ond diangodd a'i fywyd yn ysglyfaeth ganddo.

ARALL.—Mehefin 14, fel yr oedd rhyw gertwynwr o Wrexham yn myned â llwyth pedrolfen o risgl coed trwy y ddinas hon, i Warrington, yr oedd yn angenrheidiol iddo aros i fwydo y ceffylau: yn y cyfamser dechreuai yntau yfed cwrw a *gin*. Cyn prin iddo gychwyn syrthiodd o dan yr olwynion, a malwyd ei goes yn ddarnau. Galarus genyf ychwanegu mai Cymro yw y dyn hwn. O feddwon! Nid yw y ddau hanes galarus hyn ddegwm yr hyn a allwn ddywedyd i chwi am alarus effeithiau meddwdod: yr wyf wedi gweled tòri aelodau, &c. o herwydd meddwdod—ie, yr wyf wedi gweled rhai yn canu yn iach i fyd o amser, ac yn dechreu a'r oes dragywyddol o boenau mwy (mae lle i ofni) o achos meddwdod. Pa hyd y diystyrwch y llythyrau a ysgrifenir atoch gan Raglunïaeth â gwaed eich cyd-ddynion? Feistriaid, a phenau teuluoedd caniatewch i mi hysbysu i chwi ddarfod i mi glywed fod y boneddwr galluog ac arianog hwnw, Ardalydd Westminster, wedi rhoi penderfyniad allan, y bydd iddo droi pob gwasanaethwr o'i eiddo o'i le yn y fan *os caiff brawf digonol ei fod yn arfer meddwi*: chwithau, feistriaid, ewch a gwnewch yr un modd, medd eich annheilwng gyfaill.

*Infirmary, Caerlleon.* T. J. WILLIAMS.

DAMWEINIAU.—Yn Nghloddfeydd Llechau Dinorwic, Swydd Gaernarfon, bydd Llun a Mawrth, Mehefin 7 a'r 8, 1841, yn ddyddiau i'w cofio yn hir. Oblegid arnynt hwy y dygwyddodd y damweiniau trymion a ganlyn:—Prydnawn Llun, fel yr oedd gwr o'r enw John Closs, Tan-y-bryn, Llanberis, yn gweithio yn y graig, cafodd ei daro gan raff, yn yr hon yr oedd dyn arall, a'r canlyniad fu i John Closs syrthio i waelod y Chwarel, yr hyn oedd tuag 20ain llath o ddyfnder. Bu farw yn mhen tu a deng awr. Gadawodd wraig a saith o blant i alaru ar ei ol.

Ganol dydd dranoeth drachefn, syrthiodd darn o'r graig i lawr, a tharawodd Griffith Williams, Ddol-helyg, plwyf Llanrug, fel y bu farw yn y fan. Yr oedd yn 47ain mlwydd oed, a gadawodd yntau wraig a phump o blant i alaru ar ei ol.

*Tyddewi.* DAVID WILLIAMS.
*Ger Caernarfon, Mehefin 6, 1841.*

*Ymosodiad creulon ar blentyn gan gi.*—Cynhyrfwyd cymmydogaeth Strutton ground, Llundain, yn dost, yn ddiweddar, trwy fod bachgenyn bychan i leg oed yn rhedeg allan o dŷ cyfagos yn waed ac yn friwiau drosto, ac yn dolefain "Y ci, y ci." Ymddengys i

deulu y bachgenyn hwn fyned allan o'r tŷ, gan ei adael ef a brawd, flwydd yn ieuengach, a chi mawr gyda hwy yn y tŷ. Cyn pen hir ffraeodd y bechgyn a'u gilydd—ac aeth o ymdaeru i ymdaro—a phan oedd y bachgen ieuengaf ar lawr a'r hynaf ar ei gefn, neidiodd y ci ato, a chnôdd ef bron i farwolaeth—rhwygodd ei fochgern yn agored, a gwnaeth friwiau mawrion ar ei ben, &c. ond da genym allu ychwanegu fod y meddygon wedi dweyd y gall wella o'i friwiau oll—Rïeni, gofelwch pa fodd, a chyda phwy, a pha beth y gadawoch eich plant eu hunain yn y tai.

## OL-YSGRIFEN.

### SYLW AR GYFRAITH TOLL YR YD.

SYR—Yr wyf yn barnu ei fod yn fater cydwybod ceisio goleuo y wlad mewn perthynas i'r ddadl boethlyd sydd wedi bod yn ddiweddar yn y Senedd ynghylch lleihau y doll ar rai nwyfau, a ffrwythau tramor, i'r dyben o iselu pris y cyfryw yn y deyrnas hon, ac i beri cynnydd ar fasnach rhyngom ni a gwledydd tramor. Mi a gynnygiais amcanu at hynyma yn yr hyn a ganlyn, ac fe allai y bydd i chwithau fod cystal a'u cyhoeddi hwynt. GWLADGARWR.

Yn amser rhyfel Ffrainc, yr hwn a barhaodd dros ugain mlynedd, yr oedd yr holl nwyfau yn codi yn eu pris, yn enwedig eiddo trinwyr tir. Yr oedd prisiau yr anifeiliaid o bob math yn codi, yngbyd â holl gynnyrch y tir. Mewn canlyniad i hyn, cododd perchenogion tiroedd ar eu ffermydd. Codasant amryw dyddynod yn gymmaint arall o ardreth ag o'r blaen: ac er hyny, am fod prisiau pethau yn dal i godi hefyd, yr oedd y ffermwyr yn gallu talu yr ardrethion uchel, ac yn byw yn dda hefyd. Yn y blynyddoedd hyny fe brynodd amryw diroedd yn ol yr ardreth uchel oedd arnynt ar y pryd.

Ond ar unwaith, a hyny pryd nad oedd neb yn dysgwyl, fe orchfygwyd Buonaparte, ac fe sefydlwyd heddwch drwy yr holl fyd. Mewn canlyniad i heddwch fe ostyngodd prisiau pob peth megis ar unwaith. Ond, yr oedd perchenogion tiroedd yn anewyllysgar i ostwng eu hardrethion, a'r ffermwyr ar yr un pryd yn analluog i dalu, ac o herwydd hyny fe dorodd llawer o honynt, ac fe werthwyd eu heiddo i dalu i'r Meistr tir. Yna, rhag i'r holl wlad dori i fynu, fe osodwyd toll ar ŷd tramor, er mwyn dal i fynu bris ŷd Brydain, a galluogi y ffermwyr i dalu eu hardrethion uchel. Pe buasai perchenogion tiroedd mor barod i ostwng ar eu tiroedd mewn amser rhad, ag oeddynt i godi ar amser drud, ni buasai eisieu cyfraith toll yr ŷd; ond gan na wnaent hyny yr oedd angenrheidrwydd am dani. Ond y mae yn awr erbyn hyn nad ellid ei thynu ymaith bellach, i gael bara rhad i'r bwytawyr lliosog. Yn hyn y mae Aelodau ein Senedd yn methu cyd-weled.

Mae yn hysbys hefyd ddarfod i amryw Feistriaid tiroedd ostwng gryn lawer ar eu tiroedd amryw weithiau, o hyny hyd yn awr, ond nid cymmaint ag sy'n ddigon er gallu symud ymaith doll yr yd. Ac yn wir, wrth ystyried mor anhawdd gan ddynion ddyfod i lawr, mae yn gryn ryfeddod weled cynnifer o foneddigion ag y sydd mor barod i dynu ymaith, neu leihau toll yr ŷd. Gwyr y wlad erbyn hyn fod swyddogion presennol y llywodraeth yn foddlon ac yn barod i ostwng toll yr ŷd; ac y maent hwythau yn berchenogion tiroedd fel ereill y rhai a'u gwrthwynebant. Maent yn canfod yn amlwg fod gwledydd tramor, mewn ffordd o ymddial, yn rhoi toll ar eiddo gweithfäol Prydain, ac felly yn peri attaliad ar fasnach rydd rhwng gwledydd a'u gilydd. Maent yn barnu fod hyn yn mawr ddrygu masnach Brydain, a bod yn llawn bryd symud y rhwystr.

### ANERCHIAD AT Y WLADWRIAETH.

Mae yr amser pwysig yn prysur nesâu, pan y gelwir ar holl bleidleiswyr y deyrnas i roi ëu pleidleisiau er dewis Aelodau i'r Senedd o newydd. Gobeithir y bydd i bob gwladgarwr ystyried yn ddwys pwy i'w hanfon i'r Senedd, canys hwynthwy fyddant ffurfwyr ein cyfreithiau, trefnwyr ein tollau, a rheolwyr ein gwlad. Yn eu llaw hwynt, mewn modd arbenig, fel offerynau, y bydd heddwch a llonyddwch y wlad, llwyddiant a chynnydd masnach, ynghyda rhyddid crefyddol, yr hyn sydd yn fwy o werth na'r cyfan oll.

Dewiswn, gan hyny, aelodau i'r Senedd, y cyfryw ag a fyddont yn *wyr doethion a phwyllus, yn rhai llwyr ymroddol i amddiffyn rhyddid crefyddol, ac yn amcanu at gael bara yn rhad i'r tlodion a'r angenus.*

## MARWOLAETHAU.

Ar yr 16eg o Mai diweddaf, bu farw y gwr duwiol iawn hwnw, y Parch. William Lloyd, Caernarfon, yn 70 mlwydd oed. Efe a aeth i dangnefedd yn ddiau.

*Dinorwic.* DAVID WILLIAMS.

Mehefin 3, bu farw Mr. Edward Parry, Crydd, Dinbych, brawd y Parch. M. Parry; Yr oedd yn aeddfedu yn feunyddiol i wlad oedd well, a'i brofiad o bethau ysbrydol yn ymeangu yn barhaus.

Yr un dydd, ac yn yr un lle, wedi amryw flynyddoedd o flin gystudd, yr hwn a ddyoddefodd gydag amynedd Cristionogol, Mrs. Anne Parry, priod Mr. John Parry, mab y Parch. M. Parry. T.P.

## GWELLIANT GWALL.

Mae cam ysgrifeniad yn Hanes Cymdeithasfa y Drefnewydd, yn Rhifyn Mehefin, tu dal. 184, y golofn laf, llin. 41, yn lle "*yn yr Eglwysi,*" darllen, "*mewn amryw ardaloedd.*" JOHN HUGHES, *y Bont.*

# MARWOLAETH Y PARCH. JOHN ELIAS.

"Ac Elias a ddyrchafodd....i'r nefoedd."—2 Bren. ii. 11.

Gyda theimladau pruddion a galarus yr ydym yn gorfod cofnodi marwolaeth yr enwog a'r Parchedig John Elias, Môn, yn y 68 flwyddyn o'i oedran, ac oddeutu y 46ain o'i lafur gweinidogaethol, yr hyn a gymmerodd le ar yr 8fed dydd o Fehefin, 1841.

Afreidiol yw pentyru geiriau i geisio dywedyd pa fath un ydoedd Mr. Elias, am y gwyddom fod ein holl ddarllenwyr yn adnabyddus iawn o hono; etto nis gallwn ymattal rhag nodi dau neu dri o bethau ag oedd yn hynod ynddo. Heblaw ei fod yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd ag oedd yn perthyn i gorph y Trefnyddion Calfinaidd, yr oedd ei bregethau yn effrous, yn adeiladol, ac yn hawdd eu deall. Medrai ddwyn allan "ddyfnion bethau Duw" yn amlwg o flaen ei wrandawyr mewn iaith esmwyth, foneddigaidd, ac agos atynt; ac er y safai o'u blaenau fel un o Areithwyr penaf ei oes, etto ni thywyllid ei ddrychfeddyliau uchel ac hedegog â phlethiadau cywrain o eirlau ac ymadroddion anhawdd eu dirnad; ond bob amser yn fawr ei awydd am wneuthur trefn fawr yr iachawdwriaeth yn Nghrist, a rhinweddau ei waed ef, yn hysbys i bob dyn. Yr oedd yn Areithiwr o naturiaeth, ac wedi ei wneuthur yn Bregethwr gan Dduw.

Cymmaint oedd awyddfryd ei enaid yn ngwaith yr efengyl, fel mai un o'i ddymuniadau penaf, o dan arteithiau ei afiechyd, oedd cael pregethu Crist i bechaduriaid colledig. Ac wedi ei rwymo fel hyn yn ystafell ei gystuddiau yr anrhegodd efe ddarllenwyr y Drysorfa yn ddiweddar âg amryw ddarnau a werthfawrogir yn fawr ganddynt, ac a ddichon fod o fendith fawr iddynt. Efe a fu farw yn ei waith.

Bu ei rodiad drwy ei oes yn ddiargyhoedd, gan gadw ei hun yn "ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Medrai fod yn llawen heb fyned i ysgafnder—ac yn ddifrifol heb fod yn sarug. Pan y byddai achosion yn galw gallai gymmysgu â dynion y byd heb syrthio i'w hysbryd, nac iselhau ei gymmeriad fel Gweinidog yr efengyl—yr oedd ei bresennoldeb yn ddigon i roi attalfa uniongyrchol ar bob math o ysgafnder anghrefyddol. Mewn gair, yn mhob man, ac yn mhob amgylchiad, y cwbl a *allesid* ei ddywedyd am dano oedd, "Gwr Duw yw efe."

Bellach ni a ddyneswn at ei fynydau olaf. Cadwyd ef yn ei ystafell, gan y clefyd y bu farw o hono, am agos i dri mis; a thua'r rhan olaf o honynt yr oedd yn boenus iawn. Ac fel yr oedd cysgodau yr hwyr yn ei ddal, a'i yrfa ddaearol ymron a therfynu, efe a safai yn amyneddgar ynghanol y cwbl, fel gwas yn aros am amnaid ei feistr i alw arno i ganol y dorf ddirif ag sydd eisoes wedi eu perffeithio.

Wrth lythyrau dau neu dri o Ohebwyr yr ydym yn deall fod Mon mewn galar trwm; ac iddynt ei ddodi i orwedd, yn ol ei ddymuniad, yn mynwent Llanfaes, yn ochr y Parch. R. Lloyd, Beaumaris, mewn dull teilwng ac anrhydeddus iawn. A dull ei gladdedigaeth oedd fel y canlyn:—Nos o flaen ei gladdedigaeth pregethodd y Parch. W. Roberts, Amlwch, bregeth ar yr achos i dorf luosog iawn o wrandawyr galarus. Trannoeth, (Meh. 15,) am naw o'r gloch, dygwyd y Corph allan i'r Elor-gerbyd, ac wedi ei ddodi ynddi, safai y Parch. H. Griffiths, Llandrygarn, ar y grisiau, ac wedi darllen rhan o'r Bibl, annerchodd y dorf mewn araeth bwysig a difrifol. Yna ffurfiwyd yr orymdaith, sef dau Offeiriad yn mlaenaf—tri o Feddygon wedi hyny—yna yr Elorgerbyd—cerbyd lle yr oedd teulu Mr. Elias—20 o bregethwyr bob yn ddau ar feirch—oddeutu 60 o gerbydau—a 150 (o leiaf) o wyr ar feirch bob yn dri; ond erbyn cyrhaedd Llanfaes yr oedd y dorf wedi chwyddo yn fawr iawn, gan faint oedd awydd pawb am dalu y deyrnged olaf o barch i weddillion un a fu mor enwog a defnyddiol yn eu plith.

Fel hyn y terfynodd Elias ei daith. Fel Elias gynt efe a godwyd pan oedd y wlad mewn tywyllwch ac anwybodaeth—fel Elias hefyd efe a godwyd o iselamgylchiadau i enwogrwydd mawr—ac fel Elias, erbyn heddyw, efe a "chafwyd i'r nefoedd."

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXVIII.] AWST, 1841. [LLYFR XI.

## COFIANT MR. THOMAS HARRIES,

### O ABERGWAEN,

*Gynt o Drellan, Swydd Benfro; yr hwn a fu farw Ebrill* 4, 1840, *yn* 69 *mlwydd oed, wedi bod yn Henuriad ffyddlawn y'Nghgymdeithas y Trefnyddion Calfinaidd dros ddeugain o flynyddoedd.*

GWRTHRYCH y Cofiant hwn a anwyd yn Trellan, o rieni crefyddol a duwiol. Y mae yn deilwng o sylw, ei fod ef yn y drydedd genhedlaeth o'r un tylwyth a fu yn blaenori gyda'r achos crefyddol yn Abergwaen. Yr oedd ei dad cu, (taid) sef Mr. Joseph Harris, o Drellan, ynghyd â'i wraig, ymhlith y rhai cyntaf a ymunodd â'r Trefnyddion Calfinaidd yn y gymmydogaeth hon, ac yn blaenori gydag adeiladu y Capel cyntaf yn Abergwaen.

Byddai y gwr enwog hwnw, y Parch. John Harries, o Drefamlod, ger Woodstock, pan yn llangc ieuangc, yn dyfod i Drellan ar brydnawnau Sabbothau i bregethu, cyn fod nemawr o bregethu na Chapel chwaith yn Abergwaen. Ar ol marwolaeth Mr. Joseph Harries, a John Dafydd Hugh, o Abergwaen (hen Gristion nodedig oedd hwn hefyd yn ei ddydd) ynghyd a Robert John, o Wdig, (yr oedd yntau hefyd yn nodedig am ei dduwioldeb, daeth gofal yr achos ar ddau fab y dywededig Joseph Harries, sef Mr. Dafydd Harries, (tad gwrthrych y Cofiant hwn) a Mr. James Harries, y rhai oeddynt ill dau yn cyfanneddu yn Trellan. Yr oedd gwraig Mr. Dafydd Harries yn hynod o dduwiol a rhinweddol, yn uchel ei chymeriad yn yr ardal lle yr oedd yn byw.

Yn y flwyddyn 1792, bu farw Mr. D. Harries, ac y'mhen y flwyddyn canlynodd ei anwyl wraig ef i'r "anneddle lonydd, lle ni ddywed y preswylydd claf ydwyf." Ond bu Mr. James Harries fyw tua deg o flynyddoedd ar eu hol. Efe a fu fyw heb briodi, gyda ei nai yn Trellan, hyd ddiwedd ei oes. Yr oedd yn nodedig am ei dduwioldeb a'i sanctaidd ymarweddiad; yn arswyd i annuwiolion pa le bynag y byddai; yn ŵr ymadroddus, cadarn yn yr ysgrythyrau; yn dyfal barhau mewn gweddi; yn ffyddlawn a llafurus gyda holl ranau gwaith Duw; yn ddiwyd yn moddion gras ddydd a nos. Byddai ef, a hen frawd cynes arall, o'r enw Thomas Dafydd Siôn, yr hwn oedd yn byw yn gyfagos i Trellan, yn myned adref lawer noson dywyll dan ymddyddan am grefydd nes anghofio eu hunain a'r ffordd ddrwg oedd ganddynt i'w cherdded; a hoff iawn oedd eu cwmni.

Ymdrechodd yn galed am gael gweinyddiad o ordinhad swper yr Arglwydd yn Nghapel Abergwaen; ond yn ofer am hir amser. Eithr mewn Cymanfa yn Llangeitho, trwy offerynoliaeth y Parch. D. Jones, o Langan, gorchfygwyd y prif wrthwynebwr; daeth y newydd hyfryd i glustiau James Harries. Ond cyn i'r amser ddyfod i fynu i weinyddu yr ordinhad sanctaidd yn y Capel, wele y commisiwn yn dyfod fel at Daniel gynt, "Dos i'th ffordd, gorphwys, a sâf yn dy ran :" felly ni cha'dd weled yr hyn a fawr ddymunodd, ac y llafuriodd am dano. Hyn a fu yn y fl. 1802.

Ar ol ei farwolaeth ef daeth y gwaith i bwyso yn fwy ar ysgwydd Mr. T. Harries. Yr oedd wedi ei osod yn Henuriad cyn marwolaeth ei ewythr: a chydag ef yn y gwaith yr oedd Mr. Ebenezer Davies, a John Mortimer, Ysw. o Drehowel.* Ac os oedd ei hynafiaid yn ffyddlon ni bu ef yn ol i'r un honynt. Tua'r fl. 1794, efe a briodwyd â merch grefyddol a duwiol. Yr hon a fu yn "ymgeledd gymmwys" iddo; ac nid iddo ef yn unig, ond i'r achos crefyddol hefyd, ac i'r Pregethwyr teithiol y rhai yn fynych a gynniweirient yno: yn yr un modd a'r hen

* Bwriedir rhoddi ychydig o hanes y gwyr hyn etto.

wragedd duwiol a fuasai yn Trellan o'i blaen. Ni byddai nemawr wythnos na byddai oedfa yn Trellan, naill ai dyeithriaid neu gartrefol. Yr oedd eu tŷ a'u calon bob amser yn agored; ac er fod rhwng 2 a 3 milldir o ffordd ddrwg ganddo i ddyfod i Abergwaen i'r moddion, nid oedd gofalon y dydd, na gwlaw na thywyllwch y nos yn ei gadw gartref.

Yn y flwyddyn 1828, cyfarfu â damwain ofidus, pan wedi bod yn *Arbeth*, tref tua 25 milldir o'i gartref, o herwydd gweithred *Lease* Capel newydd ag oedd yn cael ei adeiladu yn Casmal. Wrth ddychwelyd adref, o fewn 2 filldir i'w dŷ, syrthiodd y ceffyl o dano, a thorodd ei glun, yn y forddwyd, a bu yn gorwedd ar y ffordd am oriau o dan genllif trwm o wlaw cyn i neb ddyfod atto: a bu yn gloff hyd ei farwolaeth.

Pan briododd ei fab, symudodd ef a'i wraig i Blas-y-fron, wrth dref Abergwaen, gan adel Trellan i ei fab Mr. David Harries, yr unig un o saith o blant a fu iddynt ag sydd yn fyw. Gan fod Plas-y-fron yn eiddo iddo ei hun, ac o fewn terfyn y dref, a rhagluniaeth wedi ei gofio yn dra chysurus, daeth yn gyfleus ac yn rhwydd iddo fod gyda'r achos a'i frodyr; a hoff iawn oedd ei gymdeithas gan bawb o'i frodyr a'i gyfeillion. Ni byddai y gymdeithas eglwysig un amser yn gyflawn hebddo ef: ac er nad oedd yn ymadroddwr hyawdl, fel ambell un, etto yr oedd bob amser yn amcanu at bethau buddiol ac adeiladol. Yr oedd yn ŵr o gyrhaeddiadau cryfion, a chraff yn yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb; yn ddidderbyn wyneb, ac etto yn dyner; yn hynaws, a hunanymwadol. Nid oedd ef yn un o'r rhai sydd "yn chwennych y blaen;" gwell fyddai ganddo ef annog ereill na myned ymlaen ei hun. Nid oedd dim yn fwy llawenydd ganddo na gweled pobl ieuaingc yn ymestyn ac yn llafurio am wybodaeth. Cafodd yr hyfrydwch o weled dim llai na phump o wyr ieuaingc yn cael eu codi i'r weinidogaeth yn ystod ei dymor. Y fath oedd y cwlwm ag oedd rhyngddo ef â'r achos, fel y dywedai, pan y byddai rhyw rai yn llaesu eu dwylo, "wel, y mae yn *rhaid* i mi wneud, ni wiw sefyll."

Ond er ys amryw flynyddau yr oedd ei iechyd yn dechreu gwaelu: y graianwst a'r gareg a fu yn galed wrtho. Er ei fod yn ŵr o gorph a chyfansoddiad naturiol cryf a bywiog, etto daddwyd ef yn raddol i lawr i'w fedd: dyddefodd ei afiechyd hirfaith yn amyneddgar, a chyda gwrolder Cristionogaidd. Ni chollai un oedfa, er maint y boen y byddai ynddo yn aml yn y Capel. Bu yn y cyfarfod eglwysig ddydd Mercher, y 25 o Fawrth (nid oedd neb o honom yn meddwl mai dyna'r tro olaf). Dydd Sadwrn canlynol, aeth i ymweled â'i hen gartref Trellan, at ei fab, a'i ferch ynghyfraith: a dychwelodd yn yr hwyr fel y byddai arferol. Ond cyn boreu y Sabboth cymmerodd cyfnewidiad le arno, ac felly gwaethygu yn raddol bob dydd, hyd ddydd Sadwrn Ebrill 4, tua 9 o'r gloch y boreu, ehedodd ei ysbryd i'w gartref dedwydd, wedi treulio hanner canrif agos yn Nhŷ yr Arglwydd, a thros ddeugain mlynedd o hyny yn blaenori gyda'r gwaith.

Yr oedd yn dra phoenus trwy'r holl nos; ond cyn y boreu yr oedd y tafod yn bloesgi, ac yn anhawdd deall yr hyn a ddywedai; a'r anadl yn fyr. Dywedai, trwy anhawsdra, cyn y dydd, "Gobaith da trwy ras." Yn mhen ychydig wedy'n, "Cyfamod hedd." Yr oedd hyn yn ddigon yn nhonau'r Iorddonen. Yr oedd amryw o'r brodyr yno yn edrych arno yn myned trwy yr afon: ond rhoddodd "Brenin dychyniadau *summons* i ni oll i gilio yn ol, a thynodd y lleni yn rhy glôs i ni weled i'r ochr draw. Aethom ymaith yn friwedig ein bronau i gadw cyfarfod eglwysig yn barotoadawl i Sul y cymmundeb. Boreu Sabboth, yn drwm ein calonau, cawsom ddyfod at fwrdd yr Arglwydd heb ein hen frawd anwyl a fyddai yn arfer gwasanaethu'r bwrdd; ond yn dra hyderus ei fod wrth y bwrdd ar ben y daith, gyda gwell cwmpeini, mewn gwell gwlad.

Dydd Mercher canlynol, ymgynullodd lliaws ynghyd i hebrwng ei ran farwol i'r tŷ rhagderfynedig: rhoddwyd ei gorph i orphwys yn mynwent Llanllawer, yn ymyl ei hen anneddle, Trellan.

Yr oedd Mrs. Harries, ei wraig, yn hŷn nag ef o amryw flwyddi, ac yn wan a llesg. Yr oedd yr ergyd mor ddwys iddi hi fel na's gallasai ei natur egwan ei ddal. Nos Sadwrn canlynol, tu a 7 o'r gloch, yn mhen wythnos a deng awr, ehedodd ymaith ar ol ei phriod i'r anneddle lonydd. Ac felly, dydd Mercher canlynol hebryngwyd ei gweddillion hithau i'r un man; a dodwyd hwy ill dau i orwedd yn yr un bedd. "Cariadus ac anwyl oeddynt yn eu bywyd, ac yn eu marw.

olaeth ni wahanwyd hwynt. Yno y maent bellach yn dysgwyl boreu'r codi wrth ganiad yr udgorn diweddaf,

I'r cyrph sy'n gorwedd yn y bedd.
Gael rhan o'r briodasol wledd.

Yr ail Sabboth ar ol eu claddu, traddodwyd Pregeth Angladdawl yn Nghapel Abergwaen, gan y Parch. D. Meyler, oddiwrth Dan. xii. 13. Cafodd Mr. a Mrs. Harries y cysur o weled eu hunig blentyn yn aelod hardd yn yr eglwys: cafodd ei fagu ynddi, ac ni throdd allan o honi. Y mae yntau er ys blynyddoedd, wedi ei neillduo yn flaenor. Wele y bedwerydd genhedlaeth yn Trellan, yn blaenori gyda chrefydd yn Abergwaen. Cyfranoged ein hanwyl frawd, a'i gydmares hynaws, yn helaeth o ysbryd eu hynafiaid, ac arosed crefydd yn Trellan gyda'r plant a fegir yno yn bresennol, yngbyd a'u plant hwythau, ïe, hyd ddiwedd dyddiau y ddaear.

*A—g—n, Dyfed.* D.

---

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd gan y diweddar Barch. John Elias, yn Nghymdeithasfa Beaumaris, Môn, Medi 30, 1829.*

"Yr hwn a abertho foliant a'm gogonedda i; a'r neb a osodo ei ffordd yn iawn, dangosaf iddo iachawdwriaeth Duw."—Ps. 50. 23.

Y MAE casgliad y gynnulleidfa hon yn nghyd yn profi fod Duw. Ni ddaethant yn nghyd ar un achos bydol; ac ni ddaethant i addoli un dim a welir; yr hyn sydd yn addefiad allanol fod Duw, a'i fod yn un anweledig. Addoli Duw oedd dyben y cyfarfod hwn—a pheth mawr yw addoli Duw wrth ei fodd. "Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef ei addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd." Ioan 4. 24.

Yn y Salm hon y dengys Duw y fath addolwyr a'r nas boddlonant ef; eithr yn adnod y testyn y dengys y fath addolwyr ag a'i boddlonant ef. Nid ffurfiau a seremonïau allanol a'i boddlona. Y mae llawer o dwrf gan ddynion yn nghylch crefydd; ac y mae llawer o enwadau yn eu plith, a phawb yn meddwi mai eu *sect* hwy yw yr oreu: ond nid yw yr Arglwydd yn derbyn neb er mwyn ei *sect*—ni dderbyn Eglwyswr am ei fod yn Eglwyswr, ac ni dderbyn neb arall am ei fod yn perthyn i'r blaid hon neu y blaid arall; nid mewn gwahanol enwadau y mae y gwahaniaeth, ond yn yr addoliad. Y mae pob addoli heb ffydd, cariad at Dduw, edifeirwch am bechod, &c. yn anghymmeradwy. Y mae yn dangos hefyd fod addoliad yr annuwiol hefyd yn anghymmeradwy, am eu bod yn cashau addysg, ac yn taflu geiriau Duw o'u hol. Pe meddwn ddoniau angelion i bregethu, a buchedd annuwiol, ni fyddai fy holl wasanaeth yn gymmeradwy. Pe meddai dyn ddoniau mawrion i bregethu, a doniau mawrion i weddïo, &c. a byw mewn rhyw bechod, megys meddwdod, godineb, &c. ni byddai ei waith yn pregethu nac yn gweddïo yn gymmeradwy gan Dduw.

Sylwaf oddiwrth y testyn,

I. Mai y dyben penaf a ddylai fod genym gyda phob peth, yn enwedig gyda phethau yr efengyl, ydyw "gogoneddu Duw." Pa un bynag ai pregethu, ai gweddïo, ai moliannu, ai ymddyddan am bethau ysbrydol, &c. ein prif ddyben a ddylai fod, "gogoneddu Duw." Dyben penaf gwneud dyn oedd gogoneddu Duw; ni buasai un dyben arall islaw ei ogoniant ei hun yn gweddu i Dduw. Ni buasai yn gweddu i'w gyfiawnder a'i sancteiddrwydd fod ganddo un dyben islaw cael gogoniant i'w enw. A atebasom ni ddyben ein bod? A gafodd Duw fwy o ogoniant o herwydd ein bod na phe buasem heb fod? os na chafodd, nid atebasom y dyben o'n gosod ar y ddaear. "Pa un bynag, gan hyny, ai bwyta, ai yfed, ai beth bynag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." 1 Cor. 10. 31. Ti a gei dy ddiwallu, a'th ddisychedu, a'th gynnesu, ond na fydded y pethau hyn yn brif ddyben genyt wrth fwynhâu trugareddau Duw; ond gofala am fod ei ogoniant ef yn brif ddyben genyt wrth fwynhâu ei ddaioni. Ond yn benaf oll, wrth addoli, y dyben penaf a ddylai fod genym yw "gogoneddu Duw." Dylem ddysgwyl lles i'n heneidiau ein hunain, ond nid lles ein heneidiau a ddylai fod ein prif amcan, ond ei "ogoneddu ef." O dyrfa fawr! a ydych chwi yn sicr mai gogoniant Duw yw eich dyben y'mhob peth? Fe allai y dadleua un fel hyn, a'r llall fel arall, ond caniatewch i mi ofyn i chwi eich dau, a ydych chwi yn sicr o'ch dyben?

II. Y mae mewn aberthu moliant i Dduw roddi gogoniant iddo. "Yr hwn a abertho foliant a'm gogonedda i." Yn ol yr Hebraeg, "Yr hwn a gyfaddefo a'm gogonedda i." Nid oes medd aberthu moliant i Dduw heb gyfaddef iddo. Os na bydd y dyn yn cyf-

addef mawredd Duw, ei waeledd ei hunan, ei bechodau mawrion, a daioni Duw yn trefnu ffordd i faddeu, &c. ni bydd yn "aberthu moliant i Ddaw." Y mae cyfaddef yn dwyn gogoniant iddo, canys,

1. Mae tuedd mewn cyfaddef pechod i roddi gogoniant i Dduw. Meddai Josuah wrth Achan, "Fy mab, attolwg, dyro ogoniant i Arglwydd Dduw Israel, a chyffesa iddo." Jos. 7. 19. Fel pe dywedasai, y mae yr Arglwydd yn dal soriant i'n herbyn, ac os yw heb achos, nid yw yn ogoniant iddo; ond os oes achos dyro ogoniant iddo drwy gyfaddef yr achos. "Fel y'th gyfiawnhaer pan lefarych, ac y byddit bur pan farnech," meddai Dafydd, Ps. 51. 4. Dywedai Duw yr hyn a ddywedai, ei gyfiawnhau a wnai Dafydd; barned fel y gwelai yn dda, "byddi bur," medd Dafydd, "yr wyf yn haeddu y cwbl."

2. Y mae cyfaddef cyfiawnder y ddeddf a dorasom yn dwyn gogoniant i Dduw. Byddai Ezra, Daniel, &c. wrth weddïo yn cyfaddef cyfiawnder y ddeddf a dorasant, ac wrth hyny yn rhoddi y gogoniant i Dduw. Dylem ninnau gyfaddef cyfiawnder y ddeddf, gan gashau pechod, ffieiddio ein hunain, a charu Duw a'i ddeddf.

3. Y mae cyfaddef moliant Duw yn dwyn gogoniant iddo. Dylem ei foliannu am bethau ysbrydol a thymhorol, amserol a thragywyddol. Nid oes neb nad oes y rhwymau mwyaf arno i foliannu Duw; canys "pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi uchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni," Iago 1. 17. Y mae bod yn iach yn lle ar wely cystudd—bod a'n synwyrau genym, yn lle bod yn y gwallgofdŷ—cael ein bara beunyddiol yn lle bod mewn newyn—cael gwisg i'n dilladu yn lle noethni—y mae fod trefn i'n hachub yn lle ein damnio—y mae fod Duw wedi meddwl am ein hachub, wedi anfon ei Fab i'n byd, wedi anfon ei efengyl atom, ac yn galw ar ein bath ni ato—mae y pethau hyn yn galw arnom i ddiolch iddo. A phwy na chlodfora? pwy na folianna? "O! na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni a'i ryfeddodau i feibion dynion." Nid yw yn ceisio dim genym ond moliant; nid yw yn ceisio genych dalu dim, na rhoi eich cyrph yn ebyrth, na myned ar bererindod, na dyoddef un math o benyd; ni chais ddim genym ond moliant. Pwy na chlodforai ei enw am ei fod yn derbyn ein bath!

Wrth roddi moliant iddo, dylem,

1. Aberthu moliant iddo. Ei roddi o'n gwirfodd, a'i aberthu yn ewyllysgar, nid cael ein cymhell gan neb ond gan ein calon ein hun.

2. Rhoddi aberth moliant iddo. Peth gwresog oedd aberth, felly y dylai ein moliant ninnau fod yn wresog.

3. Rhoi ein haberth yn llaw aberthwr. Trwy aberthwr yr oedd aberthu: nid oedd y dyn i aberthu ei aberth ei hunan—rhaid oedd iddo roddi ei aberth yn llaw offeiriad i'w aberthu; rhaid i ninnau roddi ein haberth i Grist i'w aberthu, o herwydd y mae ein haberth ni yn anmherffaith iawn.

4. Wrth gyfaddef iddo yr ydym yn dywedyd yn ein iaith pe na roisai ddim i ni na wnaethai gam â ni; ond gan ei fod yn rhoddi, a ninnau heb haeddu, yr ydym yn gogoneddu ei ras a'i drugaredd, am ei fod yn rhoddi i rai annheilwng.

III. Y mae eisieu gosod trefn ar yr ymarweddiad cyn gallu rhoddi y gogoniant i Dduw. "A'r neb a osodo ei ffordd yn iawn." Y mae yn gweddu i'r tlawd yn rhagorol, canys nid dafad nac ych, &c. y mae yn ei ofyn; na, dim ond mawl, a diolch, gan y tlawd a'r cyfoethog. Ofer haeru gwendid i beidio a moli; y gwan mola, a gosod dy ffordd yn iawn. "Wel," medd rhywun, "gallwch chwi ddywedyd fel y mynoch; beth a wyddom ni pa fodd yr ydych chwi yn byw eich hunain?" Wel, dorf, chwiliwch am ein hanes hyd adref; mynwch wybod am ein hymarweddiad, ac na wrandewch arnom os ydym yn byw yn afreolus. "Yn unig ymddygwch yn addas i efengyl Crist," Phil. 1. 27. Y mae gras Duw yn dysgu y dyn i "wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon," Tit. 2. 12. Nid mewn ymadrodd diolch, yn unig, y mae mawl—nid yw geiriau diolch yn ddim os na bydd y galon a'r ymarweddiad yn addas. Y dyn a wnelo hyn ni syflir, canys y mae yn gosod ei ffordd yn iawn.

IV. Yr addewid,—"dangosaf iddo iachawdwriaeth Duw." Rhoddaf hi iddo, sancteiddiaf ef yn fy iachawdwriaeth. Dywedaf wrth ei enaid y caiff les ynddi. Cysura fy iachawdwriaeth ef yn angeu. Cyfyd ei ben ynddi yn y farn. Iachawdwriaeth Duw! Mae digon ar gyfer colledigaeth dyn yn iachawdwriaeth Duw. Yn ngwyneb euogrwydd dyn dyma Iawn—ei [illegible]

mawrion, wele aberth—ar gyfer ei fryntni, wele ffynon—ar gyfer ei glwyfau, wele feddyginiaeth--ar gyfer ei wendid wele nerth—ei bellder oddiwrth Dduw, wele iachawdwriaeth i'w ddwyn yn agos. Cyfyd hon ef at Dduw; rhydd iddo fwynhad o Dduw am dragywyddoldeb.

O! drueni y bobl sydd yn marw heb iachawdwriaeth. Ond, yn ngwyneb y miloedd pobl sydd yma, gwaeddaf, "Iachawdwriaeth Duw!" Y mae yma filoedd a welir cyn hir yn berffaith lan trwy "Iachawdwriaeth Duw." Amen.--*Ysgrifenwyd wrth wrando gan Pont-y-twr.* D. Lloyd.

---

## Y CRISTION YN MARW.

Amgylchiad sicr o gyfarfod â phob dyn yw marw. Amgylchiad a goffeir yn fynych iawn yw marw; ni bydd braidd fis nac wythnos, ïe, na diwrnod yn myned heibio, na byddwn yn clywed am farw rhywun; ac nid ydym yn gweled Newyddiadur na Misolyn heb ei restr ddu o farwolaethau. Ond er mor fynych y coffeir am yr amgylchiad, ac er pa ddwysed bynag y cyffroir ein hystyriaethau gan goffhad o amgylchiadau marw; etto y mae rhyw beth mewn marw na allwn ei amgyffred na'i deimlo, nes dyfod i farw ein hunain.

Gallwn ffurfio meddylddrych lled gywir am lawer o bethau dyeithriol i ni mewn profiad trwy ddychymyg; ond, os i gael profiad neu wybodaeth o brofiad marw, yr awn i ddychymygu am danom ein hunain yn y bwlch cyfyng hwnw, lleiheid cywirdeb y profiad, ac iselid y drychfeddwl trwy y wybodaeth mai byw fyddem; canys tra y cofiem ein bod yn fyw anmhossibl fyddai i ni gael nemawr iawn o brofiad marw. Ond pe gallem, yn ein dychymyg, lwyr anghofio ein cyflwr, a chredu ein hunain yn marw—yn cau ein llygaid ar y byd hwn, ac yn amrantu ar y byd tragywyddol; a'r olwg o fyd yn darfod, ac o fyd arall yn dechreu, yn llanw ein meddyliau ar unwaith—holl donau yr afon yn dechreu ymdori trosom, y llifeiriant yn myned tros ein henaid, &c. buan y neidiai ein natur mewn braw dirfawr oddiwrth y cyfryw olygon dychrynedig, cyn cael ond cip drem ar deimladau yr amgylchiad; ac O! mor dda genym gael credu na byddem yn marw, a chael diolch ein bod yn fyw! Pan ddychrynir ni gan weledigaethau nos, ac y'n brawychir â breuddwydion, da fydd genym gael dywedyd, pan ddeffrown, 'ac wele breuddwyd oedd.' Pan gyffroir ni gan berygl corphorol, enbydrwydd am golli aelod, neu archolli y corph, mor hynod dda fydd gweled yr achos o'r perygl wedi diflannu a ninnau yn ddiangol. Ond brenin y dychryniadau yw angeu; a phan wnelem ddychymygu ein hunain o dan ei ewinedd oerion ef pa faint gwell fyddai genym gael deffroi o'n gweledigaethau dychymygol, a gwaeddi diolch mai byw ydwyf.

Mae angeu ynddo ei hunan y peth mwyaf dychrynllyd a ddichon gyfarfod â dyn. Mae y natur ddynol yn brawychu ac yn arswydo wrth feddwl am dano. Yr oedd yr ysgrifenwyr ysbrydoledig yn ystyried angeu felly, fel y mae'n amlwg oddiwrth eu hymadroddion, "glyn cysgod angeu; gofidiau angeu; dychryn marwolaeth; brenin y dychryniadau;" &c.

Ond er fod angeu ynddo ei hunan yn beth i'w arswydo, etto ei gyssylltiad â barn, ac â thragywyddol sefyllfa dyn, sydd yn ei wneud yn beth ofnadwy iawn. Y mae yr anifeiliaid a ddyfethir yn ofni marw; ond nid yw o fwy o ganlyniad iddynt hwy nag ymadawiad eu hanadl; ond y mae ofn marw mewn dyn, nid yn unig o herwydd ei fod yn ddiwedd bywyd iddo yma, ac o herwydd ei boenau, ond hefyd (ac yn benaf oll) o herwydd ei ganlyniadau tragywyddol. Swyddog yn cyrchu dyn i'r frawdle yw angeu—ceidwad y carchar yn dwyn y carcharor i le barn ydyw i dderbyn ei ddedfryd. Ac O! pwy all ddysgrifio teimladau carcharor, er i'w gydwybod ddyweyd ei fod yn ddieuog, ac er iddo wybod fod ganddo dystiolaeth dda o'i blaid, a dadleuwr da i ddadleu ei fater, pan y byddo yn cael ei wysio o flaen y barnwr i drin ei achos? Ond pa faint mwy ofnus? pa faint mwy fydd braw ac arswyd dyn, yr hwn sydd yn euog—ïe, dan farn o gondemniad, "a ddamniwyd eisoes,' ac heb sicrwydd fod ei fater wedi ei roddi yn llaw y dadleuwr mawr, pan yn wynebu ei Farnwr Hollwybodol? Er bod yn grefyddwr, dydd o brawf i'r eithaf ar ei grefydd fydd hwn. Dydd o brofi crefydd i'r eithaf fydd y dydd hwnw—dydd o brofi manwl, ïe, y profi manylaf, ar nerth adeilad crefydd y Cristion.

Beth raid fod teimladau dyn da pan fyddo gwarant y swyddog hwn, angeu,

yn cael ei roddi arno? pan fyddo y nerth yn pallu, poenau dirdynol angeu trwy yr holl natur, y gwefusau yn methu ysgogi, y tafod yn methu troi, y traed yn oeri, yr anadl yn byrhau, ac yntau yn dysgwyl bod yn ysbryd noeth yn ngwydd Duw? O! amgylchiad â phwys yn perthyn iddo yw marw!

Nid yw angeu yn gymmwys yr un fath i bawb a'u gilydd. Y mae buddugoliaethwr mawr pan yn marw ar faes y frwydr, ar ennill y fuddugoliaeth, yn wahanol iawn ei deimladau yn marw ragor pawb arall. Bydd gwahaniaeth dirfawr hefyd rhwng yr anffyddiwr, a'r rhagrithiwr, a'r Pagan yn marw; ond bydd gwahaniaeth mwy rhwng y Cristion yn marw a'r rhai yna oll, nag fydd rhyngddynt a'u gilydd. Bydd y buddugwr yn marw yn orfoleddus am fod ei droed ar war ei elynion; ond *marw* y bydd, a marw a rydd derfyn ar ei holl orfoledd. Bydd yr anffyddiwr yn marw yn ddychrynedig iawn—ei gydwybod yn dyweyd wrtho bod Duw a farn. Bydd y rhagrithiwr yn marw, a'i obaith yn darfod, a'i dŷ tywod yn dymchwel i'r llawr. Bydd y Pagan yn marw mewn ofn, ac heb wybod pa beth fydd yn ei ofni. Ond pa fodd y bydd y Cristion yn marw! Nid yr un fath ag ereill. Nid fel y buddugwr, er ei fod yn fuddugwr, ïe, 'yn fwy na choncwerwr.' Bydd buddugoliaeth y Cristion yn fuddugoliaeth ar angeu; ac ni bydd angeu yn derfyn ar ei lawenydd, ond yn dechreu bod yn llawen. Bydd y Cristion yn marw i fwynhau ei fuddugoliaeth. Nid fel yr anffyddiwr y bydd efe marw, bydd yn myned i weled y Duw y credodd ynddo. i fod yn debyg byth iddo. Nid fel y rhagrithiwr, 'ond y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw.' Nid fel y Pagan ychwaith, ond gŵyr i bwy y credodd. 'Efe a â i dangnefedd.'

O gymmaint yn rhagorach yw angeu i'r Cristion nag i neb arall. Prin y gellir ei alw yn angeu os cyssylltwn âg ef yr holl ddychryniadau a wneir yn gyffredin. Pa beth yw angeu i'r Cristion? Gwas ei Dad yn dyfod i gyrchu ei blentyn adref o'r ysgol. Pan ddywedo yr Arglwydd wrth ei was 'Da, was da a ffyddlon: dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Yna y gwas [angeu] a egyr y drws iddo. Mynedfa o'r anialwch i Ganaan ydyw; a phan gyrhaeddo yno dychymygaf glywed y llu nefolaidd yn ei anerch,

"Prisoner, long detained below,
Prisoner, now with freedom blest;
Welcome from a world of woe,
Welcome to a heavenly rest."

MONTGOMERY.

O'r blaen yr oeddym yn edrych ar *ddyn* ac angeu; ond yn awr, wrth edrych ar Gristion yn marw gymmaint yw y gwahaniaeth. Dyn yn marw, darfod am dano byth—y Cristion yn marw, dechreu bod yn llawen. Dyn yn marw, dan ofni, brawychu, ac yn dychrynu—y Cristion yn marw dan hiraethu, gobeithio, a chredu y daw iddo ddaioni; cysgod angeu o'i flaen yn oleu ddydd; y mae efe yn gadael ei gorph gwael mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad gwell. O! ddydd dedwydd i'r Cristion fydd dydd ei farwolaeth! gwell o lawer na dydd ei enedigaeth! Geni i deithio yr anial—marw i orphwys yn y Ganaan fry. Geni i orthrymderau—marw i ddedwyddwch. Geni i ymladd â gelynion—marw i ddwyn y palmwydd wedi eu gorchfygu. Geni i ddwyn y groes—marw i wisgo y goron. Geni i farw—marw i fywyd pur!

Nid oes dim yn angeu ei hun i beri i'r Cristion ofni, os edrych efe ar ei frawd hynaf. Er fod yn rhaid i'r Cristion ddyoddef yn naturiol fel pawb arall, etto y mae yn cael nerth gan ei Dduw i fod yn fwy na choncwerwr ar angeu ei hun. "Nid ofnwn niwaid, (medd un dyn duwiol) pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu." Paham, Dafydd? "Canys yr wyt ti gyda mi." Y mae y Cristion, pan yn marw, os bydd yn cael gwedd wyneb ei Dduw, yn dyoddef poenau angeu fel pe byddai yn mwynhau pleser. Pa fodd? Gobaith gogeniant sydd yn ei ddal i fynu. Y mae ei feddwl yn gorfoleddu mewn golwg ar fwynhad o bresennoldeb ei Dduw, heb un cwmwl ar ei wedd byth, nes y mae'n anghofio gofidiau ei gorph. Y mae yr hyn sydd farwol ganddo ar gael ei lyngcu i fynu gan fywyd.

Cyn myned i'r amgylchiad hwn bydd y Cristion yn aml yn ofni angeu, ac yn arswydo rhag brenin y dychryniadau; ond pan ei iddo, gan felysder cymdeithas ei Dduw, a chan y goleu fydd yn cael ei weini iddo, bydd yn gallu gweiddi "Ai dyma angeu? Y peth y bum yn ofni cymmaint arno—y peth y bu fy nghnawd a'm calon yn crynu rhag ei ofn lawer gwaith. A yw angeu ddim mwy na hyn?

"Tell me, my soul, can this be death?"

Gyda golwg ar ganlyniadau angeu ni raid i'r Cristion ofni ychwaith—na raid, ond gall lawenychu yn fawr. 'Ni ddaw i farn; efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.' Nid ei geisio fel Ceidwad y carchar yn cyrchu y carcharor i gael ei farnu y bydd angeu; ond fel gwas i'w frawd hynaf yn ei gyrchu i'w 'ddangos yn ddifeius ger bron gorseddfainge Duw.' Cyrchu yr etifedd i'w deyrnas y bydd angeu. 'Deuwch,' (medd Crist wrthynt) etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd.'

Wrth edrych yn ol ar y byd nid rhaid i'r Cristion arswydo marw. Ni bydd gadael y byd ddim yn beth anhawdd ganddo. Pan yn edrych yn ol o lan yr Iorddonen ar daith yr anialwch, efe a waedda yn iach groesau; yn iach ofidiau; yn iach elynion ysbrydol; yn iach lygredd; ac yn iach wlad y cystudd mawr; wele fi yn myned i mewn i'r orphwysfa a addawodd yr Arglwydd i'r sawl a'i carant ef.

Nid rhaid iddo ef, wrth edrych yn ol ar y pethau y mae yn ei adael, nac wrth edrych yn mlaen ar y pethau y mae yn ei wynebu, nid rhaid iddo ef, meddaf, ofni marw. Gadael y byd, a'i wagedd a'i orthrymderau—'bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw.

Mae enwau hynod iawn o esmwyth ar farwolaeth y Cristion yn y Bibl. 'Gorphwys oddiwrth eu llafur;' 'huno yn yr Iesu;' 'myned i dangnefedd;' 'gorphen yr yrfa,' &c. a'r cwbl yn dangos marwolaeth y sant yn amgylchiad dedwydd iawn iddo. Wel, ynte, byw a wnelwyf fywyd yr uniawn, fel y byddo fy niwedd fel yr eiddo yntau.

J. R. E.

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

(Parhad o du dal. 38.)

### PEN. X.—Y PROPHWYDOLIAETHAU O'R BIBL A GYFLAWNWYD.

YR amlygrwydd ag sydd yn cyfodi oddiwrth y cyflawniad o'r prophwydoliaethau fod y Bibl wedi ei roddi trwy ddwyfol ysprydoliaeth, sydd ar unwaith yn adeiladol i'r credadyn ac yn ddarostyngol i'r anffyddiwr. "Duw yn ei ddaioni a roddodd i bob oes amlygrwydd digonol o'i wirionedd. Gwyrthiau a ellir ddywedyd oeddynt y profion mwyaf o ddatguddiad i'r oesoedd cyntaf, y rhai a'u gwelsant hwy yn cael eu gwneuthur. Prophwydoliaethau a ellir ddywedyd ydynt y profion mawr o ddatguddiad i'r oesoedd diweddaf, y rhai ydynt yn eu gweled hwy yn cael eu cyflawni." Nid yw yn gydweddol âg amcan hyn o draethawd i gynnwys holl rag-ddywediadau y Bibl: nac ychwaith hyd yn nod y rhai penaf o'r rhai ydynt yn perthynu i holl destynau pwysfawr prophwydoliaeth. Y rhai ydynt yn perthynu i'n Harglwydd Iesu Grist yn unig a ofynent gyfrol gyfan. Amcanir sylwi, a hyny mor gryno ag mae yn bosibl, yn unig ar y rhai hyny perthynol i genedloedd a gwledydd, cyflawniad pa rai sydd yn hynod, a'r profion o honynt yn amlwg i bawb ag ydynt yn sylwi, hyd yn nod yn ein dyddiau ni. Er pellach hysbysrwydd cyfeirir y darllenydd i *Keith on the Evidence of Prophecy*.

#### *Dosparthiad I.—Yr Arabiaid.*

Yr Arabiaid ydynt yn hòni eu disgyniad o Ismael, mab Abraham. Mewn perthynas iddo ef, hysbysodd angel yr Arglwydd i'w fam, cyn ei enedigaeth: "Gan amlhâu yr amlhaf dy hâd di, fel na rifer ef o liosogrwydd. Wele di yn feichiog, a thi a esgori ar fab, ac a elwi ei enw ef Ismael: ei law fydd yn erbyn pawb, a llaw pawb yn ei erbyn yntau; ac efe a drig ger bron ei holl frodyr." Gen. xvi. 10—12.

Yr addewid ddwyfol mewn perthynas i Ismael a wiriwyd mewn modd rhyfedd. Mewn ychydig o flynyddoedd cynnyddodd teulu Ismael yn y fath fodd, fel yn Gen. xxxvii. yr ydym yn darllen am yr Ismaeliaid yn marchnata i'r Aipht. Lliosogodd ei hiliogaeth yn dra aml yn yr Hagariaid, wedi eu galw felly tebygol oddiwrth ei fam Hagar; yn y Nabathiaid, y rhai a gawsant eu henw oddi wrth ei fab hynaf Nebaioth; yn Itureaid, a elwid felly oddiwrth ei fab Itur; ac yn yr Arabiaid, neu y Saraceniaid, y rhai a lanwasant ran fawr o'r byd, a'r rhai ydynt yn aros hyd heddyw yn bobl liosog. Ismael ei hun a ymgynhaliai trwy ysglyfaetha yn yr anialwch; a'i hiliogaeth, yn yr holl oesau canlynol, a ddygn-flinant Arabia a'r gwledydd cymmydogaethol, trwy ruthriadau ysglyfaethawl. Pob rhyw benaeth bychan yn ei ardal ei hun a ystyria ei hun yn dywysog penaf: ac er mewn golygiad yn rhanedig, y maent oll yn unedig trwy fath o gyngrair. Maent yn byw mewn math o ryfel parhaus gyda'r rhan arall o'r byd, yn gyffredinol yn yspeilwyr ar y tir, ac yn lladron ar y môr. Ac megis y maent hwy wedi bod y fath elynion i'r rhan arall

o ddynolryw, nis gall fod yn rhyfedd, mewn ad-daliad, fod dynolryw wedi bod yn elynion parhaus iddynt hwythau. Yn mhob oes, teithwyr a orfuant i groesi eu gwlad yn finteioedd, neu gymdeithasau mawrion, gydag arfau er eu hamddiffyniad, ac i'w gwaredu eu hunain rhag y rhydd-yspeilwyr hyn yn eu hymosodiadau, i gerdded gyda'u gwyliedyddion, a chadw gwyliadwriaeth fel byddin. Mor llythyrenol y cyflawnwyd y brophwydoliaeth, 'Ei law fydd yn erbyn pawb.'

Gyda golwg ar y rhan hòno o'r rhagddywediad, yr hon a ddywed, 'Efe a drig [neu a dabernacla] ger bron ei holl frodyr," cyflawnwyd hi mewn modd nodedig. Gwlad Ismael sydd yn gorwedd yn y rhan hòno o'r ddaear lle y dechreuodd cymdeithas, ac y ffurfiwyd y teyrnasoedd cyntaf. Ymerodraethau mwyaf y byd a gyfodasant ac a syrthiasant oddi amgylch iddynt. Ni chauwyd hwy allan oddiwrth ohebiaeth â chenedloedd pellenig; ac fel hyn, trwy anwybodaeth a rhagfarn, ydynt yn aros yn ymlynedig wrth arferiadau anfoesgar a chyntefig. Yn yr amserau cyntaf o'u hanesyddiaeth yr oeddynt yn unedig fel cyfathrachwyr â breninoedd mwyaf galluog y dwyrain: dan Mohammed dygasant eu harfau dros deyrnasoedd enwocaf y byd; trwy oesoedd dilynol minteioedd y marchnatawyr, a chymdeithasau o bererinion Mahommetanaidd oeddynt yn myned heibio yn rheolaidd trwy eu hanialwch; hyd yn nod eu crefydd a aeth dan amrywiol gyfnewidiadau hollol. Etto, yr holl amgylchiadau hyn, y rhai, fel y gellid tybio, a ddarostyngent y rhagfarnau mwyaf ystyfnig, ac a gyfnewidient yr arferion mwyaf greddfol, ni chynnyrchasant un effaith ar yr Arabiaid. Maent hyd yma yn cadw, heb waethygu, y tebygolrwydd mwyaf manwl i hiliogaeth cyntaf Ismael.

Llygad-dyst craff a deallus, wedi ymweled â gwersyll Arabaidd yn ddiweddar, a sylwi yn fanol ar eu prïodol ddulliau, sydd yn ysgrifenu, "Ar y cyfrif lleiaf, rhaid fod arferion y bobl hyn yn gyfryw dros fwy na thair mil o flynyddoedd." Fel hyn, yn mhob peth yn gwirio y rhagddywediadau a roddwyd am Ismael yn ei enedigaeth, y byddai efe yn ei hiliogaeth yn ddyn gwyllt, a pharhau i fod felly, er y byddai iddo dros byth drigo yn mhresennoldeb ei frodyr. A bod i genedl synwyrol a bywiog, wedi ei hamgylchynu dros oesoedd gan genedloedd moesgar ac enwog, barhau, o'u hamseroedd boreuaf hyd eu rhai diweddaf, i fod yn bobl wylltion yn trigo ger bron eu brodyr, fel y gallwn alw y cenedloedd hyn, yn anorchfygedig ac anghyfnewidiol, sydd yn wir yn wyrth sefydlog—un o'r ffeithiau dirgelaidd hyny sydd yn cadarnhau gwirionedd prophwydoliaeth.

---

## HANES CALCUTTA.

(Parhad o du dal. 169.)

Crybwyllasom, yn yr hanes a roisom o'r blaen, fod y ddinas fawr a phoblog Calcutta dan lywodraeth Brenhines Brydain Fawr, a bod ei thrigolion yn mwynhau perffaith ryddid crefyddol, ac mai mwynhad o'r rhyddid hwnw yw y prif achos o fawr gynnydd y ddinas mewn lliosogrwydd trigolion, a chynnydd masnach. Ond yn awr awn heibio i'r gwahanol grefyddau a geir y'mhith trigolion y ddinas, heb grybwyll am un o honynt, ond coel-grefydd yr hen drigolion, sef y Paganiaid, ag sydd etto yn parhau yn eu plith.

*Penyd aruthrol y Paganiaid.*

Ynghylch milltir allan o'r ddinas y mae gwastadedd eang, lle y bydd trigolion Paganaidd y dref a'r ardaloedd bob blwyddyn, ar y 9fed dydd o Ebrill, yn cyflawni math o benyd aruthrol; rhai o honynt, o herwydd y pechodau a gyflawnasant, ereill am y cyfryw feiau a allant eu cyflawni, ac ereill mewn canlyniad i adduned eu rhieni. Cyflawnir y seremoni fel y canlyn—Gosodir 30 o brenau *bamboo* ynghyd, ar eu penau ar y gwastadedd, ynghylch ugain troedfedd o uchder. Ar ben y rhai hyn hwy a sicrhant fath o fodrwy dro; a thrwy y fodrwy hòno hwy a osodant *famboo* arall, o 30 troedfedd o hyd ar draws, gan ei sicrhau gerfydd ei chanol yn y fodrwy, a gosodant raff yn rhwymedig wrth un pen iddi, ac un arall wrth y pen arall, y ddwy yn cyrhaedd hyd y llawr. Yna y mae y bobl yn tynu yn y rhaff sydd yn rhwym wrth un pen i'r *bamboo*, ac y mae y coelgrefyddwr yn gosod ei hun oddi tani, ac y mae yr Offeiriad Paganaidd, a elwir Brahmin, yn ewin-wasgu darn mawr o groen y dyn o dan bob cesail iddo, ac weithiau yn y ddwyfron, ac yna y mae yn gwthio bach haiarn cryf drwy bob un o'r ddau. Wrth y bachau hyn mae yn rhwym linynau o welltglas gwydn yr India, y rhai y mae yr offeiriad yn eu cylymu wrth ben y rhaff ag sydd

ynglyn wrth un pen i'r *bamboo* croes; ac ar yr un pryd y mae yn gosod math o wregys o amgylch y coelgrefyddwr, yn rhedeg drwy y ddau fach, rhag i'r croen dori, a gollwng y dyn i'r llawr. Wedi hyny fe red y bobl at y rhaff sydd yn mhen arall y *bamboo*, ac a dynant yn hòno nes y byddo y dyn truenus yn crogi gerfydd y bachau yn uchel iawn yn yr awyr. Wedi hyny y mae y bobl yn rhedeg gyda'r rhaff hòno cyn gynted ag y gallo eu traed gyflymu o amgylch ogylch, weithiau am hanner awr gyfan heb arafu, a'r adyn truenus yn siglhongian ar lawn hŷd y rhaff, gan chwareu mil o ddigrif gastiau ystranciog wrth gael ei chwyrn-droi yn yr eangder, pan y mae miloedd o edrychwyr yn llygadrythu arno. Mae yr adyn hwn wedi ei ddwbliwio, a'i wisgo â dillad amryliw, i'r dyben iddo ymddangos yn ddigon digrif a chwerthinus.

Mae yr adyn coel-grefyddol hwn yn myned o dan seremoni parotoawl am bedwar diwrnod cyn dydd y penyd. Ar y dydd cyntaf, a'r trydydd dydd o'r pedwar hyn, y mae yn llwyr ymattal oddiwrth bob math o fwyd; ond y mae yn bwyta ffrwythydd coed yn unig ar yr ail a'r pedwerydd dydd. Dros y pedwar diwrnod hyn y mae pob un o'r dynion ynfyd yma yn cerdded ar hyd heolydd y ddinas yn eu dilladau penchwiban a choel-ddychymygus, gan ddawnsio wrth swn tabwrdd a chyrn. Ac mae ambell un, mwy ynfyd na'u gilydd, gan gyfrif ei hun yn fwy zelog a chrefyddol na'r lleill, yn gwthio gwifr haiarn drwy ganol ei dafod, a phryd arall drwy ei foch. O! mor bell y mae dyn wedi myned allan o'r wir ffordd; ac i ba le nid â efe heb air Duw i'w gyfarwyddo?

Gelwir crefydd yr Indiaid yn Frahminiaeth, yr hon sydd yn sylfaenedig ar lnaws mawr o ysgrifeniadau cyssegredig, ar ba rai y mae y Brahminiaid, sef eu hoffeiriaid, i fod yr unig esponwyr. "Yr ysgrifeniadau cyssegredig hyn, (medd Mr. Stratham yn ei '*Indian Recollections*') ydynt o ddau fath---y *Vedas* a'r *Shastres*. Y *Vedas* ydyw eu hysgrythyrau, a'r *Shastres* ydyw eu hesponiadau arnynt. *Beass Muni* (h.y. *Beass* yr ysbrydoledig) prophwyd oedd yn byw dan deyrnasiad Judistheer, ar lan afon Jumna, yn agos i'r ddinas bresennol Delhi, a gasglodd ynghyd amrywiol ysgrifeniadau drwy bob dosparth o'r India, ac a'u cyfleodd hwynt yn y drefn y maent yn bresennol, dan yr enw Vedas, i fod megys Bibl iddynt. Maent wedi eu dosparthu yn bedwar llyfr. Gelwir y cyntaf yn *Rug Veda*, sef Gwybodaeth Dewiniaeth, yr hyn yw ei brif gynnwysiad. Yr ail a elwir *Sheham*, yr hyn a arwydda duwiolder, neu grefyddolder. Mae y llyfr hwn yn traethu am grefydd a dyledswyddau moesgar. Y trydydd yw *Judger Veda*, yr hwn, yn ol ystyr y geiriau, a gynnwys yr holl wybodaeth am yr holl ddefodau a seremoniau crefyddol. Y pedwerydd a elwir *Obater Bah*. *Obater*, sylwedd; *Bah*, daioni; gwir ystyr lythyrenol yr hyn yw, Llyfr Gwybodaeth y Bod daionus; ac felly fe gynnwysa hwn yr holl hysbysrwydd a gwybodaeth am dduwinyddiaeth, ac anianolaeth philosophaidd. Dywedir yn draddodiadol yn mhlith yr Indiaid fod yr ysgrifeniadau hyn yn hen ryfeddol.

Y meddylddrych a gynnwysa y *Shastres* am Dduw sydd fel hyn---fod un Bod mawr goruchel, yr hwn a alwant *Bhogabon*, neu *Esher*, ac weithiau *Khodah;* ac allan o hono ef y daeth tri o alluoedd, neu dduwiau, sef *Brahmha*, Creawdwr pob peth; *Vishnu*, Cynnaliwr pob peth; a *Seeb*, neu *Sheva*, Dinystrydd pob peth. Mae pawb yn addoli *Sheva* rhag ei ofn. Nid oes nemawr yn cyrchu i demlau *Bhogabon*. Ac nid oes dim rhyw lawer iawn yn addoli *Vishnu* mewn cydmariaeth i'r rhai sydd yn addoli y Dinystrydd. Yn israddol i'r duwiau hyn y mae *tri chant a deg-ar-hugain o filiwnau* o fân dduwiau a duwiesau, a phob un yn cynnrychioli rhyw rinwedd neillduol, neu ryw ddrwg. Barna yr Indiaid fod y tri phrif dduwiau uchod yn mynych ymdrech am uwchafiaeth y naill ar y llall."

Un o'u hymarferiadau mwyaf coelgrefyddol sydd yn gynnwysedig mewn dwyfoli, neu addoli, dyfroedd yr afon fawr Ganges. Y seremoni grefyddol a gyflawnir drwy fod miloedd lawer o honynt yn ymdrochi yn yr afon Ganges foreu a hwyr; ac y mae llawer iawn o'i dwfr hi yn cael ei gario i bob parth o'r India; ac i'r dwfr hwn y tyngant yn eu llysoedd gwladol. Llawer o fywydau a aberthir i'r afon hon bob blwyddyn. Merched sydd yn aberthu eu hunain iddi fynychaf. Mae amryw o'r merched coelgrefyddol hyn yn myned allan ar yr afon mewn cwch, a'r offeiriad Paganaidd gyda hwynt. Ac wedi myned o honynt i'r man nodedig, y mae y naill ferch ar ol y llall yn myned dros ymyl y cwch i'r afon, gyda llestr pridd mawr *(jug)* yn rhwym

wrth ei chorph; ac yna y mae yr offeiriad yn dal gafael yn y druanes nes y llanwer y llestr o ddwfr, ac wedi hyny y mae yn ei gollwng i soddi yn y dwfr gyda'r llestr i'r gwaelod, ac ni welir hi mwyach; a hyn a wneir yngwydd lliaws mawr o edrychwyr, a'r offeiriad ar y pryd yn lloni wrth eu gweled mor galonog a llwyr ymroddol i'r aberthiad echrydus.

Y fuwch hefyd sydd anifail a gyfrifir yn gyssegredig gan yr Indiaid; ac fe arferir biswail buwch yn eu temlau a lleoedd ereill fel enaint sanctaidd! Llysieuyn a elwir *Lotus* hefyd a gyfrifir yn gyssegredig iawn ganddynt. Rhai o demlau yr Indiaid a elwir *Pagodas* ydynt yn hen iawn, o ymddangosiad anferthol, ac o orchestwaith rhyfeddol. Y mynediad i mewn iddynt sydd drwy dŵr pigfain, a llofftydd arno, y naill uwchlaw y llall, ac yn llai lai hyd ei ben uchaf. Oddimewn i'r Pagodau hyn fe geir gweled yno y fuwch, a'r sarph, a chreaduriaid ereill, y rhai a gyfrifir yn gyssegredig ganddynt, ac yn wrthddrychau o addoliad.

Un o'r Pagodau mwyaf yn yr India yw y *Juggernaut*, tyrau yr hon a ganfyddir ugain milltir o ffordd. Yma, megys mewn manau ereill, fe welir cydgordaith o droliau yr eilunod, o wneuthuriad trymion, mawrion, ac addurnedig, y rhai a lusgir yn mlaen gan dorf o bobl, ymysg miloedd o ddynion yn crochfloeddio ac yn bonllefain yn wallgofus i'r eithaf. Ac fel y byddo yr olwynion yn rholio yn gyflym yn mlaen, mae dynion coelgrefyddol yn ymgyssegru eu hunain, ac yn ymdaflu o flaen yr olwynion, a hwythau yn myned drostynt, ac yn eu hysigo i farwolaeth, gan ddryllio eu hesgyrn yn gant o ddarnau yn y fan, a hyny a wnant mewn gobaith am fynediad i mewn i drigfanau gwynfyd!

Yr arferiad o fod gwragedd gweddwon hefyd yn rhoi eu hunain i gael eu llosgi yn aberth ar bentwr o goed, a elwir *Funeral pile* eu gwyr, sydd ran arall o'u crefydd. Ond y mae yr arferiad felldigedig yma wedi cael rhoi pen arno yn ddiweddar gan lywodraeth Prydain.

Ac heblaw Brahminiaeth y mae amryw fân bleidiau o grefyddau paganaidd ereill yn yr India; ond y mae pob un o honynt, fwy neu lai, yn ymddibynu ar ofergoelion gweigion, a dychymygion diles ac ynfyd. O! pa bryd y daw yr amser i ben,

> "Y pregethir Iesu a'i ras
> Yn yr India eang fras"

---

## MEDDWL DUW A MEDDYLIAU DYN.

Nid yw Duw yn edrych ar bethau y byd hwn a'r byd a ddaw gyda'r un olwg a dynion; ïe, dynion duwiol hefyd yn fynych. "Nid eich meddyliau chwi yw fy meddyliau i: nid fel yr edrych dyn y mae Duw yn edrych ar y naill na'r llall.

Mae dynion yn gweled mwy o werth o lawer yn mhethau y byd hwn, na phethau y byd a ddaw. Prawf o hyn yw eu bod yn dewis y naill o flaen y llall, neu yn eu lle. Gwerthfawrocach yn eu golwg yw cyfoeth y byd hwn na chyfoeth y byd a ddaw—mwyniant y byd hwn o flaen mwynderau y byd a ddaw—pârch ac anrhydedd y byd hwn yn hytrach na'r parch a'r dyrchafiad tragywyddol sydd i'w gael trwy Grist yn y byd a ddaw.

Mae y saint, tra yn agos at eu Duw o'r un feddwl a Duw am danynt. 'Tra na byddont yn edrych gyda gormod o hoffder ar y pethau a welir, ond yn edrych trwy ffydd ar y pethau ni welir â llygad o gnawd: mae y cyfryw agwedd ar y meddwl yn peri i ogoniant y nef ymddangos yn beth o dragywyddol bwys yn eu golwg; felly y maent yn gorchfygu yr agwedd annuwiol hòno ar y meddwl, o ystyried pethau y byd hwn yn fwy eu pwys na phethau y byd a ddaw: a hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef eu ffydd hwy. Os na fydd ffydd mewn gweithrediad mae y Cristion tan draed ei elyn.

Tra y mae annuwiolion y byd yn gwneud mwy o bris o bethau y byd hwn, ac yn dirmygu pethau tragywyddol, yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd am eu penau, a'r Arglwydd a'u gwatwor hwynt (mewn agwedd sanctaidd) gan ddywedyd, 'Pa hyd chwi ynfydion y cerwch ynfydrwydd, yr hoffwch wegi, ac yr argeisiwch gelwydd, y perwch i'ch llygaid ehedeg ar y peth nid yw?' dynion yn gwrthod eu trugareddau eu hunain—cymmeryd eu rhan yn y bywyd hwn yn unig, pryd y gwrthodant Dduw yn rhan dragywyddol. Dewis y felldith yn lle'r fendith—tlodi yn lle cyfoeth—uffern yn lle'r nefoedd. "O! na baent ddoethion, nad ystyrient eu diwedd."

Tra y mae ambell Gristion hefyd weithiau, ar ol colli iawn olwg ffydd ar y pethau hyn, ac wedi syrthio i ddyryswch a helbul meddwl, gan gyrchu i'w feddwl gant a mil o feddyliau drwg—yn synu ac yn rhyfeddu fod Duw yn llwyddo cymmaint ar ddynion annuwiol, ac yn gadael ei blant mewn tlodi a helbulon, yn methu yn glir ag esponio trefn rhagluniaeth, a'i dybenion, gan dybied yn ei feddwl y gwnai efe well defnydd o'r trugareddau na hwy, ac yna y mae yn sori ac yn ystyfnigo fel Jonah gynt, a bron a llaesu dwylaw, a rhoddi i fynu ei holl ddyledswyddau. Diau, meddai, mai ofer y glanheais fy nghalon, ac y golchais fy nwylaw mewn diniweidrwydd, a'r cyfan wedi ei achosi trwy golli gweithrediad ffydd. Ond Duw, o'r tu cefn ac allan o'r golwg, fel tad tyner a wena arno wedi iddo syrthio i'r fath helbul a thrafferth, ac anghysur meddwl, heb achos yn y byd, ond am ei esgeulusdra o weithredu ffydd i weled pethau fel y maent,

ac heb nemawr o frys i'w godi allan yn ol ei feddwl ef. Ond fe rydd ddrws agored i'w gyssegr, sef neshad at Dduw mewn gweddi rhyw ddiwrnod, ac yna fe wel bethau fel y maent, ac mai anifail oed d mgeisiadau pan yn y fath brofiad. Ps. 72. 2—22.

Diau y bydd y saint etto yn y nefoedd yn synu yn fawr am iddynt fod mor ffol a gadael i bethau y byd hwn rwystro a dyrysu cymmaint ar eu meddyliau heb achos.

ABON ARMON.

---

## SAMSON YN GYSGOD O GRIST.

SAMSON ydoedd fab i Manoah, o Sorah, o dylwyth y Daniaid. Y mae enw ei fam yn anhysbys; ond y mae yn amlwg ei bod yn meddu mwy o ffydd na'i gwr. Barn. 13. 23. Y mae hanes Samson yn hanes nodedig ac anghyffredin: ac yr oedd efe yn gysgod nodedig o Grist mewn llawer o bethau: ac er bod rhai pethau beius ynddo, etto nid oes lle i ammeu nad oedd efe yn dduwiol, gan fod yr apostol wedi rhoddi ei enw yn mhlith y rhai enwog gynt am eu ffydd. Heb. 11. 32.

| Y CYSGOD. | Y SYLWEDD. |
|---|---|
| Hysbyswyd am enedigaeth Samson gan angel o'r nef (os nad angel y cyfammod ei hun). | Felly yr angel Gabriel a ddaeth i fynegi am enedigaeth Crist. |
| Yr oedd mam Samson yn anmhlantadwy. | Yr oedd mam Crist yn wyryf bur. |
| Fe anwyd Samson pan oedd yr Israeliaid yn cael eu gorthrymu gan y Philistiaid. | Fe anwyd yr Arglwydd Iesu pan oeddynt yn cael eu gorthrymu gan y Rhufeiniaid. |
| Rhagfynegodd yr angel swydd Samson i'w fam gan ddywedyd 'Nazaread i Dduw fydd. ..ac efe a ddechreu waredu Israel o law y Philistiaid.' Barn. 13. 5. | Yr angel Gabriel a ddywedodd wrth Joseph, 'A thi a elwi ei enw ef Iesu, oblegid efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau. Mat. 1. 21. |
| Yr oedd Samson yn Nazaread i Dduw. | Felly hefyd yr oedd Crist. Mat. 2. 23. |
| Samson a ddaeth i ddechreu gwaredu Israel o law y Philistiaid. | Iesu Grist a ddaeth i ddechreu, ac i orphen gwaredu ei bobl oddiwrth eu pechodau. Ac efe yw yr Iawn, &c. 1 Ioan 2. 2. |
| Samson a gymmerodd wraig o ferched y y Philistiaid. | Crist a gymmerodd eglwys o blith y cenedloedd. |
| Samson a gyfarfyddodd â llew yn rhuo, ac a'i lladdodd. | Crist a gyfarfyddodd a Satan, yr hen lew rhuadwy, ac a'i gorchfygodd, ac a ddattododd ei holl weithredoedd, gan gael i ni dragywyddol ryddhad. |
| Cafodd Samson fêl yn nghorph y llew. | Buddugoliaeth Crist ar Satan yw bwyd a melusder y Cristion. |
| Yr oedd Samson yn rhyfela â'r Philistiaid ei hunan, heb neb gydag ef. | Crist a ddywed, 'Sathrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd neb gyda mi.' Esa. 63. 3. |
| Samson a gymmerodd ddrysau y ddinas, a'r ddau bost, ynghyd a'r bar, i ben y bryn gyferbyn a Hebron. | Felly Iesu Grist a gariodd y groes i ben Calfaria, o'r tu allan i byrth Jerusalem. |
| Samson a werthwyd gan Dalilah i'w elynion. | Crist hefyd a werthwyd gan Judas i ddwylaw ei elynion yntau. |
| Samson a ddaliwyd, a rwymwyd, gan y Philistiaid, a thynwyd ei lygaid. | Iesu Grist a ddaliwyd, a rwymwyd, ac a watworwyd, a'i lygaid a guddiwyd, a chernodiwyd ef, a phoerwyd yn ei wyneb. |
| Bu Samson farw yn ewyllysgar ac o'i fodd. | Crist a ddywed, 'Nid oes neb yn cymmeryd fy einioes oddi arnaf,' &c. Ioan 10. 10. |
| Wrth ddial ar ei elynion y bu Samson farw. | Wrth ddial ar elynion ei eglwys y bu Crist farw. |
| Bu Samson farw yn galw ar ei Dduw. | Felly y bu Crist hefyd. |
| Fe gafodd Samson fwy o fuddugoliaeth wrth farw nag a gafodd trwy ei holl fywyd. | Iesu, wrth farw hefyd, a yspeiliodd dywysogaethau, ac awdurdodau, ac a ddinystriodd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo. |

Ond mwy nag y mae yr haul yn rhagori ar y ganwyll y rhagora Crist ar y cysgodau i gyd. Yn y fan yr oedd y cysgod yn fyr yr oedd y sylwedd yn berffaith. Pan ymddangosodd Crist y cyfododd yr haul, ac y ciliodd y cysgodau ymaith; a gwelwn ei fod ef yn rhagori ar y cysgod o gymmaint ag y mae yr hwn a adeiladodd y tŷ yn cael mwy o barch na'r tŷ.

GWILYM ILAR, *Caerludd.*

## LLYTHYRAU, &c.

## ANFOESOLDEB IEUENGCTYD MON AC ARFON.

### LLYTHYR IV.

CYFARCHAF chwi, yn awr, y meibion ieuaingc, y rhai ydych naill ai mewn ysgolion, neu mewn gofal gartref, yn golygu eiddo a meddiannau eich rhïeni, ac a fyddwch, yn ol trefn natur, yn gynt nag y meddyliwch, yn cyflawni y dyledswyddau gwladol a chartrefol a gyflawnir yn awr gan eich rhïeni. Yr henafgwyr a giliant ymaith, eu nerth a'u synwyr a ballant, a chwithau fydd yn eu lle, a'r oes a ddel a edrych atoch chwi am gynnorthwy, fel yr edrychwch chwithau, y dyddiau hyn, at eich rhïeni am y breintiau a'r cysuron a fwynhewch.

Os Ffarm fydd yn rhydd, un i gant mai nid i'r ferch y rhoir y cymmeriad o honi, ond i'r mab; ac os bydd heb wraig y pryd hwnw, bydd yn llawn bryd iddo geisio help ac ymgeledd gymmwys iddo, i esmwythau y boen a'r gofalon teuluaidd a fydd yn sicr o ganlyn. Os dewisir chwi i fyned i'r *Board of Guardians*, neu yn *Jury* yn y llys gwladol, bydd yn rhaid ymddiried y cwbl i mewn ac allan i gydwybod a gonestrwydd ereill; ond os bydd gwraig, a hòno yn synhwyrol ac effro, bydd eich meddwl i ryw fesur yn esmwyth a thawel i roddi barn bwyllog ac ystyriol ar achos y tlawd, neu ar euogrwydd neu ddiniweidrwydd y creadur a fydd ger eich bron. Fy amcan yn hyn o ragymadrodd, ydyw, agor eich deall i ystyried beth mor bwysfawr a manteisiol ydyw y sefyllfa briodasol, a'r mawr angenrheidrwydd sydd i ymdrechu myned iddi yn ol trefn Duw, ac i'w chadw yn lân a dihalog.

Cymmerwn olwg ar arfer y wlad, a gwelwn y canlyniad o honi. Nid hir y pery ieuengctyd, ond hir a maith y pery ynfydrwydd y pen-ffol ieuangc. Pan y bydd merch ieuangc yn y cyflwr a'r cyflwr, cyfyd cant o feddyliau yn ei ben; ac os na bydd mewn amheuaeth mai efe yw y tad, etto y mae mewn dyryswch mawr yn methu a gwybod pa fodd i ddatguddio ei helynt, a pha beth a ddaw o hono: ei dad yn edrych yn wgus arno, ac yn ddifater am ei wasanaeth. Teulu y ferch yn canlyn ac yn pwyso yn drwm arno gyflawni ei addewid; yntau yn yr amgylchiad yn priodi rhwng bodd ac anfodd—trwy fodd, am fod serch a chariad ynddo at garitor ei wraig; trwy anfodd, am nad oes ganddo le i'w derbyn, o ganlyniad rhaid iddi aros gartref, ac yntau hefyd yr un modd gyd a'i dad. Yn y cyfamser, tra y dysgwylia wrth addewidion teg ei gyfeillion yn addaw ffarm iddo, a hwythau yn tòri eu haddewidion, cynnydda y teulu, nes o'r diwedd y rhaid symud i'w aelwyd ei hun er lleied y byddo. Ei frawd ieuangach, fe allai, yn cymmeryd lle ei dad, a'i frawd y'nghyfraith yn cael cartref ei wraig, ac yntau, rhwng y ddau gartref heb yr un, ond yr un a grybwyllwyd. Gwelwch, yn ol y desgrifiad uchod, mai priodi *fu rhaid*, a'r achos oedd, dilyn arfer y wlad, a thrwy hyny iddo ef a'i wraig golli eu sefyllfa briodol ymhlith eu cyfeillion, ei frawd ieuangach a'i wraig yn meddiannu y *gig* a'r ceffyl cyfrwy, ac yntau druan yn ymlwybro goreu y gallo.

Gwelwn pe buasai y gŵr yma yn *gallu* aros ychydig, nes i'r teuluoedd o'r ddeutu ymuno i drefnu iddynt gartref cysurus ar ol eu priodas, ac felly gychwyn eu taith ddaearol yn barchus a chyda bendith ar eu diwydrwydd, y wraig yn ofalus i gadw y teulu mewn iawn drefn, ac i ddwyn y plant i fynu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, a'r gwr, fel y pen-teulu, yn dywedyd mewn ymddygiad a geiriau yn ei dŷ, "Mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd;" buasai felly, trwy ei siampl hardd a'i rodiad parchus, yn gadael i'w blant, a phlant ei blant, y fath "etifeddiaeth deg," yr hon na ddygid byth oddiarnynt.

*Llandegai.* ARDREMIWR.

## FFORDD I YMATTAL RHAG BODDI.

Y FFORDD ddiogelaf rhag boddi yw, "peidio myned yn agos i'r dwfr." Ond y mae galwedigaethau rhai, ac amgylchiadau damweiniol ereill, yn peri fod yn angenrheidiol iddynt fod yn gyfagos i'r dyfroedd; ac mae aml un yn boddi ynddynt. Mae llawer un yn boddi o eisiau gwybodaeth am foddion hawdd eu defnyddio i aros rhyw gymmaint o amser ar wyneb y dwfr, hyd nes caffael offeryn i'w dwyn i'r lan: ychydig o funudau weithiau a achubai fywyd dyn. Er mwyn y cyfryw rai yr amcenir yr hysbysrwydd canlynol.

Pan ddygwyddo un syrthio i ddwfr dwfn, ac yntau heb fedru nofio, y mae yn hynod o hawdd iddo ymgadw rhag boddi, i aros cael cynnorthwy i'w ddwyn i'r lan, yn unig drwy symmud ei goesau i fynu ac i lawr yn y dwfr yr un ffunud ag y gwnai wrth ddringo i fynu grisiau: fe allai mai mewn ychydig funudau y ceir cymmorth i ddyfod i'r lan. Geilw bechgyn y dull hwn yn, "sathru'r dwfr." Fe fu y moddion hyn yn llwyddiannus i achub bywyd rhai na fedrent nofio, cyn hyn.

Os na fydd cymmorth yn dyfod yn fuan, a chwithau yn teimlo eich hun yn blino ac yn diffygio, gorweddwch yn wastad ar eich cefn yn y dwfr, gan ddyrchafu eich dwyfron i fynu, a gwyro eich pen i lawr, a symmud eich dwylaw yn y dwfr yn awr a phryd arall. Gall ysgrifenydd y cynghorion hyn orwedd ar y môr mor wastad a bwrdd, yn y dull uchod am hir amser. Da fyddai i bobl wrth ymdrochi ddysgu gwneud hyn, a'i arfer yn fynych, rhag y daw angen am yr arferiad ryw amser i ddyfod.

Dywed Campbell yn hanes ei daith yn yr India, i long dori dano ef, unwaith, ac iddo ef gofio pan yn soddi yn y dwfr, iddo glywed gan bobl yn Scotland, os bydd i ddyn daflu ei hun ar ei gefn mewn dwfr, a gorwedd felly yn llonydd a gwastad, a goddef iddo ei hun soddi nes myned o'r dwfr i'w glustiau, y bydd iddo aros felly heb foddi cyhyd a fyno. Daeth hyny i'w feddwl ef mewn munudyn, ac efe a benderfynodd wneud prawf o hono. Efe a ymdaflodd ei hun felly ar ei gefn yn y modd y darluniwyd uchod, ac a adawodd ei hun i ofal rhagluniaeth, ac yn fuan efe a ganfu yn brofiadol fod y peth yn wir, ac yna dechreuodd obeithio y trefnid rhyw foddion i achub ei fywyd, ac felly fu. Yr oedd hyn hefyd mewn ystorm ar y môr, ac nid pan oedd y dwfr yn dawel: yr oedd hyny yn rhyfeddach fyth.

Os dygwydd i chwi fod mewn cwch, ac yn canfod tebygolrwydd y bydd iddo, gan rym y tonau, gael ei ddadymchwel, a'ch bwrw i'r dyfnfor, cedwch eich het yn barod i'w dodi dan eich gên, yn yr un dull ag y mae am eich pen, sef a'i hwyneb i lawr. Ceidw yr awyr a fydd yn yr het rhag myned o'r dwfr i'w mewn am hir amser, ac fe fydd hyny yn foddion digonol i'ch cadw rhag soddi yn y dwfr. Da fydd, mewn cyfyngder, eich bod yn gwybod, yn deall, ac yn cofio hyn oll. Gellwch ddefnyddio y moddion cyntaf a nodwyd, a'r het hefyd ar unwaith: ac wedi i chwi golli yr het, fe fydd eich coesau a'ch traed genych i'w defnyddio drachefn.

Gan fod merched, drwy lwyr anobaith am ymachub, pan droir cwch danynt, neu pan syrthiont i'r dwfr, yn colli pob presenoldeb meddwl a phwyll, dymunir arnynt graffu yn fanwl ar y moddion cyntaf a grybwyllwyd tuag at gynnal eu hunain rhag soddi, canys y mae ganddynt hwy y fantais o fod eu dillad yn ysgafnach, a'u hesgyrn yn llai na meibion. Ac am nofio ar eu cefn hefyd, mae yn haws iddynt ymgadw rhag soddi na meibion, pe bai yn bossibl iddynt gymmeryd pwyll ac ystyriaeth, yn wyneb y perygl, i wneud y prawf o'r peth yn ddiofn.—*A dynwyd allan o'r National Advertiser.*

---

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

SYR,—Pan fyddo unrhyw ddosparth o'n cydgreaduriaid yn dyoddef caledi, dyledswydd y wasg yw cynhyrfu y mater hyd nes delo y cyhoedd i ystyried eu cŵyn. Y mae cyflwr Cynnorthwyr y Siopwyr, megis Gweision, Prentisiaid, *Porters*, Ysgrifenwyr, &c. y fath, fel mai anhawdd fuasai credu eu bod yn dihoeni i'r graddau gresynus a ddarlunir, oni buasai i gyfarfod cyhoeddus y rhoddid hanes am dano ymlaen llaw, gael ei gynnal. Gan fod y wasg Seisnig yn Liverpool, gydag un eithriad, wedi cymmeryd eu hachos mewn llaw, a dangos yn y modd mwyaf diymwad eu bod yn wir deilwng o ystyriaeth pob dyngarwr, ac y gellir gwellhau eu cyflwr heb achosi anhwylusder neu golled i'r Siopwyr, ond y byddai yn hytrach yn ennill iddynt, y mae yn ddilys genyf y bydd i chwi ganiatau i'r ysgrif ganlynol, a rhai dilynol, ymddangos yn eich Trysorfa. Yr wyf yn cymmeryd eu plaid yn hollol rydd oddiwrth fanteision personol, gan na ddeillia un lles i mi oddiwrth y cyfnewidiad yn nghwtogiad oriau y gwasanaeth,* ond yr hyn a ddaw i'r meddwl wrth wneuthur daioni. Yr wyf yn galw yn daer, etto yn ostyngedig, ar weinidogion yr efengyl o bob enwad yn y dref hon,† i gymmeryd eu hachos i'w hystyriaeth; canys y mae ganddynt ddylanwad mawr ar deuluoedd a phenau teuluoedd,—ac yn eu gallu i wasgu at eu meddyliau y ffeithiau galarus a ddatguddiwyd yn y cyfarfod. Y mae y Drysorfa mewn cylchrediad helaeth yn y dref hon, ac yr wyf yn gobeithio y bydd i bob un a ddarlleno yr ysgrif yma efelychu penderfyniad canmoladwy y Parch. Fielding Ould, a draethodd i'r cyfarfod, sef na fyddai iddo ef ganiatau o hyny allan i un o'i deulu brynu nwyddau ar ol amser rhesymol.

*Liverpool.* ARMON.

CYFLWR CYNNORTHWYWYR Y SIOPWYR YN LIVERPOOL.

CYFARFOD cyhoeddus o drigolion Liverpool wedi ei alw ynghyd drwy archedigaeth at y Maer, yr hwn oedd wedi ei ardystio gan nifer luosog a chyfrifol, a gynnaliwyd yn Mhrawfdy y dref yn ddiweddar, i'r dyben "i chwilio i mewn i gwynion y Cynnorthwyr a'r Ysgrifenwyr yngwasanaeth y gwahanol Fasnachwyr; ac os byddai i'r cyfryw gŵynion ymddangos yn rhesymol, i ystyried a phenderfynu ar unrhyw gymmeradwyaeth i'r cyhoedd ac i'r cyfarfod am gwtogiad yn oriau y gwasanaeth." Yr oedd y cyfarfod yn dra lluosog, ymhlith y gwyddfodolion ydoedd y Maer, Ysgrifenydd y dref, y Parch. H. M'Neile, y Parch. Fielding Ould, y Parch. F. Barker, Syr Joshua Walmsley, William Brown, Ysw. Adam Hodgson, Ysw. William Rathbone, Ysw. &c. &c.

Y Maer, wrth gymmeryd y gadair, a ddywedodd, mai ar gydsyniad archedigaeth, wedi ei ardystio yn lluosog a chyfrifol, y darfu iddo alw y cyfarfod cyhoeddus hwn

---

* Mae Grocers, Druggists, Drapers, Huxters, Confectioners, &c. yn cadw eu Siopau yn agored i werthu nwyfau, &c. hyd hanner nos Sadwrn yn enwedigol; ac ar nosweithiau ereill yn hwyr iawn, yr hyn sydd yn nychu y corph, ac yn gwywo yr ysbryd yn fawr iawn.—*Gol.*

† Mae trefydd ereill ag eisiau y diwygiad cystal a Liverpool.—*Gol.*

ynghyd, i ystyried cyflwr cynnorthwywyr y Siopwyr, amser hirfaith pa rai yn eu gwahanol alwedigaethau, a ystyriai efe, mewn llawer o achosion, yn dra anghyfleus ac afiachus, yn gystal ag yn tueddu i iselu ysbrydoedd a lleihau cysuron y rhai hyny sydd yn dilyn y cyfryw orchwylion. Ysgrifenydd y dref a ddarllenai yr archebigaeth, a gallai yn awr ddweyd ei fod wedi ei ardystio gan weinidogion o bob enwad, amryw foneddigion meddygol, aelodau o'r gyfraith, a galwadau ereill, yn gystal a masnachwyr ac arianwyr, ac hefyd yr oedd yn credu gan amryw a gymmerasant ran nodedig yngwelliant cyflyrau ac yn esmwythad caledi amryw o'u cydgreaduriaid, y rhai oedd mewn cyflwr mwy anffafriol. Yr oedd rhifedi yr ardystion ynglyn â'r archebigaeth uwchlaw deunaw cant.

Ar ol i Ysgrifenydd y dref ddarllen yr archebigaeth, y Maer a ddarllenodd lythyr oddiwrth Iarll Sefton, yr hwn oedd i'r perwyl ei fod yn gofidio nad oedd yn ei allu i fod yn wyddfodol yn y cyfarfod, a'i fod yn hyderu y byddai i ryw gyfundraeth gael ei ffurfio gan y Siopwyr i esmwythau cyflwr moesol, crefyddol, a chorphorol y dosparth teilwng hyn o ddynion.

Adam Hodgson, Ysw. Ynad heddwch, wrth gynnyg y penderfyniad cyntaf, yr hwn oedd i'r perwyl fod yr 'oriau meithion presennol yn niweidiol i iechyd a chysuron y Cynnorthwywyr,' a osododd eu cyflwr allan mewn araeth ragorol, yn nhraddodiad pa un sylnodd y gwyddfodolion drwy ddarlunio yr effeithiau dychrynllyd oedd yn bodoli oherwydd yr oriau meithion y caethiwid hwynt yn eu gwasanaeth. Ond gan fod araeth yr enwog H. M'Neile yn rhagori ar un peth a allaf fi ddwyn ymlaen, ac yn cyffwrdd mor ragorol a gwreiddyn y drwg, gadawaf ar hyn o sylwadau.

Yna y Parch. H. M'Neile, ynghanol bloeddiadau, a gyfododd i eilio y cynnygiad. Yr oedd ganddo hyfrydwch tra mawr i ardystio yr archebigaeth yn galw am y cyfarfod hwn, pan gyflwynwyd ef gyntaf iddo ef. Nid oedd y pwnc yn newydd, er bod yr archebigaeth yn galw am gyfarfod cyhoeddus yn gychwyniad newydd. Yr oedd y pwnc wedi meddiannu ystyriaeth ddwys; ac yr oedd yn rhaid iddo, feddyliai, feddiannu ystyriaeth pob dyn oedd wedi dyfod yn adnabyddus yn fanylaidd ag amgylchiadau y pleidiau perthynol, ac yr hwn hefyd oedd yn ofalus am eu budd goreu, yn y byd hwn a'r byd a ddaw. Ond yr oedd anhawsdra ynglyn â'r pwnc. Yr oedd yn anhawdd effeithio meddyginiaeth trwyadl mewn arferiad o hir feithriniad, hyd yn oed, trwy ymholiad, y profid ef yn gamdriniaeth, ac yn gam-driniaeth o nôd mor noeth fel na ellid ei amddiffyn drwy resymau cyfiawn, neu resymol, hyd yn oed gan y rhai a barhant yn y gweithrediad o hono. Yr oedd yn anhawdd argyhoeddi dynion a dybygent eu bod yn elwa oddiwrth gam-driniaeth, y gwnaent, mewn gwirionedd, elwa mwy yn ganlynol drwy ei ddiddymiad. I weled a theimlo hyn mor hyderus ag i weithredu arno oedd yn gofyn ystyriaeth, ac yr oedd y mwyaf o ddynolryw mor gaethiwus yn eu dyddiol a'u harferol wasanaeth, fel yr oedd yn ofynol cael cymhelliad o allu mwy na chyffredin i wneud iddynt ystyried. Yr oedd gradd o ystyriaeth yn ddiau yn angenrheidiol er cyflawni eu gorchwylion beunyddiol; ond yr oedd yn gofyn synwyroldeb mwy cynnwysfawr ac eangach i alluogi dynion i ganfod; ac wedi canfod, i feddyginiaethu y drygau sylfaenol, y rhai oedd yn ffurfio rhan a chyfran o'r gyfundraeth o dan ba un yr oeddynt yn byw.

> Haws yw amrantu â'r ddau lygad
> A dilyn cynllun ffol, nag ystyried.

Dyma fel y dywedodd un o'r beirdd mewn oes lai nodedig am feddylied na'r bresennol, ond nid yw y dywediad wedi colli ei gymhwysiad etto. Yr ydym ni yn byw mewn oes a elwir yn oes feddylgar, pan y mae pob pwngc yn cael ei gynhyrfu, a phan y mae y cymhelliad angenrheidiol yn cael ei gymhwyso at feddyliau dynion, i'w hachosi hwynt i ystyried nid yn unig yr hynafiaeth ond y rheswm o drefniadau hanfodol. Dedwydd a fyddai i ni, a'n plant ar ein hol, os yn ystod yr ymholiad hwn, y sylwid ar yr uchel, anghyfnewidiol, a'r dirfawr wahaniaeth sydd rhwng iawn a chamwri, fel y mae yr sefyll yn ddatguddiedig yn ngair y bywiol Dduw, a'i gadw mewn golwg fel safon trefniadol i ddynolryw. Yn amgen heb safon trefniadol y mae y meddwl dynol mor naturiol grwydredig, a'r galon ddynol mor naturiol dwyllodrus fel y gall dynion yn eu cynnyddiad o welliant cyfeillgarol, ac yn y dilyniad egniol o hono, ruthro yn bendramwnwgl i ganol gwyllt ac anffodus antariaeth. Cyfnewidiadau o gamdriniaethau prawfedig oeddynt ddyledswyddau, ond yr oedd yn angenrheidiol cael doethineb, pwyll, barn, cyd-ddygiad, amynedd, ac ystyriaeth o'r amrywiol fanteisiou cyfochrol oedd yn gynnwysedig i wneuthur y cyfnewidiadau hyny yn welliadau; o herwydd nid pob cyfnewidiad y a ellir ei urddasu â'r enw o welliant. Y cyfnewidiad y maent yn gynnyg ar yr achlysur presennol, feddylient, a fyddai yn welliant, ac yr oeddynt wedi mabwysiadu y llwybr hwn i amcelu at y cyfnewidiad i'r dyben fel y byddai i deilyngdod yr achos gael ei chwilio yn ddigonol a theg.

*(I'w barhau.)*

---

'Y FRWYDR FAWR,' NEU Y DDADL BORTHLYD.'

Barchedig Syr,--Gyda golwg ar gynnwysiad Llythyr y Parch. D. Morgan, yn y Rhifyn

diweddaf, dywedaf, Gan fod Henaduriaeth wedi hollol gael y dydd yn barod, ac Annibyniaeth wedi hollol golli y dydd, yr wyf yn gweled yn resyn i neb luddias y gwr Parchedig o'r Bala rhag gorphen traethu yr hyn sydd yn ei galon ar yr achos. Nid oes un perygl i Henaduriaeth gael na chlwy na choll ed yn y Frwydr, gan hyny, cwyned y colledwyr, os mynnant, a chware teg i'r gwyr ymladd y frwydr drosodd, a hyny, os dewisant, yn lle amlaf y bobloedd, meddai

*Un a anwyd ac a fagwyd gyda y Trefnyddion Calfinaidd.*

---

## AT MR. ANTI-QWARELIAN.

*Sylw ar ei Ysgrif yn y Drysorfa ddiweddaf, tu dalen* 207.

Hybarch ddyn,—Drwg genyf weled yn eich Ysgrif hòno, fod neb o'r hen gorph Calfinaidd mor anufudd i'r gwaharddiad a nodasoch; gan fod gwaharddiad wedi ei roddi, a hyny yn y Gymmanfa, diau y dylai hwnw gael ufudd-dod gan bawb a fo yn meddwl dal perthynas a'r Corph; neu ynte brofi na ddylasai y cyfryw waharddiad gael ei roddi, a thrwy hyny lwyddo i'w alw yn ol. A bod ereill yn arwyddo eu hefelychu sydd waeth genyf. Diau, chwedl chwithau, fod yn llwyr angenrheidiol cael allan rhyw gynllun o *glwb* i'r un perwyl â'r Odyddion. Da genyf eich hysbysu fod cynllun *wedi ei gael o'r diwedd*, a hwnw y goreu a ymddangosodd etto, (ac ond odid a all ymddangos) i'r dyben dymunol. Mae yn un hynod yn mhlith y sefydliadau. Chwi a'i cewch ef wrth yr enw, 'Urdd y Rechabiaid,'

'Fod llawer yn dysgwyl i'r Corph o Fethodistiaid Calfinaidd,' (yr hwn sydd enwad o Gristionogion, yn gorph o bobl grefyddol,) sefydlu Cymdeithas Wladol, a bydol, ac yn y fath a'r un ragorol a nodwyd, nid wyf yn credu, o'r hyn lleiaf, fod neb yn dysgwyl hyny, ar a ŵyr am yr ardderchog 'Urdd y Rechabiaid.' Fod dirgelwch ynddo sydd wirionedd, ac mor wired a hyny, mae dirgelwch yn y Gymdeithas Eglwysig, ac o'r braidd y cewch un sefydliad nad oes rhyw *secret* ynddo. Ac mor wired a hyny etto, nid ydyw y dirgelwch crybwylledig ddim yn waeth na'r dirgelwch mwyaf crefyddol. A rhag i chwi na neb arall ammeu, dyma y dirgelwch ar ben bys i chwi. 'Ofnwch Dduw.' 'Anrhydeddwch y Brenin.' 'Carwch eich gilydd.' &c. Rhoddi y gair uched a'i gyffelyb, unwaith bob tri mis, pa ddrwg sydd ynddo?

Drwg genyf weled nad ydych yn perthyn i *glwb* o'r fath yn y byd. Rhag y digwydd eich cymmeryd yn glaf yn fuan, neu yn hir, cynghorwn chwi i ymuno yn ddiatreg â rhyw *Glwb* o'r cynllun a nodais.

VOWELS.

*Llanrwst.*

## ARFERION GWRTHUN GWRANDAWYR EFENGYL.

Nodaf rai o lawer o arferion gwrthun gwrandawyr yr Efengyl wrth ddyfod i dŷ Dduw, ac wedi dyfod yno. Fy nyben yw diwygio, nid edliw.

1. Mae rhai yn arfer dyfod i dŷ Dduw a'u hetiau am eu penau, yn lle yn eu dwylaw, fel rhai yn dyfod i mewn i ddysgwyl am drugaredd. Pe bai dyn yn myned i dŷ boneddwr a'i het am ei ben, oni byddai ei ymddygiad yn dangos anmharch mawr i ŵr y tŷ? Ac oni byddai efe drwy hyny yn ei anmharchu ei hun? Oni ddysgodd ein mamau i ni dynu ein het pan elom i dŷ cymmydog? Pa faint mwy pan elom i dŷ Dduw i'w addoli. "Sancteiddrwydd a weddai i'th dŷ di, O Arglwydd byth." "Perchwch fy nghyssegr."

2. Mae rhai yn arfer dyfod a'u cwn i dŷ addoliad, a gadael eu gwasanaeth-ddynion gartref! "Ni ddylai y pethau hyn fod felly." Dodwn bob peth yn eu lle priodol eu hunain. Gadawn y cwn gartref, a deuwn a'n gweision a'n morwynion i wrando gair y bywyd.

3. Mae rhai yn dyfod i'r addoliad yn bur ddiweddar, ac yn gwneud twrf mawr ar eu dyfodiad i mewn, gan ruthro drwy y dyrfa i'w heisteddleoedd, a thrystio â'u traed, nes bydd hanner y gynnulleidfa yn gorfod tynu eu llygaid oddiar y pregethwr, a'u sylw oddiar y mater a fyddo ganddo mewn llaw, i lygad-rythu arnynt hwy. Gorchymynir i ni "wylio ar ein troed wrth fyned i dŷ Dduw, a bod yn barotach i wrando nag i roi aberth ffyliaid."

4. Mae rhai yn rhoi eu penau i lawr ar eu *setti*, ac yn cysgu yn nhŷ Dduw, fel pe baent yn dyfod yno i wasanaethu eu cyrph drwy gael cyntyn o orphwysdra a llonyddwch am hanner awr neu fwy. "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu." Ai difater genyt golli dy enaid, ddyn! "Na ddyro gwsg i'th lygaid na hûn i'th amrantau" yn nhŷ Dduw. Gan fod "ffydd yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy air Duw," pa fodd y clywi di, a thi yn cysgu?

5. Mae rhai yn dyfal gnoi *tobacco* yn nhŷ Dduw, ac yn poeri ysnafedd dugoch yn llyn ar y llawr, neu yn ystremp yn ngwaelod yr eisteddle. Dywed yr ysgrythyr, "Gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." Nid yw yn un gogoniant i Dduw fod dynion yn cnoi *tobacco* yn yr addoliad.

Fy anwyl gydgreaduriaid, meddyliwch am y pethau hyn: ystyriwch wrthuni eich ymddygiad, a phechadurusrwydd eich arferion, a diwygiwch ar frys.

*Tan y Grisiau.* THOMAS JONES.

---

## HANES Y GWENNOLIAID.

Adar lliosog, cyflym, a phrydferth iawn yw y Gwennoliaid. Mae yr holl deulu gwasgaredig a hardd hyn yn ymborthi ar wybed

a phryfaid asgellog, ac anfynych y maent yn difa dim a fyddo yn ddefnyddiol i ddyn. Mae amryw rywogaethau o honynt yn tramwyo Brydain, ac ereill yn amrywio oddiwrthynt oll mewn gwledydd tramor. Mae yn hysbys mai y rhai amlaf gyda ni, yw gwennoliaid y simneiau, gwennoliad y môr, gwennoliaid y tywod, a'r cyflymion, (*swifts*).

Yr ydym yn deall eu bod yn dodwy ac yn deor yn Affrica, fe allai, y tu deheu i linell y Gyhydedd, a hyny pan y mae yn auaf gyda ni, yr hyn a fydd yn wanwyn yn y wlad hòno. Maent yn bwrw eu plu yn Chwefror. Yn fuan ar ol hyny, y maent yn parotoi i ymfudo tua gwledydd y gogledd, ac yn cyrhaedd i Frydain tua diwedd Ebrill, pryd y byddant yn llawn plu. Mae y gwennoliaid yn fuan yn ymwasgaru, ac yn cyrhaeddyd y manau mwyaf gogleddol o'r deyrnas erbyn diwedd y mis.

Maent yn trefnu eu nythod mewn simneiau, mewn tai allan, adeiladau adfeiliedig, ac wyneb creigiau, ond nid yn uchel iawn un amser. Maent yn eu hadeiladu â mwd, ac yn eu tufewnoli â mân-blu.

Yn gyffredinol, mae y gwennoliaid yn ein gadael ni tua diwedd Medi. Pryd y bydd llafur eu blwyddyn drosodd, maent yn ymbarotoi i ymadael oddiyma; ac i'r dyben hyny, ymgasglant yn finteioedd mawrion, gan eistedd ar benau tai, neu ehedfen uwch ben gweirgloddiau. Eu prif liw yw dû, yn nghyda rhesau o liw llwydlas. Ond y mae math o honynt a'u boliau yn wynion, oddiwrth yr hyn y geilw y Cymry hwynt Gwennoliaid, hyny yw Gwènfoliaid. Creaduriaid bychain, bywiog, cyflym iawn ydynt, yn ehedeg yn nodedig o lym uwch ben llynoedd dwfr, neu fanau gwlybaidd, lle amlaf y gwybed, gan agor eu pigau wrth gyflymu drwy yr awyr frith, gan lyngcu yr holl fân asgellog lu a ddel i'w ffordd hwynt yn ddiwahan. Mae yn ddifyr iawn sefyll pum mynyd i edrych ar eu hysgogiadau yn yr awyr ar hwyrddydd hyfryd haf. Deuant gyda chyflymdra melltenog tuag at eich pen, a phan fyddant bron yn cyffwrdd â chwi, tröant yn ol, neu o'r naill du mewn amrantiad, a cheir eu gweled bellder mawr oddiwrthych cyn i chwi allu troi ar eich sawdl. Mae rhai gwennoliaid yn ehedeg yn uchel iawn, yn enwedigol pan fyddo yr hin yn hyfryd a'r awyr yn sych.

Gwennoliaid y tywod yw y fath leiaf o'r rhai oll sydd yn ymweled â ni. Maent o liw llwyd dduon, eu boliau yn wynion, a thorch o liw gwyn ar eu gyddfau o hanner ogylch. Mae y rhai hyn yn nythu yn y tywod: a lle y mae y lleill yn cludo defnyddiau i wneud pentwr o nyth, y maent hwy yn llafurio yn galed i gafnio twll yn y dorlan, y gwrryw a'r fenyw bob yn ail *stem*, a thra y mae y naill yn gweithio, y mae y llall yn hel ei damaid, canys nid oes lle i ddau i weithio yn y nyth ar unwaith. Yn gyffredin gwnant y nythod hyn mewn torlenau caledion o dywod. Caib a rhaw yw yr arfau tirio: y gaib yw ei big, a'i raw yw ei grafangc. Weithiau bydd un yn tirio i lawr, ac yn taflu y tywod allan o'r twll, a'r llall yn ei grafangu ymaith oddiar y ffordd. Mae yr adar bychain cyflym hyn mor ddiniwed, fel nad yw plant un wlad wareiddiedig braidd byth yn ceisio eu lladd a'u drygu, os bydd un gradd o dynerwch yn eu mynwesau.

---

## CYFYNGDER Y LLONG DEE WRTH BYSGOTA MORFILOD.

Mr. Golygydd.—Eich parodrwydd yn rhoddi lle i'r Hanes bychan am Regina, dan yr enw "Un o Ryfeddodau Rhagluniaeth Duw," yn eich Rhifyn diweddaf a barodd i mi feddwl na byddai yr hanesyn hwn etto y'mhlith eich gwrthodedigion; yr hwn a darewais wrtho pan yn darllen "*Chamber's Information for the People*," ac a ddengys y cyfyngderau mawrion y mae morwyr yn myned iddynt, ac yn dyfod trwyddynt, wrth bysgota Morfilod.

Fe wyr eich darllenwyr fod y Morfil yn greadur hynod iawn, ac fel yn llunio dolen o undeb yn y gadwen fawr rhwng anifeiliaid y tir a'r môr. Tra y mae yn byw fel pysgodyn yn y dyfroedd dyfnion, ac yn rhwygo ei ffordd trwyddynt, y mae yn waedboeth fel creaduriaid y tir, ac ynddo hefyd beiriannau i chwysu fel y rhai hyny hefyd.

Y mae naturiaethwyr yn dywedyd mai y Morfil yw y mwyaf o'r holl greaduriaid adnabyddus. Ei drigfan benaf yw y moroedd rhewllyd gogleddol—ac wrth chwilio yn fanylaidd iddynt cytunant i ddywedyd fod amryw lwythi, neu rywogaeth o honynt. Am ei maintioli mae gwahanol opiniynau. Oddeutu hanner can mlynedd yn ol y mae un ysgrifenydd yn dywedyd "fod Morfilod yn fynych uwchlaw cant a thri ugain troedfedd o hyd," a chyfrifir hwn yn hyd bychan cyn i ddyn ddechreu eu difrodi, eu hela, a'u lladd. Dywed rhai fod Morfilod dau gant a hanner o droedfeddi wedi eu gweled cyn hyn.

Ond gan nad myned i ddarlunio pa fath greadur yw y Morfil—ei hyd a'i led—ei bwysau na'i faintioli yw fy amcan yn awr, rhoddaf ger eich bron hanes byr am un o'r cyfyngderau yr arweinir y morwyr druain iddo wrth fyned i bellderau y moroedd rhewllyd i'w hela.

Mae pysgotta Morfilod ynddo ei hun yn waith peryglus—pe na bai na chlogwyni o rew na mynyddoedd o ia yn eu hamgylchynu. Cyn gynted ag y canfyddir arwyddion fod morfil yn agos, gwneir cwch yn barod; ac os bydd efe mewn cyrhaedd ei drywanu â thryfer fawr, wedi ei sicrhau wrth ben rhaff hir, dysgwylir yn bryderus am y fynyd y delo i'r wyneb i anadlu, ac yna teflir ato, neu saethir hi o'r gwn mawr

fel bwled. Cyn gynted ag y teimla y morfil y dryfer yn ei gorph y mae yn gwneuthur egni i ffoi. A'r pryd hwn y mae y cwch mewn perygl dirfawr o gael ei darawo gan ei ben neu ei gynffon—yr hyn weithiau sydd yn rhwygo yr awyr gyda'r fath gyflymdra a nerth, nes y bo'r cwch a'r dynion yn cael eu dyfetha.

Ni cheisir trywanu y Morfil yn ei ben, canys nid â y dryfer iddo—ond rhyw le rhwng y pen a'r gynffon a drywenir. Cyn gynted ag y sicrheir y dryfer ynddo, gollyngir y rhaff iddo fel y gallo suddo i'r dyfnder, ond mor chwyrn yw rhediad y rhaff ar ymyl y cwch fel y gofelir na bo cwlwm na dim rhwystr arall arni, canys os dygwydd ei bod wedi dyrysu ond ychydig, y mae weithiau wedi tynu y cwch a'r cwbl o dan y dwfr, ac o dan y meusydd rhew. Ac hefyd, mor gyflym yw ei rhediad fel y taniai y cwch yn y fan, oni bai fod rhai yn gwlychu y coed o dan y rhaff yn barhaus. O'r diwedd y mae yn gwneud un ymladdfa am ei fywyd, yn chwareu ei gynffon yn yr awyr, yn taraw y dwfr, nes y bo'r adsain i'w glywed am filltiroedd—ac yna yn troi ar ei gefn, neu ei ochr, ac yn marw. Ar hyn yr holl forwyr a roddant dair bonllef fawr o *Huzzas*, ac a chwareuant eu baneri.

Yn mis Ebrill, 1836, aeth llong allan o Scotland, a elwid y *Dee*, i'r moroedd gogleddol i bysgota morfilod. Wedi llawer o beryglon a chyfyngderau, yn mis Hydref, yn yr un flwyddyn, clöwyd hi i fynu yn y rhew, yn agos i geg *Baffin's Bay*. Ac o'r amser hwn y dechreuodd y dwylaw ddyoddef yr arteithiau chwerwaf, nifer pa rai oedd dri-ar-ddeg ar hugain.

Darfyddodd y tanwydd ymron yn hollol, a thrwy hyny yr oedd eu gwelyau yn oer ac yn llaith. Ar y cyntaf, i gadw gwres yn eu cyrph, arferent bob caledwaith a allent ei ddyfeisio, a hyny er nad oedd angen nac eisieu am dano. Ond nid yn mhrinder y tanwydd yn unig yr oedd eu cyfyngder yn aros. Ar yr 16eg dydd o Hydref, yn lledred 72° 50', a'r gwynt yn gryf iawn, a darnau mawrion o rew yn nofio heibio iddynt, dechreuodd y rhew wasgu arnynt a bygwth eu cloi i fynu yn y darnau, yr hyn a wnaeth hefyd y noson hòno.

Ar doriad dydd galwyd ar bob gwr i ddwyn allan yr ymborth, &c. am oddeutu 8 o'r gloch gostegodd y gwynt ychydig, ond yr oedd y llong yr un mor gloedig a chynt. Oddeutu 11 o'r gloch daeth darn mawr o rew ac a darawodd y llong, ond a aeth heibio heb ei niweidio gymmaint ag a ddychymygid ar y cyntaf.

Ar y 18fed dydd, ymagorodd y rhew mewn amryw fanau, fel y meddyliwyd y gellid dianc i ddiogelwch. Ond ar yr 20fed cauodd y rhew drachefn, ac a ddirwasgodd y llong yn drwm. Er cryfhau y llong goreu a ellid rhoddai y morwyr amryw drawstiau, barilau &c., i lawr gyda'i hochr. Cyn pen yr hanner awr tarawyd y llong yn drwm iawn gan y rhew, ac yn y cyfyngder hwn neidiodd y dwylaw â phob peth a allent ei symud oddiar y llong i'r rhew. Ac yr oedd cyfyngderau y noson hon yn fawrion dros ben. Heb dân na chysgod oddiwrth lymdoster y gwyntoedd rhewlyd, y gorweddent ar y rhew i edrych ar eu llestr yn cael ei churo yn ol ac yn mlaen gan y talpiau rhew. Fel hyn y buont am ddau ddiwrnod.

Ar yr 22ain aeth y dwylaw ar y bwrdd drachefn, a bu y nos hòno yn ychydig tawelach na'r rhai o'r blaen. Ar y 23ain torodd y rhew yn ddarnau drachefn, hyd onid aethant bron yn anobeithiol am ymwared. Ar y 24ain ymagorodd i'r fath eangder fel y galluogwyd y dwylaw i hwylio y llong allan o hono.

Er eu bod erbyn hyn yn ddyogel allan o gyrhaedd y rhew, etto yr oedd yr ychydig ymborth a gawsant, ac oerfel yr hin, wedi gadael hadau llawer afiechyd yn eu cyrph. Y peswch, gwendid, *scurvy &c.*, a ymaflodd ynddynt; ac ar y 18fed o Ragfyr yr oedd 21 o honynt yn glaf o'r *scurvy*: a chyn y 1af o Chwefror (1837) yr oedd chwech o honynt wedi meirw, yn mhlith pa rai yr oedd eu Llywydd.

Fe allai y gwna y dyfyniad canlynol ddangos i'r darllenydd ran o'r cyfyngderau yr oeddynt ynddo:—"Yr oedd pob gwlybwr o'u hamgylch yn rhewi—a darnau o iâ yn hongian wrth ochr y llestr o fewn 6 throedfedd i'r tân. Yr oedd y gwelyau wedi eu gorchuddio gan rew caled, a'r gobenyddiau yn iâ drostynt ond y lle y byddai y pen yn gorphwys. Cyn y 12fed o Chwefror bu farw chwech o'r dwylaw dan ddyoddefiadau chwerwon. Rhwng y 23ain ar 27ain suddodd chwech yn ychwaneg o dan arteithiau yr un afiechyd. Erbyn y 7fed o Fawrth yr oedd pump ereill wedi dilyn eu cyfeillion. Rhwng yr 11eg a'r 15ed bu feirw tri yn ychwaneg—y rhai hyn oll a gladdwyd yn y dyfnder oddidan y rhew. Ac wedi 5 mis ac wyth niwrnod yn gloedig yn y rhew, caed y llong allan i fôr agored. Ond ni therfynodd eu hadfyd yma ychwaith. Yr oedd y *scurvy* wedi ymafael mor llym ynddynt fel ag yr oedd rhwng yr 16eg o Fawrth a'r 22ain o Ebrill ugain yn ychwaneg wedi syrthio yn ysglyfaeth iddo. A phan ddaeth y llestr yn ol i longborth Aberdeen—wedi bod allan o hono dri mis a'r ddeg—haws dychymygu yr olygfa na'i darlunio. Gweled gweddwon ac amddifaid ar eu bwrdd, â golwg bryderus arnynt, yn ymchwilio am eu perthynasau, y rhai mewn gwirionedd oedd yn nyfnderau y moroedd gogleddol—Trwm yw adrodd fod 46 o honynt wedi cyfarfod â'u hangeu yn y pellderau hyny.

Oddiwrth yr hanes hwn gall y darllenydd ffurfio ynddo ei hunan ryw ddychymyg gwan o'r peryglon yr eir iddynt ac y doir trwyddynt wrth bysgota morfilod.

T——N.

## AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

Barch. Syr,—Byddwch gystal a hysbysu i Mr. D. Morgan fy mod yn teimlo y diolchgarwch sydd yn ddyledus am ei gynghor. Y mae yn wir fod y cynghor hwnw, gyda golwg ar ysgrifenydd y llinellau hyn, yn hollol afreidiol; er hyny, diau ei fod ef yn ei roddi gyda dyben da. Y mae yn debyg na ddarllenodd Mr. M. y ddwy ysgrif ddiweddaf a anfonais i'r Drysorfa, onide buasai yn gweled yn gyntaf, nad oes dim cyfeiriad yn un o honynt at neb personau neillduol; ac yn ail, nad oeddwn yn bwriadu ysgrifenu dim ond un yn ychwaneg i'r Drysorfa. Yr ysgrif hòno yw yr un a ganlyn.

## MEDDIANNAU A GYFRENIR AT ACHOSION CREFYDDOL.

I. Dadleuir yn erbyn *Constitutional Deed* y Methodistiaid Calfinaidd, nad oedd gan y Gymdeithasfa awdurdod i'w gwneuthur heb ofyn caniatad yr holl eglwysi.

Atteb. 1. Yr oedd yr eglwysi yn rhoddi i aelodau y Gymdeithasfa awdurdod i lywodraethu holl achosion y cyfundeb wrth eu dewis yn swyddogion.

2. Nid yw cyfeisteddfod Cymdeithas Genadol Llundain yn ymgynghori â'r eglwysi pa fodd i ddosbarthu yr arian a gyfrenir iddynt.

3. Nid oedd modd i aelodau y Gymdeithasfa drosglwyddo unrhyw feddiant, ond yr hyn oedd ganddynt; gan hyny, pa drosglwyddiad bynag a effeithiwyd gan y *Deed*, y mae yn rhaid fod y meddiant o'r blaen yn eiddo i'r Pregethwyr a'r Blaenoriaid.

4. Y cwbl a wnawd gan y Pregethwyr a'r Blaenoriaid oedd trosglwyddo yr hyn oedd o'r blaen, yn ol cyfraith y wlad, yn eiddo i'r cyfundeb fel cyfundeb. Neu, mewn geiriau ereill, ymwadu â'u hawliau personol eu hunain yn yr addoldai, a rhoddi y cwbl i fyny yn wirfoddol i'r eglwysi. Y mae yn ddieithr dweyd nas gallent wneuthur hyn heb ofyn caniatâd yr eglwysi yn gyntaf.

II. Dadleuir etto fod y *Deed* dan sylw yn gwahardd pob *discussion*.

Atteb. Dymunaf i'r darllenydd sylwi pa fath, a pha faint o, *ddiscussion* a hònir genym. Ni feddylir y dylai neb gael *aros* yn y cyfundeb i ddysgu athrawiaethau croes i'r hyn a broffesir yn y llyfr a elwir "Cyffes Ffydd." Ond caniateir y tri pheth a ganlyn:—

1. Cymeryd amser digonol i ymddyddan ag ef yn frawdol, er mwyn deall a ydyw mewn gwirionedd yn gwahaniaethu oddiwrth ei frodyr.

2. Ymdrechu yn dirion ac yn bwyllog i'w adferu. Pa faint o amser a gymerir sydd bwnc ag y mae yn rhaid ei adael i'r Gymdeithasfa i'w benderfynu fel y byddo cariad at eu brawd ar un llaw, a chariad at y gwirionedd ar y llaw arall, yn eu cyfarwyddo.

3. Gall ei fod cyn hyny wedi dadleu llawer yn erbyn yr athrawiaeth a gredir genym fel cyfundeb. Y mae dweyd ein bod yn diarddel rhai am ddysgu yn groes i'n Cyffes Ffydd, ac ar yr un pryd nad yw yn alluadwy i neb ddadleu yn erbyn Cyffes Ffydd, yn wrthddywediad perffaith. Rhaid ei fod wedi gwrthwynebu golygiadau y cyfundeb cyn y diarddelir ef am hyny. Dichon hefyd fod ei ddawn a'i resymau wedi ennill ereill i'r un feddwl. Y mae wedi cael cyfle i wneuthur hyny cyn ei ddiarddel. Ond yr wyf yn addef o hyd nad yw y cyfryw un i aros heb ei ddiarddel pan ballo pob gobaith am ei ddwyn i gydweled a'i frodyr.

Dyma'r cwbl sydd yn ymddangos i mi yn angenrheidiol. Dyma'r cwbl sydd yn adeiladol. Nis dymunwn byth weled ein cymdeithasfaoedd wedi myned yn *debating societies*. Un yn cael rhyddid i areithio yn erbyn etholedigaeth, y llall yn erbyn cyfiawnhad trwy ffydd, a'r llall yn erbyn Duwdod Crist. Nid dyna eu dyben. Y mae yr aelodau yn cydgyfarfod *ar y dybiaeth* eu bod yn cydfarnu, i'r dyben o gydweithredu. Ond er nad yw dadleuaeth o'r fath a nodwyd yn debyg o fod yn fuddiol, etto nid oes un gyfraith yn eu rhwystro pe bai y gymdeithasfa yn dewis gweithredu felly. Er nad yw yn llesâu, y mae yn eithaf cyfreithlawn. Nid oes dim yn y *Deed* yn gwahardd i ni gadw cyfarfod i ddadleu ar unrhyw bwnc yn Nghyffes Ffydd. Gobeithiaf na wneir hyny byth: ond son yr ydwyf yn bresennol am *gyfreithlondeb* yr ymddygiad. A beiddiaf ddweyd fod y *Constitutional Deed* yn caniatau, nid yn unig cymaint, ond llawer mwy o ryddid i *ddiscussio* nag y mae neb o honom yn dadleu drosto; ie, mwy o ryddid nag y mae un gweinidog Annibynol yn ei fwynhau. Ond i brofi y dywediad hwn.

Y geiriau yn y *Deed* ar ba rai y gosodir yr holl bwys ydynt i'r perwyl a ganlyn; "Ond nid oes un cyfnewidiad yn yr athrawiaethau a ddysgir gan y cyfundeb i gael ei oddef na'i ddadlu." Yn awr, pa beth nid yw i gael ei ddadlu? Yr athrawiaeth, medd y gwrthddadleuwyr. Nage, meddaf finau. I'r dyben o benderfynu rhyngom, sylwer fod yn rhaid i'r gwrthddadleuwyr ddarllen y geiriau fel hyn; "Nid oes un athrawiaeth a ddysgir gan y cyfundeb i gael ei goddef na'i dadlu." Ond yr hyn a ddywedir mewn gwirionedd ydyw, "nad oes un cyfnewidiad yn yr athrawiaeth i gael ei oddef na'i ddadlu." Gellir dadlu unrhyw bwnc yn ngwaith unrhyw awdwr; ond nid cyfiawn fyddai newid y llyfr, a'i gyhoeddi fel hyny yn enw yr un person. Felly, o ran dim sydd yn y geiriau uchod, gallai y Methodistiaid gadw cyfarfod, neu droi unrhyw gyfarfod sydd ganddynt yn barod, i'r dyben o ddadleu o blaid ac yn erbyn eu

Cyffes Ffydd; ond nid cyfiawn yn y rhai a wahaniaethent fyddai newid y llyfr hwnw, a gorfodogi eu brodyr i broffesu yr un farn â hwythau. Eu dyledswydd hwy a'r rhai a gydwelent â hwy yn niwedd y cyfarfod fyddai ymadael, a ffurfio eu hunain yn gyfundeb gwahanol. Y mae cyfarfod o'r fath hyn, meddaf, yn eithaf cyfreithlawn o ran dim sydd yn y *Constitutional Deed*. Ond er fod pob peth a ddywedwyd yn gyfreithlawn, nid yw pob peth yn llesau. Ni fyddai y cyfryw gyfarfod yn atteb un dyben crefyddol. Nid oes angen am dano. Nid wyf yn dadleu drosto. A gobeithiaf na welir dim cyffelyb yn mhlith y Methodistiaid tra paro dyddiau'r ddaear.

III. Dadleuir drachefn y dylai fod rhyddid i newid y llyfr a elwir "Cyffes Ffydd."

Atteb. 1. Y mae rhyddid crefyddol yn gynwysedig, nid mewn rhyddid i newid llyfr, ond mewn rhyddid i bob person newid ei hun; ac y mae y rhyddid hwn gan bawb o'r Methodistiaid.

2. Byddai newid Cyffes Ffydd yn drais ac yn anghyfiawnder i ryw bersonau, oddieithr i'r holl gyfundeb newid ar unwaith, yr hyn sydd yn ol natur pethau yn annichonadwy.

IV. Ond *beth pe bai* yr holl gyfundeb, *beth pe bai* pob person sydd yn perthyn iddo trwy Gymru a Lloegr yn newid ar unwaith?

Atteb. Pe dygwyddai y cyfryw amgylchiad, byddai yn hawdd newid Cyffes Ffydd, a byddai yr un mor hawdd gwneyd cyfnewidiad cyfattebol yn y *Constitutional Deed*. Ond bydd yn ddigon buan siarad am hyn pan fyddo rhyw arwyddion fod athrawiaeth Awstin a Chalfin a'r hen Buritaniaid yn myned i ddarfod o'r tir; neu mewn geiriau eraill, pan fyddo holl fynyddoedd Cymru wedi suddo i'r eigion.

V. Y mae yn wir fod rhyddid i bawb o'r Methodistiaid newid eu barn; ond y mae y corff yn cadw y meddiannau.

Atteb. Ydyw: a gellir dweyd yr un peth am Gymdeithas Genadol Llundain, a phob cymdeithas arall ag y mae meddiannau yn perthyn iddi.

VI. Ond pabam na oddefir pob gweinidog i *aros* yn y cyfundeb, os bydd yn dewis pregethu yn groes i olygiadau y cyfundeb?

Atteb. Y mae llawer paham; a byddai yn hawdd enwi degau o honynt. Ond digon ar hyn o bryd yw dweyd na oddefir hyny yn mhlith yr Annibynwyr. Y mae pob eglwys Annibynol yn ystyried fod ganddi hawl i ddiarddel pob gweinidog os na fydd yn pregethu yr hyn a fernir ganddi yn wir athrawiaeth. Ac er, ysywaeth, nas gall gymeryd yr addoldŷ oddiarno, etto y mae yn dadleu dros hyny ac yn dymuno am hyny.

VII. Ond pe byddai rhyw un yn mysg y Methodistiaid yn pregethu yn groes i Gyffes y cyfundeb, oni fyddai yr holl addoldai yn myned yn *fforffet* i'r llywodraeth?

Atteb. Dymunaf sicrhau fod y dywediad hwn wedi ymddangos amryw droion yn argraffedig, rhag i neb dybied fy mod yn dyfeisio y pethau gwirionaf y gallaf feddwl am danynt i'w priodoli i'r gwrthddadleuwyr. Llawer o haeriadau pur ddigrif sydd wedi ymddangos yn erbyn y *Constitutional Deed*; ond o'r cwbl dyma'r plentyneiddiaf a'r ffolaf. Gallaf dystiolaethu yn y modd cadarnaf fy mod, nid yn unig yn credu, ond yn gwybod ei fod yn berffaith ddisail. Pe na ddywedwn ychwaneg, byddai hyn yn fwy nag y mae y cyfryw wrthddadl yn ei deilyngu. Ond nid wyf yn gofyn i neb gredu haeriad heb ei brofi. Dewiswyf i bob un chwilio a barnu drosto ei hun. Ac i'r dyben hwnw, erfynwyf sylw y darllenydd at yr ystyriaethau a ganlyn,

1. *Pe byddai* y dywediad uchod yn wir, byddai yn llawer gwell iddynt fyned yn *fforffet* i'r llywodraeth na'u bod yn *fforffet* rhwng y *trustees* a'r gweinidogion.

2. *Nid yw yn wir.* Ac fel prawf o hyn gellir crybwyll fod gweinidogion mewn enwadau eraill wedi bod yn pregethu yn groes i'r *deeds*; a pha beth fu y canlyniad? A aeth yr addoldai yn fforffet i'r llywodraeth? Dim o'r fath beth. Nid oedd eu *deeds* yn gwneuthur dim ond galluogi yr enwadau hyny i gymeryd yr addoldai oddiar y cyfryw weinidogion.

3. Y mae yr wrthddadl ei hun yn cynwys yr anghysondeb mwyaf gwrthun. Y mae yn hunan-ddystrywiol. Dyma un o weinidogion y Methodistiaid yn traddodi pregeth mewn rhyw addoldŷ yn groes i olygiadau y corff, y mae yr addoldŷ yn ol yr wrthddadl uchod yn cael ei golli, am na ddiarddelid y pregethwr *cyn troseddu*. Dywedir fod y *Deed* yn rhwymo y cyfundeb i ragweled pwy sydd yn *bwriadu* cyfnewid, a'i ddiarddel cyn cael mantais i ddatgan un gair o'i farn newydd, onide y maent yn colli yr addoldai. Y mae y gyfraith yn troi allan y cyfeiliornwr, er mwyn cadw yr addoldŷ yn eiddo i'r cyfundeb; ac ar yr un pryd yn cymeryd yr addoldŷ oddiar y cyfundeb!! Godded yr Annibynwyr i mi appelio attynt yn frawdol, a gofyn iddynt, A ydyw yn ymddygiad teilwng i arfer y fath gamddarluniadau? Y mae yn rhaid nad ydynt mor amddifaid o gyneddfau naturiol fel nas medrant weled na pheryglid meddiant y cyfundeb mewn un gradd pe diangai y cyfryw weinidog heb ei ddiarddel am ugain mlynedd, ac nas medrai holl awdurdod y gyfraith wneuthur dim ond ei ddiarddel ef yn y diwedd, a chadw yr addoldai at wasanaeth y Methodistiaid Calfinaidd.

VIII. Onid yw y *Constitutional Deed* yn gosod y llywodraeth i farnu mewn achosion crefyddol?

Atteb 1. Y mae rhyw *Deed* yn perthyn i bob capel Annibynol; ac yr un faint sydd a fyno y llywodraeth â'r naill ag â'r llall.

2. Y mae nifer mawr o eglwysi yr Annibynwyr yn cael eu cynorthwyo gan y llywodraeth; ond nid oes cymaint ag un o eglwysi y Methodistiaid. Y mae rhan o arian y deyrnas yn cael ei neillduo bob blwyddyn i gynorthwyo pregethwyr tlodion yn mhlith yr Ymneillduwyr. Nid wyf yn dweyd, er mwyn *bribio* yr Ymneillduwyr, ond er mwyn eu cynorthwyo. Yr wyf yn cymeryd yr olwg dirionaf ar yr amgylchiad; ac nid wyf yn son am dano mewn un modd er mwyn condemnio neb, ond i amddiffyn rhai a gamgyhuddir. Yn awr, sylwed y darllenydd fod amryw o weinidogion yr Annibynwyr yn Nghymru yn derbyn cyfran o'r arian a grybwyllwyd oddiwrth y llywodraeth. Buasai mor hawdd i'r Methodistiaid gael rhan o'r ysbail *pe dewisent*. Ië, y mae wedi cael ei gynyg iddynt; ond y mae yn hyfrydwch genyf allu dweyd nad oes un o honynt wedi derbyn yr un ffyrling o hono hyd heddyw. Y cwbl a geisiant gan y llywodraeth yw amddiffyn y meddiannau sydd yn perthyn i'r cyfundeb.

L. Edwards.

## CYNNYGIAD Y PARCH. D. MORGAN TRALLWM.

*Yn Rhifyn* 127, *tu dal.* 209.

Yn gymaint ag yr hyspysodd y Parch. D. Morgan ei feddwl yn nghylch y ddadl a fu rhwng y Parchedigion L. Edwards a S. Roberts, ac y galwodd ar bawb, yn Drefnyddion ac yn Annibynwyr o'r un golygiad ag ef, trwy offerynoldeb y Cyhoeddiadau Misol i gefnogi cynnygiad o'r eiddo er rhoddi attalfa arnynt, meddyliwyf mai nid afresymol y cyfrifid i un annghytunol ei olygiadau mewn rhan â'r eiddo ef, yn enwedig â'i gynnygiad, ddangos ei feddwl, felly erfyniwyf le mewn cornel o'r "Drysorfa" am y mis dyfodol i'r hyn a ganlyn.

Yr wyf yn annghytuno a chynnygiad Mr. Morgan, am ei fod yn gynnygiad allan o amser, ac felly yn hollol afreidiol. Pe y golygasid anghenrheidrwydd am ei gyffelyb ryw amser a aeth heibio, etto ni byddai yn briodol golygu felly yn awr—ar ol dwyn y ddadl yn mlaen i'r sefyllfa y saif ynddi yn bresennol, ac wedi cerdded yn mlaen er ys rhai misoedd bellach hyspysiadau mor gyhoeddus yn nghylch ei therfyniad.

Annghytunwyf a chynnygiad Mr. M. am y golygwyf ei fod yn gynnygiad o sen. Fel Methodist—yn golygu mai Mr. Edwards sydd ar yr uniawn, ac mai yr egwyddorion a bleidiodd ef sydd gywir, byddai yn afresymol i mi gyduno a neb ar benderfyniad o sen neu o gerydd iddo, a golygwyf yr un modd am bob Annibynwr cydwybodol y byddai yn afresymol i'r cyfryw gyduno â neb ar gynnygiad na phenderfyniad o sen neu o gerydd i'r Parch. S. Roberts.

Annghytunwyf â chynnygiad Mr. M. am y golygwyf ei fod yn tueddu i arddangos yr egwyddorion y dadleuwyd yn eu cylch fel rhai dibwys a diwerth, yr hyn meddyliwyf sydd gynnwysedig yn ei ymadrodd—"y pynciau sychion a chynhyrfus," a thrachefn "bod iddynt ddefnyddio eu talentau godidog i ysgrifenu ar destunau mwy melys a phwysig na *Constitutional Deed* y Trefnyddion, a Natur Eglwys." Os ydoedd yn anghenrheidiol ac yn werth i'r Trefnyddion Calfinaidd gael *Deed* er sicrhau y Capeli yn meddiant cyffredinol y Cyfundeb, ac er eu diogelu i'w dyben gwreiddiol, y mae yn werth ac yn ddyledswydd dangos beth yw y *Deed* hòno, yn enwedig yn ngwyneb cam ddarluniadau o honi. Nid y Parch. S. Roberts yw yr unig un a'i camddarluniodd. Clywais un Methodist yn ei anwybodaeth yn ei chamddarlunio yn ddirfawr, ac yn wir oni buasai fod ynof feddwl lled helaeth am ddeall da a chywirdeb dybenion rhai o'r gwŷr y gwyddwn fod ganddynt law yn ei lluniaethiad, nid wyf yn sicr na fuaswn yn ofni mai rhyw gadnawes led ddanneddog ydoedd. Ni wyddwn y pryd hwnw y dygwyd hi i fod yn y modd cyffredinol, cyhoeddus, ac anrhydeddus ag y gwnaed. Ond erbyn hyn, taenwyd goleuni gwybodaeth o honi trwy offerynoldeb hyspysiadau Mr. Edwards yn y Drysorfa, fel y barnwyf, nad oes achlysur i'r byraf mwy na'r helaethaf ei wybodaeth am dani, bryderu nac ofni yn y mesur lleiaf yn ei chylch.

Drachefn, os ydoedd yr egwyddorion cynnwysedig yn Nhraethawd Mr. Edwards ar Natur Eglwys yn werth eu datgan a'u dysgu yn Nghymdeithasfa y Bala, (yr hyn, gwn a addefa Mr. Morgan,) yr oeddynt yn werth eu hargraffu, eu cyhoeddi, eu darllen, a'u hystyried; ac os oeddynt yn werth hyny, yr oeddynt yn werth eu hamddiffyn yn ngwyneb gwrthwynebiadau, er gorfod gwneuthur hyny ar lwybr dadleuaeth; ac yn ddiau os oeddynt, neu os ydynt yn werth eu hymddiffyn y maent yn werth eu harddangos yn fwy eglur a chadarn mewn Traethawd ychwanegol. Mae yn wir fod yn llai peryglus a niweidiol cyfeiliorni yn nghylch ffurflywodraeth, nag yn nghylch sylfaen iachawdwriaeth yr eglwys; er hyny y mae cyfeiliorni yn y naill fel am y llall, hyd y mae yn cyrhaedd, yn taraw yn erbyn gogoniant Crist. Mae cyfeiliorni am ffurflywodraeth eglwys Crist, yn darawiad anuniongyrchol yn erbyn gogoniant mynegol Crist yn ei swydd freninol. Felly, golygwyf mai eithaf afresymol a fyddai i mi gytuno â neb ar unrhyw gynnygiad na phenderfyniad a fyddai mewn un gradd yn tueddu er attal dygiad yr egwyddorion hyn i fwy o eglurdeb, gan hyny gwnaf a allwyf yn hollol i'r gwrthwyneb.

Yr wyf yn annghytuno a chynnygiad Mr. Morgan, am ei fod o leiaf yn y ffurf o hono yn tueddu i gymylu y goleuni a lewyrchodd ar yr egwyddorion y dadleuwyd yn eu cylch,

ac i guddio yr effeithiau daionus a gynnyrchwyd trwy a ysgrifenwyd mewn perthynas iddynt yn y ddadl y cyfeiria ati. Nid yr un yw golygiadau lleweroedd o'r Cymry yn awr ar yr egwyddorion hyn ag oeddynt dair blynedd yn ol. Pe yr ymddiosgai Mr. Morgan o'i bryder a'i ofn, a phe yr ystyriai bethau yn yr agwedd y maent, gallai gyrhaedd sicrwydd diymmodawl i'w feddwl, y deilliodd daioni mawr trwy eu hegluro i filoedd o'r Trefnyddion. O hyn yr wyf fy hun yn sicr. Dywedir hefyd, y cyfranogodd llawer o'r Annibynwyr yn ehelaeth yn yr unrhyw. Bod i bob gwybodaeth fuddiol amlâu a chynnyddu yn mhlith y Cymry oll, yw dymuniad diffuant

*Gorphenaf* 9. UN O'R GENEDL.

O. Y. Nid ychydig o ymholi a dyfalu sydd, ac yn wir lled anhawdd fyddai penderfynu, pa beth oedd dyben Mr. Morgan yn anfon y rhan o'i Ysgrif sydd mewn tafodiaith ddyeithr i'r Drysorfa, pryd nas dichon un o driugain o'i darllenyddion ei deall, ac felly difuddio cynnifer o honynt o ddefnyddioldeb y rhan a'i cynnwys. Golygir os oedd ganddo ryw gynghorion o werth i'w gosod at ystyriaethau y ddau frawd, na pherthynai i neb arall eu deall, mai y ffordd hwylusaf i wneuthur hyny a fuasai iddo ysgrifenu llythyrau at bob un o honynt yn neillduol. Ond, efallai bod amser Mr. M. mor brin, fel mai llai trafferth iddo gyfansoddi *un* llythyr yn yr iaith hòno, nag ysgrifenu *dau* yn yr iaith Gymraeg neu y Saesnaeg. Felly cynghorwyf fy nghydddarllenyddion o'r Drysorfa, anwybodus o iaith y Ffrancod, i ddystewi ac edrych dros hyn o waeledd diniweid ac achlysurol.

## BYWGRAFFIAD Y PARCH. J. ELIAS.

GAN y bwriedir argraffu Bywgraffiad y diweddar Barchedig John Elias, taer erfynir ar bwy bynag sydd ganddo lythyrau a ysgrifenwyd ganddo ar ryw achosion neillduol perthynol i grefydd, neu er cysur i ryw rai mewn galar, eu hanfon i'r Parch. H. Griffith yr hwn y mae'r gwaith wedi ei ymddiried iddo. Hefyd, os oes gan rywun hanes ei fod wedi bod yn offeryn yn llaw yr Arglwydd i dynu i lawr ryw lygredigaeth; megis, ffeiriau neu farchnadoedd a gynhelid ar ddydd yr Arglwydd, neu'r cyffelyb, neu ryw hanesion byrion, anfoner hwy i'r gwr Parchedig a nodwyd. Cyfarwydder hwy fel y canlyn:—

*Rev. H. Griffith,*
*Llandrygan,*
*Anglesea.*

## CANLYNIADAU PWYSFAWR ODDIWRTH ACHOSION BYCHAIN.

UN *dram* o wenwyn a ymdaena drwy holl ranau y corph hyd nes y llethir yr ysbryd oedd bywydawl, a gwahanu yr enaid oddiwrth y corph. Pentewyn bychan o dân a drodd lawer adeilad uchelwech yn lludw. Gall pigiad bychan gan ddraen ladd dyn fel toriad â chleddyf. Gall pryf bychan ddyfetha yr oll o'r blwch enaint alabastr.

Y Cadfridog Norris ar ol derbyn archoll bychan yn ei fraich, yn rhyfeloedd yr Iwerddon, a edrychodd yn ysgafn arno, eithr braenodd a chollodd hi a'i fywyd ar unwaith.

Fabius, seneddwr Rhufeinig, a dagodd trwy lyngcu blewyn bychan mewn llymaid o laeth. Tair cylch-ias (*fit*) o glefyd a gludodd ymaith Tamerlane, yr hwn ydoedd ddychryn ei amser. Anacreon, y prydydd, a lindagwyd â chnewyllyn grawnwin (*grape.*) Trengodd un o'r Ymerawdwyr mewn canlyniad i gripiad crib. Un o freninoedd Ffraingc a fu farw yn druenus, drwy dagu â blewyn mochyn—a'i frawd a yrwyd i'r bedd trwy wrth-darawiad pel tenis.

Fel hyn ni a welwn fod pethau bychain wedi dwyn adfyd mawr ar laweroedd. A'r un modd y gall pechodau bychain (mewn ymddangosiad) wneyd dynion yn agored i gosbedigaethau mawrion; o ganlyniad nid rhyfedd gweled y dyn sanctaidd yn cyfodi yn eu herbyn.

Y pechodau hyny a ymddangosant i ni yn fychain ydynt fawrion a blinion yn ngolwg y Duw mawr, a niweidiawl i'r enaid anfarwol; o ganlyniad nis gallant fod ond gwrthddrychau casineb y Cristion.

Cyf. R. O. WILLIAM.

*Bryn Glas Mon.*

## ARWYDDION YR AMSERAU.

SYR.—Y mae gan y Saeson ddiareb:—*Watch the signs of the times.* "Paham, gan na chuddiwyd yr amseroedd rhag yr Hollalluog, na welai'r rhai sydd yn ei adnabod ef, ei ddyddiau ef." Job 24. 1. "Y rhai hyny sy yn mhlith y rhai sydd yn gwrthwynebu goleuni: nid ydynt yn adnabod ei ffyrdd, nac yn aros yn ei lwybrau." "Gwnant i'r tlawd lettya yn noeth heb ddillad, ac heb wisg mewn oerni. Y rhai sy'n gwneuthur olew o fewn eu parwydydd hwynt, ac sy'n sathru eu cafnau gwin, ydynt sychedig."

Yn yr adnodau uchod dangosir fod cwyn rhwng yr Hollalluog a thrigolion y wlad, am orthrymu y tlodion, ac y mae hyn yn achosi llawer o ddadleu yn mhob oes; a mawr ydyw y terfysg yn awr yn ein gwlad o achos hyn; fel nas gŵyr dynion cydwybodol yn iawn, pa ben i'r clorian i daflu eu pwys: y mae llawer o ymddadleu ac ymbleidio yn yr eglwys a'r byd. Y mae yn dyfod i'm cof, chwedl a glywais (nid wyf yn sicrhau ei geirwiredd) am ddau frawd ag oeddynt yn perchen llong, ac mi feddyliwn fod ar y ddau eisieu bod yn Gadben; yr oeddynt un tro yn pasio craig, sydd allan i

ben tir Lloegr, a elwir *Rundle stone.* Y mae creigiau bob amser yn beryglus i forwyr, ond y mae hon yn neillduol felly, o herwydd ei bod weithiau dan ddwr; a pheth arall, y mae hi ddwy filldir o'r lan; a pheth arall, y mae modd myned o bob tu iddi,—a myned yn ddiangol hefyd: ond yr ochr allan iddi yw y ffordd gyffredin, ond y mae yn fanteisiol ar rai amgylchiadau i fyned rhyngddi a'r lan, trwy ffordd anghyffredin; pa fodd bynag, yr oedd y ddau frawd gyda'u llong yn bwriadu myned tu fewn i'r graig hon, dywedodd un wrth y llall. "Hi eiff rhyngddi ar lan." "Nac eiff," meddai y llall. "Eiff" meddai y cyntaf. "Daliaf am bunt" meddai un; "*done*" ebe y llall; a thra buont yn dadleu â'u gilydd aeth y llong yn erbyn y graig, a lawr a hi i'r gwaelod; a da oedd cael y bâd a'r bywyd, a cholli y llong, a'r bunt hefyd.

Yr addysg. Y gall dynion da golli adeg i wneud daioni, o ddiffyg hunan-ymwadiad, a'r peth a eilw y Saeson *Give and take*. Nid oes modd cadw undeb a heddwch, heb hyn, yn ein byd ni. Bum yn meddwl lawer tro fod y chwedl hon yn deilwng iawn o ystyriaeth pob crefyddwr a phob dyn yn gyffredinol. Hen bechod andwyol ydyw dadleu y *ffordd* i wneyd daioni ac wrth hyny colli yr *adeg*. Dadleuodd y ddau frawd ynghylch ffordd y llong hyd onid aeth yn ddrylliau ar y graig. Pa sawl un etto fydd yn myd yr ysbrydoedd wedi *dadleu* yn lew am y ffordd—ond yr adeg wedi myned heibio—"yr haf wedi darfod, y cynhauaf wedi myned heibio, a hwythau heb fod yn gadwedig."

E. Ll.

## GOFYNION.

A oes rhyw reolau yn y gyfraith wladol, yn ol pa rai y mae Cymunroddwr yn rhwym o weithredu, er sicrhau ei feddiannau at achosion crefyddol?

Pa ddiffygiadau yn llythyreniad Testament, sydd yn dirymu bwriad y Testamentwr, tra y mae yn hawdd casglu beth oedd dyben y trancedig wrth yr ysgrifen, a chadarnhau yr unrhyw â thystiolaeth y byw?

Os dichon y fath ddiffygiadau roddi mantais i bersonau unigol i berchenogi yr hyn a fwriadwyd yn feddiant eglwysig; a ydyw yn bosibl i'r personau hyny, yn ol y gyfraith, ac yn ddyledswydd arnynt o ran yr efengyl, i arferyd y cyfryw feddianau at eu amcan blaenorol?

Ymddangosiad y gofyniadau uchod yn eich Rhifyn nesaf, ynghyd ag atebiad buan iddynt a rydd foddlonrwydd i

WEINIDOG O'R DEHEUDIR.

SYR.—A oedd corph Crist yn "gorph ysbrydol" wedi ei adgyfodi o'r bedd, cyn ei esgyniad i'r nefoedd?

YMCHWILIWR.

## ATEBION.

### ARWYDDLUN CREFYDD, GAN BEZA.

*Neu gyfieithiad o'r Llinellau Saesoneg a ymddangosodd yn Rhifyn Gorphenaf diweddaf, tu dalen* 207. *Gan Edeyrn ap Nudd.*

Pwy ydwyt ti, sy'n teithio'n wael dy lun?
Gwir grefydd wyf, yn hanu o Dduw ei hun.
Paham mae'th wedd i'w wel'd mor ryfedd wael?
Trysorau'r byd i gyd nid wyf am gael.
Pa lyfr, O d'wed, wy'n weled yn dy law?
Pur ddeddfau 'Nhad a barthaf yma a thraw.
Paham mae'th fron yn noeth ac amlwg im'?
Gwel, mwynder wy'n ei hoffi'n fwy na dim.
Paham mae'th fraich yn pwyso ar y groes?
Hi'n unig yw 'ngorphwysfa wiw drwy f'oes.
Beth wnei â'th gain adenydd llydain tèr?
I ddysgu dyn gwan 'hedeg uwch y sêr.
Pa'm mae o'th gylch ogoniant dysglaer cu?
I wasgar gwyll y meddwl tywyll du.
Pa ddyben sydd i'th ffrwyn, mae'n harddwech un?
I gadw'n glau holl nwydau enaid dyn.
Paham 'rwyt ti yn sathru angau du?
O! wele'n siwr, ei faeddwr ydwyf fi.

*Atebiad i Ofynion R. W. O. yn Rhifyn Gorphenaf tu dalen* 211.

Gof. 1. A oedd marwolaeth yn hanfodol i'r natur ddynol cyn y cwymp?

Ateb. Ar ryw olwg gellir dywedyd ei fod felly.—O herwydd nid ydyw anfarwoldeb yn ystyr fanylaidd y gair, yn perthyn i'r un creadur yn un lle.—Ond peth ydyw ac sydd yn briodol hollol i Dduw yn unig. 1 Tim. 6. 10. Gan hyny y mae'n rhaid ei fod yn cael ei gau ymaith oddiwrth y natur ddynol fel pob rhyw natur arall. Etto er hyny, a chymeryd golwg Dduwinyddol ar y gofyniad, gan ei ystyried yngwyneb yr hanesyddiaeth a rydd y gwirionedd Dwyfol i ni o barthed y cyfryw natur.—Yn atebiad iddo, dylid dywedyd, Nac oedd.

1. Oblegyd, ymddengys ddarfod ei ffurfio hi gan Dduw yn ei chychwyniad cyntaf i barhau yn dragywyddol. Efe a'i doniodd hi ar y pryd âg anfarwoldeb, fel y gwnaeth Efe o'r blaen a phob natur resymol arall.

2. Oblegyd, cyn y cwymp, rhoddwyd nid yn unig anfarwoldeb i berthynu i'r natur ddynol pan y cyfansoddwyd hi gan Dduw; ond hefyd, fe adgadarnhawyd ef iddi ganddo mewn ffurf o gyfamod â hi, Gen. 2. 16, 17.

3. Oblegyd, Fod pob cyfnewidiad ag a gymerodd le erioed ar y natur ddynol, er ei darostwng hi, a hefyd, er ei anghysuro mewn dim, yn cael ei ystyried yn ffrwyth a chanlyniad uniongyrchol i bechod: a'r pechod hwnw yn wreiddiedig hollol ynghwympiad y natur o'i sefyllfa gyntefig. Ioan 5. 14. Rhuf. 8. 10, a 5. 12. Y mae'n rhaid gan

hyny, nad oedd marwolaeth yn hanfodol i'r natur ddynol cyn y cwymp.

Gof. 2. Os nad oedd, Pa fodd yr oedd yn ymgynnal ar bethau naturiol megis cysgu a bwyta &c.?

Ateb. Am mai cyfryngau ydyw y rhai hyn o osodiad penarglwyddiaethol Duw i gynnal bywyd y natur, ac sydd hefyd yn gyfaddas i'r lle yr oedd y natur yn preswylio ynddo. A phe mai *yma* y buasai ewyllys y Creawdwr iddi gyfanneddu i oesau tragywyddoldeb, yn ol teleran ei sefyllfa o ddiniweidrwydd, yna ni buasai raid newid *dim* ar y cyfryngau hyn i'r perwyl hyny:—ond buasent yn foddion cymhwys i gario yn mlaen y bywyd hwnw i barhâd diddiwedd. Ond o'r ochr arall,

Pe ei throsglwyddo a wnaethid gan y Jehofah i sefyllfa anrhydeddusach nag a oedd yma, etto, ni buasai raid marwolaethu y natur mewn nac ysgariad na diddymiad, i'r dyben o'i chymhwyso ar ei hymadawiad a'r pethau hyn, i allael byw o honi hebddynt yn y sefyllfa hòno: O na fuasai,—Dim ond i Dduw newid deddfau'r cyfansoddiad i ffurf arall, a thyna bob peth ynddi yn bwrpasol i'w sefyllfa newydd. A hefyd, Dim ond i Awdwr y natur, ewyllysio'r cyfnewidiad hyny, ac fe fyddai felly yn y *fan*, heb i un attaliad gymeryd lle ar fywyd y natur. Ond fel Enoch gynt cawsai'r symudiad heb brofi marwolaeth. Heb. 11. 5.

Ond cyn terfynu cyfarchaf y Gofynydd yn garedig yn yr olwg ar yr hyn a ofynwyd ganddo, yngeiriau y Prophwyd Micah, "Codwch, ac ewch ymaith; canys nid dyma eich gorphwysfa."

*Dolgellau.* JOHN WILLIAMS.

---

*Atebiad i Ofyniad gan Frodor o Rhiwbryfdir, yn Rhifyn* 125, *tu dalen* 148.

Y gofyniad yw, "Pa un ai gweithred a gyflawnir ar unwaith yn yr adenedigaeth, ynte gwaith a ddygir yn mlaen yn raddol ar enaid y Cristion, yw selio â'r Ysbryd Glân? Ac os gwaith parhaus, pa wahaniaeth sydd rhyngddo a sancteiddio?"

Ateb. Gweithred a gyflawnir gan yr Ysbryd Glân yn yr adenedigaeth yn mhlaniad grasusau yn enaid pechadur, a thrwy argraffu ei ddelw sanctaidd ar ei enaid, rhoddi ei nôd arno, a'i sierhau a'i ddiogelu, yn eiddo iddo ei hun. Yr Ysbryd yw y sel, a'r seliwr; a'r gair, neu'r addewid yn y gair, yw'r moddion o'i seliad: gwerthfawrogiad, cadarnhâd, ac ymddidoliad, yw'r effeithiau: dyna'r hyn debygaf a feddylir wrth y selio yn 2 Cor. 1. 22.

Hefyd, y mae dylanwadau sancteiddiol a chysurol, ynghyd a llawenydd yn yr Ysbryd Glân, pan fyddo y Cristion yn deimladwy a phrofiadol o honynt, yn selio iddo, (neu yn ei sicrhau) ei fod yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd, Eph. 1. 13; a 4. 30. Meddyliwyf y gellir cael eglurhad ar y dull a'r modd o'r seliad â'r Ysbryd yn Ezec. 11. 19, 20; a 36. 27. "Rhoddaf fy Ysbryd o'ch mewn. A rhoddaf iddynt un galon, ac Ysbryd newydd a roddaf ynoch."

Y dyben o'r seliad hwn yw, "fel y rhodiont yn fy neddfau, ac y cadwont fy marnedigaethau, ac y gwnelont hwynt," ac fe fydd hyny er eu cadarnhâd a'u diogeliad eu bod hwy yn "Bobl i Dduw, a'i fod yntau yn Dduw iddynt hwy."

Yn awr, y gwahaniaeth sy rhwng selio a sancteiddio, yw, fod selio yn eu neillduo a'u sicrhau eu bod yn bobl i Dduw, ac yn etifeddion teyrnas nefoedd; a sancteiddhad yn eu cymhwyso i fyned at Dduw, ac i fwynhau y nefoedd byth.

*Glan du bach.* PREGETHWR.

---

*Ateb i Ofyniad G. M. Rhif.* 125. *tu dalen* 148, *am eglurhad ar Salm* 127. 4.

Mae y rhan hon o'r ysgrythyr wedi achlysuro i lawer "bod deallawl," (yn ei dyb ei hun) i haeru yn wyneb uchel, "fod dyn, tra yn ieuanc, yn hollol ymddifad o un duedd at ddrwg na da. A chan hyny fod mor hawdd i rieni plant eu gyru i'r nefoedd ag ydyw i'r cadarn yru y saeth i'r dwyrain neu i'r gorllewin, am eu bod yn hollol o dan eu hawdurdod hwy, fel mae'r saeth dan awdurdod y cadarn; ac am eu bod mor ddiduedd ynddynt eu hunain i fyned i'r naill fan mwy na'r llall, ag ydyw'r saethau sydd yn llaw'r cadarn." Ond, y mae'r cyfryw rai yn mhell o fod yn deall meddwl y Salmydd; oblegid, yr ydym yn cael fod Dafydd, wrth gyfaddef ei bechodau ger bron Duw, yn cydnabod ei fod ef ei hun yn wreiddiol aflan, ac yn dywedyd "mai mewn anwiredd yr oedd ef wedi cael ei lunio" Salm 51. 5. Hefyd, mae'r Salmydd, dan ddwyfol ysbrydoliaeth, yn tystiolaethu am holl ddynolryw yn gyffredinol, eu bod yn feddiannol ar anian a thuedd i gilio oddiwrth Dduw, a hyny o'r groth. "O'r groth yr ymddieithrodd y rhai annuwiol, o'r bru y cyfeiliornasant." Salm 58. 3. Gwelwn, gan hyny, mai nid esiamplau drwg eu hynafiaid oedd Dafydd yn olygu oedd yn gwneud plant dynion yn bechaduriaid; ond yr oedd efe yn barnu fod holl ddynolryw o dan awdurdod anian bechadurus yn ieuangc; ïe o'r groth ac o'r bru o dan lywodraeth y cyfryw dueddiadau.

Beth gan hyny oedd efe yn ei feddwl yn yr adnod a nodwyd, pan y mae yn dywedyd, "Fel mae saethau yn llaw y cadarn; felly mae plant ieuengctyd." Darllena un gwr dysgedig y geiriau fel y canlyn, "Fel mae saethau yn llaw y cadarn; felly mae ieuengctyd bywiog." Amcan y Salmydd yn y gyffelybiaeth hon yw, dangos mor werthfawr a defnyddiol yw ieuengctyd bywiog a gwrol i'w rhieni mewn amgylchiadau o gyfyngder a chaledi, megis pan gyfr

fyddont "â'i gelynion yn y porth," a dyweyd eu bod yn gymmaint o nerth ac amddiffyn iddynt ag ydyw ysaethau i'r milwyr mewn rhyfel.

Os bydd i'r darllenydd sylwi ar y geiriau canlynol i'r adnod dan sylw, caiff ei gadarnhau yn y golygiad hwn. "Gwyn ei fyd y gwr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt: nis gwaradwyddir hwy, (sef y rhai y byddo y cyfryw ieuengctyd yn lliosog ganddynt) pan ymddyddanont a'r gelynion yn y porth." Ond gorchfygant a dinystriant hwynt.

Ateb i'w ail Ofyniad ef. "Beth a feddylir wrth beidio dewis un yn weddw dan driugain mlwydd oed? 1 Tim. 5. 9.

Ateb. Peidio dewis na gosod un dan yr oed hwnw i wasanaethu yr eglwys, dan yr enw dïaconesau; swydd y rhai oedd gofalu am yr oedrannus, a rhybuddio a chyngori y merched ieuaingc yn wastadol. A dafyddai gweled yr hen famau yn Israel yn ymgais mwy i gyflawni y dyledswyddau hyn yn yr oes hon etto. Tit. 2. 3—5.

Deffroed yr Arglwydd bob rhyw, a phob oed o bob rhyw, at eu dyledswydd; fel y gellir dywedyd eu bod wedi gwneyd yr hyn a allent ei wneyd dros achos y Cyfryngwr.

*Glan du bach, Ffestiniog.* IOAN.

---

SYR,—Beth a feddylir wrth 'fedyddio dros y meirw,' 1 Cor. 15. 29.?

JONATHAN WILLIAMS.

Ateb. Bernir fod yr ymadrodd yn cyfeirio at rai yn dyfod ymlaen i gael eu bedyddio yn uniongyrchol ar ol merthyrdod eu brodyr, megys pe byddent yn dyfod i lenwi lle y meirw, sef 'y rhai a laddwyd am air Duw a thystiolaeth Iesu Grist.' Fel hyn y maent yn proffesu eu ffydd yn Nghrist, ac yn wynebu cynddaredd eu gelynion, pan mae ereill newydd roi eu bywyd i lawr dros y gwirionedd. Canys megys y mae milwyr o newydd yn dyfod yn mlaen i lenwi y bylchau y mae'r gelynion yn eu gwneud yn y fyddin ar y maes, felly mae dysgyblion ieuainc yn dyfod ymlaen i broffesu crefydd, ac i gael eu 'bedyddio dros,' neu yn lle 'y meirw,' sef i lenwi y bylchau y mae angeu yn eu gwneud yn myddin y Duw byw. Y CYHOEDDWR.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Yr Esboniedydd Hanesiol, neu adroddiadau gwirioneddol, fel eglurhad ar adnodau detholedig ymmhob pennod, o'r Testament Newydd.* Gan J. Jenkins a J. Jones.

J. Jones, Albion Wasg, Llanidloes.

"A PHWY yw fy nghymydog," oedd gwestiwn a ofynid unwaith i Grist. Atebid ef, nid drwy wneyd rhyw ddarlith ffilosoffaidd ar natur y peth: nid drwy wneyd darnodiad manwl o gynwysiad y gair Cymydog; ac nid drwy enwi rhyw res o nodweddiadau ac y dylid ymddwyn tuag atynt fel tuagat gymydogion: ond drwy adroddiad byr ac eglur o helynt y gwr a syrthiasai ymmhlith lladron pan yn teithio o Jerusalem i Jerico (Luc x. 29—37.) Y mae yn sicr fod yr adroddiad syml hwn, pa un bynag ai dameg ai hanes ydoedd, yn taflu mwy o oleu i feddyliau, ac yn dyweyd yn fwy grymus ar gydwybodau'r gwrandawyr, nag unrhyw araeth ysgolheigaidd a ellid ei gwneyd ar y fath destyn.

Nid peth anfynych yw ein bod yn darllain ac yn chwilio llawer am esboniad ar ryw adnod o'r Beibl; ac wedi'r cyfan yn cael mwy o eglurhad arni trwy ryw hanesyn a glywom, neu ryw ddygwyddiad a welom, nag a gawsom gan yr holl esbonwyr ag y darllenasom eu gwaith.

Pan welais waith cyffelyb i'r Esboniedydd Hanesiol, gan Whitecross, yr hwn a ddaeth allan er ys rhai blyneddau bellach yn Saesonig, meddyliais pe buasai ei fath yn dyfod allan yn Gymraeg, y buasai yn aurheg dra chymeradwy gan y genedl: yn awr, er fy mawr ddyddanwch, dyma fy nymuniad wedi ei gyflawni. Dyma gyfrol wedi ei chyhoeddi, yn cynwys adroddiadau neu fyr-hanesion ac sydd yn taflu eglurhad anwrthwynebadwy ar lawer adnod; ar cwbl, dybygaf fi, yn tueddu at feithrin rhinwedd a defosiwn yn y sawl a'i darlleno.

Nid ydyw y gwaith dan sylw yn proffesu rhoddi eglurhad ar bob adnod yn y Testament Newydd; na chwaith esboniad manwl ar bob peth yn yr adnodau a goffeir. Ond y mae yr esboniadau a roddir, yn sicr o fod yn gywir, tra nad ydynt yn cynwys dim ond ffeithiau. Nis gallant fethu gwneyd argraff ar feddyliau'r sawl a'u darllenont; canys y mae adrodd hanes yn gwneyd hyny yn llawer mwy effeithiol, na dywedyd opiniwn; ac o ganlyniad nid ar frys y caiff yr eglurhad a roddir yn y dull hwn, ei anghofio.

Gwr hollol anhysbys i mi yw un o'r awdwyr, ac nid wyf yn gwybod i mi weled y llall erioed, oddieithr unwaith, neu ddwy y fan bellaf. Felly, er y teimlwn awydd gwneyd lles i'r cyhoeddwyr ar bob llwybr cyfreithlon, etto nid ydyw hyn o ymyraeth i'w briodol yn gymaint i'r teimlad hwnw: ond yn hytrach i'r opiniwn sydd gan yr ysgrifenydd am deilyngdod y llyfr.

Pe bai ryw un yn dechreu darllain yr Esboniedydd Hanesiol ac yn blino arno cyn ei ddarllain drwodd, byddai yn anhawdd iawn i mi gydymdeimlo a'r cyfryw; canys gwedi i mi ddechreu ei ddarllen, ni fuasai waeth genyf glywed *coachman* yn fy ngalw i gychwyn pan yn dechreu ciniawa, na chael fy rhwystro cyn darllen y llyfr i gyd.

Y mae yn anhawdd penderfynu wrth ddarllain y gwaith dan sylw i ba enwad o grefyddwyr y mae'r awdwyr yn perthyn,

oblegid ni phetrusant ddefnyddio dywediadau ac esiamplau dynion da o bob enwad; ac nid oes dim ynddo yn tueddu i godi na darostwng y naill enwad yn fwy na'r llall. Yn wir yr wyf fi yn meddwl y caiff pob *teimlad sectaidd* lonydd i gysgu wrth ddarllain y llyfr hwn; ond nis gellir ei ddarllain, gredaf fi, heb i'r *teimlad crefyddol* sydd yn rhedeg drwy fynwesau yr holl dduwiolion ymmhlith yr holl enwadau gael ei adnewyddu a'i ddeffroi i ddywedyd "Gras fyddo gyda phawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb, Amen.

R. WILLIAMS.

*Liverpool, Gor.* 9*fed*, 1841.

---

*Y Tlws Arian, sef Holiadau ac Atebion ar gynghanedd, &c. i Blant yr Ysgolion Sabbathol.* Gan J. Phillips, *(Tegidon.)* R. Hughes, Wrexham.

TRA y mae Ysgrifenwyr Cymreig y dyddiau hyn, yn porthi y Duwinydd, yr Athronydd, a'r Dadleuydd, ag ymborth priodol a chyfaddas, hyfryd yw gweled nad anghofir mo'r wyn bychain, sef plant y genedl, gan rai Awduron ychwaith. Dywedid er clod hynodol y Dr. Watts, "Er bod ganddo ddysgeidiaeth a dawn i ddarparu trwy ei ysgrifeniadau ddigonedd o ddyfnfôr i Elephantiaid nofio, fod yn perthyn iddo hefyd fedr nodedig i wneyd aberoedd digon bâs i ŵyn chwareu ynddynt yr un modd."

Gallwn heb gamsynio ddywedyd yr un peth am Awdwr y llyfryn bychan hwn; darparai eisoes drwy ei Draethodau ar 'Deml Amser,' 'Gwlad y Cydraddoldeb, &c. y rhai o bryd i bryd a ymddangosent yn y Drysorfa, ymborth cryf ac iachusol i'r Duwinydd a'r Bardd; 'nawr dyma ef gwedi cofio am ŵyn bach ein diadelloedd hefyd, ac yn debyg i'r Dr. Watts yn ei '*Hymns for Children*,' yn trin holl faterion y Llyfr ar gynghanedd, pa lwybr, nid yn unig sydd wedi bod hyd yma yn anathredig yn ein mysg, ond y sydd hefyd yn hynod o'r difyrus ac *attractive* i'r genedl ieuanc yn gyffredinol.

Ni wnawn yn well bellach na rhoddi yma ychydig o engreifftiau i'r dyben i'r Traethawd lefaru yn effeithiol drosto ei hun.

O dan y nifer *dau* cenir fel yma,

'Dau wr fu'n myn'd i'r deml wiw,
Er mwyn gweddïo gynt ar Dduw;
'Roedd un o hunan gas yn llawn,
A'r llall yn ostyngedig iawn.'

Luc xviii. 10.

Yn y pennodau, sydd yn debyg o ran eu materion i'r 'Rhodd Mam,' cawn linellau campus iawn fel y canlyn,

'Cwes. *Pwy a wnaeth bob peth?*

Ateb. Duw gelwir Ef ac Arglwydd Iôr,
Efe yw Crëwr tir a môr,
Haul, lloer, a sêr sy'n britho'r nen,
A'r holl blanedau mawr uwch ben.

Cwes. *Pwy yw y Gwaredwr?*

Ateb. Iesu Grist, gwir Dduw, gwir ddyn,
Pen mawr y nefoedd deg ei hun,
A brawd i'r llesg gredadyn gwan,
Sy fry yn eiriol ar ei ran.

Yn yr amrywiol Ganiadau a phennillion yn niwedd y llyfr, da iawn oedd genym weled nad anghofiodd yr Awdwr ganu ychydig hefyd i'r 'Gymdeithas Genadol Cymreig.' Yn y gân am yr Iar Genadol, canai un pennill fel yma,

'O tyr'd i bigo'r grawn hyd lawr,
Mae Arglwydd mawr Iehofah,
Yn gwaeddi Jubili yn llòn
I hen drigolion Kassia—
Ceir gwel'd yr Indiaid ar y twyn
Yn eiste'n fwyn a llonydd,
Yn dysgu cerddi Sïon wèn
Yn morio mewn llawenydd.'

Cyn diweddu, dywedaf, pan bydd rhieni Cymru eisieu rhoddi anrheg i'w plant ufudd, ac Athrawon yr Ysgol Sabbathol i blant da eu Dosparth, ni welais erioed lyfryn mor gymhwys ac mor rad yn yr iaith Gymraeg, a'r Traethawd hwn i'r perwyl hyny; ac mi hyderaf y bydd y fath brynu arno 'nawr ar ddechreu ei gyhoeddiad, fel y gelwir am argraffiad arall yn ebrwydd, ac y bydd y fath alwad am dano yn cael ei adnewyddu bob blwyddyn, nes y gwelir ef cyn pen hir iawn, yn debyg i'r 'Rhodd Mam,' yr hwn sydd yn bresennol yn ymyl yr ugeinfed argraffiad!

*Gorph.* 3, 1841. W.

---

*Y Genadaeth i'r America.—Golygiad byr ar agwedd crefydd yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd yn Unol Daleithiau yr America; yn nghyda Hanes Taith Henry Rees a Moses Parry, i ymweled â'r eglwysi yno.*

SYR,—Dygwyddodd i lyfryn bychan ddyfod i'm llaw yn ddiweddar, sef Taith Mri. Rees a Parry trwy ran o America. Ni bum erioed yn America, ond darllenais ychydig am dani, yn awr a phryd arall; a phob amser byddai ryw sibrwd yn fy meddwl mai yr ochr dda, a dim o'r drwg, a fyddwn yn ei gael, fel y mae yn dueddol i ddynion, ar ol gadael un wlad, ddywedyd y goreu am y wlad y byddont wedi mudo iddi. Dygwyddodd i bregethwr o'r America ddyfod i ymweled â'i hen wlad, gofynais iddo pa un o'r ddwy wlad oedd goreu ganddo? Atebodd, Pe canfyddwn sefyllfa lle y gallwn gael bywioliaeth yma, gadawn America. Y dystiolaeth hon a ddywedodd i mi fwy na *volumes* o lyfrau. Ond yn y llyfr bach hwn, yr wyf wedi cael fy moddloni, o herwydd fy mod yn credu fod y manteision a'r anfanteision, wedi eu rhoddi

i lawr i'r cyffredin yn nodedig o ffyddlawn. Ac nid wyf yn ammeu na bydd o les mawr, a gobeithio y caiff ei ddarllen yn bwyllog gan bob Cymro, cyn iddo symud ei babell; o herwydd mae lle i ofni fod llawer wedi mudo i'r America, heb fwrw y draul; ac yn dyfod i weled hyny pan yn rhy ddiweddar.

Mae lle i farnu fod llawer iawn o wahanol ddybenion yn y lluaws sydd yn mudo oddiyma i'r America. Rhai am gyfoeth a meddiannau, ac ereill am ryw deganau neu gilydd. Mi a ddymunwn ar i bawb a deimla ar ei feddwl symud ei babell ddarllen y llyfryn bach hwn yn ystyriol, lle y mae y manteision a'r anfanteision ar gyfer eu gilydd. Mi a ddymunwn hefyd ar i bawb wrando ar lais rhagluniaeth Duw—gweddïo am Ysbryd Duw i'w cyfarwyddo—fel y bo iddynt symud i'r America a gwên Duw arnynt a bendith Duw yn eu dilyn.

Mae lle i ofni fod llawer cyn hyn wedi meddwl myned i'r America, nad oedd Duw yn ei ragluniaeth yn amcanu iddynt fyned. Onid amnaid o hyn yw y damweiniau dyeithr sydd yn dygwydd i longau bob blwyddyn wrth gludo *Passengers* i'r America, o ba rai y nodaf ychydig yma. Y mae yn hysbys i'r cyffredin am y ddamwain a ddygwyddodd yn mis Mawrth, allan i Gaergybi, lle boddwyd 122; ac y mae yn ddiammeu i lawer o honynt, fyned o'u cwsg i'r farn; o herwydd ni bu y llong prin bum mynyd, ar ol taraw yn erbyn yr Agerdd long, nes oedd hi fel plwm yn y gwaelod, a'r oll oedd ynddi; ond y Cadpen, a'r Mate a neidiodd i'r Agerdd long pan oedd eu llong eu hunain yn myned i lawr.

Damweiniau ereill. Ar yr 21 o Ebrill, gadawodd y llong *Minstrel*, Cadben Outerbridge, *Limerick*, a 141 o *Bassengers*, heblaw y Morwyr, yn rhwym i *Quebec:* ar y 4ydd dydd o Fai, aeth y llong yn erbyn craig ar *Red Island*, ac a aeth yn ddrylliau. Yr oeddynt oll yn y llong yn 156 o nifer—boddwyd 148, achubwyd 8 yn y cwch, sef 4 morwr a 4 o'r *passengers*. Nifer y dynion mewn oed a foddodd, 47; merched 41; meibion dan 14 oed, 10; merched 8; bechgyn dan 7oed, 9; genethod 12, mabanod 10; oll 148.

Etto. Ar yr 20fed dydd o Fai, collwyd y *New York Packet, Sampson,* ar Ynys yn yr America, ar ol myned o Loegr, yr oedd ynddi 180 o *Bassengers*; ond trwy drugaredd, fe gafwyd pawb i dir yn ddiangol, cyn i'r llong fyned yn ddrylliau; anfonodd y llywodraeth long i gludo y *passengers* o'r Ynys i *Halifax*. Etto, y llong *Isabela*, ar ei thaith o Lundain i Quebec, ar y 9fed dydd o Fai, a darawodd yn erbyn darn o rew; aeth y llong i'r gwaelod, cymmerodd y dynion y cychod heb na bwyd, na dwfr, na dillad: a buont felly am ddau ddiwrnod. Daeth llong ar ddamwain heibio, a chawsvaredu o'u cyfyngder.

Etto. Ar yr 8fed dydd o Fai, collodd y llong *Paragan*, o Liverpool, yn rhwym i Quebec, trwy i long arall redeg ar ei thraws. Gadawodd y llong a'i rhedodd hwy heb wneud sylw o honynt; ond dygwyddodd i'r llong *London*, o *Yarmouth*, ddyfod atynt, cyn iddynt suddo; a chymmerwyd y *passengers* a'r morwyr o honi, a hithau a aeth i'r gwaelod yn ddioed. Etto, ar yr un dydd, collodd y llong *Breeze*, ar *Scattalle*, yn rhwym o *Limerick* i *Quebec*, a 150 o *Bassengers* ar ei bwrdd. Achubwyd pawb, ac aeth y llong yn ddrylliau.

Ar yr 12fed o Fai, collodd y llong *Elizabeth*, yn rhwym o *Falmouth* i *Meramachi*, ar *Cape Breton*, boddodd y Cadben, y *Mate*, y Saer, tri o'r morwyr, achubwyd gwraig y Cadben, a gwraig arall, un o'r *passengers*, a'r gweddill o'r morwyr; aeth y llong yn ddrylliau.

Llong arall yn rhwym o Loegr i'r America, tua'r un amser, a darawodd yn erbyn darn o rew, aeth y Cadben i'r cwch, a chymmaint gydag ef ag a allai y cwch gymmeryd: aeth y *Mate* a rhai o'r morwyr i'r cwch mwyaf, a bagad o'r *passengers*; cytunodd y *Mate* a'r morwyr â'u gilydd i daflu 16 o'r *passengers* allan o'r cwch, o herwydd, meddent hwy, fod gormod ynddo. Yr oedd yn y cwch ferch ieuanc, a phan welodd hi y mwrddwyr wedi taflu ei dau frawd i'r môr, neidiodd hithau i'r môr ar eu holau. Gofynodd un bachgen am amser i ddywedyd gweddi cyn myned i farw, yr hyn ni chaniatasant iddo, a phan oedd y trueiniaid yn ymaflyd yn ochr y cwch, ar ol eu taflu drosodd, cymmerodd y morwyr eu cyllill i dori eu dwylaw: a chyn pen awr ar ol y weithred waedlyd, daeth llong i'r golwg, a chymmerwyd hwy iddi, a laniasant yn Ffrainc, a chymmerwyd y morwyr i garchar, gan yr *American Consul*: pa le y caent eu profi ai chlywais. Americaniaid oedd y morwyr, rhai heb ofn Duw, na pharch i ddyn.

Felly, fe ddylai hyn roddi tipyn o arswyd ac ofn, ar y rhai sydd â syched mawr am fyned yn *Freeholders*, rhag ofn mai gwaelod y môr fydd yr etifeddiaeth; a chofio mai nid Boneddigion yw pawb yn yr America, mwy nag y deyrnas hon.

Terfynwyf hyn o sylw gan hysbysu i'm darllenwyr—nad fy ymgais wrth adgoffa yr hanesion uchod ydyw milwrio yn erbyn i rai symud eu trigfannau i'r America, ond dymunwn i bawb wneuthur hyny yn ystyriol, a holi ac ymofyn llawer a ydyw Duw yn ei ragluniaeth yn galw arnynt i adael gwlad a bro eu tadau, a'i newid am wledydd a ystyrir yn llawer amgenach ganddynt. Ac os myn neb weled Hanes ffyddlawn a chywir am America, ac amgylchiadau pethau ynddi, prynent y Llyfryn bychan hwn, a darllenant ef yn fanwl ac yn ystyriol.

EVAN LLOYD.

*Bwrdd Llong.*

## COFIAINT.

*Coffadwriaeth am Mrs. Elizabeth Williams, Bryn-tirion, Tydweiliog, Sir Gaernarfon, yr hon a fu farw Gorphenaf 22, 1837.*

Yr oedd Mrs. Williams yn ferch i Griffith a Mary Roberts, Hirdre-fawr yn Lleyn: a'i mam ydoedd wraig dda a chrefyddol, a dyoddefodd lawer yn ei hoes o achos dilyn Crist, ond aeth o nerth i nerth, a bu ffyddlon hyd angeu.

Ganwyd Mrs. Williams yn y fl. 1757, a chafodd bob addysg ac hyfforddiad er ei lleshad cyffredinol. Arferai wrando pregethau er yn blentyn; ac er iddi dreulio rhan o foreu ei hoes yn mhlith mawrion digrefydd, etto dilynwyd hi âg ystyriaethau dwysion am grefydd a duwioldeb. Yn y dyddiau hyny daeth y Parch. D. Jones, o Langan, i weinidogaethu i Dydwilog, a bu ei gyfeillach a'i bregethau yn llesol iawn iddi. a glynodd ei eiriau yn ei chalon.

Priodwyd hi yn y fl. 1765, gyda Mr. R. Williams, mab i John ac Ann Williams, y rhai oedd yn hynod yn mhlith y saint. Dechreuodd, yn fuan ar ol hyny, syrthio mewn amryw brofedigaethau, er hyny cynnorthwywyd hi yn eu canol gan yr Hwn a ddywedodd, "Ni'th roddaf i fynu, ac ni'th lwyr adawaf chwaith."

Yr oedd yn hoff iawn o ddarllen a gwrando y gair. Yr oedd yn nodedig hefyd am roddi lletty, &c. i amryw o Weinidogion yr efengyl, a hyny er mwyn cael eu cyfeillach, yr hyn a fu o fendith i'w henaid.

Pan oedd yn llawn deugain mlwydd oed gwenodd rhagluniaeth y nef arni, ac aeth i breswylio i'r Bryn-tirion, plwyf Tydwilog, ac yno y treuliodd weddill ei dyddiau. Yn fuan wedi hyny torodd diwygiad allan yn Tydwilog, a chwanegwyd i'r Arglwydd bobl lawer.

Ymddygodd ei phriod hefyd yn addas i'w broffes tra y bu ar y ddaear; dangosodd barch mawr i Weinidogion y Gair, ac i'w gweinidogaeth, a hoff iawn oedd o'r frawdoliaeth. Bu farw ag efe yn galw ar ei Dduw.

Fel ag yr oedd ei chalon a'i chnawd yn pallu yr oedd ei chymdeithas â Duw yn cryfhau; a byddai yn dywedyd yn aml mai da oedd iddi ei chystuddio; a choffhai yn fynych y pennillion hyny,

O! ddedwydd ddydd, tragwyddol orphwys
  Oddiwrth fy llafur yn fy rhan,' &c.

Yn y dyffryn tywyll garw,
  Ffydd i'r lan a'u daliodd hwy, &c.

Ac er fod pob peth gweledig yn diflannu, dywedai fod y cyfammod tragywyddol yn parhau, &c. Ac felly y gorphenodd ei gyrfa mewn llawenydd, ac a aeth i dangnefedd. Bu farw mewn henaint teg, yn 90 mlwydd oed.

T. Prichard.

*Cofiant Mr. Edward Read, Cefniwrach, Plwyf Cyffylliog.*

Gan fod enwogion mewn duwioldeb yn deilwng o wneud coffadwriaeth am danynt, gall pawb a adwaenai wrthddrych y Cofiant hwn ei farnu yntau felly hefyd. Yr oedd yn ei fuchedd yn syml ac yn dduwiol—a'i ymadroddion oeddynt yn synwyrol, yn bwysig, ac yn ddifrifol. Yr oedd ei gynghorion hefyd yn effeithiol iawn, ac wrth gynghori byddai â'r dagrau yn llif ar ei ruddiau. 'Ymddiriedwch yn yr Arglwydd,' meddai, 'o'i law ef y mae pob peth; ac o'i ewyllys da ef y daw pob peth yn ysbrydol ac yn dymhorol.'

Byddai yn cynghori yn ddwys iawn ar bawb i ffoi rhag y llid a fydd, gan ddywedyd yn wresog fod noddfa ac amddiffynfa i'w chael.

Daliwyd ef gan gystudd blin am oddeutu pedwar mis o amser; ond trwy ei holl gystudd byddai yn fynych yn bendithio Duw am ei gynnal yn mhob ystormydd, ac un o'i bennillion hoffaf oedd,

'Bydd melys yn yr afon
  Gael craig a'm deil i'r lan,
Pan fyddo pob rhyw stormydd
  Yn curo ar f' enaid gwan.'

Wedi cael modd i ganmol Crist, a gorfoleddu llawer ynddo yn ei gystudd, aeth yn o dywyll ar ei feddwl am amryw ddyddiau. Ond goleuodd arno wedi hyny pan ddaeth y gair hwnw i'w feddwl fod, 'Duw yn canmol ei gariad tuag atom ni, oblegid a nyni etto yn bechaduriaid i Grist farw trosom.' Rhyfeddai ras Duw yn fawr yn hyn, ïe, gymmaint ag i dori allan i orfoleddu ac i ganmol. Aml y dywedai,

O! pe cawn fy nhraed yn rhydd
  O'r blin gaethiwed hyn,
Ni wnawn ond canu tra fawn byw
  Am ras Calfaria fryn.

Ar ol hyn aeth yn wanach wanach, ac ymddangosai arwyddion amlwg fod ei babell yn nesau i ymddatod. Ond er fod ei dŷ o bridd yn malurio, yr oedd cwmni ei Archoffeiriad yn gwneuthur iddo lawenhau yn y cyfyngder hwnw. 'Mae hwn yn Archoffeiriad yn dragywyddol,' meddai, 'ac Iesu yr Archoffeiriad a groeshoeliwyd i bechadur gael myned yn rhydd.'

Diolchai lawer i Dduw am iddo adael iddo lawn fwynhad o'i gof a'i synwyr hyd y mynydau olaf; ac effeithiol iawn ydoedd ei waith yn galw am ei deulu oll, gan ganu yn iach iddynt mewn tawelwch a sirioldeb.

Ar hyn ehedoddd y rhan anfarwol o hono i fyd yr ysbrydoedd ar y 19eg o Ionawr diweddaf, pan oedd yn 61 mlwydd oed, wedi bod yn aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd am 25 o honynt.—*A dynwyd allan o Lythyr*

Thos. Roberts.

# COFNODAU CYMDEITHASFA Y BALA.

## 1841.

### Cymedrolwr,—Y Parch. Henry Rees.

Nos Lun, Mehefin 14eg, cynnaliwyd Cyfeisteddfod i ymdrin â rhai pethau perthynol i'r Genadaeth Gartrefol.

Dydd Mawrth, y 15eg, am 10, eisteddodd Dirprwyaeth yr Athrofa; ac am 2, bu Cyfeisteddiad i ragolygu achosion cyffredinol y Gymdeithasfa.

Dydd Mercher, yr 16eg, am 8 yn y bore, cynnaliwyd Cyfarfod Pregethwyr.

Yn y cyfarfod hwn, ymddyddanwyd â brawd oedd i gael ei ordeinio, ynghylch ei brofiad ysbrydol.

Ymddyddanwyd hefyd â phump o bregethwyr ieuainc, gyda golwg ar eu derbyn i Gyfundeb y Gymdeithasfa. Hwy oeddynt, John Parry, yn ddiweddar o Manchester; Samuel Evans, Bala; David Williams, Maentwrog; John Jones, Penmachno; ac Ellis Evans, Llandrillo.

Holwyd hwy gan y Parch. Cadr. Williams am eu profiad; gan y Parch John Hughes, Sir Drefaldwyn, am eu hathrawiaeth; a chan y Parch. John Davies, Groes, am eu cymhelliadau i waith y weinidogaeth. Cafwyd pob lle i gredu eu bod yn ofni yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw ef. Yr oedd gwerth magwraeth grefyddol yn cael ei arddangos yn eglur oddiwrth eu hanes.

Wrth ymddyddan ynghylch yr athrawiaeth, sylwyd y dylem ymddarostwng ein holl syniadau i dystiolaeth Gair yr Arglwydd. Gyda golwg ar gamwedd Adda, dywed Gair Duw yn benderfynol, "Y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad." Ac "ni a wyddom fod barn Duw yn ol gwirionedd." Cyfiawn yw yr Arglwydd: os byddwn ni yn methu dirnad ei weithredoedd, byddwn ddystaw ger ei fron. Dylem fyned yn fynych yn ein meddyliau yn ol at y camwedd cyntaf. Un ffordd i ddyn astudio ei hun yw astudio ei deulu. Teulu wedi colli ein caritor ydym. Mae yn weddus fod ynom ryw deimladau sobr o warth a gofid oblegid y condemniad yr ydym yn dyfod i'r byd o danó; er na allant fod yr un fath deimladau â'r rhai oblegid pechodau gweithredol

Sylwyd fod effeithiolrwydd duwiol ac argraff ymarferol ar holl byncian y ffydd. Mae y cyfammod tragywyddol o bwys ymarferol. Mae wedi ei ddatguddio yn y Gair i'r dyben i bechadur ymaflyd ynddo. Mae bod Duw wedi meddwl am achub pechaduriaid yn nhragywyddoldeb, yn sail gobaith i bechadur, ac nid mewn un modd yn ddefnydd digalondid. Gwir yw fod y cyfammod gras fel modrwy gadarn, fel dolen ddi fwlch; ond dolen i ni ddodi rhaff i ymaflyd ynddi ydyw. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist;" dyna y gafael a geidw yr enaid.

Cynghorwyd pregethwyr ieuainc i ddarllen eu testunau yn uchel, fel y clywo yr holl gynnulleidfa eiriau Duw.

Rhoddwyd rhybudd iddynt i fod yn wagelog a gwyliadwrus arnynt eu hunain yn mhob man; na byddo dim tebyg i gellwair yn eu hymddygiadau tu ag at neb.

Am 11, cynnaliwyd y Cyfarfod Ordeinio. Dechreuwyd y cyfarfod hwn trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Cadwalader Williams. Gofynodd y Cymedrolwr, a oedd personau wedi cael eu dewis yn rheolaidd gan Gyfarfodydd Misol eu Siroedd, i'w neillduo i weini y Sacramentau. Atebwyd yn gadarnäol gan Mr. H. Jones, Llanidloes, un o'r Blaenoriaid; a hysbysodd pwy oeddynt, sef, Hugh Jones, David Rees, a David Charles, o Sir Feirionydd; William Griffiths, a Thomas Hughes, o Sir Gaernarfon; a Hugh Hughes, ac Ebenezer Davies, o Sir Fôn.

Yna darllenodd y Parch. William Havard y rhanau arferedig, sef 1 Tim. 3. 1—7; a Tit. 1. 7—9; ac a weddiodd ar yr achos. Wedi hyny y Parch. Richard Humphreys a draddododd Araeth ar Ddyledswydd yr Eglwys tuagat ei Gweinidogion. Y Parch. John Hughes, Pont Rhobert, a ofynodd y cwestiynau yn ol y drefn yn y Cyffes Ffydd; ac wedi cael atebion boddlonol, y Parch. William Roberts, Amlwch, a ofynodd yr arwydd o ddewisiad y Corff i'r brodyr hyn i weini yr ordinhadau o Fedydd a Swper yr Arglwydd yn ein plith; yr hyn a wnaed gan Gynnrychiolwyr y Corff trwy godiad dwylaw. Yna y Parch. John Jones, Tal-y-sarn, a roddodd y cynghor iddynt; a'r Parch. John Jones, Tremadog, a derfynodd trwy weddi.

Yr oedd yn wyddfodol yn y cyfarfod hwn heblaw y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, lïaws mawr o Athrawon ac Athrawesau ac Aelodau proffesedig; ac yr oedd yn dra amlwg fod Arglwydd Dduw Israel yn coroni y cyfarfod â'i bresennoldeb. (Ymddengys Crynodeb o'r Araeth a'r Cynghor yn argraffedig eto.)

Am 2, yn nghyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ymdriniwyd â materion amgylchiadol.

1. Cyhoeddwyd y Cymdeithasfäoedd dyfodol.

Y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn Mangor, Medi 7, 8, a'r 9fed, 1841

Cyfeisteddiad i fod am 3 o'r gloch, prydnawn dydd Mawrth, y 7fed.

Cymdeithasfa achlysurol MACHYNLLETH i fod, Awst 2, a'r 3ydd.

Cymdeithasfa flyneddol DOLGELLAU, Medi 29, a'r 30ain.

Cymdeithasfa Chwarterol y Deheudir i fod yn LLANGEITHO, Awst 10, a'r 11eg.

Y Gymanfa Gorfforedig i'r Dê a'r Gogledd, i fod yn ABERYSTWYTH, Awst 4, 5, a'r 6ed. Cyfeisteddiad rhagflaenorol i fod nos Fawrth, y 3ydd.

2. Rhoddwyd arwydd o dderbyniad i'r Pregethwyr a gyflwynwyd o Sir Feirionydd, ac â pha rai yr ymddyddanwyd yn Nghyfarfod y Llefarwyr.

3. Ymdriniwyd â rhai pethau perthynol i'r Achos yn Dublin, Liverpool, a Manchester. Penderfynwyd a'r i undeb fod rhwng yr Eglwysi yn Liverpool a Manchester megys pe byddent un Cyfarfod Misol, ac iddynt ymgyfarfod ar yr wythnos o flaen Cymdeithasfa Chwarterol y Gogledd.

4. Dymunwyd ar y Parch. W. ROBERTS, Amlwch, i bregethu yn y Gymdeithasfa, ar farwolaeth y Parch. JOHN ELIAS, (yr hyn a wnaeth).

5. Ymddyddanwyd cryn lawer ynghylch y Drysorfa, ac ynghylch yr Athrofa; ond ni ddeuwyd i un penderfyniad; eithr addoedwyd y materion hyn hyd y Gymanfa Gorfforedig.

6. Penderfynwyd, os bydd gan neb gwyn yn erbyn neb, o herwydd athrawiaeth neu rywbeth arall, fod i hyny gael ei hysbysu i'r dyn ei hun yn gyntaf; ac os na cheir boddlonrwydd yma, yna dyger y peth yn rheolaidd i'r Cyfarfod Misol, ac oddiyno i'r Gymdeithasfa.

Am 8 o'r gloch, bore dydd Iau, bu cyfarfod drachefn gan y Pregethwyr a'r Blaenoriaid; ac ynddo,

1. Trefnwyd i'r Parch. RICHARD JONES, Llanfair, fyned i Lundain yn yr Hydref nesaf.

2. Gwnaed rhai sylwadau ar farwolaeth y Parch. JOHN ELIAS. Yr ydym wedi colli "gwr mawr a thywysog" o'n mysg; yr hwn a'n blaenorai yn nghyfarfodydd neillduol y Gymdeithasfa, ac a oedd yn dal y lle enwocaf gyda y gwaith cyhoeddus. Cyfodwyd ef gan Dduw o sefyllfa isel i le mawr; clyw-wyd "lleferydd yr Arglwydd mewn grym" yn ei bregethau; a gwnaethpwyd pethau mawrion trwyddo. Yn awr y mae wedi myned. Dylem deimlo yn ddwys, a chwilio ein ffyrdd rhag fod drygfyd i ganlyn ar ol hyn. Yr arwydd debycaf o ddrygfyd yw fod y cyfiawn yn cael ei gymeryd ymaith, heb neb yn gosod hyn at eu calon. Llafuriwn am i ni sydd gyda'r gwaith yn bresennol fod yn un yn nghwlwm cariad. Mae gwiail gweinion yn annhoradwy pan wedi eu rhwymo yn un.

3. Hysbyswyd am Bortread y Parch. JOHN EVANS, Cross Inn. Mae darlun cywir a hardd o'r Gweinidog parchedig ac enwog hwn, wedi ei gyhoeddi; a chyflwynir yr holl elw a geir oddiwrth ei werthiant at achos crefydd yn ein Cyfundeb. Gwerthir ef am swllt yr un. *India Proofs*, 2s. Da fyddai i bersonau addas wneuthur ymdrech i'w werthu yn eu hardaloedd. Anfoner at *Mr. G. Harris, Draper, Water Street, Carmarthen.*

4. Crybwyllwyd am y ddyled oedd yn aros ar y Genadaeth Gartrefol yn Ngororau Siroedd Fflint a Threfaldwyn. Yr oedd y casgliadau a ddygid o'r Siroedd i'r Bala yn rhy fychain i gyfarfod â'r gofynion. Cynygwyd gwneuthur Casgliad yn y fan yn mysg y Pregethwyr a'r Blaenoriaid. Gwnaed hyny, a chafwyd y swm o £41 17s. 7c. (Gwnaed Casgliad drachefn ar y maes yn yr oedfa ddeg, a chafwyd yno y swm o £37. 4s. 5c.)

5. Ymdriniwyd âg un o'r materion a fu dan sylw yn Nghymanfa y Drefnewydd, sef, Hawl plant credinwyr i aelodaeth eglwysig.

Mae yn amlwg i'r Arglwydd gymeryd Abraham fel tad teulu eglwysig; ac âg ef y gwnawd y cyfammod eglwysig cyntaf erioed. Mae natur y cyfammod hwn wedi ei eirio gan Dduw ei hun. "Byddaf yn Dduw i ti, ac i'th had gyda thi." Yn awr, "a wrthododd Duw ei bobl?" a wrthododd efe hwy o fod yn bobl gyfammodol iddo? Na: "ni wrthododd Duw ei bobl, yr hwn a adnabu efe o'r blaen." Nid oedd newidiad yr oruchwyliaeth yn wrthodiad o anghenrheidrwydd ar y teulu cyfammodol. Eu hanghrediniaeth a'u gwrthodiad o'r Messïa oedd sylfaen eu toriad ymaith, ac nid newidiad yr oruchwyliaeth. Caredigion Duw ydynt eto, oblegid y tadau. Cymeryd i mewn deulu estronol at y teulu yma a ddarfu yr Arglwydd. "Mae y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, ac mi a wnaf â thŷ Israel, ac â thŷ Juda" sef â'r teulu a hanodd o Abraham "gyfammod newydd." Yn awr y mae y cenedloedd wedi eu dwyn atynt i'r cyfammod hwn; oblegid dywed Paul fod y cenedloedd wedi eu gwneyd "yn gydetifeddion, ac yn gyd-gorff," nid yn gorff newydd, ond yn un â'r hen, "ac yn gydgyfranogion o'i addewid ef yn Nghrist, trwy yr efengyl." Pa addewid oedd hon? Yr addewid, "Byddaf yn Dduw i ti, ac i'th had." Dyma y rhai oedd o'r blaen yn mhell, yn gyd-gyfranogion â'r hen deulu o'r addewid hon. Ac felly y mae rhagorfraint had credinwyr yr un yn awr âg o dan yr hen oruchwyliaeth. Yr apostol Pedr, a ddywedodd ar ddydd y Pentecost, "I chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, cynifer âg a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato." Yr oedd yma yn dangos

nad oedd dyfodiad y Messïa, a sylfaeniad yr oruchwyliaeth efengylaidd wedi dyddymu yr hen berthynas. "I chwi y mae yr addewid," sef yr addewid o'r Ysbryd Glan. "Tywalltaf fy Ysbryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth." Y mae hon, fel pe dywedasai Pedr, yn awr yn dechreu cael ei chyflawni arnoch; ac y mae i bara mewn grym o hyd. "Ac i'ch had." Ai nid ydyw i fyned ymmhellach na'r Iuddewon? Ydyw. "Ac i bawb yn mhell, cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato." Darfu i Grist wrth farw ar y groes ddatted canolfur y gwahaniaeth; fe "lwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom, fel y delai bendith Abraham ar y cenedloedd;" a'r fendith hono yw yr addewid a goffäwyd,—"Byddaf yn Dduw i ti ac i'th had." Mae gan blant credinwyr hawl i aelodaeth eglwysig yn eu perthynas â chyfammod Duw yn ol y gosodiad o hono yn yr efengyl. Mae y sacramentau yn seliau y cyfammod newydd. Diau na ddiolcha Duw i neb am fyned â seliau y cyfammod o'i dŷ, ac nad dieuog ganddo y neb a elo â gwrthddrychau y cyfammod o'i dŷ.

Mae hâd y cyfiawn yn gorwedd yn ystâd mabandod yn deulu Duw; maent i'w golygu fel ei eiddo. "Sanctaidd ydynt." Yn mysg y saint y maent i gael eu hystyried, ac fel saint y mae ymddwyn tuag atynt. Fel y cyfryw y maent i dderbyn meithriniaeth eglwys Dduw. Ni buasai yr Arglwydd yn eu gosod allan yn ei Air fel hyn, oni buasai fod torf aneirif o honynt i fod yn saint mewn gwirionedd; mae etholedigaeth gras yn rhedeg yn nerthol ar hyd y ffordd yma. Tra y maent yn y cyfammod o ran ei ragorfreintiau allanol, y mae gan rieni le cryf i ddysgwyl am fendithion ysbrydol iddynt; ac y mae rhwymau arnynt a seiliau ganddynt i fod yn daer ger bron Duw am iddo gofio ei gyfammod a'u hachub byth.

Dau anghysonedd ac esgeulusdra ydyw; ar y naill law, cadw y plant yn ol oddiwrth y breintiau a berthyn iddynt, trwy beidio eu cyflwyno yn y bedydd i Dduw a'i eglwys; ac ar y llaw arall, eu bedyddio a pheidio eu dwyn i fynu yn gyfatebol. Mae yn perthyn i'r cyfammod reolau yn gystal â rhagorfreintiau: 'bedyddio, gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynwyd.' Ac os byddwn yn esgeulus o gyflawni ein dyledswydd at y plant yn ol rheolau Pen yr eglwys, yr ydym yn wan o'n tu ni i ddysgwyl am gyflawniad yr addewid o du Dduw. Mae cyflawni y dyledswyddau a orchymynodd Duw, yn foddion i gyrhaedd y bendithion a addawodd. Wrth i ni ddysgu y plant, gallwn ddysgwyl i'r Ysbryd Glan eu goleuo. Yr oedd yr Arglwydd yn achwyn fod Israel yn cymeryd y plant a anwyd iddo ef, ac yn eu rhoddi yn ebyrth i'w heilunod; y mae llawer eto yn bedyddio eu plant i Dduw, ac yn eu magu i fyd a chnawd. Mae yn ddyledswydd ar rieni crefyddol ac ar yr eglwys, i annog y plant i ymaflyd yn eu holl ragorfreintiau eglwysig mor fuan âg y delont i gyrhaedd gwybodaeth addas am danynt.

Y mae bendith yr Arglwydd i'w chanfod yn eglur ar y teuluoedd a'r eglwysi sydd yn ffyddlawn yn hyn o ran. Rheol dda i adnabod pob peth yn y byd, yw edrych ar ei effeithiau. "Pob pren a adwaenir wrth ei ffrwyth." A gallwn apelio at hyn yn y mater yma. Beth yw ffrwyth y bedyddio a dwyn y plant i fynu yn yr eglwysi? Y mae genym filoedd lawer o grefyddwyr wedi eu magu yn ein heglwysi, ac arnynt arwyddion amlwg iawn o wir droedigaeth. Beth bynag a ellir ei brofi neu ei wrthbrofi ynghylch aelodaeth plant crefyddwyr fel pwnc, ni roddwn hyn i fynu tra yr ydym yn cael lles ymarferol oddiwrtho; tra yr ydym yn cael bendith ynddo, ni roddwn y swp hwn dan ein traed.

R. E. Ysgr.

---

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

## CYFARFOD BLYNYDDOL CAERLLEON.

Cynnaliwyd y cyfarfod hwn eleni Gorph. 11eg a'r 12ed, 1841. Trefn y moddion cyhoeddus oedd fel y canlyn:—Gorph. 11eg, am 6 o'r gloch bore, pregethodd y Parch. Moses Parry, Dinbych, oddiwrth Luc 15. 7. Am 10, pregethodd y Parch. John Davies, Nerquis, oddiwrth Gal. 3. 13, 14; a'r Parch. Henry Rees, oddiwrth Eph. 2. 18. Am 2, y Parch. R. Williams, Liverpool, oddiwrth Eph. 6. 24; a'r Parch. M. Parry, oddiwrth Iago 5. 19, 20. Am 6, y Parch. R. Williams, oddiwrth Heb. 4. 9; a'r Parch. H. Rees, oddiwrth Marc 1. 14, 15.

Gorph. 12, yn y bore, cadwyd cyfarfod eglwysig, lle yr ymdriniwyd yn felys ac adeiladol, ar Freniniaeth Crist, &c. Am 6, pregethodd y Parch. R. Williams, oddiwrth 1 Ioan 1. 3; a'r Parch. M. Parry, oddiwrth Esa. 53. 12.

Cawsom arwyddion amlwg o bresennoldeb yr Arglwydd yn y cyfarfod. Traethid trefn gras i godi pechadur, yn oleu a chadarn iawn. Hyderwn y bydd ffrwyth lawer i'w gael mewn canlyniad iddo; ac na bydd llafur Cenadon Hedd, gyda chenedl y Cymry, yn y ddinas hon, yn myned yn ofer.

Sylwedydd.

### CYMDEITHASFA LLANGADOCK.

MEHEFIN 28, 29, 30.

Y moddion cyhoeddus oeddynt fel y canlyn :—Prydnawn dydd Llun, am 6, yn yr Addoldŷ, pregethodd y Parch. D. Evans, Capel Drindod, oddiar Ps. 87. 3, a'r Parch. T. Richards, Abergwaen, oddiar Gal. 6. 15. Prydnawn dydd Mawrth, am 4, ar y maes, gweddïodd y Parch. J. Jones, Llanbedr, a phregethodd y Parch. W. Griffiths, Goror, oddiar Ioan 17. 17, a'r Parch. J. Evans, Cross Inn, oddiar Rhuf. 4. 5. Boreu dydd Mercher, am 6, gweddïodd y Parch. D. Richards, Pentir, a phregethodd y Parch. T. Davies, Llanwyddelan, a'r Parch. R. Lumley, Llanfair, oddiar Phil. 4. 7. Am 10, gweddïodd y Parch. J. Morgan, Drefnewydd; a phregethodd y Parch. T. Phillips, Gelli, (yn Saesoneg) oddiar 1 Ioan 5. 6. a'r Parch. T. Richards, yn Gymraeg, oddiar Ioan 5. 37. Am 2, gweddïodd y Parch. E. Davies, Brilly; a phregethodd y Parch. E. Williams, Sir Gaernarfon, oddiar Rhuf. 5. 8. a'r Parch. John Williams, Llanfachreth, oddiar Mat. 20. 6, 7. Am 6, gweddïodd y Parch. D. Davies, Aberporth; a phregethodd y Parch. J. Williams, Rhaiadr, oddiar 1 Cor. 15. 55, 56, 57. a'r Parch. J. Jones, Blaenanerch, oddiar Ioan 3. 36.

Yr oedd y gymdeithasfa hon yn lluosocach nag un a welwyd yma o'r blaen, ac arwyddion amlwg fod y cenadon yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddynt.

Dangosodd trigolion y dre a'i hamgylchoedd, garedigrwydd mawr iawn at y Cyfarfod, ni chafwyd yma erioed gyfarfod mwy cysurus, y dorf yn lluosog, a brawdgarwch yn blodeuo, ac undeb a chydgordiad ar gynydd. Cawsom hin gysurus i wrando yn nghanol tywydd garw. A gobeithio y bydd i'r hyfrydlais a glywsom adael ei argraff a'i effeithiau daionus ar filoedd.

W. JONES.

---

### CYMMANFA FLYNYDDOL LLANSANTFFRAID, GLAN CONWY.

CYNNALIWYD y Cyfarfod uchod dydd Mercher a Iau, Gorph. 7fed a'r 8fed.

Nos Fercher, gweddïodd Mr. Benjamin Jones, Treffynon, a phregethodd y Parch. Robert Owen, Rhostryfan, ar Ioan 11. 11.

Dydd Iau am 6, gweddïodd y Parch. Thos. Hughes, Gatehouse, a phregethodd Mr. John Thomas, Bala, ar Ioan 16. 8.

Am 8, cadwyd cyfarfod eglwysig, pryd yr ymdriniwyd yn ddeheuig â'r Pechod o Falchder, wreiddyn a changen, y Gras o ostyngeiddrwydd, ac â'r ddyledswydd bwysig a'r fraint oruchel o weddïo.

Am 10, gweddïodd y Parch. W. Jones, Rhuddlan, a phregethodd Mr. Benjamin Jones, ar 1 Pedr 1. 16. a'r Parch Thomas Hughes, ar Dat. 3. 20.

Am 2, gweddïodd Mr. Roland Davies, Manchester, a phregethodd y Parch. Thos. Hughes, ar 2 Cor. 12. 9. a'r Parch. W. Jones, ar Mat. 19. 27.

Am 6, gweddïodd Mr. R. Hughes, Conwy, a phregethodd Mr. Benjamin Jones, ar Lef. 26. 11, 12. a'r Parch. R. Owen, ar Esa. 34. 16.

Yr oedd y pregethu yn fywiog, a gwrandawiad astud iddynt, a hyderir na ddileir eu hargraff oddiar feddyliau y gwrandawyr. Hwn oedd yr ail gyfarfod blynyddol a gawsom. J. E.

---

## HANESION GWLADOL.

DYDD Mawrth, Mehefin 22, oedd y diwrnod y digorphorwyd y Senedd gan y Frenhines yn bersonol. Ymgasglodd torfeydd aneirif yn y Parciau, ac ar hyd y White Hall o'r Horse Guards i waered i'r Parliament Street, hyd at y fynedfa i mewn i Dŷ yr Arglwyddi. Am haner awr wedi un ar gloch cychwynodd y Cydgordaith Frenhinol o Lŷs Buckingham yn y wychdrefn arferol, y Frenhines a'i Uchder Brenhinol y Tywysog Albert, ac yn eu dilyn amrywiol Swyddogion ei theuluwriaeth. Fel yr oedd ei Mawrhydi a'i Phriod yn myned trwy y torfeydd o edrychwyr, bloeddient a llawenychent yn ddirfawr; ac ar eu dyfodiad at Dŷ yr Arglwyddi saethwyd 21 o ergydion o'r Manguelau mawrion.

Ar ei mynediad i mewn derbyniwyd hi gan yr Arglwydd Ganghellwr, Arglwydd Melbourne, ynghyd a Swyddogion goruchel ereill y Wladwriaeth.

ARAETH Y FRENHINES.

'*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,*

'Oddiar gyflawn ystyriaeth o amgylchiadau goruchwyliaethau y llywodraeth mi a ddaethum i benderfyniad am ohirio y Senedd i'r dyben o'i digorphori yn ddioed.

'Mae goruchel bwysfawrogrwydd masnach, a diwydrwydd y deyrnas, a'm hawyddfryd am i angenrheidiau gwasanaeth y Llywodraeth gael eu darparu yn y modd ysgafnaf i'r Wladwriaeth wedi bod yn annogaethol i mi ymgyrchu at y moddion a ymddiriedwyd i mi gan ansawdd trefn y Llywodraeth, i gael gwybod meddwl a barn fy mhobl ar yr achosion ag sydd yn perthyn mor agos at eu cysur a'u dedwyddwch.

'*Foneddigion Tŷ y Cyffredin,*

'Yr wyf yn ddiolchgar i chwi am eich parodrwydd i drefnu y swmiau o arian ag oedd yn angenrheidiol er cyfnerthiad yr achosion Gwladwriaethol a Milwriaethol.

'*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,*

'Yn yr arferiad o'm Rhagorfraint, ni ddichon fod genyf un dyben arall ond sicrhau hawl a dwyn yn mlaen ddedwyddwch

fy neilliaid, ac yr wyf yn ymorphwys ar gydweithrediad fy Senedd, a brwdfrydedd llawl fy mhobl, am gynnorthwy yn yr ymarferiad o'r cyfryw fesurau ag fyddo yn angenrheidiol i ddal i fynu y sefyllfa oruchel yn mhlith cenhedloedd y byd, yr hon y rhyngodd bodd i Ddwyfol Ragluniaeth osod y deyrnas hon."

Darllenodd ei Mawrhydi yr Araeth uchod mewn llais cryf ac eglur iawn, yn enwedigol y dosparth sydd yn dechreu fel hyn, "Yn yr arferiad o'm Rhagorfraint, &c. Yna hi a aeth allan o'r Tŷ yn yr un drefn ag yr aethai i mewn. Ac ar ei mynediad yn ol i'w Llŷs Brenhinol, yr oedd bloeddiadau y bobl oddeutu y ffordd yn uchel a dyrchafedig iawn.

Y dydd canlynol, Cyhoeddwyd fod y Senedd wedi cael ei digorphori, ac y ceuglir yn nghyd Aelodau y Tŷ newydd erbyn Awst 19eg, pryd y dechreuir ar achosion pwysfawr y Llywodraeth fel arferol.

---

LLYFRGELL YR ATHROFA.

(Parhad o du dal. 95.)

GAN MR. JOHN MORRIS, 144, Bridge Street, Caerlleon.

| | | |
|---|---|---|
| Dr. Littleton's Latin Dictionary .. | 1 | Gyf. |
| Dr. Quincy's Lexicon Physico-Medicum .................... | 1 | „ |

GAN MR. OWEN JONES, WYDDGRUG.

| | | |
|---|---|---|
| Esponiad Beirniadol .............. | 2 | „ |
| Dr. Owen ar Waith yr Ysbryd .... | 1 | „ |
| Entick's Latin Dictionary ........ | 1 | „ |
| Perrin's French Grammar ...... | 1 | „ |
| Scriptore's Græci ................ | 1 | „ |
| Greek Lexicon (Schrevelius)...... | 1 | „ |
| Dalzel's Collectanea Græca Majora | 1 | „ |

GAN MR. EDWARD ELLIS, SHIP BUILDER, BANGOR.

| | | |
|---|---|---|
| English and Spanish Dictionary .. | 1 | „ |
| Taciti Opera ........ ...... .... | 2 | „ |

GAN MRS. JANE ROWLANDS, FFLINT.

| | | |
|---|---|---|
| Homeri Opera.................... | 1 | „ |

GAN MR. THOMAS, ARGRAFFYDD, CAERLLEON,

| | | |
|---|---|---|
| Dr. Alexander Keith's Sign of the Times ...... .............. | 2 | „ |
| Dr. A. Keith's Demonstration of the Truth of the Christian Religion | 1 | „ |

GAN MR. ROBERT HUGHES, NANT-YR-HELFA, GER BALA.

| | | |
|---|---|---|
| Sauler's Theory and Practice of French .................... | 1 | „ |

*(I'w barhau.)*

---

DAMWEINIAU.

DAMWAIN ALAETHUS.—Yn mis Mai diweddaf, yn mhentref Tref-draeth, Môn, cymmerodd y ddamwain alaethus ganlynol le: pan oedd bachgen, o'r enw Owen Jones, o blwyf Ceirchiog, yn gyru trol âg un ceffyl, i Falltraeth i gyrchu glo, a hi etto yn dywyll, dychrynwyd yr anifail gymmaint, gan ddrychiolaeth o *wr gwellt*, a osodwyd ger llaw y ffordd gan ryw ddyhirogod anwâr, nes y gwylltiodd ymaith ar garlam ofnadwy, ac y tynodd y drol dros y bachgen fel y bu farw yn y fan. Y dynion gweigion a fu yn treulio eu hamser gwerthfawr i gynnal i fynu hen arferion annuwiol, ag sydd yn warth i ddynoliaeth, i ba le y dymunent ffoi pryd y gelwir hwynt i roddi cyfrif am eu gweithredoedd ger bron Barnydd yr holl ddaear? Os gallant ddianc o afael cyfraith y tir, dian na ddiangant yn ddieuog o waed gwirion yn ei olwg Ef. Y mae yn gysur i fy meddwl, fod y bachgen a laddwyd yn hollol wahanol ei fuchedd i'r gwylliaid hyn; yr oedd yn ŵr ieuanc hynod o ddiwyd gyda moddion gras, yn debyg i un a fyddai dan oruchwyliaeth gadwedigol Ysbryd y gras. JOHN ROWLANDS.

*Aberffraw, Mon.*

DAMWAIN ALARUS.—Prydnawn dydd Iau, y 17 o Feh. yn ngloddfa Dorothea, Nant-y-lle, ger Caernarfon, cafodd un o'r enw Evan Ellis, ei symud yn ddisymwth i fyd yr ysbrydoedd, trwy i gareg ddisgyn arno. Yr oedd yn aelod parchus gyda'r Trefnyddion Calfinaidd er's amrai flynyddau. Gadawodd wraig a phlentyn i alaru ar ei ol. 'Byddwch chwithau barod,' ydyw'r alwad.

EUBULUS.

---

MARWOLAETHAU.

Bu farw, o fewn chwech wythnos i'w gilydd, y tri chrefyddwr hynaf o fewn plwyf Ffestiniog; a'r tri hyny yn aelodau yn Nghorph y Trefnyddion Calfinaidd. William Jones, Cae Iago, Edward Hughes, Ffestiniog, a Robert Richard, Pengwern; a bu dau o honynt (sef W. Jones a R. Richard) yn proffesu am hanner can mlynedd; a bu E. Hughes am 45 o flynyddoedd. Bu y tri wyr hyn mor ddiddolur i Eglwys Dduw trwy ystod eu gyrfa grefyddol, fel na orfodwyd rhoddi cerydd iddynt yn eu holl oes. Ac yr oeddynt dros 20 ml. hŷn na neb o'r crefyddwyr sydd ar eu holau yn yr ardal hon. J. JONES.

Dydd Mercher, Meh. 16, 1841, bu farw Mr. David Williams, gynt o'r Biliglas, ger Llanymddyfri, Swydd Gaerfyrddin, yn 82 mlwydd oed. Bu yn aelod eglwysig yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd 61 o flynyddoedd. Bu 45 mlwydd yn Henuriad yn Eglwys Cilcwm. Dydd Sadwrn, yn Nghapel y Tabernacl, Llanymddyfri, y pregethodd Mr. Jona Phillips ar yr achlysur, oddiar 2 Tim. 4. 7. Yna hebryngwyd ei ran farwol gan dyrfa luosog, i fynwent Cilcwm, hyd y boreu pan fydd y ddaear yn bwrw allan y meirw.

*Llandovery.* DANIEL WILLIAMS.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXIX.] MEDI, 1841. [LLYFR XI.

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd gan y diweddar Barch.* JOHN ELIAS, *yn Nghyfarfod Misol Caernarfon, Ionawr* 30, 1835, *wedi ei hysgrifenu ganddo ef ei hun.*

1 PETR 2. 17.

"Perchwch bawb. Cerwch y brawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin."

Y MAE Crist yn rhoddi ei iau ar ei holl ddysgyblion; etto iau esmwyth ydyw. Y mae efe yn llywodraethu y rhai y mae efe yn eu hachub; ac wedi gosod rheolau iddynt fyw wrthynt ym mhob sefyllfa ac amgylchiad ar eu taith trwy y byd.—Rheolau i ymddwyn tu ag at Dduw a dynion yn gyffredinol; ac mewn graddau a pherthynasau neillduol hefyd.

1. Y mae y bennod hon yn cynnwys rheolau i rai uchel eu breintiau. Rhai wedi eu hail-eni, adn. 2. Rhai wedi profi yr Arglwydd yn dirion, adn. 3. Rhai wedi dyfod at Grist, adn. 4. Meini bywiol, rhai yn credu, adn. 5, 6. Rhai wedi eu galw i oleuni, a chael trugaredd, adn. 9, 10. Pererinion ar y ddaear, adn. 11. Sylw. Lle y gwelwn nad yw gras Duw, a'r breintiau mwyaf, yn rhyddhau neb i bechu.

2. Amryw gynghorion i'r rhai hyny.

(1.) I ymgadw rhag chwantau cnawdol, adn. 11.

(2.) I fod a'u hymarweddiad yn onest yn y byd, adn. 12.

(3.) I ymostwng i'r awdurdodau goruchel, &c. adn. 13, 14.

3. Rhesymau i'w hannog i'r pethau hyny.

(1.) Rhag drygu yr enaid, adn. 11.

(2.) Er gogoniant Duw, ac anrhydedd crefydd, adn. 12.

(3.) Gan mai dyna yw ewyllys Duw, adn. 15.

(4.) I gau genau erlidwyr ffol, adn. 10, 11.

(5.) Rhag camddefnyddio rhyddid yr Efengyl, adn. 16.

Sylw. Y mae buchedd sanctaidd yn ffrwyth naturiol gwir grefydd; ac yn hollol angenrheidiol i harddu proffes o honi. Nid yw crefydd yn dda os nad yw y ffrwythau yn dda.

Yn y testyn y mae swp gwerthfawr o orchymynion dwyfol, byrion ac eglur iawn. Cynnwys ein dyledswyddau at Dduw a dynion. Y mae rheolau Duw i ni i fucheddu yn eglur. Diar. 8. 8.

Cymmerwn y pedwar gorchymyn hyn fel pedwar pen i sylwi arnynt.

I. *Perchwch bawb.* Yr un peth a "châr dy gymmydog." Peth gwrthwyneb i fod a'n serch arnom ein hunain. 2 Tim. 2. 3. Gwrthwyneb i hunan-dyb, a diystyru ereill. Luc 18. 9. Gorchymynir i ni beidio diystyru y tlawd, Diar. 17. 5. ond bod yn ostyngedig; rhoddwn barch i bob graddau. Phil. 2. 3. Rhuf. 12. 10. a 13. 9, 10. Parchu dynion o bob gradd.

1. Fel creaduriaid Duw, a'n cyd-greaduriaid ni. Act. 17. 26.

2. Os eu parchu felly ni wnawn gam â hwy, Gen. 9. 6. Ni ddiystyrwn, ni ddrygwn, ac ni hudwn hwy i ddrygioni.

3. Parchu dynion er eu bod yn ddrwg; ond nid parchu eu drygioni, ond tosturio wrthynt, gweddïo drostynt, a'u cynghori.

4. Parchu y tlawd a'r cystuddiol, tosturio wrthynt, a'u cynnorthwyo.

5. Parchu dynion yn ol eu gradd, sefyllfaoedd, perthynasau, &c. rhoi anrhydedd i rieni, henaint, ac uchafiaid, &c. O mor ddedwydd fyddai y byd pe byddai pawb yn byw yn ol y gair hwn!

II. *Cerwch y brawdoliaeth.* 1. Beth yw y brawdoliaeth? Cymdeithas o frodyr, teulu y ffydd. Gal. 6. 10. Y mae y gwir Gristionogion yn frodyr mewn ystyr uwch na bod o un gwaed. Y maent wedi eu geni oddi uchod. Ioan 3. 6. (1.) Duw yw eu Tad. (2.) O hâd anllygredig y ganed hwy. (3.) Yr eglwys yw eu mam, Gal. 4. 26. (4.) Crist yw eu brawd hynaf. Heb. 2. 11. Y cyntaf-anedig yw efe, Rhuf. 8. 29. Brodyr sanctaidd ydynt hwy, Heb. 3. 1. Crist yw sylfaen a chanol-bwynt y frawdoliaeth: y rhai sydd ynddo ef, gwir frodyr ydynt oll. 2. *Am garu y brawdoliaeth.* Caru y brodyr â chariad o natur uwch na charu cymmydog; eu caru fel brodyr, am eu bod felly; ymhyfrydu ynddynt. Ps. 16. 3. Gorchymyn Crist hyny yn fynych. —Eu caru, gweddïo drostynt, dwyn eu beichiau, eu hadeiladu, maddeu iddynt pan doseddont i'n herbyn, &c. Eu caru

fel brodyr. 1 Petr 3. 8. 1 Ioan 3. 14, 16. a 2. 9, 11.

III. *Ofnwch Dduw.* Sef, â pharchedig ofn, Heb. 12. 28, fel plant yn ofni tad tirion, neu wraig yn ofni ei phriod hoff.

1. Y mae crefydd brofiadol, ymarferol, yn myned dan yr enw ofni Duw yn y Bibl yn fynych. Preg. 12. 13.

2. Y mae yr efengyl yn galw am ofni Duw. Dat. 14. 6, 7. Heb. 12. 9. 1 Petr 1. 14, 17. Ps. 112. 9. Ei ofni a'i wasanaethu.

3. Lle y mae gwir ofn duwiol, y mae ei ffrwythau yn dda.

(1.) Casâu drygioni. Ps. 97. 10. Diar. 8. 13. Rhuf. 12. 9.

(2.) Cilio oddiwrth ddrwg, ei ochel. Diar. 3. 7. a 16. 6.

(3.) Ni allant wneud ac ymddwyn fel ereill. Neh. 5. 15.

(4.) Gofal mawr rhag digio a dianrhydeddu Duw. Lef. 19. 14.

(5.) Ei addoli yn fanwl, ceisio byw yn ol ei air. Luc 1. 6.

(6.) Peidio attal dim oddiwrth Dduw a ofyno genym. Gen. 22. 12.

Sylw. Y mae dynion wrth natur heb ofn Duw. Deut. 5. 29. Ps. 36. 1, 2. Un o fendithion y cyfammod gras ydyw. Jer. 32. 39, 40.

IV. *Anrhydeddwch y brenin.* Megys y goruchaf o ddynion, adn. 13, fel gweinidog Duw, wedi derbyn ei awdurdod oddi wrtho ef. Rhuf. 13. 1—4. A chanddo awdurdod i osod swyddogion ereill dano. 1 Petr 2. 14. Yr ydym ni i ymostwng i'r rhai hyny.

Yr ydym i anrhydeddu y brenin,

1. Trwy gydnabod ei uchafiaeth, a'i fod yn ei swydd o osodiad Duw. Gwas Duw, a thad ei bobl. Preg. 8. 2.

2. Trwy beidio meddwl na dywedyd yn ddibarch am dano. Diar. 24. 21. Preg. 10. 20. Exod. 22. 28. Act. 20. 5. "Na felldithia," &c.

3. Trwy weddïo a diolch yn fynych drosto. 1 Tim. 2. 1, 2.

4. Trwy ufuddhau i'w gyfreithiau, tra y galler gwneuthur felly heb dori cyfraith Duw. Rhuf. 13. 2, 5.

5. Trwy dalu yn ufudd bob treth, neu deyrnged, a osodo efe arnom, heb rwgnach na dadl. Felly yr oedd Crist yn gwneuthur, ac felly y mae ei reolau i'w ddysgyblion. Rhuf. 13. 7. Ac felly y mae y gwir Gristionogion yn ymddwyn.

Sylw. Nid ydym i ddysgu i'r brenin lywodraethu, nac i feio arno am ddewis swyddogion dano, nac i rwgnach talu teyrnged i gynnal y llywodraeth, a threfniadau daionus yn y wladwriaeth. Bod yn amddifad o ysbryd Cristionogaeth a fyddai hyny. Y mae y Bibl yn dysgu gwell ffordd i ni.

6. Rhai annuwiol, heb gymmeryd Crist i'w llywodraethu, na'r Bibl yn rheol, sydd yn diystyru y brenin a'r llywodraeth. 2 Petr 2. 10. Judas 8. Daw barn arnynt. Rhuf. 13. 2.

CYMHWYSIADAU.

1. Gwelwn ragoroldeb Cristionogaeth, nid yn unig yn cyhoeddi ffordd i achub dynion, ond hefyd yn eu dysgu a'u trefnu yn y ffordd i fod yn sanctaidd a dedwydd yn y byd hwn.

2. Ofni Duw ydyw sylfaen pob ymddygiad addas at ddynion o bob gradd; a diffyg ofn Duw ydyw gwreiddyn pob ymddygiad anweddus a drwg at bob dyn. Gen. 20. 10. Luc 18. 2.

3. Lle y mae ofn Duw y mae gochel pob drwg. Ps. 111. 10. Diar. 1. 7. Yno y mae parchu dynion. Diar. 23. 17. Phil. 2. 3.

4. Y mae anrhydeddu y brenin, y swyddogion, a'r uwchafiaid, yn gyssylltiedig âg ofni Duw. Lef. 19. 32. Diar. 24. 21. Preg. 8. 2. Exod. 20. 12. 1 Cron. 29. 20. Mat. 22. 21. Rhuf. 13. 7. Ephes. 5. 21 1 Tim. 6. 1.

5. Y mae proffesu duwioldeb heb y rhinweddau hyn yn ddianrhydedd i grefydd; ac nid yw yn ogoniant i Dduw, nac yn lles nac adeiladaeth i ddynion.

6. Gweddiwn yn daer am i Dduw ein dysgu i'w ofni ef. Ps. 86. 11. Y rhai hyny sydd yn ddedwydd. Ps. 34. 9, 10.

Sylw. Ymofynwn am grefydd a'i holl ffrwythau yn profi ei bod yn dda. Crefydd yn ei chanmol ei hun i rai digrefydd, ac yn tueddu i'w hargyhoeddi, a gostegu erlidwyr anwybodus. Cael bod yn Nghrist, sef gwir gredu ynddo, yna bydd y dyn yn greadur newydd, 2 Cor. 5. 17. a bydd ei "ffrwyth yn sancteiddrwydd."

Ofer fydd pob crefydd arall yn angeu a barn. Och! gymmaint o siaradwyr am grefydd a siomir yn y diwedd!

O. Y. Y mae yn hysbys i ddarllenwyr y Drysorfa i'r Parch. J. Elias ddyoddef llawer o gableddau yn ei ddydd oddiwrth y pin a'r tafod, yn enwedig gan rai o Lundain a Chaernarfon. Do, bu y saethyddion yn chwerw wrtho ef, ac a saethasant, ac a'i casasant ef, nid yn unig yn ei fywyd, ond wrth goffâu ei farwolaeth hefyd!* Dywediad rhai o'i erlidwyr oedd, nad Mr. Elias yn *bersonol* oedd gwrthddrych eu casineb, ond ei *bolitics*; yn awr dyma ei *bolitics* ger gwydd y byd, a thybiaf mai gormod gorchwyl i uffern na'i phyrth ddangos un rhan o honynt yn groes i *bolitics* y Bibl sanctaidd.

D. LLOYD.

*Pontytwr.*

---

* Gwelir hyn yn y papyryn dienw a elwir "Cylchgrawn Rhyddid," am Gorphenaf, 1841.

## CRISTIONOGAETH YN RHYDDID.

NID oes odid un gair mor aml ar wefusau dynion a "rhyddid;" ond nid aml y mae un gair a chyn lleied yn deall beth yw. Dyma arwyddair dymunol pob gwladeiddiwr ymbleidgar, ac ymffrost penaf pob bradwr digywilydd. Ond, yn gyffredin, y rhai sydd yn fwyaf eu trwst ynghylch rhyddid sydd yn deall lleiaf beth yw. Braidd na chlywir ambell adyn yn haeru, mai rhyddid yw cael hollol waredigaeth oddiwrth bob cyfraith o bob rhyw, a chyflawn ryddhad oddiwrth bob awdurdod o bob math; rhyddid i ddyn wneud y peth a fyno, fel y myno, a phan y myno—drwg neu dda. Dychymmygir gan rai fod cyfreithiau o bob rhyw yn groes i bob rhyddid, ac nad yw plygu i un math o reolau crefyddol neu wladol ddim gwell na chaethiwed. A phe caffai rhai eu ffordd yn rhydd i dori pob cadwyn, ni wnaent wedi hyny ond rhwymo eu hunain mewn cadwynau tynach; oblegid myn rhai gael crefydd Mab Duw allan o'r byd, gan feddwl ei bod yn groes i ryddid! Beth pe caffai y cyfryw eu hamcanion i ben, sef cael y wlad i ymwrthod â Christionogaeth—i ymwrthod â chrefydd Crist, yr hon sydd berffaith ryddid? Beth fyddai ein gwlad wedi hyny? Beth? Gwlad o dywyllwch dudew—gwlad yn nghaethiwed Satan, tywysog y caethiwed tragywyddol! Nid oes neb mewn mwynhad o ryddid tra yn gaethwas i'w nwydau llygredig.

Ni phrofodd neb *wir* ryddid, er cael *eithaf* rhyddid i roddi ei aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod, tra y mae yr enaid yn nghaethiwed llygredigaeth. Y Cristion yn unig sydd mewn mwynhad o wir ryddid; y mae pob dyn arall yn ngafael y gormesdeyrn hwnw, HUNAN. A'r dyn hwnw sydd yn llafurio fwyaf am gynnyddu Cristionogaeth y wlad sydd yn llafurio fwyaf am gynnyddu rhyddid y wlad; oblegid hi yw yr amddiffyn goreu i ryddid gwladol; hi a all godi gwrthglawdd rhwng rhyddid a phenrhyddid—rhwng moesoldeb ac anfoesoldeb. Y mae llawer math o gaethiwed; ond lle bynag y mae Cristionogaeth yn cael ei derbyn a'i chofleidio, y mae hi yn rhoddi ymwared oddiwrth bob math. Priodol y gellir ei galw yn fam a magwraig rhyddid.

Ond amcanwyf sylwi yn benaf fod *rhyddid gwladol* yn blodeuo lle y mae Cristionogaeth yn blodeuo. Mae yn amlwg mai i'r graddau ag y mae gwybodaeth yn cynnyddu y mae gorthrwm yn lleihau; ac i'r graddau ag y dygir y wlad i gofleidio Cristionogaeth, i'r graddau hyny y dygir hi i gofleidio gwybodaeth; oblegid ffordd sicr at ledaenu gwybodaeth yw lledaenu Cristionogaeth. Y mae crefydd Crist a rhyddid yn rhodio megys ochr yn ochr, ac y mae hanesyddiaeth hen a diweddar yn profi fod gau grefydd a phob trais yn rhodio hefyd law yn llaw. Y mae heddwch a dedwyddyd bob amser yn dilyn Cristionogaeth, a therfysg ac aflywodraeth bob amser yn dilyn pob peth croes iddi. Y mae Cristionogaeth yn amddiffyn i ryddid, ac y mae pob peth croes i Gristionogaeth yn amddiffyn i bob peth croes i ryddid. Y mae Cristionogaeth yn dwyn dyn i ddeall beth yw rhyddid, ac yn ei addasu i'w fwynhau. Cymmerer Cristionogaeth o'r wlad, dyna hi yn amddifad o'r hyn a all ei dwyn i ddeall ym mha beth y mae gwir ryddid yn gynnwysedig. A ellid dysgwyl i'r hwn a fyddai yn rhy falch i ymostwng i gyfreithiau Duw, ymostwng i gyfreithiau dyn? A ellid dysgwyl i ddyn a fedrai edrych yn fach ar ei Greawdwr, beidio edrych yn fach ar, a gwneud cam â'i gyd-greadur? A ellid dysgwyl i ddyn a fedrai waeddi gyda Pharaoh, "Pwy yw yr Arglwydd, fel y gwrandawn i ar ei lais?" wrando ar lais dyn? Na; dyn heb y gradd lleiaf o ofn Duw ger bron ei lygaid, nid yw yn ddim ganddo wneud caeth-weision o'i gyd-greaduriaid.

Ond pa le bynag y mae Cristionogaeth yn blodeuo, y mae trais ac anghyfiawnder yn gwywo. Hi a all ddryllio rhwymau echrys Pabyddiaeth—os caiff hi fyned i mewn i rai o'r gwledydd paganaidd, y mae yn sicr o yru bwystfilod rheibus coel-grefydd allan o honynt, y mae yn sicr o ddarostwng temlau gau-dduwiau i'r llawr, gan wthio eilun-addoliaeth i dir anghof, a phob trais ac anghyfiawnder sydd yn dilyn y cyfryw bethau gyda hwynt. Rhyddid a heddwch fyddai yn teyrnasu, a dedwyddwch yn dyhidlo ei fwyneidd-dra ar bob teulu.

Wrth ddweud fod Cristionogaeth yn amddiffyn i ryddid, nid ydym yn dweud ei bod am ddiddymu cyfreithiau gwladol; pe felly, dywedem ar unwaith ei bod am ddiddymu rhyddid. Oblegid y mae yn ammhossibl bod rhyddid mewn gwlad lle nad oes rhyw fath o gyfreithiau; a gwrthun yw meddwl am un gymdeithas, o ba natur bynag y bo, heb reolau. Pe diddymid pob cyfraith, byddem yn agored i beryglon ar bob llaw. Ac er i ddyn gael rhyddid i wneud yr hyn a fynai, ni byddai hyny ond caethiwed trwm wedi y cwbl, tra y byddai yn agored i ddyoddef gorthrwm, trais, ac anghyfiawnder oddiar law ereill, heb ddim i'w amddiffyn? lë, ni byddai felly ddim diogelwch i neb rhag ymosodiadau gorthrymwyr a drwgweithredwyr. Felly, y mae yn amlwg nad oes modd bod rhyddid gwladol heb raddau o attaliad ar ryddid personol. Ac nid y llywodraeth hóno sydd â lleiaf o gyfreithiau ynddi yw yr un sydd â mwyaf o ryddid ynddi, ond y llywodraeth hóno sydd a'i chyfreithiau yn tueddu fwyaf at ddiogelwch a dedwyddwch y deiliaid Felly, cael *cyfreithiau* a'u tuedd at ddaioni a chysur tlawd a chyfoethog sydd yn gael *rhyddid;* ac y mae Cristionogaeth, lle bynag y derbynir hi, yn sicr o fod yn ddyogelfa i hyn.

Edrychwn ar y gwledydd hyny sydd yn amddifad o'r grefydd Gristionogol, a goleuni

yr efengyl heb wawrio arnynt; nid oes yno ond trais ac anghyfiawnder yn teyrnasu. Yno y mae y blaid leiaf yn cael ei gwasgu dan ormes y fwyaf—y gwan yn gorfod plygu i'r cryf—y weddw a'r amddifad yn ysglyfaeth i'r gorthrymwr—a'r trigolion yn cigyddio eu gilydd heb un math o attalfa arnynt. Os oes yno gyfreithiau, fe allai mai cyfreithiau yn nwylaw y cryf i orthrymu y gwan ydynt; ac os oes yno awdurdod, fe allai mai awdurdod yn nwylaw y cyfoethog i wneud caeth-weision o'r tlawd ydyw. Rhyw beth yn gyffelyb i hyn ydoedd agwedd ein gwlad ninnau cyn i oleuni Cristionogaeth wawrio arni; ac i Gristionogaeth, o dan fendith y nef, yr ydym yn ddyledus am yr agwedd hyfryd sydd ar ein gwlad yn bresennol.

Mae yn wir nad yw Cristionogaeth yn ymyraeth dim â materion gwladol, ond ar yr un pryd gellir gweled yn ei hegwyddorion hi egwyddorion gwir ryddid. Y mae hi am i'r iselaf gael ei iawnderau gystal a'r uchaf, ac yn dwyn y cyfoethog i ystyried nad oes ganddo hawl i orthrymu y tlawd, ac na ddylai gael diangc yn ddigosp, am yr hyn a haeddai gosp, mwy nag yntau; ac am ddiddymu pob gosodiad ond a fyddo a'i unig amcan at ddaioni dyn a gogoniant Duw. A dyna sylfaen rhyddid—dyna addurn llywodraeth—dyna fendithion ag y mae Cristionogaeth yn eu magu—a dyna drugareddau ag sydd yn sicr o ddilyn dynion tra byddo dynion yn dilyn Cristionogaeth. O na ddeuai holl deyrnasoedd y byd i'w chofleidio! O y fath gyfnewidiad a gymmerai le! Byddai y byd fel gardd baradwys i'w gymharu â'r hyn yw. Dygai freninoedd y ddaear i ddeall mai gogoniant Duw a ddylai fod yn brif ddyben yn eu golwg yn eu holl gyflawniadau. Dangosai iddynt fel y mae Brenin y breninoedd yn llywio teyrnwïalen y greadigaeth, gyda chymmaint o sylw ar y tlawd yn ei fwthyn a'r boneddwr yn ei balas; ac y dylent hwythau yr un modd lywodraethu yn eithaf diduedd. Dygai hwy i ddeall fod yr iselaf yn y tir yn rhy uchel i'w orthrymu.

Y mae yn wir y gellir gweled rhesymoldeb hyn i raddau heb oleuni yr efengyl: gall y bardd gymmeryd hyn i addurno ei gyfansoddiadau—gall y philosophydd gymmeryd hyn i ardderchogi ei draethodau—gall y gwladwriaethwr ddefnyddio hyn i roddi grym yn ei areithiau; ond nid oes dim a ddichon ddwyn yr egwyddor odidog hon i weithrediad ond Cristionogaeth. Hi a ddwg ddynion i ymarfer â'r fath foesoldeb na ddychymmygodd beirdd, philosophyddion, na gwladwriaethwyr y cynoesoedd ddim am dano. Hi a ddwg ddynion i ffieiddio arferion ag ydynt yn warth i ddynoliaeth, ac yn wrthwynebol i ryddid. Y mae hi yn cyhoeddi fod y dyn tlawd yn gymmaint yn yn ngolwg Duw a'r boneddwr cyfoethog, a'i fod Ef, o'i anfeidrol gariad, wedi danfon ei anwyl Fab i ddyoddef dros y naill yn gystal a'r llall. Ac yn wir, mewn dull tlawd yr ymddangosodd Efe—rhieni tlawd a ddewisodd—gyda'r tlawd yr ymgyfeillachodd—ac ar agwedd dlawd y bu farw! Hi a ddwg ddynion i ystyried fod y mwyaf dirmygedig o ddynolryw yn rhy ardderchog i'w orthrymu. Cristionogaeth a ddwg ddynion i weled eu hurddas fel creaduriaid—i ddeall eu bod yn wynebu ar fyd tragywyddol—bod ynddynt enaid i fyw byth—eu bod o werth yn ngolwg Duw ei hunan. A'r ystyriaeth o hyn a ddygai ddynion i ddeall fod gwneud caethwas o greadur rhesymol yn ei wneud yn llai na dyn.

Felly, yr hwn sydd yn deilwng o'r enw gwladgarwr, yw yr hwn sydd yn llafurio fwyaf er lledaenu Cristionogaeth; er cynnyddu gwybodaeth am Dduw, ac am ei ras ef. Ac os byth y darostyngir teyrnas Prydain o'r safle uchel y mae hi ynddo yn awr ym mysg teyrnasoedd y byd, bydd hyny o herwydd dirmygu crefydd Crist—oherwydd gwrthryfela yn erbyn y Bod hwnw sydd wedi cysgodi mor dyner trosti—sydd wedi ei hamddiffyn mor raslawn yn nydd y frwydr, ac sydd wedi ei dyrchafu i'r fath anrhydedd uwchlaw holl freniniaethau y ddaear.

Ond O! nid yw rhyddid *tymhorol* yn ddim i'w gymharu â'r rhyddid *ysbrydol* y mae crefydd Crist yn dwyn y dyn hwnw iddo ag sydd yn ei phroffesu, ac yn gwneud cywir dderbyniad o honi. Yr ydym oll wrth natur yn garcharorion yn ngafael ein pechodau, yn gaeth o dan lywodraeth ein chwantau, a than awdurdod Satan, ac yn agored i ddistryw tragywyddol! Ond y mae Crist wedi ei osod "i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym; a gellir dweud am bawb sydd wedi gwneud derbyniad o hono ef, eu bod yn "rhyddion yn wir." Mae Crist wedi boddloni cyfiawnder yn eu lle, a hwythau wedi eu rhyddhau o dan farn condemniad. Y maent yn feunyddiol yn dyfod i weled mwy o ddrygioni pechod, ac yn hiraethu mwy am lwyr waredigaeth oddi wrtho. Drwy ymgadarnhau yn nerth yr Ysbryd Glân, ac ymnerthu yn y grâs sydd yn Nghrist Iesu, y maent yn dyfod o radd i radd yn feistriaid arnynt eu hunain, yn lle bod yn gaethweision i'w chwantau, a'u nerth i orchfygu temtasiynau yn cael ei fwyhau y naill dro ar ol y llall. Mae yn wir fod plentyn Duw yn teimlo grym ei lygredigaethau yn fawr, er hyny nid ydynt yn arglwyddiaethu arno, y mae rhyw gadwyn yn cael ei thori y naill ddydd ar ol y llall. Os nad yw mewn mwynhad o berffaith ryddid, y mae mewn mwynhad o ryddid, ac y mae yn tynu tu a'r wlad lle y caiff ei berffeithio. Y mae yn rhydd oddiwrth frathiadau damniol cydwybod euog a halogedig; yr egwyddor nerthol hono sydd yn cyfodi weithiau ac yn attal rhwysg y dewraf o annuwiolion, er caleted fyddont. Mae yn wir bod

ei gydwybod yn ei gyhuddo o beth sydd o'i le ynddo; ond nid all gadw ei feiau yn faich arno, canys mae yn taflu ei holl feichiau i lawr wrth droed y groes; y mae wedi ac yn cael esmwythad oddiwrth ei holl flinderau wrth ufuddhau i'r alwad raslawn hóno o eiddo Iachawdwr pechaduriaid, "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog." Nid yw ei enaid yn cael ei lywodraethu gan ofn caethiwus wrth feddwl am y gelyn diweddaf, angeu. Na, y mae efe yn adnabod y Gwaredwr. Dyna un o ddybenion gogoneddus Crist yn dyfod i'r byd, "fel y gwaredai hwynt, y rhai, trwy ofn marwolaeth, oeddynt dros eu holl fywyd dan gaethiwed." Mae pobl Dduw wedi eu galluogi i waeddi yn ngwyneb angeu ac uffern, "O angeu, pa le mae dy golyn? O uffern, pa le mae dy fuddugoliaeth?" "Os y Mab, gan hyny, a'ch rhyddha chwi, rhyddion a fyddwch yn wir."

Gellid ychwanegu llawer ar y pwnc hyfryd hwn, ond rhaid terfynu yn bresennol rhag bod yn rhy faith. Ond nis gallaf lai na gofyn, A ddarfu i ni erioed weled gwerth yn y grefydd Gristionogol? A ddarfu i ni erioed fod yn ddigon diolchgar am dani? Hi yw y peth mwyaf gogoneddus a ymwelodd â'n daear erioed! Y mae ganddi fendithion addas i bob gwlad, ac i bob cymdeithas—i bob teulu, ac i bob calon—i bob gradd, ym mhob amgylchiad. Mae yn addaw i'w gwir ddilynwyr ryddid a heddwch tymhorol yn y byd hwn, a rhyddid a gwynfyd tragywyddol yn y byd a ddaw—"y can cymmaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." O pwy na waeddai, "deled dy deyrnas." Pwy na ddymunai, a phwy na hiraethai, am i holl orthrymwyr y byd ymrestru dan faner Iesu, ac i'r faner hóno gael ei dyrchafu goruwch brenin-feingciau y ddaear, pryd y bydd y seithfed angel yn udganu, a llefau uchel yn y nef yn dywedyd, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef, ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd."

*Bala.* GLAN TEGID.

---

## DERBYN WYNEB CYFOETHOGION.

DIAU "wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn;" ond trwy bechod, syrthiodd Adda a'i holl hiliogaeth i ddyfnder o drueni: aeth pawb yn hollol i'r un sefyllfa a'u gilydd tu ag at Dduw, fel nad oes un dyn wrth natur yn meddu mwy o allu moesol, o duedd at sancteiddrwydd, na mwy o deilyngdod i dderbyn dim daioni, y naill mwy na'r llall, ond "megys deilen y syrthiasom ni oll." Ac fel pechaduriaid, nid oes neb yn teilyngu mwy o barch na'u gilydd.

Ond oherwydd rhyw bethau gwahanol yn amgylchiadau dynion, y maent yn dueddol i barchu y naill yn fwy na'r llall. Ac nid yw hyn yn wir i'w feio; canys annogir ni yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd i "roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Ond pwnc o ymofyniad yw, pwy, a pha fath ddynion sy'n teilyngu parch? Y mae camsyniad cyffredinol ym mysg dynion (o leiaf ym Mrydain) o barth yr hyn a wir deilynga barch.

Ond y mae yn debygol fod mwy yn camweithredu yn hyn nag sydd yn cam-farnu, wedi chwilio yn ddiduedd; oherwydd mae yn beth mor amlwg i'w weled i'r neb a fyno wybod, yn ngoleu rheswm a'r Ysgrythyr, nad yr hyn a berchir yn gyffredin gan ddynion sydd wir haeddiannol o barch. Gallwn weled fod Solomon yn sylwi ar yr un camsyniad yn ei ddyddiau ef, pan y dywed y diystyrid y tlawd er iddo waredu dinas trwy ei ddoethineb. Ac aml iawn y canfyddir yr un fath ffeithiau yn y dyddiau hyn. Diystyrir doethineb, ac anghofir pob rhinwedd, am na bai eu perchenogion yn meddu llawer o dda y byd hwn; tra y perchir ereill oherwydd eu cyfoeth, er iddynt a'u holl egni bleidio anfoesoldeb yn y tir, a gorthrymu y tlawd, y weddw, a'r amddifad.

Ac nid yn unig attelir parch oddiwrth y tlawd er iddo ei haeddu, ond weithiau gwneir cam ag ef oherwydd ei dlodi; ïe, hyd yn nod mewn lleoedd a elwir "llysoedd barn." Mae yn alarus meddwl fod trueiniaid tlodion yn gorfod dyoddef y fath orthrwm oddiwrth farnwyr anghyfiawn, a hyny mewn gwlad Gristionogol. Priodol iawn y gellid dweud, fel y dywedodd Solomon, "Mi a welais dan yr haul le barn, yno yr oedd annuwioldeb: a lle cyfiawnder, yno yr oedd anwiredd." Da fyddai i'r barnwyr anghyfiawn hyny, yn erbyn pa rai y mae digofaint Duw yn ddadguddiedig, ystyried hyn, "Duw a farn y cyfiawn a'r anghyfiawn; canys y mae amser i bob amcan, ac i bob gwaith yno;" oherwydd "y neb a orthryma y tlawd a gywilyddia ei Greawdydd; ond y neb a drugarhao wrth yr anghenus a'i hanrhydedda ef."

Ac os yw hyn yn beth mor warthus gyda phethau gwladol a naturiol, pa faint mwy felly ydyw gyda phethau crefyddol ac ysbrydol? Ac os yw yn beth mor groes i ewyllys Duw fod mewn swyddogion gwladol duedd i dderbyn wyneb y cyfoethog, a diystyru y tlawd, oni ddylai y rhai sydd yn proffesu yn gyhoeddus i'r byd eu bod yn blant i'r Hwn nad yw yn "gweled yn dda wneuthur cam â gwr yn ei fater," ddychrynu rhag bod yn euog o'r fath beth ag sydd mor groes i ysbryd Cristionogaeth?

Ond gwirionedd yw, rhaid addef, fod yn rhy aml, mewn eglwysi Cristionogol, lawer o dderbyn wyneb, a llawer o wahaniaeth yn cael ei ddangos i'r cyfoethogion rhagor y tlodion. Ceryddir y tlawd yn fynych am feiau a ystyrir yn lled ddibwys mewn cyf-

erbyniad â'r troseddau y goddefir i'r cyfoethog eu cyflawni yn ddigerydd. "Fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly."

Ond hefyd, heblaw mewn dysgyblaeth, y mae amgylchiadau yn dygwydd yn fynych, er nad yw yr ymddygiadau gwahanol o gymmaint pwys ynddynt eu hunain, sydd yn dangos yr egwyddor mor amlwg a'r lleill. Gwelir swyddogion eglwysig yn hynod o siriol a chariadus tu ag at ŵr lled gyfoethog pan ddel i'w plith, tra y caiff brawd tlawd fod yn eu plith am flwyddyn heb iddynt ddangos iddo eu bod yn gwneud y sylw lleiaf o hono; er iddo fod yn llawn mor ddoeth, mor grefyddol, mor rinweddol, ac mor lafurus, a'r llall: yr unig ragoriaeth yn y llall yw fod Duw wedi cyfranu iddo ychydig mwy o'r pethau y mae eu caru yn wreiddyn pob drwg. Onid dyledus iawn fyddai i'r eglwysi Cristionogol yn gyffredin ystyried yr hyn a ddywed yr Apostol Iago, "Fy mrodyr, na fydded genych ffydd ein Harglwydd ni, Iesu Grist, sef Arglwydd y gogoniant, gyda derbyn wyneb.——Oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef. Eithr chwi a ammharchasoch y tlawd.——Eithr os ydych yn derbyn wyneb, yr ydych yn gwneuthur pechod, ac yn cael eich argyhoeddi gan y gyfraith megys troseddwyr," &c.

Pa angenrheidrwydd sydd i grefyddwyr ddangos y fath dueddrwydd tu ag at y cyfoethogion ym mhob amgylchiad, hyd yn nod mewn addoliadau crefyddol? Os daw i mewn i addoldŷ ar ddamwain ddyn wedi ei wisgo â dillad gwychion, ac arwyddion arno ei fod yn gyfoethog, ni raid iddo ddysgwyl cymmaint a thri mynyd o amser am le i eistedd, na bydd hwn a'r llall yn codi eu bysedd i'w alw atynt; os na chaiff ei yru ym mlaen gan geidwad y drws i'r *seat* dan y pulpud, neu ei ddanfon i *front* y *gallery:* tra y gadewir i ŵr tlawd sefyll ar hyd y cyfarfod heb i neb wneud un sylw o hono: ac nid wyf yn deall ei bod un gronyn yn haws i dlawd sefyll heb flino na chyfoethog. Ond y mae y duedd hon mor gref a chyffredin, ïe, meddaf, ym mysg crefyddwyr, fel mai braidd y treulir un cyfarfod mewn llawer man nad ellir gweled arwyddion o'r fath bethau. Pe na byddai ond cyfarfod gweddïo, gwelir y rhai uchaf eu sefyllfa yn y byd yn ymwthio ym mlaen i'r lleoedd enwocaf. A phaham y gwnaent hyny oni bai eu bod yn cael eu cefnogi gan y swyddwyr? A rhaid chwilio am wr lled gyfrifol i ddechreu, bid siwr. Ac felly gyda chyfarfodydd yr Ysgol Sabbathol, rhaid cael gwr lled uchel i egwyddori yr Ysgol, os gellir mewn un modd. A llawer o'r fath bethau a ellid grybwyll.

Hefyd, os bydd eisieu cael un i gyflawni unrhyw swydd sefydlog a fyddo yn uwch ei bri na chadw y drws; y cymhwysder penaf braidd yr edrychir am dano mewn dyn yw ei fod yn wr parchus; yr hyn yw, yn ol eu drych-feddwl hwy am barchedigaeth, ei fod yn feddiannol ar olud bydol. Och! pa bryd, pa bryd, y daw yr amser y byddo swyddogion eglwysig, bugeiliaid ac athrawon, yn iawn ymsynied am wir gymhwysderau dynion i gyflawni gorchwylion crefyddol? Yn lle chwilio am y goludog, pa bryd y deuant i ymofyn am y doeth a'r deallus, am y rhai mwyaf ysbrydol eu profiadau, am y rhai tebycaf o fod o adeiladaeth i ereill, mewn gwybodaeth, a phob peth angenrheidiol, felly gellid dysgwyl bendith yr Arglwydd ar waith y rhai a ddewisont i'w gyflawni? O! mor wahanol ydyw y duedd gnawdol hon i egwyddor sanctaidd yr Ysgrythyrau: mor bell ydyw oddiwrth ysbryd yr efengyl: mor ddyeithr ydyw i'r symlrwydd sydd yn Nghrist: mor groes ydyw i orchymynion Crist, am beidio caru y byd, na'r pethau sydd yn y byd; a pheidio rhoddi y serch ar uchel bethau, &c. Pa beth a all ddylanwadu yn gryfach i beri i grefyddwyr yn gyffredin fod yn fydol a chybyddlyd na bod i enwogion gyda chrefydd ddangos y fath dueddrwydd tu ag at gyfoethogion rhagor y tlodion?

Trwy ddylanwad hyn cymhellir llawer o grefyddwyr i "ewyllysio ymgyfoethogi, a thrwy hyny syrthio i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth." A thrwy hyn cymhellir rhai i wneud proffes o grefydd oddiar egwyddorion annheilwng, "gan dybied mai elw yw duwioldeb." A pha ryfedd fod cymmaint o gwyno yn erbyn bydolrwydd ac ariangarwch crefyddwyr y dyddiau hyn rhagor y dyddiau a aeth heibio, gan fod cymmaint o bleidgarwch yn cael ei ddangos tu ag at y rhai sydd chwannog i hyny.

Yr Arglwydd, o'i ras, a'n dysgo i ochel y pethau hyn, a dilyn cyfiawnder, duwioldeb, ffydd, cariad, amynedd, addfwyndra: ac a'n dysgo "na byddom uchel feddwl, ac na obeithiom mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw; yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w fwynhau. I wneuthur daioni, i ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, ar fod yn hawdd genym roddi a chyfranu: yn trysori i ni ein hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffom afael ar y bywyd tragywyddol." J. GRIFFITHS.

*Bangor.*

---

CREFYDD bur yw careg glo bwa mawr y byd moesol. Ar grefydd hefyd y seiliwyd y berthynas ogoneddus sydd rhwng y byd gweledig ac anweledig—sef y pererinion a'r saint yn y nef. Mae crefydd yn gwlwm gwir gymdeithas—yn brydferthwch ar y ddaear, ac yn ogoneddus yn y nef.—S. M.

## HOLWYDDOREG AR IAWN CRIST.

*Rhuf.* iii. 25.

GOFYNIAD. Pa beth sydd i'w ddeall wrth Iawn?

Atebiad. Y peth sydd am, neu dros bechod, er cymod a rhyddhad.—Pridwerth—gwerth er rhyddhad, 1 Ioan 2. 2. 1 Tim. 2. 6. 1 Pedr 1. 18, 19.

G. Paham mae Crist yn cael ei alw yn Iawn?

A. Am iddo roddi ei hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw, o arogl peraidd dros, ac yn lle ei bobl, Eph. 5. 2. Gal. 1. 4.

G. Pa bethau oedd yn angenrheidiol tuag at roddi Iawn?

A. 1, Bod y natur a droseddodd yn aberth, Heb. 9. 22. a 2. 14. Ioan 1. 14.

2, Bod y person ei hun yn ddifai. 2 Cor. 5. 21. Heb. 7. 26.

3, Bod eu pechodau hwy arno ef, Lef. 16. 21. Esa. 53. 6. 1 Pedr 2. 21. 24.

4, Bod iddo ufuddhau yn berffaith yn eu lle, a dyoddef y gosp ddyledus am eu pechodau, er anrhydedd perffaith i ddeddf Duw, a'i lywodraeth fel Barnwr, ac er amlygu gogoniant ei briodoliaethau, Esa. 53. 4—6. a 7, 10. Mat. 8. 17.

5, Yr oedd nerth anfeidrol i ddyoddef, a rhinwedd anfeidrol yn y dyoddefiadau yn ofynol i wneyd Iawn, Ps. 89. 19. 1 Ioan 2. 2. Heb. 10. 12—14.

G. A Oedd gwerth, a rhinwedd anfeidrol yn aberth Crist fel Iawn?

A. Oedd; yn 1, Mae ei waed yn ddigonol werth, a rhinwedd ynddo i "lanhau oddiwrth bob pechod," a phob anghyfiawnder, 1 Ioan 1. 7—9. Heb. 9. 14.

2, Mae mawredd y gwaith a wnaeth, sef "tynu ymaith bechodau y byd," yn dangos mawredd, a gwerth ei aberth, a'i Iawn, Ioan 1. 29. 2 Cor. 5. 19.

G. Oddiar ba bethau y mae mawredd a gwerth Iawn Crist, yn tarddu?

A. 1, Oddiar fawredd y Person oedd yn Iawn, Esa. 9. 6. Heb. 9. 14.

2, Mawredd ei gariad, a'i ewyllysgarwch yn y gwaith, Ioan 10. 17, 18. Eph. 3. 18, 19. Ps. 40. 8.

3, Mawredd ei ddyoddefiadau, Marc 14. 33, 34. Gal. 3. 13.

4, Ei allu dwyfol i sefyll dan ei ddyoddefiadau, Ps. 24. 7—10. a 89. 19.

G. Pa un ai dyoddefiadau ai Person Crist, oedd yn Iawn?

A. Ei Berson, am y dywedir mae "Efe yw'r Iawn," Rhuf. 3. 25. 1 Ioan 2. 2. a 4. 10.

G. A oedd dyoddefiadau yn angenrheidiol i wneyd Iawn?

A. Oeddynt; ac nid oedd modd gwneyd Iawn hebddynt, Heb. 2. 10. a 3. 22.

G. Dros, neu yn lle pwy y rhoddodd Crist Iawn?

A. Dros, neu yn lle y rhai hyny yn mhob oes a chenedl a unir âg ef, ac a gredant ynddo. Ioan 6. 39, 40. a 17. 20—23.

G. Pa fodd y profwch na ddarfu iddo roddi Iawn dros bawb yn gyffredinol?

A. 1, Ni ddarfu i'r Tad ddim rhoddi pawb, ond rhai yn unig i'r Mab, allan o'r byd, Ioan 17. 2, 6. Eph. 1. 4.

2, Mae y rhai y rhoddodd Crist Iawn drostynt, yn cael eu gosod allan dan amrywiol enwau, y rhai sydd yn eu gwahaniaethu oddiwrth ereill, megis Eglwys, Cyfeillion, Defaid, Act. 20. 28. Eph. 5. 25. Ioan 15. 13, 14. a 10. 11, 15.

3, Mae marwolaeth Crist yn brawf o'r cariad mwyaf tuag at y rhai y bu farw drostynt, Gal. 2. 20. Rhuf. 5. 8. Dat. 1. 5.

4, Nid yw Crist yn ymddwyn fel pe buasai wedi marw dros bawb. Nid yw yn gweddïo dros bawb. Nid yw iechydwriaeth trwy farwolaeth Crist yn cael eu gwneyd yn hysbys i bawb, Ioan 17. 9. Act. 16. 6. Ioan 3. 36. Rhuf. 10. 14, 15.

5, Nid yw dybenion marwolaeth Crist yn eu hateb mewn perthynas i bawb, Mat. 22. 14. 1 Ioan 5. 19. Mat. 25. 33.

6, Bydd holl ddybenion marwolaeth Crist yn sicr o gael eu hateb, Esa. 53. 11. Tit. 2. 14. Rhuf. 5. 8—10.

G. A oes cyssylltiad rhwng Iawn Crist a gweithredoedd creadigaeth a rhagluniaeth?

A. Nac oes; ond mae Crist wedi cael awdurdod arnynt oll, er mwyn gwrthrychau yr Iawn, Eph. 1. 22, 23. Ioan 17. 2.

G. Pa bethau sydd i ni i'w gweled, er sicrwydd mewn cyssylltiad a rhoddiad yr Iawn?

A. 1, Fod y Barnwr cyfiawn wedi ei foddloni, fel na chospa efe mwyach yr had etholedig, Job 33. 24. Rhuf. 8. 32—34.

2, Fod yr had yma yn drysor neillduol mewn hawl, ac i fod yn feddiant tragywyddol gan Grist, Tit. 2. 14.

3, Ei fod yn dyogelu bywyd tragywyddol i'r holl eglwys, mor sicr a rhoddi yr Iawn trosti, Eph. 1. 7, 11, 12.

G. Pa fath Iawn yw Iawn Crist?

A. 1, Mae yn Iawn o rag-ordeiniad a gosodiad Duw, Diar. 8. 23. Act. 2. 23. Rhuf. 3. 25.

2, Mae yn Iawn a gyflawnwyd yn y natur ddynol, Phil. 2. 7, 8.

3, Mae yn Iawn a gyflwynwyd i'r orsedd oddiar rinwedd a theilyngdod yr aberthydd ei hun, Heb. 9. 12—14. a 10. 12.

4, Mae yn Iawn perffaith a digonol, Mat. 20. 28. Esa. 42. 21.

5, Mae yn Iawn ag a offrymwyd er dibeniad ar effeithiau camweddau y troseddwyr, Dan. 9. 24. Heb. 9. 26—28.

G. Pa bethau a allwn eu tynu fel casgliadau oddiwrth yr athrawiaeth hon?

A. 1, Cariad y Tad at fyd colledig, yn anfon ei Fab i'r byd, fel y byddem ni byw trwyddo ef, Ioan 3. 16. 1 Ioan 4. 9.

2, Cariad Crist yn darostwng ei hun, "gan fod yn ufudd hyd angeu, Ie, angeu y groes," Ioan 15. 13. Eph. 5. 2.

3, Y drwg mawr sydd mewn pechod, gan nad oedd dim llai nag angeu Crist a wnaethai Iawn am dano, Gen. 2. 17. Rhuf. 5. 12. a 6. 23. Iago 1. 15.

4, Llymder cyfiawnder Duw yn cospi pechod mor ddiarbed ar ei Fab ei hun, Zec. 13. 7. Esa. 53. 5, 10.

J—s EDWARDS.

*P—nll—n.* J—N WILLIAMS.

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

(Parhad o du dal. 290.)

*Dosparthiad* II.—*Yr Iuddewon.*

MOSES, gwaredwr gosodedig a deddfwr anrhydeddus yr Israeliaid, a llawer hefyd o'r prophwydi y rhai a'i dilynasant, a ragddywedasant am gyflwr yr Iuddewon. Gyda manylrwydd rhyfeddol rhagddywedasant am eu distryw a'u gwasgariad yn achos eu drygioni; a'u cadwraeth a'u hadferiad yn y diwedd trwy ddaioni a gras dwyfol. Moses, yn rhagweled eu gwrthgilliad a'u hanwireddau, a ysgrifenodd, trwy gyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, yr ymadrodd canlynol yn mhlith amrywiol ereill cyffelyb:—"Os chwi ni wrandewch arnaf, ac ni wnewch yr holl orchymynion hyn; os fy neddfau hefyd a ddirmygwch, ac os eich enaid a ffieiddia fy marnedigaethau, heb wneuthur fy holl orchymynion, ond tori fy nghyfamod; myfi a wnaf eich dinasoedd yn anghyfannedd, ac a ddinystriaf eich cyssegroedd; gwasgaraf chwi yn mysg y cenhedloedd, a gwnaf dynu cleddyf ar eich ol, a'ch tir fydd ddiffeithwch. A byddi yn syndod, yn ddiareb, ac yn watworgerdd, yn mhlith yr holl bobloedd y rhai yr arwain yr ARGLWYDD di atynt," Lef. xxvi. 14, 15, 31. 33. Deut. xxviii. 37. Y prophwyd Jeremia a ragddywedodd; "Mi a'u herlidiaf hwynt â'r cleddyf, â newyn, ac â haint; a mi a'u rhoddaf hwynt i'w symud i holl deyrnasoedd y ddaear, yn felldith, ac yn chwithdra, ac yn chwibaniad, ac yn warth yn mysg yr holl genhedloedd lle y gyrais hwynt: am na wrandawsant ar fy ngeiriau, medd yr ARGLWYDD, y rhai a anfonais i atynt gyd â'm gweision y prophwydi, gan fore godi, a'u hanfon," Jer. xxix. 18, 19. Y prophwyd Hosea a ddywedodd; "Canys llawer o ddyddiau yr erys meibion Israel heb frenin, a heb dywysog, a heb aberth, a heb ddelw, a heb ephod, a heb teraphim," Hosea iii. 4. Cyfarfyddwyd y prophwydi hefyd i ysgrifenu—"Ac er hyn hefyd, pan fyddont yn nhir eu gelynion, ni's gwrthodaf, ac ni ffieiddiaf hwynt i'w difetha, gan dori fy nghyfamod â hwynt; canys myfi ydyw yr ARGLWYDD eu Duw hwynt," Lef. xxvi. 44. "Wedi hyny y dychwel meibion Israel, ac y ceisiant yr ARGLWYDD eu Duw, a Dafydd eu brenin; ac a barchant yr ARGLWYDD a'i ddaioni yn y dyddiau diweddaf," Hosea iii. 5.

Yr holl ragddywediadau hyn a draddodwyd gyd â hyder gwirionedd, ac eglurdeb hanesyddiaeth. Maent yr arddangos dull, helaethder, natur, a pharhâd eu gwasgariad; eu herlidiau, eu dyoddefiadau, eu dallineb, eu caledwch anedifeiriol, a'u gorthrymder blin; gwarth cyffredinol, lled-daeniad annherfynedig, a hanfodiad barhäol y bobl hynod hyny. Cryfion oeddynt y cylymau a rwyment yr Iuddewon wrth Ganaan. Nid ydoedd yn unig yn wlad ogoneddus, ond yn dir eu tadau, ac yn rodd neillduol y Nefoedd, yn mha le yn unig y gellid cadw llawer o'u defodau crefyddol. Megys nas gallai dim eu gwahanu oddiwrth eu teml hyd nes ydoedd yn fflaglu o'u hamgylch, a lliaws yn meirw yn y fflamau, felly nis gallai dim eu tori ymaith oddiwrth eu gwlad ond awdurdod oresgynol y lluoedd Rhufeinig. Diwreiddiwyd hwy fel cenedl, ac alltudiwyd hwy o'u gwlad eu hunain: a thrwy gyhoeddiad ymerodrawl yr ydoedd yn farwolaeth i Iuddew i osod ei droed yn Jerusalem, er fod pob cenedl-ddyn yn sathru ar ei hadfeiliau.

Ond helaethder eu gwasgariad sydd etto yn fwy nodedig na dull ei gyflawniad. Maent wedi ymledaenu dros y byd ëang; ac nid oes teyrnas ar wyneb y ddaear yn mha un nid ydynt i'w cael. Maent yn lliosog yn Poland, Twrci, yr Almaen, ac yn Holland; yn Rwsia, Ffrainc, Spaen, Itali, Brydain, ac America. Yn Persia, China, ac India, yn y dwyrain a'r gorllewin i'r afon Ganges, maent i'w cael wedi eu gwasgaru yn fwy tenau. Troediasant eira Siberia, a thywod yr anialwch poeth; ac y mae y teithiwr Ewropëaidd yn clywed am eu hanfodiad mewn gororau nas gall efe eu cyrhaeddyd, hyd yn nod yn mherfedd-dir Affrica. O'r naill gŵr i'r byd hyd y cŵr arall, yr Iuddewon, a'r Iuddewon yn unig, a wasgarwyd yn mhlith yr holl genhedloedd.

Fel Cristionogion yr ydym yn edrych yn mlaen at amserau mwy gogoneddus nag yn bresennol; pryd, megys y prophwydodd Hosea, pen. iii. 5. "Y dychwel meibion Israel, ac y ceisiant yr ARGLWYDD eu Duw, a Dafydd (y Messia) eu brenin," pryd y dygir hwy i eglwys Crist gyd â chyflawnder y Cenedloedd. Trwy yr holl gyfnewidiadau y rhai a gymerasant le yn nheyrnasoedd y byd, o ddyddiau Moses hyd yr amser presennol, yspaid mwy na thair mil o flynyddoedd, na allai dim ddygwydd i luddias cyflawniad o'r prophwydoliaethau hyn; eithr, yn y gwrthwyneb, fod i gyflwr y cenedloedd Iuddewig, Cristionogol, a Phaganaidd yn y dydd hwn fod yn gyfryw fel ag yn hawdd i'w gwneuthur yn alluog, hyd yn nod i gael cyflawniad llythyrenol, yn mhob pwnc neillduol, os ydyw ewyllys Duw yn bod felly, sydd yn wyrth, yn wyrth sefydlog i ni; a'r hyn nad oes dim yn gyffelyb iddo yn ym-

ddangosiadau rhyfedd natur! Yr Iuddewon oeddynt unwaith yn bobl neillduol i Dduw; a'r apostol Paul a ddywed, "A wrthododd Duw ei bobl? Na atto Duw!" Rhuf. xi. 1. Yr ydym yn gweled ar ol cynrif o oes eu bod eto wedi eu cadw, trwy wyrth o eiddo Rhagluniaeth, yn bobl wahanol: ac i ba ddyben yr arddangosir y fath wyrth barhàol, ond er amlygiad mwy o wirionedd a gras dwyfol, a chyflawniad yr addewidion dwyfol, y rhai ydynt eto i gael eu cyflawni, i ogoniant y Brenhin Messia, yr hwn y darfu i Abraham a'r tadau gredu ynddo, ac am yr hwn y llefarodd y prophwydi.

## YR IUDDEWON.

Nid oes wybod yn iawn pa le mae yr Iuddewon crwydredig hyn yr awr hon fwyaf aml, canys hwy a gawsant eu herlid o un wlad i'r llall o bryd i bryd gan dywysogion Mahometanaidd, ac nid ydynt y dydd heddyw, ond amddifaid ar wyneb y ddaear; a'r cyflawnder mawr o arian sydd ganddynt, yw yr achos y maent yn cael aros cymmaint yn ngwledydd cristionogol y gorllewin.

Er i'r ymerawdwr Adrian orchymyn i amryw o honynt aros yn Spaen, etto cyn lleied o barch a gawsant yno, fel y darfu iddynt amryw weithiau brynu eu rhyddid. O'r diwedd cawsant eu taflu o holl deyrnasoedd Ewrop, gan mwyaf, ar rai prydiau neu gilydd, er i aneirif o honynt lechu, a dychwelyd yno drachefn. Fe'u gyrwyd hwy o Loegr, gan Edward y cyntaf, yn y flwyddyn 1290; o Ffraingc, gan Philip, yn 1307; o Spaen, gan Ferdinand y Pabydd, yn 1492; o Portugal, gan Immanuel, yn 1497; o Naples a Sicily, gan Charles y pummed, yn 1539; etto y maent yn lluosog iawn yn yr Almaen, y rhan babaidd o honi, yn Poland, yn y rhan fwyaf o ddinasoedd Itali, yn enwedig yn Rhufain ei hun, lle nad oes dim llai meddant nag o bymtheg i ugain mil o honynt. Mae ganddynt synagog yn Amsterdam, ac y maent yn lluosog iawn yn ngwledydd y Twrc. Mae eu rhifedi hwynt yn fawr yn Thessalonica, a Chaer Cystenyn; ond y maent yn cael eu cashau trwy holl wledydd y Twrc, fel na's derbynir un Iuddew yn Fahometan, nes byddo gyntaf yn gristion.

Nos wener y Groglith, mae cymmaint o lid attynt gan y cristionogion yn y dwyrain, fel y maent mewn perygl o gael eu lluchio â cherrig, am iddynt hwythau gernodio Iachawdwr mawr y byd.

Cenedl ydynt a gynnydda pa le bynag yr elont, yn enwedig drwy usuriaeth a gwystl; maent hefyd yn cadw yr enwaediad hyd heddyw yn eu plith.

Mae ganddynt gadair wag i'r prophwyd Elias, yr hwn y maent yn credu ei fod ar ddyfod; maent wedi chwanegu at goelgrefydd yr hen Phariseaid i gadw y sabbath; ac mor fanwl y maent, fel os bydd i Iuddew ymdeithio ddydd gwener, ac yn y prydnawn i fod mor fyr o gyrhaedd pen ei siwrnai ag y bydd ganddo dros 2000 o gyfuddau, h. y. chwech ystad, yr hyn a gyfrifant yn daith diwrnod sabbath, rhaid iddo eistedd i lawr a chadw y sabbath yn y maes, neu yn yr anialwch, yn nghanol y peryglon o stormydd a lladron.

Nid eisteddant i fwyta gyda neb arall ond eu cenedl eu hunain; ac maent o hyd yn disgwyl am y Messiah, a phan ddel, y maent yn credu y cânt ddychwelyd i'w gwlad eu hun i feddiannu pob dedwyddwch.

Mae amryw ysgrythyrau yn cadarnhau eu dychweliad i'r Ffydd Gristionogol, sef, Esa. 11. 11, 12, 13. Ezec. 37. 21, 23. Hosea 3. 4, 5. Zec. 10. 6, 8. Rhuf. 11. 25, ac amryw ereill, yr hyn sydd yn eglur ddadguddio dychweliad yr Iuddewon i'r Ffydd, o holl gyrau'r ddaear, pa le bynag y maent wedi eu gwasgaru.

*Callestr.* J—N W—S.

## Y DYN GONEST.

Nid edrych efe beth a *all*, ond beth a *ddylai* ei wneuthur. Uniondeb yw ei arweinydd; a chyfiawnder yw ei arwyddair.

Cwyna yn hytrach nag y tramgwydda. Casâ bechod, oblegyd ei atgasrwydd, yn fwy nag am y perygl o'i herwydd.

Ei uniondeb diniwed a weithreda ynddo y cyfryw hyder ag a rydd fantais i'r twyllodrus i'w niweidio yn fynych; ond efe a dosturia wrth anffyddlondeb y cyfryw yn fwy nag yr edifarhâ am ei ddiniweidrwydd ei hun.

Pan y'i gwneir yn Oruchwyliwr, efe a gliria y dyledion, a dal gymmunroddion; a ffieiddia feddwl elwa oddiar yr amddifaid, a gweddwon: felly bydd yr un mor ffyddlawn i gyfaill drengedig a phe byddai yno yn preswylio yn ei ymyl.

Yn ei fasnach, y mae yn gywir. Efe a ddengys feian yr hyn a werth, ac a adfera elw a ddichon ddeillio oddiwrth gam-gyfrif. Efe a gyfrif lwyr wobr yn wenwyn; ac ni werth ei egwyddor am oreuro ei berson.

Ni ddryg-liwir ei ruddiau un amser â gwrid, o herwydd celwydd; ac ni ddyrysir ei dafod gan ymdrech i glytio ei chwedlau; a phan enllibir ei enw, ei ddiniweidrwydd a'i dwg ef allan gyda gwroldeb; yna â yn mlaen ar hyd llwybr gwastad y gwirionedd, a naill a buddugoliaetha yn ei uniondeb, neu dyoddefa gydag ef.

Ei gydwybod a reola ei rag-fwriadau; fel yn mhob peth da a drwg ystyrir y weithred, nid y canlyniad. Os gwel yr hyn raid iddo ef wneuthur, gad i Dduw weled y canlyniad.

Nid ymlwytha â beichiau uwchlaw ei allu, na thros ei ewyllys; ac unwaith yr ymrwyma, yr hyn a all, efe a'i gwna; ac nid ewyllysia ond yr hyn a all.

## SERYDDIAETH.

### PEN. VI.—Y BLANED GWENER.

Gwener ydyw yr ail blaned yn y Gyfundrefn Heulog, yr hon sydd yn dyfod nesaf dan sylw. Hon ydyw y brydferthaf a'r harddaf o'r holl blanedau. ac adnabyddir hi gan bawb yn gyffredin wrth yr enwau seren nos a seren ddydd, oblegid nad yw byth i'w chanfod yn y rhan ddwyreiniol o'r ffurfafen pan y byddo yr haul yn y rhan orllewinol o honi; ond y mae bob amser yn ei ddilyn yn yr hwyr, neu yn rhoddi rhybydd o'i ddyfodiad yn y boreu. Yr oedd Gwener yn cael ei galw gan feirdd y cynoesoedd yn Lucifer, pan yn ymddangos yn orllewinol i'r haul; yr amser hwn y mae yn seren ddydd: a galwent hi yn Vesper pan yn ddwyreiniol i'r haul, neu yn seren nos. Mae Gwener, fel Mercher, yn ddarostyngedig i wahanol ymddangosiadau o leihad a chynnydd goleuni, ac yn llawer mwy nerthol felly na'r blaned flaenorol; a hyny, mae yn debyg, oherwydd dau beth; yn gyntaf, oblegid fod ei gwyneb golenedig yn llawer mwy na'r blaned Mercher; ac yn ail, oblegid fod ei phellder oddiwrth y ddaear yn ddarostyngedig i lawer mwy o amrywiaethau. Pan y mae yn ei phwnc agosaf i'r ddaear mae o amgylch 26 o filiynau o filltiroedd oddi wrthi; ond pan mae yn ei phellder eithaf y mae yn 164 o filiynau oddi wrthi. Mae yn amlwg, gan hyny, bod dysgleirdeb ei goleuni, ynghyd a'i maintioli ymddangosiadol, yn amrywio yn fawr yn ol fel y byddo ei sefyllfa yn ei chylchdro. Mae y blaned hon weithiau i'w chanfod yn croesi gwyneb yr haul fel ysmotyn du crwn; ac y mae yr amgylchiad hwn yn profi ei bod yn gorph tywyll, a'i bod yn agosach i'r haul na'r ddaear; ac hefyd ei bod yn fechan iawn mewn cymhariaeth i'r haul. Mewn ychydig ddyddiau gwedi croesi gwyneb yr haul y mae i'w gweled yn y boreu yn orllewinol iddo, ar ddull hanner cylch, a'r crymedd tu ag at yr haul. Mewn deng wythnos y mae wedi symud mor bell tu ag at y rhan orllewinol o'i chylch fel y mae yn ymddangos yn sefydlog. Yn fuan ar ol hyn y mae yn ymsymud tu a'r dwyrain, a'i mynediad yn ei llwybr yn cynnyddu yn raddol, ac yn myned heibio y tu ol i'r haul ym mhen naw mis a hanner gwedi iddi groesi ei wyneb. Ym mhen ychydig o amser wedi hyn y mae i'w chanfod yn yr hwyr yn ddwyreiniol i'r haul, yn grwn, ond yn fechan iawn. Fel hyn y mae yn parhau i symud tu a'r dwyrain, ac yn cynnyddu mewn tryfesur, ac yn raddol yn colli ei hymddangosiad crwn hyd oni ddelo i'w heithafnod dwyreiniol oddiwrth yr haul, pan y mae i'w chanfod etto yn hanner cylch. Ar ol hyn y mae yn ymsymud tu a'r gorllewin, yn ymddangos fel yn cynnyddu mewn maintioli, oherwydd ei bod yn agosâu at y ddaear; ond yn dyfod etto i ymddangos fel hanner cylch, ac mewn yspaid 584 o ddyddiau y mae yn dyfod eilwaith yn agos i'r haul, ond nid i groesi ei wyneb fel o'r blaen, oblegid anfynych iawn y mae hyny yn dygwydd, o herwydd gwyredd ei llwybr.

Wrth chwilio ei symudiad yn fanwl, yr hyn sydd i'w ganfod trwy y brychau sydd ar ei gwyneb, mae yn ymddangos ei bod yn troi ar ei hechel mewn oddeutu 23 a hanner o oriau. Mae Gwener yn seren ddydd, neu yn ymddangos yn orllewinol i'r haul, am 290 o ddyddiau, ac yna yn dyfod yn seren nos, neu yn ymddangos yn ddwyreiniol iddo, am yn agos yr un faint o amser; er hyny, y mae yn cyflawni ei chwyldroad o'i amgylch yn gwbl mewn 225 o ddyddiau.

Yn awr, mae yn naturiol gofyn, pa beth ydyw y rheswm ei bod yn ymddangos am fwy o amser yn orllewinol neu yn ddwyreiniol i'r haul nag ydyw hyd ei blwyddyn, neu amser ei chylchdro o'i amgylch? Daw hyn yn amlwg ond ystyried bod y ddaear yn myned yn gystal a'r blaned Gwener, ac yn yr un ffordd; ac o herwydd hyny y mae mynediad ymddangosiadol y blaned hon yn llawer arafach na'i mynediad gwirioneddol.

Meddyliodd rhai Seryddwyr eu bod yn canfod lleuad yn perthyn i'r blaned hon, ac yn teithio gyda hi o amgylch yr haul; ond y mae yn debyg nad oedd hyny ond twyll tremiadol; oblegid edrychwyd yn ofalus am hyny yr amser yr oedd y blaned yn croesi yr haul yn y blynyddoedd 1761 a 1769, ac nid oedd dim o'r fath beth i'w ganfod.

Dywed Schroeter fod pedwar o fynyddoedd i'w canfod arni, y lleiaf o honynt yn ddeng milltir o uchder, a'r mwyaf yn ddwy ar hugain o filltiroedd; a dywed yr un gwr bod Gwener yn cael ei hamgylchu gan awyrgylch yn hanner cant o filltiroedd o uchder.

Nid oedd yr un o'r ser gwibiog yn cael eu parchu yn fwy gan yr henafiaid na'r un dan sylw yn bresennol. Byddent yn ei haddoli fel eu duwies ragoraf, ac yn talu pob parch ac anrhydedd iddi nad ydyw yn deilwng i neb ond i'r Creawdwr ei hun. Dychymmygent bod ei gallu yn diwallu y ddaear, yr awyr, a'r môr; a bod y cymylau a'r tymhestloedd yn diflannu yn ei phresennoldeb. Ond pwy bynag sydd yn myfyrio ar y pethau hyn yn deilwng, sydd yn dioeg y blaned o'r holl anrhydedd dychymmygol hwn, ac yn ei roddi yn y man mae yn ddyledus: oblegid rhaid ei hystyried yn ei holl amrywiaeth ymddangosiadau, a'i harddwch, yn unig fel rhan fechan o weithredoedd y Bod hwnw sydd yn gweithio wrth gyngor ei ewyllys ei hun.

Gwener, yn y chwedl-ddysg baganaidd, ydoedd dduwies cariad a harddwch, ac a neidiodd i fod trwy ymweithiad ewyn (*froth*) ar ddyspoddiad Sadwrn; ac yr oedd mor ragorol o hardd, fel ag yr oedd y duwiau oll, yn un o'u cyfarfodydd ymgynnulliadol, yn

awyddus iawn am ei phriodi; ond Vulcan, o'r diwedd, a roddodd ryw fath o gysglyn iddi, ac a gymmerodd feddiant o honi. Yr oedd ganddi demlau bron ym mhob lle. Yr oedd yn cael ei gosod allan mewn amryw ystumiau; ond yn fwyaf neillduol byddai yn cael ei gwisgo mewn porphor, ac yn eistedd mewn car o ifori, yn cael ei thynu gan golomenod, a gemau dysglaer ar ei phen. Dyma rai o lawer o'r chwedlau sydd gan y Paganiaid am y blaned Gwener.

Mae yn ymddangos ei bod yn gyfansoddedig o ddefnydd rhyw faint yn galetach na'r ddaear. Mewn Rhifynau dyfodol rhoddwn rai traethodau mewn perthynas i'r ddaear a'r lleuad.

*Llundain.* L. WILLIAMS.

Gwael ydym, yn methu gweled—ym mhell,
Mae llwybr agored,
Didraul rhyngom a'r Haul rhed,
Ysblenydd y nos blaned. D. JAMES.

Crogedig ym mro Caergwydion,—mae mil
A mwy o ser gloywon,
Yn dlysau a lluniau llon,
Y t'w'llwch a'i fantellion.

Y DIM y Duw mawr a dodd,—o dan ei
Adenydd fe'i casglodd;
Duw â'i air a'i deorodd
Yn wyrthiau fil wrth ei fodd. J. P.

## LLYTHYRAU, &c.

### DYSGRIFIAD Y GWIR GRISTION.

BARCHEDIG OLYGYDD.—Y llinellau a ganlyn ydynt gyfieithiad a dynwyd allan o waith rhagorol y Dr. Simpson, a elwir "*Plea of Religion;*" a barnwyf y byddai yn dra phriodol annog holl ieuengctid y dywysogaeth i ddarllen y llyfr rhagorol hwnw yn fanwl, fel y cadarnhaer eu meddyliau yn ngwirionedd yr efengyl, ac yr attegid hwynt yn erbyn Deistiaeth, Atheistiaeth, Sociniaeth, &c. pa rai sydd yn ymdaenu fel cwmwl yn Lloegr, a manau o Gymru, yn y dyddiau presennol. Os barnwch yn addas roddi lle iddo yn y Drysorfa, wele ef at eich gwasanaeth.

*Tremadoc.* ALLTUD O EIFION.

EI iaith ydyw, "Pwy sydd genyf yn y nefoedd onid tydi, O Dduw? ac ni ewyllysiais neb ar y ddaear gyda thydi." Gwneuthur i ereill megys ag yr ewyllysiai i ereill wnethur iddo yntau ydyw ei ddeddf yn ei holl ymarferiadau rhwng dyn a dyn; ac ym mha beth bynag y syrthio yn fyr o hyn, y mae yn galaru, ac yn cydnabod e ynfydrwydd, ac yn gwneuthur iawn priodol i natur yr amgylchiad; y mae yn diangc at waed y groes am faddeuant, ac yn dychwelyd gyda grym adnewyddol i lwybr ei ddyledswydd. "Gan roddi cwbl ddiwydrwydd' y mae yn ychwanegu at ei ffydd rinwedd; ac at rinwedd wybodaeth; ac at wybodaeth gymmedroldeb; ac at gymmedroldeb amynedd; ac at amynedd dduwioldeb; ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol gariad."

Gyda sel wresog y mae efe yn efelychu yr agweddau sanctaidd hyny y rhai oedd yn Nghrist Iesu; ymysgaroedd trugareddau, gostyngeiddrwydd, addfwynder, gweddeidd-dra, dibrisio y byd, amynedd, cymmedroldeb, dyoddefgarwch, cariad anwylaidd at bob dyn, &c. Y mae yn ei rwymo ei hun i bob ordinhad ddynol oblegid yr Arglwydd; pa un bynag ai i'r brenin megys goruchaf, yntau i'r llywiawdwyr megys rhai wedi eu danfon, er dial y drwgweithredwyr, ac er mawl i'r gweithredwyr da. Y mae yn talu pob parch dyledus i ddynion a bob gradd a sefyllfa. Y mae yn caru gyda gwresogrwydd yr holl frawdoliaeth o gredinwyr yn Iesu Grist; y mae yn caru Duw nes ymadael a phob drwg; ac yn anrhydeddu y brenin nes bod yn barod at bob galwad i roddi ei fywyd, os bydd raid, dros les y cyffredin. Y mae yn ymdrechu i ymddwyn gyda phriodoldeb ym mhob sefyllfa. Pa un bynag ai meistr, gwas, rhïant, plentyn, swyddog, athraw, dysgawdwr, &c. cyflawna hwynt er gogoniant i'w Dduw. Yn fyr, "pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, a chymmeradwy," &c. am y pethau hyn y mae ei feddwl, a chyda y pethau hyn y mae ei ddiwydrwydd dyfalaf. Hon ydyw y grefydd a gyhoeddodd Mab Duw yn y byd hwn; a phob un sydd yn meddu hon, *efe* yw ei frawd, ei chwaer, a'i fam.

### "HOLWYDDOREG YR EGLWYS SEFYDLEDIG."

HOFFUS FRAWD.—Dymunwn hysbysu i'ch darllenwyr yn chwanegol at y Rhagymadrodd a roddodd Philologus o flaen y Catecism yn Rhif. 127, tu dal. 205, na ddylasai efe ddim dodi y geiriau "Holwyddoreg yr Eglwys Sefydledig" uwch ben y Catecism hwn, er ei fod felly mewn Cyhoeddiadau ereill, o ba rai y cyfieithodd efe ef; eithr efe a ddylasai, er mwyn tegwch, ddywedyd nad Catecism yr Eglwys Sefydledig mo hono, canys y mae hwnw yn argraffedig er ys oesoedd yn y "Llyfr Gweddi Gyffredin." Dyna y Catecism a addefa yr Eglwys Sefydledig; eithr y Catecism a gyfieithodd Philologus a berthyna i ryw un o'r Puseyaid, yr hwn a'i ffurfiodd ef; canys nid yw yr Eglwys Sefydledig, fel Eglwys, ddim yn addef y fath athrawiaeth. Dymunaf arnoch argraffu hyn o sylw er mwyn symud ymaith unrhyw gam farn a allai gyfodi oddiar gyhoeddiad y cyfryw Gatecism yn y Drysorfa.

UN O WEINIDOGION Y TREFN. CALFINAIDD

DEUDDEGFED LLYTHYR IORWERTH

*At ei gyfaill, ar ei neillduad yn Henadur Eglwysig.*

FY HOFFUSAF GYDYMAITH.—Y mae yn gofus genyf awgrymu yn fy llythyr diweddaf, am fwrdd arall oedd yn gwir deilyngu dy sylw, a rhan arbenig o'th orchwyl yw ei wasanaethu, sef bwrdd y weinidogaeth. Y mae y bwrdd yma yn ddiamau yn ymddifad o amrywiaeth o gysuron, os nad o wir angenrheidiau ymborth, ac yn ymddangos yn dra llwydaidd a thylawd yn nghanol amrywiaethau creadigaeth Duw. Yn gymmaint mai'r Bibl yw ein rheol yn mhob peth, dylem ddefnyddio y rheol hono gyda, a thuag at bob peth. Cymerer y Bibl yn rheol at ryw bethau, a byddys yn frwdfrydig iawn am ymarferyd rhyw ranau o hono, a bydd rhanau ereill sydd yn sefyll yn ogyfuwch yn y gyfrol sanctaidd, yn lled ddisylw. Rhaid i ni gymeryd y Bibl, yr oll o'r Bibl, a dim ond y Bibl, yn sylfaen ein hymddygiadau gyda, a thuag at bob peth, oblegyd yn ngwyneb y Bibl rhaid i ni sefyll neu syrthio yn nydd brawd. Y mae lle i ofni fod llawer yn myned i'r byd mawr dan ganu o hyd, wrth gymeryd y pigion melysaf y gallont o'r gwirionedd dwyfol, heb ystyried, neu ddim yn dewis ystyried, un o'r ddau, fod cyssylltiad rhwng dyledswydd a gras. Iachawdwriaeth râd, "heb weithredoedd y ddeddf;" nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, &c., sydd ymadroddion hynod felus, ac yn myned i lawr yn dra hwylus. Hefyd, pennill y Parchedig Williams, sydd yn hynod dderbyniol.

"'Does dim i dalu—rhoddwyd iawn,
Nes clirio llyfrau'r Nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi."

Y mae yn wir ddigon mai trefn râd er achub pechadur yw trefn Duw yn Iawn a haeddiant y Cyfryngwr mawr, ac nid yw yn gofyn dim mewn ffordd o daliad oddiwrth y pechadur: cafodd y cwbl yn yr ystyr yma, yn ei anwyl Fab, ond nid yw hyn yn ein rhyddhau oddiwrth ein dyledion a'n dyledswyddau i'n gilydd, ond yn hytrach yn ein rhwymo yn ein dyledswyddau. Gadewch i ni fod yn onest beth bynag, a pheidio bod yn nyled neb o ddim, ond o garu ein gilydd. Y mae gwir angen arnom gymeryd y llyfr o law yr Arglwydd, a lledu ein safnau, a'i fwyta i gyd. Ar ol bwyta Epistol Paul at y Rhufeiniaid, awn rhagom trwy y Corinthiaid, ac yn y blaen at Epistol Iago, a chyfranogwn mor helaeth o weithredoedd Iago, a ffydd yr Apostol Paul. Wedi bwyta cyfiawnhâd Paul ger bron Duw yn dda, dechreuwn ymborthi ar gyfiawnhâd Iago, ger bron dynion. Yn awr, fy nghyfaill, wedi penderfynu i gymeryd y llyfr i'w fwyta i gyd, y mae yn hawdd profi mai dyledswydd arbenig yr Eglwys yw, gofalu am sefyllfaoedd tymhorol ei gweinidogion; a thra y mae yn fyr o wneyd hyn, y mae yn fyr o gyflawni dyledswydd arbenig, a gweithredu gorchymyn pendant y Testament Newydd. Ac y mae yn ddiamau genyf fod llawer o eglwysi yn ymddwyn tuag at eu gweinidogion yn y fath fodd, ag y byddai tyst yn eu cydwybodau ar yr un pryd, (pe cymerent amser a difrifwch i ystyried y mater,) bod eu hymddygiadau yn fyr o gyd ymdeimlad brawdol, a braidd yn gyfiawn tuag atynt. Y mae yr Arglwydd wedi goddef llawer o bethau yn ei eglwys ag oedd yn anwybodus iddi, ag etto heb ymbellhau yn ei lewyrch grasol oddiwrthi; ond anhawdd yw meddwl yr erys ei lewyrch ynddi wedi yr argyhoeddir hi o'i phechodau, oddieithr iddi edifarhau, a gwellhau ei hymarweddiad. Mae Paul wrth ysgrifenu at Timotheus, yn ymdrin â dyledswydd yr eglwys at ei gweinidogion, gyda gradd o fanyldra; ac y mae yn perthyn i ti fel diacon, i gyfeirio sylw yr eglwys at y ddyledswydd arbenig hon. "Cyfrifer yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda, yn deilwng o barch dauddyblyg, yn enwedig y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth." Y mae'r parch ag y mae yr Apostol yn nodi uchod, yn cynwys rhagor na dyweyd amen yn rhydd ac yn rhwydd gyda'r bregeth. Y mae llawer yn dra hwylus ac yn hynod haelionus ar eu hamen, heb erioed ystyried yn iawn beth yw'r parch, neu yr anrhydedd y mae yr Apostol yn dyweyd sydd yn deilwng i'r henadur sydd yn llywodraethu yn dda. Dangos y mae yr Apostol yn ddiamau eu bod yn gwir deilyngu cynnaliaeth barchus ac anrhydeddus gan yr eglwys, am eu llafur yn ei mysg; yn gymmaint a'u bod wedi cyssegru llawer, os nid y cwbl o'i amser i'w gwasanaethu. I ba le yr oeddynt i edrych am gynnaliaeth ond oddiwrthi? "Yn enwedig yr hwn sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth." Y mae yn debyg fod henuriaid, neu ddiaconiaid yn yr eglwys i ofalu am bethau allanol, yn nghyd a chynghori yn achlysurol yn absennoldeb y gweinidog, nad oeddynt yn ymddibynu ar yr eglwys am gynnaliaeth, ond yn dilyn gorchwylion tymhorol: eithr at y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth, y mae'r Apostol yn cyfeirio ein sylw yma. Fe fydd yn hawdd i ti wybod pwy sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth wrth eu gwrando yn pregethu yn awr ac eilwaith, nid gwaith anhawdd yw dyfod o hyd i'r dynion, ond i ti wneyd ychydig sylw. Y mae mae y pwlpit yn lladmerydd rhagorol o wasanaeth y myfyrgell. Nid oes eisiau i ti ymholi yn nheulu y gweinidog, pa faint o berthynas sydd rhyngddo a'r study, fe gyhoedda yr areithle hyny a sain uchel, oed i ti fod a dy glustiau yn agored i wrando. "Gwnewch gyfrif mawr o honynt, er mwyn eu gwaith." Nid er mwyn eu teuluoedd a meithder y ffordd sydd ganddynt i deithio at gyhoeddiad, sef nid er mwyn hyny yn unig, ond er mwyn eu gwaith; onite byddi yn euog o roddi ymborth y gweithiwr i'r segurwr. Teil-

wng y gweithiwr ei gyflog," ond nid teilwng yw cymeryd allan o gyflog y gweithiwr i feithrin segurdod a segurddyn. Bydd yn llygeidiog i ganfod y dynion sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth, a pharcha hwynt fel y cyfryw. Yn ngwledydd y dwyrain arferid dyrnu'r ŷd ag ôg, math o offeryn daneddog a dynid gan ychain dros yr ŷd ar y llawr dyrnu; at yr arferiad hyny y cyfeiria fyr Arglwydd pan yn gorchymyn peidio cau safn yr ŷch, tra fydd yn dyrnu. Yr hyn sydd yn dangos y dylem ofalu am, a phorthi y creaduriaid sydd yn ein gwasanaethu, a pheidio ymddwyn tuag atynt yn angharedig ac annynol. Y mae Paul yn cadarnhau oddiwrth hyn ei bod yn ddyledswydd ar yr eglwysi ofalu am, a darpar ar gyfer y rhai sydd yn tori iddynt fara y bywyd tragywyddol. "Ai dros ychain y mae Duw yn gofalu? Ynte er ein mwyn ni yn hollol y mae yn dywedyd? Canys er ein mwyn ni yr ysgrifenwyd, mai mewn gobaith y dylai'r arddwr aredig, a'r dyrnwr mewn gobaith i fod yn gyfranog o'i obaith. Os nyni a hauasom i chwi bethau ysbrydol, ai mawr yw os nyni a fedwn eich pethau cnawdol chwi? Oni wyddoch chwi fod y rhai sydd yn gwasanaethu yr allor, yn gydgyfranogion o'r allor? Felly hefyd yr ordeiniodd yr Arglwydd i'r rhai sy'n pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl." Yn aml y clywir dywedd. "Telir i chwi yn eich mynwes." Wrth dalu yn y fynwes, y meddylir, 'rwyf yn tybied, cael cysur a dyddanwch yn y llafur i'n meddwl. Wel y mae hyn o drugaredd Duw, nid trugaredd neb arall yn cael ei roddi yn aml, ond, os bydd amgylchiadau gweinidog yn gyfyng iawn, nis gall fod yn eithaf tawel yn ngwlad y fynwes. Mae hyn yn debyg iawn i ddywedyd wrth y newynog, "Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch; eto heb roddi iddynt angheurheidiau y corph." Hefyd, "Talu yn adgyfodiad y meirw." Rhywle heb gyffwrdd a'i logell ef. Y dynion haelaf ar y fynwes ac adgyfodiad y meirw, yw y rhai mwyaf cybyddlyd yn gyffredin ar eu pethau eu hunain. Y mae'n dda, yn ddiameu genyf, i fod yn adgyfodiad y meirw, i'r cyfiawn, (nid i gybyddion) ond y mae eisiau ymgeledd ar y gweinidog ar ei daith tuag yno, i'r dyben o'i alluogi i wneyd cymaint lles ag a allo ar ei bererindod i'r lle.

Yn awr yr wyf yn gadael i ti mewn undeb a'r eglwys, i farnu pwy sydd yn teilyngu parch dau-ddyblyg, ac yna, ar ol dyfod i'r penderfyniad, gobeithio yr ymddygi atynt fel y cyfryw. Ni chaf dy flino mwy â llythyrau ar y matter hwn, er fod genyf lawer o bethau i'w hysgrifenu attat, nid oeddwn yn ewyllysio ysgrifenu â phapur ac inge; ond gobeithio yr ydwyf ddyfod attat, a llefaru wyneb yn wyneb.—Yr eiddot, &c.

## BIBLAU CYMRAEG.

Anwyl Gyhoeddwr.—Mae yn hyfryd genyf allu hysbysu i'ch darlledwyr lluosog, fod dau argraffiad o Feiblau Cymreig heirdd a buddiol iawn, newydd eu cyhoeddi gan y Bibl Gymdeithas, er lleshad y Cymry. Un yn Fibl 4 plyg, ar bapur da, llythyren eglur, a chyfeiriadau ar ymyl y ddalen, ac wedi ei rwymo mewn croen llo lliwiedig hardd, i'w werthu am Guni. Y llall yn Feibl 12 plyg, yr un faintioli a Biblau ysgol cyffredin, yn hynod o hardd, a chyfeiriadau ar ymyl y dalenau. Un yn Feibl teuluaidd, a'r llall yn Fibl llogell. T. Phillips.

*Hay.*

## ANMHLEIDGARWCH GOLYGYDD Y DYSGEDYDD!!

Syr.—Byddaf yn ddiolchgar i chwi os gadewch i'r ychydig linellau hyn ymddangos yn y Drysorfa am Fedi.

Mae Golygydd y Dysgedydd, a rhai o'i ohebwyr wedi beio cryn lawer ar y Drysorfa, o eisiau ei bod yn fwy anmhleidgar, hefyd ymffrostiant lawer iawn yn anmhleidgarwch y Dysgedydd! Digrif iawn yw gweled rhai yn beio ereill am beth y maent yn euog o hono eu hunain. Yn awr caf brofi hyny.

Amryw fisoedd yn ol, ymddangosodd yn yn y Dysgedydd gyfieithiad o hanesyn gwael a ymddangosodd yn y newyddiaduron seisnig mewn perthynas i esgob Exeter, yr hwn a digwyddodd gysgu mewn addoldy, a'i bwysau ar ddrws yr eisteddlle, pryd yr ymagorodd y drws fel o'r braidd y diangodd yr esgob rhag syrthio ar ei ben. Yn ddioed, cyfaill i mi a ysgrifenodd at olygydd y Dysgedydd gan ei feio, am ysgrifenu peth mor wael a phlentynaidd, ond ni chlywyd byth son am dano. Yn awr, Syr, gofynaf pa le y mae yr anmhleidgarwch yr ymffrostir cymmaint o'i herwydd?

Etto, ryw amser yn ol, ymddangosodd yn y Dysgedydd, Draethawd o eiddo y Parch. John Roberts, Llanbrynmair, "Ar drefn Adda, a threfn Crist," yn mha un y mae yr awdwr yn rhoi camddarluniad gwarthus o olygiadau rhyw blaid o bobl; yn ddioed ysgrifenwyd sylwadau ar y traethawd, a galwyd ar yr awdwr i brofi ei bwngc, ond wele yr ysgrif heb ymddangos etto, er fod dau rifyn o'r Dysgedydd wedi ymddangos ar ol hyny; os bydd hyn yn foddion i gael y ddwy ysgrif a ddanfonwyd, i gael eu hargraffu, da; neu os na bydd, tawed y golygydd am byth a brolio ei fod yn ddyn anmhleidgar, anfoned y Dysgedydd yn sypynau i * * * * * * *, i gael eu llosgi a chanwyll yn yr awyr agored, fel ag y clywais ddarfod llosgi papurau un o'r gweinidogion yr Eglwys Sefydledig, yn Rhuabon.

Neuter.

## LLYTHYR

*Y Parch.* ROBERT ROBERTS, *o Glynog, at Mr.* DANIEL JONES, *gynt o Liverpool.*

ANWYL FRAWD.—Yr ydwyf yn bwriadu anfon atoch rai o lythyrau enwogion y dywysogaeth (sydd yn awr yn gorphwys oddiwrth eu llafur) a anfonwyd yn eu dydd at fy anwyl a pharchus dad. Os gwelwch hwynt yn deilwng o le yn y Drysorfa, cant fod at eich gwasanaeth.

*Gwrecsam.* JOHN JONES.

*Clynog, Hydref* 11. 1797.

FY ANWYL DANIEL.—Da y gwyddoch am danaf mai addawwr da, a chwblhawr drwg ydwyf, yn achos y llythyrau yma: ond er y cwbl ni allaf anghofio fy anwyl gyfaill D. J.

Wedi i mi ganu yn iach i chwi, yn ebrwydd cymmerais fy nhaith, gan wynebu Llundain:—bum gyda Mr. CHARLES ddwy noswaith yn yr Amwythig;—pregethasom yno unwaith i'r Cymry tlodion; cawsom lawer o honynt i'n gwrando, ac argoelion fod Duw yn arddel y gair yn eu plith. Ond yr oedd y proffeswyr Seis'nigaidd yn edrych yn bur guchiog ar ein bwriad o bregethu yn Gymraeg yn eu tref hwy, &c. Gadawsom eu tref iddynt, a dringasom i'r cerbyd gorwyllt, yr hwn oedd megis yn ehedeg gan garlamiadau y meirch buan-draed. Yr oeddwn yn meddwl fod y meirch yn eu natur yn crochlefain, "Llundain, Llundain, ar frys gwyllt." Bum yn bur llesg ar hyd y ffordd oherwydd cyflym ysgogiadau y cerbyd; ond fe gafwyd grym i gyrhaedd pen y daith.

Bum yn y ddinas fawr wyth Sabbath. Yr ydwyf yn meddwl y gallaf ddywedyd yn ostyngedig fod yr Arglwydd yn fy helpu yn y gwaith. Yr ydwyf yn gweled yn beth *mawr mawr* cael bod ambell fynyd yn Nuw wrth lefaru i'r bobl; ac y mae yn hawdd genyf benderfynu na fyddaf yn ddim lles yn un man arall.

Am y gwrandawyr yno, yr oeddynt yn bur lliosog; pe buasech yn eu gweled, gwn y buasech yn rhyfeddu weled cymmaint torf o Gymry yn ymgynnull yn Llundain y Saeson.

Gwrandewais yno ar lawer o athrawon Seisnig, ac yr oeddwn yn eu deall yn lled ddirwystr. Rhyw ocheneidiau fel hyn a fyddwn yn deimlo yn fy nghalon—"Wele dân a choed; ond mae Oen y poeth offrwm? Wele allor, wele aberth, ond pa le y mae'r tân! Wele gadair-ymadrodd WHITFIELD, ond pa le y mae ei Dduw ef! Weithiau byddai galarnad fel hyn yn dadsain rhwng parwydenau fy nghalon, O anhapus gynnulleidfaoedd lliosog! ai swn tôn-lafar pibellau yr organ a gawsoch yn lle swn Duw Hollalluog! Pa beth yw y gwrthddrych acw a welaf wedi ymddyrchafu uwch ben y lliaws, a'i ben cyn wyned a'r Wyddfa yn amser eira, ac wedi ymwisgo mewn gloywddu, yn dechreu ymleferydd wrth y bobl, megys trwy ei gwsg, gan ddywedyd wrthynt, "Os oeddynt yn teimlo ofnau am eu cyflyrau, mai rhy anghrediniol oeddynt; ac os oedd pechod yn ymgynhyrfu ynddynt, am iddynt fod yn bur gysurus; mai felly yr oedd y duwiolion i gyd," &c. A ydyw hyn ddim yn debyg i "iachâu briw merch fy mhobl yn ysgafn, ac i waeddi, heddwch, lle nid oes heddwch." Rhag y ffurf oerllyd o lefaru a gwrando yn y cnawd, "*Gwared ni, Arglwydd daionus.*"

Etto ymgysuraf; y mae gan Dduw rai ychain yn Llundain ag sydd yn tynu eu cwys goch trwy gyflyrau eu gwrandawyr. Ychwaneged yr Arglwydd eu nifer. *Amen.*

Y mae fy iechyd, mewn rhai pethau, yn well na'r amser y gwelsoch fi; ac etto nid ydwyf ond llesg a gwael. Y mae byd mawr arnaf yn achos fy nghyflwr y dyddiau yma. Y mae arnaf arswyd myned trwy weddïau dirgel a chyhoedd heb ymostwng ynddynt am bechodau y galon; ac yr ydwyf yn gweled perygl rhag i mi gael glân yn un lle ond yn y Cyfryngwr, IESU GRIST. Dymunaf ar Dduw fy nghadw yn y tonau yn hytrach nag i mi gael cysur anghyfreithlawn.

Wyf, &c.

ROBERT ROBERTS.

## LLYTHYR AMDDIFFYNOL.

BARCHEDIG SYR.—Mae yn ddrwg genyf gymmeryd modfedd o bapyr y Drysorfa at bethau personol neu gyffredin; ond caniatewch i mi am unwaith yn unig, oblegid y mae y mynych grybwylliad a wnaed o fy enw gwael yn y Rhifyn diweddaf yn gofyn hyn. Gyda golwg ar fy nghynnygiad yn Rhifyn Gorphenaf, dywedaf nad oes arnaf gywilydd o'i blegid, oherwydd y mae ei ysbryd, ei duedd, a'i eiriau, yn llawn o ostyngeiddrwydd a thangnefedd, ac o'r parch a'r canmoliaeth mwyaf dyledus i'm brodyr. *Dymuno*, neu *gynnyg*, ac nid *beio* neu *orchymyn*, y mae y geiriau a arferais. Mae y cwbl yn cyfranogi yn helaeth o ysbryd a nodweddiad yr efengyl, ac yn gwbl o'r un egwyddorion â St. Paul, 1 Cor. i. 10. Ond rhyfedd mor anhawdd yw ymdrin â dynolryw. Mae un o'r genedl hono yn ceisio dangos ei ddawn beirniadol trwy nodi rhai pethau megys beiau. Gobeithiwyf y gwna efe arfer mwy o ddoethineb, a gwell barn, y tro nesaf y beirniada ar waith ereill.

Yn gyntaf, dywedir ganddo bod fy nghynnygiad allan o amser. Os ydyw felly, nid fy mai i yw hyny; a dylasai ystyried, cyn beio ar hyn, nad yw ysgrifau bob amser yn cael eu cyhoeddi ar eu danfoniad cyntaf; felly fy ysgrif innau y tro hwn. Anfonais hi o fy llaw cyn gweled hysbysiad Mr.

Edwards; er y gallaswn ei hattal, a'i galw yn ol, ond gan mai nid Mr. Edwards oedd yr unig un mewn golwg—ac er ei fod ef yn bwriadu tewi, etto ymddiriedai y ddadl i Mr. Mills i'w dwyn y'mlaen—pa fodd yr oedd allan o amser fel hyn?

Dywedir ganddo bod *sen*, neu *gerydd*, ynddo. Dim o'r fath beth, i'r naill frawd na'r llall, nac i'r ddau ychwaith. Ni ddichon neb yn deg gasglu hyny. Ond os oedd efe dan lywodraeth sengarwch ei hun oblegid ei sel fawr dros y ddadl, yr oedd felly yn gweled *sen* ym mhob peth croes i ddadl.

Dywedir ganddo bod y geiriau *pynciau sychion a chynhyrfus, &c.* yn eu dangos yn bethau dibwys a diwerth. Dyma gasgliad disail a disynwyr iawn. Mae llawer o bethau neu byncian felly, ac etto o *bwys a gwerth mawr*; ond am eu bod yn sychion, &c. y mae rheswm, amser, lle, ac amgylchiadau, weithiau yn cyd-alw am eu gadael yn llonydd. *Sychion iawn* oeddynt i eneidiau sychedig. Nid oedd fawr o son am enw Iesu Grist, a'r iachawdwriaeth, yn holl dudalenau y ddadl; ac nis gallasai fod, y mae yn wir, yn ol natur y ddadl. *Cynhyrfus* ryfeddol ydynt hefyd. Mae tudalenau y misolion, a siarad mawr y wlad, yn profi hyn

Dywed yn nesaf ei fod yn tueddu i gymylu y goleuni a lewyrchodd, &c. Nid oeddwn yn bwriadu hyn, ond i'r gwrthwyneb, oherwydd dywedais, os oedd angenrheidrwydd am ychwaneg o eglurdeb a goleuni arnynt, am iddynt gyhoeddi llyfrau, yr hyn sydd lawer gwell ar bethau o bwys na thaeru yn hir mewn misolion. Collais i o 5 i 8 o dderbynwyr y flwyddyn hon, rhwng y Drysorfa a'r Athraw. Ond aed y frwydr, neu y ddadl, ym mlaen, o'm rhan i. Mewn doethineb, a pharch at fy mrodyr, mi dawaf, rhag ofn i'r frwydr ddiweddu yn ein gwersyll ni, ac i'r amryfusedd diweddaf fod yn waeth na'r cyntaf.

Yn olaf, dywedir ganddo bod llawer o ddyfalu ac ymholi, pa beth yw yr hyn a roddais mewn iaith ddieithr, a pha beth oedd fy nyben yn ei roddi felly. Pa achos oedd iddo ef, na neb arall, chwennych gwybod? Oni ddywedais nad oedd yn perthyn i neb wybod, (er na fuasai hyny o gymmaint canlyniad,) ond y brodyr a enwais. Yr oedd genyf ddau reswm am hyny, ac un diben. Ni feddyliais y buasai neb yn beio am mor lleied a hyny am unwaith. Gwelais lawer darn o Saesonaeg yn y Drysorfa, yr hyn oedd mor annealladwy i ugeiniau o ddarllenwyr y dywysogaeth a fy eiddo innau.

Eich gwas,
DAVID MORGAN.

---

* Mae yn ymddangos i ni fod yr Ysgrif wedi ei chadw yn rhywle cyn dyfod o honi i'n llaw ni.—CYH.

## LLYTHYR TREFNYDD.

MR. TRYSORWR.—Er, efallai, y barnech mai ffolineb ynwyf, i raddau, ydyw ysgrifenu i ymyraeth â rhai sydd yn trystio yn drwm yn y dyddiau hyn yn Nghymru, ac mai gadael iddynt fyddai gallaf o lawer; ond ryw fodd neu gilydd nid ymattaliwn yn fy myw heb gynnyg i chwi yr ysgrif ganlynol, pa un bynag ai fy nhroi yn ol oddiwrth y porth a wnewch ai peidio.

Yr wyf yn ddarllenydd cyson ar ddalenau eich Cyhoeddiad, ac yn mawr brisio yr hyn o bryd i bryd sydd yn ymddangos ynddo; ond yr hyn yn benaf a ddaw dan fy sylw yn bresennol fydd "Cofnodau Cymdeithasfâau." A chyn myned gam ym mhellach i sylwi arnynt, dymunwn ddychwelyd fy niolchgarwch i Mr. R. Edwards am eu cofnodi mor fanylaidd a chryno; a diolch i Ben mawr yr eglwys fod y blaenoriaid a'r pregethwyr yn cael eu cadw mor effro a gwyliadwrus—mor efengylaidd a thirion—yn llunio ac yn pasio penderfyniadau a raid fod mor ffafriol i achos yr Arglwydd, ac mor wrthwynebus i lygredigaethau yr oes.

Ond yr wyf yn deall, wrth eich mynych *hints* ar y clawr, mai mwy derbyniol genych chwedl fer na hir, ac am hyny ni throseddaf y gorchymyn yn hyny, bid a fo, er na bydd i mi ymrwymo at fyrdra, os wrth hyny y gwnaf anghyfiawnder â'r pwnc.

Y mae penderfyniadau Cymdeithasfâau yn cael llawer o effeithiau, a gwahanol effeithiau, ar y wlad yn gyffredinol; a mynych iawn y cyfarfyddwn â dynion yn cymmeryd arnynt ddeall *annogaeth* Cymdeithasfa yn "*ddeddf*"—a chyfrifant y penderfyniad yn ffolineb ac yn *orthrwm*.

Y mae penderfyniadau y Corff o barthed yr Eisteddfodau—yr Odyddion—a Dirwest—wedi peri llawer o sŵn a chynnwrf yn y wlad yn y dyddiau hyn—ac ambell un yn ymadroddi llawer mewn sych-ffraethineb yn y cornel—a rhyw rai dan faich wedi ysgrifenu ar y pwnc.

I. Yr Eisteddfodau.—Llawer a wawdiwyd ar y Corff yn fy nghlywedigaeth i, eu bod wedi rhoi *bull* allan yn erbyn Eisteddfod Llerpwll," pan, mewn gwirionedd, na chyfeirid yn bennodol at Eisteddfod Llerpwll, ond at Eisteddfodau yn gyffredinol; ac yma mi a roddaf benderfyniad y Gymdeithasfa, *verbatim et literatim*:—

"5. Gwnaed crybwylliad ynghylch Eisteddfodau Cymreig. Dywedwyd ein bod yn dal at y penderfyniad sydd genym; sef, nad yw ein haelodau i fyned i'r cyffelyb gyfarfodydd, oblegid y llygredigaeth sydd yn arferol o fod ynddynt."—*Trysorfa, Rhif.* 116, *tu dal.* 232.

Dyna y "*bull*," fel y'i gelwir; a'r rheswm am ei gyhoeddi yw y "llygredigaeth sydd yn arferol o fod ynddynt." Yn awr, os oes, "llygredigaeth" yn y cyfryw gyfarfodydd

onid dyledswydd pob dyn a Chorff crefyddol yw eu gwrthwynebu—a hyny yn wrol ac yn effro—canys, heb hyny, pa fodd y gallant fod yn "halen y ddaear," ac yn "oleuni y byd?" Ac yn awr y mae yn gorphwys arnom brofi fod "llygredigaeth....ynddynt." Gwyr pawb sy gynnefin â hanes Cymru yn nyddiau ein teidiau, mai nosweithiau llawen oedd un o'r pethau mwyaf llygredig yn y dyddiau hyny; ac mai un o'r pethau penaf yn y nosweithiau llawen oedd canu pennillion masweddol gyd a'r tànau. Un o'r pethau a ddiflanasant o flaen llewyrch efengyl oedd y nosweithiau hyn a'u cyflawniadau; ond yn mhob Eisteddfod Gymreig, nid yn unig cymmeradwyir hyn, ond gwobrwyir hwy am ei gyflawni. Dyma un llygredigaeth sydd yn hanfodol i Eisteddfod—ond y sawl a fu yn bresennol ynddynt a ŵyr oreu am gynnulliadau y Beirdd mewn parlyrau tafarndai, i gylchnewid ffraethineb barddonol hyd wawr y dydd drannoeth; ac am y telynorion a lochesir yn y llofftydd gan dafarnwyr, i ddenu yr ieuanc a'r difeddwl i ddawnsio, a gwrando ar y cantorion yn *practisio*. I'r rhai ag a fu yn byw mewn trefydd lle y bu Eisteddfodau, ac a welodd eu cyflawniadau o'r "Orsedd ar anterth haul," hyd ddydd olaf yr Eisteddfod, y gofynaf ai nid cywir yw rheswm y Gymdeithasfa yn condemnio Eisteddfodau? Ah! rhy dda y gwn mai ie.

Cyhuddiad arall a ddygir yn erbyn y Corff yw "eu bod wrth gondemnio Eisteddfodau yn milwrio yn erbyn iaith, dysgeidiaeth, a barddoniaeth Cymreig." Yn y lle cyntaf, ymholwn pa ddaioni a wnaeth Eisteddfodau i lëenyddiaeth Cymreig. Mewn gair, pa ddaioni i lëenyddiaeth Cymreig oedd tyru lluaws o gantorion a chantoresau Chwareudai penaf Llundain i Ddinbych, &c. i gynnal *Oratorio*: ac i bob pleidiwr Eisteddfodau y gofynaf ddau neu dri o gwestiynau, ac os gall ateb y rhai hyny yn gadarnhaol, yna byddaf mor barod ag yntau i benderfynu eu bod yn llesol iawn i lëenyddiaeth Cymreig. 1. A ydyw yr *holl* arian a gyfrenir tu ag at yr Eisteddfodau yn cael eu rhanu i'r Cymry yn wobr eu hathrylith.—2. Ar ol Eisteddfod "*Grand* a *Thaleithiol*," a ddichon un o'r gwyddfodolion esgyn i un o fryniau Cymru, a gwaeddi, O! Gymry, wele i chwi lyfr anffaeledig *unffurf* o orgraph Gymreig i ddechreu." Gwn y dichon iddo daro ei law ar ysgwydd un, a dywedyd, Dyma awdwr yr Englyn buddugol ar yr "Afr," a dyma y gwr a ennillodd am yr Englyn goreu i Syr Watcin, &c. ond nid hyny yw y pwnc.—3. Ar ol yr holl Eisteddfodau, a oes rhyw beth wedi ei gyhoeddi a all fod yn wir ddefnyddiol i'r wlad yn *gyffredinol?*

Ond beth y mae y Corff o Fethodistiaid yn ei wneuthur o blaid yr iaith? Mae hyn, tybiwyf, yn goron ar eu hegnïon.—Lle yr elo Cymry, anfonir Cymry i *bregethu* yr *efengyl* yn Gymraeg yno ar eu holau—a da y sylwodd un hen weinidog parchus yn ddiweddar—"Ei fod yn mynych dybied fod gan yr Arglwydd ryw sylw arbenig o genedl y Cymry—aent i'r man yr elont i drigiannu, anfonir yr efengyl ar eu holau yn yr iaith a ddeallont;" a mawrhaer Duw am hyny.

Wedi y cwbl, pe dangosai yr Eisteddfodau eu bod yr hyn a broffesant o barth llëenyddiaeth Cymreig, nid yw y Corff yn bwgwth eu condemnio ond cyhyd ag y pery yr anfoesoldeb a'r llygredigaeth sydd ynddynt—oherwydd yn y frawddeg nesaf dywedir, "....nid ydym yn gweled yn addas alw yn ol ein penderfyniad hyd nes y gwelom fod diwygiad wedi cymmeryd lle ynddynt.

II. Yr Odyddion.—Y penderfyniad nesaf yn Ninbych ynghylch yr Odyddion a fu yn achos o gynnwrf mawr. Y penderfyniad sydd fel hyn:—

"6. Penderfynwyd nad oes i un o'n haelodau berthynu i Gymdeithasau neu Glybiau sydd a dirgelwch ynddynt, megys Cymdeithas yr Odyddion," &c. &c.—*Trysorfa*, *Rhif.* 116, *tu dal.* 233.

Mynych y gofynwyd, yn fy nghlywedigaeth i, pa *reswm* oedd gan y Corff i gytuno ar y penderfyniad hwn, na welynt hwy reswm ynddo—pan, mewn gwirionedd, y mae y penderfyniad yn dwyn dau reswm pwysig i'w ganlyn i bob man lle yr elo.

Yn 1. "Nid yw y Gymdeithas hon yn meddu nawdd amddiffynol y llywodraeth, ac felly y mae yn anniogel." Dyna reswm cryf a phwysig, yn llawn tiriondeb a gofal, i'm tyb i. Penderfyna y Corff nad oes i'w haelodau berthynu i'r Odyddion—paham? Am nad yw dan nawdd y llywodraeth, ac am hyny yn anniogel.—Yn anniogel i ba beth? Yn anniogel i neb roddi ei arian ynddynt, oherwydd fod y *secrets* sydd ynddynt yn rhwystr anorfod i'r llywodraeth eu hamddiffyn: ni bydd wiw ceisio amddiffyniad y llywodraeth os derbynir sarhad oddi wrthynt.

Yn 2. Yr ail reswm a ddwg y penderfyniad i'w ganlyn yw hyn:—"Heblaw fod llygredigaeth yn un â hi mewn manau." *Un* yw yr Odyddion ym mhob man, ac oddiwrth yr *uniant* hwn y maent yn gallu ffrostio pethau mawrion. Os ydynt yn gwasgu at eu gilydd, ac yn ffrostio yn eu hundeb, pan fyddo *benefit* i'w gael, gweddus yw iddynt lynu hefyd wrth eu gilydd pan y cyhuddir hwy o lygredigaeth, ac y beiir arnynt o'r herwydd. Gwn y gwrth-ddadleuir, ac y dywedir, Pa'm y condemnir yr holl Odyddion, am fod llygredigaeth mewn "*manau?*" Onid o herwydd fod y "manau" hyny yn perthyn i'r Cyfundeb, a'r Cyfundeb heb eu condemnio. Pwy ni welodd Orymdaith Odyddawl ar ddydd eu huchelwyl, ar na chynhyrfodd i chwerthin wrth weled fod dynion wedi myned mor blentynaidd—mor benboethaidd—ac mor llygredig. Os na fu i'r darllenydd [illegible]

arnynt yn y goleu hwn, gwnaed y tro nesaf, ac nid ofnaf beri iddo farnu drosto ei hun. Gweled rhes hir o ddynion yn cario rhyw arwydd-luniau o golomen, a ser, allweddau croesion, ysgrifellau, a chleddyfau—y ddwy *globe, terestrial a celestial*, a BIBL Ion y Nefoedd yn nghanol yr osgorddlu—(ond yn nghauad, bid sicr)—a llu o ddefosiynau ereill; yn cerdded i'r Eglwys i ddim dyben gwell na chael esgus i symud yn orymdaith hyd yr heolydd, er ennill proselytiaid.—Dilynwch hwy wedi hyny i'r ciniawau a'r ysbleddach—y dawns-gymmanfaoedd neillduedig iddynt, a'r *Playhouses* a agorir dan eu nawdd. Nid haeriad yw yr un o'r rhai hyn, ond gwirionedd dilys ydynt, a ellir eu profi, os bydd galwad am hyny.

Os rhaid rhoi heibio pob rhith drygioni, rhaid ymgadw oddiwrth achlysuron i ddrygioni hefyd; a dyledswydd pob crefyddwr yw, cyn condemnio penderfyniad unrhyw gymmanfa, chwilio a oes synwyr a gwirionedd yn yr hyn a benderfynir, a phechod yn yr hyn a gondemnir—ac yna nid hir y byddant "heb arfer pob egni i ymryddhau" oddiwrth y cyfryw bethau, yr hyn a brofir yn ddiammheuol ond i bawb edrych o'i gwmpas yn ei ardaloedd a'i drefydd ei hun.

(*I'w barhau.*)

---

## CYLCHWYL DDIRWESTOL AMLWCH.

OLYGYDD PARCHEDIG,—Yr wyf yn mynwesu y cyfle hwn er anfon i'ch llaw yr hysbysiad canlynol; ac os digwydd i ryw gongl o'ch Trysorfa fod heb ei llenwi â nodiadau mwy buddiol, dymunaf iddo gael ymddangos.——Wyf eich cyfaill diffuant,

*Amlwch.* W. ROBERTS.

TREFNWYD, gan Gymdeithas ein Dirwestwyr, i Awst 11 fod yn ddydd ein Cylchwyl Flynyddol yn y dref hon; ac o gylch un o'r gloch y prydnawn, ar faes cyfleus, crynhôdd tyrfa lïosog o Ddirwestwyr, ac ereill, ynghyd; a chyn tri o'r gloch cyrhaeddodd lluoedd dirwestol Nebo, Gorslwyd, a Phen yr Orphwysfa, i'r un lle. Daethant i mewn yn fanerog a threfnus, ac â llawen floedd, a'r olygfa arnynt a lonodd yn fawr eu brodyr cynnulledig o'r blaen, wrth weled fod yr achos dirwestol, nid yn unig heb ddarfod am dano, ond hefyd heb un arwydd gwendid na gwywdra arno, gan fod y dyrfa, erbyn hyn, mor lliosog ag erioed o'r blaen.

Yna, pan ymunodd yr holl luoedd yn un dyrfa, darllenodd Mr. Seth Roberts ran o'r Ysgrythyr, a gweddiodd am nawdd a bendith y Goruchaf mewn modd neillduol ar weithrediadau y dydd hwnw gyd a'r achos dirwestol. Yna cyfarchodd y Parch. H. Griffith, a brawd parchedig arall, y gynnulleidfa, gyda nerth a bywiogrwydd neillduol, nes y dywedai llawer, "Da yw i ni fod yma."

Yna cychwynodd y dyrfa unedig o Ddirwestwyr ar ol eu baneri, yn hardd a gweddaidd, a chyd-gerddasant trwy y dref, "mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwyl."

Pan oeddynt, yn ol eu penderfyniad, yn dychwelyd i Gapel y Trefnyddion Calfinaidd, er gwrando y cyfarchiad diweddglöawl gan eu cyfaill parchedig, cyfarfu â hwynt yn ddisymmwth yr hyn a ystyrid yn well na'r araeth fwyaf grymus er dangos Mr. Alcohol yn ei wedd ddiledrith ei hun. Ai gwedd gythreulig yw, nis gwn, ond caiff ereill farnu. Daeth *cár* i gyfarfod blaen y fyddin ddirwestol, ac ynddo dri o foneddigion, tybygid; ond nid oeddynt oll, erbyn edrych, yn deilwng o'r enw. Ymegniai y gyrwr, â holl egni ei fraich a'i ffangell, gynddeiriogi yr anifail a'u llusgai, fel yr ymddangosai i bawb yn bresennol yn beth ammhossibl i lawer o'r dyrfa ddiango rhag eu dinystrio dan olwynion y cerbyd. Ni buasai waeth gwneud ymgais i geisio pwyllo Apollo, neu Apolyon ei hun, na cheisio gan ei was arafu dim ar ei gerddediad, nes edrychodd Ceidwad Israel arno, er ymwared i'r diniweid.

Pan oedd yr anifail o fewn ychydig latheni i flaen y llu dirwestol, torodd *back-band* yr *Harness yn y ddwy ochr*, a syrthiodd llorpiau y càr i lawr, a safodd yr anifail yn llonydd. Pa olwg a ddychymmygwch chwi, erbyn hyn, oedd ar y gyrwr ynfyd, nis gwn; ond cofiaf tra byddwyf byw yr olwg a gefais i fy hun ar y truan dyryslyd ar hyn o bryd.

Mae pawb oedd yn gyd-ddrychiol, hyd yma, heb wybod hyd yn nod trwy *offerynolde*b pa beth y cyflawnwyd y wyrth ryfeddol hon er eu gwaredigaeth; ond gwelodd llawer fod ganddynt destun newydd a phwysfawr i gydnabod yr Hwn "y mae ei drugaredd yn parhau yn dragywydd." A chafodd y Dirwestwyr heddwch mawr i gyd-foliannu yr Arglwydd am eu gwaredigaeth, tra yr oedd y gyrwr, druan, yn fawr ei drafferth yn ymofyn *Saddler* i dacluso y *gears*.

Terfynaf, gan obeithio nad oes *yn ninas Cybi* lawer o'r cyffelyb ddynion â gyrwr y cerbyd hwn.

---

## UNDEB Y PEDWARYDDION.

MR. GOLYGYDD,—Dymunaf genad i hysbysu i'r cyhoedd, drwy gyfryngiad eich cyhoeddiad gwiwlód, fodolaeth y sefydliad uchod yn Merthyr Tydfil. Amcanion blaenaf y sefydliad ydynt, cynnorthwyo y naill y llall mewn afiechyd a thlodi, ac estyn elusen i wragedd a phlant y brodyr trengedig, &c. Galwyd ef yn Undeb y Pedwaryddion, am na dderbynir neb iddo ond aelodau y pedwar enwad canlynol;—sef, y Trefnyddion Wesleyaidd, y Trefnyddion Calfinaidd, y

Bedyddwyr, a'r Cynnulleidfaolion neu yr Annibynwyr; hefyd, ni dderbynir o'r cyfryw a fyddo dan 14 oed, ac a fyddo dros 50 oed, oddieithr un neu ddau fel sylfaenwyr.

Yn hytrach nag i un digrefydd weled yn chwith fod yr Undeb hwn yn ei wrthod —gweled yn chwith ei fod ef yn gwrthod â niunau fel ei ganlynwyr, holed ei hun, yna ni ddigia ddim. Nid oes yn ein bryd ychwaith i dynu gwg yr Odyddion, yr Iforiaid, y Derwyddon, &c. arnom, llwydd mawr i bob sefydliad da. Derbynir hwynt yn wresog i'r Undeb hwn, a goddefir hwynt fod yn eu hen gyfrinfäoedd fel cynt.

Mae yr ysgrifenydd yn un o'r Iforiaid, ac nid oes arno gywilydd o'i frodyr hyd yn hyn; etto y mae ganddynt hwy a'r Odyddion, a'r Derwyddon ryw bethau, yn fy mryd i, nad ydynt yn cydweddu â symlrwydd yr efengyl, a chan fod llawer o eglwysi a chrefyddwyr o wahanol enwadau o'r un farn, meddyliwyd mai nid y lleiaf yn ei gymmeradwyaeth a'i dderbyniad fydd Undeb y Pedwaryddion, yr hwn na oddef un math o ffurf-wisgoedd o'i fewn.

Golygir i'r Undeb hwn fod yn gyffredinol, hyny yw, i bob cangen i weithredu wrth yr un reol. Mae ei reolau wedi eu cyfansoddi a'u cymmeradwyo gan bersonau cyfrifol a deallus, a bwriedir eu hargraffu yn fuan, fel y gallo y rhai a chwennycho eu gweled.

Cynnelir y Gymdeithas yn nhŷ Mr. Isaac Williams, Masnachydd Cyffredin, Glebeland, Merthyr Tydfil. Y neb a fyddo am wybodaeth pa fodd i sefydlu Cymdeithas, neu gangen o'r Undeb hwn, anfoner ato ef, neu at ysgrifenydd y llinellau uchod, yn ddidoll.

*Merthyr Tydfil.* DAN. JONES.

## CANU MAWL I DDUW.

WRTH edrych i'r Bibl, a darllen hanesiaeth eglwysig, ni a welwn fod Canu Mawl i Dduw yn yr eglwys o dan bob goruchwyliaeth. O dan yr Hen oruchwyliaeth, cawn hanes am Moses yn canu i'r Arglwydd am y waredigaeth ryfedd a gafodd Israel wrth y Môr Coch. "Yna canodd Moses a meibion Israel y gân hon i'r Arglwydd, ac a lefarasant, gan ddywedyd, Canaf i'r Arglwydd, canys gwnaeth yn rhagorol iawn: taflodd y march a'i farchog i'r môr. Fy nerth a'm cân yw yr Arglwydd, ac y mae efe yn iachawdwriaeth i mi: efe yw fy Nuw," &c. Ecsod. 15. 1, 2. Cawn hanes hefyd am Miriam, a'r gwragedd, yn canu. "A Miriam y brophwydes, chwaer Aaron, a gymmerodd dympan yn ei llaw, a'r holl wragedd a aethant allan ar ei hol hi, â thympanau, ac â dawnsiau. A dywedodd Miriam wrthynt, cenwch i'r Arglwydd; canys gwnaeth yn ardderchog: bwriodd y march a'r marchog i'r môr." Ecsod. 15. 20, 21. Ac onid oedd yn eithaf rhesymol, ie, ac yn wir yn ddyledswydd arnynt i ganu i'r Arglwydd am y waredigaeth ryfeddol hòno.

Cawn hanes hefyd am Debora a Barac yn canu mawl, pan oedd yr Arglwydd wedi eu cynnorthwyo i orchfygu eu gelynion. "Yna canodd Debora a Barac y gân hon: Clywch, O freninoedd; gwrandewch O dywysogion, myfi, myfi, a ganaf i'r Arglwydd; canaf fawl i Arglwydd Dduw Israel," Barn. 5. 3.

Hefyd, darllenwn am Dafydd, yn neillduo cantorion, ac yn eu dosbarthu yn bedwar dosbarth ar hugain; a'u rhifedi oedd ddau cant a phedwar ugain ac wyth: a'r rhai hyn oeddynt yn gwasanaethu yn nhŷ yr Arglwydd, 1 Cron. 25. 7.

Cawn hanes am gantorion yn canu mawl pan oedd teml yr Arglwydd yn cael ei hadgyweirio, ar ddychweliad cenedl Israel o gaethiwed Babilon, Ezra 3. 10.

Darllenwn hefyd am gantorion yn nyddiau Zorobabel, a Nehemiah, yn gwasanaethu ger bron Duw, Neh. 12. 47.

Ac hefyd wrth droi ein golwg tua boreu yr oruchwyliaeth efengylaidd, ni a welwn fod canu yn yr eglwys y pryd hyny. Cawn hanes am Grist a'i ddysgyblion ar ol bwyta y pasc, y tro diweddaf, cyn marw o hono, yn canu hymn. "Ac wedi iddynt ganu hymn, hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd, Mat. 26. 30. A diameu fod i'r saint ganu mawl i Dduw yn mhob addoliad crefyddol yn beth hollol weddus: ac y mae yn ddyledswydd arnynt "wneuthur mawl eu Harglwydd yn ogoneddus," yn mhob man.

Ar ol hyny cawn hanes am Paul a Silas, pan oeddynt yn y carchar, yn gweddio ac yn canu mawl. Ac eglwys Corinth yn canu hymnau. Ac y mae yr apostol Paul, wrth ysgrifenu at yr Ephesiaid, yn eu cynghori "i lefaru wrth eu gilydd, mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol; gan ganu a phyngcio yn eu calonau i'r Arglwydd." Ac wrth ddarllen epistol Iago, gwasanaethwr Duw, at y deuddeg llwyth oedd ar wasgar, ac yn benaf at y crist'nogion o honynt, clywn ef yn eu cynghori fel hyn; "A oes neb yn eich plith mewn adfyd, gweddïed; a oes neb yn esmwyth arno, caned salmau." Ac mae yr apostol Paul wrth ysgrifenu at "y saint, a'r brodyr ffyddlawn yn Nghrist, oedd yn Colossa," yn eu hannog "i ganu trwy ras yn eu calonau i'r Arglwydd; "o blegyd â'r cyfryw aberth y rhyngir bodd Duw."

Y mae gwaeledd mawr i'w weled y dyddiau hyn gyda y rhan yma o waith Duw, sef canu ei fawl ef. Canys wrth ddarllen y Testament Newydd ni a welwn mai yn yr eglwys, ac yn mhlith y saint yn unig, yr oedd canu mawl i Dduw yn arferedig. Ond yn ein dyddiau ni, fel y mae yn alarus meddwl, y mae y rhan ogoneddus hon o waith yr Arglwydd, mewn rhai manau,

bron wedi myned o law yr eglwys, i ddwylaw dynion llygredig, a digrefydd. Mae blaenoriaid y gân, mewn ambell ardal, yn ddynion annuwiol ac anfucheddol; fy mrodyr, "ni ddylai y pethau hyn fod felly."

Yr ydwyf o'r farn fod yr Arglwydd yn cuddio ei wyneb oddiwrthym, fel eglwysi, mewn manau, o herwydd hyn. Gobeithiaf yn ddifrifol y bydd i swyddogion eglwysig y Methodistiaid Calfinaidd, ystyried yr achos hwn, a gofalu mwy am gadw llestri y cyssegr rhag myned i ddwylaw dynion llygredig. Mae y mater pwysig hwn yn ddwys ar fy meddwl, wrth edrych ar y dirywiad mawr sydd wedi cymmeryd lle yn y rhan hon o addoliad Duw, mewn rhai manau.

UN O FRODORION DINORWIC.

---

## COFFADWRIAETH

*Am* MARGARET WYNNE, *Llwynedd, Llanbedr, gerllaw Rhuthin, Swydd Dinbych.*

GANWYD Margaret Wynne Ionawr, 1809. Merch oedd i William a Mary Jones, Pentre, Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd. Yr oedd ei rhïeni yn proffesu crefydd gyd â'r Methodistiaid Calfinaidd, a bu ei thad yn swyddog eglwysig addas a defnyddiol dros lawer o flynyddoedd yn y lle uchod. Darfu iddynt ddwyn eu plant i fynu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd.

Yr oedd Margaret yn lled wanaidd ei hiechyd o'i hieuenctid; ac felly trwy hyn, ynghyd a gofal ei rhïeni am dani, ni chafodd flas ar gyfeillach nac arferion llygredig ei chyfoedion. Cafwyd arwyddion arni yn foreu fod gair yr Arglwydd yn cael effaith ddwys ar ei meddyliau, nes y byddai mewn gwasgfäon caled yn achos ei sefyllfa ysbrydol rhyngddi â Duw. Ac er mai fel hyn y treuliodd y rhan fwyaf o'i hoes, etto byddai yn cael rhyw ddadguddiadau o Grist fel Gwaredwr addas a digonol iddi hi, nes ymddiried ei hachos iddo.

Yn mis Ebrill, 1831, priododd â'r Parch. John Wynne, Gweinidog parchus gyd a'r Methodistiaid Calfinaidd. Bu ganddynt chwech o blant yn yr yspaid byr y buont yn byw ynghyd. Ar ol genedigaeth yr olaf o'r plant, ni chryfhaodd fel o'r blaen, ond parhaodd yn lled wanaidd am amryw fisoedd; ac yn y mis Medi canlynol cafodd anwyd, yr hwn a ymaflodd yn lled ddwys yn ei rhanau tumewnol; ac er pob ymdrech meddygol, bu yn gorwedd yn y gwely am y ddau fis olaf o'i hoes. Yn y sefyllfa hon gwawriodd yn hynod ar ei meddwl, nes chwalu ei hofnau rai gweithiau yn llwyr. Hydref 2, cafodd rhyw lewyrch ar yr hen bennill hwnw,

> Pa dduw ym mhlith y duwiau,
> Sydd debyg i'n Duw ni? &c,

A dywedodd, O mor dda y bu i mi o hyd! Hefyd dywedodd wrth ei gwr, Bu yn dda iawn arnaf ganwaith ar fy ngliniau wrth y gwely yma pan fyddech chwi wedi myned i'ch cyhoeddiad; oblegid byddwn yn myned yn ddirgel bob prydnawn Sabbath i weddïo a byddai braidd yn wastad yn llewyrchu arnaf yno. Ym mhen ychydig dywedodd, Bu Satan yn taeru yn awr fy mod yn dweyd celwydd wrthych. O John, mi gefais air hynod i gael taw arno, sef, "Digon i ti fy ngras i." Mi allaf bwyso arno, onid allaf? Ni allasai neb ond yr Ysbryd Glân ei anfon at fy meddwl.

Hydref 3, dywedodd, Nis gallaf byth draethu y gogoniant a welais yn Iesu Grist. Yna dywededd,

> Bydd pawb o'r brodyr yno'n un,
> Heb neb yn tynu'n groes.

Ym mhen ychydig dywedodd, Bum yn yn meddwl am y nef. Pwy fydd gyda ni yno? Atebodd, Iesu Grist, angylion, a saint. Yna, wedi adrodd y geiriau, "Pwy yw hon a welir fel y wawr," &c. dywedodd, Yr ydwyf wedi penderfynu rhoddi fy hun yn gwbl iddo—

> Mi ymddiriedaf yn dy allu,
> Mawr yw'r gwaith a wnest erioed, &c.

Trachefn, yn y prydnawn, pan yn bur sâl, dywedodd,

> Henffych i'r dydd cawn etto gwrdd,
> Yn Salem fry oddeutu'r bwrdd.

Hydref 4, (Sabbath) dywedodd, Lled gymylog ydyw heddyw ar fy meddwl, ond cefais gysur yn y gair, "Myfi yw dy darian, a'th wobr mawr iawn." Ac ym mhen ennyd canodd y pennill hwn ar yr hen fesur:—

Yna, gwedi iddi wellhau ychydig,

> Pwy welaf fel f' anwylyd,
> Yn hyfryd ac yn hardd;
> Fel ffrwythlon bren afalau,
> 'N rhagori ar goed yr ardd?

Yna aeth yn bur sâl, fel yr aeth ei chwaer i wylo; dywedodd hithau, Paham yr ydych yn wylo, Jane fach? Ai meddwl yr ydych yr âf i uffern? Na, nid ydwyf fi yn caru neb sydd yno. Pan aeth ei chwaer allan o'r ystafell gan wylo, dywedodd,

> Pan ddel angeu chwi ffowch ymaith,
> Da i mi fod genyf Dduw.

dywedodd ei bod yn ddiolchgar iawn i'w rhïeni am ei magu yn eglwys Dduw: bod hyny, fel moddion, wedi ei hachub rhag dilyn lliaws i wneuthur drwg. Dywedodd wrth ei gwr, Buasai yn dda genyf gael byw dipyn gyda chwi, i fagu y plant, a'u dwyn i fynu; ond tebygol nad felly fydd.

Bu yn lled gymylog ar ei meddwl hyd Hydref 17, pan lewyrchodd gyd â'r pennill,

> Mawr oedd Iesu yn yr arfaeth,
> Mawr yn y cyfammod hedd, &c.

A'r gair "Am hyny awn yn hyderus at orsedd-fainge y gras," &c. a fu yn gynnaliaeth mawr i'w meddwl.

Tachwedd 26 aeth yn glaf iawn, fel yr oedd arwyddion fod ei hymddattodiad yn agosâu. Dywedwyd wrthi, Nid yw hi ddim yn gymylog iawn heddyw, ai ydyw? Atebodd, Na, y mae hi yn o dda. "Yn eu holl gystudd hwynt, efe a gystuddiwyd." O Iesu anwyl! y mae yn beth o fawr bwys bod wedi cael ei adnabod erbyn heddyw! Yna dywedodd y geiriau hyn o'r Hyfforddwr—Iawn mawr! Digonol aberth, offrwm, ac Iawn!! Yr ydwyf yn gweled anfeidrol werth yn Iesu Grist, tu hwnt i'w draethu, yn y gair yma, "Iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er ein mwyn ni yn dlawd." Boreu y dydd y bu farw, dywedodd wrth y rhai oedd gyda hi, Ni chewch chwi ddim llawer o drafferth hefo fi yn ychwaneg. Parhaodd yn ei gwybodaeth hyd pan fu farw. Ei geiriau diweddaf oeddynt, Yr ydwyf yn awr bron yn iach, ond ychydig o boen yn fy *mreast*. Felly tua dau o'r gloch prydnawn, Tachwedd 27, 1840, ehedodd ei rhan anfarwol at y cyfeillion a garai, a'r Person y rhoddasai ei hun iddo.

Rhagfyr 1, ymgasglodd lliaws o'r cyfeillion, ac ereill, i ddangos y gymmwynas olaf iddi. Cyn cychwyn y corph, pregethodd yr hen Weinidog parchus, John Davies, gynt o Nantglyn, yn dra effeithiol, oddiar Heb. 11. 13. Yna cychwynwyd tua Llanrhaiadr, lle y dodwyd ei chorph i orwedd gyd a'i thadau hyd ganiad yr udgorn diweddaf,

Ac yna, mewn hedd,
Hi gyfyd o'r bedd,
Ar ddysglaer wedd ei phriod.

Yr oedd y chwaer hon yn hynod am ei gofal a'i charedigrwydd i Weinidogion y gair, a fyddai yn dyfod yn lled fynych i'w thŷ. Yr oedd hefyd yn ofalus am egwyddori a dwyn ei phlant i fynu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Yr oedd o dymher addfwyn a serchog—yn ymdrechgar, hyd y gallai, am foddion gras—yn nodedig am ddal a chofio y pregethau a wrandawai. Ac er mai gwanaidd oedd ei hiechyd; ac ofnus, gan mwyaf, am wirionedd ei chrefydd trwy ei hoes, tynodd ei chwys yn union heb golli ei choron, a chododd yr haul dysglaer arni yn yr hwyr.

GALARWR.

---

## COFFADWRIAETH

### *Am William Jones, tad gwrthddrych y Cofiant blaenorol.*

MAB ydoedd i William a Jane Jones, Pentref, Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd. Ganwyd ef tu a'r flwyddyn 1754. Dygwyd ef i fynu yn hollol ddigrefydd, a bu byw yn ol helynt y byd hwn, a thueddiadau natur lygredig, nes ydoedd rhyw gymmaint dros 30 mlwydd oed, heb feddwl dim am fater ei enaid. Pa beth fu yn dechreu aflonyddu ei feddwl ynghylch byd arall, nid yw yr ysgrifenydd yn gwybod yn bresennol, ond mai ei gymhell a gafodd gan gymmydog iddo i ddyfod i wrando rhyw bregethwr perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd oedd yn pregethu yn y plwyf uchod. Cymhwysodd yr Ysbryd Glân y gwirionedd at ei feddwl yn effeithiol, i'w oleuo fel pechadur rhyngddo a Duw; a'r canlyniad fu, iddo ymwasgu at yr ychydig bobl druain dlodion, perthynol i'r enwad uchod, oedd yn cynnal eu cyfarfodydd crefyddol mewn lle a elwir Bryn Melyn. Ond pan adeiladwyd Capel Prior, symudwyd yr arch a'r achos yno; ac ym mhen talm o amser, galwyd W. Jones gan yr eglwys i swyddogaeth eglwysig. Y mae un peth nodedig i'w ddywedyd am dano yn fuan wedi dyfod at grefydd, sef i achos ei deulu wasgu yn ddwys ar ei feddwl, am nad oedd yr un addoliad teuluaidd yno, nes oedd yn methu cysgu na bwyta; yr hyn a dynodd sylw ei fam yn neillduol arno, ac a barodd iddi ymofyn am yr achos. Yntau, yn wylaidd, a atebodd, mai am eu bod yn byw heb addoliad Duw yn deuluaidd. Wel, fy machgen, atebodd y fam, ti gei ddarllen heno. Ac felly y bu. Ac er fod hyny yn beth hollol ddieithr i'w rieni o'r blaen, etto gorchfygodd eu cydwybodau, fel y buont yn oddefol ac annogaethol iddo at y ddyledswydd tra buont byw.

Pan ydoedd yn agos i 40 oed, priododd, a bu iddo ef a'i wraig bump o blant, un o ba rai yw gwrthddrych y Cofiant blaenorol.

Ar ol i'r achos crefyddol helaethu ei derfynau, adeiladwyd Capel arall perthynol i'r Methodistiaid ym mhentref Llanrhaiadr, gerllaw tŷ W. Jones, a bu ei dŷ yn llettŷ cysurus (bob yn ail a lle arall) i Weinidogion a Phregethwyr a ddeuai yno i bregethu; ac y mae yn parhau felly hyd yn bresennol.

Un tra nodedig ydoedd mewn gweddi—selog, a gafaelgar yn addewidion Duw—pechadur heb ddim, a Christ yn bob peth, fyddai ei sylwedd hi yn wastad.

Yn yr eglwys, gwasgai yn ddwys ar ei gyfeillion am ymofyn am sylwedd crefydd, a defnyddio Crist yn yr hyn oll ag yw, fel y gallont ddwyn ffrwyth i Dduw.

Byddai llwyddiant crefydd yn llawenydd mawr iddo, a phob peth croes i hyny yn ei ofidio yn ddirfawr. Cafodd weled cynnydd ar yr eglwys, trwy i'r Arglwydd dywallt yn helaeth o'i Ysbryd, nes bod sain cân a moliant yn ei phyrth. Cynnyddodd yr Ysgol Sabbathol yn lliosog iawn, a byddai efe yn effro a siriol gyda hon hefyd.

Adfeiliodd ei iechyd yn raddol, gan ryw wendid yn ei ranau tumewnol—felly gorphenodd ei yrfa mewn tangnefedd, Hydref 27, 1828. Claddwyd ef ar y 30ain o'r un mis. Traddodwyd pregeth angladdol iddo oddiar 1 Thes. 4. 13, 14.

## GOFYNION.

ANWYL SYR.—Dymunwn yn fawr gae' eglurhad, drwy gyfrwng y Drysorfa, ar Ezec. 13. 9. T. JONES.
*Dinbych.*

SYR.—Dymunaf am atebiad buan i'r gofyniad canlynol trwy gyfrwng y Drysorfa :—Pa ganghenau o wybodaeth a ddylai y rhyw fenywaidd lafurio ynddynt er diwyllio eu meddyliau, ac er buddioli y rhai fyddo o'i hamgylch.
*Droflas.* AMYE.

### Y CONSTITUTIONAL DEED.

BARCHEDIG SYR,—Dymunaf am le i'r Gofynion canlynol yn un o'r Rhifynau dyfodol o'r Drysorfa, gan ddeisyf arnoch chwi, neu rai o'ch Gohebwyr ffyddlon, roddi eglurhad arnynt.

1. Pa le y cedwir *Original Constitutional Deed* y Trefnyddion Calfinaidd, a than ofal pa bersonau?

2. A ydyw yr *holl* Gapeli a oedd wedi eu hadeiladu pan wnaed y *deed*, yn bresennol yn ddiogel gan y Corph?

3. Os ydyw yr holl Gapeli eisoes yn hawl y Corff drwy y *deed*, pa angenrhaid sydd am gael gweithredoedd newyddion yn aml, oherwydd marwolaeth *Trustees, &c.* a thrwy hyny achosi llawer o draul ar yr eglwysi?

4. A ydyw y Capeli a adeiladwyd yn ddiweddar yn eiddo i'r Corph, er nad oeddynt yn bod pan wnaed y *deed?*

5. A oes perygl i'r *deed* fyned *out of force* drwy farwolaeth y personau y mae eu henwau ynddi, neu unrhyw amgylchiad arall?

Nid wyf yn anfon y gofyniadau hyn i'r dyben o lenwi y Drysorfa, ond am fy mod wedi gofyn i amryw Fethodistiaid, pa rai ydynt yn methu rhoddi boddlonrwydd, a minnau am gael y gwir. T. T.

MR. GOLYGYDD,—Gwelais yn y Drysorfa am fis Hydref, 1839, tu dal. 311, hysbysiad am lyfr bychan o waith yr enwog Dr. Franklin, a elwir, "Y ffordd anffaeledig i gaffael cyfoeth," wedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg i'r Gymraeg gan un Mr. Thomas Roberts, a'i fod yn bwriadu myned trwy Ddehau a Gogledd Cymru i'w gwerthu. Er i mi ymofyn am dano amryw weithiau gyda llyfr-werthwyr, a phersonau ereill, ni chefais neb yn gwybod dim ym mhellach mewn perthynas iddo. Yr wyf yn deall y byddai yn foddhaol gan lawer gael gwybodaeth helaethach am dano, heblaw yr eiddoch,
C. AP PEDR.

SYR,—Dymunaf arnoch chwi, neu ryw rai o'ch Gohebwyr medrus, roddi i ni ychydig o Ddaearyddiaeth etto, trwy gyfrwng y Drysorfa, gan ddechreu ar Ewrop, a rhoddi hanes un o'r gwledydd ëang hyn bob mis, sef Sweden, Norway, Rwssia, Prwssia, Denmark, Poland, Holand, Belgium, Germani, Awstria, Twrci, Groeg, Ffrainc, Switzerland, Hispaen, Portugal, Itali, &c. a hyny o waith yr awduron diweddaraf a chywiraf. Dymunol iawn fyddai gan lawer Cymro gael gwybod ychydig am hinsoddau y gwledydd hyn, eu maintioli, rhif eu trigolion, &c. ond yn enwedig eu crefydd, eu moesau, a'u harferion; ac amryw bethau ereill perthynol i Ddaearyddiaeth.
*Ger Bangor.* T. HUGHES.

SYR,—Deallir wrth sylwadau yn Nhrysorfa Awst fod yn ddyledswydd ar yr eglwysi fagu y plant dan eu haddysg, a bod yn ddyledswydd ar y plant ymaflyd yn holl freintiau tŷ Dduw pan ddelont i oedran i farnu drostynt eu hunain, &c.

Mae llawer o'r cyfryw yn y dyddiau hyn yn parhau i ddyfod i'r eglwysi hyd yn bymtheg a deunaw oed, heb ddangos un awydd am gyfranogi o'r Sacrament Swper yr Arglwydd, er cael eu cymhell i hyny.

Fy ngofyniad yw, Pa beth sydd i swyddogion yr eglwysi wneud i'r cyfryw? A ydynt i'w diarddel, yntau eu gadael tra y dewisont fod, dan yr esgus o'u perthynas â'u rhieni?

Yr wyf yn cymmeryd fy nghenad i gyfeirio fy ngofyniad at y Parch. J. Hughes, Pont Robert. R. R.

### GOFYNION AC ATEBION.

BARCHUS OLYGYDD,—Dywedir fod y ddeddf, yr hon a roddwyd i Adda yn ddeddf natur, o ran ei sylwedd, i ryw raddau, neu weddillion o honi, wedi aros yn natur dyn, er iddo, trwy bechod, golli Duw.

Paul a ddywed, "Canys mi a wn nad oes ynof fi (hyny yw, yn fy nghnawd i) ddim da yn trigo." Ac y mae yn hysbysu mai da yw y ddeddf.

A ydyw y dywediad blaenaf yn gyson â gair Duw? THOMAS JONES.
*Tan y Grisiau.*

ATEB.—Mae Boston, yn ei "Bedwar Cyflwr dyn," yn dywedyd fel hyn:—"Mae ychydig weddillion o'r ddeddf yn aros ym mhlith y Paganiaid, 'y rhai heb y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain.' Nid yw hyn yn dangos ond eu gwybodaeth, y fath ag ydyw, o'r ddeddf. Canys er fod ganddynt ddychymyg o honi yn eu meddyliau, etto mae eu calonau yn myned ffordd arall: y mae tuedd a gogwyddiad yn eu hewyllys yn hollol groes i'r gyfraith hono." Ac er cadarnhad o hyn, fe ddywed yr Apostol Paul, yn Rhuf. 2. 15. "Y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi." Nid *daioni* ynddynt yw hyn, eithr y mae holl fwriad

meddylfryd eu calonau hwynt yn groes i'r gweddillion hyn o'r hen reol sydd yn aros ynddynt. Ac am hyny gall pob dyn ddywedyd gyd a'r Apostol Paul, "Canys nid oes ynof fi, hyny yw, yn fy nghnawd i, ddim da yn trigo." CYHOEDDWR.

Pa beth sydd yn rhoddi hawl i blant i aelodaeth eglwysig? Atebiad cadarn i'r Gofyniad hwn a foddlona lawer o'm cymmydogion.

ATEB.—Perthynas â'r cyfammod newydd sydd yn rhoddi hawl i had credinwyr i ragorfreintiau y cyfammod. Mae y cyfammod newydd yn ddadguddiad efengylaidd o'r cyfammod tragywyddol. Gwel Gofnodau Cymdeithasfa y Drefnewydd. Y Drysorfa, Rhif. 126, tu dalen 185.

Mae gan blant credinwyr hawl i aelodaeth eglwysig yn eu perthynas â chyfammod Duw, yn ol y gosodiad o hono yn yr efengyl. Mae had y cyfiawn yn gorwedd yn ystâd mabandod yn deulu Duw.—"Sanctaidd ydynt." Yn mysg y saint y maent i gael eu hystyried, ac fel saint y mae ymddwyn tuag atynt. Gwel Cofnodau Cymdeithasfa y Bala. Y Drysorfa, Rhif. 128, tu dalen 254.

CYHOEDDWR.

---

## ATEBION.

*Ateb i Ofyniad Iolo Glan Muchedd, yn Rhif. 127, tu dalen 210, ynghylch Bedyddio Babanod.*

Y GOFYNIAD yw, "Ar ba sail y naceweh chwi, y Trefnyddion Calfinaidd, fedyddio plant dynion digred?" Meddyliwyf y gallaf ateb drwe fy mrodyr a'm tadau am hyn; sef am fa, feddant yr un sail i wneuthur yn wahanol; a chan mai yr hyn a gynnal adeilad yw sail, dylid cyfeirio y gofyniad at y rhai a adeiladant y ffordd hono, sef ar ba sail y gwnant felly? Tybiwyf fod barn y Trefnyddion Calfinaidd yn unffurf â barn yr Eglwys Gristionogol ym mhob oes, pan fyddai yr athrawiaeth yn bur, a'r ddysgyblaeth ar ei thraed.

Ond er prawf pellach o hyn, cyfieithais ychydig o waith rhai o'r Awduron enwocaf yn eu hoes. Gwel yn ngwaith y diweddar Barch. Jonathan Edwards, o'r America, Cyf. I, tu dalen 484. Gwel Iolo Glan Muchedd lawer ychwaneg yn y lle uchod, ynghyd a gwaith y Dr. Dwight, Cyf. V. tu dal. 265, 266.

Y mae Mr. Baxter, wrth ysgrifenu am farn ac ymddygiad y tadau Cristionogol, yn dywedyd i ni, fod ffydd, ac nid unrhyw heblaw un gyfiawnhaol, yn dybiedig yn y tad, drosto ei hun a'i had; oblegid cymhwysder gofynol plentyn yw hyn; sef, ei fod yn had credadyn. Ac y mae efe yn meddwl fod cyffredinolrwydd y Diwygwyr o'r golygiadau hyn.

Y mae efe yn egluro ei farn ei hun mewn llawn gyd-rediad a hyn yma, ac yn cefnogi y cyfryw âg amryw resymau yn ei "*Five Disputations*," ac ysgrifeniadau ereill o'i eiddo. Ni ddylem, eb efe, fedyddio y personau hyny, na'u plant, fel y cyfryw, y rhai ydynt aelodau gweledig yn nheyrnas y diafol, neu y rhai na wnant gymmaint a phroffesu ymadawiad â'i deyrnas ef; ond y cyfryw yw pawb nad ydynt yn proffesu ffydd gadwedigol. Os nad yw y cyfryw yn weledig yn nheyrnas y diafol, o'r hyn lleiaf nid ydynt yn weledig allan o honi. Y mae pawb a fedyddir yn ddyladwy, yn cael eu bedyddio i Grist; am hyny tybir eu bod yn proffesu y ffydd hòno trwy yr hon y mae dynion yn cael eu huno â, neu eu himpio yn Nghrist; ond nid yw hòno ond ffydd gyfiawnhaol yn unig. Dywed i mi, eb efe, pa le erioed yn yr Ysgrythyrau y dywedir fod neb wedi ei uno â Christ heb ffydd gadwedigol, neu broffes o honi? Mewn gair, y mae Mr. Baxter yn cymmeryd achlysur i egluro ei hun yn y modd yma:—Os nad yw Mr. Blake yn gofyn proffes ffydd gadwedigol ac edifeirwch, yr wyf yn dywedyd ei fod yn gwneuthur gwaith anhweg (*foul work*) yn yr eglwys. A phan y bydd i'r fath waith gwarthus gael yn ewyllysgar ei ddiffynu, a gair yr Arglwydd gael ei gamarfer oherwydd yr halogrwydd hwn ar eglwys ac ordinhadau Duw, y mae hyn yn fwy o dramgwydd i'r gwan a'r ymwahanwyr, a mwy o waradwydd i'r eglwys, ac yn achos trymach gan ddynion ystyriol na'r halogiadau rhy gyffredin ereill trwy esgeulusdra yn unig, ond nid i'w cyfiawnhau na'u hamddiffyn.

Dywedir i ni, gan ymofynwyr diduedd ereill, fod yr holl ddiwygwyr yn gofyn, yn eu cyfarwyddiadau a'u harferion, broffesiadau ac addewidion gan rieni a ddygai eu plant i'w bedyddio; sef proffesiadau o'u ffydd a'u hedifeirwch presennol, yn gystal ag addewidion am ufudd-dod rhagllaw; ac nid rhai deddfol yn unig, ond hefyd rhai o natur efengylaidd.

Y mae barn Eglwys Scotland i'w hadnabod wrth ei gwaith yn mabwysiadu y "*Confession, Catecism, and Directory, of the Assembly of Divines*;" y rhai, wrth ofyn proffes dadaidd, megys yn y Catecism, &c. nid ydynt yn meddwl unrhyw ialaw gwir ffydd, ac ufudd-dod efengylaidd.

Y mae meddwl yr Ymneillduwyr i'w adnabod yn amlwg iawn wrth y *Reformed Liturgy* a gyflwynwyd yn eu henw ar adferiad y Brenin Charles, lle y gofynir proffes gredadwy rhieni o'u ffydd, eu hedifeirwch, a'u hufudd-dod, mewn trefn i'w plant gael eu bedyddio.

Y mae Mr. Charnock, y duwinydd mawr hwnw, yn sylwi, fod ffydd yn dybiedig yn yr hwn a fedyddier mewn oed, a phroffes o ffydd yn y rhieni dros y plentyn.

Y diweddar a'r enwog Dr. Watts, yn ei "*Holiness of Times, Places, and People*," yn egluro ei hun fel hyn gyda golwg ar blant gwir gredinwyr:—"Yn fy marn i, cyn belled ag y maent mewn un ffordd yn aelodau o'r eglwys weledig, y maent ar y dybiaeth o'u bod, gyd â'u rhieni, yn aelodau o'r eglwys ddirgeledig. T. HUGHES.

*Ger Bangor*

---

*Ateb i Ofyniad Mr. William Williams, Manchester, yn Rhif. 122, tu dal. 55, am gyfieithiad o ymadrodd Saesoneg.*

O'R pymtheg cyfieithiad a dderbyniasom o amrywiol fanau, o'r ymadrodd Saesoneg, "The Church of Christ is not a Legislative but an Executive body," y goreu, yn ol ein barn ni, yw yr un a dderbyniasom oddiwrth J. J. Hughes, St. Asaph:—"Nid corph i osod Cyfreithiau, ond i'w gweinyddu, yw Eglwys Crist."* Barnasom hwn yn oreu am ei fod yn fyr, yn gyflawn, yn gosod allan ystyr y frawddeg Saesoneg, yn anghlogyrnog, ac yn llithrig; er fod amryw o'r lleill yn rhagorol o dda. Anfoned y Cyfieithwr air i ni pa fodd i gyfeirio ato, ac fe fydd ein Gohebwr, Mr. Williams, cystal a'i air, i anfon iddo y llyfr addawedig, sef "Bank of Faith," o waith y Parch. W. Huntington, S. S. CYHOEDDWR.

---

## LLINELLAU

*Er hysbysu i* DEWI DINORWIG *fy mod wedi derbyn y Wobr addawedig o'i law am y Pennillion a farnwyd yn oreu i'w canu yn Ngwyliau Dirwestol Ieuengctid Dinorwig.*

---

HAEDDAWL drwy'r byd gyhoeddi--mai gwron
Myg araul yw DEWI;
Cofus iawn, fel cefais i,
O'i ammod y ffrwyth imi.

Dyn geirwir o dan goron—Dinorwig,
Caed arwydd mai cyson;
A enwodd y gwr union,
Roes e'n hardd i Fardd o Fôn.

*Liverpool.* ASIEDYDD.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

"*Cofiant, a Gweddillion Barddonol John Thomas, neu Ieuan Glan Mechles.*" *Argraffwyd gan H. ac O. Jones, Wyddgrug.*

DYSGWYLIAIS yn ddyfal am flsoedd lawer am weled rhyw arwydd o barch yn cael ei wneud i fy nghyfaill ieuanc ymadawedig, a hyny oherwydd fy adnabyddiaeth bersonol o hono am lawer o flynyddoedd, a'r parch diffuant a deimlwn yn wastad tu ag ato.

Yr ydoedd gwrthddrych y Cofiant hwn yn feddiannol ar ddeall cryf, ac amgyffredion bywiog a threiddgar; a meddai dueddfryd cryf at bethau crefydd er yn foreu. Ond gyd ag iddo wneuthur ei ymddangosiad ar feusydd llëenyddiaeth a barddoniaeth, ac iddo ddechreu tynu sylw y cyhoedd at ei gyfansoddiadau gorchestol, efe a ddiflanodd o'r golwg, ac a gludwyd i orwedd at ei dadau. A mwyach nid oes goffa am dano ond a geir yn y llyfryn bychan hwn, ac yn mynwesau pruddaidd perthynasau a chyfeillion galarus. Ac yma nis gallaf lai nag adrodd rhan o Alareb cyfaill mynwesol iddo ar ei ol:—

"Y bedd! ah! y bedd! hen breswyl unigol,
Ti ddygaist aml gyfaill mynwesol i mi,
Mae'th olwg bruddglwyfus, a'th ddillad tristoerol,
Yn tynu'm teimladau trwy'm llygaid yn lli'.

Rhyw dyrfa aneirif o feibion athrylith,
Dan gadwen orweddant o fewn i dy ro;
Ac IEUAN orhoffus, gydymaith diledrith,
A ddygaist yn ieuanc o'i fraint i'th ddu fro."

Os yw dynion enwog mewn dysg, dawn, a duwioldeb, yn rhyglyddu parch tra yn fyw, diammeu mai gwaith teilwng ydyw cadw coffadwriaeth barchus am danynt wedi iddynt ymadael â'r fuchedd hon. Ac o bob dull o wneud hyny, onid y mwyaf effeithiol yw casglu a chyhoeddi eu cyfansoddiadau yn llyfrau wrthynt eu hunain?

Yn y rhan gyntaf o'r llyfr ceir dwy Alareb, ynghyd ag ychydig o hanes ei ymdaith fer ar y ddaear. Yn y rhan arall (yr hon ydyw y fwyaf gwerthfawr) ceir detholiad destlus o'i gyfansoddiadau barddonol, ar bedwar ar hugain o wahanol destunau; pob un o ba rai a ddangosant fod yr Awdwr yn meddu "enaid y gân," a chwaeth tu hwnt i'r cyffredin o feirdd ei oes.

Ni cheir y "Gweddillion" hyn wedi eu britho â rhes o eiriau clogyrnaidd ac anystwyth; ond yn addurnedig â meddylddrychau hedegog, iaith ystwyth, a duwinyddiaeth dda a phrofiadol. Mae ei gyfansoddiadau ar y tri thestun hyn; sef, "Y Duwdod," "Mawredd Duw," a "Teilwng yw yr Oen," yn fwy o lawer na gwerth y llyfr; a gresyn fuasai iddynt gael eu cadw ym mro distawrwydd o olwg y byd.

Digon yn bresennol a fydd y dyfyniad canlynol o'r "Gweddillion" er dangos eu teilyngdod a'u rhagoroldeb:—

### AMSER.

*Byr fyfyrdod ar Awaf-ddydd.*

NIWL tywyll sy'n gorphwys ar glogwyn y mynydd,
Gan gelu rhedegfa yr aber fach loywdd;

---

* "Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli."—Iago 4. 12.

Mor llom yw'r olygfa, o'r blaen oedd mor siriol,
Tra lledo tost auaf ei fantell gaddugol;—
Y goedwig sydd ddiddail, y glaswellt a wywodd,
A holl addurniadau yr hâf a ddiflanodd.
Ym mhell ac yn unig gadewch i mi grwydro,
Cyflymdra ben amser i fanwl ystyrio,—
Mor fyr yw fy mywyd! och! faint wy'n fyw'n ofer!
Mor 'chydig sydd genyf yn ngweddill o'm hamser!
Pa fath gyfnewidiau'n fy mynwes achosodd!

* * * * *

Mor ynfyd, neu waeth, 'rwyf yn treulio fy mywyd!
Mor gyflym 'rwy'n teithio i'r maith dragwyddolfyd!
Mor ddiwerth yw'r ddaear, a phob peth o'i heiddo!
A'r bythfyd, mor bwysig!—a minnau'n myn'd iddo!

Rhïeni wrth ei ddarllen, a welant yr angenrheidrwydd a'r lleâd o addysg foreuol, ynghyd a'r fendith sydd yn dilyn y rhai a "hyfforddir ym mhen eu ffordd."

Dymunwn annog fy nghyfoedion ieuainc, yn anad neb, i'w bwrcasu a'i ddarllen, fel y calonoger hwynt yn eu hymchwiliadau am wybodaeth fuddiol ac adeiladol. A hyderaf y bydd bendith yn dilyn y darlleniad o hono iddynt, nes eu dwyn i weled gwir werth crefydd, ac y coder awyddfryd ynddynt am ei meddu. Ac yna cant gyfarch angeu a'r bedd yn iaith y bardd ieuanc hwn:—

"O angeu! wyt gyfaill i'r rhai ailanedig;
O angeu! ti wyt gymmwynaswr plant Duw;
O angeu! wyt genad a ddygi'r gwaredig,
I fynwes eu Priod byth bythoedd i fyw!

Duw, gad im' d'adnabod cyn huno yn yr angau,
Ac yna nid ofnaf ei ddyrnod dwys ef?
Paham yr arswydwn rhag mynd i'w grafangau?
Nid yw ond negesydd i'n galw i'r nef.

O gad im' dy weled, fy Nuw a fy Llywydd!
Pa bryd y caf farw i wagedd a phoen?
Pa bryd y caf farw i fyw yn dragywydd?
Pa bryd y caf ddiango i fynwes yr Oen!

*Caerlleon.* SYLWEDYDD.

---

## BEIRNIADAETH.

HYBARCH OLYGYDD,—Clywais cyn hyn fod y fath beth yn y bydysawd deallawl yma, fel y mae mwyaf y digrifwch, ag i awduron adolygu eu gwaith eu hunain mewn rhyw fisolyn neu gilydd, er mantais idd ei ganmawl i sylw, a'i gymhell ar y genedl; ac odid fawr na lithrant yn ormodol i'r bai yma gan eu gorhoffedd at eu "*hoff-spring*," oblegid medd yr hen ddiareb,—

"Gwyn y gwel y fran ei chyw,
Er bod ei liw yn loywddû."

Ac oni buasai ychydig o gydnabyddiaeth âg un o'r awduron parchedig y "Llyfr Cathlau;" a barn cariad am y ddau,* cymhellasid fi i amheu ai nid un o honynt hwy a ysgrifenasai yr adolygiad yn y Dryserfa am y mis diweddaf, dan y ffug enw "*Talmid*," gan mor ddi-*seremoni* y condemnia Gasgliad Mr. Morris Davies, ac mor ddifai y canmola y llall. Gweddusach, a thipyn mwy brawdol, a fuasai ar Talmid gymmedroli ychydig ar ei Sylwadau ar y Casgliad hwnw, yn gymmaint a darfod iddo ddyfod allan trwy ganiatâd a chymmeradwyaeth Corph y Methodistiaid Calfinaidd gogledd Cymru, yn eu Cymdeithasfa Chwarterol. Ai blin hyn gan Talmid? Ac hefyd, gan yr haera yr hyn nad yw wirionedd o barthed yr ychydig gyfnewidiadau a wnaed yn rhai o'r hymnau, yn enwedig yr eiddo Anne Griffiths.

A gwybydded y beirniad manylgraff yn mhellach, na chymmerodd Mr. Davies yr hyfdra, os hyfdra hefyd, ar yr hymnau dywededig heb ganiatâd perthynas lled agos ag oedd yn teimlo mor fywiog ac eiddigus ag yntau pryd yr oedd gwaith ei gares ddaionus a duwiol dan *ddissecting knife* yr awdwr; a chwareu teg iddo yntau hefyd, oblegid yr wyf yn cwbl gredu na buasai ei archwaeth dda ef, na'i barch diledryw i goffadwriaeth teilyngwiw y wraig enwog hon, yn goddef iddo wneud *cymmaint ag un cyfnewidiad ag a fuasai i'r radd leiaf* yn toli ar ryglyddiaeth ei hymnau godidawg, yn enwedig "guddio ardderchogrwydd y Person goruchel yr oedd hi mor beraidd yn canu iddo."

Ond gan mai nid i gyffroi dadl yr ysgrifenwyd y llinellau uchod, prysuraf i ddyfnodi rhai o'r cyfnewidiadau coll-farnedig, gan eu cyplysu wrth y llinellau gwreiddiol, fel y gwelo y darllenydd pa mor gymhwysiadol y feirniadaeth arnynt; ac er cyfarwyddo y darllenydd, rhagddodir y llythyren G am gwreiddiol, a D am diwygiedig wrth bob dyfyniad.

A'r gyntaf yw Hymn 337,

D. A chyfiawnder waeddai gollwng.
G. Nes i gyfiawnder waeddi gollwng.

Yn nesaf, Hymn 338,

D. Melus gofio y cyfammod.
G. Bydd melus gofio y cyfammod.
D. Bythol syllu ar y person.
G. Tragwyddol syllu ar y person.
D. Trist hyd angeu'i enaid oedd.
G. Trist *iawn* hyd angeu'i enaid oedd.

---

* Nid yr un o'r ddau o Gasglyddion "Y Cathlau" crybwylledig yw Awdwr Adolygiad "Talmid."—CYHOEDDWR.

Hymn 340,

D. Lesg bererin, gan ystormydd.
G. Bererin llesg gan ystormydd.
D. Mewn llaes wisgoedd hyd y llawr.
G. Mewn gwisgoedd lleision hyd y llawr.

Yn awr, gan mai y dyfyniadau uchod ydynt y prif gyfnewidiadau yn yr hymnau dan sylw, ni chwanegwn rhag chwyddo i ormod meithder; ond appeliwn at bob darllenydd, a dim chwaeth at farddoniaeth ynddo, os oes yn yr arall-eiriaid yma gymmyliad ar un drychfeddwl, wanychiad ar rymusedd un ymadrodd, na dim arall i gyfiawnhau y cyfryw iaith a hon. "Cymmylau duon yn tywyllu llewyrch y profiadau melus a nefolaidd." "Llenorchudd yn cuddio arddercbogrwydd y Person goruchel yr oedd hi mor beraidd yn canu iddo." Y cwbl a amcanai Mr. Davies oedd "diwygio ychydig ar yr iaith mewn rhai geiriau, a llyfnâu ychydig ar y farddoniaeth mewn ambell linell lle y ceir sill yn ormod i'r mesur," tuag at eu gwneud yn "rhwyddach i'w canu ar donau rheolaidd;" ac hyn y cyttuna Mr. Talmid â'r "hyfedr fardd, ei gyfaill Mr. Peter Jones!!!" a thybiwyf ei fod wedi cyrhaedd yr amcan yn o lew!

Yr hyn a "ystyrir," medd Talmid "yn ychwanegiad at gymhwysder a theilyngdod Llyfr Cathlau Liverpool ydyw, fod yr Hymnau a'r Salmau a gynwys oll yn y ffurf gysefin, yn yr hon y daethant o ddwylaw eu cyfansoddwyr." Wrth ddywedyd fel hyn, nid ydyw yn beio ar Mr. Robert Jones am y *cyfnewidiadau a wnaeth*; ond ychydig yn mlaen y mae efe etto yn beio, oblegid "golyga nad oedd ei ddiwygiadau ef arnynt, ond mwy afreidiol nag y tybiasai yn flaenorol eu bod;" ac ar yr un pryd, "Nid yw yn annghytuno â golygiad yr hyfedr fardd, ei gyfaill Mr. P. Jones,—mai hawdd a fuasai diwygio ychydig ar yr iaith mewn rhai geiriau, a llyfnâu ychydig ar y farddoniaeth mewn ambell linell lle y ceir sill yn ormod i'r mesur." Ond "barna mai tra doeth yr ymddygodd y Cyhoeddwyr yn eu hymgadwad oddiwrth ymyraeth â'r fath ddiwygiadau."

Nid wyf yn amcanu dywedyd gair i lysu Casgliad cyfeillion Liverpool, oblegid na chefais ond un cip olwg arno, ond y mae yn lled eglur oddiwrth y rhestr enwau sydd gan Talmid, mai yn yr un ffynhonau y mai y naill a'r llall yn codi eu dyfroedd, ac ar yr un maes yn lloffa eu grawn; ac odid fawr nad oes yn y ddau lyfr yr un Emynau, felly nid wyf yn tybied y gall fod ffurf lyfr o'r fath yn ychwanegu rhyw lawer at ei deilyngdod, gan y gwna dangoseg dda bob diffyg fel hyn i fynu yn lled gyfrdo.

Y prif bwnc ydyw fod cynwysiad y casgliad yn ateb y dyben amcanedig yn y cyhoeddiad o hono; a hawdd fyddai cymmwyso canmoliaeth Mr. Talmid i "Lyfr Cathlau Liverpool" gyda phob priodoldeb i Gasgliad Mr. Davies. Ond gan ei fod eisoes wedi myned trwy ddau argraffiad, mae ei deilyngdod bellach yn lled hysbys i'r cyffredin, fel mai afreidiol i mi ddweyd a ddywedwyd mewn ffordd o ganmoliaeth iddo.—Eich cyson ddarllenydd,

*Awst* 16, 1841. J.

---

## DAEARYDDIAETH.

Mr. Trysorwr,—Yr wyf yn deall oddiwrth Ofyniad Mr. T. Hughes, yn y Rhifyn presennol o'r Drysorfa, nad annerbyniol gan lawer o'r darllenwyr fyddai pennod yn awr a phryd arall ar Ddaearyddiaeth, yn gystal ag ar Seryddiaeth, &c. Ac os byddwch chwi cyn fwyned a'u hargraffu, byddaf finnau cyn fwyned a'u hysgrifenu. Ac yn lle llusgo y darllenydd ar unwaith i belldiroedd y ddaear, dechreuwn ar y parth o'r byd yr ydym ni yn preswylio ynddo. Yn gyntaf cymmerwn olwg gyffredinol ar holl Ewrop, ac yna golwg fwy neillduol ar ei gwledydd a'i theyrnasoedd; ac os ceir blas ar deithio, fe allai yr ymwelwn a pharthau ereill y byd.—Yr eiddoch, &c.

*Caerlleon.* R. Jones.

### EWROP.—Rhif. I.

Amgylchynir Ewrop ar y tu gogleddol gan y Môr Rhewllyd; ar y tu dwyreiniol, gan Asia a'r Môr Du; ar y tu deheuol, golchir ei glànau gan Fôr y Canoldir; ac ar y tu gorllewinol, gan Fôr y Werydd. Ei hŷd yw 2400 o filltiroedd, a'i lled yw 2200.

Yn y gwledydd gogleddol mae yr hinsawd yn oer iawn, oddieithr yn nghanol yr haf; yn y canolbarth y mae yn dymherus ac yn dyner; ac yn y parthau deheuol yn hynod o boeth a ffrwythlon. Ond ym mhob rhan o honi y mae yr hinsawd yn iachus, ac wedi ei addasu yn neillduol er bywiogi y cyfansoddiad dynol; gan fod Ewrop oll, oddieithr y parthau mwyaf gogleddol, y tu fewn i'r cylch tymherus (*temperate zone*).

Y mae yr Ewropeaid yn gwasgaru cynnyrch eu llaw-weithydd drwy yr holl fyd adnabyddus, sef gwisgoedd, arfau, &c. a derbyniant yn ol aur, arian, lliwiau, cyffyriau, ffrwythau, defnyddiau at eu llawweithydd, &c. Y trigolion, gan mwyaf, ydynt Gristionogion, ynghyd âg ychydig Fahometaniaid ac Iuddewon.

Y rhaniadau mwyaf naturiol arni, y mae yn debyg, sydd fel y canlyn:—

1. Moroedd.—Môr y Werydd; Môr Germani, rhwng Prydain Fawr a Denmarc; Môr Rhewllyd y Gogledd; Azoph, rhan ogleddol-ddwyreiniol o'r Môr Du; y Baltic; Môr yr Iwerddon, rhwng Prydain Fawr a'r Iwerddon; Marmora, rhwng y Môr Du a'r Dardanelles; Môr y Canoldir, a'r Môr Gwyn.

2. Go-ynysoedd, (*Peninsulas*).—Itali;

Crimea; Jutland, yn Denmarc; Morea; Norway a Sweden; yr Hispaen a Portugal.

3. YNYSOEDD.—Yr Ynysoedd Prydeinig; Candia; Corsica; Cyprus; Elba; Ynysoedd Faroe; Funen, dwyreinbarth Denmarc; Archipelago; Ynys yr Iâ; Ynysoedd Ionia; Iviza; Ynysoedd Loffoden; Majorca a Minorca, rhwng yr Hispaen a Sardinia; Malta; Nova Zembla; Sardinia; Ynysoedd Shetland; Sicily; Spitzbergen; Yr Ynysoedd Gorllewinol; a Zealand.

4. MOR-GEINGCIAU.—Bothnia; Finland, cainge o'r Baltic; Genoa; Lyons; Riga; Shager Rack; Taranto; Venice; a'r Bay of Biscay.

5. CUL-FOROEDD (*Channels*).—Bristol; Cattlegat, rhwng Denmarc a Sweden; y Cul-for Seisonig; y Cul-for Gogleddol, rhwng yr Iwerddon a Scotland; a St. George, rhwng Cymru a'r Iwerddon.

6. CYFYNG-FOROEDD, (*Straits*).—Bonifacio, rhwng Sardinia a Corsica; Caffa, yn cydio y Môr Du â Môr Azoph; Constantinople, yn cydio y Môr Du â Moroedd Marmora; Dardanelles, yn cydio Môr y Canoldir â Môr Marmora; Dover, rhwng Lloegr a Ffraingc; Gibraltar; y Great Belt a'r Little Belt, rhwng Denmarc a Deheubarth Sweden; a Messina, rhwng Itali a Sicily.

7. PENRHYNAU.—Clear, yn neheubarth yr Iwerddon; Dunnet Head, yn ngogleddbarth Scotland; Finisterre, ym mharth gogledd-orllewinol yr Hispaen; La Hogue, ym mharth gogledd-orllewinol Ffraingc; Land's End, ym mharth deheu-orllewinol Lloegr; Matapan, yn neheubarth gwlad Groeg; Naze, yn neheubarth Norway; y Penrhyn Gogleddol; Ortegal, ym mharth gogledd-orllewinol yr Hispaen; St. Vincent; Skaw, yn ngogleddbarth Denmarc; a Spartivento, yn neheubarth Itali.

8. MYNYDDOEDD.—Yr Alps, rhwng Itali, Ffraingc, a Germani; Apennines, yn Itali; Balkan, yn Twrci; Carpathean, yn Hungary; Dofrine, yn Norway; y Grampian, yn Scotland; y Pyrenees, rhwng Ffraingc a'r Hispaen; a'r Ural, yn Rwssia.

9. LLYNOEDD.—Constance, a Geneva, yn Switzerland; Ladoga, yn ngogleddbarth St. Petersburgh; Loch Lomond, yn ngorllewin Scotland; Neagh, ym mharth gogledd-ddwyreiniol yr Iwerddon; Onega, yn Rwssia; Wenner a Wetter, yn neheubarth Sweden; a Windermere, yn ngogleddbarth Lloegr.

10. AFONYDD.—Y Clyde, yn ngorllewin Scotland; y Danube, y Dnieper, a'r Don, yn neheu-ddwyrain Ewrop; Douro, yn ngogledd-orllewin, ac Ebro, yn ngogledd-ddwyrain, yr Hispaen; Elbe, yn neheubarth Berling a Hamburgh; Guadiana, yn neheubarth yr Hispaen; Garonne, a Loire, yn ngorllewin Ffraingc; Po, yn ngogleddbarth Itali; Rhine, yn neheubarth Holland; Rhone, parth deheu-ddwyreiniol Ffraingc; Hafren, yn ngorllewin Lloegr; Shannon, yn ngorllewin yr Iwerddon; Tagus, yn Portugal; Thames, ym mharth deheu-ddwyreiniol Lloegr; Vistula, ym mharth gogledd-orllewinol Poland; a'r Volga, yr hon sydd, mewn rhan, yn gwahanu Ewrop ac Asia, ac yn ymarllwys i'r Caspian.

Dywed hen hanesyddiaeth mai Sicyon, yn ngwlad Groeg, oedd yr Ymerodraeth Ewropeaidd gyntaf a sylfaenwyd, ac iddi gael ei sylfaenu 2089 o flynyddau cyn Crist. Dywedir hefyd i Cecrops fyned o'r Aipht, a sefydlu trefedigaeth yn ngwlad Groeg, 1576 o flynyddoedd cyn Crist; ac mai 1493 o flynyddoedd cyn Crist y dygwyd llythyrenau gyntaf i Ewrop, gan Cadmus. Sylfaenwyd Etruria hefyd yn foreu iawn.

Nis gellir ymddibynu ond ychydig ar ffeithiau hanesyddol hyd amser Solon a Lycurgus; y blaenaf o'r ddau ydoedd brif ddeddf-roddwr yr Atheniaid; a'r olaf â flodeuodd oddeutu 884 o flynyddoedd cyn Crist, ac efe oedd sylfaenydd cyfreithiau y Spartiaid, y rhai a arosasant mewn gweithrediad digyfnewid o'r bron am agos i 500 mlynedd wedi marwolaeth eu hawdwr.

Yn ystod yr amser hwn, ymddengys mai Gweriniaethau bychain Groeg oeddynt y cenedloedd gwareiddiaf a galluocaf ar wyneb y ddaear; a'u bod wedi cyrhaedd y fath berffeithrwydd mewn llawer o'r celfyddydau, fel ag i adael ar eu hol ddarnau mewn adeiladaeth, barddoniaeth, moesddysg, &c. ag a ystyrir yn *standards* perffeithrwydd hyd y dydd hwn. Sefydlasant hefyd lawer o drefedigaethau yn Itali, ac ar lanau Môr y Canoldir.

Yr ymerodraethau a wrthsafasant bob ymosodiad a wnaed gan fyddinoedd cryfaf Asia; ond trwy ymrafaelio a'u gilydd ynghylch yr yspail a'r anrhydedd a ennillent yn eu brwydrau buddugol, a syrthiasant yn ysglyfaeth i fyddin fuddugoliaethus Alexander Fawr, brenin Macedon, oddeutu 355 o flynyddoedd cyn Crist; yr hwn hefyd a oresgynodd y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus; a dywedir iddo dori allan i wylo am na allai gael ychwaneg o waith i'w gleddyf. Bu farw yn Babilon, yn 32 mlwydd oed, 393 o flynyddoedd cyn Crist. Gwnaeth y Groegiaid wedi hyny amryw geisiadau er adennill eu rhyddid; ond buont oll yn aneffeithiol hyd oni ffurfiwyd cyngrair Achaean, yr hwn a barhaodd 130 o flynyddoedd, ac yna llwyr oresgynwyd hwynt gan luoedd y Rhufeiniaid, 146 o flynyddoedd cyn Crist.

Ymddengys Rhufain ym mhlith y rhai hynaf o'r Ymerodraethau Ewropeaidd. Dywedir iddi gael ei sylfaenu gan Romulus, 753 o flynyddoedd cyn Crist. Teyrnasodd chwech o freninoedd ar ei Romulus, a helaethasant yr Ymerodraeth yn ddirfawr; ond cyfododd y bobl mewn gwrth-

ryfel yn erbyn Tarquin, y seithfed brenin, oblegid iddo dreisio gwraig un o foneddwyr Rhufain, a sefydlasant Weriniaeth yn y flwyddyn 509 cyn Crist. Tan y ffurflywodraeth hon hefyd parhaodd yr Ymerodraeth i helaethu ei therfynau yn ddibaid, fel yr oedd yn amser Cæsar, 59 o flynyddoedd cyn Crist, yn cyrhaedd dros holl wledydd deheuol, a llawer o wledydd canolbarth Ewrop, ynghyd a rhan fawr o Asia ac Affrica.

Helaethodd Cæsar derfynau yr Ymerodraeth nes y cyrhaeddai Brydain, a llawer o deyrnasoedd Ewropeaidd, Asiaidd, ac Affricaidd. Wedi gorchfygu Pompey, trawsfeddiannodd awdurdod breninol, 48 o flynyddoedd cyn Crist; ond lladdwyd ef gan L. J. Brutus, o achos y traws-feddiant hwn, 440 o flynyddoedd cyn Crist.

Augustus, mab mabwysiedig i Cæsar, a'i dilynodd mewn awdurdod breninol, a gelwir ef yn gyffredin yn Ymerawdwr cyntaf Rhufain. Wedi hyny teimlodd yr Ymerodraeth lawer o gyfnewidiadau, hyd yr amser yr ymosodwyd arni, ac yr yspeiliwyd hi yn ddidrugaredd, gan Alaric, brenin y Gothiaid, yn y flwyddyn 410 o oed Crist; a chan y Vandaliaid yn y flwyddyn 455; ac y llwyr ddymchwelwyd hi gan Odacer, yr hwn a ddaeth yn frenin barbaraidd ar Itali yn y flwyddyn 475, 1228 o flynyddoedd ar ol ei sylfaeniaid cyntaf.

Ar ol hyn nid ydyw yn dysgleirio ond ychydig ar ddalenau hanesyddiaeth hyd nes y darfu i'r Pab Gregory I. sylfaenu yr Esgobaeth Babaidd yn y flwyddyn 590; a bu y Pabau wedi hyny bron mor allnog a'r Ymerawdwyr cyn hyny.

Y mae Rhufain etto yn eisteddle yr awdurdod Babaidd, ac y mae yn ddinas gyfoethog a hardd ar ol yr holl chwyldroadau hyn; wedi bod yn Rhufain Frenhinol 244 o flynyddoedd, Rhufain Werinol 461, Rhufain Ymerodrol 523, a Rhufain Babaidd 1234 o flynyddoedd. Bu y ddinas ym meddiant y Gothiaid 115 o flynyddoedd, ac yn amser Napoleon bu ym meddiant y Ffrancod 15 mlynedd.

Y mae yr Ymerodraeth Ddwyreiniol, neu y Roegaidd, yr hon a sylfaenwyd yn Nghaer Cystenyn gan Arcadius, yn y flwyddyn 396, yn un lled bwysig yn hanesyddiaeth Ewrop; ond anfynych yr ymledaenodd ei therfynau ym mhell tu hwnt i gyffiniau y gwledydd hyny a gynnwysid hyd yn ddiweddar yn Ymerodraeth Twrci. Cymmerwyd hi gan y Tyrciaid, y rhai a wnaethant Gaer Cystenyn yn brif eisteddle eu Hymerodraeth yn y flwyddyn 1453, ac y mae yn parhau etto yr unig Ymerodraeth Fahometanaidd yn Ewrop.

Rhyfeloedd y Groes, (fel ag y gelwir yr ymdrechiadau a wnaed er adennill gwlad Canaan o ddwylaw yr anffyddwyr) a gyfrifir yn rhai o'r pethau pwysicaf yn hanesyddiaeth Ewrop ac Asia. Pob teyrnas Gristionogol o'r bron a gyfranodd at fwyhau y byddinoedd lliosog hyny, o'r flwyddyn 1099 hyd y flwyddyn 1270.

---

## CYNGOR MEDDYGOL.

### RHAG Y RHWYGIAD.

*Mewn fforddd o Atebiad i Ofyniad E. D. yn Rhif.* 127. *tu dalen* 210. *sef,* "*A oes meddyginiaeth i'w gael i iachau y Rhwygiad,* neu *Doriad llengig,* (Rupture)?"

Ateb; Oes. Mae yr hyn a ganlyn wedi bod yn hynod o effeithiol i attal y perfedd rhag dyfod i lawr i'r gwendid. Oblegid ar ol i'r llengig gael ei rwygo, mae yn naturiol i'r perfedd redeg i lawr i'r rhwyg. Os ceir moddion i beri i'r llengig i aros yn ei le, a chael ei rwymo a'i gylymu i aros felly, dyna y gwellhad sydd yn angenrheidiol. Y cyfarwyddiadau a ganlyn a fuont yn offerynol i'm gwellhau i, wedi bod ddeuddeng mlynedd mewn gofid ac annhrefn o'r herwydd. Methais a chael lleshad gan un o'r Meddygon. Fy mam a gafodd y Cyngor gan hen gyfaill. Gallaf ddywedyd y bydd y cyngor yn sicr o iachau y claf, drwy fendith Duw, ond iddo ef ar y pryd ymattal oddiwrth bob caledwaith a phob math o ymdrech, ymestyn, ac ymystwyro, &c. am ryw ychydig o amser, i aros i'r llengig asio a iachau, a chryfhau.

Chwilied E. D. am y llysieuyn a alwn ni, Rhedyn. Cymmered o'u gwraidd hwynt. Nid yr un du sydd wrth fôn y rhedyn yw y gwreiddyn, ond maent yn cyrhaedd yn hirion ac ysbagog i'r ddaear, ac yn dduon eu lliw. Wedi eu cael, golchwch hwynt yn lân, a thynwch y plisgyn du ymaith: yna pwniwch hwynt yn dda. Bydd yn ofynol cael dwy lonaid llaw, neu ychwaneg o honynt. Wedi eu pwnio yn dda hwy a ânt megis Glud-gawl, (*Jelly*). Yna berwch hwynt mewn dau chwart o lefrith newydd, hyd onid elo yn un chwart. Yna tynwch ef oddiar y tân i oeri; ond pan fyddo yn gynnes, dodwch dair llonaid llwy fwytta o Driagl yn ddo. Cymmysgwch y cyfan yn dda.

*Y modd i'w ddefnyddio.* Yn y boreu, gorwedded y claf ar ei gefn, a choded y perfedd i fynu yn llwyr â'i law, os bydd ar lawr; gan fod yn ofalus i'w godi yn dda, a'i ddal i fynu; yna yfed lonaid Cwpan dê o'r drwyth. Gwnaed hyn bob boreu hyd oni iachao efe. Da fyddai llwyr ymattal rhag gweithio os gellir; oddigerth rhyw orchwyl pur ysgafn. Dylid bod yn ofalus i ddal y perfedd i fynu o hyd yr amser. Mae y Cyngor wedi iachau ugeiniau, fel y gallaf sicrhau.

I blant bach, dodwch lonaid llwy dê o hono, a mwy i blant mwy, yn ol eu hoedran a'u maintioli. Cedwch hwynt mor esmwyth ag y galloch.

Os bydd ar E. D. eisiau un eglurhad pellach neu fanylach ar yr achos hwn anfoned lythyr attaf, gan ei gyfeirio fel hyn:—*John Morgans, Tabernacle, Newport, Pembroke.*

## CHINA.

Mae yr ymgyrch yn erbyn China yn parhau, ac yn cynnyddu hyd yn hyn. Mae yr Ymerawdwr yn cwyno yn ddirfawr yn erbyn y Prydeiniaid, gan ddywedyd yn mawredd ei rwysg a'i gynddaredd. "Mae y Saeson Barbaraidd yma yn ymddwyn tuag at fy mhobl fel cwn creulon ac afreolus. Yr wyf fi yn methu cael llonydd nac esmwythdra o'u herwydd i gymmaint a chysgu a bwyta fy mwyd!" Mae efe yn cynnyg gwobrwyo pob un a doro ben Sais, drwy iddo gael asgwrn ei ben ef i'w gadw iddo ef a'i dylwyth ar ei ol, i ddangos i'r oesoedd a ddel y fath orchestwaith rhyfeddol a wnaethai efe yn ei ddydd drwy fod yn waredwr mor wrol i'w wlad a'i genedl pan mewn cyfyngder dirfawr o herwydd ymgyrch y Saeson barbaraidd hyn, fel y galwant hwynt.

Wedi anfon o Lywodraeth Brydain Syr George Bremier, i flaenori ein byddinoedd arfog yn erbyn China, ac iddo gael gorchymyn i adnewyddu ei ymgyrch brwydrawl i geisio cael gan yr Ymerawdwr wneud Iawn am y sarhâd a'r golled a wnaeth efe i Brydain yn nechreuad y ffrwgwd, mae yr Ymerawdwr wedi ymgynddeiriogi yn saith waeth; ac mae wedi dweyd yn benderfynol, y deil efe at y *barbariaid* nes y bydd raid iddynt hwy neu efe gael eu dyfetha, a chwympo fel na chodont mwyach. Ar hyn y mae y Prydeiniaid wedi parottoi llongau haiarn magnelawg mawrion, a chyda y rhai hyn y maent yn bwriadu myned i fynu ar hyd y môr melyn (*Yellow sea*); ac yna i fynu yr afon i ymgynnyg am gymmeryd Pekin fawr. Mae yn debygol pan ddel ein llongau yn agos i'r brif ddinas, a dechreu saethu eu magnelau mawrion nes peri i ddaeargryn siglo ei Balas, y bydd yn lled hawdd ganddo ddyfod i ammodau heddwch.

## AMERICA.

Mae Unol Daleithiau America yn parhau i gadw Mr. M'Leod yn ngharchar yn Nhalaeth New York. Ac fe ddywedir eu bod yn bwriadu ei brofi ef mewn Llys gwladol cyhoeddus am fwrdrad. Mae rhyw gyndynrwydd rhyfedd yn yr Americaniaid yn achos y dyn hwn. Ofn sydd arnom i'r ymrafael o'i achos fod yn destyn ffrae ac anghydfod rhwng y ddwy deyrnas; canys y mae Brydain wedi tystiolaethu, fod yr hyn a wnaeth Mr. M'Leod, wedi cael ei gyflawni mewn ufudd-dod i Lywodraeth Brydain, dan yr hon yr oedd efe yn gweithredu.

## Y SENEDD YMERODROL.

Dydd Iau, Awst 19, agorwyd y Senedd, drwy fod Aelodau Tŷ y Cyffredin wedi ymgyfarfod i'w tyngu i mewn ar ol eu hetholiad diweddar. Fe barheir i'w tyngu hwynt i mewn hyd ddydd Mawrth, Awst 24, pryd y dysgwylir y bydd y Frenhines yn dyfod yn bersonol i agoryd y Tŷ, yn ol y ffurf a'r drefn arferol, drwy ddarllen ar gyhoedd ei Haraeth Frenhinol. Drwg genym nas gallwn aros heb gyhoeddi ein Rhifyn hwn hyd nes caffael o honom yr Araeth i'w chyfieithu, gan y mawr frys sydd ar bawb am gael y Drysorfa i'w hardaloedd yn brydlawn, a ninnau yn ewyllysio eu boddio hwynt yn hyn.

---

## PORTREAD O'R DIWEDDAR BARCH. J ELIAS.

Mae yn rhaid addef ddarfod i'r amrywiol Gyhoeddiadau, yn Nghymru a Lloegr, wneuthur eu rhan tuag at dalu teyrnged o barch-gydnabyddiaeth haeddiannol i goffadwriaeth y diweddar wiwgof Weinidog, y Parch. John Elias, ar yr achlysur galarus o'i farwolaeth; ond ymhen ychydig flaoedd ni bydd llawer o'r tystiolaethau hyny ar gof nac ar gael; a llèni gwlad anghof, y naill ar ol y llall, a laesant eu godrau dros goffadwriaeth hyd yn nod y gwr oedd ychydig flynyddau yn ol yn dodi y Dywysogaeth megys ar dân gan hyawdledd ac arddeliad anghymharol ei weinidogaeth! Yngwyneb yr ystyriaethau hyn y mae'n gysur anfynegol genyf fi fod yn meddiannu Portread dillynwych o hono, i adnewyddu fy nghof am dano; er nad yw un math o arwydd difywyd ond annigonol iawn i gynrychioli un yr oedd ei ddawn a'i ddynsawd mor nodedig o fywiog, yn enwedig yn y cyflawniad o'r gorchwyl mawr-bwys oedd yn gorphwys yn benaf ar ei galon. Ond pa mor ddiffygiol bynag yw y Darlun yn hyn, (er yn wir nad oedd braidd ddim a gythruddai ei feddwl ef yn fwy yn ei ddyddiau cystuddiol na chlywed neb yn crybwyll am y cyfryw ddiffyg, tra yr honnai efe yn barhâus ei fod yn gyfiddrych hynod o ffyddlawn,) etto, heblaw hyn, y mae'n foddhâd ychwanegol genyf fi edrych ar ei law-ysgrifen ef ei hun, yn ei gystudd olaf, yn gysylltiedig â'r Portread, fel i dystio ei gymmeradwyaeth o hono. Ac wrth i'm llygad olrhain ei lythyrenau, a chanfod mor sigledig oedd ei law, mynych y cynhyrfir fy nhymherau, ac yr arweinir fy myfyrdodau i ystyried mor annigonol yw hyd yn nod y cynneddfau cryfaf a'r corph cadarnaf i wrthsefyll arteithiau cystudd ac adfeiliad natur. Yn nghanol llifeiriant o'r fath gynhyrfiadau a myfyrdodau, tywyswyd fi i ysgrifenu y byr linellau hyn, ac wrth edrych drostynt drachefn, meddyliais y gallai fod yn ddywenydd gan ryw rai o gyffelyb deimladau i mi fy hun, wybod fod yn bosibl iddynt hwythau gael meddiannu cyffelyb gof-arwyddion o'r Gweinidog ffyddlawn y bu mor hoff genym ei wrando, ac y mae mor chwerw genym ei golli.

[illegible]

(*Gwel yr Hysbysiad.*) [illegible]

AGORIAD CAPEL.

Dydd Sabbath, Awst 8, 1841, agorwyd Capel helaeth a chysurus yn Llanerch y Mor, yn agos i Dreffynon, Swydd Fflint. Traddodwyd pregethau melus a grymus gan y Parchedigion H. Rees, Liverpool, M. Parry, Dinbych, W. Williams, Manchester, a W. Pierce, Treffynon. Hir y cofir y Cyfarfod hwn, a bendithir o'i herwydd pan na bydd amser mwy. S. Jones.

*Llanerch y Mor.*

CYFARFOD BLYNYDDOL FFLINT.

Cynnaliwyd y Cyfarfod hwn Awst 17, 18, 1841. Y nos gyntaf, am 7, gweddiodd y Parch. W. Jones, Rhuddlan, a phregethodd y Parch. H. Rees, oddiar 1 Petr 4, 17. Boreu dranoeth, am 8 o'r gloch, cynnaliwyd cyfarfod eglwysig, a'r mater y sylwyd arno oedd undeb ysbrydol â Christ. Darllenodd y Parch. H. Rees y ffrwythau wrth ba rai y gellid adnabod y rhai sydd mewn undeb â Christ, o Gal. 5. 22. sef cariad, llawenydd, tangnefedd, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest; a gwnaeth sylwadau ar yr amrywiol eiriau. Am 10, gweddiodd y Parch. W. Jones, a phregethodd y Parch. J. Wynne, Rhuthyn, oddiar Deut. 33. 3. a'r Parch. H. Rees, oddiar Gal. 1. 15, 16. Am 2, gweddiodd y Parch O. Jones, Wyddgrug, a phregethodd J. Wynne, oddiar 1 Petr 5. 6. a'r Parch. W. Jones, oddiar Hosea 14. 1, 2. Am 6, gweddiodd y Parch. J. Davies, Nerquis, a phregethodd y Parch. W. Jones, oddiar Luc 15. 2. a'r Parch. H. Rees, oddiar 1 Petr 4. 17.

Yr oedd y nefoedd yn gwenu arnom ddwy ffordd; yr haul naturiol yn rhoddi ei oleuni a'i wres er adfywio, ffrwythloni, ac addfedu, ffrwyth y meusydd; a Haul mawr Cyfiawnder hefyd yn rhoddi ei oleuni dysglaer, a'i wresogrwydd nefol.

*Fflint.* J. Hughes.

RHYBUDD I FEDDWON.

Gwr o'r enw Peter Williams, yr hwn oedd yn cadw tafarn, a elwir *Half way house,* rhwng Treffynnon a Whitford, Swydd Fflint, yr hwn y gwyddai pawb o'i gymmydogion ei fod yn byw mewn anfoesoldeb a meddwnod, a fu farw o farwolaeth arswydus iawn. Wedi bod yn feddw er's rhai dyddiau, ac yn feddw iawn ar nos Lun, y 26ain o Gorphenaf diweddaf, fel y cafwyd gwaith tost a thrafferth flin i'w ddodi i orwedd yn rhywfodd ar y gwely, yr hyn a wnaed am 10 ar gloch y nos. Yr oedd yn tyngu ac yn rhegi yn ddychrynllyd wrth gael ei ddwyn i'r gwely. Ac erbyn y boreu dranoeth, rhwng 8 a 9 o'r gloch, cafwyd ef yn farw yn ei wely! Bu gorfod arno fyned i'r byd tragywyddol yn y cyflwr ofnadwy ag yr oedd ynddo. O farwolaeth ddychrynllyd ac anobeithiol! Y Rheithfarn oedd: "Marwolaeth drwy effeithiau meddwdod."

*Treffynnon.* Thomas Davies.

Ffeiriau Corwen.—Mewn Cyfarfod Cyhoeddus a gynnaliwyd yn ddiweddar gan drigolion Corwen a'r gymmydogaeth, penderfynwyd cynnal dwy o ffeiriau newyddion yn y dref hóno, ac hefyd gwneuthur cyfnewidiad yn rhai o'r hen rai, fel y canlyn:

Mawrth 12, fel arferol,
Ebrill 6, ffair newydd,
Mai 22. yn lle Mai 24,
Gorphenaf 1, yn lle Gorphenaf 24.
Awst 19, ffair newydd,
Hydref 7, fel arferol,
Rhagfyr 20, fel arferol.

MARW-RESTR.

Mawrth 27, bu farw yr hen dad ffyddlon a duwiol hwnw, y Parch. Richard James, Pontrhydyfen, yn 82 mlwydd oed. Bu yn grefyddol 60 mlynedd, 54 o ba rai a dreuliodd i gyhoeddi "efengyl grâs Duw" ar led y gwledydd. Bu am y deng mlynedd olaf yn methu dyfod oddi cartref, ond arferai bregethu ychydig yn ei dŷ ei hun yn yr amser yma. Yn ol ei ddymuniad, dygwyd ei gorph i Gapel Pontrhydyfen, a phregethwyd ar destun a ddewisodd yn ei fywyd i'r perwyl, gan Mr. Llewelyn Jones, sef Col. 3. 4. yna llefarodd Mr. John Walters, oddiar Col. 1. 12. Wedi hyny cychwynwyd ei gorph i gladdfa Blanffhangel, lle y gosodwyd ei ran farwol i orphwys gyd a'i briod, mewn gobeith dilys o'i adgyfodiad i fywyd gwell. J. Howel.

*Bryn Cwtyn.*

Awst 10, 1841, bu farw Benjamin Williams, mab i E. Williams, Maes y Dref, gerllaw y Wyddgrug, yn 14 blwydd oed. Yr oedd pawb a adwaenai y bachgen hwn yn hynod o hoff o hono. Byddai yn ymneillduo oddiwrth blant chwareus, a hoffai yn hytrach fod yn gwasanaethu ei rieni, neu ddarllen llyfrau buddiol.

Hefyd yr oedd yn hynod ar ei wely angeu. Gadawodd dystiolaeth eglur ar ei ol ei fod yn myned i etifeddu gwlad well. Byddai plant bychain perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd yn y dref hon, yn arfer dyfod i edrych am dano; ac wrth ei glafwely hwy a ddarllenent, ac a weddïent, ac a ganent gyd ag ef. O mor hyfryd oedd eu gweled a'u clywed! R. ab Gwilym.

*Wyddgrug.*

Ni ddaeth y teg flodeuyn hyn,
A gadd mor syn ei symud,
Ond prin i ddangos pa mor hardd
Yw blodau gardd y bywyd.

# BARDDONIAETH.

## ENGLYNION.

*Ar farwolaeth Mr. George Williams, Aberafon, Morganwg, yr hwn a fu farw Mai* 1, 1841, *yn 21 mlwydd oed.*

Llunia dyn wrth ddarllen ei daith--taw'r hen
'N gynta rhaid fyn'd ymaith,
Ond y llangc i'r gweryd llaith
Yn gyntaf elai gantwaith.

Gwirir hyn yn ein goror heno,—ys wrth
Roi Sior i orphwyso,
A'r penfrith mor chwith iach o
Yn dwyn ei elawr dan wylo.

Ymroddwn yn moreuddydd—ein heinioes
I wasanaeth Dofydd;
I ni hyd ein bywyd bydd
Duw Iesu yn dywysydd.

Yn nyddiau ing ei nawdd Ef—a'i rwydd ras
A rydd rym i addef,
Duw, Ow! fraint wrendy fref—edifeiriol,
Wirioneddol o'i eirian haddef.* *trigfa

Un loches nid oes i lechu—a'n deil
Yn y dòn ond Iesu,
Ant drwy'r hen Iorddonen ddu
Y rhai oll *fo ar ei allu.*

Da iawn i ŵr yw dwyn yr iau,—neu groes
Iesu Grist yn forau,
Hyn er ing yn awr angau,
Bura hedd wna byth barhau.

Yma e gai Sior ymgysuro—'n ddir,
Pan oedd yn ymado,
Yn y dwr ei Geidwad o
Llyw y don oedd oll dano.

Heddyw y mae yn rhoddi mawl—i'r Oen
Am ei rad achubawl,
Gwledda uwch sêr ar dêr ddi dawl
Arlwy Naf i'w eurlu nefawl.

*Aberafon.* IOLO GLAN MUCHUDD.

## DIRWEST.

Llaw Dirwest sydd yn awr
Ar anial mawr y byd;
Bydd hwn cyn hir yn ddoldir hardd,
Fel gardd i gyd.
Bydd llwydd a chann clod,
'N ol cwympo meddwdod cas,
A'r holl genedloedd yn un blaid
Yn ddeiliaid gras.

O gyrer yn ei hol
Yr afon feddwol fawr,
A Dirwest fo'n meddiannu'n glau
Derfynau'r llawr.
O bloeddiwn bawb yn rhwydd,
Amen—a llwydd i hon,
Ymrestred pawb o'i phlaid ar goedd
Yn lluoedd llon.

*Llanbrynmair.* W. W.

## ENGLYNION I "CANIADAU SEION."

O waith gweis-glew caed doeth gasgliad—
Erddyganau seithgwlad: [o gun
Ddylai fod mewn addoliad
Crefyddawl ein Dwyfawl Dad.

O holl gathlau 'r wig y pigion—a nodwyd
Yn "Nghaniadau Seion;"
O waith pur hen awduron
Eres eu hwyl a'r oes hon.

Hai! deled o bob rhyw dalaeth—a gwlad
Holl feib glwys Cerddoriaeth:
I'w derbyn hwy mwy er maeth
I bur eirian Beroriaeth.

*Tregaron.* JOHN LEWIS.

## YMBORTH FFYDD.

Y dwylaw a'r traed a hoeliwyd,—y frath
Yn y fron a wànwyd,
Y gwr anwyl goronwyd,
(Y Duw Ion mawr,) dyna mwyd.

RWR. C. MON.

## DUW YN OLEUNI TRAGWYDDOL I'W SAINT.—ESAIAH 60. 20.

(*Efelychiad o eiddo Doddridge.*)

Ffarwel yn awr eur-lampau tlos
Pelydrawl geinion glân;
Ffarwel it' loer sy'n llywio'r nos,
A chwi luserngu mân.

Ffarwel it' dderch reolydd dydd,
Mewn arwisg loyw gain:
'Mhell uwch dy gylch fy enaid fydd,
Heb raid dy wawl—na'r rhai'n.

Chwi'r gorwych ser yw cein-lwch llawr
Y breswyl y caf fyw;
A phalmant claer y gaer, a'i gwawr
Mal grisial—trigle'm Duw.

Tad y goleuni yno a rydd
Ei belyderau'n llawn:
Ai gwna'n dragwyddawl berffaith ddydd
Heb iddo nos na nawn.

Ni welir deigr ar fy ngrudd,
O'm mynwes loes na chlwy';
Fy haul heb gwmmwl, llen na chudd,
Heb fachlud arno mwy.

Mil-miloedd sydd o seintiau glân
A sereiph yno'n llu;
Ynghyd a hwy y seiniaf gân
I'm hoff Waredwr cu.

*Caerlleon.* J. MORRIS.

*Y Pennillion buddugol ar y mesur a elwir* "*Mentra Gwen,*" *i'w canu yn Nghylchwyliau Dirwestol y plant yn Dinorwic, Swydd Gaernarfon. I awdwr pa rai, sef Mr. Richard Williams,* (Aniedydd,) *Llyfrgell Llynlleifiad, y cyflwynwyd y wobr, sef, y* "Pregethwr a'r Gwrandawr."

*Tyddewi, Dinorwic,* D. WILLIAMS.
*Awst* 4, 1841.

BLOEDD GORFOLEDD DIRWEST.

WYRYFON dewrion Dirwest,—rhoddwn floedd, rhoddwn floedd,
Ar daith i gladdu gloddest, rhoddwn floedd;
Crist Iesu yw'n Tywysog,
Ei fraich sydd Ollalluog,
Mae'n blaid i ddirwest enwog—rhoddwn floedd, &c.
Eleni yn galonog,—rhoddwn floedd.

Am hyfryd oruchafiaeth,—rhoddwn floedd, &c.
Am estyn oes dirwestiaeth,—rhoddwn floedd
Mae'r nefoedd fawr yn gwenu,
A ninnau'n llawenychu,
Ac uffern oll yn crynu,—rhoddwn floedd, &c.
Archollwyd Bachus bygddu,—rhoddwn floedd.

O blaid Efengyl Iesu,—rhoddwn floedd, &c.
Mae dirwest yn anadlu,—rhoddwn floedd,
Daw'n chwilfriw deyrnas Satan,
Pan sycho'i gorsydd aflan,
A dod o'r meddwon allan,—rhoddwn floedd, &c.
Mewn agwedd nid yn egwan,—rhoddwn floedd.

Mae'r faner fawr i fynu,—rhoddwn floedd, &c.
Cawn ddwr i'n disychedu,—rhoddwn floedd,
Cawn ymborth gwych ac iachus,
A drefnodd Duw'n gysurus,
Heb gyffwrdd gwaddod Bachus,—rhoddwn floedd, &c.
Cawn fuddugoliaeth hwylus,—rhoddwn floedd.

Gyfeillion o un galon,—rhoddwn floedd, &c.
Am achub myrdd o'r meddwon,—rhoddwn floedd.
Am wawr o'r nef i d'w'nu,
Am ras i'n dwyn at Iesu,
A'n cynnal nes gorchfygu,—rhoddwn floedd, &c.
Am ddryllio rhwydau'r fagddu,—rhoddwn floedd.

Drwy awchus lawenychu,—rhoddwn floedd, &c.
Ein byddin sy'n cynnyddu,—rhoddwn floedd.
Mae degau o'n cym'dogion,
Y rhai fu gynt yn feddwon,
Yn dod yn awr i Sïon,—rhoddwn floedd. &c.
Amen o wraidd ein calon,—rhoddwn floedd. ASAPH.

*Yr ail oreu gan W. Hughes, Llandrygarn, Môn; i'r hwn y cyflwynwyd gwaith* Dr. Owen, ar Gyfiawnhad.

O FYDDIN dirwest dirion,—Awn ymlaen, &c.
Encilio mae'n gelynion,—Awn ymlaen,
Mae tyrfa fawr yn dyfod,
Yn hollol lwyr ymwrthod,
A phob achlysur medd'dod,—Awn ymlaen, &c.
Caiff Bachus gwymp rhyw ddiwrnod,—Awn ymlaen.

Fe ddryllir y cadwynau,—Awn ymlaen, &c.
Daw myrdd yn rhydd o'u rhwymau,—Awn ymlaen.
Daw etto rai sydd feddwon,
Yn wir ddirwestwyr ffyddlon,
Mae llwyddiant i'n hamcanion,—Awn ymlaen, &c.
O'n plaid mae Brenin Sïon,—Awn ymlaen.

Ar lawr ceir gweled medd'dod,—Awn ymlaen, &c.
Ar ogwydd mae yn barod,—Awn ymlaen,
Er twyll a dichell diafol
Yn dallu'r teulu dynol,
I yfed diod feddwol,—Awn ymlaen, &c.
Cawn goncwest arno'n hollol,—Awn ymlaen.

O amgylch dinas medd'dod,—Awn ymlaen, &c.
Mae barau'r pyrth yn dattod,—Awn ymlaen.
Wrth seinio'r udgorn hynod,
Fod dirwest lân yn dyfod,
Fe gryn cadernid medd'dod,—Awn ymlaen, &c.
Ca'r caerau gwymp ryw ddiwrnod,—Awn ymlaen.

Wel dyma beth rhyfeddol,—Testun cân, &c.
Mae Duw yn sobri'r bobol,—Testyn cân,
Cyflawnir y bwriadau,
Mae dirwest ar y muriau,
Fe sychir hen selerau,—Testyn cân, &c.
A Bacchus gwymp yn ddrylliau,—Testyn cân.

I Dduw am ddwyn i ddynion,—Rhoddwn fawl, &c.
Y moddion tyner tirion,—Rhoddwn fawl,
Cymdeithas er dadebru,
O'u medd'dod fyrdd a'u sobri,
Am hon mae'n gweddu canu,—Rhoddwn fawl, &c.
I Dduw mae yn teilyngu,—Rhoddwn fawl. GWYLYM DOL.

GARDD EDEN.

GARDD i Lywydd, Gardd lawen,—Gardd lysiau,
Gardd iesol heb gynnen;
Gardd y Rhi i gwrdd a'r Rhên;
Gardd oddiaeth a Gardd Eden.

## GORUCHAFIAETH. M. Ps. 113.

GAN JOHN WILLIAMS, LLYNLLEIFIAD.

*Cymhedrol.* *Tyner.* *Cryf.*

Yn ymchwydd yr Iorddonen gref, Dal f'enaid afael ynddo ef; Mae'r tonau'n fawrion iawn eu grym. Af trwyddynt er nad wyf ond gwan, Os

*Tyner.* *Cryf.*

dell di fy mhen i'r lan, Fydd tonau mawrion i mi ddim. Os dell di, &c.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXX.] HYDREF, 1841. [LLYFR XI.

## Y CYFAMOD NEWYDD.

PREGETH A BREGETHWYD GAN Y PARCH. GRIFFITH SOLOMON, LLANBEDROG, ARFON, YN NGHYMDEITHASFA CAERLLEON, 1839.

JER. xxxi. 33.

"Ond dyma'r cyfamod a wnaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd. Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i 'sgrifenaf hi yn eu calonau hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant yn bobl i mi."

PAN oedd dyn mewn sefyllfa ddedwydd yn Eden, fe ostyngodd Duw i fyned i gyfamod âg ef; ond bŷr iawn a fu parhad y cyfamod hwnw. Mae rhai yn barnu nad arosodd dyn ynddo ddeng niwrnod,—ac ereill a farnant lawer llai na hyny. Mae yn ddiameu hefyd na bu i Dduw, yn ei drugaredd, ei adael yn hir yn y tywyllwch. Cyn pen hir cawn fod Had y wraig yn cael ei gyhoeddi iddo, a hyn yw cynwysiad corph yr efengyl. Yn yr addewid hon gwelwn ddedfryd ar y gelyn, ac ymwared i'r dyn—a hyny yn nghnawdoliad y Messiah. Yr oedd gan Dduw gyfamod arall i'w ddatguddio yma, sef y cyfamod tragywyddol.

Fe wnaeth Duw gyfamod â'i bobl yn oesau boreuawl y byd—fe wnaeth gyfamod â Noah, ac âg Abraham, ac ereill, ond yn y fan yma y mae yn gwneyd cyfamod â'r gaethglud. Ac y mae yma hefyd yn addaw gwneuthur cyfamod gwell â hwy na'r cyfamod a wnaeth â'u tadau. Yr oedd llawer o bethau yn perthyn i'r cyfamod hwnw gynt wrth fynydd Sinai—fe allai ei fod yn dangos y peth oedd dyn cyn syrthio, a'i sefyllfa wedi syrthio; ac y mae melldith y cyfamod toredig hwn yn sefyll ar bawb sy dano. Ac y mae yma yn dangos yr angenrheidrwydd o gyfamod newydd. Yr oedd cyfamod Sinai yn annigonol i roddi bywyd, am na threfnwyd hyny ynddo—ac o herwydd anffyddlondeb y bobl iddo. Yn yr adnod o flaen y testyn, dywedir am y cyfamod hwn, "yr hwn fy nghyfamod a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymu, er fy mod i yn brïod iddynt, medd yr Arglwydd." Ond yn y cyfamod newydd fe grynhöwyd yr holl addewidion er dechreuad y byd. Nid oedd yr addewidion hyn wedi eu gwneyd yn gyfamod—yr oedd yr holl addewidion yn sicr, ond nid oeddynt yn gyfamod.

Yn nghyfansoddiad y cyfamod newydd y mae graslonrwydd Duw yn dyfod i'r golwg—diddymu y cyfamod y byddent hwy; ond y mae efe yn dywedyd yma y gwnelai efe gyfamod newydd â hwynt.

Mae yma anfeidrol ddoethineb yn dyfod i'r amlwg hefyd—mae yma gyfiawnder yn y man yr oedd ereill yn tori. Mae hwn yn gyfamod tragywyddol.

Mae hollalluogrwydd hefyd wedi ymrwymo i effeithioli holl fendithion y cyfamod hwn. Mae maddeu pechodau yn ffrwyth gallu, yn gystal a ffrwyth graslonrwydd.

Sylwai ar y ddau beth hyn:—

1. Rhoi y gyfraith o'u mewn.

2. Eu dwyn i berthynas gyfamodol.

1. Rhoi y gyfraith o'u mewn.

(1.) Y gwrthddrychau y gweithredir arnynt yw y *meddwl* a'r *galon*.

(2.) Dull yr oruchwyliaeth, *Rhoi* ac *Ysgrifenu*.

(1.) Y gwrthddrychau y gweithredir arnynt—y meddwl a'r galon. Wrth y meddwl a'r galon y meddylir yr holl ddyn, holl alluoedd eneidiawl y dyn, y rhan ddeallawl a'r rhan serchiadawl o hono. "O'u mewn hwynt," yn ysbryd y dyn; "yn eu calonau," yn y rhan serchiadol: yr holl enaid a feddylir.

Mae goruchwyliaeth y cyfamod yn cael ei ddwyn yn mlaen ar y rhan ddyfnaf o'r dyn. Nid edwyn neb bethau dyn ond ysbryd dyn ag sydd ynddo. Fe allai fod y rhanau allanol yn effeithio

ar y serchiadau, ond nid yw yn aros yno. Ond y mae yr oruchwyliaeth hon yn cael ei galw gan yr apostol yn "oleuo llygaid y meddwl," yn Eph. 1. 18. Mae yn myned i'r rhan ddirgelaf o'r dyn. Mae yr apostol, mewn man arall, hefyd, wrth gydmaru y ddau Adda, yn gwaeddi uwch ben yr ail, "Mwy o lawer." Fe fu toriad cyfamod yr Adda cyntaf yn ddigon grymus i ddinystrio ei holl had i gyd; ond y mae gras y cyfamod arall yn fwy o lawer iawn.

(2.) Dull yr oruchwyliaeth, *Rhoi* ac *ysgrifenu*. "Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau." Mae yr apostol, yn Heb. 7. 16. yn defnyddio gair arall, "Mi a'i dodaf;" ac wrth hyn yr arweinir ni i sylwi ar ddau beth:—

[1.] Cymhwysiad y drefn; ac yn

[2.] Ei heffeithioldeb a'i rhadlonrwydd. *Rhoddaf*, dyna radlonrwydd; *dodaf*, dyna gymhwysiad. Gwneyd y y fantell a'i rhoddi am danynt. Mae llawer o swnio am sefyllfa prawf yn bod yn y byd, ond y mae hyny yn profi fod dyn am gael dyfod i fynu etto yn llwybr yr hen gyfamod.

Goruchwyliaeth arall yw *ysgrifenu*. Mae tri ysgrifenu wedi bod ar y ddeddf, y cyntaf oedd ei hysgrifenu hi yn naturiol ar galon dyn, (sef, Adda); yr ail ysgrifenu oedd ei hysgrifenu hi yn llythyrenol ar y llechau cerig ar fynydd Sinai; a'r trydydd yw ei hysgrifenu hi yn ysbrydol ar y galon. Ni bu yr ysgrifenu cyntaf yn barhaus; ac ni bu yr ail yn effeithiol; ond bydd y trydydd yn barhaus ac yn effeithiol. Pan y byddo ysgrifenu yn myned yn mlaen, gwneir rhyw barotoadau yn wastadol: felly rhaid naddu y galon trwy argyhoeddiadau llymion cyn i Ysbryd Duw ysgrifenu arni. Dyna fel yr oedd hi ar y ffordd i Damascus, rhwng Ysbryd Duw â Saul o Tarsus; parotoi ei galon i ysgrifenu arni yr oedd efe. A thyma a ofynaf finnau i chwithau, wrandawyr, wrth ymadael. A gyffyrddodd rhywbeth â'ch calonau chwi? Pan elo rhyw beth at y galon, nid oes modd byw wedi hyny heb feddyginiaeth. Y mae yma hen ysgrifenu wedi ei wneyd ar y galon gan Satan er ys talm, ond rhaid *blotio* hwnw i ffwrdd i gyd, a hyny trwy hunan-ymwadiad, &c. pan y mae Ysbryd Duw yn dyfod i ysgrifenu y gyfraith. Pan y mae efe yn myned at y gwaith o ysgrifenu, y mae efe yn tyneru y galon i dderbyn yr argraff neu yr ysgrifen; ac wedi y driniaeth, y mae yn cael ei galw yn "galon ddrylliog." Fe ddywedir i galon Josïah feddalhau pan glywodd y geiriau a lefarodd yr Arglwydd yn erbyn trigolion y tir (2 Bren. 22. 9.) ac felly y mae calonau pawb a achubir yn cael eu meddalhau i dderbyn ysgrifen Ysbryd Duw arnynt, a hyny wrth glywed ei eiriau ef. Mae y gyfraith yn gwneud ei hol hefyd ar y rhai yr ysgrifenir hi ynddynt. Y mae rhyw gyfatebolrwydd mawr rhwng y gyfraith a'r galon. Mae Dafydd yn esiampl nodedig o hyn, pan y mae yn dywedyd yn Ps. 119. 6. "Yna ni'm gwaradwyddid pan edrychwn ar dy holl orchymynion." "Cadw fy neddfau a'm barnedigaethau," medd y gyfraith; ac "O! am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau," medd enaid y cywir. "Ceisiwch yr Arglwydd tra galler ei gael," medd y gyfraith. "O! na wyddwn pa le y cawn Ef," medd y galon dyner i dderbyn yr ysgrifen a'r argraff arni.

Mae yr ysgrifenu hwn yn beth effeithiol iawn hefyd: mae yn effeithio i wneyd ufudd-dod gwirioneddol, ac egwyddorol.

2. Sylwai ychydig ar eu dwyn i berthynas gyfamodol. "A mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant yn bobl i mi." Bydd y rhai hyn oll yn meddu hawl yn Nuw yn y byd hwn, ond cant fwynhau Duw byth yn myd yr ysbrydoedd. Deddf ei Dduw sydd yn ei galon, a myfyrio ynddi ddydd a nos yw ei hyfrydwch penaf. Cael Duw yn Dduw. Pa faint yw cynwysiad y geiriau hyn—cael y cwbl ydyw cael hyn; cael yr hyn oll a fedd Duw; cael yr hyn oll a all Duw yn eiddo y credadyn byth, yw cael Duw yn Dduw. Y rhai hyn fydd gymeradwy gan y Barnwr yn y dydd a ddaw; ac am hyny holed pob un ei hunan ar ba law i'r Barnwr y bydd yn sefyll y dydd ofnadwy; o herwydd yr holl rai a safant ar ei ddeheulaw fydd â'r gyfraith o'u mewn, ac wedi ei hysgrifenu ar eu calonau; y rhai hyn, meddaf, fydd a Duw yn Dduw iddynt. Yr Arglwydd a'ch gwnelo oll o nifer y teulu hyn trwy ei Fab Iesu Grist. Amen.

Ysg. gan J— P—.

---

## CYMDEITHASFA AMLWCH,

### Mehefin, 24, 25, 1841.

*Talfyriadau o'r Pregethau.*

Am bump y prydnawn cyntaf, dechreuwyd gan Mr. John Roberts, Liverpool, a phregethai y Parch. R. Jones,

Llanfair, ar Ezec. xi. 19. "A rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch; tynaf hefyd y galon gareg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig."

Yr oedd y prophwyd hwn yn cyflawni ei swydd yn amser y caethgludiad i Babilon. Gwrthrychau cyfeiriol ei brophwydoliaeth oedd, y rhai oedd heb eu caethgludo, a'r rhai oedd wedi eu caethgludo. Yr oedd ei brophwydoliaeth yn danllyd iawn at y blaenaf—"Y cleddyf a ofnasoch, a'r cleddyf a ddygaf arnoch, medd yr Arglwydd Dduw."

Yr oedd ei brophwydoliaeth yn gyssurol at yr olaf. Iddynt y mae yn addaw tri pheth,

1. Y cânt "ef yn gyssegr bychan," er eu hymddifadu o'u teml, "byddaf yn gyssegr bychan iddynt."

2. Addewid o'u dychweliad i'w bro eu hun, "Casglaf chwi hefyd o'r gwledydd y'ch gyrais chwi iddynt, a rhoddaf i chwi dir Israel."

3. Gweithredu cyfnewidiad ynddynt ac arnynt: "tynaf ymaith y galon gareg, a "rhoddaf iddynt galon gig."—Ceisiaf alw eich sylw oddiwrth y testyn at dri pheth.—

I. Y galon.

II. Agwedd y galon.

III. Yr addewid ddeublyg. 1af, Tynu y galon gareg. 2il, Rhoi ysbryd newydd.

I. Beth a feddylir yn y Bibl wrth y galon.

Pan lefarir am galon, meddylir,

1. Yr oll o'r dyn, "Traetha fy nghalon beth da."

2. Rhyw gyneddf benodol o'r dyn, "A'u calon (serch) yn myned ar ol cybydd-dra."

3. Yr enaid, "Fy mab, moes i mi dy galon;" ac felly yn y testyn, "Tynaf hefyd y galon," &c.

II. Agwedd y galon: "Calon gareg." Nodir hi allan weithiau yn "galon ddrwg anghrediniaeth, yn ymado oddiwrth y Duw byw:" yn fwy ei thwyll na dim! ond yn y testyn, "Calon gareg." Careg yn gyffelybiaethol. Y mae y galon fel y gareg yn ddideimlad; fel y gareg yn ddi *ildio;* ac fel y gareg yn anodd ei thori.

1. Y mae y galon fel y gareg yn ddideimlad: "A fu cywilydd arnynt hwy pan wnaethant ffieidd-dra? na fu dim cywilydd arnynt, ac ni fedrasant wrido."

2. Fel y gareg yn ddi *ildio:* er ei tharo, etto, ni chyfnewidir ei natur; ac er ei thori yn ddarnau, etto careg! Y mae calonau plant dynion yn debyg i'r darlun a rydd Job o'r lefiathan: "Llowethau ei gnawd a lynant yngbyd; caledodd ynddo ei hun, fel na syflo!" felly dyn; er gweinidogaeth efengyl—ni syfl! a gweinidogaeth angeu—ni syfl! Paham? "Caled yw ei galon fel careg; a chaled fel darn o'r maen isaf i felin."

3. Fel y gareg yn wrthwynebol, yn anodd ei thrin. Er defnyddio gordd ati, gyr yr ergyd yn ei hôl. Y mae y "galon gareg" yn gyru yn ol weinidogaeth yr efengyl. Y mae mwy o'i hol ar gnawd ac esgyrn y pregethwr, nag sydd ar eiddo y gwrandawr!! Wrth geisio dryllio y galon gareg, drylliwyd llawer gordd odidog! wrth geisio toddi yr hen galon fe losgwyd llawer megin!! O! mae cryndod yn fy meddiannu yn mhulpudau duon Môn, wrth feddwl am y gweinidog enwog Elias! a dreuliodd ei hun allan wrth ymboeni ac ymofidio uwch ben cynulleidfaoedd celyd y wlad hon! etto, yn "galed galon."

Ond yn nghanol y crynu, yr ofni, a'r wylo:—er marw y cedyrn, y mae y Cadarn yn fyw. Wele! byw wyf fi: wele, yr ydwyf fi gyda chwi hyd ddiwedd y byd.

III. "Mi a dynaf." Dyma gysur mewn ofnau, dyma *gordial* mewn llewygfa, dyma nerth mewn gwendid, a dyma galondid i drigolion amddifaid Môn: "Mi a dynaf."

Y mae Duw Hollalluog, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, yn bloeddio uwch ben y byd, "Tynaf hefyd y galon gareg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig." Nid yw yn anrhydedd i Dduw wneud y peth a all dyn wneud; gwelir hyn yn amlwg yn amgylchiad Lazarus. Dangoswch pa le y dodasoch chwi ef? a dangosaf innau y man y dodir ef; treiglwch chwi y maen, codaf innau y marw. "Tynaf ymaith y galon gareg o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig."

1. Gwaith i gyd o ras yw. O ras yr arfaethodd, o ras yr addawodd, o ras y cyflawnodd, ac y cyflawna etto, ac "er mawl gogoniant ei ras," y bydd y clod yn ddiddarfod gan y dyrfa waredol tu draw i'r llen.

2. Gwaith graddol yw dwysbigo y galon, enwaedu y galon, a thynu y galon gareg ymaith.

Ar ei ol ef, y Parch. Jenkin Davies, Pensarn, ar Hosea xiv. 3.

Yn yr adnod hon, a'r flaenorol, y mae y prophwyd yn ein cyfarwyddo pa

fath eiriau a ddylem ddefnyddio o flaen Duw mewn gweddi: "maddeu yr holl anwiredd; derbyn ni yn ddaionus; a thalwn it' loi ein gwefusau. Ni ail Assur ein hachub; ni farchogwn ar feirch; ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O, ein duwiau: oherwydd ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd."

Yn nrych y testyn, gwelir pedwar pwngc.

I. Y gwrthrych: yr amddifad.

II. Ymddygiad Duw tu ag ato:— cymeryd trugaredd arno.

III. Fod ystyriaeth o drugaredd, yn anogaeth i ymadael a phechod; "ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O, ein duwiau."

IV. Y rheswm a roddir dros hyn, "O herwydd ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd."

I. Y gwrthrych a noda ein testyn, "Yr amddifad." Sylwn ar amrywiol ystyr y gair.

1. Ystyr gyfyng y gair yw, plentyn heb dad; y mae llu o'r rhai hyn yn y wlad; ond iddynt y mae cysur, "Tad yr amddifad yw Duw."

2. Ystyr helaeth y gair yw, pob dyn, heb neb i'w gynorthwyo. Tebyg i hyn oedd y dyn wrth y llyn, "Nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llyn." Heb dad a mam, fe dâl troi at Dduw.

3. Ystyr briodol y gair yw, pob dyn wrth natur, amddifad yw pawb. Y mae pawb, a phob peth, bywydol a difywyd yn ei erbyn, anifeiliaid y maes, bwystfilod gwancus yr anialwch, ac ymlusgiaid gwenwynig y ddaear; cerig y maes yn ei regi, y trawst o'r gwaith coed yn ei felldithio; y ddeddf yn taranu, "Gan farw, byddi farw," a'r efengyl yn bloeddio, "Y neb ni chredo, a gondemnir." O! greadur truenus, a oes neb yn un man a dosturia wrtho?

II. Ymddygiad Duw tu ag ato. "Ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd!" Syndod! Y mae gan Dduw drugaredd i'r amddifad. Gynnulleidfa, y mae y pwngc yn teilyngu eich clustiau i wrando, a'ch calon i gredu. Y mae gan Dduw yn

1. Drugaredd i sylwi arno. Y mae llawer o ddynion "yn ymguddio oddiwrth eu cnawd eu hun." Ond y mae Duw yn sylwi ar bob creadur; ac y mae yn sylwi yn fwy neillduol ar yr amddifad. Prif wrthrych ei sylw dwyfol ef yw'r truan a'r cystuddiedig o ysbryd, sydd yn crynu wrth ei air. Dyger ninau i grynu ger ei fron yn awr.

2. Trugaredd i wrando arno. Y mae ein Duw ni yn gwrando ar gywion y gigfran. Pan y mae tad a mam yn gwrthod, yr Arglwydd a dderbyn. Y mae yn gwrando gweddi y gwael.

3. Trugaredd i faddeu iddo. Y mae maddeuant i'r amddifad gyda Duw! Bu Pabau Rhufain yn dal *machine* maddeuant i droi atynt eu hunain; hwy a aethant dros feddwl calon o gyfoeth wrth werthu maddeuant i'w deiliaid anwybodus! Ond y mae ein Duw ni yn maddeu yn rhad, i rai heb ddim i dalu; oblegid nid cyfoeth sydd yn ei deilyngu.

4. Trugaredd i dderbyn yn ddaionus. Yr oedd y mab hynaf yn greulon yn erbyn derbyniad yr afradlon yn ol; ac yr oedd yr afradlon ei hun yn gweled ei annheilyngdod o fod yn un o'r teulu, "gwna fi fel un o'th weision cyflog." Etto, y mae llawer wedi eu gosod gan drugaredd ddwyfol yn mhlith y plant, a'u codi i fysg pendefigion ei bobl ef.

5. Trugaredd i gynghori. Da yw cael cyngor. Dywedodd Duw, "a'm llygaid arnat y'th gynghoraf."

6. Trugaredd i gysuro. Aml yw galarwyr Sïon yn bresennol Y mae meibion Sïon yn myned dan wylo yn awr, ond cânt ganu yn fuan.

7. Trugaredd yn y diwedd i'w dderbyn i deyrnas nef. Mewn lleoedd caregog yn nghyffiniau gwlad marwolaeth, da cael arweinydd a ŵyr am yr hen ffordd, a'r ffordd dda, sydd yn arwain i ddinas gyfaneddol.

III. Mae ystyriaeth ddifrifol o drugaredd Duw tu ag atom ni, yn anogaeth gref ini i beidio a phechod. "Ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O, ein duwiau, o herwydd ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd." Nid oes un gangen o athrawiaeth gras yn gogwyddo at Antinomiaeth; nid yw yn arwain ei choleddwyr i fyw yn benrhydd; ond yn hytrach i fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu.

---

## SERYDDIAETH.

### PEN. XVII.

#### Y DDAEAR, FEL Y MAE YN YMDDANGOS YN GANOLBWYNT Y GREADIGAETH.

Yr ydym yn dyfod yn bresennol i wneyd sylwadau ar y peth a ellir ei alw yn briodol yn Seryddiaeth y Ddaear.

Pan ar noswaith glir y dyrchafwn ein llygaid uwchlaw'r ddaear, yr ydym yn ei chanfod megis wedi ei gorchuddio â llen,

pa un sydd yn ymddangos yn llawn o gyrph dysglaer, a'r rhai hyny oll fel pe baent yn yr un pellder oddiwrthym. Ond fel y mae rhai o honynt yn myned dros ereill, a rhai nad ydynt byth yn cyfnewid eu sefyllfaoedd perthynasol, mae yn sicr nad ydynt oll yr un pellder. Er hyny, mae pob rhan o'r ffurfafen yn ymddangos fel pe byddai yn yr un pellder oddiwrthym: ac fel yr ydym yn gwybod mai nid yn unig uwch ein penau ni y mae'r ser yn ymddangos, ond eu bod i'w canfod o bob parth o'r ddaear; ac o herwydd hyny mae ei sefyllfa yn ymddangos fel pe byddai yn nghanol gwagle dirfawr, yr hwn trwy fod y ser wedi cael eu dosparthu yn ei gylch tumewnol, a elwir yn gylch-dro y ser sefydlog. Yr oedd yr hynafiaid, wrth ganfod y pethau hyn, yn nghyd â chylch-droadau beunyddiol yr haul a'r planedau, yn ystyried y ddaear mewn gwirionedd y peth yr ydym ni yn bresennol yn ei hystyried yn unig mewn ymddangosiad, a pha ryfedd eu bod felly, pan nad oedd y wyddoreg ond megis yn ei mabandod, a defnyddiad chwydd-wydrau heb eu cael allan? Ac er ein bod ni yn adnabyddus o dwyll yr ymddangosiadau hyn, a'r athrawiaeth hon, etto wrth ganfod ein hunain megys yn y canol-bwynt, yr ydym i raddau yn gorfod cydsynio a hwynt er mwyn cyfleusdra.

Mae'r golygiad ymddangosiadol yn cynnwys llawer o wrthwynebiadau: mae'r ddaear fel pe bae yn sefydlog yn y canol, a phan ystyrir ei maintioli cyfangorph, mae yn ymddangos yn hynod o fawr, ond nid ydyw mewn cydmariaeth i'r holl greadigaeth ond fel brycheuyn, yn barhaus mewn symudiad.

Mae pellder y ddaear oddiwrth yr haul, yn 95 o filiwnau o filldiroedd: ac yna y mae tryfesur llwybr y ddaear yn gymmaint arall, neu 190 o filiwnau o filldiroedd; gan hyny ni a fyddwn yn mhen chwech mis 190 o filiwnau o filldiroedd ar linell gywir o'r man yr ydym yn awr, a phe cymerem yn awr bellderau cymwys dwy o'r ser sefydlog* trwy gymmorth yr offerynau mwyaf manwl, ac eilwaith eu cymmeryd yn mhen chwech mis, ni wna ein cyfnewidiad lle ddangos braidd i ddim gwahaniaeth amlwg yn sefyllfa y ddwy seren grybwylledig, er fod lle i gredu fod rhai o honynt bellder dirfawr oddiwrthym yn fwy nag ereill. Y gwahaniaeth eithaf sydd i'w ganfod trwy'r cyfnewidiad lle a nodwyd ydyw, triugeinfed rhan gradd, neu 1,296,000 rhan o gylchwy mawr y nefoedd serenog; mor lleied, gan hyny, ydyw 190 o filiwnau o filldiroedd mewn cydmariaeth i bellderau y ser sefydlog oddiwrth y ddaear; o ganlyniad, pe byddai ini ymddibynu ar ein golwg i benderfynu pellder a symudiadau y cyrph nefol, ni a dwyllem ein hunain yn fawr; mae yn rhaid, gan hyny, ini ymddibynu ar y seryddwr, ac ar y *mathematician*: mae yn rhaid ini ganlyn y seryddwr; ac wrth draethu ar seryddiaeth fel y mae yn perthyn ini breswylwyr y ddaear, mae yn rhaid ymddiddan am lawer o wrthrychau dychymygol fel pe baent yn bodoli mewn gwirionedd; am gylchoedd yn y ffurfafen ac am gylchoedd ar y ddaear, y naill yn croesi y llall mewn gwahanol ffyrdd, ac yn cael eu rhanu i ranau bychain. Oblegyd trwy'r moddion hyn yn unig yr ydym yn alluog i sicrhau sefyllfaoedd perthynasol gwrthrychau pellenig, i ddarlunio eu gosodiadau, ac amlygu eu rhyfeddodau. Seryddiaeth y ddaear, gan hyny, sydd i raddau yn dyb osodiadol, ond y mae hyn wedi cael eu gyfiawnhau gan syniadau pob oes, a chan gyfrifiadau *mathematician* o bob pwngc o'r greadigaeth, o ba le y gellir eu gwneuthur.

Mae yn anhawdd gan ddynion nad ydynt yn gwybod dim am symudiadau y planedau, gredu bod y ddaear yn symud; oblegyd y maent yn canfod eu hunain mewn gwirioneddol lonyddwch, a'r haul a'r ser mewn ymddangosiad yn troi o'u hamgylch; ac i hyn y maent yn codi gwrthwynebiadau, sef, fod yn anmhossibl i'r ddaear droi ar ei phegwn heb fod hyny yn cael ei deimlo gan ei phreswylwyr; ac heblaw hyny, os ydyw yn wirionedd, meddynt, fel y dywedir wrthym, bod y ddaear yn troi o'r gorllewin i'r dwyrain, ni a deimlem wynt parhaus yn y gwrthwyneb i hyny; ac hefyd, pe taflem bellen tu ag i fynu yn union syth o'n dwylaw, ni ddychwelai yn ei hol i'r un man, ond byddai wedi ei gadael yn mhell ar ol. Yn awr i'r cyntaf o'r gwrthwynebiadau hyn gellir ateb, bod yr un effaith dwyllodrus i'w ganfod pan y byddom mewn agerdd-gerbyd neu agerdd-long, mewn perthynas i wrthrychau sefydlog o'u hamgylch, oblegyd pan y byddo y rhai hyn yn myned yn esmwyth, nid ydym yn teimlo ond ychydig iawn o symudiad ar y pryd, pan y mae y tai a'r coed i'w canfod yn myned heibio gyda'r cyflymdra mwyaf; felly y mae tröad beunyddiol y ddaear ar ei hechel mewn perthynas i'r sêr. I'r ail wrthwynebiad rhaid ateb bod awyrgylch y ddaear yn cael ei had-dynu ganddi, yn perthyn iddi, ac yn cyfranogi o'i symudiad. Ac am y bêl yn cael ei gadael ar ol, yn lle dychwelyd i'r llaw, gellir ateb yn gadarnhaol bod y bêl yn cyfranogi o symudiad y llaw a'r person fyddo yn ei thaflu.

Dyma rai o'r rhesymau mwyaf pwysig yn erbyn symudiad y ddaear, yn nghyd â bod hyny yn groes i'r ysgrythyrau. Mae yn ofynol ini ystyried yn y fan hon i ba ddyben y rhoddwyd yr ysgrythyrau. A roddwyd hwynt fel mesur ffydd, neu ynte i fod yn rheol i drefnu opiniwnau athronyddol? Haera llawer bod y ddaear yn aros yn sefydlog, a'r cyrph nefol yn troi o'u hamgylch, oblegyd dywedir i'r haul a'r lleuad aros ar-

---

* Y naill oddiwrth y llall.

orchymyn Joshua; ond mi feddyliwn nad ydyw'r ysgrythyrau yn llefaru am, nac yn trin y bodau wybrenol yn ol deddfau seryddiaeth, ond yn ol fel y maent yn ymddangos i ni, ac fel y llefarir am danynt yn gyffredin. Yn awr, heblaw y pethau a enwyd, ni a ymdrechwn ddangos gwrthuni yr athrawiaeth wrthwynebol, ac ni a gymmerwn ein dadl oddiwrth y cyflymdra anhygoel a raid i'r sêr a'r planedau, yn nghyd a'r haul, gyflawni pe baent mewn gwirionedd yn gwneyd hyny.

Mae seryddwyr yn gyffredinol yn cytuno bod pellder y lleuad oddiwrth y ddaear yn 240,000 o filldiroedd: ac yn awr pe byddai y ddaear yn gorphwys, byddai raid i'r lleuad deithio o'i hamgylch yn feunyddiol mewn cylch o ddeutu 1,500,000 o filldiroedd, ac yna byddai ei chyflymdra yn 63,000 o filldiroedd bob awr, neu yn 1,050 o filldiroedd bob mynyd: mae hyn yn llawer iawn i feddwl am dano, ond nid ydyw ond ychydig mewn cydmariaeth i'r haul a'r sêr sefydlog. Cyfrifir fod yr haul yn mhellach oddiwrthym o 400 o weithiau na'r lleuad; yn awr, a gadael ei fod yn troi o amgylch y ddaear mewn 24 o oriau, yna mae amgylchedd y llwybr y mae yn gerdded yn 597 o filiwnau o filldiroedd, a'i gyflymdra yn 25 o filiwnau o filldiroedd bob awr, 400,000 bob mynyd, neu 6,500 bob eiliad o amser. Ni a welwn wrth hyn y byddai ei fynediad yn rhyfeddol o gyflym. Ond pe bai y sêr sefydlog yn troi o amgylch y ddaear mewn pedair awr ar hugain, byddent yn llawer cyflymach yn eu teithiau na'r haul; oblegyd mae y seryddwyr mwyaf medrus a chywrain wedi penderfynu nas gall y seren sefydlog agosaf i'r ddaear fod ddim yn llai na 206,000 o weithiau bellder yr haul oddi wrthi; yn awr amgylchedd llwybr y seren fydd yn 20 miliwn o filiwnau o filldiroedd; ac yn ol y cyfrif hwn byddai raid iddi redeg 280 o filiwnau o filldiroedd mewn eiliad o amser, cyn y gallai gyflawni ei chylch-dro mewn pedair awr ar hugain, yr hyn sydd yn fil o weithiau yn gyflymach na'r goleuni.

Bod yr haul a'r planedau, a miloedd o sêr (a'r rhai hyny, yn ol pob tebygolrwydd, yn amrywio yn fawr yn eu maintioli a'u pellder,) yn troi o amgylch y ddaear, ac oll yn yr un ysbaid o amser, sydd yn anghredadwy. Onid ydyw yn fwy rhesymol o lawer i gredu bod y ddaear yn troi yn barhaus ar ei hechel ei hun, ac unwaith yn y flwyddyn o amgylch yr haul? ond er mai yr un effeithiau ymddangosiadol a gai eu cynhyrchu trwy'r ddau olygiad hyn, etto mor belled ag yr ydym yn gallu treiddio i mewn i weithredoedd yr Hollalluog yr ydym yn canfod fod y dyben a'r amcan mwyaf syml wedi cael eu harferyd i ddwyn allan yr effeithiau mwyaf rhyfeddol.

Mae y ddyfais o syll-ddrychau yn galluogi y seryddwr i benderfynu, tu hwnt i bob [illegible]ddadl, bod Jupiter, a Sadwrn, yn nghyd a Mawrth, yn troi ar eu hechel, a phaham nad allwn gasglu oddiwrth hyn, yn gadarnhaol, bod y ddaear yn ddarostyngedig i'r un peth?

Yn awr, gwedi gwneuthur rhai sylwadau cydmariaethol ar sefyllfa wirioneddol ac ymddangosiadol y ddaear; a chwedi ateb rhai o'r gwrthwynebiadau mwyaf yn erbyn ei symudiad, yn nghyd â dangos gwrthuni yr athrawiaeth wrthwynebol; awn yn mlaen y tro nesaf i wneud rhai nodiadau ychwanegol mewn perthynas i'r ddaear ei hun; sef ei ffurf a'i maintioli—ei rhaniadau, pa rai y mae seryddwyr yn eu cael yn ddefnyddiol i ddarostwng ei harwyneb; a'r cylchoedd dychymygol hyny yn nghylch-dro mawr y nefoedd serenog, pa rai sydd yn cyfansoddi rhan hanfodol o seryddiaeth y ddaear.

(*I'w barhau.*)

---

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### DOS. III.—JUDEA.

JUDEA, gwlad yr Iuddewon, prif ddinas pa un ydoedd Jerusalem, oedd mor nodedig o ffrwythlawn, fel y rhestrid hi gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn mhlith y goreu o'u taleithiau. Hen awduron enwog ydynt yn dwyn y dystiolaeth fwyaf benderfynol i'r nifer mawr o drefydd a phentrefydd, y rhai oeddynt yn daenedig ar hyd-ddi; i enwogrwydd amryw o'i dinasoedd; i ragoroldeb ei hinsawdd, a ffrwythlonrwydd ei daear; yn yr hyn yr ydoedd yn rhagori ar Itali o ran helaethrwydd ac ardderchogrwydd ei ffrwythau.

Amaethyddiaeth ydoedd wedi ei ddwyn i radd mor uchel fel yr arferai y Groegiaid, y rhai a berchenogent wlad oludog a phrydferth o'u heiddo eu hunain, mewn modd diarhebol, alw Syria, yn cynnwys gwlad Moab, Ammon, a Philistia, yn gystal a Judea, yn ardd. Rhagddywedodd Moses am gyflwr gresynol y wlad yn y geiriau mwyaf cynhyrfiol, "Mi a doraf falchder eich nerth chwi; a gwnaf eich nefoedd chwi fel haiarn, a'ch tir chwi fel prês: a'ch cryfder a dreulir yn ofer; canys eich tir ni rydd gynnyrch, a choed y tir ni roddant eu ffrwyth. A mi a ddinystriaf y tir, fel y byddo aruthr gan eich gelynion, y rhai a drigant ynddo, o'i herwydd," Lef. 26. 19, 20, 32. Esaiah, mewn iaith gyffelyb a ddywedodd. "Y mae eich gwlad yn anrheithiedig, eich dinasoedd wedi eu llosgi â thân; eich tir, a dieithriaid yn ei ysu yn eich gwydd, ac wedi ei anrheithio fel pe dymchwelai estroniaid ef. Gan waghau y gwagheir, a chan yspeilio yr yspeilir y wlad; canys yr Arglwydd a lefarodd y gair hwn. Y ddaear hefyd a halogwyd dan ei phreswylwyr: canys troseddasant y cyfreithiau, newidiasant y deddfau, diddymasant y cyfammod tragywyddol. Am hyny

melldith a ysodd y tir, a'r rhai oedd yn trigo ynddo a anrheithiwyd; am hyny, preswylwyr y tir a losgwyd, ac ychydig ddynion a adawyd," Esa. i. 7. xxiv. 3, 5, 6. Jeremiah hefyd, "Gadewais fy nhŷ, gadewais fy etifeddiaeth; mi a roddais anwylyd fy enaid yn llaw ei gelynion. Gwnaethant hi yn anrhaith, ac wedi ei hanrheithio y galara hi wrthyf: y tir i gyd a anrheithiwyd, am nad oes neb yn ei gymmeryd at ei galon," Jer. xii. 7, 11. "A'r dinasoedd cyfanneddol a anghyfanneddir, a'r tir a fydd anrheithiol; felly y gwybyddwch mai myfi yw yr Arglwydd," Ezec. xii. 20.

Gweledigaethau y prophwydi ysbrydoledig ydoedd mor eglur ag edrychiad llygad y rhai yn awr a ddarllenant hanes Judea, neu a edrychant ar wyneb y wlad; tra mae olion hen feithriniaeth; adfeilion yn lliosog yn mhob man; gweddillion prif-ffyrdd ac adeiladau Rhufeinaidd, a brasder naturiol y tir, mewn llawer o leoedd etto heb ei gyfnewid, yn cytuno â llais cyffredinol hanesyddiaeth, yn tystio cyflwr aralledig echrydus y wlad. Ar ol meddiant hir ac anattaledig o Judea gan yr Israeliaid, y Caldeaid, Syriaid, Aiphtiaid, a'r Rhufeiniaid, oeddynt y dieithriaid, y rhai, yn olynol, a ddygasant ddinystr ar ddinystr, ac a barotoisant y ffordd i anrheithwyr mwy creulawn. Yn gynar yn y seithfed ganrif, y llwythau Arabiaidd, dan faner Mohammed, a'i meddiannasant, neu yn hytrach a'i difrodasant hi. Er yr amser hwnw, rhwygwyd hi gan y rhyfeloedd cartrefol o eiddo y Fatimitiaid a'r Ommiadiaid; traws-gipiwyd hi oddiwrth yr arch-offeiriaid Mohammetanaidd gan eu llywodraethwyr gwrthryfelgar; cymmerwyd oddiarnynt hwy gan y milwyr Tyrciaidd; ymosodwyd arnynt gan yr Ewropeaidd yn amser rhyfel y groes; ailgymmerwyd gan y Mameluciaid o'r Aipht, a difrodwyd gan Tamerlane a'i Dartariaid, nes o'r diwedd iddi ddisgyn i ddwylaw y Tyrciaid Ottomanaidd.*

"Y dinasoedd a anrheithiwyd." Trwy dystiolaeth gydunol yr holl deithwyr, gellir galw Judea yn bresennol, gyda phriodoldeb, yn faes adfeilion. Carneddau o adfeilion, a malurion ydynt yr oll sydd yn aros o Cesarea, Zabulon, Capernaum, Bethesda, Gadara, a Chorazin, a llawer o fanau eraill crybwylledig yn y Bibl. Colofnau gorchuddedig â malurion, a phentyrau didrefn o adfail, ydynt yn wasgaredig dros wyneb yr holl wlad.

Y tir sydd wedi ei wneuthur yn ddiffeithwch. Mae y wlad yn orchuddiedig gan lwythau gwrthryfelgar; yr Arabiaid ydynt yn porfâu eu diadelloedd gyda rhyddid. Y gwastadoedd ffrwythlonaf ydynt yn gorwedd heb eu llafurio. Y gelfyddyd o amaethyddiaeth sydd yn yr agwedd fwyaf gresynus, a'r gwladwr yn hau gyda mwaged yn ei law.

Gweddillion y prif-ffyrdd heb fod yn hwy yn dramwyadwy, ydynt i'w gweled. Yn rhanau tumewnol y wlad, nid oes na ffyrdd mawrion, na chamlesydd, nac hyd yn nod bontydd dros yr afonydd a'r ffrydiau, pa mor angenrheidiol bynag fyddont yn y gauaf. Y ffyrdd yn y mynyddoedd ydynt prin yn dramwyadwy. Nid oes dim gwestai yn un rhan o'r wlad, na phorthladdoedd, na throsglwyddau cyffredin; nid oes yr un bedrolfen na chertwyn yn holl Syria.

Yr adroddiadau ydynt wedi eu rhoddi gan deithwyr gwahanol a chyfrifol, y rhai ydynt yn cytuno yn eu tystiolaethau i berffaith gyflawniad y rhagddywediadau a ysgrifenwyd gan Moses dair mil a thri chan mlynedd yn ol; a chan Esaia yn y pellder oddeutu dwy fil a phum cant o flynyddoedd. Rhaid yw cydnabod fod llaw yr Arglwydd cyfiawn yn hyn; ac yma y gwelwn doster ofnadwy Duw, a gwirionedd ei air.

(*I'w barhau.*)

## GWISGAD DILLAD, &c.

Yn ein sylwadau ar "Wisgad Dillad," nyni a ddechreuwn gyda'r ddau ddyn cyntaf, Adda ac Efa, ac nid oes modd dechreu yn gynt. Dywedir am danynt, yn uniongyrchol ar ol eu creu, "Ac yr oeddynt ill dau yn noethion, Adda a'i wraig, ac nid oedd arnynt gywilydd." Gen. 2. 25. Dyma y cyflwr yr oedd ein rhieni cyntaf ynddo yn eu sefyllfa greadigol. Yr oedd gwisg o gyfiawnder, santeiddrwydd, a rhinwedd, yn addurn hardd am eu heneidiau; ond yr oedd eu cyrph yn noethion. Fel hyn y buont tra y parhausant yn eu sefyllfa o ddiniweidrwydd. Nid oedd arnynt gywilydd am nad oedd pechod ynddynt; canys "cywilydd pobloedd yw eu pechod:" oni buasai bechod, ni buasai cywilydd byth.

Ond wedi i Adda ac Efa bechu yn erbyn yr Arglwydd, dywedir fel hyn am danynt, ar yr achlysur hwn, "A'u llygaid hwy ill dau a agorwyd, a hwy a wybuant eu bod yn noethion, ac a wnïasant ddail y ffigysbren, ac a wnaethant iddynt arffedogau," neu wregysau, fel y dywedir ar ymyl y ddalen, Gen. 3. 7. Ond wedi eu hargyhoeddi hwynt o bechod, a rhoddi yr addewid o had y wraig iddynt, dywedir drachefn fel hyn, "A'r Arglwydd Dduw a wnaeth i Adda ac i'w wraig beisiau crwyn. (Saesonaeg, *coats of skins*) ac a'u gwisgodd am danynt hwy." Felly y wisg gyntaf erioed â'r hon y gwisgodd dyn ei hunan oedd o ddail y ffigysbren: arffedog neu wregys i bob un, i guddio eu noethni. Ond y wisg a wnaeth Duw iddynt, oedd o lawer gwell defnydd, sef crwyn, ac yn llawer helaethach—peisiau, (Saesoneg, *coats*).

* Dymunir ar i ryw Ohebwr hysbysu yn mhellach am feddiannwyr presennol Judea.

Pa hyd y bu dynolryw wedi hyny yn gwisgo crwyn yn unig, heb ddyfeisio dillad o ddefnyddiau ereill, nis gwyddom. Ond mae yn wirionedd hysbys, fod llawer o genedloedd y ddaear hyd y dydd hwn yn arferyd gwisgo crwyn am danynt, a hwy yn unig, a hyny o arferiad er's oesoedd anhysbys, a dyma y cyfryw ddillad sydd ar eu gwelyau y nos. Ni a ddarllenwn yn Gen. 9. 23. "A chymmerodd Sem a Japheth, ddilledyn ac a'i gosodasant ar eu hysgwyddau—ac a orchuddiasant noethni eu tad." Pa fath oedd defnydd y dilledyn hwn nis gwyddom. Ychydig iawn a gawn ni o son am ddillad am amryw oesoedd cyntaf o'r byd. Yn Gen. 24. cawn hanes am was Abraham yn rhoddi i Rebecca wisgoedd, clustdlws aur, hanner sicl ei bwys, a dwy freichled i'w dwylaw hi, yn ddeg sicl o aur eu pwys, a thlysau aur. Yn Gen. 27. dywedir i Rebecca wisgo am Jacob ei mab, grwyn mynod, sef am ei ddwylaw ef, ac am lyfndra ei wddf ef, i dwyllo Isaac ei dad.

DYBEN A LLES GWISGOEDD.

Mi debygwn fod yn eglur iawn fod gwisgoedd wedi eu trefnu i ddyn i ddau ddyben nodedig.

1. Er harddwch. 2. Er clydwch.

1. *Gwisgo er harddwch.* Mae yn ddiammeu fod gwisg i ddyn yn ei gyflwr presennol, yn harddwch mawr iawn. Cyn pechu, yr oedd dyn yn llawer harddach heb wisg; ac er fod gwisg yn awr yn arwydd fod dyn yn bechadur, etto y mae yn harddwch mawr iddo. Dyma, gan hyny, reol gyffredinol, dan bob goruchwyliaeth, yn mhob gwlad, ac yn mhob oes; ïe, i bob oedran, sefyllfa, a rhyw o ddynion mewn perthynas i wisgad dillad.

Felly, gan hyny hefyd, gwisged pob un yn y sefyllfa y byddo ynddi, yr hyn a fyddo yn ei harddu ef, ac nid yn ei anharddu: dyma y "dillad gweddus" a sonia yr Apostol am danynt. Wrth wisgo er harddwch, yr wyf yn meddwl, gwisgo gwisgoedd addas iddo fel creadur, fel pechadur, fel dyn, ac fel Cristion.

2. *Gwisgo er clydwch.* Eglur iawn yw fod gwisgoedd yn nodedig o fuddiol i ddyn er clydwch. Maent yn ei ddiogelu ef rhag oerder yr hin, a rhag gwres gormodol yr haul. Angenrhaid yw fod y gwisgoedd yn wahanol iawn yn y golygiad hwn yn y naill ddosbarth o'r ddaear i'r llall: ond y maent yn angenrheidiol yn mhob rhan o'r byd i'r amcan daionus a llesol hwn.

CYFEILIORNADAU MEWN GWISGOEDD.

1. I borthi balchder. 2. I annog anlladrwydd. 3. I beri gwastraff.

Nid oes bron ddim yn cael ei ddywedyd yn bennodol yn yr Ysgrythyrau mewn perthynas i wisgoedd meibion, heblaw un man, lle y gwaherddir cymmysgu dillad y ddau ryw, "Na fydded dilledyn gwr am wraig, ac na wisged gwr ddillad gwraig: oherwydd ffiaidd gan yr Arglwydd dy Dduw bawb a'r a wnel hyn." Deut. 22. 5.

Y mae dau o Apostolion y Testament Newydd, sef Paul a Petr, yn sylwi yn neillduol ar wisgoedd ac addurniadau merched. Paul yn 1 Tim. 2. 9, 10. "Yr un modd hefyd, bod i'r gwragedd eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus, gyda gwylder a sobrwydd; nid â gwallt plethedig, neu aur, neu emau, neu ddillad gwerthfawr, ond (yr hyn sydd yn gweddu i wragedd a fo yn proffesu duwioldeb) â gweithredoedd da." Petr yn 1 Petr 3. 3. "Y gwragedd—trwsiad y rhai bydded, nid yr un oddiallan, o blethiad gwallt, ac amgylch-osodiad aur, neu wisgad dillad."

1. Y cyfeiliornad cyntaf a enwaf yw, *Ymwisgo i borthi balchder.* Yn yr adnodau uchod, gwelir yn amlwg fod yr Apostolion yn gwahardd gwisgoedd beilchion, y rhai nad ydynt na harddwch na chlydwch. Er nad balchder yw gwisgoedd, ac nad ydyw gwreiddyn balchder mewn gwisgoedd, er hyny, y mae mathau o wisgoedd yn ddiau nas gellir dywedyd eu bod yn dda i ddim ond i borthi balchder; ffrwyth balchder ydynt: mae y cyfryw wisgoedd yn bechadurus. Mae yn ynfydrwydd mawr mewn dyn ei fod yn balchio o'i wisg. Bwriwch eich bod yn myned i ymweled â chymmydog sydd wedi ei ddal a'i ddodi yn ngharchar am ei ddrwg weithredoedd. Yno y mae efe â chadwyni heiyrn am ei draed ac am ei ddwylaw. Ac wedi i chwi ddyfod i'w wydd ef, cewch ei weled yn gwenu, ac yn chwerthin, yn hyfryd a llawen wrth ddangos i chwi ei gadwyni a'i lyffetheiriau heiyrn sydd am dano! Oni farnech chwi ei fod wedi colli arno ei hun, pan y mae yn ymffrostio, ac yn ymfalchio o'i gadwynau, y rhai ydynt arwyddion o'i fod yn ddrwg weithredwr? Gwnaech yn ddiau. Dyma agwedd dyn pan y mae yn balchio o'i ddillad, y rhai ydynt arwyddion o'i fod yn bechadur; canys cyn pechu o hono, nid oedd eisieu y rhai hyn. O ynfydrwydd a gwallgofrwydd dyn!

Mae y prophwyd Esaiah yn dangos mai un o'r pechodau oedd yn galw am farn ar Juda oedd "balchder merched Sion," Esa. 3. 16—26. Ac mae efe yn mynegi hefyd fod y balchder hwnw i'w ganfod yn amlwg yn ngwisgoedd ac addurniadau y merched hyny, gan eu nodi allan wrth eu henwau, sef "addurn yr esgidiau, y rhwydwaith hefyd, a'r lloerawg wisgoedd, y cadwynau, a'r breichledau, a'r moledau, y penguwch, ac addurn y coesau, a'r ysnodenau, a'r dwyfronegau, a'r clust-dlysau, y modrwyau, ac addurn y trwyn, y gwisgoedd symudliw, a'r mentyll, a'r misyrnau, a'r crych-nodwyddau, y drychau hefyd, a'r lliain meinwych, a'r cocyllau, a'r gynau," &c. Mae llawer o'r dilladau a'r addurniadau hyn yn anhysbys a dyeithriol iawn i ni yn y wlad hon; ac yn wir, nid rhyfedd, canys y mae dulliau a moddau gwisgoedd ac addurn-

iadau benywod yn newid mor fynych, fel y mae cannoedd o honynt wedi myned i dir angof ar ol amser y prophwyd Esaiah. Eithr hyn sydd eglur, mai arwyddion amlwg oeddynt y pryd hwnw o "falchder merched Sïon," gwel adn. 16.

Buasid yn dysgwyl i "ferched Sïon" fod yn sobr, yn weddaidd, a dichlynaidd yn eu gwisgiadau, wedi eu harddu no â sancteiddrwydd; ond yn lle hyny maent yn dilyn dulliau gwamal y cenedloedd cymmydogaethol, yn lle tebygoli i'r "gwragedd sanctaidd" yr hen oesoedd, y rhai "a obeithiasant yn Nuw." Yr oedd eu balchder a'u haulladrwydd i'w ganfod hefyd yn amlwg, hyd yn nod yn eu hagwedd a'u dull yn cerdded ar hyd yr heolydd. Yr oeddynt "yn rhodio â gwddf estynedig," i ddangos eu hunain, i lygad-rythu, ac i gael eu gweled. Yr oedd eu balchder, eu gwamalrwydd, a'u hanlladrwydd, i'w ddarllen yn eu holl agweddau. Ac yr oedd ymddygiadau balchaidd a hudolaidd y merched hyn, yn nghyda gorthrymder ac annuwioldeb y tywysogion, yn digio Duw yn ddirfawr, ac yn prysur dynu dïaledd ar y wlad. Edrychwn ninnau rhag rhodio yn yr un llwybrau a hwynt, a rhag i ni gyfranogi o'r un farnedigaeth, gwel adn. 24—26.

Mae yn wir fod yn rhy anhawdd i neb bennodi ar reol anffaeledig o wisgad dillad; ond dylai pawb sylwi yn fanwl ar air yr Arglwydd yn y peth hyn fel mewn pethau ereill. "Dillad gweddus," y geilw yr ysgrythyr y dillad a ddylai pawb yn mhob sefyllfa eu gwisgo. Fe ŵyr cydwybod Cristion yn lled dda, pa fath a pha ddull o wisgad sydd yn weddus iddo yn ol ei broffes, yn ol ei alwedigaeth, ac yn ol y sefyllfa y gosododd Duw ef ynddi yn y byd.

2. Yr ail gyfeiliornad mewn gwisgad dillad, yw, *Gwisgo er annog anlladrwydd.* Mae gwisgoedd anllad yn hawdd i bawb eu hadnabod, fel nad oes eisieu eu darlunio. Y mae gwisgiadau, ac addurniadau, y gellir dywedyd am danynt nad ydynt yn fuddiol i ddim ond i enyn anlladrwydd, ac i genedlu ysbryd godineb. Mae y rhai hyn yn llwyr bechadurus, a hollol anweddaidd.

3. *Gwisgo i beri gwastraff.* Mae gwisgiadau rhy gostus a drudfawr yn anaddas. Gwario gormod o arian am ddillad gwychion a gwerthfawr sydd bechadurus, fel y mae yr apostol yn ei nodi yn 1 Tim. 2. 9. Diau fod yn addas i bobl mewn sefyllfa uchel yn y byd wisgo dillad mwy gwerthfawr na'r isel radd; mae hyny yn weddus. Etto dylai pob sefyllfa beidio a gwastraffu eu harian am ormodedd o ddillad gwerthfawr, canys wrth hyny hwy a brinhânt ar ryw achosion ereill. Gwneler pob peth yn weddus ac mewn trefn. Rhodder i bob peth ei gyfran, yn ol rheol cymmedroldeb. Medd un gwr doeth, "Gwisged pob un ddillad am dano, fel na welo neb hwynt," hyny yw, y cyfryw ddillad ag a fyddont yn addas i'w sefyllfa, ac na byddont na rhy wael na rhy wych.

CYHOEDDWR.

---

## HANES

### *Yr achos Crefyddol y'mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn Penclawdd, Morganwg.*

DECHREUWYD yr achos da hwn trwy weinidogaeth y diweddar Barchedig Rees Jones, (gynt Llanfwrog, Mon,) yn nghapel yr anrhydeddus Arglwyddes Barham: ac wedi ei farwolaeth ef, tröwyd ni o'r capel, am wrthod o honom ddewis gweinidog o blith yr Annibynwyr. Buom am gryn amser yn cyfarfod i addoli mewn ystafell tafarndŷ, yn y pentref, am nad oedd un lle arall yn gyfleus. Wedi hyny gorfu arnom adael yr ystafell hòno wedi ychydig iawn o rybudd, heb wybod am un lle arall i fyned, na pha beth i'w wneyd. Sylwodd chwaer o blith y Bedyddwyr, ar ein hamgylchiad anghysurus; tosturiodd wrthym, a chynnygiodd ystafell fechan o'i thŷ annedd ini hyd nes caffem le mwy cyfleus. Ac felly cytunasom â hi, a buom yn cyfarfod i bregethu a gweinyddu yr ordinhadau yn yr ystafell hòno am oddeutu saith mlynedd: ac yr ydym yn barnu i'r nefoedd wenu arnom yno lawer gwaith.

Wedi hyny cawsom annogaeth gan Gyfarfod Misol y Sir, ac ereill, i edrych am le i adeiladu capel. Ac wedi hir betruso, ac yn wyneb llawer o ddigalondid, cymmerasom y tir, ac adeiladwyd capel cyfleus arno, yr hwn a orphenwyd, ac a agorwyd Mehefin 3ydd, 1836. Dangosodd yr ardal lawer o garedigrwydd trwy ein cynnorthwyo i fyned trwy y draul; ac er hyny y mae yn aros o ddeutu £80 o ddyled arnom. Yr ydym yn cael y weinidogaeth trwy i ni gael ein huno a Chaslwchwr a'r Goppa, i fod yn daith Sabbathol. Y mae y lle yn agos i'r cyffiniau rhwng y Cymry a'r Saeson; etto nid oes ond ychydig o Saeson yn byw yn y pentref. Yr ydym am hysbysu hyn i weinidogion a phregethwyr pellenig sydd heb fedru a r yr iaith Saesoneg, amryw o ba rai sydd wedi nacâu dyfod atom i bregethu, am ei bod yn tybied mai Saeson ydym, yr hyn sydd yn gamsyniad. Oherwydd hyn yr ydym wedi cael ein hymddifadu trwy'r blynyddau o ddoniau gweinidogaethol amryw o enwogion y Corph. Y mae yn wirionedd y byddai yn fuddiol pe pregethid yr efengyl yn y ddwy iaith bob Sabbath; etto y mae yr iaith Gymraeg mor ddefnyddiol, ac mor dderbyniol gan y gwrandawyr yma yn gyffredinol ag mewn un lle yn y Dywysogaeth.

Gobeithio y bydd i'r ysgrif hon gyffroi meddyliau gweinidogion a phregethwyr y rhan ogleddol o Gymru, pan y byddont ar eu teithiau, i gofio am danom, a dyfod i

ymweled â ni, ac na fydd yr iaith Saesoneg er dim yn rhwystr i neb ddyfod, ac na attalier oddiwrthym holl ddoniau gweinidogaethol Corph y Trefnyddion Calfinaidd, wrth ba rai y mae ein hymlyniad yn ddiysgog. Blin genym hysbysu fod y mynych siomedigaethau yr ydym yn gyfarfod mewn llefarwyr drwy beidio dyfod i'w cyhoeddiadau, wedi bod yn achos i amryw o'r gwrandawyr i ymadael, a myned i wrando at yr enwadau ereill. Dymunem yn ostyngedig i'r pregethwyr hyny na allont ddyfod at eu cyhoeddiadau, anfon gair yn brydlon, er mwyn rhagflaenu y cyfryw siomedigaethau.

Ydwyf, dros y Gymdeithas,

THOMAS ROBERTS.

*Penclawdd, Awst*, 13, 1841.

---

## COFIAINT.

---

*Cofiant am* MARY EVANS, *gwraig Owen Evans, Tŷ'r Capel, Capel Curig, Swydd Gaernarfon, (neu Mary Williams, fel y'i gelwid yn gyffredin), yr hon a fu farw Rhagfyr 7fed*, 1840, *yn* 81 *oed; wedi bod yn aelod hardd yn eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Capel Curig am* 48 *o flynyddoedd.*

YR oedd Mary Williams o gynheddfau cryfion a bywiog, fel y dysgodd ddarllen y Bibl yn dda pan oedd tuag wyth neu naw oed, yr hyn a fu yn llawer o gysur iddi ar hyd ei hoes grefyddol. Pan oedd tua 21ain oed, hi a briododd Owen Evans, mab Evan Prichard, Tai uchaf, Llanrhychwyn. Buont yn briod 60 mlynedd; ganwyd iddynt ddau fab; yr oedd yr hynaf bron yn 20 oed pan anwyd y llall.

Pan oedd hi tua 33 oed, hi a ddaeth i ymofyn am le yn eglwys Dduw, ac yn mhen tair wythnos daeth ei hanwyl briod i ymofyn yr un fraint, yr hyn a gawsant gyda sirioldeb mawr. Yr oedd gan bawb a'i hadwaenai barch mawr iddi. Yr oedd yn hynod o hunan-ymwadol; ni byddai un amser yn sarug, ond yn siriol; nis gallaf ddywedyd yn well am dani na chymmeryd geiriau Iago i mewn, "Eithr y doethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf, pur ydyw; wedi hyny, heddychlon, boneddigaidd, hawdd ei thrin, diduedd a diragrith; llawn trugaredd a ffrwythau da." Yr oedd ei phrofiadau yn ysbrydol, er hyny, go isel a fyddai yn aml o ran ei theimlad ei hun, heb ryw brofiadau uchel iawn; ond yr oedd yn hynod o gywir am y fan i bechadur gael ei fywyd; a gogwydd ei henaid yno dan bob curo.

Ni a gollasom dri ereill o hen filwyr ysbrydol o fyddin Brenin Sion yn ddiweddar; sef, Moses Hughes ac Anne Owen, yn y flwyddyn 1840, a Richard Price yn y flwyddyn o'r blaen. Fe gafodd Richard Price hir a thrwm gystudd; bu flsoedd heb fod yn alluog i ddyfod o'i wely, a llawer mwy yn hollol dywyll; ond yr oedd pob peth yn cydweithio er daioni iddo. Felly efe a aeth i dangnefedd, yn ol pob golwg, fel tywysen yn llawn aeddfed.

Am Mary Williams, hi a fu yn wasanaethferch ffyddlon i Grist ac i'w Eglwys am 47 o flynyddoedd. Mi a allaf dystio na chawsom ein dolurio yn y radd leiaf yn yr holl amser ynddi; y cwbl oedd hi yn ei wneuthur i weision Duw oedd am eu bod yn perthyn i Grist. Yr oedd ei gofal yn fawr am Weinidogion yr efengyl, a hi a barhaodd i ofalu (o ran ei meddwl) hyd y nos olaf o'i hoes. Hi a gafodd chwech wythnos o gystudd; yr oedd yn hynod o gysurus bod gyda hi y pryd hyn. Dywedodd wrth frawd un o'i nosweithiau olaf, "Wel, mi a ofnais fy nghrefydd ganwaith, ond y mae hi yn talu yn dda heno." Yr oedd ei phrofiad wedi esgyn i fynu tua bryniau Caersalem cyn iddi fyned o'n golwg ni. Ychydig wedi wyth o'r gloch yn y boreu y dydd a nodwyd uchod yr ehedodd ei henaid allan o'r hen babell briddlyd at Iesu i fyw byth, ac i gael ei weled fel y mae. Dydd Sadwrn y 12fed o'r un mis, danfonwyd ei rhan farwol i fynwent Capel Curig, gan dyrfa hardd o'i chyfeillion a'u pherthynasau, i aros y boreu iddi gael corph fel ei gorph gogoneddus ef.

Pennillion, a gyfansoddwyd gan Margaret Jones, Glyn, Capel Curig, ar yr achlysur o farwolaeth Mary Evans.

O angeu! O angeu! pa'm toraist i lawr,
Yr anwyl fam dyner a garem mor fawr?
Pa'm cludaist i'r gweryd goleddwraig y saint?
O'i cholli mae galar nas gwyddys ei faint.

O angeu! mewn difrif, pa'm 'nelaist dy nôd,
At un na cheir etto mo'i thebyg yn bod?
Saith mlynedd a deugain bu'n darpar o'i stôr,
Haelionus bob amser i weision yr Iôr.

Pa'm angeu na thoraist un ddilea i lawr,
Ac arbed am enyd ein mammaeth werth fawr?
Ond er it' ei gyru i'r gweryd dan gudd,
Daw allan o'th garchar ryw ddiwrnod yn rhydd.

Uwch cyrhaedd rhuthriadau'r hen Satan, heb friw,
Bydd hon yn moliannu ei Harglwydd a'i Duw;
Hi seinia Hosanna trwy oror y nef,
Ar fryniau Caersalem bydd uchel ei llef.

O Arglwydd, atolwg, 'rwy'n erfyn ymawr,
Na thôr ein [illegible] ar [illegible];

Na thôr ein hen dadau, heb roddi o'th hedd
Rai llawn o'r un ysbryd i'n harwain hyd fedd.

Wrth ysgrifenu yr hanes uchod am ein hanwyl a'n ffyddlon chwaer, mi feddyliais fod yn ddyledswydd arnaf roddi ychydig o hanes yr achos crefyddol yn yr ardal hon, yn ei amrywiol amgylchiadau, er ei ddechreuad hyd y dydd hwn, ac na fydd yn annifyr, nac yn anfuddiol, i'ch darllenwyr lluosog.

---

## YCHYDIG O HANES

*Dechreuad a Chynnydd y Trefnyddion Calfinaidd yn Capel Curig, Swydd Gaernarfon.*

Yr oedd y pregethu wedi dechreu yn yr ardal hon tua'r flwyddyn 1785, sef saith mlynedd cyn i Owen a Mary Evans ddyfod at grefydd. Yr oedd y pregethu y pryd hwnw mewn lle a elwir Ysguborwen, oddieithr yn achlysurol mewn manau ereill. Fe ymunodd tua deg neu ddeuddeg yn fuan dan ddysgyblaeth eglwysig, o dan olygiad y y brodyr o Ddolyddelen, yn enwedig yr hen dad, y Parchedig John Williams. Yr oedd gradd o gynnydd ar yr achos y pryd hyn; ond yn fuan ar ol i Mary ac Owen Evans ymuno â'r eglwys, fe symudodd yr achos crefyddol i'w tŷ hwy, sef Ty'ncoed, am ei fod yn fwy cyfleus i'r gymmydogaeth, a hwythau yn deulu bychan yn trin ychydig o dir, ac yn byw yn bur gysurus; ac yno y bu yr achos am 20 mlynedd.

Tu a diwedd yr amser yma, fe oddefodd Duw i uffern ymgynhyrfu yn erbyn yr efengyl. Fe gymmerodd rhyw ŵr boneddig y Ty'ncoed o dan esgus y gwnai adeiladu tŷ yno at ryw ddyben, yn ymyl y briffordd. Erbyn hyn, dyma gwmwl pur ddu uwch eu penau hwy ill dau, ac achos Duw hefyd. Yn y cyfyngder yma, dyma y temtiwr yn dyfod yn mlaen; a dyma oedd cynnygiad yr hen sarff, "Os gwnant hwy beidio a derbyn y pregethu i'r tŷ, y caent ef drachefn, a'r tir bron i gyd, ac y caent gynnal Cyfarfodydd Gweddio yn y tŷ, a phob tegwch, ond iddynt beidio a derbyn Pregethu i'r tŷ."

Fe wyddai y diafol yn bur dda mai y prif foddion sydd gan Dduw i dynu ei deyrnas ef i lawr ydyw pregethu yr efengyl. Ond gan nad oedd yr un drws yn agored i'r efengyl y pryd hyn, fe a lwyr benderfynodd y ddau i ymddiried yn rhagluniaeth Duw, doed a ddel, ac ymadael a wnaethant; ond cyn i'r pregethu gael ei ddyrysu, dyma wawr etto yn ymddangos; hwy a gawsant dyddyn bychan arall yn y gymmydogaeth, o'r enw Dolybryncoch, lle y buont am chwe blynedd. Yr oeddynt hwy a ninnau yn bur siriol o dan y cicaion yma. Ond fe gynnygiodd yr un gwr urddasol gael y lle yma hefyd oddiarnynt, gan feddwl fod ei fraich ef yn ddigon o hyd, ac y gallai attal llwydd yr angel sydd "yn ehedeg yn nghanol y nef a'r efengyl dragywyddol ganddo." Ond yr oedd Duw yn y nefoedd yn gwaeddi uwch ei ben, "O ynfyd, y nos hon y gofynaf dy enaid oddiwrthyt;" felly fe symudodd Duw hwn i'r byd tragywyddol yn ddioed oddiar ffordd yr efengyl. Er hyny, gwywo a wnaeth y cysgod yma yn fuan, o herwydd amryw bethau; yn un peth, yr oedd yr ardreth yn rhy fawr o lawer iddynt allu talu am dano.

Erbyn hyn, dyma y ddau etto yn y trallod a'r cyfyngder na wyddent pa beth i'w wneuthur. Yn nghanol y trallod hwn, dyma Dduw yn dyfod i'r golwg etto; yr oedd gan Mary Williams fodryb o chwaer ei mam, a chanddi dyddyn bychan yn mhlwyf Llangerniw, Sir Ddinbych, tua phum punt ar hugian o ardreth blynyddol; fe gynhyrfodd Duw feddwl hon mewn serch at Mary Williams, fel nad oedd dim gorphwysfa meddwl iddi nes cael ail wneud ei llythyr cymmyn, a hi a'i gwnaeth; ac a wnaeth y tyddyn tir i Mary Williams, ac i Owen Evans ar ei hol, ac yn feddiant i'w hiliogaeth ar eu hol hwythau. Gadawodd iddynt hefyd ugain punt, ac amrywiol bethau ereill. Mae yr amgylchiad yma yn gyflawniad nodedig o addewid yr Arglwydd Iesu, "Y caiff pwy bynag a adawo dŷ neu dir er fy mwyn i, a'r efengyl, a'r nas derbyn y can cymmaint, yn y byd hwn, dai a thiroedd, ac yn y byd a ddaw, fywyd tragywyddol." Ac felly y cawsant hwy ill dau dyddyn yn feddiant iddynt eu hunain, yn lle y tyddyn am ardreth a gollasant; ac arian hefyd i'w codi i fynu, fel y buont o hyny allan fyw yn gysurus iawn. Rhyfedd ddaioni Duw! "Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm dirmygwyr a ddirmygaf i."

Yn lled fuan ar ol gwneud ei llythyr cymmyn, fe fu farw yr hen fodryb; ac yna dyma y testament mewn grym. Ac yn mhen y chwe blynedd, hwy a symudasant o Dolybryncoch i'r Cae coedun, ac a fuont yn y babell hòno ddeng mlynedd, ac arch Duw yn eu canlyn yno hefyd.

Tua diwedd y deng mlynedd hyn, fe agorodd y drws i ni i gael lle i adeiladu capel, yr hyn a wnaethom. Fe fu pregethu lled gyson am tua 43 o flynyddoedd heb un drws yn cael ei agor i wneud capel; ond pan ddaeth amser Duw, fe gafwyd lle gan yr hybarch a'r haelionus bendefig, George H. D. Pennant, Ysw. Penrhyn-mawr, gerllaw Bangor. Tuag un mlynedd ar ddeg yn ol, fe symudwyd yr arch i'r capel newydd, sef 1830, a hwythau ill dau yno gyda hi; o'r blaen yr oedd yr arch yn eu canlyn o babell i babell.

Bychan a gwan oedd yr achos crefyddol yma, "fel y berth yn llosgi heb ei difa." Fe roes Duw lawer ymweliad o'r nef â'i achos, i brofi mai ei achos ef ydoedd, ac

nerthu ei saint gweiniaid i ddal eu ffordd tan bob curo.

Mae arnaf chwant crybwyll am ddau amgylchiad nodedig. Rai blynyddau cyn ymadael â'r Ty'nycoed, a phedair blynedd wedi dyfod i Dolybryncoch, yr oedd yr achos yn isel iawn. Mae yn gof genyf fod y Parch. Lewis Morris yn cadw cyfarfod eglwysig y pryd hwnw; ac wrth ein gweled yn isel a digalon, fe sylwodd fel hyn, "Yn misoedd dechreu y gauaf, fe fydd y nos yn myned yn hwy, a'r dydd yn myned yn fyrach, nes braidd i ni ofni i'r nos fyned a'r dydd i gyd oddiarnom; ond fel yr ydych yn y fan, cyn i'r nos fyned a'r dydd i gyd, fe droes y rhod;" yna fe a wnaeth ddefnydd o hyn, ac a droes ein meddyliau at addewidion Duw, na roddai Duw mo'i bobl i fynu, ac na lwyr adawai hwynt chwaith.

Yn nechreu y gwanwyn y flwyddyn 1818, fel yr oedd y Parch. John Peters yn pregethu yn Dolybryncoch, oddiwrth Heb. 12. 1. ni theimlais, ac ni welais dywalltiad mor rymus o'r Ysbryd yn fy oes mewn cynnulleidfa mor fechan; yr aelodau eglwysig a gafodd flaenffrwyth yr ymweliad hwn. Testyn y gân ar y dechreu oedd, Diolch am gael ein cadw yn y tŷ y nos, a'n bod gyda'n gilydd wedi i'r haul godi. Fe barhaodd yr ymweliad yma yn ei oleu a'i wres o bedair i bum mlynedd.

Ni a gawsom lawer o gyfarfodydd eglwysig a rhyw bethau nodedig ynddynt yn y blynyddoedd hyn. Fe chwanegwyd amryw at yr eglwys yr amser hwn. Fe wellhaodd yr achos lawer wedi myned i'r capel, yn enwedig yn y gwrando; ac felly y mae yn parhau hyd y dydd hwn. [illegible] yr eglwys hefyd wedi cynnyddu llawer erbyn hyn; ni a dderbyniasom 20 i gymundeb eglwysig yn y flwyddyn 1840, fel yr ydym yn bresennol yn 55 o nifer. Yr olwg oreu a welais i ar yr achos crefyddol yn yr ardal hon, o ran ei amgylchiadau allanol, sydd yn bresennol. "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

*Capel Curig.* JOHN GRIFFITH.

---

*Cofiant Mrs.* ANN THOMAS, *gwraig Mr. John Thomas, o Gwmsidan fawr, plwyf Llansadwrn, Swydd Gaerfyrddin.*

ANN THOMAS oedd drydedd ferch y diweddar Edward a Margaret Edwards, Glanyrafon ddu isaf, plwyf Talyllluchau, Swydd Gaerfyrddin. Cafodd Ann ei magu yn yr eglwys gyda y Trefnyddion Calfinaidd, yn Eskernant, Talyllluchau, a'i dwyn i fynu dan addysg tad a mam grefyddol a duwiol, yr hyn a gafodd effaith ddymunol arni yn yn ei hieuengctyd. Yr oedd yn un hynod o ddiwyd yn yr Ysgol Sabbathol er yn blentyn, ac yn llafurus iawn gyda dysgu pennodau ac egwyddorion, a phyngciau …ol. Yr oedd y gair yn cael effaith ddwfn ar ei meddwl pan yn ieuangc iawn, nes yr oedd yn gorfod myned ar ei gliniau yn aml mewn dirgel fanau.

Glynodd yr ymadrodd hwnw o eiddo ein Harglwydd Iesu Grist yn ddwys ar ei meddwl, "Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Aml y clywid hi yn achwyn ac yn gofidio oblegyd dwfn lygredigaeth ei natur trwy bechod, a'r tuedd gryf oedd yn deimlo yn ei chalon i fyned ar ol gwagedd yn lle sylwedd, a charu a gwasanaethu y creadur yn fwy na'r Creawdwr. Fel hyn y treuliodd foreuddydd ei hoes. Yr oedd yn cael pleser mawr yn y Gair, ac yn moddion gras, yr amser hwnw, er yn ofnus.

Yr oedd y penillion canlynol a'u cyffelyb, yn dra difyrus a blasus ganddi yn aml, megis,

"Grym i aros yn dy dŷ,
 Arglwydd dyro,
Er nad yw hi arnaf fi,
 Oleu etto, &c.

Os rhaid i'm gwrddyd ar fy nhaith,
 Dywydd garw;
Cadw'm hysbryd yn dy waith,
 Hyd fy marw," &c.

Ac y mae lle i gredu iddi gael yr hyn a ddymunodd yn helaeth iawn cyn ei symud. Pan yr oedd yn un-ar-bymtheg oed, fe ymwelodd yr Arglwydd â'i achos mewn modd neillduol yn y parthau* hyn o'r wlad, trwy ddiwygiad tanllyd iawn, a rhyw beth neillduol, grymus, ac effeithiol yn disgyn ar ddynion dan weinidogaeth y Gair, yn enwedig ar yr ieuengctyd. Yn yr amser hwn, fe dorodd y wawr arni hithau mewn modd neillduol iawn, nes gweled digon yn Iesu Grist a'i farwol glwy i'w hachub byth, a'i gwaredu rhag y llid a fydd. O, mor ogoneddus y gwelai drefn rasol Duw yn wyneb Iesu Grist yn achub pechadur, ie, y penaf, y gwaelaf, a'r annheilyngaf. O, mor felys oedd y mwynhad iddi yr amser hwnw, "Fel dyfroedd oerion i enaid sychedig." Cafodd y fraint o ymroddi, o honi ei hun, y pryd hwn yn gyflawn aelod gyda'r Trefnyddion yn y lle uchod, a chafodd yr anrhydedd o barhau yn ffyddlawn hyd y diwedd, ac i harddu ei phroffes i raddau dymunol. Pan yr oedd yn bedair-ar-hugain oed, ymbriododd âg un o'r un gymdeithas a hithau, sef, John Thomas, Cwmsidan. Yr oeddynt ill dau wedi eu magu a'u dwyn i fynu yn mynwes yr eglwys, ac yn anwyl iawn ganddi. Cafodd ei rhan o dywydd garw taith yr anialwch. Trwy gladdu perthynasau anwyl, &c. a'i merch fach hynaf, yn saith mlwydd oed. Cofiant byr pa un a ymddangosodd yn y Diwygiwr, am Ragfyr, 1835, (yr oedd yn hynod.)

Ond yn wyneb pob amgylchiad, yr oedd yn hynod o ymostyngar i ewyllys ei Thad nefol; a mynych y clywid hi yn ocheneidio

ac yn gweddio am ras i beidio a rhoi dim yn ynfyd yn erbyn yr Arglwydd, ac ar fod pob peth yn cydweithio er daioni. Ond rhyfedd yw troion goruchwyliaeth Rhagluniaeth yn llywodraethiad y byd hwn; fe symudodd gwrthddrych y Cofiant hwn, yn nghyda'i theulu, ei gwr, dau fab a merch o'r Cwmsidan, i fyned i fyw i Gastellnedd, Swydd Forganwg, heb un rheswm pendant i roddi fel achos o'u symudiad. "Ond gwŷn yw'r mynydd nas gwelir." Yr oedd pob peth ganddynt yn dra chysurus yn y man yr oeddynt; nid oedd dim yn allanol yn ymddangos yn achos iddynt i fyned yno. Ond y mae yn debyg eu bod o ran eu meddyliau yn cael eu darbwyllo i gredu y gallasent wneuthur yn well, ac y byddai newid eu dull o fyw (o fod yn amaethwyr i fod yn fasnachwyr) yn fwy manteisiol er daioni a lleshad eu plant bach, &c. Ond, O! fel y dyryswyd y cynllun yn mhen y saith wythnos i'r dydd yr aethant i fyw i Gastellnedd, yr oedd ei chorph marw hi yn dychwelyd yn ei ol i'w ddodi i orphwys gyda ei thadau yn mynwent Talyllunchau. Yr oedd hi yn ei gofal pan yn myned, a phan ddaeth ei thymp i esgor, hi a ryddhawyd ar fab marw, ac fe gafwyd lle i obeithio ei bod wedi ei gwaredu allan o'r perygl hwnw, trwy ei bod yn arwyddo gwellhau y diwrnodau canlynol, a'r meddygon hefyd oedd gyda hi ar yr achos oeddynt yn cwbl gredu ei gwellhad.

Ond nos Fawrth, cyn pen y pymthegnos i'r amgylchiad blaenorol, yn nghylch 10 o'r gloch, fe gymmerodd cyfnewidiad mawr (er gwaeth) le yn ei natur, a chyn tri o'r gloch prydnawn dranoeth, yr oedd ei henaid anfarwol wedi ymadael â'i daearol dŷ a'r babell wedi dattod. Yr oedd hi yn awr ac yn y man yn ofni na fyddai iddi wellhau yn yr amser yr oeddym ni yn gobeithio ei gwellhad, yr oedd arwyddion ymostyngiad neillduol ynddi yn ei hamgylchiadau i ewyllys yr Hwn sydd yn Hollalluog, a phob peth yn ei law wrth ac yn ol ei ewyllys ei hun, gan nad pa ffordd y troai arni hi.

Ond pan y teimlodd y cyfnewidiad uchod yn ei chorph, hi a benderfynodd ei bod hi i ymadael yn fuan. Ac, O! mor rhyfedd y gwawriodd hi ar ei meddwl cyn ei hymadawiad; mor ddwys y cynghorai ei phlant bach, y gweddiai drostynt a thros ei phriod a'i pherthynasau; mor ddifrifol y cyflwynai ei hunan a hwythau i ras Duw, ac i'w ddaionus ofal ef; mor hwylus, mor hyfryd a gwresog y diolchai i'r Arglwydd am ei holl ddaioni iddi yr holl daith; y gofal mawr a gymmerodd am dani, a'r holl waredu a wnaeth ef arni yn mhob man hyd yma; a diammeu mai hir y cofir gan y rhai a'i gwelodd ac a'i clywodd; mor rhyfedd yr ymgynhyrfai ei hysbryd mewn mawl i Dduw am brofiad mor felus yn awr o rinwedd y drugaredd sydd yn well na'r bywyd; am gysgod y llaw, ac am ddirgelfa y babell, ac am dragywyddol ddihangfa trwy waed y groes, yr hwn a osododd Duw yn Iawn: bendigedig fyddo ei enw gogoneddus ef yn dragywyddol. Amen.

Yr oedd rhyw ranau o'r ysgrythyrau yn cael ei hadrodd yn awr ac yn y man ganddi, gyda rhyw lewyrch anghyffredin, a rhyw flâs neillduol iawn. Canai y penillion canlynol gydag hyfrydwch a rhyw siriuldeb mawr yn ei gwedd, ac yn ei llais,—

Dyma gyfaill haedda'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un;
Prynu'n bywyd, talu'n dyled,
A'n glanhau â'i waed ei hun;
Frodyr dewch, llawenhewch,
Diolchwch iddo byth na thewch.

Hefyd,

Dyma Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru maddeu
I bechaduriaid mawr eu bai;
Diolch iddo, diolch iddo,
Byth am gofio llwch y llawr.

Yna hi a ymattaliodd, ac fel pe buasai yn cael esmwythder. Yn mhen ennyd, gofynai ei phriod iddi, "Pa fodd yr ydych yn teimlo yn awr, fy merch fach anwyl," ebe fe. "O machgen bach anwyl," ebe hithau, "pob peth yn dda, pob peth yn ei le—y cwbl wedi ei *settlo* mewn tangnefedd." Ac felly y gorphenodd ei gyrfa mewn tangnefedd ar y 12fed o Chwefror diweddaf, yn y 36 flwyddyn o'i hoed. Gadawodd briod tirion, dau fab a merch fach, yn nghyda llawer o berthynasau, a chyfeillion, i alaru ar ei hol; ond i'r Arglwydd y byddo y diolch, nid fel rhai heb obaith. Y nos cyn ei chladdedigaeth, pregethodd Mr. William Thomas, Castellnedd, oddiar Mat. 24. 44. "Am hyny byddwch chwithau barod," &c. Yr oedd y genadwri yn bwysig ac yn effeithiol.

Boreu dranoeth, am 5 o'r gloch, gweddiodd Mr. Dd. Davies, (un o flaenoriaid Cymdeithas y Trefnyddion yn Nghastellnedd) mewn modd dwys, cynwysfawr, a phriodol iawn. Yna codwyd y corff i'r Elor-gerbyd i ddyfod i fynu i Dalyllunchau, yn nghylch 30 milltir o ffordd; ac yn Llandilofawr cyfarfu yr anghladd â thyrfa fawr o'i pherthynasau, ei hen gyfeillion, a'i chymmydogion mewn galar ac wylofain mawr; ac wrth gapel Eskernant drachefn, cyfarfu â lluaws o'i diweddar gyd-aelodau, ac ereill, pryd yr arosodd yr Elor-gerbyd; oblegid fod llawer yno am ddisgyn y corph, a myned âg ef i'r capel, a darllen rhyw ran o'r Ysgrythyr, a gweddio yno. Ond modd bynag, ni wnawd hyny, gan eu bod yn ei gweled yn tueddu i fyned yn'hwyr, a rhai yno yn dyfod o bell, ac am ddychwelyd i'w cartref; felly, wedi aros ennyd wrth y capel, ac wylo llawer yno, fe gychwynwyd drachefn i fyned tua mynwent Talyllunchau, lle y rhoddwyd ei rhan farwol i orphwys, a gweled llygredigaeth

hyd y dydd mawr y cyfodir hi yn anllygredig a gogoneddus, yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef. "Pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu yn y dydd hwnw."

*Pantyresker.* DAVID WALTERS.

---

## COFFADWRIAETH

*Am* MARGARET WILLIAMS, *o'r Drehelig, gerllaw Llangadock.*

---

BU farw Margaret Williams ar y 24ain o Hydref diweddaf, yn 88 oed; hi a gafodd iechyd rhagorol trwy ei hoes, ac ni fu ei chystudd ond byr wrth ystyried ei hoedran. Cafodd ei galw at grefydd pan nad oedd yn 15 oed. Ac fe ddywedir gan y rhai hynaf sydd yn fyw yn bresennol, na chafodd yr eglwys achos ei galw i gyfrif, na'i cheryddu am un camymddygiad yn yspaid y 73ain o flynyddoedd y bu gyda chrefydd: hi welodd bedair oes o bregethwyr ar y maes. Fe ddarfu iddi ddyoddef llawer iawn o erlid a blinder yn ei chychwyniad cyntaf gyda chrefydd, oddiwrth ei rhieni; canys nid oedd ofn Duw o flaen eu llygaid, ac y mae yn debyg iddynt fyned i'r bedd felly, ond yr oedd ei chrefydd hi mor hynod y pryd hyny nes iddi ennill ei phedair chwaer i ddyfod o dan yr un faner a hithau, ac fe ddywedir i'r rhai hyny oll feirw mewn tangnefedd. Yr oeddynt yn rhai hynod yn mhlith y gwragedd crefyddol. Fe ddarfu iddi briodi ddwywaith; y tro cyntaf âg un Morgan Jones, Gorsddu, yn mhlwyf Llanddausant, yr hwn oedd ganwyll yn goleuo yn amlwg i bawb, ond fe'i dygwyd i'r gogoniant cyn haner ei ddyddiau: bu fyw o fywyd y cyfiawn, ac felly bu ei ddiwedd fel yr eiddo yntau. Priododd drachefn a John Williams, Caefylchi, yr hwn a fu flaenor yn Llangadock am lawer o flynyddau: bu farw yn mis Ionawr, 1836; yr ydym ni yn teimlo colled fawr ar ei ol hyd heddyw.

Bu iddi hi ddau o blant o'r gwr cyntaf, a phump o'r diweddaf. Cafodd y fraint o weled chwech o honynt gyda chrefydd, ac amrywiol o'r wyrion; ac un o honynt yn bregethwr er's rhai blynyddau. Gellir dywedyd am dani, bod ei chrefydd hi yn un gyflawn, yn hynod yn mhob man, yn y teulu, yn y gyfeillach, yn y tŷ, ac ar yr heol, yn y ffair, ac yn y farchnad. Yr oedd ei geiriau yn rasol, a'i chyfeillach yn ysbrydol, fel halen yn halltu yn mhob lle: fe ellir dywedyd mai "Mam yn Israel" ydoedd. Yr oedd hi yn hynod o ddiwyd yn y moddion cyhoeddus a neillduol, Sabbothol, ac wythnosol, a phob amser yn brydlawn. Ni chai y byd a'i bethau, ei wên, na'i wg, byth fod yn rhwystr iddi hi i fyn'd at ei phobl. Hi fu yn teithio i Llangeitho yn fisol am flynyddau: clywais hi yn dywedyd lawer gwaith, nad oedd y ffordd, sef pedair milltir ar hugain, ond ber iawn yn ei golwg: ac nid yn unig y byddai yn nefoedd yn Llangeitho, ond y byddai hi felly yn fynych ar hyd y ffordd wrth ddyfod adref: ac wedi dyfod adref, awydd am fyned yno drachefn.

Yn ei chystudd olaf yr oedd y gras o amynedd yn blaguro yn fawr iawn; wedi cael ei dysgu i fod yn foddlon: yr oedd y boen yn fawr iawn, etto yr oedd hi yn medru ymostwng o dan alluog law Duw, yr oedd yn medru dywedyd gydag Eli, 'Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg:' yr oedd llawer o'i chymmydogion yn dyfod i ymweled â hi; byddai yn cynghori llawer ar rai crefyddol, hen ac ieuangc, i lynu hyd y diwedd, fel y byddent weithiau yn dyfod allan o'i hystafell mewn llais cân a moliant. Byddai yn pregethu Crist croeshoeliedig i'r digrefydd fel y byddent yn dyfod oddiwrthi dan wylo. Yr oedd ganddi y fath grefydd nes oedd pawb, ie, y rhai mwyaf annuwiol yn gorfod dywedyd pan fu farw, "mae hi wedi marw er ei gwell."

Yr oedd hi y myndyau olaf yn ceisio canu: a'r geiriau olaf a ddywedodd, oedd, "diolch, diolch byth," a hi a hunodd yn yr Iesu. Ar yr 28ain, fe ymgasglodd tyrfa fawr i'w hangladd, aed a'i chorph o'r tŷ i'r capel; ac ar hyd y ffordd canwyd y pennill hwn,

Dechreu canu, dechreu canmol, &c.

Yna gweddiodd Mr. John Jones, Llanddausant, a phregethodd y Parch. Richard Davies, Llansadwrn, oddiwrth Dat. xiv. 13. Ar ganol y bregeth dywedodd yr hen bererin ei fod yn credu fod yr hen fam hon yn Nghrist ddwy flynedd cyn ei eni ef. Hebryngwyd ei gweddillion drachefn o'r capel i'r llan, ac oddiyno i'r bedd. Canwyd amrywiol o bennillion addas i'r amgylchiad yn dra syml a soniarus yn y capel, ar hyd y ffordd i'r llan, ac hefyd wrth y bedd.

GWILIM AB IOAN.

---

## LLYTHYRAU &c.

---

### CYFLWR CYNNORTHWYWYR Y SIOPAU YN LIVERPOOL.

*Parhad o Araeth y Parch. H. M'Neil, tu dal. 288.*

#### ERTHYGL II.

YR oedd ffeithiau yr achos, rai o honynt, eisoes wedi eu gosod yn fyr o flaen y cyfarfod trwy y papur a ddarllenodd Mr. Hodgson. Yr oedd y pleidiau perthynol yn ddosbarth lluosog:, y cynnorthwywyr mewn siopau yn y dref hon, yn nghyd a'r baichddygwyr, a'r negeswyr, cysylltiedig a'r siopau hyny, oeddynt yn symio i fyny nifer ddim llai na 15,000 o bersonau. Yr oedd wedi cael ei roddi mewn meddiant o gyfrif, pa un nid oedd ganddo amheuaeth, oedd yn cynnwys cymmaint agosrwydd at y gwir, ac at iawn gyflwr yr achos, a chyfrifon o'r fath

yn gyffredin. Y cyfrif hwn a ddangosa rifedi siopau y llieinwyr yn y dref hon, (Liverpool) yn 250, nifer cyfartal y cynnorthwywyr huriedig yn y siopau hyny oedd 8, yn gwneuthur y cyfan-rif o gynnorthwywyr huriedig yn y siopau y llieinwyr yn 2,000 o bersonau; nifer y llys-siopau (*Grocers' shops*) yn y dref ydoedd 500, nifer cyfartal y cynnorthwywyr yn mhob un oedd 2, yn gwneuthur rhifedi y cynnorthwywyr yn y llys-siopau yn 1000; nifer siopau lluniaeth, (*Provision shops*) yn Liverpool. oedd 500, nifer cyfartal y cynnorthwywyr huriedig yn mhob un ydoedd 2, yn gwneud y cyfanswm o gynnorthwywyr yn 1000; o siopau cyffuriau, yr oedd 150, nifer cyfartal y cynnorthwywyr huriedig yn mhob un oedd 2, yn gwneud yn oll 300; gwneuthurwyr botasau ac esgidiau 612, rhifedi cyfartal y cynnorthwywyr 1½, neu 3 yn mhob dwy siop, yn gwneud i fynu 918; ac felly yr â y rifres ymlaen, gan ddangos fod y nifer crynhoedig yn 9,000, yn cael eu hurio fel cynnorthwywyr. At y rhai hyn yr oedd i chwanegu y baich-ddygwyr a'r negesfechgyn, nifer cyfartal o 1½ yn cael ei ganiatau i bob siop, yr hyn a wna 6000, neu y cwbl ynghyd, ynghylch 15,000 o bersonau.

Yn awr, mewn perthynas i'r rhai hyny yn y siopau, yr oedd y cyfarfod wedi clywed yn barod, o'r papur a ddarllenodd Mr. Hodgson, eu bod yn ofynol i fod mewn gwasanaeth am bedair-ar-ddeg o oriau, pymtheg, un-ar-bymtheg, ac mewn rhai enghreifftiau, dwy-awr-ar-bymtheg y dydd, ac mewn un neu ddau o fanau crybwylledig, yn y rifres, ar ddydd Sadwrn yr oedd y cyfanswm eu hamser yn cyrhaeddyd deunaw awr! Hyn a alwa y penderfyniad yr oedd y cyfarfod wedi ei alw i'w fabwysiadu "yn swm annaturiol o lafur." Yr oedd yn meddwl, er hyny, fod argraffiad cyffredinol ar led nad oedd y cynnorthwywyr mewn siopau yn llafurio yn ormodol, bod y gwaith oedd ganddynt i'w gwblhau yn ysgafn, ac o herwydd hyny na ddylai yr amser a dreulient gael edrych i mewn iddo gyda'r fath lymdra.

Ond cofier, fe adroddwyd yn y papur a ddarllenodd Mr. Hodgson, fod yn orfodedig arnynt sefyll yn nghorph yr holl amser o'u gwasanaeth yn y siopau. Nid yw eistedd i lawr yn oddefol yn y siopau. Y rhai hyny na chawsant brawf o'r peth, a allent dybied fod sefyll i fynu am amser maith yn peri ychydig flinder; ond gallai efe ateb trwy ymbrawf eu bod yn camsynied yn ddirfawr. Y mae sefyll am hir amser yn ymddwyn ar ludded dwys, mwy, yr oedd yn diffuant gredu, na cherdded yn bwyllog am yr un rhifedi o oriau. Yn nghysylltiedig â hyn yr oedd golygiad arall—nid oedd yn ganiataol iddynt ddarllen yn ystod yr amser hyny; nid oes i lyfr gael ymddangos yn y siop, felly yn ystod hamddenau rhwng ymweliadau y prynwyr, yr oedd y dynion ieuaingc yn hollol ac annocheladwy segur. Ie, hyd yn oed eu cyfrin-lythyrau a gedwid oddiwrthynt, fel na chaent eu darllen yn y siop. Dywedir yma (sef yn y papur a grybwyllwyd yn flaenorol), enghreifftiau a ellir roddi i lythyrau i'r cynnorthwywyr, wedi dyfod i law yn y boreu, gael eu cadw gan yr hurwyr nes ar ol oriau hirfaith gwasanaeth, rhag colli pum' mynyd yn y darlleniad, neu i sylw y cynnorthwywyr gael ei dynu am fynyd oddiwrth fasnach eu meistr; ie, llythyrau a gadwyd am ddyddiau i'w rhoddi i'w meddianwyr ddydd Sul. Crybwyllodd hyn, nid i greu y cyfryw deimlad mewn perthynas i'r meistriaid ag a gynyrchodd y floedd anfoddlon oddiwrth rai personau yn y cyfarfod, eithr i roddi y cyhoedd (*the public*) mewn meddiant o ffeithiau yr achos.

Yr oedd yn credu mai hyn oedd y peth cyntaf i'w wneud. Yr oedd yn rhaid i'r cyhoedd gael eu rhoi mewn meddiant o galedi hanfodol yr achos, ac yr oedd caledi yn yr achos. Pan ddeallid fod y dynion ieuaingc hyn yn rhwymedig am o bymtheg i ddwy awr ar bymtheg y dydd, ac yn ystod yr amser hyny ni allent eistedd i lawr am ddeng mynyd, na chaent agor llyfr, fod hyd yn oed eu cyfrin-lythyrau yn cael eu cadw oddiwrthynt, mae yn rhaid addef fod gradd o orthrymder, nad oedd masnach y meistr mewn un modd yn gofyn. Yr oedd gormeswr yn rhywle. Nid oedd yn nhueddiad y meistriaid, oherwydd yr oeddynt hwy yn ddynion caredig, ac yn ewyllysio i wellhau cyflwr eu cynnorthwywyr yn mhob modd, yn gyson a'u masnach eu hunain. Yn mha le yr oedd ynte, ond mewn arferiad? y gormeswr oedd arferiad, ac yr oedd arnynt eisieu i'r arferiad hwnw gael ei chwilio, i'r dyben iddo gael ei newid. Eu happeliad hwy oedd at y cyhoedd, ond nid yn erbyn y meistriaid.

Yr oedd yn edrych ar y meistriaid fel yn ewyllysgar i gydweithio, pe gallent; ond pa fodd yr oedd cyduniad i'w gyrhaeddyd? Pa fodd yr oedd symudiad cyffredinol a chydfynedol i'w gyflawni? Ac heb y fath gyduniad a chydfynedol symudiad, pa fodd yr oedd tegwch mewn cyfamryson i'w cadw i fynu? Os rhai siopau a gaua am saith o'r gloch, ac ereill am ddeg, pa fodd y gallai y dyn a fasnacha on dam ddeng awr y dydd, gydymryson a'r dyn a fasnacha am bymtheng awr? Y meistriaid a allent yn bur deg ddweyd, "yr wyf fi yn ewyllysgar i ddyfod i'r trefniad yma os gwneid ef yn gyffredinol, ond a ellwch chwi ddysgwyl i mi ei wneud, pan mae fy nghymmydog yn peidio ei wneud, ac felly rhoddi fy hun yn agored i'r blinder a'r golled o weled fy nrws yn gauedig i brynwyr am dair neu bedair awr, a drws agored gan fy nghymmydog?" Os prynwyr a barhant i ymgyrchu i'r siopau hyny ydynt agored am amser hir y nos, ni allai y peth gael ei wneud gydag un symud-

iad fel y presenol; eu happeliad gan hyny oedd at y prynwyr, ac at y cyhoedd. Yr oeddynt yn appelio attynt yn y modd hyn, "Dyma achos o galedi ar y cynnorthwywyr, achos o ewyllysgarwch yn y meistriaid, ac os bydd i'r drwg barhau, chwi sydd i'w beio. Yr hyn sydd arnom eisieu i chwi wneud yw, rhoddi rhagoriaeth hollol i'r siopau hyny ag sydd yn cau am saith o'r gloch yn y prydnawn.

ARMON.

(*I'w barhau.*)

---

## CANU MAWL.

BARCH. SYR.—Yn y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa, tu dal. 274, y mae "Un o frodorion Dinorwic" yn ymdrin a'r testyn o ganu mawl, yr hyn yn ddiau sydd wedi ac yn cael ei esgeuluso yn ormodol. Y mae y rhanau blaenaf, a'r rhan fwyaf o ysgrif eich gohebydd yn dra phriodol, cywir, ac addysgiadol; ond yn y rhan olaf y mae yn cwynfan oherwydd "fod y rhan ogoneddus hon o waith yr Arglwydd, mewn rhai manau, bron wedi myned o law yr eglwys, i ddwylaw dynion llygredig a digrefydd." Nid ewyllysiwyf ameu gwirionedd dywediad yr ysgrifenydd, ond credwyf mai ychydig iawn yw y lleoedd hyny, a bod rhyw ddiffyg mawr yn bod yn y lleoedd y mae y fath annhrefn yn bodoli. A all yr ysgrifenydd ddywedyd yn gydwybodol nad yw yr annhrefn crybwylledig yn cael ei achosi gan ddifaterwch a diofalwch yr eglwys am y rhan hon o waith yr Arglwydd yn y lleoedd hyny? Gwn am rai lleoedd y mae y rhan hon yn dra isel, llwydaidd, ac annhrefnus; ac ni roddir cefnogiad nac annogaeth i'r ieuengtyd, na neb ereill i ymarfer nac i ddiwygio gyda'r rhan hyn o'r gwaith; eithr tybir fod pob peth yn dda ac yn ei le, megis pe na byddai o unrhyw bwys pa mor aflunlaidd ac annhrefnus y cyflawnid y rhan hon o addoliad. Gwn am leoedd ereill lle y rhoddir pob annogaeth a chymhorth i'r ieuenctyd ac ereill i ddyfod yn nghyd i gynnal cyfarfodydd canu, ac i ddiwyllio a dwyn canu mawl i'r Arglwydd i harddwch a gweddeidd-dra, a gallaf sicrhau fod arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd ar y cyfryw gyfarfodydd, canys y mae sicrwydd digonol ei fod wedi bendithio y cyfryw foddion i ddwyn llawer o rai ag oeddynt yn wylltion ac anystyriol pan yn ymuno a'r cyfarfodydd canu, i nesau at, ac ymhyfrydu yn nghwahanol ranau gwaith yr Arglwydd, nes eu henill o'r diwedd i roddi eu hunain yn hollol dan iau Crist, ac ymgysegru yn aberthau byw yn ei wasanaeth.

Gwn am un lle yn neillduol, lle y cefais y fraint dros dymor o gyfarfod ag amryw bobl ieuainc mewn cyfarfodydd canu, amryw o ba rai oeddynt y pryd hwnw yn eithaf anystyriol a gwyllt, ydynt erbyn heddyw oll wedi ymuno ag eglwys Dduw, ac amrai o honynt yn ddefnyddiol gyda'r achos, ac arwyddion o dduwioldeb yn eu bucheddau. Nid wyf mewn un modd, am oeod dynion digrefydd, yn enwedig rhai "anfucheddol," i flaenori yn y rhan hon, mwy na rhanau ereill o waith yr Arglwydd, yn enwedig lle y byddo dynion crefyddol, yn meddu cymhwysder i'r gwaith i'w cael; ond nid peth canmoladwy yw gweled dynion crefyddol, yn enwedig swyddogion eglwysig, yn gallu edrych ar ganadiaeth yr eglwys yn dirywio, ac yn syrthio i annhrefn, a phan welant ddynion annghrefyddol yn dechreu nesu at y canu, ac ymhyfrydu yn hyny, nid peth canmoladwy ynddynt, meddaf, yw edrych arnynt gyda chilwg Phariseaidd, ac yn eu hagwedd yn dywedyd "cilia oddiwrthyf, canys sancteiddiach ydwyf fi na thydi." Gwn fod yr yspryd a'r agwedd yma wedi gwneud llawer o niweid cyn hyn, trwy fod yn foddion i bellhau a tharfu pobl ieuainc yn lle eu meithrin a'u denu yn yspryd yr efengyl.

Dymunwyf mewn modd gostyngedig, annog swyddwyr a gweinidogion yr efengyl o bob enwad, i bleidio a chefnogi diwygiad a harddwch yn y rhan hon o waith y cysegr, canys credwyf fod cysylltiad agos rhwng hyny â harddwch a llwyddiant y gwaith yn ei holl ranau. Hyd y gwelais i, lle mae y rhan hon yn cael eu hesgeuluso nes myned yn isel ac annhrefnus, nid oes yno ond golwg gyffelyb ar bob rhan arall o'r gwaith, a phob peth megis yn hwylio yn drwm. Ac o'r tu arall, lle y gwelir y rhan hon yn cael ei meithrin a'u hymgeleddu, y mae yno hefyd olwg siriol ar holl ranau y gwaith, a phob peth megis yn cerdded yn hwylus. Yn gyffredinol, mae pobl ieuainc yn fwy effro a llafurus gyda hyn na'r hên a'r oedranus, ac erbyn sylwi, ceir gweled mai yr un rhai ydynt fwyaf felly hefyd gyda rhanau ereill y gwaith; ïe, hwynt yw y mwyaf llafurus yn, a chyda yr Ysgol Sabbathol, ac a welir yn harddu a bywiogi ein cynnulleidfaoedd, ac a ddygir i deimlo *interest* yn y gwaith yn ei holl wahanol ranau. Gan [illegible] yn hytrach na thaflu rhwystr ar ff[illegible] gwnawn a allom er diwyllio y rhan bwysig a gogoneddus hon o wasanaeth y cysegr, gan ddisgwyl bendith y Goruchaf i goroni ein holl ymdrechiadau, canys *hebddo ef nis gellir gwneuthur dim.*

R. MILLS.

*Llanidloes, Medi* 7, 1841.

---

## AT Y PARCH. SAMUEL ROBERTS, LLANBRYNMAIR.

ANWYL SYR.—Ar glawr y Dysgedydd am Gorphenaf diweddaf yr ydych wedi cyfeirio llythyr attaf yn cynwys dymuniad taeraf am agor drws y Drysorfa i chwi ddyfod i

ddadleu â mi ynddi ar Natur Eglwys. Fy mod i yn eithaf parod i amddiffyn yr egwyddorion a arddelwyf ar unrhyw faes, sydd wirionedd. Ond pam yr ydych am gyfyngu y ddadl rhyngom o fewn maes y Drysorfa? Digon tebyg mai y cymhellai cryfaf i hyn oedd hyder na chaed caniatad. Efallai yr adwaenoch gyfaill i chwi, nid can milltir o Lanbrynmair, a anfonodd at Olygydd yr Athraw am gael caniatad i ymdrafod â'r "Pregethwr a'r Gwrandawr" yn y cyhoeddiad hwnw; ond gan i'r Golygydd ganiatau, ni chlybuwyd son am dano mwy. Os nad wyf yn camgymeryd yn fawr, yr oedd y cyfaill *hwnw* wedi dyoddef yn chwerw dan ddyrnodiau trymion y Pregethwr galluog cyn hyny; fel mai nid blys ymdrafod ag ef oedd arno, ond disgwyl cael ei wrthod.* Rhaid mai cymhelliad cyffelyb a'ch cynhyrfodd chwithau i geisio lle yn y Drysorfa i ddadleu â mi ar y pwnc enwedig, pan y gwyddoch fod hyny yn groes i'w rheolau. A pha eisiau sydd? Y mae y maes eàngaf—maes y dywysogaeth yn agored i chwi a minnau, a phob rhyddid a mantais i alw sylw y genedl at yr ymdrech—ac yr wyf yn ymrwymo ysgrifenu llyfr am lyfr i chwithau nes yr argyhoeddwch fi mai o'ch tu chwi y mae'r gwirionedd. Neu, os yw y *Book-making-business* yn rhy drafferthus genych, gallasem gyhoeddi ein hysgrifiau yn y Dysgedydd; ac y mae eich gwaith chwi a'ch cydweinidogion yn gwrthod lle i mi yn y cyhoeddiad hwnw yn profi mai gwir yw fy ymhoniad presenol. Nid yn unig yr ydych yn proffesu ei fod yn gyhoeddiad rhydd—yn gyhoeddiad i'r ddau ochr, ond yr ydych yn ail gyhoeddi llythyrau Mr. Edwards, pan y gwyr y wlad nad yw ef yn sylwadu ar eich gwag resymau. Oni wyddoch chwi, oni ŵyr eich brodyr, ac oni ŵyr y dywysogaeth nad yw efe yn gwneyd un sylw o'ch llythyrau? Yr ydych yn hynod o ddiduedd (?) yn cyhoeddi ei lythyrau ef; ac mor ddiduedd yn aberthu dwy ran o dair o'r Dysgedydd crefyddol (!) i wneyd sylwadau *bombastaidd* arnynt; ond pan y cynygia ryw un eu gwrthbrofi, cauir y drws, gan waeddi fod y ddau ochr yn cael ymddangos. Digon tebyg mai dyfais o'r fath a gynhyrfodd rhyw un, neu ryw rai, o weinidogion yr Annibynwyr i benderfynu y cawn i ganiatad i adolygu llyfr olaf Mr. Edwards ar "Undeb Eglwysig"† mewn *un* Dysgedydd *yn unig*. Yr oeddwn wedi gofyn caniatad er ys tro, ac wedi cael fy ngwrthod; ond ymddengys i'r brodyr gael rhyw *discovery* mai buddiol fyddai i mi gael un tudalen neu ddau am unwaith, *a dim ond am unwaith*; fel, pa gabledd neu ddylni bynag a ysgrifiai rhyw un yn fy erbyn, na chawn ryddid i amddiffyn fy hun. Dyma ddichellion anhael eich brodyr, Syr, yn y Dysgedydd, ac allan o hono.

Os ydych, Syr, mewn gwirionedd am ymresymu â fi ar Natur Eglwys, yr wyf yn hollol barod i'ch cyfarfod—ac yn gyntaf, yr wyf yn disgwyl i chwi wrthbrofi fy adolygiad ar eich llyfr yn y cyfanswm; neu os barnwch fod rhyw gangen o'r ddadl yn fwy manteisiol i chwi, y mae croesaw i chwi nodi ar hono. Yr wyf eilwaith yn ymrwymo i ysgrifenu llyfr am lyfr i chwithau, nes barno y wlad yn gyffredinol fod y cyfryw bwnc wedi ei ddwyn i'r goleuni angenrheidiol. Neu, os yw yn fwy dewisol genych ysgrifenu i gyhoeddiad misol, gallaf hysbysu i chwi fod Golygydd yr Athraw yn cynyg dalenau ei gyhoeddiad at ein gwasanaeth, dan ammodau penodol; a bydd yr un chwareu teg i chwi ag i minnau.

Myn eich cydweinidog, Golygydd y Dysgedydd, i'w ddarllenwyr gredu, mai fy nyben yn adrodd y ffeithiau sydd yn fy llyfr yw er mwyn edliw manau duon yr Annibynwyr, &c. Ond fe wel pob darllenydd diragfarn nad wyf mewn un man yn diraddio na pherson na lle; ond yn sefyll yn deg a diwyro at y pwnc, sef profi gwendid y drefn Annibynol. Gwarthruddo personau! "Na atto Duw" i mi byth wneyd hyny. Pe hyny fuasai fy nyben, gallaswn gael defnydd cyfrolau—gallaswn baentio rhai mor ddued ag ———, a'u gwneyd yn ffiaidd ger bron Cymru oll. Ond gadawaf waith fel hyn i hen wrthgilwyr diegwyddor sydd wedi gwneyd llongddrylliad ar eu nodweddiad. Cecyr o'r fath yw eu difyrion hwy.*

---

* Y mae yn ddigrif gweled y "pethau bychain" yn ystrancio efo y Pregethwr dro ar ol tro; ond rhaid gwneyd *rhyw beth* rhag i'r eglwysi fyned i amau eu dysg a'u gallu (?) Druain o honynt!! y mae pob ystryw o'r eiddynt yn profi yn amlycach beunydd nad ynt o'i flaen ond ail i geiliogod rhedyn.

† Buasai yn well o lawer i Annibyniaeth pe buasai ei phleidwyr yn caniatau yn frawdol i'r Trefnyddion farnu drostynt eu hunain, a gadael i lyfr cyntaf Mr. Edwards basio yn ddisylw. Ond diolch yn fawr iddynt am yr amlygiad a wnaethant o'u hysbryd anhael: y mae wedi bod yn achlysur i Mr. Edwards ddwyn allan ail lyfr, sydd yn deilwng o'i ddysg cywir a'i ysbryd boneddigaidd—llyfr rydd ddyrnod anesgoradwy i Annibyniaeth. Ni ddylai yr un Trefniedydd Calfinaidd na Wesleyaidd fod hebddo.

* Dichon fod rhai yn ddigon ffol a meddwl fod ymrafaelion yn mhlith y Trefnyddion yn profi gwendid Henaduriaeth, yn gystal ag y mae yn mhlith Annibynwyr yn profi gwendid Annibyniaeth. Mae'n wir fod yr un annhrefn yn tori allan yn mhlith Henaduriaethwyr, a'r Annibynwyr yn profi eu bod o'r un ysbryd—ond dyma y gwahan-

Ymddengys, Syr, i mi droseddu ar deimladau rhai wrth ddygwydd dweyd nad oeddech chwi, a rhai o'ch brodyr, yn teimlo nemawr o ddiolch i Fab Orpheus am ymyryd â'r ddadl hon. Pa un ai gwir ai anwir a oeddech yn teimlo felly, goraf y gwyddoch chwi; ond ni pherthyn yr anrhydedd o luniad y chwedl i mi; daeth o enau mwy nag un o Annibynwyr Llanidloes, yr hyn sydd yn hysbys i luaws heblaw fi. Ac os buoch chwi ac ereill yn teimlo fel hyny ar y cyntaf, nid oedd yn annaturiol tybied y gallasai cyfyngdra eich sefyllfa gyfnewid eich teimladau. Ac os darfu i chwi a rhai ereill ei gynorthwyo ef i glytio ei gabldraith, nid yw ond prawf pellach o'r aml gyfnewidiadau sydd yn eich plith. Nid wyf yn gwneyd honiad disail. Dywedodd un o Annibynwyr Llanidloes, mewn amgylchiad nad oes angenrheidrwydd ei nodi yn bresenol, fod llyfryn Orpheus wedi bod yn Llanbrynmair fisoedd cyn ei argraffu. Ac os gwir a glywais, y mae *hints* yn y llyfryn sydd yn profi fod cymundeb wedi bod rhyngddo â Llanbrynmair. Os oeddech chwi, Syr, a rhai o'ch brodyr, am dywallt eich llysnafedd ar bersonau a phlaid, rhy fliaidd genych i'w arddel fel eich eiddo eich hun, nid wyf yn eich beio am ddewis y cyfrwng mwyaf budyr. Os eich amcan yw gwarthruddo nodweddiad eich gwrthwynebwyr drwy ryw foddion, ac nid dwyn y pwnc i oleuni, rhaid i mi gydnabod mai callineb ynoch yw cefnogi rhyw ddihiryn at y gorchwyl. Ond o'm rhan fy hun nid yw yn waeth genyf pa beth a ddywed—nid wyf yn bwriadu ofer-dreulio fy amser i ddarllen ei ffregodau, chwaethach eu hateb. A gobeithiwyf nad oes neb o'm brodyr a iselant gymaint arnynt eu hunain ag i wneyd un sylw o hono; o herwydd "y mae yn anhawdd ymaflyd mewn *sweep* heb ddiwyno ei ddwylaw."

"You'll think this cruel: take it for a rule
No creature smarts so little as a fool.
* * * * *
Who shames a scribbler? Break one cobweb through
He spins the slight self-pleasing thread anew:
Destroy his fib or sophistry—in vain
The creature's at his dirty work again."

Barchedig Syr, os *retreatio* oddi wrth y cynygiad a wnewch, nid yw hyny o bwys genyf; ond os teimlwch ar eich calon ddyfod i'r maes, ail ddywedaf, fy mod yn barod i'ch cyfarfod ar y tir a ddewiswch.

I. G. Alarch.

*Medi* 8, 1841.

O.Y. Dymunwn hysbysu i'r rhai sy'n ymholi yn nghylch fy ail lyfr, nad wyf yn bwriadu ei gyhoeddi nes daw gweddill traethawd presenol Mr. Edwards allan o'r wasg. Ynddo yr wyf yn bwriadu profi mai Trefnyddiaeth yw y cynllun cywiraf o'r trefniant apostolaidd a fedd eglwys Crist yn y byd—a bod yr oll, bron, sydd yn rymus yn nghrefydd y ganrif ddiwygiedig hon wedi ei gael oddi wrth y Trefnyddion Calfinaidd a Wesleyaidd.

---

iaeth, nid oes gan Annibyniaeth allu i *attal* y fflam. Gall Henaduriaeth alw yr eglwys ymrafaelgar i gyfrif, a'i cheryddu am y bai; ond nis gall Annibyniaeth wneyd hyny heb wadu ei hegwyddor sylfaenol. Dichon yr haerir nad all Henaduriaeth attal i ymrafaelion dori allan, os yw yn gallu eu gwella ar ol hyny. Nid ym am wadu hyn yn mhob cysylltiad; ond y mae yn tra ragori ar Annibyniaeth yn hyn hefyd. Y mae'n eglur fod Annibyniaeth yn fwy magwriaethol i ysbryd ymrafaelio nag yw Henaduriaeth. Nid gormod yw dweyd fod Annibyniaeth Cymru yn unig wedi cynhyrchu mwy o ymraniadau yn y deng mlynedd diweddaf nag yw Henaduriaeth yn ei holl gyfundebau trwy y byd yn yr un ysbaid o amser. Ond gadawaf hyn hyd fy llyfr nesaf.

---

## YSGOLION RHAD.

Barch. Syr.—Wyf ddarllenydd cyson o eich Trysorfa, ac yn gwir ddymuno iddi fod o fendith i'm cyd-genedl, ac yn foddion i ddwyn i'w sylw waith yr Arglwydd yn ei wahanol ranau; a diameu genyf ei bod cyn hyn wedi ateb y cyfryw ddybenion. Gwir lawenydd fy nghalon yw gweled fod Trefnyddiaeth yn ffynu yn y tir, a chortynau ei phreswylfeydd yn barhaus yn cael eu hestyn, er maint llid y gelynion.

Canmoladwy yw yr ymdrechiadau a wnaed eisoes yn ein plith; ond er cymmaint a wnaed, mae llawer etto heb ei wneud. Dymunol iawn fyddai gweled ymdrech cyffredinol ynom, fel corph o grefyddwyr, tu ag at gael allan ryw ffordd i sefydlu Ysgolion Rhâd, perthynol i ni fel Corph o Drefnyddion Calfinaidd; yr hyn beth yr ydym yn fawr yn ol o hono, ac mewn dirfawr eisiau am dano. Yr wyf yn barnu fod llwyr angenrheidrwydd am i'r cyfryw ysgolion gael eu sefydlu yn ein mysg yn ddioed. Hyfryd genyf feddwl fod rhai cyfeillion wedi ymaflyd eisoes yn hyn o orchwyl; ac erbyn dechreu, maent wedi gweled mai peth hynod o hawdd ydyw ei ddwyn i weithrediad. A diameu genyf, ond i'r Eglwysi yn gyffredinol gymmeryd y peth at eu hystyriaethau, na byddai yn un gorchest fod genym Ysgolion da a buddiol wedi eu sefydlu yn mhob lle y bernir fod angen am danynt.

Mae yn ymddangos i mi yn beth eithaf anghyson i'r plant a fedyddir, ac y proffesa eu rhieni wrth eu bedyddio, eu dwyn i fynu yn Eglwys Crist i gyfranogi o'i breintiau,

a mwynhau ei hordinhadau, i'r cyfryw rai, meddaf, er yr holl broffes o eiddo y rhieni, i gael eu gollwng ar y Sabbothau yn gwbl rydd oddiwrthynt; ac i fod yn hollol dan ofal estroniaid, y rhai na ddymunent ar un cyfrif eistedd eu hunain dan eu gweinidogaeth: ond gadawant eu plant (etifeddiaeth yr Arglwydd) yn rhwym o dan eu gwasanaeth ar y Sabboth, tra y gwelent yn dda eu cadw: ac yna, ar ol iddynt hwy orphen yr hyn a alwant yn Wasanaeth Dwyfol, gollyngant y plant yn rhydd. Aml iawn y gwelais hwy yn rhuthro i'r capel tu a dechreu y *Society*, ar ol yr odfa nos Sabboth, yr hyn beth sydd yn ymddangos i mi yn dra anghyson.

Oni ddylai y plant fod dan ofal y rhieni dros yr yr holl Sabboth? ac oni ddylent fod yn y man ag y barna y rhieni yn gydwybodol yw yr unig fan ag y mae yn ddyledswydd arnynt hwy eu hunain ymgynnull i addoli? Onid yw yn anghysondeb o'r mwyaf fod y rhieni yn Aelodau Eglwysig gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, a phlant y rhai hyny mewn lle arall o'u golwg o foreu y Sabboth hyd yr hwyr? A pheth arall sydd yn ymddangos i mi yn fwy gwrthun fyth, fod yn well gan lawer tad a mam, (dan yr enw o fod yn grefyddol) gael deg punt yn y flwyddyn oddiwrth eu plant am ganu mawl ar y Sabboth, (os gweddus ei alw yn ganu mawl) na chael mwynhau yr hyfrydwch o gael eu plant i gyd-addoli â hwy eu hunain, a chyfranogi o'r un breintiau crefyddol.

Anwyl frodyr, mae yn bryd i ni ddeffroi o gysgu yn yr achos hwn, gan fod yn ddiameu genyf fod ymgais cryf yn y wlad y dyddiau hyn am yspeilio ein heglwysi o'n plant (etifeddiaeth yr Arglwydd), ond i ni agor ychydig ar ein llygaid, gellir canfod hyn yn eithaf amlwg. Un ddyfais a ddefnyddir tuag at gyrhaedd yr amcan, ydyw ffurfio Clwb Dillad, a chynnal hwnw ar y Sabboth, a phob plentyn i ddyfod a swm o arian i'r ysgol bob Sabboth, a pha faint bynag o swm a gesglir mewn blwyddyn, rhoddir yr un faint o swm atto i'w ddyblu, yna prynant eu gwerth o ddillad i'w rhanu i'r plant. Honir mai gweithred o elusen yw hon, ond ymddengys i mi fel arall, pan y gorfodir y plant i fod at eu gwasanaeth hwy yn gwbl ar y Sabboth. Mae y llwybr hwn wedi bod yn hynod o effeithiol yn B—r, i gyrhaedd yr amcan mewn golwg, ac i ddenu llawer o rieni tlodion i anfon eu plant iddynt.

Dymunol fyddai gan ysgrifenydd hyn o linellau weled ymdrech cyffredinol yn mhlith ei frodyr i sefydlu Ysgolion Rhâd yn eu plith eu hunain, a chael athrawon da a duwiol i olygu dros eu plant: rhoddai hyny lawer iawn o foddlonrwydd i aml un heblaw

TREFNIEDYDD.

*Glan Menai.*

## Y FRWYDR FAWR.

Barch. Syr.—Yn y Rhifyn o'r Dysgedydd am fis Awst, ymddangosodd ysgrif o'r eiddo Edeyrn, er cadarnhau, yn wyneb rhai a amheuant y cyhuddiad a ddygwyd yn erbyn rhai o Weinidogion y Methodistiaid, eu bod yn euog o bregethu Ffwleriaeth. Os edrychir dros ochr y Parch. S. Roberts o'r ddadl ganghenog a chwmpasog a ddechreuwyd yn nghylch "Natur Eglwys," canfyddir yn eglur y ceisiodd ef wneud hyny yn ganghen o honi. Nodiadau ar yr unrhyw yn nghyd â chynghor priodol i S. Roberts, a ymddangosasant mewn ysgrif a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn yr Athraw, tebygol a gymmerodd Edeyrn yn achlysur i fyned i'r maes, er ceisio dangos a phrofi yr euogrwydd ffugiol hwn yn mhellach.

Ymddengys y gwr megis yn dra hyddysg ac *orthodox* yn egwyddorion yr athrawiaeth newydd a daenwyd, ac a ddysgwyd, gyda dyfalwch a llafur mawr trwy ororau Cymru am yspaid y deuddeg mis diweddaf, sef yr athrawiaeth hòno sydd yn dal allan bod *Constitutional Deed* y Trefnyddion Calfinaidd wedi ei throseddu, ac yn ganlynol, bod y capelau wedi myned yn fforffed, &c.

Buasai yn rhesymol ac anrhydeddus i ŵr o athrylith, gwybodaeth, a phroffes Edeyrn, ystyried a chwilio allan, pa un ai gwir ai gau yr egwyddorion hyn, cyn dangos ei gydsyniad â hwynt, ei grediniaeth o honynt, a'i ymlyniad wrthynt mewn modd mor gyhoeddus. Ond "hardd pob newydd." Y mae yn eglur bod llawer, yn y dyddiau hyn, yn dychymmyga y fath harddwch mewn athrawiaethau newyddion, bont gywir bont gau, fel y mae eu serch yn rhedeg ar eu hol gan eu cofleidio gyda'r fath egni anfeistroladwy fel na chaiff eu deall a'u galluoedd rhesymol esgyn i'r orsedd i lefaru cymmaint a gair o orchymmyn na chyfarwyddyd iddynt yn eu cylch. Nid oes dim yn eglurach nag mai yn lled debyg i hyn y dygwyddodd i rai o'n brodyr yr Annibynwyr gyda'r egwyddorion newyddion gorhoffus a chyfeiliornus hyn.

Pan y gwelais ditl yr ysgrif dan sylw,—"Jenkyniaeth Drwyadl," meddyliais y gallai gynnwys arddangosiad byr o elfenau yr athrawiaeth Jenkynaidd, yn nghyd â'r gwahaniaeth rhyngddi a "Ffwleriaeth buraf," ond fe'm siomwyd, canys nid yw wedi'r cwbl amgen nag ymgais eiddil o ddarbwyllo'r anwybodus, fod rhai o Weinidogion y Methodistiaid yn euog o'r cyhuddiad a nodwyd; ac yn wir, golygwyf fyned o'r gwr mor annghelfydd yn hyn, ag yr aeth flynyddoedd yn ol gyda'i orchwyl yn trin y "Drych."*

Cyn y gallo y gwr gadarnhau ei gyhuddiad, bydd yn angenrheidiol iddo ddangos beth yw Ffwleriaeth yn yr hyn y mae yn

* Gwel y Drysorfa, Llyfr I. tu dal. 230.

gwahaniaethu oddiwrth yr hyn a olygir yn Galfiniaeth, a hyny yn deg o ysgrifeniadau ei hawdwr: a chan y dangosodd awydd cyhuddo rhai o'r Gweinidogion a nododd i bregethu "Jenkyniaeth Drwyadl," cyn y gallo brofi hyny, rhaid iddo ddangos beth yw yr athrawiaeth hòno yn yr hyn y mae yn gwahaniaethu oddiwrth yr hyn a elwir yn Galfinaeth, a hyny yn deg o ysgrifeniadau ei sylfaenydd, ac yna profi fod y Gweinidogion yr ewyllysia eu cyhuddo yn euog o bregethu egwyddorion priodol i 'Ffwleriaeth' neu i "Jenkyniaeth Drwyadl," gwrthwynebol i'r hyn a ystyrir ar dir teg yn Galfinaeth, neu yn annghytunol â Chyffes eu Ffydd, oblegyd, yn ddiau y mae amrai egwyddorion, a'r rhai hyny yn briodol i'r efengyl, yn nghylch pa rai y cytuna law yn llaw, muntymnwyr y teiroedd athrawiaethau gwahanol a nodwyd. Ond yn lle hyny, ni wnaeth Mr. Edeyrn ond adrodd ychydig ddyfyniadau o bregeth a glywodd, medd ef, gan Mr. J. Jones, Llanllyfni, pa ddyfyniadau ydynt oddefol i amddiffynwyr yr athrawiaethau hyn fel eu gilydd, oddieithr eu bod yn cynnwys ychydig bethau annghytunol â "Ffwleriaeth," ac yn enwedig â "Jenkyniaeth Drwyadl," o leiaf y maent yn hollol gydfynediadol â Chalfinaeth, ac â Chyffes Ffydd y gwr parchedig y ceisir ei gyhuddo o'u plegyd, ac yn eithaf goddefol i'r Calfiniaid mwyaf manwl.

Rhydd Edeyrn ar ddeall y cymmerai Mr. Jones ei destyn o 2 Bren. v. 13. "Fy nhad, pe dywedasai y prophwyd beth mawr wrthyt ti," &c. Ac y dywedai fod Duw yn gweithio ar feddyliau dynion yn gyffredin drwy foddion, sef, gweinidogaeth yr efengyl; a hyny nid mewn modd "gwyrthiol," eithr drwy eu "perswadio a'u denu," &c. Dyma wirionedd am yr hwn y cytuna hoffwyr yr athrawiaethau gwahanol hyn fel eu gilydd. Ond hyn sydd led ddigrif—bod rhai o'r Annibynwyr wedi danges y fath barodrwydd i gyhuddo y Trefnyddion, pe medrent, o wadu hyn, pryd nas gallant ddangos cymmaint ag ymadrodd yn ysgrifeniadau neb o honynt, na nodi pregeth o'r eiddo cymmaint ag un o honynt, yn tueddu at hyny; tra y gallai y Trefnyddion pe'r ewyllysient nodi ysgrifeniadau un o'r gwyr a addurnodd fwyaf ar yr enwad Annibynol yn Nghymru, yn gogwyddo'n drwm at hyny. Dylai yr Annibynwyr adael heibio gyhuddo, neu ddysgu cyhuddo ar sylfaeni teg.

Medd ein hysbysydd drachefn—"Dywedai hefyd mai gwaith ofer a phechadurus ydyw i ddynion ddysgwyl rhyw argyhoeddiad mawr, yr hwn nad allant ei orchfygu, i'w llusgo at grefydd—fod yr Arglwydd, drwy ei Ysbryd, yn ymryson â hwynt drwy bob moddion o ras; ac ond iddynt hwy fagu y pethau bach a deimlant dan y weinidogaeth, y byddant yn sicr o ddyfod yn bethau mawr—fod Duw yn gweithio ei ochr ef, mai ochr dyn sydd ar ol," &c.

Nid oes yn hyn ddim croes i Galfiniaeth. Nid yw ond cangen o'r athrawiaeth yn mha un yr ein haddysgir beunydd. Mae yn dwyn i'm cof bregeth a glywais genych chwi, Syr, a gyfrifir yn Galfiniad o'r manylaf, er's blynyddoedd bellach, mewn Cymdeithasfa yn Liverpool, ar y geiriau "Canys pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain," yn nghyd a phregeth arall ar yr un geiriau a glywais flynyddoedd yn ol, yn Sir Feirionydd, gan un o weision Crist, o'r cyffelyb gyfrifiad.

Rhydd yr Apostol ar ddeall i ni y gosododd yr Arglwydd drysor yr Efengyl mewn llestri pridd, fel y byddai godidawgrwydd yr ymadrodd o Dduw, ac nid o honynt hwy. Mae hyn yn hollol gydunol â'r athrawiaeth yn yr hon y'm haddysgwyd er yn fachgen. Gorchymmynodd yr Arglwydd i Foses estyn ei wialen ar y môr; yna gyda bod Moses yn estyn ei wialen, agorodd y môr o flaen cynnulleidfa meibion Israel; etto nid gwialen Moses, na'i estyniad ef o honi, a barthodd y môr, eithr yn hytrach, braich, neu allu yr Arglwydd. Yn ol gorchymmyn yr Arglwydd, amgylchwyd caerau Jericho am saith niwrnod, gan saith offeiriaid yn chwythu mewn udgyrn o flaen Arch Cyfammod yr Arglwydd, y canlyniad fu i'r caerau syrthio yn ol gair yr Arglwydd, etto nid udganiad yr offeiriaid, na bloeddiad y gynnulleidfa a effeithiodd syrthiad y caerau, eithr yn hytrach bŷs, neu allu yr Arglwydd. Gorchymmynodd y prophwyd i Naaman y Syriad wneuthur peth mor fychan ag ymolchi seithwaith yn afon yr Iorddonen, fel moddion defnyddiol er ei iachad o'i wahanglwyf, yr hyn a ateboddd y dyben iddo; etto, ni olyga neb rhesymol mai dyfroedd yr Iorddonen ynddynt eu hunain a effeithiodd ei iachad, eithr yn hytrach bŷs, neu allu yr Arglwydd yn gweithredu trwy, neu gydâ'r moddion. Pe y dywedasai Mr. Jones, fod yr ymarferiad â'r moddion ynddynt eu hunain yn ddigon i gynnyrchu, neu, y gwneuthai y pethau bychain a deimla gwrandawyr yr Efengyl dan ei weinidogaeth y tro, yn lle y cyfnewidiad mawr a weithredir ar ddynion trwy y moddion, gan ragorol fawredd nerth Duw, a elwir adenedigaeth, ac yn greu yn Nghrist Iesu, buaswn yn eithaf boddlon, o'm rhan i, i Edeyrn ei gyhuddo o fod yn euog o bregethu "Ffwleriaeth" a "Jenkyniaeth Drwyadl," os mynasai.

Drachefn, "O!" medd rhyw un, "y mae arnaf fi eisiau gwybod a ydwyf wedi fy ethol yn yr arfaeth." "Ni wn i fawr am arfaeth ac etholedigaeth, ond hyn a ddywedaf—Nad rheol i ti ydynt, os ydynt yn rheol i rywun, rheol Duw ydynt, a sicrhaf i ti nad oes dim ynddynt yn groes i ewyllys datguddiedig Duw yn ei air. Ni fedd-

iodd Duw erioed i ti fyw mewn annghrediniaeth: na, Hirymarhous yw efe tu ag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch!"

Dyma Galfinaeth noethlymyn. Datguddiad o gynghor ac arfaeth Duw yw ei ewyllys datguddiedig yn ei air. Pe y dywedasai Mr. Jones nad oes arfaeth ac etholedigaeth, neu mai athrawiaeth niweidiol yn ei thuedd a'i chanlyniadau o'i phregethu, yw yr athrawiaeth am danynt, neu ei fod yn gwahaniaethu yn ei olygiadau oddiwrth eiddo'r Apostol Paul, pan y tystiolaethai am Dduw ei fod yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun, buasai yn ddigon rhesymol i Edeyrn, hyd y gwn i, ei gyhuddo o fod yn euog o bregethu Ffwleriaeth, a "Jenkyniaeth Drwyadl."

"Gwedi hyny," medd ein hysbysydd, "dywedai fod llawer yn ymddyrysu yn nghylch yr Iawn—fod arnynt eisiau gwybod ei hyd a'i led, a thros bwy ei rhoddwyd, ac a ydyw *wedi sicrhau achubiaeth y cyfryw.* Gwrandewch, gynnulleidfa, nid oedd yr Iawn ddim ond *parotoad* i achub—dim ond darpariaeth i gadw," &c.

Nid Ffwleriaeth na "Jenkyniaeth Drwyadl," yw hyn; o leiaf nid hyn ydynt yn y pethau y maent yn gwahaniaethu oddiwrth Galfiniaeth. Buaswn yn dysgwyl i wr mor gráff ei olwg ar bregeth; ganfod hyn, os bydd yn fy ammheu, darllened Lyfr T. W. Jenkyn, "*On the Atonement.*" Ond y mae hyn yn hollol gydgordiol a Chalfiniaeth, ïe, yn yr hyn y'i gwahaniaethir oddiwrth y ddwy athrawiaeth ereill. Darparwyd er tragywyddoldeb i Iesu Grist fod yr hyn oll ag ydyw. Y mae efe yn Iawn, ïe, yn Iawn er achub a chadw. "Efe yw yr Iawn." Efe yw "yr hwn a osododd Duw yn Iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen trwy ddyoddefgarwch Duw, i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn, fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu." Mae hanfod yr athrawiaeth Galfinaidd yn nghylch Iawn o ran ei hyd a'i lêd, ei uchder a'i ddyfnder, yr effeithiau a'r ffrwythau o hono, yn y ddwy adnod a ddyfynwyd uchod. Nid Calfiniaid yw y rhai hyny sydd yn ymddyrysu yn nghylch yr Iawn, eisiau gwybod ei hyd a'i lled, &c. gwyddont hwy ei fod "uwchlaw gwybodaeth."

Gofynaf, beth sydd yn Ysgrif Edeyrn yn tueddu i gadarnhau y cyhuddiad o fod rhai o Weinidogion y Trefnyddion Calfinaidd yn euog o bregethu Ffwleriaeth, chwaethach 'Jenkyniaeth Drwyadl?' Onid yw bod gwrandawydd cyson dros lawer o flynyddoedd ar yr Annibynwyr, yn tystiolaethu mewn modd mor ddifrifol, na ddygwyddodd iddo erioed wrando pregeth mwy Ffwleraidd a Jenkynaidd na'r un dan sylw, yn tueddu yn fwy o lawer at gadarnhau—nad yw yr Annibynwyr eu hunain yn eu pregethu, ond yn unig dadleu tipyn o'u plaid, a dwndraw ychydig yn eu cylch yn y Dysgedydd? Ond, tebygol, mai nid felly y mae arnynt.

Gofynaf i Mr. Edeyrn, "Cenad mewn cadwyn" gan ba *Deed*, neu ba gyffes, ydoedd Mr. Jones yn traddodi y gwirioneddau uchod? os nad ydoedd felly, paham y defnyddia efe ymadroddion heb feddyleddrychau iddynt? Pa ddyben attolwg sydd gan yr Annibynwyr yn cyhuddo Gweinidogion y Trefnyddion felly? A ydynt yn canfod y fath wrthuni anhawddgar yn yr athrawiaethau Ffwleraidd a Jenkynaidd fel y mae arnynt gywilydd eu cyffesu a'u harddelwi eu hunain, heb gyssylltu â hwynt er hurddeiniaw a'u mygru, enwau rhai o enwogion y Trefnyddion Calfinaidd? Dengys rhai o'r Annibynwyr, yn y Dysgedydd, hoffder mawr mewn cyhuddiad arall yn erbyn rhai ereill o'r Gweinidogion hyn, sef, haeru eu bod yn gwadu helaethrwydd yr Iawn, a hyny tra y dylent wybod yn amgenach, oddieithr eu bod yn chwennych peidio gwybod. Gofynaf pa gynnyrch gwell a allant ddysgwyl o'u heuad o'r cyhuddiadau disail hyn? neu a allant edrych yn mlaen am effeithiau mwy daionus o'u taeniad o honynt, na thwyllo yr anwybodus yn eu plith eu hunain? A fyddai yn briodol dywedyd am danynt, "Gadewch iddynt, tywysogion deillion i'r deillion ydynt?" Gadawaf iddynt hwy eu hunain ystyried a phenderfynu pa un ai o falais, ai o'u hanwybodaeth, y tardd y fath gyhuddiadau. Dichon efallai eu bod mor annghyfarwydd ac anwybodus yn ngwahanol ganghenau Duwinyddiaeth berffaith yr Ysgrythyrau, ac mor annghelfydd yn y gwaith o geisio cysoni y naill a'r llall o honynt â'u gilydd, megys y canghenau am ras penarglwyddiaethol Duw a dyledswydd dyn, megys mai gras a rhodd Duw yw edifeirwch, ac mai gorchwyl a dyledswydd dyn yw edifarhau; mai gweithrediad a rhodd Duw yw ffydd, ac mai dyledswydd a gwaith dyn yw credu, fel y maent yn dychymygu y fath annghysondeb rhyngddynt fel na fedrent yn eu byw gysoni pa fodd y dichon y naill a'r llall fod yn wirionedd: ac felly er na wadant y naill na'r llall mewn geiriau eglur, etto os clywant neb yn pregethu y naill, tybiant ei fod yn gwadu y llall. Dichon, efallai, pe y clywsai Edeyrn, Mr. Jones yn pregethu ei bregeth ar y geiriau "Llwyr noethwyd dy fwa, yn ol llwon y llwythau, sef dy air di," (pregeth y byddai yn ddigwyn genyf deithio llawer o filldiroedd i'w gwrando) a'i bregeth ar y geiriau, "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef," y buasai yn ei gyhuddo o bregethu Uwch-Galfiniaeth, neu Antinomiaeth! Os felly y mae ein brodyr Annibynol, y maent yn wrthrychau cydymdeimlad a thosturi, yn fwy na dim arall. Dylem ddefnyddio pob moddion a allom er eu haddysgu a'u dwyn i dderbyn

defnyddio, a chofleidio yr athrawiaeth oll yn ei chyflawnder perffeithlawn, yn ei gwahanol ganghenau ardderchog a chyson.

PHILALETHES.

*Awst* 31, 1841.

(*I'w barhau.*)

---

YSGRIF "UN O'R TREFNYDDION."

BARCHEDIG SYR,—Lled ddigrifol yn wir oedd llythyr cyntaf y Parch. D. Morgan, ond mwy fyth yr ail. Ond y mae un peth etto y chwennychwn ei wybod, sef a ydyw pawb o ddosbarthwyr y Drysorfa wedi "colli o bump i wyth o dderbynwyr," fel Mr. M. yn y "frwydr fawr ar y *pyngciau sychion a chynhyrfus hyny?*" Pa un ai lluosogi ai lleihau a wnaeth y derbynwyr yn ystod y dadleuon buddiol rhwng y Parchedigion Williams ac Edwards, a'r Parchedigion J. a S. Roberts o Lanbrynmair? Yr ydwyf fi yn byw yn un o'r ardaloedd mwyaf poblogaidd yn Nghymru, a gallaf ddywedyd mai dadleuon ac ysgrifau y Parchedigion Williams ac Edwards a gododd y *Drysorfa* i sylw yn yr ardal hon. Er a annogid o'r pulpud, ac yn yr eglwys, i'w derbyn, etto, ychydig o sylw a wneid o'r anogaethu; ond wedi i'r gwŷr uchod ddechreu ysgrifenu iddi, daeth yma ddegau yn chwanegol: a phan y deua y Drysorfa i'r gymmydogaeth, bydd yn hysbys yn mhen ychydig oriau drwy yr holl waith, lle mae tua dwy fil o bobl, os byddai llythyr i un o'r gwyr Parchedig uchod ynddi, gan faint yr hyfrydwch a fwynha y trigolion yn eu hegluriadau ar y pethau a drinient. Hefyd, gallaf ddywedyd na achosodd y dadleuon crybwylledig un gradd o oerfelgarwch rhwng y brodyr yr Annibynwyr a'r Trefnyddion Calfinaidd yn yr ardal hon, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb; byddai y naill blaid a'r llall yn addef iddynt gael boddlonrwydd ar bethau oeddynt holiol dywyll iddynt cyn y "ddadl boethlyd," ac i'r "frwydr fawr" ddwyn i'r goleu bethau cudd.

Ni ryfeddwn pe b'ai llawer yn diolch am y dadleuon buddiol crybwylledig, yn yr amser a ddaw, eu bod yn rhwymedig am yr eglurhad a gafwyd trwyddynt ar athrawiaethau a sefydliadau y Cyfundeb Calfinaidd, er i Mr. M. fod mor anffortunus a "cholli o bump i wyth o dderbynwyr" yn y mŵg a'r tân.

*Arfon.* UN O'R TREFNYDDION.

---

ADDOLIAD TEULUAIDD.

SYR,—Erfyniaf eich sylw at yr hanesyn isod, er ei fod gwedi ymddangos ddwyddi yn ei mewn argraffiadau ereill, tybiwyf na fydd argraffiad yn rhagor o hono yn peri ei fod yn llai teilwng o ystyriaeth, ac y rhydd ef awgrym ac addysg i bob un a ddichon fod yn yr un sefyllfa a gwrthddrych yr hanes.

Yr eiddoch,

AP RHISIARD.

RHYW fasnachwr dawiol, wrth ymddyddan â Gweinidog yr efengyl yn nghylch Addoliad Teuluaidd, a adroddodd iddo y dygwyddiad buddiol yma mewn perthynas iddo ei hun: "Pan ddechreuais fy ngalwedigaeth trosof fy hun, penderfynais, trwy ras, i fod yn dra chydwybodol mewn perthynas i weddi deuluaidd. Felly treuliais amryw flynyddau yn yr ymarferiad hyfryd o weddi tŷaidd. Boreu a hwyr gorchymynwn i bob un o'm teulu fod yn bresennol; ac ni's goddefwn mewn un modd i'm *prentisiaid* i fod yn absennol, Ymddangosodd budd yr ymrwymiad hwn mewn ychydig flynyddoedd yn dra amlwg; 'Bendithion y nefoedd oddiuchod a bendithion y dyfnder yn gorwedd isod,' a'm dilynasant, iechyd a dedwyddwch a weinyddwyd i fy nheulu, a llwyddais yn fy ngalwedigaeth. O'r diwedd yr oedd fy nghynydd mewn masnach yn gymmaint, a'r angenrheidrwydd i roddi pob mynyd at wasanaeth fy masnachwyr (*customers*), fel y dechreuais feddwl pa un a oedd y weddi deuluaidd yn dwyn gormod o'n hamser yn y boreu. Petruader meddwl a gododd mewn perthynas i'm bwriad i roddi heibio y rhan hòno o'm dyledswydd; eithr er hyny, elw bydol a ffynoddd mor belled, fel ag i beri i mi esgeuluso galw fy *mhrentisiaid* yn nghyd; ac nid hir y bu wyd, nes barnu yn addas, i'r diben i'n galwedigaeth i fyned yn mlaen yn ebrwyddach, fod myned i weddi gyda fy ngwraig y boreu yn ddigon am y diwrnod. Er i gyhuddiadau cydwŷbod ganlyn yr esgeulusdra brwnt hwn, galwad masnach lwyddiannus, a theulu lluosog, a ymddangosodd mor awdurdodol a llywodraethol, nes y cefais yn fuan esgus esmwyth ddigon dros y bai dinystriol hwn, a hyny am nad oeddwn wedi esgeuluso gweddi yn llwyr.

Yr oedd fy nghydwybod yn awr brau fel 'wedi ei serio â haiarn poeth,' pan y rhyngodd bodd i'r Arglwydd fy nihuno trwy ragluniaeth neillduol. Rhyw ddydd derbyniais lythyr oddiwrth ddyn ieuange yn Llundain, yr hwn a fu yn *brentis* gyda mi pan oedd y weddi deuluaidd i fynu; nid ydoedd yn amcu nad oeddwn yn parhau i gynnal yr addoliad teuluaidd, ar yr hyn yn benaf yr oedd ei lythyr. Eithr bernwch am y braw a'r synded a'm daliodd, pan ddarllenais y geiriau hyn; "O, fy anwyl feistr, ni byddaf byth, byth, yn gwbl alluog i ddiolch i chwi am y rhagorfraint werthfawr a gefais trwy y weddi gartrefol. O, Syr, bydd tragywyddoldeb yn rhy fyr i ddiolch i Dduw am yr hyn a ddysgais yno; yno y gwelais fy nghyflwr damniol a choll-edig, fel pechadur; yno yr adnabyddais ffordd iechydwriaeth gyntaf, ac yno yr adnabyddais werthfawregrwydd 'Crist ynof, gobaith y gogoniant.' O, Syr, caniatewch i mi ddywedyd, Nac esgeuluswch byth, byth, y cyflawniadau gwerthfawr hyny; mae genych etto deulu, a mwy o brentisiaid; ac, O, a ganiateir iddynt gael eu hail-eni yn

eich ty?" Ni's gallwn ddarllen yn mhellach.

Yr oedd pob llinell yn melltenu damnedigaeth yn fy wyneb—arswydais—crynais a brawychais y herwydd gwaed fy mhlant a fy *mhrentisiaid*, ag oedd, tebygwn, i gael ei ofyn ar fy nwylaw llofruddiog!!! Yn llawn terfysg, ac yn wlyb o ddagrau, ffoais i'r dirgel am noddfa. Taenais y llythyr o flaen Duw—ymofidiais — ymdrechais — a chwi a ellwch amgyffred yn well am fy nheimladau nag y gallaf eu darlunio; digon yw dywedyd, i oleuni dywynu ar fy enaid anniddanus, ar yr ystyriaeth am y gwaed i dynu ymaith yr euogrwydd. Rhedais yn ebrwydd at fy nheulu, gan eu cyflwyno i'r Arglwydd; ac o'r pryd hwnw hyd yn awr, yr wyf hefyd yn penderfynu, fel pa faint bynag a fo o gynydd, adael heibio yr hyn fo'n ormod, a chynnal, trwy ras y weddi gartrefol. Mae yn well bod heb ychydig o arian, na bod yn lleiddiad gwirfoddol i fy nheulu, ac yn offeryn dinystriol i'm henaid fy hun."

---

## MARSHALL AR SANCTEIDDHAD.

### At Olygydd y Drysorfa.

Barch. Syr.—Efallai mai cofus genych chwi, os nad gan eich darllenwyr, ddarfod i un o'ch Gohebwyr, er ys rhai blynyddoedd yn ol, roi annogaeth daer ar fod i rywun gyfieithu y llyfr rhagorol hwnw, "*Marshall on Sanctification*," i'r Gymraeg, ac anrhegu ei gydwladwyr âg ef.

Yn awr, os yw yr Annogydd hwnw yn fyw, ac os dygwydd iddo weled y llinellau hyn, y mae yn hyfryd genyf allel hysbysu iddo fod ei gais i raddau wedi ei gyflawni. Yn fuan ar ol yr annogaeth hòno, ymaflodd cyfaill anwyl a hoff i mi, (ac un o'ch Gohebwyr ffyddlonaf chwithau, Mr. Golygydd) yn y gorchwyl; ac y mae yn fy nwylaw i, er ys rhai misoedd bellach, mewn diwyg Gymreig.

I'r sawl a ddarllenodd y llyfr yn Saesoneg afreidiol yngan gair mewn ffordd o gymmeradwyaeth—am y gwyddant eisoes fesur ei gymmeradwyaeth yn dda. I'r Cymro uniaith, cyn belled ag yr wyf fi yn alluog i farnu, byddai yn anrheg ragorol, am yr hon (pe caffent hi) y mae yn ddilys genyf y byddai degau yn wir ddiolchgar.

Ond y cwestiwn yw, pa fodd y ceir ei ddwyn allan o'r Wasg fel y caffo ein cydwladwyr ei feddiannu? Wele y llyfr yn Gymraeg eisoes, ond pa lesiant yw hyny, tra yr erys yn farw heb ei gyhoeddi? A oes neb yn Nhywysogaeth Cymru, wedi darllen y llyfr rhagorol hwn, a garent weled ei ledaeniad yn y wlad: os oes, ysgrifened y cyfryw at ysgrifenydd y llinellau hyn, a chant weled yr Ysgrif—cydmaru y cyfieithiad—a gwybod pob peth a ewyllysiont ei wybod o barthed ei gyhoeddi.

Gan nad oedd elw, na dim o'r cyfryw, yn achosi i'm cyfaill gymmeryd y gorchwyl llafurus hwn mewn llaw—ond yn unig awydd am fod o les i ereill, yn ol y crybwyllai yr Annogydd gynt, gresyn dirfawr yw iddo gael ei daro i lawr yn ei gychwyniad—a gadael i'w lafur bydru dan ddwylaw difäol amser—heb i'w waith, o leiaf, gael ei brofi a'i ddarllen gan y genedl.

Gyda dysgwyliad pryderus y bydd i rywun aiddgar etto, dros "Marshall ar Sancteiddhad," ddyfod allan yn Gyhoeddwr iddo y terfyna yr eiddoch,

J. Phillips, (Tegidon.)

*Swyddfa y Drysorfa, Caerlleon.*

---

## ATEBION.

*Ateb i Ofyniad T. Jones, Rhifyn 123, tu dal. 277, am eglurhad ar Ezec. xiii. 19.*

Yr adnod sy fel hyn, "Ac a halogwch chwi fi yn mysg fy mhobl er dyrneidiau o haidd ac am dammeidiau o fara, i ladd yr eneidiau na ddylent farw, a chadw yn fyw yr eneidiau na ddylent fyw, gan ddywedyd o honoch gelwydd wrth fy mhobl, y rhai a wrandawent gelwydd?"

Yn y bennod hon mae yr Arglwydd yn gorchymyn i Ezeciel brophwydo yn erbyn y gau brophwydi, a'r gau brophwydesau. O ddechreu adn. 17, hyd ddiwedd y bennod, y darlunir dull y gau brophwydesau yn hudo y bobl, y rhai a fyddent mor ffol ac annuwiol a gwrando arnynt; ac yna y mae efe yn cyhoeddi eu dinystr; a thrwy hyny y modd y gwaredai efe ei bobl o'u dwylaw twyllodrus hwynt. Yn yr adnod dan sylw, gwelwn gyfran o'r darluniad o honynt. "A halogwch chwi fi yn mysg fy mhobl?" Yr oeddynt yn tynu gwaradwydd ar enw Duw drwy eu gau brophwydoliaethau. "Er dyrneidiau o haidd, ac am dammaid o fara." Dyma oedd eu gwobrwy hwynt, sef gwobrwyon o ŷd a bara a roddid iddynt gan y rhai y prophwydent ddaioni iddynt. "I ladd yr eneidiau na ddylent farw, a chadw yn fyw yr eneidiau na ddylent fyw." Nid eu lladd hwynt â'u dwylaw eu hunain; ond cyhoeddi a phrophwydo dinystr a marwolaeth ar y cyfiawn, y rhai a wrthwynebent eu traha hwynt; a chyhoeddi dedwyddwch, hir fywyd, a llwyddiant, i'r rhai annuwiol: a thrwy hyny llwfrhau y cyfiawn, fel yr ymgeisiai y gau brophwydes Noadiah ddychrynu Nehemia, a gwanhau ei ddwylaw ef yn ngwaith yr Arglwydd. Neh. vi. 14. A chaledu yr annuwiol a'r rhyfygus i barhau yn eu drygioni. Fel y dywedir yn adn. 22, "Am dristau calon y cyfiawn trwy gelwydd, a minnau heb ei ofidio, (medd Duw); ac am gadarnhau dwylaw yr annuwiol, fel na ddychwelai o'i ffordd ddrygionus, trwy addaw iddo einioes." Mae prophwydo dinystr yn cael ei alw yn ddinystrio, fel y gwelwn yn Pen. xl. 3. "Pan ddaethum i ddyfetha'r ddinas," medd Ezeciel, sef i brophwydo y cai

y ddinas ei dyfetha. Felly yma, dywedir fod y gau brophwydesau hyn "yn lladd yr eneidiau na ddylent farw;" prophwydo mewn modd bygythiol y byddai iddynt gael eu lladd, a feddylir.

Y bobl debycaf i'r gau brophwydesau hyn, yn ein dyddiau ni, ydynt y rhai sydd yn adrodd tesni, (*Fortune tellers*). Merched ydyw y rhan fwyaf o'r rhai hyny; math o gau brophwydesau ydynt, y rhai a ânt o amgylch y wlad i dwyllo gweiniaid digrefydd ac annuwiol, y rhai a gymmerant arnynt ragfynegi tynged, o lwydd neu aflwydd, yr hyn a wnant "er dyrneidiau o haidd, ac am dammaid o fara," neu am arian os bydd pobl mor ffol a rhoi arian iddynt. Mae yn drueni mawr fod y cyfryw grwydriaid twyllodrus yn tramwy gwlad yr efengyl; ac yn drueni mwy fod neb o wrandawyr yr efengyl, a phobl a ddylai wybod gwell pethau, yn cyrchu i ymofyn â'r cyfryw hudolesau, ac yn rhoddi arian iddynt. Y rhai hyn ydyw cynnaliaeth yr anwiriaid gwarthus yma. Oblegid pe bai pawb yn peidio ymofyn â hwynt, a pheidio a'u gwobrwyo, hwy a ddarfyddent yn y fan.

CYHOEDDWR

---

*Atteb i Ofyniad* MR. RICHARD DAVIES *Moel y Froches, yn Rhifyn Gorphenaf o'r Drysorfa, tu dal.* 210.

MI feddyliwn fod yr anghysondeb sydd yn ymddangos i Richard Davies, yn gynnwysedig yn hyn, sef, bod maintioli tryfesurawl Jupiter a Sadwrn wedi cael eu rhoddi, a maintioli cyfangorph y Georgium Sidus, yr hyn yn ddiameu sydd i raddau yn anghysondeb, ac fe allai y byddai yn well fel hyn:—Jupiter, ei thryfesur 89,000, yn fwy na'r Ddaear 11 o weithiau, a'i maintioli cyfangorph (*bulk*), 1,400 yn fwy na'r Ddaear. Sadwrn, ei thryfesur sydd 79,000, 9 o weithiau yn fwy na'r Ddaear, a'i maintioli cyfangorph yn 960 yn fwy. Georgium Sidus, ei thryfesur ydyw 34,000, ac yn agos i 4½ o weithiau yn fwy na'r Ddaear, a'i maintioli cyfangorph yn cyfateb i 80. Gwel R. D. nad oes llawer o annghysondeb yn bod yn awr.

L. W—s.

---

AMYNEDD Y GOFYNWR.

MAE y dyledwr yn dwyn sylw y gofynwr gydâg ef ymron i bob man, ac at bob gorchwyl. Os clyw y gofynwr sŵn morthwyl neu fwyall y dyledwr yn ei weithdy am chwech o'r gloch y boreu ac wyth o'r gloch y nos, fe erys wrtho am hanner blwyddyn; ond os gwel ef yn y chwareudy, neu os clyw ei lais yn y dafarn, fe a enfyn y *bill* i mewn am ei arian cyn nos drannoeth.

C.

CYFARWYDDYD I WNEYD BURYM DIRWESTOL.

CYMMERWCH un pwys o beillied, chwarter pwys o siwgr coch, ac un wns o halen; cymmysgwch hwynt mewn 6 chwart o ddwfr glân, yna dodwch y cwbl, wedi eu cymmysgu yn dda, ar dân marwaidd, a gadewch iddo ferwi am un awr yn gyson, (gofalwch na byddo'r tân yn rhy fywiog, nac yn rhy farwaidd), yna arllwyswch ef allan i badell bridd a'i genau yn llydan, a phan oero i naws y gwaed, neu i naws llaeth newydd ei odro, llenwch ef i fynu i gostrelau pridd, (*Stone Jars*) a chorciwch hwynt yn dda: byddwch ofalus yma etto, na bo'r naws ddim yn rhy boeth, nac yn rhy oer; yna dodwch hwynt i aros mewn lle cynnes (nid rhy agos i'r tân) am 24 awr; wedi hyn dodwch hwynt heibio at eich gwasanaeth: mae peint o hwn yn ddigon i gwnni (codi) o 12 i 15 pwys o biellied; hefyd, fe ddal y burym hwn yn ei burdeb am 6 wythnos neu yn hwy, os bydd ei le yn ddigon oer. Yn awr ferched a gwragedd dirwestol Cymru, dyma i chwi furym iachus; defnyddiwch hwn o hyn allan, ac na wariwch ragor o'ch ceiniogau am furym y tafarnau.

---

DYDDIAU GWEDDI.

PENDERFYNODD amryw bobl dduwiol yn Scotland, ymsefydlu ar ddeng niwrnod, sef dechreu ar yr ail dydd o'r Hydref hwn, hyd yr unfed dydd ar ddeg, i weddio. Felly hwy a anfonasant air drwy yr holl fyd Cristionogol, i ddymuno ar ei brodyr yn mhob man ymuno â hwynt. Yn mysg miloedd ereill, mae y Corph o Fethodistiaid Calfinaidd yn bwriadu ymuno yn yr amcan daionus hwn.

Y prif bethau i weddio am danynt ydynt a ganlyn:—

1. Gweddio dros ein holl frodyr crefyddol drwy y byd.

2. Dros ein perthynasau, ein plant, a'n cyfneseifiaid.

3. Dros freninoedd, a phawb sydd mewn awdurdod: dros ein Brenines a'r Llywyddion.

4. Am lwyddiant Sïon, Eglwys Dduw dros wyneb y ddaear.

5. Am ddychweliad y genedl Iuddewig i'r ffydd Gristionogol.

6. Am dywalltiad yr Yspryd Glân ar bob cnawd; am ddinystr Annghrist, dadymchweliad Mahometaniaeth, a Phaganiaeth; ac am i "wybodaeth gogoniant yr Arglwydd lenwi y ddaear, fel y toa'r dyfroedd y môr.

Ceidw rhai dri chyfarfod bob dydd; ereill ddau; ereill un, yn yr hwyr: pob man yn ol eu cyfleusdra. Yn y cyfamser, dymunir ar bawb chwilio yr Ysgrythyrau am addewidion Duw am y pethau a enwyd, fel ag i weddio am danynt.

# BARDDONIAETH.

## CYWYDD AR DDAMMEG YR HAUWR.

Rhyw wr o hauwr hywydd
Aeth yn dal i'w waith un dydd,
Ar dymmor teg adeg hau,
Ni bu reidiach bwriadau;
Ac union oedd amcaniad
Y dyn hwn i daenu had.
I'r perwyl fe ddarparodd,
Yd iachus, ofalus fodd:
Nid afrif gnwd o efrau
Ar y grwn, wnai hwn ei hau:
Ac heb ddim trai rhoddai'n rhydd
Dda fesur idd ei faesydd:
E brynai had heb brinhau,
I gyd y gwir yd gorau.

Er hyny medd yr hanes,
(Diau'r gwir yn gywir ges,)
Trwy fod hwn yn trafawd hau,
O fewn gwahanol fanau,
Methodd yn rywfodd i'r hâd,
Gyrhaedd man gwir ddymuniad
Y gwr; er mor gywir oedd
Ei law, mewn amryw leoedd;
Ond cyfran fechan ryw fodd,
(Ar lethrog dir) a lithrodd
Dros y ffin, am draws y ffordd,
Hynawd auffawd i'r gefnffordd;
A bu fo yno enyd,
Wenith gwyn, yn noeth i gyd,
Wedi'r hau, o eisiau âr,
Yn dew hyd wyneb daear;
Yna'r adar yn heidiau
O ddyffryn a glyn yn glau,
Yn daerion yno dyrant,
I'w gipio a'i bigo i bant:
Felly mae'n bur eglur in,'
Na fragodd hwn fawr egin.

A pheth drwy nôd anffodiog,
A syrthiodd i'r creigdir crog,
Ar le noeth crasboeth crin,
Yn edrych yn anhydrin;
Garw oedd hwn er gwreiddio hâd,
Fron erwin ddifraenariad:
Ac yno yr eginodd
Daeth i'r làn yn fuan fodd,
A bu am dro yno in,'
Olygus argoel egin;
Ond gwelwyd yn deg eilwaith
Yn ymyl y grwn, aml graith;
Gwywo'n hoedd yr oedd er hyn,
Yn raddol dan ei wreiddyn;
Yna y dydd pan y daeth
Yr haulwen fawr rheolaeth,
Uwch ben gan rwygo'r lleni
'N noeth a brwd mewn eitha bri,
A gyru i bob gorawr
Nerthol wres er lles i'r llawr,
Deifiodd, e ddarfyddodd fod,
A gwywodd fal un gawod.

Ac er gwall peth arall aeth
I'r dreiniog dir didriniaeth;
Rhyw dud agored ydoedd,
Llawn o chwyn anhyddyn oedd,
Ammharod i gym'ryd hâd,
Diau trwy eisiau trwsiad.
Ac yno pan eginodd
Am y drain efe ymdrodd;
Mieri, d'rysni'n drawsion;
Godai fyrdd gyda'i fôn:
A'r hâd yma er damwain,
Lethwyd draw, y'mhlith y drain.

Ond peth modd difeth dyfodd
Ar y maes, a thyma'r modd,
E gadd hwn drwy'r grwn i'r gwraidd
Dir âr, a daear iraidd;
Forau a hwyr i'w dwfrhau
Ef, ydoedd mân gafodau,
A heulog ffrés awelon
Yn gu i faethu ei fôn.
Nes ei ddod o nos i ddydd
I egino ar gynnydd,
A dyna wnaeth dwyn i ni,
Doreithiog ffrithiog ffrwythi;
Yn addfed gnwd cynnyddfawr,
Tew a llyfn yn toi y llawr.

Yn awr f' awen dyben da
Y w'th ammod y waith yma
Nid i ynnill clod dynion,
Neu gyrhaedd aur, yw'r gerdd hon.
Cul yw dyn,—anhawdd cael dau,
I ddal yr un meddyliau;
Dieithr dyb, y doeth a'r dwl
Ni fyddant o'r un feddwl,
'Nawr er gallel cael un call,
Ni fydd wr wrth fodd arall;
Waith dyna yw iaith dyniawn,
"Waeled i ddoeth wel'd ei ddawn."
Ni ddylai gwaelion ddoniau,
Yn sâl iawn ein hiselhau;
Ni all dawn ynnill dynion,
(Drwy wir ffas) at ras yr Ion.
O am fod drwy hynod hawl,
Yn ddyn f'ai yn feddiannawl,
O lais da, neu felus dôn,
Hefelydd i'r nefolion;
Gyda duwiol farddonol ddawn,
Er dim i agor dammegiawn.
Yn awr, wedi i ni yn ol
Allu'i thrin yn llyth'renol;
Ein nod fydd dyfod yn deg,
Odd'yma at y ddammeg;
Rhaid eilwaith ysbrydoli
Hon yn awr, a'i hagawr hi.

Gair yr Ion mewn gwir yw'r hâd,
Yn goeth drwy ei bregethiad;
Y dirion genadwri,
O orsedd Ner sydd i ni:
Dyna'r hâd o daeniad dyn,
Wedi'i wasgar sy'n disgyn,

Yn hoedd i leoedd lawer,
Gan ffyddlon genadon Ner,
Nid oes dir yn wir sydd waeth,
Na dynion digrediniaeth;
Gelynion o galonau
Yn byw ar gefn y llwybr gau;
A dylem briodoli,
Eu drych hwynt nid hwyrach i
Fin y ffordd, anhydrin âr,
Ger y berth, ddiwerth ddaear;
Ar yr hwn pan roi'r yr hâd,
Tra ëon yr un t'rawiad,
Ymosod am ei yau,
Wna'r adar erlyngar lu.
Wel, onid yw calon dyn,
Neeth galed nyth y gelyn?
Y fan rhy gyfan i'r gair,
Rhy daëog i'r hâd diwair;
A mwy anhawdd, mae yn hon,
Lu anwar o elynion;
Ni faidd y gair diwair da,
Rhag ammharch drigo yma,
Er ëonder i'w wrando,
Ni thrig hwn yn faeth i'r co';
Y diafol sydd yn dyfod,
Un o'i fath gwae ni ei fod;
Gelyn drwg ei gilwg yw,
Hen edyn gair Ior ydyw;
Nos a dydd e fydd yn faith,
Oll am ei ynnill ymaith,
A'i gael yn rydd o'r galon,
Y gair o hyd gyr o hon:
Rhag iddo yno ennyn,
A dod i ynnill y dyn,
I droi ei gred i dir gras,
Am nodded i'r man addas:
Cyn i'r gair ennyn yno,
Gwaith hawdd oedd ei ddiffawdd o.

Y rhes o'r tylwyth nesaf,
Yn y gair eu henwau gaf,
Gelwir hwynt y creigdir crâs,
Dyna iddynt enw addas.
Dyma'r sawl am dymmor sydd,
Yn gwrandaw'n llawn llawenydd;
E allai'r ant oll ar ol,
Cywir foddion crefyddol;
At yr eglwys y treiglant,
Yn dal i blith duwiol blant;
A rhoddant rai arwyddion,
Eu bod hwy'n adnabod Iôn,
Os tywydd digerydd gant,
Fal duwiol hwy flodeuant,
A mynegant mewn agwedd
Oddiallan, ran gwir hedd:
Ond amser gorthrymderau,
Ddaeth ysywaeth i neshau;
Trabludd arludd ac erlid,
Rhwystrawl, a gelynawl lid;
A thrwy y dieithr dywydd,
Oerai, diffoddai au ffydd;
Yn nydd aelari* ni ddaliant,
Coeliwn hyn, encilio wnant.

*grief.

Eto caf er gwaethaf gwall,
Enwi tir o bwynt arall;
Tir lled ddrwg i'm golwg i
A hynod ddi ddaioni;
Un noeth sâl, yn eitha' sur
Yw hwn eto wrth natur.
Glyn yw ef heb fawr glanhad,
Na mesur o gymhwysiad;
Yn ddrain byw, o ryw aml rith,
A chnaif wyllt chwyn y felldith:
Daear dost i hau'r hâd da,
Yw y dreiniog dir yna,
Wrth weled waeled ei wedd,
Y dreiniog dir dirinwedd,
Y sydd enw addas iddo,
Un heb well i'w atteb o.
Wrth y dreining dwynog dir,
Yn ddilys y meddylir,
Y dynion digred hyny,
Heb driniaeth ysywaeth sy;
Y mae'r rhai'n, mawr o honynt,
Ië'r dyrfa fwyaf ynt,
E adwaenir y dynion,
Y mhob lle y'mhebyll Iôn;
Yn gyson ymddangosant,
Heb fethu, mynychu wnant
I dŷ Duw, yn lled ddiwyd,
Dan y gair dyna i gyd;
A difraw y gwrandawant,
Heb wir effaith ymaith ant:
Ni cha'r had da, chware teg,
Yn y bryd, ond bêr adeg:
Yna yn frwd dan y fron,
Gafaelyd wna gofalon,
A swn y byd presennol,
Yno fydd ddilonydd lol;
Dyna'r petha' feiddia fod,
Yn fawrdwrdd drwy'r myfyrdod.
Aeth y gair ymaith i gyd,
Heibio fel heb afaelyd.

Och! weithiau, mi wela'n wir,
Nid toreithiog y trithir
A nodwyd; dyna'u hadwyth,
Gwyw a phrin i heigio ffrwyth;
Dilwydd a fu'r digwyddiad,
Ni fu er hyn, fai yr hâd.
Digyrith o'r ŷd gorau,
Yn gnwd hael y gwneed eu hau,
Eithr ni ddaeth yr un, na ddo,
I ateb yn dda eto,
Ond yn awr nid da i ni,
O gael hyn ddigaloni:
Llyma dir da, o'r diwedd,
Hyfryded weled ei wedd:

Maes yw hwn cymhwys i hâd,
Tra enwog o ran triniad:
Llaw foreu y llafurydd,
Mal ar dasg am lawer dydd,
A'i fyw nerth, fu'n hoew wrtho,
Er ei glod i'w drafod dro;
Nes iddo'i drwsio drosodd,
Yn ol ei arferol fodd:
Daeth i ddrych, llyfnwych 'nol llaw,
Wedi'r oged ei rwygaw.

Ond nid tir da naturiol,
Sydd wedi ei nodi'n ol:
Eithr dynion yn Sïon sydd,
Dreiglasant i'r eglwysydd;

Ac yno'n bledeuo'n deg,
Heb edwi ar bob adeg,
I gyd yn dygyd digon,
O gynnyrch mal llewyrch llon.

Hawdd yw dweyd y newydd da,
Hyn am y dynion yma,
Eu bod hwy yn byw o dan,
Driniaeth Duw Ior ei hunan;
Ar gael yn awr eu glanhau,
I ddidwyll dueddiadau;
Gwydau gant o'u tyfiant ir,
Yn raddol a ddiwreiddir;
Dirgelaidd dir y galon,
Gwellheir ef â gallu'r Ion;
A daw i heigiaw egin,
'Nol y draul o'i fanwl drin;
Mil o hwynt i amlhau,
Yn freision irdwf rasau.

Hyn weithion O! dirion Dad,
Wan was yw fy newisiad,
Yn rhwydd o ran egwyddawr,
Iti berchenogi'n awr;
Y galon hon i'w glanhau,
Yn dir i dderbyn d' eiriau:

JOHN HOWELS,

*Salem, Morganwg.* *I. Fardd Coch.*

---

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

## AGORIAD CAPELI.

### AGORIAD CAPEL NEWYDD MULBERRY ST. LIVERPOOL.

Mesuriad 67 troedfedd wrth 48.

AGORWYD y Tŷ addoli hwn, Mawrth 22, 1841, pryd y traddodwyd pregethau gwerthfawr gan ein hanwyl frodyr yn y drefn ganlynol :—

Am ½9 Mr. J. Jones, Rhyl, .. Can. 8. 5.
.. „ D. Jones, Llanllechid, 2 Cor. 10. 4.
2 „ O. Jones, Wyddgrug, Heb. 2. 3.
.. „ R. Evans, Llanidloes, Heb. 9. 22.
6 „ R. Edwards, Wyddgrug, Es. 12. 6.
.. „ D, Jones, Llanllechid, Es. 11. 12.

Yn yr odfa ddiweddaf, galwyd ar y brodyr Jones o Rhyl, a Jones o'r Wyddgrug i areithio ar Ddirwest; a chafwyd graddau helaeth o wedd wyneb yr Arglwydd ar yr holl foddion o ddechreu'r dydd i'w ddiwedd; ac yr ydym yn ostyngedig am gymeryd hyny fel ernes y bydd i'r Arglwydd breswylio yn y fangre hon o'i fynydd sanctaidd, ac y gwna Efe yn aml waith ynddi y bydd canu am dano yn oes oesoedd.

### AIL-AGORIAD CAPEL BEDFORD ST. LIVERPOOL, EBRILL 9, 1841.

Mesuriad y Capel mawr eang hwn ydyw 76 troedfedd wrth 60.

Trefn agoriad y Tŷ addoli eang hwn, sydd yn bresennol, fel y bernir, y capel mwyaf yn perthyn i gorph y Methodistiaid Calfinaidd, oedd fel y canlyn :—

Am ½9, Mr. D. Rowlands, Bala, Ioan 4.14.
.. „ H. Jones, Llanerchymedd, Mat. 11.28.
2 „ J. Jones, Capel Dewi, .. Zech. 3.9.
.. „ D. Rees, Capel Garmon, Rhuf. 6. 22.
6 „ John Jones, Llanrwst, .. Ps. 93. 5.
.. „ D. Jones, Caernarfon, .. Dan. 9. 9.

Yr oedd sawyr nefol, ac arogl esmwyth ar holl wasanaeth yr wyl hon hefyd; ein brodyr anwyl yn cael cymhorth amlwg wrth weddio a phregethu; a chafwyd prawf nad oedd y gynnulleidfa fawr yn caru yr achos ar air yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd; oblegid gwnaethpwyd casgliad haelionus ganddynt yn mhob odfa.

Mae gan y Trefnyddion Calfinaidd bellach, bump o gapeli mawrion yn y dref hon, a dau gapel bychan yn perthyn iddynt yn Sir Gaer, yn gwneyd saith o dai addoliad o gwbl; ac ar fod y nifer yma yn cael ei ystyried yn un perffaith yn y Bibl, ni thramgwyddai neb, efallai, pe bai'r cyfeillion yn y dref hon yn dechreu gwrando ar gwyn y Saeson, sydd, nid yn unig yn cyfaneddu yma er's blynyddoedd, ond sydd yn parhau i ddyfod yma i fyw o ororau Clawdd Offa, ac yn gresynu wrth gael allan nad oes gymmaint ag un capel Seisnig genym, iddynt gael gwrando yr un athrawiaeth ag arferol.

Pe adeiladid un capel newydd etto, byddai genym felly haner dwsin o gapeli yn y dref hon, sef y nifer hyny, (yn ol barn mwy nag un o weinidogion Cymru), na ddylem ymfoddloni mewn un modd nes ei gyrhaeddyd.

*Lle'rpwll.* JOSEPH WILLIAMS.

### PUMMED CYLCHWYL DDIRWESTOL LLANIDLOES.

CYNNALIWYD yr Wyl uchod, Gorphenaf 1af a'r 2il, 1841. Prydnawn y dydd cyntaf, am 6, dechreuwyd gan y Parch. J. Jenkins, America, (A.) a phregethodd y Parch. Ebenezer Williams, (T.) Pen-y-bont, Rhyd-y-cleifion, a'r Parch. G. Hughes, (W.) Aberystwyth, oddiwrth Deut. 22. 8. ac Actau 13. 41.

Boreu dranoeth, am 6, dechreuwyd gan y Parch. P. Griffiths, (A.) Llanrwst, a phregethodd y Parch. Thomas Hughes, (T.)

Machynlleth, a'r Parch, J. Jenkins, oddiwrth Diar. 10. 9. a 25. 25.

Oddeutu 9 o'r gloch, daeth Dirwestwyr y cymmydogaethau yn lluoedd i'r dref; ac wedi cyrhaedd yr Areithle, dechreuwyd gan Mr. Thomas Parry, *Sylwedydd*, (T.) Caerlleon, a dewiswyd y Parch. G. Hughes i lywyddu y Cyfarfod, a galwodd ar y canlynolion i areithio,—y Parch. P. Griffiths, y Parch. Ebenezer Williams, y Parch. E. Jones, (W.) Caerludd, a'r Parch. Thomas Hughes, Machynlleth, a dybenwyd drwy weddi gan y llywydd.

Am 1 o'r gloch, ffurfiwyd yr orymdaith; ac wedi dyfod allan o'r gwahanol gapeli, yn nghyda'r Gymdeithas Rechabaidd o'r Dirwesty, y gwelid fod nifer y Dirwestwyr yn nghylch dwy fil; ac wedi gorymdeithio drwy brif heolydd y dref, cyrhaeddwyd yr Areithle, pryd y dechreuwyd gan y Parch. E. Williams, ac yr areithiwyd gan y Parch. Thomas Hughes, Mr. T. Parry, (T.) a'r Parch. T. Edwards, (A.) Caernarfon.

Am 6, dechreuwyd gan y Parch. T. Edwards, a dewiswyd y Parch. H. Gwalchmai i lywyddu y cyfarfod, ac areithiodd y Parch. J. Jenkins, Mr. T. Parry, Parch. E. Williams, a'r Parch. G. Hughes. Gallwn dystio yn ddibetrus, mai un o'r Gwyliau goraf a gawsom er sefydliad y Gymdeithas oedd yr wŷl hon.

JOHN JONES, } *Ysgrifenyddion.*
JAMES MILLS, }

## HANESION TRAMOR.

### CHINA.

MAE y newyddion o'r wlad hon yn dangos fod yr Ymerawdwr yn penderfynu ymladd â'r Brytaniaid. Mae efe yn cyfaddef yn awr, mai ei ddyben yn llonyddu ychydig mewn ymgais am wneud ammodau heddwch â'r Cadben Elliot, oedd cael ychwaneg o amser i ymgryfhau, ac i barotoi ei filwyr i ddyfetha y Barbariaid, fel y geilw ef y Saeson. Mae mintai aneirif o filwyr yn ymgasglu gerllaw Canton i geisio gyru y Brytaniaid yn eu hol; ac mae sail gref i feddwl mai llosgi y ddinas fawr hòno fydd y diwedd. Mae y trigolion yn ffoi allan o honi eisoes, wrth y miloedd. Mae Cadben Elliot, yn yr heddwch byr, wedi llwyddo i brynu *un miliwn ar ddeg o bwysau o Dê* i'w ddwyn i Brydain, a hyny cyn Mai 18fed diweddaf; a dysgwylid y ceid cymmaint a hyny, neu ychwaneg, ar fwrdd ein llongau cyn diwedd y mis hwnw. Mae Hong Kong yn meddiant y Brytaniaid. Mae yr Ymerawdwr wedi ffyrnigo yn ofnadwy wrth y Saeson am iddynt gymmeryd Bocca Tigris oddiarno. Efe a orchymynodd ladd Keshen, ei brif Swyddog Ymerodrol, a lladd llawer o'i berthynasau hefyd am gynyg gwneud un math o ammodau heddwch â'r Barbariaid.

Y mae Syr Henry Pottinger, cenad awdurdedig, Prydain, a'r Llyngeswr, Syr William Parker, llywydd y lluoedd wedi cyrhaeddyd i Bombay, Gorphenaf 7fed, ac ar yr 17eg hwy a gychwynasant oddiyno tua China. Dywedir mai eu bwriad ydyw gwarchae ar yr holl borthladdoedd yr ochr ddeheuol a'r orllewinol i China, fel na chaffo un llong o fath yn y byd na myned i mewn iddynt, nac allan o honynt. Gwarchânt hefyd geg yr afon yn yr un modd. Maent yn bwriadu cymmeryd yr Ynys Amoy yn ddioed, yr hon sydd agos ar gyfer yr Ynys fawr Formosa: fe fydd Amoy yn llawer mwy ei gwerth na Chusan, ag oedd mor afiachus. Mae y Brytaniaid yn penderfynu ymddwyn yn dirion at y trigolion yn mhob man.

### FFRAINC.

MEDI 13eg, bu terfysg a chythrwfl yn Paris, prif ddinas Ffrainc, oblegid ddarfod i ryw ddyhiryn geisio saethu un o feibion y brenin. Ar yr amser pan oedd meibion y brenin yn myned yn gyhoeddus drwy y ddinas i wledda yn Neuilly, ar achlysur pennodol, rhedodd dyn â llawddryll yn eu ddeheulaw, ac a saethodd tuag at Duc D'Aumale. Yr oedd Duc D'Aumale yn flaenaf, a Duc Orleans, etifedd y Goron, a Duc Nemours, a Duc Montpensier, ei frodyr, yn dilyn yn agos ar ei ol ef ar y pryd. Fodd bynag, ni wnaeth yr ergyd ddim niwed i'r un o honynt, ond fe laddodd y ceffyl oedd dan y Cadfridog Vaillant, ac fe ddywedir fod y Cadfridog wedi ei friwo. Enw yr adyn hwn oedd Papart, deg ar hugain oed. Daliwyd a charcharwyd ef yn ddioed. Lled derfysglyd ydyw meddyliau amryw o'r Ffrancod. Mae yn debygol fod y Papart hwn yn perthyn i ryw gymdeithas fradwrus.

## Y SENEDD YMERODROL.

### ARAETH Y FRENHINES.

*Ty yr Arglwyddi.* Awst, 24. Agorwyd cyfarfod blynyddol cyntaf yr ail Senedd i'r Frenhines Victoria, drwy ddirprwyaeth, y dydd hwn. Oherwydd cyflwr presenol y Frenhines, cynghorai ei meddyg hi i beidio darllen ei haraeth ei hun yn bersonol y tro hwn. Felly, gwedi i Ringyll y Wialen ddu wŷsio aelodau Tŷ y Cyffredin ger gwydd Tŷ yr Arglwyddi, darllenodd yr Arglwydd Ganghellwr Araeth y Frenhines, yr hon oedd fel y canlyn:—

"*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,*

"Fe'n gorchymynir gan eu Mawrhydi i hysbysu i chwi, fod ei Mawrhydi yn defnyddio y cyfleusdra cyntaf i gael eich cynghor a'ch cynnorthwy wedi gohiriad y Senedd.

"Mae ei Mawrhydi yn parhau i dderbyn oddiwrth yr Awdurdodau Tramor sicrwydd boddlonawl o'u dymuniad i gynnal i fyny

gyfeillgarwch mwyaf caredig â'i Mawrhydi.

"Mae ei Mawrhydi yn cael y boddhad o hysbysu i chwi fod yr achos yn nghylch y cyfammod yn Gorphenaf 15, 1840, a wnaed rhwng ei Mawrhydi, Ymerawdwr Awstria, Brenin Prussia, Ymerawdwr Rwssia, ac Ymerawdwr Twrci, wedi ei lwyr gyflawni; ac mae yn hyfryd gan ei Mawrhydi ei bod yn gallu mynegi i chwi, fod yr ysgariad amserol a achlysurodd cyflawniad y mesurau yn nygiad y cyfammod i ben, rhwng y Galluoedd Cyfammodol a Ffrainc, wedi darfod.

"Mae ei Mawrhydi yn hyderu y bydd i'r undeb sy rhwng y prif Alluoedd ar bob achos a effeithia ar wirioneddol lwyddiant Ewrop, fod yn sylfaen gadarn er cynnal i fynu dangnefedd.

"Mae yn hyfryd gan ei Mawrhydi adrodd wrthych, mai mewn canlyniad i luoedd milwyr Persia ymadael o Ghorian, fod ei Mawrhydi wedi gorchymyn i'w swyddog yn Llys Persia ddychwelyd yn ol i Teheran.

"Mae yn ddrwg gan ei Mawrhydi nad ydyw y cynnadledd oedd rhwng ei chenadon llawn awdurdodedig yn China a llywodraeth China, ddim hyd yn hyn wedi dyfod i benderfyniad boddhaol, ac y bu yn angenrheidiol galw y lluoedd a anfonasai ei Mawrhydi i Foroedd China i ddyfod yn mlaen i'r ymgyrch; ond mae ei Mawrhydi yn parhau i hyderu y bydd i Ymerawdwr China weled cyfiawnder y gofyniadau y rhai y rhoddodd ei Mawrhydi awdurdod i'w chenadon i'w gofyn ganddo.

"Mae yn dda gan ei Mawrhydi fynegi i chwi fod y ffrwgwd a gododd rhwng Spaen a Phortugal, yn nghylch cyflawniad cyfammod a wnaed rhwng y galluoedd hyny yn 1830, am osod rheolau i fordwyo ar hyd afon Douro, wedi cael ei wastatâu yn gysurus, a chyda anrhydedd i'r ddwy blaid, drwy gynnorthwy cyfryngaeth ei Mawrhydi.

"Mae y ddyled y rhedodd Llywyddion Canada Uchaf iddi drwy wneuthur rhyw orchwylion cyhoeddus, yn rhwystr mawr rhag cyflawni gwelliadau angenrheidiol yn mhellach, y rhai hyny ydynt yn hanfodol angenrheidiol er llwyddiant yr Unol Daleithiau hyny. Mae ei Mawrhydi wedi awdurdodi y Llywodraethwr Cyffredinol i anfon cyfarwyddiadau ar yr achlysur i'r Cynghor a'r Gymanfa yn Canada. Rhydd ei Mawrhydi orchymyn am i'r papurau gael eu gosod o'ch blaen, ac mae yn hyderu y bydd i chwi osod eich ystyriaethau difrifolaf ar y materion ag sy'n effeithio mor ddwys ar lwyddiant Canada, a chadernid yr Ymerodraeth.

"*Foneddigion Ty y Cyffredin,*

"Yr ydym yn sicrhau i chwi, fod ei Mawrhydi yn ymorphwys mewn llawn hyder ar eich ffyddlondeb a'ch awyddfryd i ddarparu moddion digonol at wasanaeth cyffredin y Llywodraeth, yn gystal a thuag at gymhwysiad pellach o swmiau a ganiattawyd gan y Senedd ddiweddaf.

"*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,*

"Gorchymynir i ni yn fwy arbenig hysbysu i chwi fod y draul anghyffredinol a achlysurwyd drwy y dygwyddiadau a gymerasant le yn Canada, China, a Mor y Canoldir, a'r angenrheidrwydd o gynnal lluoedd cyfatebol er amddiffyniad ein meddiannau eang, wedi peri bod yn angenrheidiol ystyried rhyw ffordd i helaethu cyllidau y Llywodraeth. Mae ei Mawrhydi yn awyddus am i hyn gael ei wneud yn y modd i beri lleiaf baich ar ei phobl; ac fe ymddengys i'w Mawrhydi, wedi cyflawn ddarbwylliad, y gellwch chwi, yn y cyfwng hwn, mewn modd addas, roddi eich galluoedd meddyliol ar waith i adolygu y tolliau sydd yn effeithio ar gynnyrchiadau gwledydd tramor. Chwi a ellwch chwilio i mewn pa un a ydyw rhai o'r tollau hyn mor fychain o swm fel nad ydynt yn dwyn nemawr i fewn i'r cyllid, tra ar yr un pryd y maent yn attalfa i fasnach. Chwi ellwch ystyried yn mhellach, pa un a ydyw yr egwyddor o amddiffyniad, ar ba un y mae ereill o'r tollau hyn yn sylfaenedig, yn cael ei ddwyn yn mlaen i'r fath ehangder, ac sydd yn cyffelyb ddrygu cyllid y llywodraeth a chysuron y bobl.

"Mae ei Mawrhydi yn dymuno ar i chwi chwilio i mewn i gyfreithiau sydd yn rheoleiddio masnach mewn ŷd. Y mae i chwi i ystyried a phenderfynu pa un ai nid ydynt yn rhwystr i fasnach, yn alltudio yr arian o'r wlad, a thrwy eu gweithrediad yn lleihau cysuron ac yn chwanegu tlodi rhan fawr o'r wladwriaeth.

"Mae ei Mawrhydi yn cydymdeimlo yn ddwys iawn a'r cyfryw o'i deiliaid y rhai sydd yn awr yn dyoddef caledfyd, ac mewn eisiau gwaith, ac am hyny y mae hi yn taer weddio ar fod i'ch holl gyd-ymgynghoriadau gael eu cyfarwyddo gan ddoethineb, ac am iddynt dueddu at ddedwyddwch ei hanwyl bobl."

Yna cyfododd Iarll Spencer i gynnyg am anfon Cyfarchiad gostyngedig at y Frenhines, fel arferol. Ac Ardalydd Clanricarde a gefnogodd y cynnygiad.

Iarll Rippon a gododd i wrthwynebu, gan gynnyg gwelliant ar y Cyfarchiad, yn diweddu fel hyn:—"Ein bod ni yn teimlo yn ddyledswydd arnom ddywedyd wrth ei Mawrhydi ei bod yn hanfodol i ganlyniad boddlonawl ein cydymgynghoriad ar y materion a grybwyllwyd gan ei Mawrhydi, ac ar faterion ereill perthynol i'r wladwriaeth, fod llywodraeth ei Mawrhydi yn meddu ar ymddiried y Tŷ hwn a'r wladwriaeth, a chyda parch, hysbysu i'w Mawrhydi nad yw yr ymddiried hwnw ddim yn cael ei roddi

yn esmwyth i Gynghorwyr presennol ei Mawrhydi."

Yna areithiodd amryw Arglwyddi o blaid y cynnygiad, ac ereill o blaid y gwelliant, a rhanwyd y Ty, a chafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn Swyddogion y Llywodraeth........ | 168 |
| O'u plaid hwynt....... | 96 |
| Chwaneg yn eu herbyn.. | 72 |

*Ty y Cyffredin*, Awst 24. Wedi i'r Cadeirydd ddarllen Araeth y Frenhines, Mr. Mark Phillips a gynnygiodd anfon Arebiad at y Frenhines, yn ol arferiad y Tŷ. A Mr. John Dundas a'i cefnogodd ef.

Mr. S. Wortley a gododd i roi cynnygiad am welliant ar y Cyfarchiad, cyffelyb i'r un a gynnygiwyd ar yr un achlysur yn Nhŷ yr Arglwyddi. Ar hyn cododd dadl, yr hon a barhaodd am bedwar diwrnod, ac ar y pedwerydd dydd, sef dydd Gwener, Awst 27, fe ranwyd y Tŷ, a chafwyd,

| | |
|---|---|
| Yn erbyn Swyddogion y Llywodraeth........ | 360 |
| O'u plaid hwynt...... | 269 |
| Mwy yn ei herbyn.... | 91 |

Arglwydd John Russell a Syr Robert Peel oedd y prif areithwyr ar yr achlysur uchod. Ac anaml y gellir gweled dwy araeth mwy cyflawn a chryfion nag areithiau y gwyr hyn; y naill yn hollol yn erbyn y llall. Un yn *Whig* a'r llall yn *Tory*. Un yn flaenor ar yr hen Swyddogion, a'r llall, erbyn hyn, yn flaenor ar y Swyddogion newydd. Y rhaniad hwn yn Nhŷ y y Cyffredin, a mwy-llais y *Tories* o 91 o nifer, a drodd y fantol yn erbyn y *Whigs*, a'r canlyniad a fu, fel y gwelir yn yr hanes canlynol, i'r holl Swyddwyr roddi i fynu eu swyddau, a'r swyddwyr newydd gymmeryd eu lle hwynt. Mae hyn yn gyfnewidiad hollol yn y Llywodraeth. Beth fydd y canlyniad o hyn nis gwyddom, ond amser a ddengys. Eithr gwyddom hyn, "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Mae efe yn goruwch lywodraethu ar frenhiniaeth dynion; ac o herwydd hyny, "llawenyched y ddaear, gorfoledded ynysoedd lawer."

*Ty y Cyffredin*, Dydd Sadwrn, Awst 28. Gwnaeth Mr. Sharmon Crawford gynnygiad am anfon Cyfarchiad at y Frenhines, yn y geiriau canlynol:—"Yr ydym ni yn dymuno, mewn modd parchus, hysbysu i'ch Mawrhydi, mai ein barn ni yw, fod y cyfyngderau ag mae eich Mawrhydi yn cwyno o'u herwydd, yn cael eu hachlysuro yn benaf oddiar yr amgylchiad nad ydyw eich holl bobl yn cael eu cynnrychioli yn gyflawn ac yn ddiduedd yn y Tŷ hwn, a'n bod ni yn meddwl ei bod yn ddyledswydd arnom i ymchwilio am ryw ffordd i sangu a rheolaiddio rheolau y Pleidleisiad, ac i ddefnyddio y cyfryw foddion i wellâu y drefn fel ag i roddi y rhagorfraint i'r llaw-weithwyr i roi eu pleidleisiau yn newisiad aelodau i'r Senedd, cyn belled ag y byddo yn angenrheidiol i sicrhau iddynt eu diogelwch a'u cysuron gwladol, yr hyn y mae eu dyoddefgarwch amyneddus presenol yn rhoddi hawl cryf iddynt ei fwynhau."

| | |
|---|---|
| O blaid y cynnygiad.. | 39 |
| Yn erbyn .......... | 283 |
| Mwy yn erbyn...... | 244 |

*Y Swyddogion yn rhoi eu swyddau i fynu.*

*Ty yr Arglwyddi*, Dydd Llun, Awst 30. Daeth Arglwydd Melbourne yn mlaen, ac a ddywedodd, "Fy Arglwyddi, yn awr, mae yn ddyledswydd arnaf hysbysu i chwi, mai mewn canlyniad i'r pleidlais a wnaed yn Nhŷ y Cyffredin ddydd Gwener diweddaf, yr hwn oedd yr un yn gymmwys a'r hyn y penderfynwyd arno gan eich Harglwyddi, yn gynnarach yn yr un wythnos, yr wyf fi, ar ran fy nghyd-swyddogion, yn gystal ag ar fy rhan fy hun, wedi cynnyg i'w Mawrhydi, y Frenhines, roddi ein Swyddau oll i fynu, ac mae ei Mawrhydi wedi cymmeradwyo hyny oddiar ein llaw; ac yr ydym ni yn awr yn parhau i aros yn ein Swyddau hyny yn unig hyd oni ceodir ein Holynwyr i gymmeryd ein lleoedd." Yr oedd dystawrwydd mawr, a syndod syml yn llenwi yr holl Dŷ, tra bu ei Arglwyddiaeth yn traethu yr hysbysiad hwn. Yna gohiriwyd y cyfarfod hyd dydd Llun canlynol.

*Ty y Cyffredin*, Dydd Llun, Awst 30. Daeth Arglwydd John Russell i mewn oddeutu pump o'r gloch yn yr hwyr, pryd yr oedd y Tŷ yn llawn. Hysbysodd Arglwydd M. Hill, fod ei Mawrhydi wedi anfon atebiad i'r Cyfarchiad a anfonasid iddi ddydd Sadwrn; yr hwn a ddarllenwyd. Yr oedd yn hollol gyffelyb i'r un a anfonwyd i Dŷ yr Arglwyddi, gan ddiweddu gyda hyn o gyfnewidiad:—"Y bydd i'w Mawrhydi yn ddioed gymmeryd mewn llaw i ffurfio Gweinidogion o Swyddogion newydd."

Yna cyfododd Arglwydd John Russell i gyfarch y Tŷ, a bu dystawrwydd a gwrandawiad astud drwy yr holl Dŷ. "Yr wyf fi, eb efe, yn hysbysu i'r Tŷ, mai ar ol rhaniad diweddar y Tŷ hwn mewn perthynas i'r Cyfarchiad at y Frenhines, fod Swyddogion ei Mawrhydi wedi barnu mai eu dyledswydd oedd cynnyg i'r Frenhines ein Swyddau oll o'n llaw, gyda golwg am gael ffurfio trefn o Weinyddiaeth Swyddogol newydd. Derbyniodd ei Mawrhydi, mewn modd rhadlonaf, ein cynnygiad. Ac yn awr gwybyddwch nad ydym ni i fod yn ein Swyddau ddim yn hwy nag i [illegible] i'r Swyddogion, ein holynwyr, [illegible] ein lle." Ac yn ei araeth [illegible] es dalfyriad o'r prif achos [illegible]

y bu iddo ef a'i gyd Swyddogion ddyfod i'r amgylchiad presennol. Efe a ddywedodd hefyd, ei fod ef, tra bu yn y swydd bwysig ag yr oedd ynddi, wedi rhoi pob mynyd o'i amser, a allasai efe ei roddi, i wneuthur yr hyn a allai efe tuag at wasanaethu ei Mawrhydi, a bod yn fuddiol i'w gyd-wladwyr. Fy mod i wedi ffaelu cyflawni y mesurau a gynnygiais i'r Senedd yn ddiweddar, eb efe, nid wyf am wadu. Ond yr wyf yn tystiolaethu na chynnygiais un mesur i'r Tŷ, ond yr hyn oeddwn yn farnu, ac yr wyf etto o'r un farn, eu bod yn tueddu yn fawr er lleshad y Wladwriaeth yn yr amgylchiadau presennol. Efe a chwanegodd yn mhellach, mai os bydd eu gwaith hwy yn rhoi eu Swyddau i fynu yn tueddu er lleshad y Wladwriaeth, ac er mantais i'r bobl, y bydd iddo ef, o hyn allan, edrych yn ol ar yr hyn a wnaed y dydd hwn gyda hyfrydwch. Yna gohiriwyd y Tŷ hyd ddydd Llun canlynol, Medi 6.

---

## SWYDDOGION NEWYDDION Y LLYWODRAETH.

### YN Y CYFRIN GYNGOR :—

| | | |
|---|---|---|
| Duc Wellington | Leader of the House of Lords | Blaenor Ty yr Arglwyddi, heb Swydd |
| Arglwydd Lyndhurst | Lord Chancellor | Arglwydd Ganghellwr |
| Arglwydd Wharncliffe | President of the Council | Llywydd y Gynghorfa |
| Duc Buckingham | Lord Privy Seal | Arglwydd y Sel Ddirgel |
| Syr Robert Peel | First Lord of the Treasury | Prif Arglwydd y Trysordy |
| Iarll Haddington | First Lord of the Admiralty | Prif Arglwydd y Llyngeslys |
| Syr James Graham | Principal Secretary of State for Home Department | Prif Ysgrifenydd y Llywodraeth am y Dosbarth Cartrefol |
| Iarll Aberdeen | Principal Secretary of State for Foreign Affairs | Prif Ysgrifenydd y Llywodraeth am Achosion Tramor |
| Arglwydd Stanley | Principal Secretary of State for the Colonies | Prif Ysgrifenydd y Llywodraeth am y Trefedigaethau |
| Iarll Ripon | President of the Board of Trade | Llywydd Bwrdd Masnach |
| Arglwydd Ellenborough | President of the Board of Control for the Affairs of India | Llywydd Bwrdd Goruchwyliaeth Achosion yr India |
| Mr. Golburn | Chancellor of the Exchequer | Canghellwr y Trysorlys |
| Syr H. Hardinge | Secretary of War | Ysgrifenydd Rhyfel |
| Syr Edward Knatchbull | Treasurer of the Navy, and Paymaster of the Forces | Trysorydd y Llynges a Phrif Dalwr y Lluoedd |

### HEB FOD YN Y CYFRIN GYNGOR :—

| | | |
|---|---|---|
| Iarll De Grey | Lord Lieutenant of Ireland | Arglwydd Rhaglaw yr Iwerddon |
| Syr Edward Sugden | Lord Chancellor of Ireland | Arglwydd Ganghellwr yr Iwerddon |
| Arglwydd Elliot | Irish Secretary | Ysgrifenydd yr Iwerddon |
| Arglwydd Lowther | Postmaster General | Llythyr-Feistr Cyffredinol |
| John Nicholl, Ysw. | Judge Advocate | Barnwr Dadleuyddawl |
| Arglwydd Granville Somerset | Chancellor of the Dutchy of Lancaster | Canghellwr Duciaeth Lancaster |
| Syr F. Pollock | Attorney General | Cyfreithiwr Cyffredinol |
| Arglwydd Lincoln | First Commissioner of Land and Revenue | Prif Ddirprwywr Tir a Chyllid |
| Syr William Follet | Solicitor General | Dadleuwr Cyffredinol |
| W. E. Gladstone, Ysw. | Vice President of the Board of Trade and Master of the Mint | Is-Lywydd Bwrdd Masnach a Meistr y Bath-dy |
| Syr William Rae | Lord Advocate | Arglwydd Dadleuwr |
| Yr Anrhydeddus Sydney Herbert | Secretary of the Admiralty | Ysgrifenydd y Llyngeslys |
| Syr T. Freemantle, a Syr G. Clerk | Joint Secretaries to the Treasury | Cyd-Ysgrifenyddion y Trysordy |
| Is-Iarll Canning, ac Arglwydd Claude Hamilton | Under Secretaries for Foreign Department | Is-Ysgrifenyddion y Dosbarth Tramor |

| | | |
|---|---|---|
| Geo. W. Hope, Ysw. | Under Secretary for Colonial Department | Is-Ysgrifenydd y Dosbarth Trefedigaethol |
| H. B. Baring, Ysw | Under Secretary for Home Department | Is-Ysgrifenydd y Dosbarth Cartrefol |
| Anrhydeddus J. Stuart Wortley | Secretary of the Board of Control | Ysgrifenydd Bwrdd yr Oruchwyliaeth |
| Syr George Cockburn, a'r Gwir Anrh. H. T. Corry | Lords of the Admiralty | Arglwyddi y Llyngeslys |
| Mr. Milnes Gaskell, H. B. Baring, Ysw. Mr. Perceval, Mr. Pringle, a'r Anrh. W. Gordon | Lords of the Treasury | Arglwyddi y Trysordy |

Y TEULUWRIAETH :—

| | | |
|---|---|---|
| Iarll Jermyn | Treasurer of the Household | Trysorydd y Teulu |
| Iarll Liverpool | Lord Steward of the Household | Arglwydd Goruchwyliwr y Teulu |
| Iarll Jersey | Master of the Horses to the Queen | Meistr Meirch y Frenines |
| Arglwydd Ernest Bruce | Vice Chamberlain | Is-Ystafellydd |
| Is-Iarll Powerscourt | A Lord in Waiting | Arglwydd y Gweinyddiaeth |

## FFEIRIAU CORWEN.

Gwybydded ein darllenwyr mai fel hyn y mae y ffeiriau hyn i fod, ac nid yn hollol fel y maent ar lawr yn Rhifyn Medi, tu dalen 285.

| | | |
|---|---|---|
| Mawrth | 12, | fel arferol. |
| Ebrill | 16, | ffair newydd. |
| Mai | 22, | yn lle Mai 24. |
| Gorphenaf | 1, | yn lle Gorphenaf 14. |
| Awst | 19, | ffair newydd. |
| Hydref | 7, | fel arferol. |
| Rhagfyr | 20, | fel arferol. |

*Diogelwch teithwyr ar y ffordd haiarn.*—Ar y ffordd haiarn sydd yn rhedeg o Gaerlleon i Birkenhead am yr afon a Liverpool, yr hon a agorwyd Medi 23, 1840, fe drafaeliodd yr Agerdd Gerbydau, o hyny hyd yn awr, dros dair miliwn (3,000,000) o filltiroedd. Cludasant yn y cyfamser ychwaneg na dau gant a dau-ar-bymtheg a deugain o filoedd, a naw cant a deg a phedwar ugain (257,990) o deithwyr rhwng y naill dref a'r llall, sef Caerlleon a Liverpool, a hyny heb gymmaint ag un dygwyddiad anghysurus i neb o'r trafaelwyr, nag i un o'r cerbydau, mewn modd yn y byd.—*Chester Chronicle, Medi* 3, 1841.

*Angau disyfyd.*—Dydd' Mawrth, Medi 14eg, gwr ieuanc o'r enw Isaac Beeton, a briodwyd â merch ieuanc yn Nghaerlleon. Efe a feddwodd yn dost ar ddydd y briodas, a chafwyd ef wedi marw yn ei wely, wrth ystlys ei wraig, boreu dranoeth! O feddwon! pa bryd y cymmerwch rybydd, ac y derbyniwch addysg?

Y GYMDEITHAS GENADOL GYMREIG.

Hoffus Gyfaill.—Caniatewch i mi gongl yn y Drysorfa nesaf i ddychwelyd diolchgarwch dros "Y Gymdeithas Genadol Gymreig," (neu yn hytrach, fel y penderfynwyd yn Nghymanfa Gorfforedig Aberystwyth ei galw o hyn allan, "Cymdeithas Genadol Dramor y Trefnyddion Calfinaidd,") am y symiau canlynol, y rhai a dderbyniwyd yn ddiweddar at wasanaeth y Gymdeithas, sef oddiwrth Mrs. Davies, Carnachenwen, Sir Benfro, £10; o Gastell Newydd yn Emlyn, trwy law Mr. Thomas, £6; ac o Lundain, trwy law Mr. L. Pierce, £1. 3s. 9c.—Yr eiddoch, &c.

*Liverpool.* JOHN ROBERTS

## MARWOLAETH.

AWST 8fed, bu farw Mr. James Powell Fron, gerllaw Pont Cysyllte, yn 58 mlwydd oed. Yr oedd wedi bod yn broffeswr hardd o enw yr Arglwydd Iesu Grist yn Pont Cysyllte agos o ddechreuad yr achos yn yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd; a chafodd gymmorth i barhau hyd y diwedd, a gorphenodd ei daith yn gysurus iddo ei hun, ac er llawenydd mawr i'w deulu a'i gyfeillion. Cyn cychwyn y corph i dŷ ei hir gartref, pregethodd y Parch. Daniel Roberts, oddiar Job 14. 10.

## ENGLYN

*I'w osod ar faen coffadwriaeth tri o blant Mr. Timothy Davies, Cribin-Ystrad, yn mynwent Llanwnen, Ceredigion.*

Gu em rywiawg, *Maria,*—a *Dafydd*
Fab difaloh, sydd yma,
A'u chwaer dawel *Amelia*
Heb loes oer, nac unrhyw bla.

JOHN LEWIS

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXXI.] TACHWEDD, 1841. [LLYFR XI.

## COFNODAU O BREGETH

A DRADDODWYD GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN ELIAS,* YN NGHAPEL Y TREFNYDDION CALFINAIDD, CAERLLEON, HYDREF 26, 1828.

Rhuf. v. 10.

"Canys os pan oeddym yn elynion, y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef; mwy o lawer wedi ein heddychu, y'n hachubir trwy ei fywyd ef."

MAE yr Apostol yn nechreu y bennod hon yn dangos dedwyddwch y rhai sydd yn credu yn Nghrist. 1. Maent mewn heddwch tuag at Dduw. 2. Maent mewn cyflwr dedwydd yn y byd hwn. 3. Mae ganddynt obaith, ar sail dda, am ogoniant yn y byd a ddaw. "Y mae genym heddwch tuag at Dduw:" gwaetha'r byd hwn yw gorthrymder; ond y mae'r duwiol "yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Mae llawer gobaith yn cywilyddio, a'r gobeithiwr yn cywilyddio o'i blegyd, ond gobaith da trwy ras, ni chywilyddia byth—y sail yw tystiolaeth y digelwyddog Dduw, yr hwn y mae ei gariad yn anfeidrol, tuag at y rhai a'u hofnant ef, &c. "Cariad Duw wedi ei dywallt"—datguddiad o gariad Duw.

Y prawf o'r cariad. "Canys Crist pan oeddym ni etto yn weiniaid," &c. Dyma y prawf mwyaf o gariad Duw tu ag atom ni; Crist yn marw dros y gweiniaid—annuwiol—pechaduriaid—gelynion, &c. "Oblegyd braidd y bydd neb farw dros y cyfiawn," un wedi ei gollfarnu i farw ar gam, heb wneud dim yn haeddu marw—ond "dros y da," yr elusengar—y cymmwynasgar, &c. "ysgatfydd fe feiddia un farw hefyd." Ond mae Crist wedi marw dros "yr annuwiol."

"Pan oeddym ni etto yn weiniaid." Mae yma gyfeiriad at ddyn wedi syrthio i bydew dwfn, a'i esgyrn wedi tori, ond rhyfedd, Crist a fu farw dros y gweiniaid—rhyfeddach, gelynion, "pan oeddym yn elynion y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab."

Yr unig ffordd i heddychu â Duw, yw, trwy farwolaeth ei Fab ef. Ni allasai Duw yn unol â'i holl briodoliaethau achub neb ond trwy farwolaeth ei Fab ef. Rhesymau yn profi hyn. 1. Mae dweyd y gallasai ffordd arall yn rhoddi dirmyg ar ddoethineb Duw: dyn annoeth fyddai yr hwn a wariai filoedd o bunnau i geisio rhyw beth, ag yntau i'w gael am ychydig o geiniogau. 2. Mae yn rhoddi cwmwl ar gariad Duw at ei Fab, dryllio ei Fab yn afreidiol y buasai Duw!!!

I. Dyma y Person anfeidrol "ei Fab ef"—nid ei Fab trwy greadigaeth, fel y mae yr angylion; na thrwy fabwysiad, fel dynion; ac nid ar gyfrif ei gnawdoliaeth. Ond ei dragywyddol Fab—ac nid ar gyfrif ei gyfryngwriaeth, oblegid y Mab a gymmerodd gyfryngaeth. Mab gogyfuwch—gogyhyd drag'wyddol â'r Tad—gwir Dduw. Mae enwau anghyfranogol y Duwdod arno, gelwir ef JEHOFA; nid oes neb yn JEHOFA ond Duw. Mae Crist yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Priodolir trag'wyddoldeb—anghyfnewidioldeb—Hollbresenoldeb—Hollalluogrwydd, &c. iddo.

II. "Marwolaeth ei Fab ef." Cyn marw yr oedd yn rhaid iddo gymmeryd natur dynion—a lle dynion. Nid oedd dichon iddo farw, yn ol natur pethau, heb gymmeryd natur dyn; ac heb iddo gymmeryd lle dynion, ni allasai marwolaeth ymaflyd ynddo; ac heb fod pechod ynddo, neu yn gyfrifedig arno. Mae marwolaeth Crist i'w ystyried yn 1. Fel aberth: nid fel merthyr y bu Efe farw, ond aberth. 2. Cosbedigaeth, sef peth cyfiawn;—"cosbedigaeth ein heddwch ni." 3. Pridwerth—rhoi ei einioes yn bridwerth, i gael carcharorion yn rhydd.—Heddychu â Duw—fe ddyoddefodd i gael yr heddwch. Nid fe wnaed yn bossibl i ni gael heddwch, ond "ein heddychwyd." Mwy o

lawer wedi ein heddychu, &c. Yr oedd cariad Duw mor fawr a rhoddi ei Fab i farw drosom, a ni yn elynion; ac oni fydd mor fawr i wrando ei Fab yn eiriol drosom, a ninnau wedi ein gwneud yn gyfeillion?

Ystyriwn drachefn,

I. Fod y rhai a heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab, tra yn y byd hwn, mewn peryglon.

II. Mae y sicrwydd mwyaf yr achubir hwynt.

I. Fod y rhai a heddychwyd mewn peryglon, &c. Gallant ddweud "mor aml yw fy nhrallodwyr," &c. Y mae peryglon mawrion,

1. O herwydd llid Satan atynt. Yr oedd Satan o'r blaen cyn eu heddychu, yn gwenieithio iddynt, gan ddweud mai eu cyfaill ydoedd—yr oedd yn eu dallu gan ddweud ei bod yn dda ymlaen:—ond pan heddychwyd hwy â Duw fe droes—ac fe dynodd y gelyn ei orchudd, ac a ddangosodd pwy oedd. (1.) Maent mewn perygl o herwydd ei ddichellion, "nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef"—megis y twyllodd y sarph Efa, &c. Byddai oes dyn yn rhy fer i olrhain ei ddichellion ef.—(2.) Mae ei hudoliaethau yn beryglus. (3.) Ei nerth, mae yn gryf, ac yn arfog; "llew rhuadwy" ydyw.

2. Oddiwrth y byd. Mae y byd yn eu casâu—gellir dywedyd am rai, "ni ddichon y byd eich casâu chwi."—Ond am y rhai a heddychwyd—y mae y byd yn eich casâu chwi—yn ei wên, ac yn ei wg;—lladd sydd yn ei ddyben bob amser.

3. Oddiwrth y cnawd. "Chwantau cnawdol yn rhyfela yn erbyn yr enaid"—gelyn yn y tŷ—yn y ddinas yw hwn. "Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffŷ;" ond ni ffŷ y gelyn hwn.

4. Oddiwrth brofedigaethau. (1.) "I'w profi," nid yn geryddon am ryw fai; fel hyn yr oedd Job; rhoddwyd ef yn y ffwrn—dyben Duw oedd ei brofi—fel y byddai iddo ddyfod allan fel aur. (2.) Yn geryddon mawrion am eu beiau. Fe oddefir y pechod mwyaf ysgeler yn yr annuwiol heb gerydd, ond os meddwl y plant am dano, fe'u ceryddir; ond y trymaf o'r ceryddon yw cuddiad wyneb Duw, a'r gelynion yn gwaeddi, "pa le y mae dy Dduw?"

II. Ond er maint eu trallodion fe'u hachubir, (1.) Yn y byd er gwaetha'r diafol a'i lid—mae weithiau mor gywilyddus a chyhuddo eu Duw—ond fe'u hachubir yn nghanol eu peryglon—"ffyddlon yw Duw"—pan oedd Paul yn gweddio, o herwydd cennad Satan, fe ddywedodd Crist "digon i ti fy ngras i." (2.) Yn y diwedd o gyrhaedd Satan: ni ollwng ef saeth ar eu hol mwy.

Y ffordd yr achubir hwy—"trwy ei fywyd ef"—yn eiriol fry—"mae efe yn byw bob amser i eiriol drostynt"—Ei fywyd yn eiriol dros y rhai a heddychwyd â Duw a feddylir yma. (1.) Mae yn eiriol am faddeuant iddynt: "o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr. (2.) Am eu sancteiddio yn y gwirionedd. (3.) Eu dal yn ngwyneb gwendid. (4.) Ei lawenydd Ef yn gyflawn iddynt. (5.) Derbyniad i'w gweddiau. (6.) Ei dal yn angeu. (7.) Eu derbyniad adref i deyrnas nef. "Yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi," &c. Pa fath Eiriolwr yw ef? Hollbresennol—Hollalluog—un perffaith dderbyniol gan y Tad—yn eiriol ar sail yr Iawn—fe fydd yn sicr o lwyddo—un yn gweled dyfnder eu trallodion, &c. Fe'u "hachubir trwy ei fywyd Ef." Dyma ddwy fraint i'r gweiniaid—marwolaeth Crist i'w rhwystro i lawr, a'i eirioiaeth i'w tynu i fynu. A heddychwyd chwi â Duw? Os na heddychwyd chwi, yr ydych yn y perygl mwyaf; ac er hyny na anobeithiwch, mae ffordd i heddychu.—Y rhai sydd yn yr heddwch, ac yn ofni myned dan draed eich gelynion, cyfodwch eich golwg i fynu ato Ef, yr hwn a ddywedodd, "byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd."

YSGRIF. GAN NIBAL.

---

TYSTIOLAETH Y DR. OWEN AR BRYNEDIGAETH.

SYR,—Gan fod gwrthwynebwyr Calfiniaeth mor ymdrechgar i gamddarlunio yr athrawiaeth hono; ac yn haeru mor fynych nad oes modd dal Prynedigaeth neillduol heb wadu anfeidroldeb yr Iawn, mi feddyliwn y byddai yn fuddiol i chwi roddi lle i'r dyfyniadau canlynol, allan o waith yr enwog Dr. Owen. Nid oes neb wedi ysgrifenu yn fwy galluog nag ef i brofi fod perthynas neillduol rhwng yr Iawn a'r etholedigion; ac etto, yn ei Draethawd *o blaid Prynedigaeth neillduol, (Death of Death in the Death of Christ,)* yr ydym yn darllen fel y canlyn. Os argreffwch y llinellau hyn yn y Drysorfa, hyderaf y rhoddant daw ar lawer sydd yn ofer-siarad am bethau heb eu deall. A. B. C.

Tu dal. 174. "Gwirionedd tra sicr yw, fod gwaed Crist yn ddigonol at fod yn bridwerth dros bawb oll, fel y dangoswyd o'r blaen: oherwydd iddo fod yn bridwerth dros bawb, neu dros rai, nid yw yn cyfodi oddiwrth y digonolrwydd, y gwerth, a'r gwiwdeb sydd ynddo o'i ran ei hun, ond oddiwrth fwriad Duw a Christ, yn ei ddefnyddio i'r cyfryw ddyben, fel y dywedwyd o'r blaen: ac am hyny yr ydym yn gwadu fod gwaed Crist yn dâl ac yn bridwerth dros bawb oll o ddynolryw, nid am nad ydoedd yn ddigonol, ond am nad ydoedd yn bridwerth."

Drachefn, tu dal. 175. "Er anrhydedd Iesu Grist ein Cyfryngwr, Duw a dyn, ein Prynwr holl-ddigonol, yr ydym yn gwirio y cyfryw, ac mor fawr ydoedd gwerth a gwiwdeb ei farwolaeth a thywalltiad ei waed ef, mor dra gwerthfawr, mor annherfynol gyflawn a digonol ydoedd ei waith pan offrymodd efe ei hun, hyd onid ydoedd yn mhob modd yn alluog a pherffaith ddigonol, i brynu a chyfiawnhau, cymmodi ac achub holl bechaduriaid o fewn y byd, ac i foddloni cyfiawnder Duw am holl bechodau dynolryw i gyd, a'u dwyn hwynt bob un i dragywyddol ogoniant."

"Yn awr, y mae'r cyflawnder a'r digonolrwydd hyn o haeddiant marwolaeth Crist yn sail i ddau beth: 1. I'r cyhoeddiad cyffredinol o'r efengyl i'r holl genedloedd, yn nghyd a'r hawl sy ganddi i gael ei phregethu i bob creadur, Mat. xxviii. 27. Marc xvi. 16. am fod y ffordd o iachawdwriaeth y mae hi yn ei chyhoeddi yn eang ddigon i bawb oll rodio ynddi. Mae digon yn y feddyginiaeth y mae hi yn ei amlygu i iachau eu clefydau oll, a'u gwaredu oddiwrth eu holl ddrygau. Pe byddai mil o fydoedd, gallai efengyl Crist, ar y sail hon, gael ei phregethu iddynt oll i gyd, am fod digon yn Nghrist er iachawdwriaeth iddynt oll, os bydd iddynt bwy ond tynu rhinwedd oddiwrtho, trwy gyffwrdd âg ef mewn ffydd, yr unig ffordd i dynu adfywiad allan o'r ffynon hon o iachawdwriaeth."

Drachefn, tu dal. 176. "Mae y digonolrwydd hwn a ddarluniasom, (meddaf) yn sail ddigonol i bregethu yr efengyl i bob dyn."

Nid yw hyn ond ychydig allan o lawer; ond y mae yn ddigon i ddangos beth oedd barn y Duweinydd mawr hwn, ac y mae yn anghraifft o athrawiaeth y Calfiniaid yn mhob oes.

## CYMDEITHASFA AMLWCH,

Mehefin 24, 25, 1841.

(*Parhad o du dalen 292.*)

Am 6 y boreu, yn Addoldŷ y Trefnyddion, dechreuwyd gan y Parch. Thomas Prothero, Brycheiniog, a phregethodd y Parch. Wm. Jenkins, Caerfyrddin, Act. xxvi. 28, 29. "Yr wyt ti o fewn ychydig i'm hennill i fod yn Gristion."

Yn flaenorol yr ydym yn cael hanes Paul yn ymddangos o flaen y brenin Agrippa. Y mae yn cael rhagorfraint fawr—"cael cenad i ateb drosto ei hun;" yna mae yn adrodd i'r cyngor "ei fuchedd o'i febyd—ei dröedigaeth ar y ffordd—a'i weinidogaeth, am ba achos yr oedd yn sefyll i gael ei farnu." Dywedai wrthynt yn hyf, nad oedd yn pregethu dim yn amgen nag a "ddywedasai Moses a'r prophwydi y delent i ben;" a'r peth cyntaf a bregethodd oedd dyoddefaint Crist, a'r adgyfodiad o feirw, &c.

Yr athrawiaeth a godaf o'r geiriau yw "Bod yn Gristion."

Mater pwysig iawn yw hwn. Y mae wedi bod yn drallod a thrafferth nid bychan ar lawer oblegyd hwn:—cwsg yn cilio—cnawd yn curio—chwant yn pallu—marw yn y golwg—ac uffern a'i harteithiau yn ymagor o flaen dirnadaeth y dyn.

1. Yr ydym oll yn Gristionogion mewn enw, oblegid ein geni mewn gwlad Gristionogol.

2. Oblegid bedyddiwyd ni a'r bedydd Cristionogol. Ond y pwnc yw, beth a'n gwna yn Gristionogion gwirioneddol? Cael "yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw: yr hwn a'n heneiniodd ni i hyn yma yw Duw." Y mae yr eneiniad yn gwneud llawer o bethau i bawb, ar bawb, ac yn mhawb a'i caffo.

1. Y mae yn dwyn ato ei hun: y peth a ddywedir am yr afradlon yw, "a phan ddaeth ato ei hun."

2. Dwyn at Grist: dwyn y colledig i weled ei golledigaeth, yna ei ddwyn "at Geidwad abl i'w gadw."

3. Ei ddwyn at grefydd: "ni a adawsom bob peth ac a'th ganlynasom di." Dwyn i *ganlyn* Crist, a dwyn i *arddel* Crist. Enwau rhagorol yw y rhai'n, Crist a Christion.

"Ennill i fod yn Gristion:" dyma bwnc o'n hoebr ni, fel dyledswydd i geisio ennill rhai at Grist. Mae y gwr sydd yn Gristion, am ennill rhai at Grist. Mae y gwr sydd yn Gristion am ennill y wraig, a'r wraig y gwr; y rhieni am ennill y plant. O! mor fawr yw ymdrech rhieni Cristionogol am gael eu plant at Grist. Planu egwyddorion Cristionogol ynddynt yn foreu, fel pan yr heneiddiont, y byddont "yn dirf ac iraidd" yn eglwys Dduw: "cyfeirio eu traed yn ffordd y bywyd, (yr hon yw Crist) fel pan yr heneiddiont nad ymadawont â

hi." Yr oedd Lot yn hynod yn hyn; pan ei rhybuddiwyd o ddinystr Sodom, &c. aeth allan, a llefai "codwch, ewch oddiyma, y mae yr Arglwydd yn myned i ddinystrio y lle hwn." Wrthodwyr Crist! dewch oddi yna, na sefwch yn hwy ar wastadedd "ymgynghori â chig a gwaed," y mae yr Arglwydd wedi arfaethu dinystrio y lle yna; codwch! gwnewch frys; onidê, byddwch yn ffaglu yn y fflamau difäol! Galiwn gyrhaedd tir pell gyda chrefydd, etto, "o fewn ychydig." Yr Arglwydd a'n gwnelo yn gwbl oll. Peth o fewn a ddeil yn nydd yr ystorom fawr, yn nhônau marwolaeth! am hyny llefwn yn barhaus nes cael gafael yn y bywyd tragywyddol; ac wedi ei gael eich hunain, na chysgwch yn dawel nes i bawb o'ch amgylch fod yn feddiannol arno. Amen.

Am 10 Dechreuwyd gan y Parch. W. Williams, Manchester, a phregethodd y Parch. William Havard, Deut. xxxiv. 29. "Gwynfydedig wyt o Israel, pwy sydd megis ti, &c.

Yn y bennod hon y cawn hanes Moses yn bendithio llwythau Israel. Yn flaenorol i'r testyn, y mae yn dangos pa mor fawr yw Duw—"yr hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw yn Jah! etto er mor fawr yw, y mae yn blaid i'w bobl. Wedi bendithio'r llwythau, y mae yn y testyn yn tori allan mewn gorfoledd a syndod, "Gwynfydedig wyt o Israel.

Yn y testyn, ni a welwn bedwar peth.

I. Israel, beth feddylir wrth y gair Israel yn y Bibl?

1. Rhoddir ef i'r saint dan bob goruchwyliaeth, yr Hen Destament a'r Newydd. Defnyddia Paul ef wrth ysgrifenu at y Galatiaid, pen. vi. 16. "Ac ar Israel Duw." Y peth a wahaniaetha rhwng Israel a'r cenedloedd oedd, "enwaediad y cnawd:" a'r peth a wahaniaetha rhwng "Israeliaid yn wir" a'r byd annuwiol yn awr yw, "enwaediad yr ysbryd, neu'r galon.

2. Gelwir y saint yn Israel, am eu bod wedi cael *meddwl* Duw. Gofynai Paul gynt, "Pa ragoriaeth oedd i'r Iuddew?" a'i ateb oedd—"darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw:"—felly y saint yn ein hoes ni. "Y mae efe yn mynegi ei eiriau i Jacob, ei ddeddfau a'i farnedigaethau i Israel." Wel, y mae yn gwneud felly i bawb, na, "ni wnaeth felly ag un genedl." Y mae yn amlygu ei feddyliau dirgelaf i'w bobl; oblegid meddai'r Salmydd, "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda y rhai a'i hofnant ef." "Caiff y rhai'n wybod ei *secrets*, gan eu bod yn perthyn i'r *friendship*." "Nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." "Ac a wyddom ddyfod Mab Duw," pa fodd, "ac efe a roes ini *feddwl*, dyma fwy na'r *globe—Y meddwl! Y meddwl* am Dduwdod y Cywir bwnw: O! pe bai y *meddwl* hwn gan y Sociniaid, byddai *golwg* a *meddwl* arall ganddynt am Fab Duw! Pa lwybr y mae pobl y meddwl yma yn ei drafaelu? Dyma'r darluniad a rydd y *meddwl* datguddiedig o honi—"Ffordd, a ffordd sanctaidd y gelwir hi, yr halogedig nid â ar hyd-ddi," paham? am eu bod *hwy yn halogedig*, a *hithau yn sanctaidd*: gwell ganddo ef droedio y *mud*, a gorwedd ynddo "fel yr hwch yn y dom." "Hwy (y cyfeiliornwyr) a dwyllent lawer, ïe, pe byddai bossibl; gair *noble* yw hwn, "pe byddai bossibl yr etholedigion."

3. Maent fel Israel mewn cyfammod a'r Arglwydd.—"Pobl agos at yr Arglwydd."

(1.) Agos o ran *perthynas*:—Efe yn Dad iddynt, a hwythau yn blant iddo ef.

(2.) Agos o ran *cymdeithas*:—"A'n cymdeithas ni sydd gyda'r Tad, a chyda ei Fab ef Iesu Grist."

(3.) Agos o ran ei *serch*:—"Eu hymarweddiad yn y nefoedd—felly a'u serch ar y pethau sydd uchod."

Ond i wneud sylwadau manylach; maent fel Jacob,

1. Yn ddysyml: (Saesoneg—*plain man*) dyn gonest—cywir, felly yr holl saint. Mae gwirionedd oddi mewn: gonestrwydd yn y galon: gonestrwydd mewn natur: gonestrwydd mewn crefydd.

2. Yn selog: yr oedd sel yn gyflawn ar y Pen: "sel y tŷ a'm hysodd." Os oes undeb rhyngoch a'r Pen, yna mae rhywfaint yn d'od i'r aelodau; ond dim i'r glun bren, mae hon wedi ei *strapio* yn bur hardd, ond nid oes bywyd ynddi.

3. Yn ymdrechgar mewn gweddi fel Jacob. Nid oes duwiol ar y ddaear na ŵyr am afael ryw bryd, ond gŵyr hefyd am fethu cael gafael. "Ni'th ollyngaf," hyd ba bryd? "oni'm bendithi."

II. "Yn bobl gadwedig."—Ni raid dweud yn Amlwch heddyw nad oes neb wrth natur yn gadwedig. Mae pawb yn rhwym i dragywyddol gosp.

1. Fe gynwys colledigaeth, ddallineb ysbrydol: dyn heb wel'd perygl ni ddianc.

2. Condemniad barnol: y *sentence* o'r orsedd yw, "gan farw byddi farw."

3. Heb berthynas rhyngddo â Duw mewn cyfamod o ras: felly yn was i bechod: ac os gwas i bechod, derbyn ei gyflog yn y pen draw—marwolaeth. Ac nid oes angel yn y nef, na diafol yn uffern, a ŵyr eithafion y marw yma.

4. Heb gredu i'r Mab yr oedd yn ddamniol pe buasai heb *waredwr*, ond ei *wrthod*, ac yntau yn cynyg ei hun iti, sydd yn *ddwbl* ddamniol.

5. Digofaint Duw "yn aros arno ef." Ple mae'r gawod yr ydych yn ein dychrynu ni â hi? Yn y cwmwl y mae heddyw; fe'i harllwysir yn fuan. "Cadwedig gan yr Arglwydd." Nid oes ond un ffordd, ac mae un, a thyma hi, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist a chadwedig fyddi."

Trwy undeb ag ef "y dianghaf byth gan fy Marnwr." O! diolch am ffordd i basio uffern drist.

III. O'r Arglwydd y mae hyn: "cadwedig gan yr Arglwydd." Ei threfnu gan y Tad—ei gweithredu gan y Mab—ei chymhwyso gan yr Ysbryd Glan. Y mae gwaith yr Ysbryd i gymhwyso'r drefn at gyflwr y colledig, tuag at ei gadw mor angenrheidiol a gwaith y Tad yn trefnu "yn y cyngor hedd,"—a gwaith y Mab yn prynu ar y pren: cynwys gwaith yr Ysbryd aileni, a sancteiddio.

1. Argyhoeddi, neu aileni: cael barn angeu ynom ein hunain, a llefain fel Paul, "a'm cair ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun," &c. cyfrif pawb a phob peth yn dom a cholled er mwyn Crist.

2. Glanhau, neu sancteiddio. Dyma ddyben yr oll o'r drefn;—Ethol fel y byddem sanctaidd—prynu oddiwrth bob anwiredd—a'i gosod yn ogoneddus iddo ei hun, heb arni na brycheuyn na chrychni. O! ryfedd drefn! wrth fodd Duw, a llon'd dymuniad dyn.

IV. O ganlyniad, maent yn "wynfydedig." "Gwnyfydedig wyt O! Israel."

1. Y mae yn oleu rhyngddynt â Duw:—fel Stephan, "y nef yn agored" iddynt i'w cynorthwyo yn eu cyfyngder, a'u derbyn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr.

2. Anian addoli a gwasanaethu Duw oddimewn: "cyfranogion o'r dduwiol anian." Yr enaid o anian yn ymhyfrydu yn mhethau Duw, fel yr adar yn yr awyr—pysg yn y môr, &c. yma mae eu helfen hwy.

3. Hawl i addewidion: ychydig mewn llaw—digon yn y banc! Pe bait yn mol pysgodyn, tâl i ti anfon *note* i'r banc, ti gei y *cash!*

4. Pob peth tan fendith: byd, bywyd, ac angeu; pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw.

5. Marw mewn hedd: "O angeu pa le mae dy golyn?" Y mae yn wir y ceidw angeu dy gorph hyd fore'r codi o lwch y llawr, ond ni bydd ganddo golyn i ti grediadyn.

Dau gyngor cyn diweddu.

1. Gweddia am y gwir—llef am adnabod Crist; ar ol adnabod, cred ynddo, yna "gwyn dy fyd di."

2. Os cefaist adnabyddiaeth o hono drwyddi, cred ynddo, a phaid ag ymollwng a digaloni.

(1.) Oblegyd, pwy sydd megis ti o ran cyfoeth: "pob peth yn eiddo chwi." &c.

(2.) Oblegyd, pwy sydd megis ti o ran anrhydedd: "yn offeiriaid a brenhinoedd i Dduw a'i Dad ef," &c.

(3.) Oblegyd, pwy sydd megis ti o ran pleser: mwynhau ac ymbleseru gyda'r teulu dedwydd sydd wedi cyrhaedd pen eu taith; "eistedd gydag Abraham, Isaac, a Jacob, yn nheyrnas nefoedd," a sugno cysuron di drai o dywyniadau hyfrydol wyneb siriol Adda'r ail!

R. WILLIAMS.

*Mathafarn, Mon.*

(*I'w barhau.*)

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### DOS. IV.—IDUMEA.

[Parhad o du dal. 295.]

IDUMEA, neu Edom, ydoedd wlad Esau mab Isaac, a brawd Jacob. Y wlad hon ydoedd y terfyn deheuol i Judea; ond er fod y bobl yn disgyn o Isaac fel yr oedd yr Israeliaid, yr oeddynt yn elynion i'r Iuddewon. Hwy a unasant gyd â Nebuchodonosor, pan y gwarchaeodd ar Jerusalem, ac a'i cymhellasant ef i'w dynoethi gyd â'i theml hyd y sylfaen. O achos eu heulunaddoliaeth, eu drygioni, a'u gelyniaeth at bobl ac addoliad Duw, cyfarwyddwyd Esaia i ysgrifenu, ynghyd ag ereill, y rhagddywediadau dychrynllyd a ganlyn:—"Canys fy nghleddyf a drochir yn y nefoedd: wele, ar Edom y disgyn i farn, ac ar y bobl a ysgymmunais. Canys mae i'r ARGLWYDD aberth yn Bozra, a lladdfa fawr yn nhir Edom. Cyfyd hefyd yn ei phalasau ddrain, danadl, ac ysgall o fewn ei cheurydd: a hi a fydd yn drigfa dreigiau, yn gyntedd i gywion yr estrys," Esa. xxxiv. 5, 6, 13. "I mi fy hun y tyngais, medd yr ARGLWYDD, mai yn anghyfannedd, yn warth, yn anialwch, ac yn felldith, y bydd Bozra; a'i holl ddinasoedd yn ddiffeithwch tragywyddol. Dy erwindeb a'th dwyllodd, a balchder dy galon, ti yr hon ydwyt yn aros y'nghromlechydd y graig, ac yn meddiannu uchelder y bryn: er i ti osod dy nyth cyn uched â'r eryr, myfi a wnaf i ti ddisgyn oddi yno, medd yr ARGLWYDD. Fel yn ninystr Sodoma a Gomorrah, a'i chymmydogesau, medd yr ARGLWYDD; ni phreswylia neb yno, ac nid erys mab dyn ynddi," Jer. xlix. 13. 16. 18. "Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD Dduw; wele fi i'th erbyn di, mynydd Seir, estynaf hefyd fy llaw i'th erbyn, a gwnaf di yn anghyfannedd ac yn ddiffeithwch. Am fod genyt alanasdra (neu ddigter) tragywyddol, a thywallt o honot waed meibion Israel â min y cleddyf, yn amser eu gofid, yn amser diwedd eu hanwiredd hwynt: am hyny fel mai byw fi, medd yr ARGLWYDD Dduw, mi a'th wnaf di yn waed, a gwaed a'th ymlid di. Gwnaf di yn anrhaith tragywyddol, a'th ddinasoedd ni ddychwelant; fel y gwypoch mai myfi yw yr ARGLWYDD," Ezec. xxxv. 3, 5, 6, 9. "Oni ddinystriaf y dydd hwnw, medd yr ARGLWYDD, y doethion allan o Edom, a'r deall allan o fynydd Esau? Dy gedyrn di, Teman, a ofnant; fel y torer ymaith bob un o fynydd Esau trwy laddfa:

ac ni bydd un gweddill o dŷ Esau; canys yr Arglwydd a'i dywedodd." Obad. adn. 8, 9, 18.

Teithiwr deallus a sylwa, "Oddiwrth adroddion Arabiaid Bacir, ac oddiwrth drigolion Gaza, y rhai yn fynych a ânt i Maan (neu Teman) a Carac, ar ffordd y pererinion, mae, o fewn taith tri diwrnod i ddeheu-dwyrain y Môr Marw, uwchlaw deg-ar-hugain o drefydd distrywiedig yn hollol wedi eu gadael. Yr Arabiaid, yn gyffredin, ydynt yn eu gochelyd, o achos yr ysgorpionau y rhai sydd yn heidio ynddynt. Nis gallwn ryfeddu wrth yr olion hyn o hen boblogaeth, pan yr adgofiom mai hon ydoedd wlad y Nabathëaid, y rhai mwyaf galluog o'r Arabiaid, ac o'r Idumeaid; y rhai, yn amser dinystr Jerusalem oeddynt agos mor lluosog a'r Iuddewon." Etto nid adfeilian y dinasoedd hyn ydynt y prif gof-arwyddion o fawredd cyntefig Edom. Ei phrif ddinas, yn awr heb breswylydd, oddieithr yr anifeiliaid gwylltion a rag ddywedwyd gan y prophwyd fil o flynyddoedd cyn iddi beidio bod yn breswyliedig gan ddynion, sydd yn rhoddi un o'r golygfëydd rhyfeddaf ag a ellir ddychymmygu. Yn nghymmydogaeth mynydd Seir, adfeiliau helaeth dinas fawr, tyrau o gerig nadd, sylfaeni adeiladau, drylliau o golofnau, ac olion ystrydoedd wedi eu palmantu, ydynt yn daenedig ar hyd y dyffryn; yr hwn sydd yn amgylchedig o bob ochr gan glogwyni serth, yn amrywio o bedwar i saith can troedfedd o uchder, y rhai ydynt wedi eu tyllu yn ystafelloedd aneirif o wahanol faintiolaeth, yn cyfodi yn y clogwyni, yn rhes uwchlaw rhes, hyd onid yw yn ymddangos yn anmhosibl i ddyfod at yr uchaf. Colofnau ydynt yn cyfodi uwchlaw colofnau, ac yn addurno wynebau yr anneddau; rhigolau gwastad er trosglwyddo dwfr, yn rhedeg gyd âg wyneb y clogwyni; rhes o risiau oeddynt yn foddion esgyniad; a chopa yr uchder, mewn amrywiol fanau, sydd yn orchuddedig âg adeiladau brigfein (*pyramids*) wedi eu tori allan o'r graig. Digyffelyb yw yr olygfa, fel ei gosodir allan gan y prophwyd, Jer. xlix. 16. yn holl erchylldod y gallu dynol ag ydoedd yn perthynu iddi, ac fel mae yn ddarluniedig yn yr agwedd anrheithiedig mae yn bresennol ynddi, sydd gyfryw nas gellir ei gam-gymmeryd.

Y gwyddfanau a'r bedd-adeiladau ydynt aml a mawr-wych iawn. Mae yno amrywiol gylchau a dulliau o adeiladaeth. Un o honynt yn enwedigol a ddarlunir fel gwaith o lafur mawr a maintioli anferth, mewn perffaith gadwraeth, yn cynnwys ystafell o un ar-bymtheg o gamrau ysgwâr, ac oddeutu pum troedfedd ar hugain o uchder, wedi ei goroni â thafliad allan uchel addurnedig, a'r cyfan wedi eu tori allan o'r graig. Trwy y côf-adeiladau harddwych hyn, cyssegredig er coffadwriaeth ei llywodraethwyr, yr arddangosir gwaed y ddinas.

Gellir rhybuddio gelynion yr efengyl trwy ddrwg ddiwedd gelynion yr hen eglwys, y rhai a dorwyd ymaith yn ol gair yr Arglwydd; a thir pa rai, yn enwedigol eiddo yr Edomiaid, am eu trais yn erbyn eu brodyr o Israel, a ddifrodwyd gyd â melldith ag sydd yn glynu wrtho yn dragywydd. Y Duw goruchaf fydd yn sicr o ddial cweryl ei gyfammod tragywyddol, mor ddilys ag y gwnaeth i eiddo yr hwn oedd i gael ei ddiddymu. Ac er i holl elynion y ffydd Gristionogol ymgyngreirio ynghyd, fel y gwnaeth pebyll cydfwriadol Edom yn erbyn Juda, holl erchylldod eu nerth a ddeuai fel manus o flaen y corwynt. Dynion o ddoethineb fydol a ddylent gymmeryd addysg trwy gôf-arwyddion Edom adfeiliedig. Os bydd eu holl wybodaeth uchel heb ei sancteiddio gan egwyddorion crefyddol ac ofn Duw, eu holl gelfyddydau naturiol a brofant yn ofer, fel medrusrwydd doethion Teman: eu holl ddatgu[illegible]igaethau a'u gweithrediadau llaw-[illegible]ydol a ddiweddant mewn dinystr ac [illegible]gofiad tragywyddol. "Yn gymmaint [illegible] gan hyny a bod yr holl bethau hyn" yn [illegible]fodedig, "yr â y nefoedd heibio [illegible] â thwrf, ac y bydd i'r defnyddiau gan [illegible] doddi, a'r ddaear a'r gwaith a fydd [illegible] losgi, pa ryw fath ddynion a ddylem [illegible] fod mewn sanctaidd ymarweddiad a [illegible]deb!" Yn ol addewid Duw, "disgwyl yr ydym am nefoedd newydd a daear newydd yn y rhai mae cyfiawnder yn cartrefu," 2 Pedr iii. 10, 13.

---

## SERYDDIAETH.

### PEN. VIII.

### Y DDAEAR, FEL Y MAE YN YMDDANGOS YN GANOLBWYNT Y GREADIGAETH.

*Parhad o du dal. 294.*

Nid oedd yr henafiaid yn gwybod dim am grynder y Ddaear, ond barnent ei bod yn un gwastadedd ëang, yn amrywio ychydig yn arwynebol gan ddyffrynoedd a mynyddoedd, ond y mae amryw o brofion yn dangos cyfeiliornad yr athrawiaeth hon; ac yn cadarnhau'r gwirionedd ei bod o lun pellen, neu yn hytrach ei bod yn gorph crwn lleth-begyawl (*oblate spheroid*) yn gwastadhau ychydig yn y ddwy ochr gyferbyniol, pa rai a elwir y pegynau (*poles.*) Dim gwaith yn bresennol fydd ceisio dangos a [illegible] hyn. Mae bod y ddaear wedi cael ei mordwyo o'i chwmpas amryw o weithiau, gan wahanol bersonau, a'r rhai hyny yn [illegible] ac yn gyfarwydd mewn morwriaeth, [illegible], Anson, Cook, ac amryw [illegible] na gallasent byth ei wneuthur [illegible] y Ddaear yn wastadedd) yn [illegible]edd hwn tu hwnt i [illegible] holl sydd yn dangos hyn, [illegible]

yn daflu ar y Lleuad pan y byddo dan ei diffygiau, yr hwn sydd bob amser yn ymddangos yn grwn, o ganlyniad rhaid bod y Ddaear yn gron, oblegyd ni ddichon unrhyw gorph daflu cysgod yn wahanol i'w ffurf ei hun. Mae crynder y Ddaear yn cael ei ddangos yn mhellach, trwy fynediad a dyfodiad llongau ar y môr, oblegid pe byddem yn aros ar y traeth i edrych ar long yn myned allan i'r môr, yr ydym yn colli ein golwg yn gyntaf ar gorph y llong, pan y mae'r hwylbren a'r llumanau yn y golwg; ond fel y mae'r llong yn pellhau, mae'r rhai'n hefyd yn myned o'r golwg, fel pe baent yn suddo i'r gwaelod; a phan y byddo llong yn neshau i dir, y peth cyntaf sydd i'w ganfod ydyw pen uchaf yr hwylbren, ac yn raddol daw holl gorph y llong i'r golwg, fel pe byddai yn derchafu o'r dyfroedd; hefyd pan y byddo llong yn neshau i dir, mae'r morwyr yn gyntaf yn canfod y clochdai a'r coed, ac yna yr adeiladau uchaf, a phob yn dipyn daw'r traeth i'r golwg. Yn awr mae'r pethau hyn yn cadarnhau tu hwnt i bob amheuaeth bod y Ddaear yn gron, oblegid pe byddai'r môr yn wastadedd, elai y llongau o'r golwg ar unwaith, a dychwelent i'r golwg yr un modd.

Ond nid ydyw'r Ddaear yn hollol gron fel y dywedwyd uchod, ond y mae ychydig yn fwy gwastad yn y pegynau, ac y mae hyn yn tarddu trwy chwyldroad beunyddiol y Ddaear ar ei hechel, tebygol; oblegid y mae tuedd mewn cyrph sydd yn chwyldroi yn barhaus felly i hedeg oddiwrth y canolbwynt. Pe byddai plentyn yn chwyrndroi carreg mewn llinyn, ac i'r gareg hono fyned yn rhydd, hi a ruthrai ymaith o'r canolbwynt, ac ni wna droi ychwaneg o amgylch ei law. Gellir troi celwrn yn llawn o ddwfr wrth raff yn y modd yma heb golli na dafn o'r dwfr fyddo ynddo; ac yn mhob chwyldroad, mae y celwrn a'r dwfr yn ymdrechu hyd eithaf eu gallu i encilio o'r llaw, yr hon ydyw canolbwynt y chwyldroad, trwy rinwedd a nerth hwnw a elwir nerth canol-ocheliadol (*centrifugal force*) yr hwn sydd yn cael ei gyfranu iddynt yn ol cyfartalwch y symudiad. Pan y byddo'r celwrn a'i wyneb uchaf i lawr, tueddiad naturiol y dwfr ydyw ymdywallt i lawr i'r ddaear; ond y mae hyn yn cael ei wrthweithredu gan y nerth canol-ocheliadol, yr hwn sydd yn tuedda i ddanfon y dwfr ymaith.

Pe byddai gwyfr, (*wire*) yn cael ei danfon trwy unrhyw gorph crwn, a gwlychu ei wyneb yn hollol gyfartal, ac wedi hyny ei droi o amgylch yn gyflym trwy gyfrwng y gwyfr, yna fe gasglai'r lleithder i'r manau hyny sydd bellaf oddiwrth y gwyfr; pan ar yr un pryd, yn agos ati, y byddai'r dogn edd yn lleihau; oherwydd bod y *centrifugal force* yn danfon y lleithodd o'r rhanau canolig (*central*) i'r rhanau hyny sydd bellaf oddiwrth y canolbwynt.

Yn awr y mae'r un pethau yn perthyn i'r Ddaear yn hollol; mae y Ddaear yn symud ar ei hechel gyda'r cyflymdra o 1042 o filldiroedd bob awr yn y cyhydedd, ac felly yn lleihau yn raddol fel ag yr ydym yn myned yn mhellach oddiwrth y cyhydedd, ac yn neshau at y pegynau; ac oherwydd bod y fath nerth canol-ocheliadol o amgylch y cyhydedd, a'r Ddaear wedi cael ei ffurfio o ddefnyddiau ymollyngar, fel y barna Syr Isaac Newton, a'i bod trwy hyny yn chwyddo allan o amgylch y cyhydedd, ac y gwnai rhanau o honi ruthro ymaith trwy nerth y chwyrndroad, oni bai fod y tueddiad hwnw yn cael ei wrth-weithredu gan nerth arall a elwir ad-dyniad; er bod y nerth hwn yn cadw rhanau y Ddaear rhag myned oddiwrth eu gilydd, nid ydyw yn ddigonol i'w chadw rhag cydwasgiad yn y manau hyny lle mae y symudiad leiaf; nac ychwaith rhag cynnydd lle mae'r symudiad yn fwyaf.

Ond mae'r anhawsdra yn gorwedd mewn profi hyn i fod yn wirionedd, ond y mae'r prawf wedi cael ei gymeryd oddiar egwyddorion athronyddol, ac wedi cael ei wirio, oblegid dadleuir os ydyw y Ddaear yn fwy gwastad yn y pegynau nag yn y cyhydedd, rhaid bod gradd ar ei harwyneb o angenrheidrwydd yn amrywio yn y lleoedd hyny. Mae'r gwirionedd o hyn wedi cael ei brofi gan ymchwiliadau pedwar o foneddigion a ddanfonwyd gan Gymdeithas y Celfyddydau o Paris i Peru, yn nghyd a thri ereill a anfonwyd i Lapland, i'r dyben o fesur gradd yn y gwledydd hyny, a'r canlyniad oedd bod gradd yn Lapland yn fwy nac yn Peru, o amgylch 4200 o droedfeddi, felly mae'r gwahaniaeth sydd rhwng dau amgylchedd y Ddaear oddeutu 36 o filldiroedd.

Cafodd y gelfyddyd seryddawl ei diwyllio gan yr henafiaid a hyny gyda llwyddiant anarferol, wrth ystyried y moddion a'r offerynau oeddynt yn feddiannu; yr oeddent yn canfod y sêr pennodol ar amserau neillduol yn cyfodi ac yn gostwng; yn awr er mwyn cyfleusdra i sylwadau seryddawl yr oedd yn angenrheidiol cael rhyw nodau neillduol a sefydlog; ac yn neillduol er mwyn dysgrifio a phenderfynu yr hyn oedd yn ymddangos iddynt hwy i fod yn gylchdaith yr haul: i'r dyben hwn, neillduasant amryw ser i fod yn nodau ac yn arwyddion; ond oherwydd nad oeddynt yn feddiannol ar oriawr, nac awrlais, fel y gallent fesur amser gyda chymhwysder; dychymygasant lwybr arall hynod o gywrain a chelfyddgar. Llanwent lestr o ddwfr, yn yr hwn y byddai twll bychan yn y gwaelod, yna gadawent i'r dwfr ddyferu bob yn ddyferyn i lestr arall, gan ddechreu pan gyfodai ryw seren benodol, a'i adael i ddyferu hyd nes

cyfodai yr un seren drachefn. Gwedi hyn, gwnaent ranu'r dwfr a syrthiai i'r derbynydd yn hyd yr amser hwnw yn ddeuddeg o ranau cyfartal; oblegyd yr oeddynt am ranu cylch y nefoedd serenog i'r un rhifedi: ac wedi parotoi llestri i gynnwys y deuddegfed ran o'r dwfr, tywalltent ef drachefn i'r llestr mawr, a'i adael eilwaith i ddyferu i un o'r llestri bychain, yr hwn yn unig a gynwysai y ddeuddegfed ran o hono; gan ddechreu pan y deuai rhyw seren benodol i'r golwg. Pan lanwai y llestr hwn, barnent bod y deuddegfed ran o gylch y ser gwedi myned heibio; fel hyn yr aent yn mlaen hyd nes y byddai y dwfr i gyd wedi dyferu; ac fel hyn y cyrhaeddasent ddeuddeg pwnc y cylch. Y cylch mawr hwn a alwent yn gaer-sidydd, (*zodiac*) yn tarddu o'r gair groeg *Zodion*, yn arwyddo anifail, oherwydd bod y deuddeg arwydd yn myned ar enw rhyw anifail neu gilydd. Yn nghanol y cylch hwn, gan hyny, mae y llwybr hwnw a ddysgrifir gan yr haul o amgylch y Ddaear: ond pe byddem ni yn aros yn yr haul, canfyddem ef y peth ydyw mewn gwirionedd, sef y llwybr blynyddol mae y Ddaear yn ei wneuthur o amgylch yr haul; y cylch hwn a elwir yn gylch y diffygion, (*ecliptic*) oherwydd bod pob diffyg pa un bynag ai heulaidd a'i lleuadaidd, yn dygwydd o'i fewn, nis gall un diffyg fod ond ar yr amser y byddo'r haul, a'r lleuad, a'r Ddaear, ar wastadedd cylch y diffygian, ond (ychwaneg o hyn ryw dro etto.) Cylch y diffygion sydd yn perthyn yn briodol i'r nefoedd serenog, ond yn cael ei ddarlunio ar y belen ddaearol, i'r dyben o egluro rhyw ymddangosiadau seryddawl perthynol i'r Ddaear.

Y Cyhydedd sydd gylch mawr dychymygol arall, yr hwn sydd yn amgylchu y Ddaear yn ei chanol, yn yr un pellder oddiwrth y pegynau, ac yn ei thori megis yn ddau hanner: y rhanau hyny o'r Ddaear sydd yn gorwedd yn ddeheuol i'r cylch hwn, a elwir yn hanner-gylch deheuol; ac hefyd y rhan arall o honi a elwir yn hanner-gylch gogleddol, ac ar ddarlun-leni, a *globes*, gellir yn hawdd ei adnabod wrth ddwy linell gyfochrog, a'r gwagle rhyngddynt yn cael ei lanw i fynu â llinellau bychain* yn groes iddynt: mae yn rhanedig i dri chant a thri ugain o ranau, pa rai a elwir yn raddau; gan ddechreu yn *Aries*, neu arwydd yr Hwrdd, ac a arwydd-nodir a'r rhifnodau 10, 20, 30, 40, ac yn y blaen hyd dri chant a thri ugain, yr hyn sydd yn gwneuthur i fyny y cylch. Gelwir cylch y cyhydedd perthynol i'r Ddaear yn saesoneg *equator*, ond yr un cyferbyniol yn y ffurfafen sydd yn cael ei alw *equinoctial*, yr enw sydd yn tarddu o'r Lladin, yn arwyddo nos gyfartal, ac a roddwyd i'r cylch hwn yn y ffurfafen oherwydd bod y Ddaear ddwywaith yn y flwyddyn rhwng y ddau le neu'r man y mae cylch y diffygion a'r cyhydedd yn croesi eu gilydd, ac felly mae yr haul yn gymmwys uwch ben canolbwynt y Ddaear, oblegid bod echel y Ddaear bob amser yn yr un cyflead, ac yn cyfeirio at yr un pwnc yn y ffurfafen.

Cylchoedd ereill sydd yn perthyn i'r Ddaear, ydyw'r nawn-gylchoedd (*meridians*) y rhai sydd yn cyrhaedd o un pegwn i'r pegwn arall, ac yn croesi y cyhydedd mewn dau le cyferbyniol, eu rhifedi ydyw 24, yn rhanu'r Ddaear yn 24 o rannau cyfartal; a phe rhanem 360 (rhifedi graddau y cyhydedd) with 24 y canlyniad fydd 15: felly mae'r cylchoedd hyn 15 o raddau y naill oddiwrth y llall. Mae'r Ddaear fel hyn wedi cael ei rhanu i 24 o ranau, oherwydd ei bod yn troi ar ei hechel yn gyflawn mewn 24 o oriau, ac yna rhaid bod y rhaniadau hyn yn myned heibio o flaen yr haul yn yr amser hwnw, sef 24 o oriau, wrth hyn ni a welwn fod un rhan yn myned heibio i'r haul bob awr, ac fel y mae pob rhan yn cynwys 15 gradd yn y cyhydedd, mae yn canlyn bod y Ddaear yn troi 15 o raddau bob awr tuag at yr haul. Ar y ffaith yma, sef bod y Ddaear yn troi fel y dywedwyd uchod, mae yr olyg-ddysg bwysfawr o hydred yn cael ei hadeiladu.

Yn awr, oherwydd bod y nawn-gylchoedd hyn yn llinellau dychymygol ac nid gwirioneddol, gellir gosod y gyntaf yn y màn y dewisir ar y *globe*; a'r rhai ereill a ddisgynent 15 o raddau oddiwrth y gyntaf; y Saeson sydd yn tynu eu nawn-gylch cyntaf ar eu darlun-lenni a'i *globes*, trwy Greenwich, ac oddiwrth hwn y maent yn cyfrif y lleill i gyd.

Yr enw nawn-gylch sydd yn arwydde hanner dydd, oherwydd bod y cyfrif wedi cael ei wneuthur i ateb i hanner dydd, hyny yw, pan byddo'r haul yn hollol ddeheuol i unrhyw le megis Greenwich, a phan y mae yn hanner dydd yno, y mae yn hanner dydd yn mhob lle trwy'r hwn y mae cylch Greenwich yn myned, os bydd yn oleuedig gan yr haul: ond i breswylwyr yr un cylch yr ochr gyferbynol i'r Ddaear, y mae yn hanner nos.

*Llundain.* L. WILLIAMS.

(*I'w barhau.*)

Deallwn mai crwn y crewyd—Daear,
A gynar egluwyd,
I'r dyn o honi dynwyd,
A phob rhyw byw gael eu bwyd.

D. JAMES.

---

## CYFARFOD EGLWYSIG

*Cynnulleidfa o Grefyddwyr i geisio cytuno am Ddewis Gweinidog Sefydlog.*

Ar ol darllen a gweddio, dechreuwyd yn ddioedi.

*Aaron.* Beth debygit ti, fy mrawd Mr. Bellis, a wnai Mr. Matthew ddim bod yn

---

*Bob yn ail a manau gwynion.

weinidog addas iawn i ni? Mae efe yn pregethu yn dda, mi feddyliwn i.

*Mr. Bellis.* Yr ydwyf fi yn meddwl ei fod yn rhy farwaidd a thrymllyd o lawer. Nid oes dim ardderchowgrwydd, na dim tu hwnt i gyffredin yn ei ddull o ymadroddi, nac yn ei feddyl-ddrych chwaith. Mae yn wir fod pawb yn barnu ei fod yn bregethwr sylweddol a da; ond mae arnaf fi ofn na thyn ef fawr o sylw ein pobl ieuainc. Heblaw hyny, yr wyf fi yn clywed nad yw efe yn ddyn o ddysg; ac na fydd Sweiar Jones na Doctor Pysen ddim yn hoffus o hono oherwydd hyny.

*Aaron.* Wel, os felly y mae, diau y gwna Mr. Luc y tro yn eitha' i ni, canys y mae efe yn wr o ddysg, ac o archwaeth uchel raddol iawn; ac os ydym am foddio *Sweiar* Jones a Doctor Pysen, fe yw'r dyn i ni.

*Cadwaladr.* Nid da genyf fi mo'r Ysgolheigion mawr yma. Mae arna'i eisieu rhywun a allo effeithio ar ein calonau ni, mewn iaith *blaen*, eglur, o'i fynwes ei hun, ag a baro i ni deimlo ei fod ef yn un o honom.

*Dafydd.* Mae arnaf finnau ofn na fydd y Doctor Pysen ddim yn hoff iawn o hono; oblegid, mae Mr. Luc wedi bod yn Physygwr unwaith; ac mi glywais i na fyn y Doctor Pysen yr un Doctor i fod yn y dre' ond efe ei hun, os gall ef rwystro.

*Edward.* Ac heblaw hyn, ni chlywais i erioed fod Mr. Luc yn bregethwr mawr. Mae ei bregethau mor *blaen* a diaddurn; nid oes dim mawreddig yn perthyn iddo.

*Ffoulk.* Mi fyddai yn well genyf fi Mr. Marc o lawer, o'm rhan i; mae efe yn dweud llawer mewn ychydig eiriau.

*Gruffudd.* Go-sychlyd ydyw Mr. Marc, yn ol fy meddwl i.

*Huw.* Mi glywais i nad ydyw efe ddim yn ddyn hunan-ymwadol iawn. Chwi wyddoch, ei fod ef wedi troi yn ei ol unwaith, wedi iddo gychwyn i gyhoeddiad gyda Paul a Barnabas. 'Does arnom ni ddim eisieu dyn rhy hoff o esmwythder.

*John.* Ond fe ddywedodd Paul " ei fod yn fuddiol" iddo ef ar ol hyny.

*William.* Ni wneiff e mor tro i ni yn wir. Rhaid i ni gael dyn mwy hoew o lawer.

*Mr. Knowles.* Wel, beth feddyliech chwi am Mr. Timotheus? Mae iddo ef air da iawn.

*Lewis.* Nid ydyw e ddim yn ddyn digon iach o gorph i ni. Mi welais i mewn llythyr a 'sgrifenwyd ato, fod yn rhaid iddo gymmeryd physig o " herwydd ei gylla, a'i fynych wendid." Mi gefais i gymmaint o brawf o bregethwyr afiach fel yr wyf fi yn penderfynu na rof fi byth fy mhleidlais am gael gweinidog heb ei fod yn ddyn cryf iachus.

*Morus.* Wel, beth er hyny, onid ydyw e yn ddyn ffyddlon, ac yn mawr ddymuno bod yn llesol i ddynion? Pa awdurdod sydd genym ni i attal y gwr rhag defnyddio hyny o nerth sy ganddo yngwasanaeth ei Feistr? Yr oedd rhai o'r pregethwyr goreu fu ar y ddaear erioed yn ddynion afiachus. Dyn gwanllyd oedd Mr. Baxter. Byddai Mr. Whitefield yn afiach yn aml; ac yr oedd Mr. Payson yn feunyddiol mewn poen. Ac etto hwy fuont yn ddynion defnyddiol iawn.

*Lewis.* Wel, nid hoff genyf fi weled dyn gwyneblwyd yn y Pulpud. Heblaw hyny, ni all dyn gwanllyd felly ddim llefaru yn ddigon uchel; ac nis gall byth ymweled âg aelodau yr eglwys ar gylch, na dyfod drwy yr holl waith sydd genym ni i weinidog, heb help o hyd.

*Dafydd.* Mae e yn rhy ifangc hefyd o lawer. Mae arnom ni eisiau gwr oedranus, a phrofiadol. Bydd pobl yn ei ddirmygu oherwydd ei ieuenctyd.

*Mr. Nanna.* Tewch a son am Timotheus, da chwi; mae genyf fi wr a etyb yn hynod iawn i ni: beth meddwch chwi am Mr. Barnabas? Mae e yn ddyn cryf a chaled. Mae efe yn teithio ar ei draed drwy'r wlad, ac yn pregethu ymhob man a lle y mae yn myn'd.

*Owen.* Nis gwn i; mi glywais i ryw beth yn erbyn y gwr hwnw, os da yr ydwyf yn cofio. Mae'r gair allan ei fod e yn ddyn pen-stiff iawn; ni phlyg ef ddim i neb. Ni fedraf fi ddim meddwl yn dda am Weinidog a fedrai gwerylu â gwr mor dduwiol a'r Apostol Paul.

*Philip.* Yn wir frodyr, fy marn i o hyd yw, mai Mr. Pedr a wna weinidog iawn i ni. Fe ddychwelwyd tair mil i'r ffydd dan un bregeth iddo ef. 'Rwyf fi yn hynod o hoff o'r pregethwyr hyfion yma, y rhai nad oes dim ofn arnynt ddweud yn ddifloesgni beth a ddaw o bobl ddrwg os parhant mewn anufudd-dod ac anghrediniaeth.

*Cuellyn.* Tewch Philip; yn wir nid da genyf fi bregethwyr byrbwyll, na waeth ganddynt pwy a dramgwyddont. Ni thâl Mr. Pedr ddim yn y byd i ni. Fe yrai yr holl dref yn derfysg i gyd drwyddi cyn pen wythnos bron.

*Robert.* Ië, dyn anghyson iawn yw efe; weithiau y mae efe yn hyf fel llew, mi feddyliech na fyddai arno ofn neb; bryd arall, genethig fach a wna iddo wadu ei Feistr! Ac fe ddywed rhai am dano ei fod ef yn ddau wynebog weithiau hefyd.

*Samuel.* Ni fyddwn i ddim yn dawel i roi fy nghydsyniad i ddewis dyn mor hen a Mr. Pedr.

*Tomos.* Ond y mae efe yn ei lawn nerth etto. Diau na farnech y dylai roi heibio bregethu etto, er ei fod yn tynu yn lled oedranus, bid siwr.

*Samuel.* Ni ennill ef byth mo serch y bobl ieuainc, mi feddyliwn i. Gwnewch chwi fel a fynoch chwi, fe fydd raid i'r rhei'ny gael dyn ieuanc, neu hwy a ânt i wrando i ryw gapelydd ereill.

*Tomos.* Frodyr, mae arnaf fi ofn na

chawn ni yr un gweinidog byth os awn ni ymlaen fel hyn. Ni fedrwn ni ddim cael angel, a phe caem, ni fyddai hwnw ddim yn addas yn weinidog i ni. Mae arnom ni eisieu dyn a fyddai yn un o honom, un a allo gydymdeimlo â ni. Fy marn i yw, fod Mr. Ioan yn weinidog addas iawn i ni: efe yw y nesaf at berffeithrwydd o neb y gwn i am dano yn y byd hwn. Pwy a all fod ganddo ddim yn ei erbyn ef?

*Wmffra.* Oh! Ni wneiff o byth mo'r tro i ni. Yr un peth sy ganddo fo bob amser. Nid oes ganddo fo ddim ond *cariad, cariad, cariad*, o hyd.

*Samuel.* Gwir, y mae efe yn son llawer am gariad; ond er hyny ni chlywais i neb erioed yn llefaru yn fwy eglur wrth bechaduriaid, nac yn fwy pendant yn dangos iddynt y diwedd echrydus o ddilyn drygioni.

*Wmffra.* Ond beth er hyny, y mae efe yn dweud pethau felly gyda'r fath dyner wch, a chyda'r fath larieidd-dra, o ran llais ac ymddygiad, nad ydyw y cwbl yn cael dim effaith ar y gwrandawyr.

*William.* Tewch, da chwi Wmffra, pwy a all lai na theimlo effeithiau ei ymadroddion toddedig, yn enwedig pan fyddo efe yn darlunio cariad Crist at golledig ddyn. Mi fyddaf fi yn meddwl wrth ei wrando fod yr holl gynnulleidfa megis yn toddi mewn rhyfeddodau a syndod.

*Wmffra.* Wel, dywedwch chwi a fynoch, yr wyf fi yn meddwl o hyd y bydd i'w ddull llariaidd, a'i lais unffurf, ein suo ni oll i gysgu.

*William.* Yr wyf finnau o'r farn am bwy bynag a gysgo wrth ei wrando, y cysgai y dyn hwnw uwch ben fflamau uffern.

*Owen.* Mae fy meddwl i o hyd yn sefydlog, na wnawn ni ddim gwell yma heddyw na dewis Mr. Paul i fod yn Weinidog i ni. Dyna, yn sicr, y pregethwr mwyaf a glywais i erioed yn fy nydd. Mae efe yn ddyn cyflawn o feddwl gwreiddiol; nid benthyciol yw ei feddylddrych ef. Mae ei droell-ymadroddiou a'i egluriadau mor ardderchog, fel y maent yn fynych yn ddigon i beri i wallt dyn sefyll ar ei ben. Ac yr ydwyf yn cael hanes fod adfywiadau yn dilyn ei bregethau lle bynag yr elo.

*Evan.* O ho! mae hwnw yn pregethu yr etholedigaeth a'r arfaeth yn wastadol. Ni all ein pobl ni ddim dyoddef yr athrawiaeth hono o hyd.

*Cwellyn.* Mi glywais ryw-rai yn dweud fod hwnw yn dal peth fel hyn, "Gwnawn ddrwg fel y del daioni." 'Rwyf fi yn meddwl fod hyny yn athrawiaeth beryglus iawn i'w phregethu.

*Robert.* Nid ydwyf fi yn cyfrif fod Mr. Paul nemawr iawn o areithiwr. Dyn go wael a disylw yr olwg arno ydyw hefyd; ei bresennoldeb sydd salw, a'i ymadrodd sy ddirmygus.

*Ellis Jones.* Yn wir Frodyr, y mae rhyw dristwch yn fy meddiannu i wrth wrando arnoch yn adrodd eich meddyliau ar y matter sydd genym mewn llaw heddyw: yr ydych mor wahanol eich meddyliau, ac mor amrywiol eich barnau, nad oes dim possibl cael neb byth i foddio pawb o honoch. Onid dynion a ddewisodd Crist ac a anfonodd efe allan i bregethu yr Efengyl yw y rhai hyn oll a fu dan ein sylw o ddechreu y cyfarfod hyd yn awr? Mae yn wir mai llestri pridd ydynt; ond mae "y trysor hwn" ynddynt, bob un o honynt: mae rhyw wendid ymhob un o honynt, mae yn wir; ond pwy sydd heb ei wendid? Mae arnaf fi ofn nad ydym o ysbryd addas at y gorchwyl sy genym mewn llaw. Fe ddywed Crist mai pwy bynag a ddirmygo un o'r rhai bychain a anfono efe allan i'r cynhauaf mawr, eu bod yn ei ddirmygu Ef. Onid yw yn beryglus rhag wrth i ni ddifrio y cenadon y bydd i ni ddifrio Crist yr hwn a'u hanfonodd hwynt, a gwrthod yr efengyl o herwydd ein bod yn tramgwyddo wrth y cyfrwng sydd yn ei throsglwyddo hi i ddynion? A pha fodd y gallwn ni ddysgwyl bendith yr Arglwydd drwy ei weision, pan ydym mor barod i feio ar bob un o honynt?

Mae eich ymddygiad yn y peth hyn, yn peri i mi feddwl am y plentyn a daflai ymaith y frechden a roddai ei fam iddo, am ei bod yn rhy fawr; ac wedi i'w fam roi un lai iddo, efe a daflai hono, am ei bod yn rhy fechan! Mae yn amlwg nad oedd ar y plentyn hwnw fawr o eisiau bwyd. Dywedir fod dyn ddwywaith yn blentyn. Unwaith pan mae yn fachgen, ac unwaith pan mae yn hen. Rhaid i blentyn gael ei gwpan ei hun a'i lwy ei hun, onidê nid hawdd fydd ei berswadio i eistedd i lawr i fwyta; ac yn hytrach na bwyta mewn llestr gwahanol, ceir ei weled yn troi o'r neilldu i sori! Ac felly hefyd, yn gyffelyb iawn, y gwelir rhai hen bobl. Yr wyf fi yn ofni yn wir ein bod ninnau, naill ai "yn blantos," neu wedi heneiddio yn drwm mewn crefydd, pan y gwnawn y fath ystŵr ynghylch y llestr o hyd, yn lle ymborthi ar yr hyn sydd yn y llestr gydag awydd a hyfrydwch

Mi dybygwn i yn wir, mai gwell i ni roi pen ar y cyfarfod hwn, ac ymroddi i ympryd a gweddi am i ni gael meddwl Duw yn yr achos yma. Pe baem ni o'r un feddwl â Duw, mae yn amlwg y byddem o'r un feddwl â'n gilydd; canys un yw ei feddwl ef; "ac y mae genym ni feddwl Crist," yn ei air sanctaidd. Ymhen y mis, ar ol gweddio llawer ar yr achos, gobeithiwyf, nyni a ymgyfarfyddwn etto yn y lle hwn, gan hyderu y cawn gymmorth gan Dduw i ddyfod i benderfyniad ar yr achos pwysfawr sy genym mewn llaw. Ac â hyn y cytunasant oll.

A dynwyd allan o gyhoeddiad Americanaidd, ac a gymhwyswyd at agwedd pethau mewn rhai manau yn Nghymru a Lloegr yn y dyddiau hyn.

## OL-YSGRIFEN I LYTHYR PHILALETHES,

*Yn Rhifyn Hydref, tu dal.* 310.

DICHON fod rhai yn golygu y dylwn graffu ar yr ychydig sylwiadau digrifol a ymddangosasant yn y Dysgedydd ar fy llythyr a gyhoeddwyd yn y Rhifyn o'r Drysorfa am Ionawr diweddaf. Golygwyf y byddai hyny yn hollol anfuddiol, yn gymaint ag na chyffyrddodd yr un o'r rhai a sylwasant ar fy llythyr â chymaint ag un o'r egwyddorion a amddiffynais ynddo, ac na wnaethant gymaint a lluchio saeth at un o honynt. Ac yn wir nid ammheuwyf nad ydynt yn eu hystyried yn rhy anysgogadwy i feddwl sylwi cymaint ag un o honynt, er tafla ychydig o wawd diniwaid at Philalethes a'i lythyr o'u herwydd.

Mae'n wir ddarfod i'r Parch. S. Roberts, yn ol ei arfer, geisio gwyrdroi a chamddangos fy sylwiadau yn nghylch dadleu gwirioneddau annadleuadwy, fel yn esponiad o'r *Constitutional Deed*, pryd, mewn gwirionedd sydd eithaf amlwg iddo ef a phawb a ddarllenant fy llythyr, nad oes gyfeiriad at y *Deed* ynddynt, ac y sefydlais fy sylwadau hyny ar ddeddf annrhaethol uwch a chadarnach na deddf *Constitutional Deed* y Trefnyddion Calfinaidd. Nid wyf yn cyfrif peth fel hyn fymryn gwell na *sophistry* waethaf! Os yw efe yn ewyllysio sylwi ar fy ysgrifau, y mae iddo gyflawn roesaw, ond dealled y dysgwyliaf iddo ymgadw yn agosach i'w *dext* na hyn, ïe, yn agosach nag y gwnaeth yn ystod ei ddadl ddiweddar drwyddi oll. Yn niffyg o hyny efallai y dynoethaf ei ddull i raddau mwy nag y gwnaed hyd yn hyn. Am ychydig o wawd felly—cyhoeddi fy enw ger gwydd y Dywysogaeth, a bwgwth fy nghospi am *libel*, tra yr wyf yn gwybod nad ysgrifais ddim *libellous*, ac na throseddais gyfraith fy ngwlad, a'm bod felly fel fy nghyd-ddeiliaid dan ei nawdd a'i amddiffyn, nid wyf yn gwneud cyfrif mwy o honynt nag a wnawn o gawod o saethau gwellt.

WILLIAM PUGH.

*Liverpool, Medi* 9, 1841.

☞ Wedi ysgrifenu o honof hyn, gwelais lythyr cyhoeddedig trwy'r argraffwasg cyfeiriedig at Gyhoeddwr yr "Athraw," oddiwrth un Ieuan Gwynedd, tebygol, o'r "frawdoliaeth" Annibynol, yn yr hwn y mae yn awgrymu yn egnïol, ond nid yn beiddio dywedyd mewn geiriau eglur allan ac allan,—yr arferwyd dichell genyf yn y Drysorfa am Ionawr diweddaf, yn ei natur yn drosedd o gyfraith fy ngwlad, ac yn *libel* ar gymeriad Mr. R. J. Pryse, fel dyn, a hyny i'r dyben o ysgoi nerth ei resymau yn erbyn Henaduriaeth, yn ei Adolygiad o Lyfr Mr. John Mills! Dyma ddyfais a ymddengys yn deilwng o'i lluniwr, pan ystyrier yr ysgrifenais fy llythyr hwnw yn nechreu mis Hydref y flwyddyn ddiweddaf, fel y gwelir oddiwrth y crybwylliad a wnaed cyn ymddangosiad Adolygiad Mr. Mills, o'i dderbyniad i Swyddfa y Drysorfa, ar amlen Rhifyn Tachwedd, yn nghyd â hyspysiad J. Mills, am ei Adolygiad yn yr un Rhifyn. Wele! y fath hanesyddion cywir a chredadwy!—y fath ymresymwyr cedyrn!! ïe, y fath gyhuddwyr teg, yw rhai o'n cymydogion Annibynol!!!

Pan ysgrifenais fy llythyr hwnw ni wyddwn fod y fath un a Mr. R. J. Pryse yn hanfodi, nac y bwriadai ysgrifau yn erbyn Henaduriaeth. Gwelswn ranau o ysgrifau "Un o Feibion Orpheus." Pe profid fod "cablu" Un o Feibion Orpheus yn fy llythyr, "Mab Orpheus" ei hun a brofid yn awdwr o hyny—dywedodd mewn cynnygiad a wnaeth o'i wasanaeth i'r Parch. J. Roberts, i frwydro fy Nghyfaill hoff, a'm Bugail gofalus, y Pregethwr,—na "ddanfonwyd mo hono" ef "i ysgrifiaw ar ddwyfiaeth, ond i ryfela!" Am ei ysgrifau maent ger gwydd y cyhoedd—ac y mae yr hysbysiadau a wnaeth Mr. R. ab J. Pryse yn Nysgedydd Mehefin, mewn cyfeiriad at yr ychydig ofyniadau a wnaethym mewn perthynas iddo, yn eithaf boddhâol i mi. Ydynt, y maent mor eglur a phendant, fel y gall y byraf ei ymgyffred sydd yn gydnabyddus â Rheolau dysgyblaethol y Trefnyddion Calfinaidd, neu a Chyfreithiau llywodraethiad Eglwys Crist dan oruchwyliaeth yr Efengyl, ffurfio golygiadau cywir am y modd anrhydeddus a digynnwrf yr ymadawodd â'r Trefnyddion, ac yr aeth gydâ'i docyn cymeradwyol at yr Annibynwyr. Felly cymeraf fy nghenad, gan hyspysu na ewyllysiwyf iddo ddim gwaeth na gostyngeiddrwydd, hunanymwadiad, a chariad, fel os yw yn feddiannol ar dalentau, y dysgo ei defnyddio mewn modd gwasanaethol iddo ei hun a'i gymydogion.

Ni phrofais unrhyw bryd un math o wrthddymuniant i "Mr. Pryse" ysgrifaw a all yn erbyn "Trefnyddiaeth." Paham y gwnaethwn?—"Nid gwaeth cywir er ei chwilio" Mae'n amlwg i bawb fod "Henaduriaeth," neu y ffurf-lywodraeth eglwysig a ddynodir â'r enw hwnw, yn esgyn grisiau ardduniant yn dra chyflym, fel os oes achos am ei thynu i lawr, fod yn llawn bryd defnyddio moddion mwy effeithiol er hyny na dim a wnaed hyd yn hyn. Ac y mae mor eglur a hyny y trodd yr ymdrech diweddaf a wnaed i'w herbyn, yn fuddugoliaeth o'i phlaid, tra y bu Mr. Pryse yn hel ei gelfi yn nghyd. Diau y gall ef ac ereill bentyru geiriau, gan ddadleu â'u cysgod, neu â rhyw beth arall yn erbyn Henaduriaeth, ond ni allant siglo ei sylfaeni. Pe y buasai rhyw un yn Nghymru a allasai ei dymchwelyd, golygwyf mai y Parch. S. Roberts fuasai y dyn, ond profodd yn ormod gorchwyl iddo, a diamheu genyf y profai yr un i "Mr. Pryse," ie, pe y byddai ei "ddeniau ysgrifenyddol" yn saith mwy nag

ydynt. Ni lwyddA un offeryn a lunier i'w herbyn, a gwnai yn euog mewn barn bob tafod a gyfodai i'w herbyn. Efallai y beiir fi am ddefnyddio ymadroddion mor oruchel. Yr wyf yn gostyngedig olygu, nad yw hyn yn iaith rhy oruchel am Henaduriaeth, fel y mae yn ordinhad Duw. Yn hyn y mae ei nerth a'i harddercbawgrwydd; yn hyn y mae yn werth ymffrostio o honi a dadleu drosti; ar hyn y mae ein harferiad o honi, a'n dysgwyliad am leshâd oddiwrthi a thrwyddi, yn ymddibynu, yn hyn nid oes gynnydd na lleihâd, esgyniad na disgyniad, codiad na dymchweliad yn perthyn iddi.

Mae pob cynnydd neu dderchafiad priodol iddi yn gynnwysedig mewn cymeriad ac anrhydedd o honi yn meddyliau dynion, yn nghyd a'n hymostyngiad yn weithredol mewn cydymffurfiad, â hi fel ordinhâd ddoeth a defnyddiol .o sefydliad yr Arglwydd, Pen a Brenin ei Eglwys. Mae ei chynnydd a'i derchafiad yn hyn yn fawr yn y misoedd a'r blynyddoedd hyn. Mae ei helaethiad yn gyflym yn y *theory*, a'r amgyffred o honi yn meddyliau dynion, ond y mae yn llawer cyflymach mewn gweithrediad, bron yn mhlith pob enwad crefyddol trwy'r byd. Pob diwygiad a wnaed gan yr Annibynwyr eu hunain yn sylfaeniad, cynnaliad, a dygiad yn mlaen yr Undeb Cynnulleidfaol (*Congregational Union*) a'i holl oruchwylion, nid ydynt ddim amgen na Henaduriaeth, neu "Trefnyddiaeth," os myner, yn ennill tir ar warthaf Annibyniaeth, gan gymeryd meddiant iddi ei hun o'i thiriogaethau gwehelyth. Mae'n ymdaith yn mlaen megis mewn lluosogrwydd mawredd ac anrhydedd. A diau y gwna felly, nes yn gydfynediadol ag Efengyl hedd, ac yn ddilynol iddi, y lleinw holl gonglau y ddaear. Nid oes neb a ddichon ei siglo, ei diddymu na'i darostwng, ond yr Hwn a'i sefydlodd, a'i cadarnhaodd, ac a'i derchafodd.

---

## CYFLWR CYNNORTHWYWYR Y SIOPWYR YN LIVERPOOL.

---

*Diweddiad o Araeth y Parch. H. M'Neil, tu dal. 304.*

### ERTHYGL III.

Yn oeddynt mewn cyflwr i ddechreu yr anturiaeth yma yn dda, oblegid yr oedd rhai uchel-ysbryd, anrhydeddus siopwyr yn Llynlleifiad, y rhai yn ngwyneb yr holl anhawsdra, yn ngwyneb yr holl annhegwch mewn cydymryson, yn eon a gymmerasant y llwybr o gau eu siopau i fynu am saith o'r gloch. Yr oedd yn ymhwedd ar y cyhoedd yn Llynlleifiad i roddi iddynt eu cynnorthwy goreu a gwresocaf.

Yr oedd un golygiad neillduol yn yr achos hwn, yr hyn feddyliai oedd yn bwysig i'w ystyried cyn iddo fyned heibio oddiwrth y pwnc o amser, a hyny oedd yr hawl neillduol a deimla rhai personau oedd gan ddydd Sadwrn i nifer ychwanegol o oriau i weithio. Yma etto y deuai y gormeswr *arferiad* i mewn. Dydd Sadwrn oedd diwrnod marchnad; pobl segur a ânt o gwmpas yr heolydd ar brydnawnau Sadwrn: ac os cedwid y siopau têg, a chyfoethog, a dysglaerwych, gyda'u panelau gorwych, a'u goleuadau ysblenydd, yn agored hyd un-arddeg y nos i gael prynwyr, y bobl segur hyny a rodiant yr heolydd hyd yr awr hono.* Beth oedd y canlyniad? Yr oedd yn yr amlaf o'r siopau, yn enwedig rhai y llieinwyr, waith awr, ac weithiau ddwy awr, i'r cynnorthwywyr ar ol cauad y drysau allanol. Hyn a orfodoga, braidd yn ddieithriad y dynion ieuainc hyny i weithio ar foreu Sabboth. Teimlai sicrwydd boddlonawl, pa fodd bynag, na wnai y mwyafrif o gyhoedd Llynlleifiad ddim cymmeradwyo un gyfundraeth, pan y deallant ei bod yn drefnidiol halogi y Sabboth drwy y fath weithredoedd a rhai'n; gan hyny dylai y cyfarfod hawlio yr un pryd i derfynu llafur y cynnorthwywyr ar y Sadyrnau ag ar ddyddiau ereill. Yr oedd efe wedi clywed gwrth-ddadl yn erbyn hyn oll, seiliedig meddynt ar ymbrawf, ac ar ryw ffeithiau a haerid yn erbyn ymddygiad y dynion ieuainc eu hunain. Yr ymbrawf at ba un y cyfeirir, ydoedd "Sefydliad y Masnachwyr, (*Tradesmen's Institution*)" at ba un y tan'sgrifiodd, ac y cynnorthwyodd y meistriaid, fel y gallai eu dynion ieuainc wellhau eu hunain wrth ddarllen. Ni chynnaliwyd mo hono er hyny gan y cynnorthwywyr, yr oedd efe yn credu nad oedd ond tua 150 allan o 9000 yn myned yno. Y ffaith yma a appelid ati fel prawf nad oedd un defnydd rhoddi iddynt ychwaneg o amser, gan eu bod wedi camddefnyddio yr amser a roddwyd iddynt eisoes. Adroddiad arall a wnaethpwyd, i eirwiredd pa un, neu yn hytrach i helaethder gwirionedd pa un, nid oedd efe yn barod i fyned; onid i'w natur yr oedd. Haerir am danynt, eu bod hyd yn oed yn awr, yn yr hamddenau byrion a ganiataer ar eu prydiau, neu yn y darnau byrion o amser a gymmerant drwy ladrad, yn myned i'r tafarndy i yfed.

Haerir hyn fel rheswm, na ddylai fod dim llinariad o'u hysbaid sefydlog o lafur. Yr oedd efe yn haeru y ffeithiau hyn, fel ar ei ochr ef o'r ddadl, oblegid dangosant fod y gyfundraeth bresenol wedi darostwng cymeriad y dynion hyn oddiwrth yr hunanreolaeth o ddeallgarwch dynol i lawr i gymmysgedd o beirianwaith mewn masnach a meluswedd anifeilaidd mewn mwyniant!

---

* Y mae y rhan fwyaf o siopau Llynlleifiad yn agored hyd hanner nos Sadwrn, a rhai hyd yn oed pan y byddo dydd yr Arglwydd yn gwawrio arnynt!

Yr oedd yn gofyn rhywfaint o amser i adferu oddiwrth effeithiau gwaethygus y fath gyfundraeth syfrdanus a hon. Adgoffa hyn iddo rai o'r rhesymau y cafodd yr anffawd o glywed lawer o flynyddoedd yn ol, yn cael eu dwyn yn mlaen gan y gwrth-ddiddymwyr mewn perthynas i'r caethweis negroaidd. Dywedasant wrthym fod y negroaid tlodion wedi eu diraddio gymmaint nad oeddynt yn gofalu am ryddid, a bod yn well ganddynt gaethiwed, ac os byddai i chwi eu gwneud yn rhydd, yr ocheneidient am fyned yn ol at eu rhwymau. Clywodd am un yr hwn trwy dirio ar ein goror ddedwydd a wnaethwyd yn berffaith wirioneddol (*ipso facto*) rydd; etto er ei fod wedi ei wneuthur yn rhydd trwy dirio yn Lloegr, dewisai yn hytrach fywyd o gaethiwed, a dychwelodd fel y cyfryw i'r India Orllewinol. Beth a brofai hynyna? profai fod y sefyllfa o gaethiwed wedi ei amddifadu o deimladau ac egwyddorion dyn. Ac os oedd y gyfundraeth siopaidd yma, wedi dirywio cymdeithas o ddynion ieuanc fel pan byddai amser yn cael ei roddi iddynt, y byddant yn ei gamddefnyddio, yr oedd yn ardystio ei fod yn meddwl hyny yn un o'r rhesymau cadarnaf o blaid cyfnewidiad—yn rheswm ychwanegol am gyfnewidiad trefniadol a doeth.

(*I'w barhau.*)

---

## LLYFR HYMNAU EGLWYS Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN LIVERPOOL.

Ymddengys rhai o'ch Gohebwyr yn eich Rhifyn o'r Drysorfa am y mis presennol (Medi,) megys yn hynod o annyoddefol, a chryn dueddol at gynhen. Ychydig feddyliais wrth anfon i'ch sylw fy adolygiaeth ar Lyfr Cathlau Eglwys Liverpool yr effeithiai gymaint ar naws na thymher neb fel i achlysuro agoriad ffordd i mi wneuthur sylwadau ychwanegol mor fuan ar yr un gwrthddrych. Ac yn wir y mae hyny yn lled ryfedd, wrth ystyried nad oedd genyf unrhyw ddyben yn fy Adolygiaeth o hono, ond yn unig nodi rhai rhagoriaethau priodol iddo, er mwyn ei gyfleu yn ol ei deilyngdawd i sylw mwy ehelaeth a chyffredinol, fel trwy hyny y gallai fy mrodyr y Methodistiaid, at y rhai yn gyffredinol, yn ol achlysur a gefais yn ngofynion Mr. R. Mills, y cyfeiriais fy sylwadau, gyrhaedd gwybodaeth ehelaeth o hono, ac felly yn enwedig y rhai hyny o honynt a gyd olygent a myfi yn ei gylch, ei fwynhau a'i ddefnyddio er eu mantais, eu lles, a'u hadeiladaeth eu hunain. I'r hyn, yn ol barn llaweroedd y mae yn werthfawr genyf fod o'r un golygiadau a hwynt, y mae y cymhwysaf a ymddangosodd yn ein plith hyd yn hyn. Dywedodd un Gweinidog o ganol Cymru, y dangosodd y Methodistiaid ymddiried mawr i'w olygiadau, wrth ei gyflwyno i sylw yr Eglwys ar ei ymddangosiad—ei fod y fath, fel oni frysiai pobl Liverpool ei feddiannu y byddai i'w brodyr o Gymru ei gipio megys o'u dwylaw. Dywedodd un o'r Gweinidogion* mwyaf parchus a defnyddiol a etifeddodd y Trefnyddion Calfinaidd—ei fod y rhagoraf a welodd ef. Dywedodd un arall ei fod yn gyfryw, fel y dymunai ei weled ar holl bulpudau y Cyfundeb.

Ymddengys hyn yn rhyfeddach fyth, pan ystyrier na wnaethum yn hyny unrhyw gydmhariaeth o hono ag unrhyw gyhoeddiad o'r un natur, ac na chyfeiriais at gymmaint ag un ond yn unig yr hen "Grawn Sypiau" derbyniol a hoff, o ddefnyddiad pa un gresyn ydoedd difuddiaw y Corph cyn yn gyntaf gael ei gystal i gyflenwi ei le. Dichon efallai yr achlysurwyd hyn trwy esgeulusdawd perthynasau ei Barchedig Gasglydd i ofalu am argraphiadau adnewyddol o hono at wasanaeth y Corph. Fodd bynag am hyny, gwnaed y diffyg hwn i fynu yn bresennol mewn ail ymddangosiad perffeithiedig o hono yn y Casgliad dan sylw. Diammheu genyf, tra y parhao yr archwaeth a'r profiad ysbrydol oedd yn yr Hen Fethodistiaid gynt, i weithredu yn eu holynwyr, y bydd ei gymeriad yn anrhydeddus, ei anwyldeb yn fawr, a'i ledaeniad yn ehelaeth yn eu plith.

Mae Llyfr Hymnau Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool yn wrthrych rhy ardderchog a gwerthfawr i ymgynhenu yn ei gylch. Diau y byddai hyny yn sarhâd mawr ar ei gynnwysiad gogoneddus a phob peth perthynol iddo. Pe y gwnawn i hyny, clwyfwn fy nghydwybod. Efallai hefyd, y camgymerodd y Beirniad y mae a wnelwyf am ychydig a'i feirniadaeth annghywir, ei wrthddrych. Pa un bynag am hyny, ni wnaf ond sylwi ar y camgyhuddiadau a ddygodd yn fy erbyn, a chraffu ychydig ar y diwygiadau y dadleuodd o'u plaid. Ac er y cofiwyf ddarfod i mi, flynyddoedd yn ol, led grybwyll am wneuthur cydmhariaeth o'r diwygiadau a wnaed o bryd i bryd yn nghyfieithiad Edmund Prys o'r Psalmau, â'r hyn ydynt yn wreiddiol yn ei waith ef, a bod llawn angenrheidrwydd o herwydd eu hafles a'u niweidrwydd graffu ar a dynoethi y ffug-ddiwygiadau lluosog a wneir yn yr Hymnau: âf heibio yn bresennol heb sylwi ond ar y rhai a nododd y gwr hwn, oddieithr un neu ddau yn ychwaneg, gan obeithio y bydd hyny yn ddigon er ateb y dyben.

Cyhuddodd y beirniad hwn fyfi o gondemnio casgliad Mr. Morris Davies. Ni wnaethum hyny. Ni wyddwn y cynnwysai y casgliad hwnw y cyfnewidiadau a ddyfnododd, ac nid wyf yn cofio y gwelais ef deirgwaith yn flaenorol i ganfod ei feirniadaeth ef. Arwyddais yn fy Adolygiaeth nad oedd genyf gyfeiriad na diffyg ewyllys

---

* Y diweddar Barch. John Elias.

da tuag at unrhyw gasgliad o'i gyffelyb. Ac yn wir nid wyf yn meddwl na chred fy mrodyr fi yn hyn, oddieithr y dichon yr ymresymydd hwn eu darbwyllo i goelio ei fod ef yn medru deall ac adrodd gweithrediadau y meddwl mau yn well na mi fy hun! Os yw dysgleirdeb rhagoriaethau priodol y Casgliad a adolygais yn tywyllu priodoliaethau y Casgliad hwnw, nid oes genyf fi help wrth hyny. Nis dichon i hyny fod yn fai priodol i mi na'r Llyfr a hoffwyf. Mae ardderchawgrwydd ansoddawl Llyfr Cathlau Eglwys Liverpool yn gyfryw fel mai yn ei oleuni ei hun y canfyddir egluraf yr hyn ydyw. Eithaf anfuddiol fyddai ei fesur, ei gydmharu, na'u gystadlu ag arall er arddangos ei ddymunoldeb. Felly gadawaf y ffordd hòno o ganmoliaeth i'm gwrthwynebydd, yn ol ei duedd a ddangosodd ati yn ei Feirniadaeth.

Awgrymodd y gwr hwn y seiliais fy nghanmoliaeth i'r Casgliad ar y ffurf o hono. Ni wnaethum, ac ni chyffyrddais a hyny. Ond gan y dygodd ef hyn i'r bwrdd, sylwaf fod hyn yn ychwanegiad at ei gymhwysderau a nodwyd o'r blaen i fod yn Llyfr at wasanaeth y Corph yn gyffredinol, ac o'r hyn y tardd manteision ehelaeth mewn rhai amgylchiadau i y rhai a'i defnyddiant.

Cyhuddodd fi o anweddeidd-dra, anfrawdgarwch, ac annghymedroldeb mewn sylwadau ar Gasgliad Mr. Davies, yn gyferbyniol â darfod iddo ddyfod allan trwy ganiatâd Cymdeithasfa y Methodistiaid yn Ngwynedd. Nid wyf yn euog o'r naill na'r llall o'r pethau hyn. Y mae na chyfeiriais at y Casgliad hwnw yn brawf ar unwaith o'u geudeb oll. Gwn yr ei cyhoeddwyd trwy ganiatad y Gymdeithasfa. Nid yw, ac ni bu hyny "yn flin" genyf. Ond nid wyf yn golygu, ac ni'm haddysgwyd fod y caniatâd hwnw yn cynnwys ynddo unrhyw rwymau na gorfodaeth ar neb i ddefnyddio y Casgliad, yn wrthwynebol i'w dewisiad, na gwaharddiad i ddefnyddio unrhyw gasgliad defnyddiol arall: ac y mae ymddygiadau llawer, nid o bersonau yn unig, eithr o gynnulleidfaoedd hefyd, yn profi bod eu golygiadau yr un. Tystiolaethwyd wrthyf gan dyst a ddylasai wybod—y cyhoeddwyd ac y defnyddiwyd y "Grawn Sypiau" trwy ganiatâd a chymmeradwyad y Gymdeithasfa er ys agos i ddeng mlynedd a deugain bellach. Ond nid wyf yn deall y galwyd y caniatâd hwnw yn ol mwy na'r llall. Os na wnaed, ac os yw y dystiolaeth uchod yn wir, y mae yn brawf amlwg o gywirdeb y golygiad a nodais, ac nad oes y fath niwed ag a allesid ddychymmygu fod oddiwrth ymyriad diachos y gwr hwn, yn fy Adolygiaeth mewn cyferbyniad â'r caniatad hwnw, nac ychwaith mewn diffyg cyfattal awdurdod, hawl, ac iawnderau y Gymdeithasfa.

Casglwyd a chyhoeddwyd Llyfr Cathlau Eglwys Liverpool, ar ddymuniad a thrwy awdurdod Cyfarfod Misol. Mae yn bur debyg na feddyliwyd y pryd hwnw am i'w daeniad fod yn helaethach na chylch y cynnulleidfaoedd ydynt dan olygiaeth y Cyfarfod Misol hwnw. Ond wrth ganfod ac ystyried ei ragoriaethau, meddyliwyd nid yn unig gan *Talmid*, ond gan lawer o *Athrawon* dysgedig, fod ynddo gymhwysderau i fod yn llyfr at wasanaeth y Corph yn gyffredinol.

Cyhuddodd y gwr hwn fi o annghysondeb a mi fy hun. Nid yw ei holl gyhuddiadau yn nghyd yn werth fy sylw, ac ni sylwaswn arnynt oni buasai fy mod yn chwennych sylwi ar yr hyn y cyfeiria ato yn ei brif gyhuddiad. Mae gwahaniaeth rhwng annghytuno ag un a olygai fod peth yn bosibl, neu gyrhaeddadwy, â dywedyd fod y peth hwnw heb ei gyrhaeddyd, neu yr aeth pob ymdrech a wnaed tuag at ei gyrhaeddyd, yn ofer. Mae gwahaniaeth hefyd rhwng bod peth a golygu nad yw y peth hwnw mor angenrheidiol ag y tybiwyd ei fod. Dichon y gallai fod hanner can mlynedd yn ol, fwy o angenrheidrwydd newid ychydig eiriau mewn Hymnau yn nghangheniaith (*dialect*) pobl y Deheudir, er eu gwneud yn fwy deallus i drigolion Gwynedd, nag sydd yn awr. Cyhuddiad trymaf y dyn hwn i'm herbyn yw—yr haerais yr hyn nad yw wirionedd yn mherthynas i'r cyfnewidiadau a wnaed yn yr Hymnau, yn enwedig yr eiddo Anne Griffiths. Ar ol ceisio dangos hyny, y mae yn appelio at bod darllenydd a dim chwaeth ynddo at farddoniaeth i farnu a oes yn y cyfnewidiadau a ddyfynodd gymmyliad ar un drychfeddwl, neu wanychiad ar rymusedd un ymadrodd, na dim arall i gyfiawnhau yr iaith a arferais.

Cyn gwneuthur un sylw ar y cyfnewidiadau hyn, dymunaf ryddid i dystiolaethu —nas gwyddwn, fel y dywedais eisoes, fod y cyfnewidiadau a ddyfynwyd yn Nghasgliad Davies, yn flaenorol i ganfod y feirniadaeth dan sylw. Ni chyfeiriais at unrhyw gyfnewidiadau gyda dyben i friwo teimladau neb, ond yn unig er mwyn dynoethi peth sydd, yn ol fy ngolygiadau i, yn llygredigaeth cynnyddol yn y blynyddoedd presennol, sef ymyraeth awduron a gweithiau awduron ereill er ceisio eu gwellhau, ond yn lle hyny eu gwaethygu. Mae hyn wedi ei ddwyn yn mlaen i raddau ehelaeth o annghymedroldeb, fel mai anhawdd mewn rhai amgylchiadau ydyw cael gwaith awduron yn gynnwynol (*genuine.*) Heb gyfeiriad at neb, ond yn gyffredinol, dywedaf, y byddai yn eithaf rhesymol i rai a deimlant barodrwydd i ymaflyd yn y fath orchwyl, ystyried, o ba egwyddor ynddynt y tardd hyny. Byddai yn ddrwg genyf friwo teimladau neb yn hyn, er, ar yr un pryd, nid wyf yn golygu y dylai ofni hyny fy attal i dystiolaethu yn erbyn bai mor gyffredinol,

a'i ystyried yn yr ehangder o hono. Mae genyf o'm blaen, tra yn ysgrifaw hyn, bedwar o gasgliadau, a fuont neu a ydynt, yn ddefnyddiedig gan rai cynnulleidfaoedd perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd, wedi eu britho a gwahanol gyfnewidiadau. Gwelais un o Hymnau A Griffiths yn fuan iawn ar ol ei hymddangosiad cyntaf, wedi ei chyfnewid yn fawr, mewn casgliad a ddefnyddid y pryd hwnw gan enwad arall o Grefyddwyr. Mae'n dyfod i'm cof am yr Hymnyddion rhagorol y Parchedigion J. a C. Wesley. Ar ol iddynt gyhoeddi crynodeb o'u Hymnau, canfyddent rai o honynt yn fuan iawn mewn casgliadau ereill, wedi eu cyfnewid. Ar hyny, rhoddasant hysbysiad allan, eu bod yn eithaf boddlon i bwy bynag a ewyllysiai eu defnyddio yn eu ffurf gysefin, ond nad oeddynt yn foddlon eu cyfnewid. Er ys llawer o flynyddoedd bellach, digwyddodd i un ydoedd ddigon adnabyddus i'r Hen Fethodistiaid, gadw odfa yn y Bala, a'r diweddar Barch. Thomas Charles yn ei wrando. Er ei fod ar hyd ei oes yn annghymeradwyo y cyffelyb gyfnewidiadau, etto, yn ddifeddwl, rhodd bennill o Psalm allan mewn ffurf ddiwygiedig, sef, fel hyn, "Dim nis dymunwn hebost ti." Yn lle "Dim ni ddymunwn gydâ thi," fel y mae yn wreiddiol. Mr. Charles ar ol myned i'r tŷ, a ddywedai wrtho yn ei ddull siriol priodol ef o ymresymu—"Paham ——— y dywedech chwi heno g——dd ar Edmund Prys, y Psalmydd a'r Ysbryd Glan?" Mae y dygwyddiadau hyn yn y swrn o honynt yn dra niweidiol, yn rhwydo dynion i wneud peth nas mynent. Mae y niwed sydd ynddynt yn gorbwyso pob diwygiad a wnaed trwyddynt. Dylid anfon eu hwynebau cyfnewidiol i ffordd. Doeth a da yr ymgadwodd fy nghyfeillion yn Liverpool oddi wrth ymyraeth â hwynt.

Yn mhellach, dymunaf ryddid i sylwi nad wyf yn ymyraeth nac yn ymholi yn nghylch cywirdeb na diniweidrwydd dybenion neb yn y cyfnewidiadau hyn. Mae hyny allan o gylch fy sylwadau. Nid oes â wnelwyf ond yn unig â'r cyfnewidiadau. Nid wyf yn ymholi ychwaith yn nghylch hawl nac awdurdod Mr. Davies, na hawl nac awdurdod câr Mrs. Griffiths yn caniatau iddo ryddid i gyfnewid ei Hymnau. A hyn nid oes a fynwyf. Ni soniaswn am enw na Llyfr Mr. Davies, oni buasai i'r Beirniad hwn osod gorfodaeth arnaf. Hyn a olygwyf—nad oes gan neb hawl nac awdurdod i'n dituddio o ddefnyddiad Hymnau A. Griffiths, yn ei ffurf gysefin, na'n gorfodogi i'w defnyddio mewn unrhyw ffurf arall, yn gymaint ag mâi yn eu ffurf wreiddiol yr anrhegwyd ni gyntaf â hwynt, a bod lluaws o honom yn eu dewis yn y ffurf hono yn hytrach nag mewn unrhyw ffurf arall a ymddangosodd arnynt hyd yn hyn.

Y peth trymaf a mwyaf angenrheidiol mewn barddoniaeth, er ei gwneud yn chwaethawl a defnyddiol, os wyf yn golygu yn gywir, ydyw cyflawnder meddylddrychau, yna synwyr i'w dosbarthu a'u harddangos, ac yn ddilynol i hyny, mesur a chynghanedd.

Gŵyr pawb ystyriol, cydnabyddus a Barddoniaeth A. Griffiths, mai yn y ddau beth a nodwyd gyntaf y mae ardderchawgrwydd ei Hymnau hi yn gynnwysedig. Felly o ganlyniad, cenfydd pwy bynag a gymero arno eu diwygio mewn mesur a chynghanedd y gorchwyl o hyny yn un tra anhawdd ei gwblhau, heb eu hysbeilio o'u meddylddrychau gwehelyth, a chyfnewid eu hystyr, ac felly eu dihanfodi o ran yr ansawdd o honynt. Ac yn wir nid wyf fi yn canfod cymaint angen am eu diwygio oddiwrth ambell sill a geir ynddynt yn ormod i'r mesur—mae yr accen yn disgyn yn eithaf naturiol i'w lle priodol ynddynt oll. Felly golygwyf fod yn ddigon hawdd, gydag ychydig ofal, eu canu yn eu ffurf gysefin ar donau rheolaidd cyfaddas i'w hansawdd. Ond pe byddai gwir angenrheidrwydd eu diwygio yn hyn, paham na ddygid hyny i berffeithrwydd? Bu llawer o bryd i bryd yn nghylch y gorchwyl, ond y mae rhyngddynt oll yn anorphenedig hyd heddyw, fel y mae y llyfrau, ïe y rhai diwygiedig o honynt, yn dryfrith o'r cyffelyb feiau, ac nid yn unig yn Hymnau A. Griffiths, eithr yn eiddo ereill hefyd. Ac yn wir y mae rhai o brif Feirdd yr oes yn syrthio i'r un bai wrth ganu ar y mesur y canodd hi fwyaf arno.

Un cyfnewidiad yn Hymnau A. Griffiths y sylwais arno lawer gwaith gydag eiddigedd (nis gwn, ac nis gwaeth genyf pwy yw ei awdwr) a wnaed yn y darn pennill canlynol:—

"Amser cànu, diwrnod nithio,
Etto yn dawel heb ddim braw,
Y gwr sydd imi yn ymguddfa,
Sydd a'r wyntyll yn ei law."

Y diwygiad ydyw—"'Rhwn sydd imi yn ymguddfa," &c.

Nid oes dim yn fwy amlwg na bod y dystiolaeth Ysgrythyrol—"A gwr fydd megys yn ymguddfa," &c. yn brofiad ysbrydol yn enaid A. G. pan y cyfansoddodd y pennill dan sylw. Mae y diwygiad a nodwyd, (er mwyn ysgoi y bannod diniwed, "Y" yn nechreu y llinell,) megys cwmmwl dudew yn tywyllu llewyrch y profiad nefolaidd hwnw, ac fel llen orchudd yn cau ar rymusedd ac ardderchawgrwydd yr ymadrodd, ac felly yn cuddio gogoniant y "Gwr" yr ydoedd hi mor beraidd yn canu am dano.

Y cyfnewidiad cyntaf a nododd ein Beirniad, sydd mewn pennill o'r hwn y mae y darn canlynol yn rhan—

"Dyma'r Person a ddyoddefodd
Yn ein lle ddigofaint llawn,
Nes i gyfiawnder waeddi gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais iawn."

Y diwygiad ydyw, 'A chyfiawnder waeddi Gollwng',&c. neu yn ol ereill, "A chyfiawnder waeddodd gollwng," &c. Pwy ni chenfydd, fod yn y naill a'r llall o'r diwygiadau hyn, hollol ddiddymiant o un o brif feddylddrychau cysefin yr Hymnau?

Ni sylwaf yn mhellach yn bresennol ond yn unig ar y cyfnewidiadau a wnaed o bryd i bryd ar y pennill ardderchog,

"Bydd melus gofio y cyfammod,
Draw a wnaed gan Dri yn Un,
Trag'wyddol syllu ar y Person,
A gym'rodd arno natur dyn:
Wrth gyflawni yr ammodau,
Trist iawn hyd angeu ei enaid oedd
Dyma gân y saith ugein-mil,
Tu draw i'r llen mewn llawen floedd."

Y diwygiadau sathredig ydynt,—"Melus gofir y Cyfammod," &c. "Bythol syllir ar y person," &c. Nid yw y diwygiad a ddyfnolwyd gan y Beirniad J. yn werth sylw, Defnyddio y darn pennill yn ol hwnw, a'i gwnai yn hollol wag o bob ystyr a synwyr. Mae dechreu y pennill, yn y ffurf wreiddiol o hono, yn cynnwys arddangosiad godidog, a dull tra ardderchog a ddefnyddir yn fynych yn yr Ysgrythyrau i lefaru am wrthddrychau ehelaeth a didor eu parhad, weithiau ynddynt eu hunain, bryd arall yn eu heffeithiau a'u canlyniadau,—"Bydd, yr achubir pob un a alwo ar enw yr Arglwydd."—"A gwr fydd megis yn ymguddfa."—"Bydd melus fy myfyrdod am dano,"—"A'r farn a fydd." Mae meddylddrychau gwreiddiol y pennill yn cynnwys—y bydd melus, didòr a thragywyddol, gofio y cyfammod a syllu ar y Person. Nid yw hyn yn y diwygiadau a nodwyd, o leiaf nid yw yn ymddangos drwyddynt yn y cyflawnder, y grymuseìd a'r ardderchawgrwydd yr ei canfyddir yn ngoleuni ymadroddion cysefin y pennill.

Y diwygiad yn niwedd y pennill nid yw mewn ystyr, ond bychan—ddim mwy na dilead gair byr mewn ymadrodd, er hyny mewn ystyr arall, y mae mor fawr fel y mae megis llenorchudd yn cuddio gogoniant Iesu Grist, ïe, gogoniant priodol iddo yn nyfnder ei dristwch a'u ddyoddefiadau, ïe, y gogoniant y gweddïai am gael ei ogoneddu ynddo, pan y cododd ei lygaid i'r nef, ac y dywedodd, "Y Tad, daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau." Dywed dysgedigion fod y gair yn yr iaith wreiddiol yn yr Efengylau, a gyfieithir "trist iawn," yn arwyddo tristwch yn ymgau am un o bob tu. Gwelodd yr Arglwydd Iesu yn dda ddefnyddio ymadrodd felly i osod allan dristwch ei enaid. Gwelodd yr Ysbryd Glan yn dda gyfarwyddo ei Efengylwyr i'w ysgrifenu felly. Gwelodd cyfieithwyr y Bibl i'r Iaith Gymraeg yn dda, (tebygol am na feddent ymadroddion cymhwysach er gosod allan ei ystyr) ei gyfieithu â'r geiriau "trist iawn." Gwelodd A. G yn dda wrth gofio a chanu am y tristwch hwnw, a dwyn coffâd am dano i mewn i'r gerddoriaeth, ddefnyddio'r un geiriau, er ei bod yn ormod o sill i'r mesur. Paham gan hyny y diwygia neb y gyfryw gerddoriaeth ag unrhyw ddiwygiad a fyddo yn toli ar ei hystyr, ac yn enwedig gan y cymmyler, trwy hyny, ddisgleirdeb mor werthfawr ac ardderchog? Dywedaf yn ostyngedig—hwnt â'r fath ddiwygiadau chwithig! Diwygier yr holl gasgliadau a'u cynnwysent oddiwrthynt.

TALMID.

*Medi* 30, 1841.

O. Y. Gan y golygwyf fod y dyfyniad canlynol o Ragymadrodd y Casglyddion i Lyfr Hymnau a Salmau Eglwys Liverpool, yn hysbysiad cywir am yr achos o'i ymddangosiad, ac yn rheswm digonol dros ymgadwad fy nghyfeillion oddiwrth ymyraeth ag unrhyw ddiwygiadau yn yr Hymnau, na'r Psalmau, dymunaf gael lle iddo yn y Drysorfa.

Ar ol hyspysu y cymerasant y gorchwyl o'i gyhoeddi mewn llaw, ar ddymuniad Cyfarfod Misol y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool, dywedant—"Pe y ceisiasai ein brodyr genym wneud newidiadau, neu ddiwygiadau mewn synwyr neu farddoniaeth yn Hymnau Williams, ac ereill, diau y buasem yn cilio yn ol mewn arswyd rhag cymeryd arnom y fath orchwyl. A phe gofynasid i ni gymeryd yr Hymnau fel y maent wedi ei diwygio gan ereill, y mae archwaeth pobl mor wahanol, a'r diwygiadau ar yr un pennillion mor amryw, fel y buasai yn anhawdd iawn gwybod pa ddiwygiad i'w ddewis, ond gan mai eu cais ydoedd, cael odlau yr hen Brydyddion Cymreig heb eu newid, ni a gydsyniasom i ymaflyd yn y gwaith, gan hyderu nad ydym wrth gyhoeddi Hymnau yr hen bobl yn eu gwisg gyntefig, yn rhoddi achlysur teg i neb dramgwyddo. Ac felly ni bydd neb i'w beio am wall-synwyr neu gam-brydyddiaeth yr Hymnau hyn, ond eu cyfansoddwyr gwreiddiol."

"Ni ddymunem osod un rheol bendant i lawr am y modd y dylid rhoddi allan a chanu y pennillion hyn. O bydd rhai yn dewis y dull Seisnig o ganu Hymn gyfan ar y tro, ceisiasom drefnu yr Hymnau yn gyfleus i hyny. Ond os bydd rhai yn dewis yr hen ddull Methodistaidd o ganu dim ond un pennill neu ddau ar y tro, a dyblu a threblu yn ol y blas a gaffer, ar yr un geiriau—'dywedyd eilwaith Aleluia,' &c. ceisiasom gyfaddasu y llyfr at wasanaeth y rhai hyny hefyd, drwy roddi dangoseg o bob pennill yn niwedd y llyfr."

## AGWEDD CREFYDD YN DUBLIN.

BARCH. SYR.—Dymunasoch arnaf, y tro diweddaf y gwelais chwi, anfon ychydig o hanes yr Achos Cymreig yn Nublin. Ni chefais gyfleusdra i fyned yno hyd fis Medi diweddaf, ac yr ydwyf newydd ddychwelyd oddiyno. Y mae tair o Siroedd Gogledd Cymru, sef Mon, Arfon, a Meirion, yn anfon pregethwyr yno yn eu cylch, sef un bob mis, gan obeithio y bydd hyn yn lles i'r achos yn y lle. Y mae y cyfeillion yn Nublin yn taer ddymuno ar eu brodyr yn y gogledd i barhau i anfon atynt rhagllaw, ac na lwfrhaont, gan fod addewid yr Arglwydd y bydd i'r fechan fod yn fil, a'r wael yn genedl gref.

Sul y Pasg diweddaf, (Ebrill 11,) cynnaliwyd y Gymmanfa gyntaf erioed yno yn mhlith y Cymry yn yr Iwerddon, a phregethodd Mr. W. Charles, Mon, Mr. Joseph Williams, Liverpool, a Mr. John Jones, o Wrexham. Cawsant gyfarfod llewyrchus, a chynnulleidfa liosog i wrandaw. Ar ol hyny bu Mr. Owen Williams, Meirion, a Mr. Ellis Ffoulkes, Sir Gaernarfon, yno, a diau nad yn ofer. Ac yn bresennol y mae Mr. W. Charles, Mon, yno. Y mae golwg siriol ar yr achos: ac fe weddai i'r Cymry sydd yn preswylio yno, yn enwedig y morwyr sydd yn myned yno, fawrhau yr Arglwydd am fod Capel Cymreig yn y porthladd hwn, lle y gallant glywed, os mynant, yn eu hiaith eu hun, yn yr hon y'u ganed, fawrion weithredoedd Duw.——Yr eiddoch,

H. BARROW.

*Bwrdd Llong, Hyd.* 9, 1841.

---

## ANERCHIAD

*Oddiwrth Ddirwestwyr Sir Drefaldwyn at eu Cyfeillion Dirwestol.*

Y MAE ein hamgylchiadau trallodus yn hysbys bellach trwy Gymru a Lloegr; ac y mae parthau o Gymru, a rhai o drefydd Lloegr, wedi dangos tiriondeb mawr tu ag atom. Casglwyd yn Swydd Fon 120 o bunnau; yn Arfon (sef rhan o Swydd Gaernarfon) yn agos i gan punt; yn Swydd Aberteifi dros bedwar ugain a deg o bunnau; a dangoswyd yr un ffyddlondeb mewn manau ereill, ond nis gallwn nodi y swm, am nad yw llyfr y Trysorydd wrth law. Yr ydym yn dychwelyd ein diolchgarwch gwresocaf iddynt am eu caredigrwydd; a buasem ninnau wedi argraffu yr Adroddiad a addawsom oni buasai ein bod yn methu gorphen; a'n bod dan y fath lwyth fel nas gwyddom yn y byd pa fodd i ymgynnal dano. Y mae rhanau o Ddinbych a Fflint hefyd wedi bod yn garedig iawn; ond nid oedd ein dyled ond bechan pan y bu y Cenadon trwy y wlad ydd hyny, mewn cydmariaeth i'r hyn a fu wedi hyny, ac a ydyw yn awr.

Y mae cyfyngder ein hamgylchiadau y fath, nas gwyddom pa beth i'w wneud. Talu sydd raid, ond o ba le y cawn fodd nis gwyddom. Y mae trallod ein meddyliau lawer awr yn annisgrifiadwy. Gweinyddodd y sylw a fu yn Nghymmanfa Dolgellau beth cysur i ni, sef y bwriedir casglu rhyw swm yn mhob lle ddydd Nadolig nesaf; ond pa beth a wnawn o hyn hyd y Nadolig nis gwyddom. Y mae un Cyfreithiwr o Swydd Ddinbych (yr hwn a gymmerodd ein hachos gyntaf) yn gyru yn y modd llymaf am ei dâl. Yr oeddym yn meddwl, gan ei fod yn grefyddwr ac yn ddirwestwr, y buasai efe yn ymarhous wrthym. Ond ni waeth heb ymhelaethu—yr ydych, frodyr, yn gweled ein bod mewn cyfyng gyngor, os nad mewn ing. Mae yma amryw gyfeillion yn sicr o gael eu dinystrio, os na ddaw ymwared o rywle. Pa fath lawenydd fydd hyn i elynion yr achos! a'r fath alar i Ddirwestwyr tlodion! ac i'r holl eglwysi trwy y wlad.

Anwyl frodyr, cofiwch am danom unwaith etto. Yr ydym wedi talu yn agos i chwe chant o bunnau, rhwng yr hyn a gasglwyd yn Swydd Drefaldwyn a manau ereill, ond y mae ein dyled heddyw yn nghylch pum cant o bunnau. Yr ydym yn crymu dani; ac y mae dagrau o drallod yn llenwi ein llygaid wrth ysgrifenu y pethau hyn! Yr ydym ni yma, gan mwyaf, yn awr yn dlodion. Bu genym Mr. Jones, Dol-y-fonddu, Mr. Jones, Gelli, Mr. Griffiths, Meifod, a Mr. Abraham Jones, Llanfyllin, yn wyr o gyfoeth, dawn, a dylanwad. O, na baent gyda ni heddyw i'n cynnorthwyo! ond ni waeth heb son am danynt—y maent hwy wedi diangc o fyd y wylo, ac wedi ein gadael ninnau ar ol yn y trallod mwyaf!

Yn awr, frodyr, a wnewch chwi dosturio wrth y rhai sydd yn y fath gyfyngder? Yr ydym yn cyfeirio hyn yn benaf at y Trefnyddion Calfinaidd, am fod brodyr ereill yn meddwl ysgrifenu i'r Dysgedydd, a'r Eurgrawn. A wna pob Cyfarfod Misol gymmeryd ein hachos dan sylw, a chasglu rhyw swm yn mhob Capel sydd yn perthyn i'r Corph, yn y dull a welont yn oreu? neu ynte a wna pob cymdeithas gymmeryd ein hachos dan sylw ddydd Nadolig? neu ynte a gaiff cenadau genad i ddyfod trwy ryw barthau etto? A gawn ni ail ddyfod atoch frodyr, er fod y meddwl o ail wynebu y cynnulleidfaoedd yn gwanychu ein hysbrydoedd? Etto, pa beth a wnawn? Yr ydym yn erfyn am i gyfeillion pob achos da ein cofio ni. Mae llawer o dafarnwyr wedi bod yn haelionus i ni, gan eu bod yn credu ein bod wedi cael y cam mwyaf.

Byddai yn dda genym gael clywed oddiwrth ein cyfeillion pa beth y maent yn ei

feddwl wneuthur. Trugarhewch wrthym, gyfeillion, canys yr ydym yn y cyfyngder mwyaf.——Hyn dros y Cyfeisteddfod, gan eich gweision,

ROBERT DAVIES, *Soar.*
JOHN HUGHES, *Bont.*

### "MARSHALL AR SANCTEIDDHAD,"

AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

BARCH. SYR.—Yr wyf yn cymmeryd y cyfleusdra i hysbysu i'ch Gohebwr, Mr. J. Phillips, fod yr annogwr a annogodd i ddarllen, a chyfieithu, gwaith Mr. Marshall ar "Sancteiddhad," trwy drugaredd yn fyw, er fod wyth mlynedd er pan roddwyd yr annogaeth. Gwel Rhif. 26, tu dal. 61.

Y mae yn llawenydd genyf fod eich Gohebwr ffyddlon NIHIL wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg; a phe gwybuaswn pwy ydoedd NIHIL (pa bryd y cawn iawn enwau ein cyfeillion?) buaswn wedi anfon ato er ys llawer dydd i ofyn am y llyfr, yn ol ei addowid yn y Drysorfa, Rhif 27, tu dal. 87.

Yn awr, y cwestiwn cyntaf yw, Pa fodd i'w gael allan o'r wasg heb fod yn achos golled i neb? o herwydd, yr wyf yn deall, fod cyhoeddi llyfr, y tro cyntaf, o gryn bwys; ond pe cai y llyfr rhagorol hwn ond ymddangos unwaith, nid oes ammheuaeth ynwyf na byddai galwad prysur am ail argraffiad o hono. Y mae genym frodyr ieuaingc yn Mon ac Arfon, a syched arnynt am lyfrau da ac iachus, pe caent ond cipolwg ar y llyfr uchod ni byddai dwy neu dair mil ond ychydig o'u blaen.

Yr ail gwestiwn yw, pa un ai'r holl waith, ai talfyriad, sydd wedi ei gyfieithu? a pha faint fydd ei bris ef? Meddyliwyf mai talfyriad sydd yn fy meddiant i, wedi ei argraffu yn Edinburgh, Scotland, yn y fl. 1744, ac wedi ei gymhell i'r Yscotiaid gan Ebenezer a Ralph Erskine, ac ereill; ac fe wyr y Cymru ychydig am y gwyr uchod, na buasent hwy yn cymhell llyfr i'w cenedl ond un a fyddai o wir werth. Fe ddywed y gwyr hyn "mai y llyfr mwyaf buddiol yw a welodd y byd er ys blynyddau; a'i fod yn arwain y darllenydd yn union-gyrchol at Iesu Grist." Ac yn wir, os na bydd llyfr yn arwain y ffordd yma nid yw o werth mawr.

Mewn perthynas i'r awdwr, dywed y rhagymadrodd ei fod yn un o'r dwy fil goleuadau a daflwyd allan o'r Eglwys Sefydledig (pechod hyd yma heb edifarhau o'i blegid) ac iddo farw mewn heddwch a llawenydd, yn y fl. 1692, a'r geiriau hyny yn ei enau, "Canys cyflog pechod yw marwolaeth; eithr dawn Duw yw bywyd tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd."

Syr, efallai y gwna rhyw un o'ch Gohebwyr, sydd a chymmwysder i wneud cyfiawnder â'r llyfr ddywedyd gair am dano. Mae hyn yn bur sicr, na fydd raid i'r cymhellwr, na'r argraffwr, na'r gwerthwr, na'r prynwr, ocheneidio, wrth farw, am eu gwaith: ac nid peth bach yw hyn yn y byd drwg presennol.——Ydwyf, &c.

*Bwrdd Llong.* E. LLOYD.

### ESBONIAD AR Y BIBL SANCTAIDD.

*At Bregethwyr, Blaenoriaid Eglwysig, ac Athrawon a Disgyblion Ysgolion Sabbathol.*

DILYS genym ein bod yn yr anerchiad hwn yn cyfarch dosparth ag ydynt wir awyddus am lwyddiant ein cenedl yn mhob dim; ac nid mewn un amcan yn fwy nag yn eu hymgeisiad am wybodaeth sylweddol ac ysgrythyrol.

Er amled breintiau trigolion Cymru y dyddiau hyn, y maent etto yn ol i'r hyn a ddylent fod mewn gwybodaeth o bethau y Bibl. Yr achos o hyn sydd amlwg. Nid yw y Cymry yn ol i un genedl mewn archwaeth at bethau crefyddol—nid ydynt yn ol mewn galluoedd i dreiddio i mewn i wybodaeth,—ond y maent hyd yma yn ol am foddion i gyrhaedd dehongliad gwir o Air y Bywyd.

Llawen genym fod y diffyg hwn yn cael ei wneyd i fynu yn y dyddiau hyn gan ein hanwyl frawd Parchedig JAMES HUGHES, LLUNDAIN; yr hwn, wedi Esbonio yn helaeth a thra rhagorol ar y Testament Newydd, a gymerodd mewn llaw yr Hen, a chan ddechreu ar Moses, mae yn awr yn myned rhagddo gyda gobaith o gyflawni ei waith, trwy ddiweddu ar y Prophwydi hefyd.

Hysbys yw i ni am amryw Esboniadau Cymreig; ond nid i fychanu llafur neb y dywedwn ein barn mai eiddo Mr. Hughes yw y cyflawnaf. Ynddo ceir nodiadau goleu a chywir *ar bob adnod:* mewn beirniadaeth maent yn rhagorol, mewn synwyr hefyd yn sobr a sylweddol; a chyda hyn y mae ein brawd yn melysu y cwbl âg adfyfyrion hyfryd a sanctaidd eu tueddiad. Y NODAU CYFEIRIOL hefyd o gasgliad Mr. Scott a geir ynddo, ydynt anmhrisiadwy i bob myfyriwr yn yr ysgrythyrau. Mewn gair, tybiwn mai gwir y dywediad am dano mai "Prif Esboniad Cymry ydyw."

Ond galarus ydyw meddwl fod cynnifer o'n cenedl yn ddiystyr ganddynt y rhodd werthfawr hon. Nid afresymol fuasai dysgwyl fod 20,000 yn estyn eu dwylaw am dani; ond gan mai nid felly y mae yn bod, yr ydym yn cymeryd y cyfleusdra i'ch cyffroi yn achos y gwaith hwn. Dangoswch eich bod yn gwerthfawrogi Mr. Hughes yn ei waith yn "ymboeni yn y gair:"—cefnogwch y Wasg Gymreig yn ei hymdrech i wasgaru anwybodaeth; ac wrth eich hannog i hyn, dywedwn yn ngeiriau trigolion parth o Affrica, pan yn cardotta—"Gwnewch i chwi eich hunain ddaioni."

Mae yn siriol genym weled yr egni a wneir mewn llawer ardal i gael y llyfr hwn drwy ymffurfio yn glybiau; trwy fabwysiadu y dull hwn, mae lluoedd yn dyfod i feddiant o hono. Pe byddai ei ledaeniad yn ehangach, yn ebrwydd y canfyddid ffrwyth toreithiog ar y rhai a ymarferent âg ef.——Ydym yr eiddoch, yn ngwasanaeth yr Efengyl,

John Davies, Groes.
Lewis Edwards, Bala.
John Hughes, Pont Robert.
David Howells, Abertawe.
Richard Humphreys, Dyffryn.
John Jones, Tremadoc.
John Jones, Llanllyfni.
W. Morris, Cilgeran.
Moses Parry, Dinbych.
John Phillips, Treffynon.
Henry Rees, Liverpool.
Thomas Richards, Abergwaen.
William Roberts, Amlwch.
Cadwaladr Williams, Mon.
John Parry, Caerlleon.

---

## SYLW AR LYTHYR "TREFNIEDYDD GLAN MENAI,"

Barch. Syr.—Yn y Rhifyn am Hydref diweddaf, yn mhith pethau da ereill, cawsom Lythyr "Trefniedydd, Glan Menai," mewn perthynas i "Ysgolion Rhad." Mae yn ymddangos i mi ei bod yn llawn bryd i'r Trefnyddion Calfinaidd ystyried ei gynnwysiad: o herwydd y mae hon yn oes am gael pob peth yn rhad. 'Pob un yn caru rhoddion, ac yn dilyn gwobrau,' &c. Esa. 1. 23. Diar. 15. 27. Exod. 23. 8. Yn mhlith pethau rhad ereill y mae Ysgolion Rhad (os rhad hefyd) o herwydd fe hysbysa y Trefniedydd fod ysgolion ar enw ysgolion rhad yn Nghymru, a bod yn rhaid i'r rhieni werthu eu plant ar y Sabboth at wasanaeth yr ysgol am eu dysgeidiaeth y chwe diwrnod. Os gwir yw hyn y mae yn *rhy ddrud, yn rhy ddrud.* A chan fod y wlad wedi ei llyngcu gan yr ysbryd caru rhoddion, y mae dynion call ar hyd y wlad (y mae y sarph yn gall) wedi gosod clybiau mewn undeb â'r ysgolion, o'r enw clwb dillad: ac egwyddor y clwb yw, os daw plentyn â cheiniog yn yr wythnos iddo am flwyddyn caiff werth hyny yn ddwbl; ond nid dyna y gwir i gyd. Y mae yn rhaid i bob rhieni a fyddo yn anfon eu plant i'r clwb roddi i fynu bob hawl iddynt ar y Sabboth; ac y mae gwerthu hawl o blant am bedwar swllt a phedair ceiniog yn y flwyddyn, yn rhad iawn; a gweled Methodistiaid yn gwerthu eu hawl o'u plant, fel na chaent ddyfod i'r ysgol, nac i'r bregeth, ar hyd y Sabboth, sydd yn ymddygiad annyoddefol, yn ol rheolau y cyfundeb.

Y mae yn alarus meddwl fod dynion sy'n proffesu crefydd mor esgeulus o'r ymddiried mawr sydd wedi ei roddi dan eu gofal, sef y plant a roddes yr Arglwydd o'i ras iddynt. Y mae pethau yn ymddangos (os wrth ei ffrwyth y mae adnabod pren) pe byddai Pabyddion, neu Fahometaniaid, yn dyfod i ardal y Trefniedydd, a gosod i fynu ysgol rad, a dyblu y rhodd, y caent blant y Protestaniaid yn aberthau at eu gwasanaeth. Ar ol y cwbl y mae yn ddyledswydd ar y Trefnyddion Calfinaidd ddyfod i'r maes, a sefydlu ysgolion yn mhob taith Sabbothol trwy Gymru, er mwyn i blant gwir dlawd gael dysgeidiaeth fuddiol.——Ydwyf, &c.

Carwr Rhyddid Cydwybod.

*B*——, *Hydref*, 1841.

---

## CYNNYRCHIAD PYTATWS.

Mae yn anhysbys i lawer o arddwyr ac ereill am y ffordd oreu i gynnyrchu Cloron, neu Pytatws, oddiwrth had. Y cyfryw ag sydd yn arferol o'u cynnyrchu a gymmerant ddwy neu dair blynedd o amser i'w ddwyn i ben. Ond pe gwneid yn ol y cyfarwyddyd canlynol, fe'u ceid o faintioli wyau ieir mewn un flwyddyn. Cymmerwch ddyrnaid o afalau Pytatws, pan fyddont yn llawn addfed. Cedwch hwynt yn nghrog mewn ystafell gynnes drwy y gauaf. Yn mis Chwefror, tynwch hwynt i lawr, a golchwch yr had allan o honynt mewn dwfr, gan eu gwasgu rhwng eich bysedd a'ch bawd oddiwrth y glud llysnafeddawg sydd yn eu mysg yn yr afalau. Wedi hyny dodwch yr had i sychu ar ddernyn o bapur, a chedwch hwynt. Yn mis Ebrill heuwch hwynt mewn rhychau bychain mewn tir wedi ei balu, ac wedi dodi tail pwdr ar hyd y rhychau oddi tanynt; a dodwch bridd ar hyd-ddynt. Yna, pan dyfont yn fodfedd o hyd bwriwch ychydig bridd atynt o bob tu. A phan dyfont yn dair modfedd o hyd allan o'r ddaear, codwch y planhigyn â rhaw, a dadblanwch hwynt mewn tir wedi ei balu yn dda, a gadewch 16 modfedd rhwng y naill blanhigyn a'r llall. Yn mhen rhyw gymmaint o amser, priddwch hwynt; a phriddwch unwaith drachefn mewn amser cyfaddas, a phan addfedont chwi a gewch gnwd o bytatws da, o faintioli wyau ieir: ond cewch weled y byddant o amryw fath o bytatws oddiwrth yr un had.

*Hydref*, 1841. C.

---

## GOFYNION.

Syr.—Clywais ddywedyd fod pregethwr wedi ei bennodi, gan Gymdeithas Genadol Llundain, i fyned i gynnorthwyo, neu gymmeryd lle, y Parch. John Davies, yn Otahite. Os gwir yw hyn, a fyddai yn anfoneddigaidd i'r Cymry anfon deiseb at y Gymdeithas am ddychweliad Mr. Davies i wlad ei enedigaeth, fel *pensiener*, yn ei hen ddydd-

iau, ar ol ei hir lafur yn mhlith y Paganiaid, er mwyn iddo gael gorphen ei oes mewn tawelwch, a gorwedd yn meddrod ei dadau?

GOFYNWR.

---

LLINELLAU I'W CYFIEITHU.

SYR.—Yr wyf yn ostyngedig yn cymmeryd yr hyfdra i anfon y pennill isod, o waith J. Montgomery, Ysw. i chwi, gan ddeisyf cael cyfieithiad cywir o hono gan rai o'ch Gohebwyr medrus, trwy gyfrwng y Drysorfa, am y bydd hyny yn llawenydd i mi a'm cymmydogion.

'Lovest thou me? I hear my Saviour say:
O, that my heart had power to answer, Yea;
Thou knowest all things, Lord, in heaven above,
And earth beneath. Thou knowest that I love!
But 'tis not so; in word in deed, in thought,
I do not, cannot, love Thee as I ought.
Thy love must give that power, Thy love alone;
There's nothing worthy of Thee but Thine own.
Lord with the love wherewith Thou lovest me
Shed in my heart abroad would I love Thee.

Yr eiddoch, &c.

*Dyffryn.* B. WILLIAMS.

---

PREGETHAU Y PARCH. J. ELIAS.

BARCH. SYR.—Gan fod holl Bregethau y diweddar enwog a duwiol Barchedig John Elias fel gwahanol golofnau marmoraidd yn bytholi ei enw, dymunol fyddai cael, trwy eich cyfrwng anrhydeddus, gymmaint ag a fyddai yn alluadwy o'r cyfryw. Ac er mwyn dwyn yr amcan hwn oddi amgylch, taer ddymunaf ar rai o'ch Gohebwyr eich anrhegu âg adysgrif o'r Bregeth ragorol hòno a bregethodd efe bedair blynedd ar bymtheg i'r haf diweddaf yn Nghymdeithasfa y Bala. Y testyn ydoedd 2 Tim. 4. 7, 8. a'r matter y sylwodd arno yn benaf ydoedd, Cadw y ffydd, sef athrawiaeth y ffydd; ac er mwyn gwneuthur hyny (ebai efe) pregethwch yr arfaeth heb gymylu penarglwyddiaeth Duw, a phen-arglwyddiaeth heb gymylu yr arfaeth; pregethwch ras heb gymylu dyledswydd, a dyledswydd heb gymylu gras; pregethwch gyfiawnhad heb gymylu sancteiddhad, a sancteiddhad heb gymylu cyfiawnhad; pregethwch barhad hyd y diwedd heb gymylu y ddyledswydd o wylied, a'r ddyledswydd o wylied heb gymylu parhad hyd y diwedd; pregethwch yr Iawn yr un faint a'r Prynedigaeth, a'r Prynedigaeth yr un faint a'r Iawn, &c.

Barchedig Syr, os caniatewch i'r llinellau uchod ymddangos nid oes ammheuaeth o dan fy mron na bydd i chwi gael adysgrif gyflawn o honi, gan i gynnifer o enwogion ei hysgrifenu ar y pryd.

*Llanynys.* WILLIAM JONES.

ADOLYGIAD Y WASG.

*Diwygiad Crefyddol: Traethawd ar Agwedd bresennol Crefydd yn Nghymru, ynghyda'r Moddion tebycaf i beri Adfywiad arni. Gan Joseph Williams, Liverpool.*

MR. CYHOEDDWR.—Er fod sylw wedi bod yn y Drysorfa ar y Traethawd uchod amryw weithiau bellach, etto goddefwch i mi, trwy gyfrwng ei thu dalenau, yn unig hysbysu i'm cydwladwyr fod Ail argraffiad o hono wedi dyfod allan yn bresennol.

Nid wyf yn golygu fy hun yn gymmwys i feirniadu dim ar wallau na rhagoriaethau y traethodyn hwn. Ac wrth ystyried ei fod wedi ei anrhydeddu â rhyw awgrym o gymmeradwyaeth un o'r beirniaid dysgedig, ac â chanmoliaeth Awdwr y "Pregethwr a'r Gwrandawr;" ac yn enwedig wrth ystyried iddo gael ei groesawu yn Nghymru ar ei ymddangosiad cyntaf yn gymmaint nes y mae yn gwneud ei ymddangosiad yr ail waith, y mae yn ddiammeu nad rhaid iddo wrth un llythyr canmoliaeth oddi wrthyf fi. Peth go anghyffredin yw galwad am ail argraffiad o lyfr yn y Dywysogaeth; ac yr ydwyf yn rhyfeddu, ac yn llawenhau, fod awdwr y Traethawd hwn yn cael cymmaint o gefnogaeth gan ei gydgenedl, ac yn dymuno bendith ar ei lafur er adfywio gwir grefydd yn eu mysg.——Ydwyf, yr eiddoch yn ddiffuant, HENRY REES.

---

COFIAINT.

☞ O herwydd meithder Cofiaint yn gyffredinol, ystyria y Golygydd ei hun dan rwymau i'w talfyru a'u cyfnewid, rhag gwneuthur anghyfiawnder â Gohebiaethau ereill.

---

COFIANT AM HENRY PARRY, HENURIAD YN EGLWYS Y METHODISTIAID CALFINAIDD YN BETHESDA, GERLLAW CEMAES, MON.

TEBYGAF fod y cyfrifiad a ennillodd y brawd nodedig hwn yn y rhan olaf o'i oes, yn galw am ryw air byr o sylw ar ei ddechreuad.

Mab oedd ef i Robert a Mary Parry, o'r Bwlch, yn mhlwyf Llanfechell. Yr oedd ei rieni mewn sefyllfa gyfrifol fel tyddynwyr, ac â chymmeradwyaeth uchel iddynt fel gwladwyr, yn mhob ystyriaeth, oud heb fod mewn cymundeb gydag un enwad crefyddol.

Ganed eu mab Henry ar y 25ain o Fawrth, 1782. Cafodd ei ddwyn i fynu dan reolaeth deuluaidd dda, er impio yn ei feddwl gyfrifiad uchel ar bob rhinweddau moesol—ond nis gwn pa gymmaint a wasgwyd ar ei feddwl o werth bod yn dduwiol. Cafodd hefyd ysgol dda, a chyrhaeddodd radd uwch o ysgolheigdod na'r cyffredin o rai mewn cyffelyb sefyllfa. Yr oedd yn alluog i lenwi unrhyw swydd gyffredin yn mysg y genedl; ac yr oedd efe yn ddyn o'r fath gyfansoddiad fel mai naturiol oedd iddo ragori ar y cyffredin gyda pha beth bynag a gymmerai mewn llaw.

Tueddwyd ef, yn moreu ei ddyddiau, i

wrando ar bregethu yr efengyl, a phrofodd ymrysoniadau cryfion ar ei feddwl oddiwrth Ysbryd yr Arglwydd; etto ei dueddiadau llygredig a orchfygasant, fel nad ymddangosodd nemawr arwyddion o hyn i ereill am dymmor maith; ond yn ei ddyddiau olaf efe a adgoffäai i'w gyfeillion lawer *struggle* a fuasai rhyngddo ef ag effeithiau y gwirionedd ar ei feddwl dan y pregethau a wrandawsai yn fachgen. Ond pan ydoedd o gylch 23ain oed, wrth wrando ar y Parch. J. Roberts, Llangwm, yn pregethu y gorchfygwyd ei feddwl i gymmeryd matter ei enaid y peth mwyaf pwysfawr i'w fyfyrdodau o bob peth arall. Ac yn y flwyddyn 1806, wedi clywed llawer o son am Gymmanfa y Bala, cafodd ar ei feddwl fyned yno; ac yn y tro hwnw y bendithiodd yr Arglwydd weinidogaeth yr efengyl i roddi gradd o orphwysdra i'w enaid, ac y dygwyd yntau yn benderfynol i droi ei wyneb i dŷ Dduw.

Profodd ofnau trymion cyn dwyn ei enaid i orphwys yn Nghrist am dragywyddol iachawdwriaeth. Er nas gallaf fi nodi y moddion na'r pryd y cyrhaeddodd hyny, etto gwn fod ei dymher yn ngwinllan ei Arglwydd yn tystio i bawb a'i hadwaenai ei fod yn caru Crist, ac yn ymddiried ynddo.

Fel aelod o deulu, cymmydog, aelod eglwysig, ac henuriad, bu yn anrhydedd i enw yr Arglwydd, a chynnaliwyd ef felly yn ddigwymp hyd y diwedd. Canfyddodd ei gyfeillion yn fuan ynddo y rhinweddau gofynol yn yr ysgrythyr i fod mewn henuriad eglwysig, yn yr hon swydd y gwasanaethodd dros fwy nag ugain mlynedd o'i amser diweddaf.

Gellir dywedyd iddo fod yn flaenor yn mysg ei frodyr. Mewn ymarweddiad duwiol yr oedd yn ddiargyhoedd. Mewn gofal am yr holl waith nid llawer a gaed o gyffelyb feddwl. Mewn ffyddlon ymarferiad o foddion gras, er pelled oedd y ffordd iddo ddyfod iddynt, &c. Mewn parodrwydd i roddi a chyfranu. Gofalai dros ei frodyr, a byddai ymarhous wrthynt. Rhybuddiai ereill, gan ystyried ei berygl ei hun; a gofalai am wneud hyny mewn ysbryd addfwynder. Ymddygai bob amser yn siriol, ond nid yn gellweirus, ïe, cyfarfu ynddo y fath gymmwysderau llywodraethol ag a barai i'w gyfeillion yn wastadol ei ofni, ac etto ei hoffi yn fawr.

Prydnawn yr 8fed o Fawrth, 1840, wrth wrando pregeth, tarawyd ef gan glefyd trwm, yr hwn, ar y 25ain o'r un mis, a fu yn angeu iddo. Bu holl ystod ei gystudd tan ofidiau treiddgar iawn, hyd awr ei ddattodiad, ond cafodd y fraint o feddiannu ei enaid mewn amynedd. Profodd a phroffesodd heddwch cryf rhyngddo a Duw hyd yn oed yn wyneb angeu. Ymffrostiodd y'Nghrist, a dywedoedd heb floesgni fod arno chwant i'w ddattod, a bod gydag ef, yr hyn sydd ac a fydd iddo byth yn elw mawr.

Yn ei wylnos pregethodd Mr. Ebenezer Davies, oddiwrth 1 Cor. 15. 55—57. a thrannoeth, sef yr 28ain o'r mis crybwylledig symudwyd ei ran farwol o'r Bwlch i fynwent Llanddeusant. Dilynwyd ei gorph gan dyrfa liosog o alarwyr, er mwyn talu hyny o barch a allent i'w goffadwriaeth, a rhoddasant ef yn nhŷ ei hir gartref, lle y gorwedd gyda miloedd ereill. hyd oni ddel yr Arglwydd i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu. O, nad allem fyw yn ansawdd hiraethus y gair hwnw 'Hyd oni ymgyfarfyddom oll.'

*Tai hen.* WILLIAM ROBERTS.

---

BYR-GOFIANT D. JAMES, MAB T. JAMES, TREDEL, GERLLAW TREFIN, SIR BENFRO.

ER nad oedd gwrthddrych y Cofiant hwn ond plentyn bychan deuddeg oed, etto yr oedd pethau mor hynod ynddo fel mai teilwng fyddai iddo gael lle yn mysg y cedyrn a goffheir yn y Drysorfa.

Yr oedd arno awydd mawr am wrando y gair, a myned i'r Ysgol Sabbathol er yn ieuanc iawn, a thrysorodd lawer o'r geiriau yn ei gof. Dysgodd 15 o Salmau gan ei fam cyn medru darllen un gair. Adroddodd yr 119 Salm yn Ysgol Sabbathol Carnachenwen, pan oedd rhwng naw a deg oed; a dysgodd lyfr y Diarebion oll ond y ddwy bennod olaf, a'r Salmau oll o'r bron.

Yr oedd ei agwedd ystyriol a chraffus wrth wrando y gair yn tystio ei fod yn cael effaith ddwys arno. Ar ryw ddiwrnod aeth allan at ei fam i'r ardd, a dywedodd wrthi, 'Mae Iesu Grist yn derbyn pechaduriaid, efallai y derbyn ef finnau;' ac wedi adrodd y geiriau hyny, yn ddrylliog iawn, 'Gwir yw'r gair,' &c. efe a ofynodd iddi a oedd hi yn meddwl y cai efe ei dderbyn yn gyflawn aelod yn Trefin, am ei fod, meddai, yn dymuno cael cofio am Grist wedi marw dros bechadur. Oedodd ei fam hysbysu y peth i'r cyfeillion am dros ddau fis o amser; ond gan ei fod yn cynnyddu ar ei feddwl o hyd, o'r diwedd hi a gydsyniodd a'i gais; a hynod y fath gymdeithas a gafwyd y noswaith y derbyniwyd ef yn gyflawn aelod —yr oedd ei swn fel swn pechadur teimladwy. Felly y bu am oddeutu blwyddyn a'i agwedd yn gwrando, ac wrth fwrdd yr Arglwydd yn tynu sylw llaweroedd ato. Ac yn y cyfamser efe a gydsyniodd a deisyfiad ei fam i gadw addoliad yn y teulu.

Bu am oddeutu naw mis yn gweithio gwaith dilledydd, a thystia ei feistr na chafodd le i ammeu nad oedd yn fachgen duwiol.

Yn mis Mai diweddaf cymmerwyd ef yn glaf o'r clefyd y bu farw o hono, ac yr oedd ei wely angeu yn hynod o orfoleddus iddo, o herwydd ei fod yn sugno y fath gysuron o'r Pen mawr, yr hwn hefyd a roddes iddo yntau yn helaeth o gysuron ei Ysbryd yn nghyfyng oriau marwolaeth.

*Trefin.* J. F

# COFNODAU CYMDEITHASFA BANGOR,

*Medi 8, a'r 9fed*, 1841.

CYMEDROLWR.—Y PARCH. RICHARD WILLIAMS, Liverpool.

*Cyfarfod y Pregethwyr am 10 o'r gloch, Dydd Mercher yr 8fed.*

Ymddyddanwyd â phedwar brawd ieuanc gyda golwg ar eu derbyn fel pregethwyr i Gyfundeb y Gymdeithasfa: tri o Sir Gaernarfon, o'r enwau Samuel Roberts, Griffith Davies, a Richard Hughes; ac un o Manchester, o'r enw Thomas Charles Evans.

Holwyd hwy gan y Parch WM. MORRIS, Tŷ Ddewi, am eu profiad ysbrydol; gan y Parch. HENRY REES, am eu golygiadau athrawiaethol; a chan y Parch. JOHN HUGHES, Pont Rhobert, am eu cymhelliadau gweinidogaethol.

Yn yr ymddyddan, gwnawd amryw sylwadau buddiol ar weinidogaeth ac athrawiaeth yr efengyl.

1. Sylwyd nas gall pregethwr fod yn gefnog i fyned yn mlaen gyda'i swydd uchel heb fod mewn eglurdeb am ei fater personol rhyngddo â Duw. Tu ag at ddweud yn rymus ac yn effeithiol wrth bechaduriaid, "Cymmoder chwi â Duw," dylai pregethwyr allu dweud eu hunain, "Nyni a dderbyniasom y cymmod." Nid oes dim fel profiad o bethau Duw am wneyd yr enaid yn sefydlog yn y gwirionedd. Dyweded cyfeiliornwyr y peth a ddywedont; mae gan y credadyn dystiolaeth ynddo ei hun am wirionedd yr athrawiaeth. Yr hwn a fwytäodd fêl a wyr mai melus ydyw.

2. Sylwyd y dylid amcanu at bregethu yr holl wirionedd, ac at bregethu pob cangen o'r athrawiaeth mewn dull ennillgar, ac yn nghysondeb y ffydd.

Mae rhai yn pregethu mewn dull cul a chyfyng: llefarant am Grist yn prynu yr eglwys fel pe byddent yn adrodd rhyw hanes anmherthynol i'w gwrandawyr; fel peth yn diogelu achubiaeth rhywrai, ond heb ddim yn gymhwysiadol i bechaduriaid fyddo yn gwrando. Nid yw pregethu pwnc yn yr *abstract* o nemawr wasanaeth os na ellir gwneyd defnydd ymarferol o hono. Nid yw pregethu etholedigaeth, a phregethu neillduolrwydd yr Iawn, heb eu defnyddio yn gymhwysiadol, o un gwerth. Mae eisiau dangos, nid yn unig fod y pwnc yn wir, ond ei fod yn ogoniant i Dduw, ac yn fanteisiol i bechadur. Mae gan rai ryw ddull tramgwyddedig o bregethu etholedigaeth; maent yn ei dangos fel pe byddai yn myned rhwng pechadur a dedwyddwch; yn lle ei dangos, fel y mae, yn myned rhwng pechadur a dystryw. Ni buasai genym ni yr un Ceidwad oni buasai etholedigaeth. Buasai Iesu yn Fab Duw heb y drefn hon, ond nid yn Geidwad pechadur. Dyma wawr yn dyfod o arfaeth Duw ar ol i drueni dyn ddyfod i'r golwg.

Mae ereill yn myned i eithafion ar y tu arall, yn cymeryd aberth Crist yn sail i'r hyn nad ydyw, ac am resymu ar uchel bynciau yn lle eu derbyn yn unig oddiar dystiolaeth Duw. Sylfaen galwedigaeth gyffredinol yr efengyl, yw gorchymyn Duw. Mae awdwr a gwrthrych yr efengyl, wedi gorchymyn i'w weision ei phregethu i bob creadur; a digon i ni yw ei air ef. Nid ydym i bregethu galwedigaeth yr efengyl i'r etholedigion, nac i bob dyn fel pob dyn, ond i'n gwrandawyr yn ddiwahân fel pechaduriaid.

Byddai yn feddyginiaeth rhag yr ochrau peryglus i ni gael syniadau teilwng am fawrhydi Duw. Hyn a'n gwna yn wylaidd a chynnil, i beidio anturio modfedd ond a roes ei air ini. Mae llawer yn awr yn myned yn rhy hyfion ar Dduw a'i ddyfnion bethau. Mae lle i ofni eu bod fel hyna oddiar ddieithrwch iddo. Pe deuai Duw yn ei fawredd i olwg eu meddyliau, dywedent yn fuan, "Pwy ydyw yr hwn sydd yn cuddio cynghor heb wybodaeth? am hyny y lleferais yr hyn nis deallais; pethau rhy ryfedd i mi, y rhai nis gwyddwn."

3. Nodwyd mai buddiol iawn a fyddai i bob un adnabod ei le, ei ddawn, a'i gymhwysder. Gwell a fyddai i bregethwyr ieuainc beidio myned i'r dwfn yn rhy fuan. Er i'w golygiadau fod yn gywir, hwyrach nad ydynt eto wedi eu gwisgo â chymhwysderau priodol i draethu ar bethau dyfnion. Y peth goreu iddynt yw aros ar dir per eglur. Ni ddysgwylir i'r prentis fyned at y rhan gywreiniaf o'i alwedigaeth i ddechreu; doethach yw iddo aros gyda'r peth garwaf, nes dyfod yn fwy cydnabyddus â'i orchwyl. Mae balchder fel corwynt yn ysgubo ymaith rai pregethwyr nes y maent yn methu rhoddi eu traed ar lwch a lludw.

4. Ymdrechwn am fod ein hunain, ac am gael eraill, yn gadarn ac yn oleu yn ngwirioneddau yr efengyl. Cryn bwnc yw cael y ddau beth yma ynghyd:—bod yn gadarn a bod yn oleu. Mae rhai yn bur gedyrn yn eu meddyliau am bethau; ond cedyrn yn y tywyllwch ydynt; maent wedi ymgynefino â dullefriad y pynciau, heb fyned erioed yn mhellach. Mae eraill wedi dyfod i weled a deall cân belled ag i ddyfod yn ammheus am yr hyn a gredid ganddynt o'r blaen. Os awn i wendid ac ammheuaeth ynghylch rhyw bwnc o athrawiaeth, cyn i ni ildio dim a glywsom yn cael ei bregethu gan ein hen dadau, awn â'r pwnc hwnw at Dduw; gofynwn gyfarwyddyd a llewyrch ganddo ef. Ni wrthyd Duw roddi pelydr i'r meddwl gonest. Mae rhyw

belyderau i'w cael gan Ysbryd yr Arglwydd ar wirionoddau, nes ein gwneud yn gryfion ynddynt.

5. Gwyliwn arnom ein hunain. Dylai pregethwr gymeryd gofal na byddo i ddim gael ei gario yn mlaen yn ei ysbryd, ei ymddyddanion, a'i ymddygiadau, a baro iddo fod yn gwmwl arno yn y pulpud. Rhaid i ni fyned a'n hoffrwm at Dduw mewn llestr glân. Gall yr Arglwydd ddywedyd wrth ambell un, Yr wyt yn galw am danaf i'r pulpud, ond yr oedd eilunod yn gwneud y tro i ti allan o hono. Pan y caffo pregethwyr oedfäon sychlyd a thywyll, mae yn fwy diogel iddynt briodoli yr achos o hyny iddynt eu hunain, nag i'r bobl. Ac os ceir oedfäon hyfryd a gwlithog, rhodder clod am hyny i Dduw.

6. Edrychwn am fod yn aelodau ffrwythlawn yn ein cartrefleoedd. Mae genym lawer i'w wneud yn is na'r areithfa. Gofalwn am achos Mab Duw yn ein cymydogaethau yn ei holl ranau. Na chaffer dywedyd fod yr un pregethwr yn anfedrus i gadw seiat, nac yn anmharod i un weithred dda.

*Cyfarfod Pregethwyr a Diaconiaid, am 2 o'r gloch.*

1. Hysbyswyd am Gyfarfodydd dyfodol. Y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn y WYDDGRUG, Mawrth 2il a'r 3ydd, 1842; Cyfeisteddfod i fod am 3 o'r gloch prydnawn y laf o Fawrth.

Cymanfa RHUTHYN i fod Rhagfyr 30 a 31, 1841. Mae y casgl Cenadol o bob Sir, neu gyfrif o hono, i'w ddwyn yno. Cyfrifon yr Ysgolion am y flwyddyn hon a ddysgwylir yno hefyd. Bydd Cyfeistedd-fod Cenadol yn ymgyfarfod ar y 29ain, am 3 o'r gloch y prydnawn.

2. Trefnwyd a chymeradwywyd cynllun i anfon Pregethwyr o'r Gogledd i Gymdeithasfäoedd y Deheubarth. Dwy Sir i anfon dau frawd o bob un, i bob Cymdeithasfa: y Siroedd i fod ynghyd yn y drefn ganlynol:—Siroedd Môn a Dinbych; Siroedd Caernarfon a Threfaldwyn; a Siroedd Meirionydd a Fflint. Nid yw y drefn hon yn attal brawd neu frodyr o Siroedd eraill i fyned; ond y mae y Siroedd penodedig dan rwymau i anfon eu Cenadon.

3. Darllenwyd llythyrau o Dublin, yn nghylch yr achos crefyddol yno,—o Liverpool, ynghylch Ymgeiswyr Cenadol,—ac o'r Bala, ynghylch gwyr ieuainc yn myned i Edinburgh.

4. Derbyniwyd y brodyr ieuainc yr ymddyddanwyd â hwy yn Nghyfarfod y Pregethwyr.

5. Bu achos yr Athrofa dan sylw. Penderfynwyd i'r Ysgol sydd genym yn bresennol aros yn y Gogledd; a threfnwyd i'r Parch. HENRY REES ysgrifenu llythyr i Gymdeithasfa Rumney, i hysbysu i'n brodyr yn y Deheudir ein penderfyniad hwn, a'r rhesymau am dano. Penderfynwyd fod Cyfarfod Dirprwyol i gael ei gynnal yn Nghymdeithasfa Dolgellau, i benderfynu ar ryw lwybr i gael cynnaliaeth anrhydeddusach i'r Athrofa.

6. Cadarnäwyd cynnygiad Cymanfa Gorfforedig Aberystwyth ynghylch newid enw y Gymdeithas Genadol Gymreig, a'i galw o hyn allan, Cymdeithas Genadol Dramor y Trefnyddion Calfinaidd.

7. Rhoddwyd cynghor i beidio myned yn fyrbwyll yn aelodau o Glybiau newyddion ac ammheus.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 8 o'r gloch, bore ddydd Iau.*

1. Gwnaed sylwadau ar y Cyfarfodydd Gweddïau y trefnid eu cynnal o'r 2il hyd yr 11eg o Hydref. (Gan fod y cyfarfodydd hyny wedi myned heibio, afreidiol yw cyhoeddi y sylwadau yn awr.)

2. Darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. HENRY GRUFFYDD, gweinidog plwyf Llandrygarn, Môn, yn traethu deisyfiad am gynnorthwy brodyr o'r Corff at y gorchwyl o gyfansoddi Cofiant y diweddar Barch. JOHN ELIAS. Penodwyd y Parchedigion WILLIAM ROBERTS, Amlwch, CADWALADER WILLIAMS, a HENRY REES, tuag at hyny.

Arganmolwyd Cofiaint ein Parchedig Dadau, DANIEL ROWLANDS, a JONES, Llangan, gan y Parch. E. MORGAN, Syston; a rhoddwyd annogaeth wresog i'w prynu. Mae yr Awdwr urddasol yn bwriadu rhoddi yr holl elw at ein gwasanaeth fel Cyfundeb.

3. Darllenwyd Cofnodau Cymdeithasfa y Bala, ynghylch hawl plant y credinwyr i aelodaeth eglwysig; a sylwyd ar ddyledswyddau rhieni a'r eglwys atynt fel y cyfryw.

I. Dyledswyddau rhieni crefyddol at eu plant.

Ordeiniodd yr Arglwydd briodas yn y dechreu i ddyben uchel iawn. "Un a wnaeth efe, a'r ysbryd yngweddill ganddo. A phaham un? I geisio had duwiol." Rhoes Duw ei ddelw ar ein tad Adda a'n mam Efa, a sefydlodd y drefn o briodas i drosglwyddo y natur ddynol ar ei ddelw i'r hiliogaeth. Ond collwyd y ddelw ddwyfol; "ac Adda a genhedlodd fab ar ei lun a'i ddelw ei hun." Ond, moddai Duw, safaf at yr hen osodiad eto cân belled âg y gallwyf. Wedi dwyn rhai ato ei hun trwy ras, mae priodas y cyfryw yn sefydliad i ddwyn had duwiol. Trefnodd Duw er tragywyddoldeb i ddwyn ei bobl gan mwyaf allan o'i bobl. "Byddaf yn Dduw i ti ac i'th had." Felly y mae had y duwiolion i'w hystyried yn "sanctaidd" o'u mabandod: maent yn perthyn i gyfammod sydd yn sancteiddio. Dylai rhieni crefyddol ystyried fod ymddiried mawr wedi ei roddi iddynt: cawsant blant gan Dduw i'w magu yn bobl iddo ef. Pe byddent yn ofalu am yr hyn a addawodd Duw i'w had, cyflawnent yn

siriol eu dyledswyddau tuag atynt. Dylent mewn gweddi ddwyn ar gof i Dduw yr hyn a addawodd i had ei bobl. Maent yn cael gweled yn fore fod ar eu plant hwy, fel rhai eraill, eisiau dylanwadau yr Ysbryd Glân. Cyn cyrhaedd pump oed, dengys y plentyn yn amlwg fod ynddo elyniaeth tuag at Dduw. Anhawdd dal ei feddwl am fynyd ar bethau yr Arglwydd. Rhaid edrych i fynu oddiwrtho at y pethau a addawodd Duw: oddiyno y daw daioni. "Yr Arglwydd dy Dduw a enwaeda dy galon, a chalon dy had, i garu yr Arglwydd dy Dduw." "Tywalltaf fy Ysbryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth." Dylem weddio am y bendithion hyn, ac arfer moddion am ei cael.

Help fawr i rieni crefyddol i fod yn ffyddlawn yn eu dyledswydd yn hyn, a fyddai iddynt edrych ar eu plant yn eiddo yr Arglwydd, yn ol ei gyfammod. Ni feddant hawl i ymddwyn at eu plant ond yn ol rheolau teyrnas Crist. Gan eu bod yn eiddo Brenin Sion, nid oes gan y tad neu y fam un hawl i ganiatâu na goddef iddynt gydffurfio â defodau teyrnas arall. Wedi eu cyflwyno i'r Arglwydd fel ei eiddo, mae yn rhaid eu dwyn i fynu yn ol rheolau gair yr Arglwydd. Ni all rhieni fod yn esgeulus yn hyn heb fod yn euog ger bron Duw. Dyledswyddau rhwymedig arnynt, yw, addysgu eu plant yn y wybodaeth o Dduw a threfn ei gyfammod,—eu dwyn i fynu yn mreintiau tŷ Dduw,—eu llywodraethu yn ol gosodiadau gair y deyrnas,—a gweddio yn ddyfal am fendith ar hyn oll.

"Eiddo y cyfryw yw teyrnas nefoedd." Y Bibl yw llyfr y deyrnas hon, ac y mae hwn wedi ei gyfaddasu at holl ddeiliaid y deyrnas, beth bynag yw eu hoedran a'u sefyllfäoedd. Yma y mae yr addysg i blant fel i rieni. Ebai Paul wrth Timotheus, "Wedi dy fagu yn ngeiriau y ffydd, ac athrawiaeth dda." A fu bendith ar y llafur? Do: "yr hon a ddilynaist." Gorchymynid dysgu cyfraith yr Arglwydd yn Israel fel y peth cyntaf. Yr oedd y tad i'w hysbysu i'w blant wrth eistedd, wrth rodio, wrth orwedd, ac wrth godi. Mae yn y Bibl wybodaeth hyfryd ac ennillgar iawn i blant bychain. Hanesion am fawrion weithredoedd Duw a'i wyrthiau rhyfedd, am blant a dynion duwiol, ac yn enwedig am Grist yr Arglwydd: mae yn waith hyfryd a phleserus i rieni adrodd, ac i blant wrando, am y pethau hyn. Dylid cymysgu addysg grefyddol â magwraeth gorfforol. "Maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd."

II. Dyledswyddau yr eglwysi at y plant a fegir ynddynt.

Dywedwyd fod rhai eglwysi mewn pryder pa fodd i ymddwyn at rai wedi eu magu yn nhŷ yr Arglwydd, y rhai na thorasant allan i ddim anfoesoldeb, a rhai yr ymddyddanwyd â hwy yn fynych am eu rhwymedigaeth i ddyfod at fwrdd yr Arglwydd, gan eu hannog i ddyfod yn mlaen, ac eto ydynt heb ufuddâu i wneuthur côf am angeu y Gwaredwr. Gofynwyd pa fodd yr ymddygir at y cyfryw. Atebwyd y dylid para mewn amynedd i'w haddysgu a'u hannog: wrth hyny ennillir hwy yn llwyr, neu hwy a flinant ac a ymbellânt. Nid oes modd eu gwrthod a'u diarddel os bydd eu hymddygiadau yn weddaidd.

Dywedwyd fod eglwysi eraill mewn ofnau rhag rhoddi derbyniad rhy ebrwydd i'r ieuenctyd a fegir ynddynt: mae y bobl ieuainc, efallai, yn awyddus i ddyfod yn mlaen at fwrdd yr Arglwydd, a'r hen bobl yn hwyrfrydig i'w derbyn oddiar ofni eu bod yn anmhroffiadol o weithrediadau gras ar eu heneidiau. Gyda golwg ar hyn, sylwyd fod llawer yn tori llwybr i Ysbryd yr Arglwydd weithio, ac nid yw yntau yn gweithredu yn ol y llwybr hwnw. Maent yn dysgwyl cael y bobl ieuainc yn yr un ofnau a'r dychryniadau a'u daliodd hwy pan y'u cymerwyd o ganol eu gyrfa annuwiol. Dylid chwilio am effeithiau gwaith yr Ysbryd, ac nid gosod rhyw fesurau a chynlluniadau o ddull ei weithrediad. Nid yw yr Ysbryd Glân yn gwneuthur dim a fyddo yn ddiangenrhaid. Mae mawr amryw ddoethineb Duw i'w weled trwy yr eglwys nid yn unig yn y drefn a gafwyd i achub, ond yngwahanol oruchwyliaethau Duw *pan* yn achub. Mae yn drugaredd fawr fod modd i'n hachub ni heb ein taflu ar y ddaear, fel y gwnawd â Saul o Tarsis; ac heb fod, fel efe, am dridiau, heb weled, ac heb fwyta nac yfed. Rhaid cael ysgydwad grymus ar hen bechadur rhyfygus cyn y ceir siarad âg ef; ond y mae plant yr eglwys ar dir y gall Duw yn hawdd siarad â hwy. Yr oll sydd yn eisiau yw eu harwain am fywyd i'r un fan â'r pechadur penaf. Ein gwaith ni yw chwilio am egin duwioldeb: nid oes achos i ni ymholi pa sut y rhoed yr had i lawr. Pan y byddo un o dylwyth arall yn myned yn brentis at gelfyddydwr, gall hwnw yn hawdd ddweyd pa bryd y prentisiwyd ef, a pha bryd y dechreuodd weithio: ond am fab y celfyddydwr, yr hwn a ddygwyd i fynu i'r un gorchwyl â'i dad, ni fedr hwn, efallai, fynegu pa bryd y dechreuodd ar ei orchwyl; yr oedd wrtho yn awr ac eilwaith gyda'i dad er yn ieuanc iawn. Yn gyffelyb y mae gyda llawer a fagwyd yn grefyddol; wrth ymarfer yn fore â phethau yr Arglwydd, arweiniwyd hwy yn ddiarwybod iddynt eu hunain i'w credu a'u caru. Yr ydym i ymofyn, nid yn gymaint pa fodd y dechreuodd y gwaith da, ond a oes arwyddion o hono. Os cawn ryw nodau gobeithiol fod ein plant a'n pobl ieuainc "yn ofni yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw ef," dangoswn barodrwydd i roddi deheulaw cymdeithas iddynt.

R. E. Yegr.

# HANESION CENADOL A GWLADOL.

## Y PARCH. THOMAS JONES, Y CENADWR.

FY HOFFUS GYFAILL,

Gyda theimladau o ddiolchgarwch a llawenydd y danfonwyf i chwi y difyniadau cyfieithiedig canlynol o lythyr a dderbyniais yr wythnos hon, oddiwrth ein brawd ymroddgar Mr. Jones. Oni bai fod arnaf ofn cymeryd gormod o le yn y Drysorfa ar unwaith, buaswn yn adrodd i chwi yr effeithiau a gafodd y llythyr ar fy meddyliau; ond ymattaliaf, gan deimlo yn dra sicr y bydd i'r darlleniad o hono beri i laweroedd o'ch darllenwyr, fel fy hunan, "ddiolch i Dduw, a chymeryd cysur."

Yr eiddoch, &c.

JOHN ROBERTS.

*Liverpool*, Hydref 16, 1841.

CHERRAPOONJEE, Gorphenaf 28, 1841.

FY NGHYFAILL ANWYL A HOFF,

Yr wyf o'r diwedd yn cael yr hyfrydwch o ysgrifenu atoch o'r lle hwn, lle y cyrhaeddasom Nos Fawrth, Mehefin 22ain. Bydd yn hawdd i chwi goelio fod teimladau llawer haws eu dychymygu na'u dysgrifio wedi ymgodi ynof, pan gefais fy hun, a'm hanwyl gydymaith, ar ol croesi cefnforoedd mawrion, a theithio ar hyd llynoedd ac afonydd, a bod yn agored i beryglon filoedd, o'r diwedd wedi cyrhaedd yn ddiogel i ben ein taith, ac yn cael gweled maes fy llafur dyfodol, a'r pentrefi lle yr wyf yn gobeithio ac yn dysgwyl bod yn offerynol i godi baner y groes, a chyn hir, i gyhoeddi newyddion da yr efengyl i filoedd na chlywsant yr hyfryd-lais erioed. Yr oedd diolchgarwch yn tarddu megys yn anwrthwynebol o fy nghalon, er cynddrwg ydyw, i'r Hwn a'm dyg mewn diogelwch hyd yma; ac os nad wyf yn twyllo fy hun yn fawr, diolchgarwch a mawl ydynt destunau fy mywyd o hyd. Yr wyf yn dra sicr y gwnewch chwi a'm cyfeillion ereill gydddiolch â mi yn llawen.

Mae fy iechyd hyd yn hyn wedi bod yn dda rhagorol, er i mi fod mewn lleoedd tra afiachus, lle yr oedd y brodorion yn wastadol yn glaf o *fevers*, &c. o'm hamgylch. Wedi teithio trwy gynifer o wahanol hinsoddau, a bod yn agored i eithafion oerni a gwres; yn enwedig wedi bod cymaint yn agored i belydr llym-boeth yr haul, pan yn union uwch fy mhen, a hyn i gyd heb un awr o afiechyd, nid yw ddim llai rhyfedd nag ydyw yn foddaol; a geilw am y diolchgarwch gwresocaf i'm Ceidwad a'm Cynalydd daionus, nid yn unig oddiwrthyf fi, ond hefyd pawb arall sydd a dim gofal ganddynt am ein Cenadaeth. Gwellaodd iechyd fy anwyl wraig yn fawr, ar y daith o *Calcutta*; ond parodd y llafur a'r pryderwch a ddyoddefodd pan yn gadael y badau, yr ysgwydiad a gafodd wrth gael ei *chario* i fynu y Bryniau, y'nghyd a'r llafur yn gosod ein pethau mewn trefn wedi dyfod yma, iddo waethygu llawer, a chaethiwyd hi i'r gwely am rai dyddiau. Ond bu ychydig ddyddiau o orphwyso ac esmwythyd yn yr hinsawdd tra hyfryd hwn, yn foddion i'w hadferu. Ac er nad yw etto ond egwan iawn, y mae ei gweled cystal ag y mae yn ymddangos i mi a phawb sydd yn gwybod cymaint a ddyoddefodd, bron fel gwyrth.

Y mae Mr. Lewin wedi ein derbyn i ran o'i dŷ, ac wedi ymddwyn tuag atom gyda pharch a charedigrwydd; a charedigrwydd mawr ydyw yn wir, oblegyd nid oes yr un tŷ arall, na rhan o dŷ, i gael yn y lle. Ond nid oes yma orphwysfa i ni, canys y mae'r tŷ yn fychan a'r teulu yn fawr; a bydd rhaid i ni cyn hir symud oddiyma, neu ynte peri annghyfleuster i deulu Mr. Lewin. Nid oes genym ond un ystafell, a hòno ar y llawr; ac ar yr amser hwn o'r flwyddyn, y mae mor laith, fel y mae'n cymeryd holl amser Mrs. Jones, a llawer o'm hamser inau, i gadw ein hychydig eiddo, sydd eisoes wedi eu difwyno yn fawr, rhag cael eu dyfetha. Gall ymddangos yn o ryfedd, ond y mae'n ddigon gwir,—erbyn y bydd un gist wedi ei hagor a'i sychu, bydd rhai ereill wedi llwydo; ac oddieithr eu hagor yn ddioed, a'u rhoddi wrth y tân, bydd eu cynwysiad wedi pydru. Wedi i'r gwlawogydd ddechreu y mae hyd yn nod ein dillad am danom wedi cael eu mallu. Mae'n debyg y bydd rhaid i ni aros yma tan ddiwedd y flwyddyn, a bod yn ddiolchgar am ein lle.—Ychydig ddyddiau ar ol ein dyfodiad yma, aethum gyda Mr. Lewin i ymweled â swyddogion y Llywodraeth yn y lle hwn, a daethant hwythau yn ddioed i ymweled â ninau. O ganlyniad, yr ydym i ystyried ein gilydd rhagllaw megys cyfeillion. Ond ni allaf ddysgwyl dim yn rhagor oddiwrthynt na *civility* cyffredin, oblegyd nid ydynt yn bur ffafrol i weithrediadau cenadol; er nad yw ond teg i mi grybwyll fod Major Lister, yr hwn sydd uwchaf mewn awdurdod ar achosion gwladol a milwraidd, yn cael ei ystyried fel dyn tra hynaws a charedig, ac wedi cynyg fy ngwasanaethu mewn pethau arianol, pa bryd bynag y bydd arnaf angen neillduol am ei gymhorth.

Yr wyf wedi cyflogi dau langc am chwe' *Rupee* yr un bob mis,* i'm cynorthwyo i ddysgu yr iaith. Maent yn deall ychydig o

* Cyflog cyffredin Dysgawdwr Hindooaidd yw o 16 i 20 *Rupees* y mis.

Saesonaeg, ac yn meddu gradd o wybodaeth yn egwyddorion y grefydd Gristionogol; ac yn dra awyddus i ddysgu rhagor. Y dull a gymerwn sydd dra annyben a blin, yn benaf oblegyd eu bod hwy heb ddeall digon o Saesonaeg, ac heb wybod dim am Rammadeg yr iaith, a bod eu hiaith hwythau heb fod mewn ysgrifen: o ganlyniad, nid oes ganddynt yr un reol i weithredu wrthi pan yn fy addysgu. Fel hyn y byddwn yn gwneyd;—byddaf fi yn adrodd geiriau Saesonig iddynt, a hwythau yn dyweyd y geiriau cyfystyr yn iaith Cassia; ac wedi i mi ddeall pa fodd i'w seinio, byddaf yn eu hysgrifenu yn ol trefn yr egwyddor, a phob peth a allwyf ei gasglu oddiwrthynt o barth cystrawiad grammadegol eu hiaith, byddaf yn ei ysgrifenu ar ddull Grammadeg. Byddaf hefyd yn ysgrifenu brawddegau Saesonig gyda chyfieithiad llythyrenol uwch ben. Ond y mae annybendod y llafur heb ei ddysgrifio etto, canys yr wyf yn y lle blaenaf, yn cael llawer o drafferth i gael ganddynt ddeall y gair Saesonig, ac weithiau, ar ol gwneyd pob ystumiau arnaf fy hun, a cheisio trwy bob llwybr a allaf ddyfeisio, beri iddynt ddeall, byddaf yn gorfod ei roi i fynu, a chynyg gair arall. Pan ddëellir y gair Saesonig, byddaf yn ceisio gan bob un o honynt, y naill ar ol y llall, seinio y gair Cassiaidd, yr hyn a gymer beth amser i'w ddeall; oblegyd y mae naill ai rhyw sain ddieithr na's gallaf ei ddeall yn ebrwydd, er fy mod yn ceisio gwrando â'm holl synwyrau, tra y maent hwy yn seinio y gair,—ac wedi ei deall, bydd yn anhawdd i mi wybod wrth ba arwydd i'w dynodi;—neu ynte byddant yn seinio rhyw sillaf yn aneglur, a minau yn methu cael ganddynt ddeall beth a geisiwyf ganddynt wneyd; ac wedi ffaelu am beth amser, bydd rhaid iddynt eistedd i lawr, a chyd-ymgynghori yn ei gylch, ac wedi'r cwbl efallai y gadewir fi heb fy moddloni gymaint ag o'r blaen. Y canlyniad fydd galw i mewn rhai o'r edrychwyr, (o ba rai y mae digon yn wastad wrth law) y rhai a osodir i seinio y gair, y naill ar ol y llall, ac efallai y seinir ef mewn cynifer o wahanol ffyrdd, fel y gadewir fi yn y diwedd i ddyfeisio pa un sydd gywir. Y rhai a fuont yn yr unrhyw sefyllfa yn unig a allant ddirnad yn iawn cymaint o amser a dreulir wrth fyned tros ychydig o eiriau, ac mor flinedig yr ymdeimla dyn ar ol y llafur. Etto mae'n rhyfedd fel y mae dynion da a dysgedig wedi cymeryd eu boddloni â rhyw wybodaeth arwynebol mewn ieithoedd estronol. Mae'n ddrwg genyf ddyweyd nad wyf yn cael, yn yr hyn sydd wedi ei ysgrifenu yn yr iaith hon, fod un gair o hanner cant yn gywir. Canfyddais yn yr ysgrifeniadau oedd genyf, rai annghysonderau, a rhoddais hwynt o'r neilldu, gan ymroddi at ryw beth arall ac y gwyddwn na fyddai yn llafur ofer; a da genyf, yn awr, fy mod wedi gwneyd felly.

Y mae profiad pob dydd yn cadarnau yr hyn a ddywedwyd yn fynych, sef bod y Cassiaid yn bobl barod i lafur cenadol. Yn ebrwydd ar ol i ni ddyfod yma, lledaenwyd y newydd, yn mhell ac yn agos, fod *Padre Sohib* (yr enw a roddir yn India i bob gweinidog o'r grefydd gristionogol) wedi dyfod, a dechreuodd y trigolion anfon ataf i ofyn a wnawn i ddysgu eu plant? Yr oedd lluaws o'r ieuengctyd yn llawenâu wrth feddwl dyfod i'r ysgol cygynted ag y derbyniwn i hwynt, a'r genethod bychain yn danfon eu hannerchion i Mrs. Jones, gan ymofyn a wnai hi eu dysgu i ddarllen a gwnïo. Aethant yn fuan yn anamyneddus, a daethant bob dydd i geisio derbyniad i'r ysgol, yr hyn, er fy mawr dristwch, nid oeddwn yn gallu ei roddi iddynt. Un diwrnod, pa fodd bynag, daeth pedwar o fechgyn glanwaith, ac wedi eu gwisgo yn dda, (rhieni pa rai oeddynt wedi ennill fy nau ddysgawdwr i bledio eu hachos) gan geisio derbyniad, ac nis gallais eu nacâu. Mae un o honynt yn fab i Rajah (Tywysog) Cherra, a'i enw yw Ram Manic; un arall yn fab i'r dyn cyfoethocaf yn y pentref; ac y mae rhieni y lleill hefyd yn bur gyfoethog. Mae'r Cassiaid fel cenedl yn hynod o fudron, ac yn dra gwrthwynebol i olchi eu dillad; ond yr wyf wedi peri hysbysu na chaiff neb wneyd un gwasanaeth i mi, na dyfod i'r ysgol, heb fod dillad glân ganddo; ac er fy mod wedi dyweyd na's gallaf dderbyn plant i'w dysgu, y mae'r pethau bach wrthi bob dydd yn golchi eu dillad, ac yn dyfod ataf yn y diwyg goreu a allant ei wneyd arnynt eu hunain, gan grefu arnaf am eu derbyn i mewn. Y mae ychydig o'r rhai mwyaf gobeithiol o honynt yn dyfod ataf bob dydd, er nad oes genyf ond un llyfr rhyngof fi a hwythau. Mae'r agwedd hon ar bethau yn sier yn dra boddaol a chefnogol, gan fy mod wedi dyfod yma i'r dyben i addysgu, ac yn enwedig pan gofiom gymaint o drafferth y mae Cenadon wedi, ac yn parâu i'w gael, yn y rhan amlaf o fanau, i gael neb i ddyfod i'w hysgolion. Pa beth bynag sydd yn eu cymhell, y maent i gyd yn gwybod fy mod yn ddysgawdwr crefydd yn gystal â phethau ereill. Er hyn i gyd, daeth un o addolwyr *Kalee* a *Doorga* ataf un boreu, gan wneyd ei *salam* (ymgrymiad) hyd y llawr, a chyflwyno bachgenyn glanwaith a chraff yr olwg arno, ac attolygu arnaf ganiatâu iddo ddysgu gyda'r Cassiaid. Maent oll yn dra awyddus i ddysgu Saesonaeg, ac ymosodant ar y gorchwyl yn galonog iawn. Mae'n wir nad oes ganddynt,—ac nis gallwn ninau ddysgwyl fod ganddynt ddim mewn golwg ond elw tymmorol, fel y dywedodd nifer o honynt, y rhai y nacais eu derbyn, ychydig ddyddiau yn ol, â golwg athrist, "Pe baem yn deall Saesonaeg, gallem ennill ein bywiol-

iaeth Ee bynag yr elem." Pa fodd bynag am hyny, mae'n ddiammheu y gallai eu gwaith yn dysgu Saesonaeg fod o lesâd mawr i'r genadaeth; oblegyd os gwel yr Arglwydd yn dda gyfnewid eu calonau, byddai gwybodaeth o'r iaith Saesonig yn gymhwysder mawr iddynt tuag at fod yn ddysgawdwŷr neu bregethwŷr yr efengyl: ac yn y golygiad hwn, goreu po mwyaf a ddysgont. Ond rhagor ar y pwnc hwn rhyw dro etto. Dyfyrwyd fi ychydig un diwrnod trwy i fachgenyn ddyfod ataf i ymofyn llyfr, â pha un y gallai ddysgu Saesonaeg, a chefais drafferth i'w berswadio nad oedd genyf y fath lyfr i'w roi iddo. Atebodd yntau ei bod yn bur annhebyg y buaswn yn dyfod yr holl ffordd o Loegr i Cassia i'r dyben i'w dysgu hwy, heb ddyfod â llyfrau gyda mi; a chan edrych ar fy llyfrgell, dywedodd "'Does bosibl na ellwch hebgor un allan o gynifer!" Nis gallai ddirnad pa fodd yr oedd yn angenrheidiol i mi ddyfod yma i ddysgu eu hiaith hwy yn gyntaf, ac yna gwneyd llyfrau iddynt. Bu raid i'r creadur bach fyned ymaith o'r diwedd, er yn dra anfoddlon, heb ddim ond addewid o lyfr cygynted ag y caffwn un iddo.

Er fod hyn yn agwedd hyfrydol iawn ar bethau, y mae yn gyfryw nad ydwyf fi mewn un modd yn barod iddo; oblegyd nid oedd genyf un dychymyg, cyn dyfod yma, y byddai y fath syched yn mysg y bobl am wybodaeth o'r iaith Saesonig, a gwyddoch fy mod wedi dyfod oddiyna heb ddim llyfrau pwrpasol i'w dysgu; a chan nad oedd yr un wedi ei argraffu yn Cassia, nis gallaswn gael yr un. Pa fodd bynag, yr wyf wedi ysgrifenu at rai o'm cyfeillion yn *Calcutta*, y rhai ydynt aelodau o Gyfeisteddiad "Cymdeithas Llyfrau ysgol Cristionogol," i ddymuno arnynt anfon i mi amrywiaeth o lyfrau cyfaddas i ddechreu dysgu Saesonaeg. Ysgrifenaf finau ychydig yn iaith Cassia, y rhai a wnant y tro, efallai, hyd nes y caf argraffu rhai. Y mae'r Cassiaid yn y parthau hyn, i gyd yn fasnachwyr, a chludwyr; ac y mae'r prynwyr a'r gwerthwyr yn dra awyddus i wybod pa fodd i gadw eu cyfrifon, ac i'r dyben i wneyd hyny, yr oedd yn angenrheidiol iddynt wybod y dydd o'r mis. Felly i'w cefnogi, yr wyf wedi gwneyd Almanac iddynt, yn ol eu dull hwy eu hunain o gyfrif; a'r dyddiau wedi eu gosod mewn colofnau cyfochrog â'r eiddom ni; ac y maent yn brysur iawn yn ei astudio. Synasant yn fawr pan ddeallasant y gallwn ddyweyd wrthynt ar ba ddiwrnod o'r flwyddyn y bydd eu lleuad yn newid.

Yr wyf wedi ymholi yn barâus, er pan ddeuthum i India, gyda golwg ar y cwestiwn pa un ai yn *Cherra* ai rhyw le yn y canoldir y dylid sefydlu ein Cenadaeth. Yn Calcutta cefais gyfleuster i ymddyddan âg amryw Genadon, a boneddigion deallus ereill, y rhai a fuont yn preswylio ac yn teithio y Bryniau hyn; ac yma hefyd casglais yr holl hysbysrwydd oedd yn bosibl ar y mater; ac y mae pob ymchwiliad wedi troi o blaid cael un genadaeth yn y gymydogaeth hon. Mae'n wir fod cymydogaeth *Meirung*, neu *Nynclow*, yn fwy manteisiol na Cherrapoonjee o ran hinsawdd a ffrwythlondeb y tir. Yn y lle cyntaf a enwyd gall Cenadwr fwynâu un o'r hinsoddau mwyaf iachusol a hyfryd ar wyneb yr holl ddaear,—llawer mwy felly na'i wlad enedigol; dichon hefyd gael digon o dir ffrwythlon bron am ddim, yr hwn y gallai ei drin at ei wasanaeth ei hun; ac mewn ystyriaethau ereill gall fyw yn llawer rhatach nag y'nghymydogaeth Europeaid. Mae swyddogion y llywodraeth yn gofidio yn fawr fod yr orsaf filwraidd heb ei sefydlu yno ar y cyntaf, ac yn son am ei symud yno, er nad yw hyny yn debyg o gymeryd lle. Yr unig wrthwynebiad i'r canoldir ydyw, y bydd rhaid talu *Rupee* yn 'chwanegol am bob "*Maund*" neu faich gwr, a gymerir oddiyma, a swm go fawr am bob llythyr. Pe na baech yn bwriadu danfon ond un Cenadwr i'r parthau hyn, efallai y buaswn ar y cyntaf yn dewis y canoldir yn drigle iddo; ond gan y byddwch, mae'n debygol, yn danfon *dwsin* o leiaf i ddyweyd wrth y paganiaid truenus hyn am gariad y Gwaredwr, byddai yn well gosod dau yn y lle hwn. O blaid Cherra gellir crybwyll, fod yn y gymydogaeth hon lawn cymaint o drigolion âg unrhyw barth arall; y mae yma weithydd glo hefyd, a hyn gyda'i bod yn Orsaf filwraidd, sydd yn achosi i lawer oedd ymgasglu yma o wahanol fanau. Heblaw hyny, y mae'r rhan fwyaf o'r Cassiaid yn yr ardal hon yn fath o farsiandwyr; o ganlyniad, y mae lluaws mawr o bobl yn arfer dyfod yma i'r *Bazaar* (marchnadfa) yr hyn a'i gwna yn lle cyfleus i ledaenu unrhyw athrawiaeth i holl barthau y wlad; ac efallai fod y bobl yma yn fwy parod i dderbyn yr efengyl nag mewn manau ereill. Y mae'n dra anghenrheidiol hefyd i ryw-un gael ei sefydlu yma mewn trefn i dderbyn llythyrau, &c. a'u trosglwyddo i'r canoldir, oblegyd oddieithr fod yma ryw-un a chanddo ofal am lwyddiant y Genadaeth, mae'n dra thebyg na dderbyniai y rhai fyddai yn trigo yn y canoldir ddim a ddanfonid o'r gwastad-dir heb ddyfod yma i'w geisio; ac erbyn dyfod yma, efallai y caent fod y rhan fwyaf o'r pethau wedi eu lladrata, neu eu dyfetha. Etto y mae pob dydd yn fy argyhoeddi i mai po bellaf y byddo Cenadwr byw oddiwrth yr Europeaid dryg-ionus hyn, goreu oll. Nid oes yr un o honynt, oddigerth Mr. Lewin ei hun, y dymunwn iddo fod yn ddim nes attaf na'm gwrth-dreedwŷr.

Y mae sydd yn ymddangos i mi wedi ei dori allan gan Ragluniaeth i weithrediadau "Y Gymdeithas Genadol Gymreig," a gynwys y genedl a adnabyddir wrth yr enw.

ad cyffredin *Cassia, Sylet, Munnipoor, Tipperah*, a'r *Toolarams*. "Gellir dosparthu Cassia (medd un awdwr) i'r Cassiaid, y Garrowaid, Hajoongaid, Kookeeaid, Kachareaid, a llwyth arall o bobl nodedig am eu ffyrnigrwydd, y rhai ni phetrusant ymborthi ar gnawd dynol." Yr wyf yn meddwl fod y llwyth olaf hwn yn hollol anadnabyddus; ac o ganlyniad, mae'r haeriad uchod yn ddisail. Y mae llwyth yn trigo i'r gorllewin, y rhai a ddangosasant lawer o ffyrnigrwydd yn y rhyfel ddiweddaf a fu gyda hwynt; ac efallai mai hyn a achlysurodd yr haeriad crybwylledig. Yr wyf yn deall fod y gwahanol lwythau yn arfer lladrata pobl berthynol i lwythau ereill, i'w haberthu i gythreuliaid. Ychydig flynyddoedd yn ol, collodd Rajah Genteah ei diriogaeth trwy fod un o'i ddeiliaid wedi aberthu tri o Bengaleeaid i'r dinystrydd. Cafwyd allan y weithred annaturiol a drygionus trwy i ddau ac oeddynt wedi eu gwisgo yn barod i'w haberthu, fwrw eu hunain dros graig fawr, ar ba un yr oeddynt i gael eu hoffrymu, i wastadedd *Assam*, a chyflwyno eu hunain o flaen yr Ynadon. Dylasid rhoddi trigolion Genteah yn mysg y Cassiaid, o ba rai y maent yn ddosparth dra phwysfawr.

Mae arnaf ofn y bydd y genedlaeth hon wedi myned yn euog a chondemniedig tu hwnt i gyrhaedd trugaredd, cyn i ni gymaint a mynegu iddynt ffordd iachawdwriaeth. Pa fodd bynag, dylech anfon tri allan yn ddioed, fel y gallo dau aros yn y lle hwn, a'r ddau ereill fyned i gymydogaeth *Meirung;* ac mor fuan ag y byddo yn bosibl, dau i *Jynteapore;* yna dau i *Silchar*, lle y mae'r Golygydd Brytanaidd dros *Cachar* yn preswylio; dau i *Munnipoor;* dau i'r Bryniau rhwng Cachar a Munnipoor; wedi hyny, dau i'r *Hajoongs*, dau i'r *Garrows*, dau i *Sylet*, ac yn olaf dau i *Comilah* yn *Tipperah*. Ni byddai hyn ond nifer annigonol iawn; etto byddai yn llawn cymaint, efallai, ag y gellwch chwi wneyd; a phe b'ai y nifer yma o Genadon Europeaidd yn cael ei gadw i fynu 'n gyson, yn llaw yr Arglwydd, hwy a allent gadw y peiriant ar waith, a phan y codid dysgawdwyr a phregethwyr brodorol, cyflenwid y diffyg.

Byddwch mor fwyn a gyru i mi amrywiaeth o gloiau, corddynau, i gistiau o wahanol faintioli, bachau, modrwyau, clicedi, hoelion, ysgriwiau, &c. Gadewch i rai o honynt fod yn gryfion, a rhai yn gymhwys i ddodrefn. Mae'r cyfryw bethau yn gostfawr iawn yma; yr ydym yn gorfod cloi pob peth i fynu, onidê, fe'u lladrateir gan y Bengaleeaid o flaen ein llygaid. Bydd llif draws, a llif bwll, yn dra defnyddiol i mi fy hun, ac i'r dyben i ddysgu'r gelfyddyd o lifio, (os gellir ei galw felly) i'r Cassiaid. Mae'r ffordd sydd ganddynt hwy yn llafurus a gwastraffus iawn. Ant i'r goedwig, a chymynant bren, ac yna dechreuant ei naddu yn astyllen; a pha mor fawr bynag fyddo'r pren, ni chânt ond un astyllen o hono. Mae'r gwastraff hwn wedi peri prinder coed mewn rhai ardaloedd poblogaidd. Gadewch i mi gael ychydig o lyfrau ysgol Saesonig, llechi ysgrifenu a phencils, y llyfrau hymnau a gyhoeddodd Cymdeithas y Traethodau, Rhodd Mam a Rhodd Tad, Testamentau, Cyffes Ffydd, ac os gellwch eu cael, ychydig gopïau o'r *Constitutional Deed;* oblegyd y mae llawer yn awyddus i wybod pa beth ydym fel Corff. Gadewch i'r holl lyfrau fod o duedd grefyddol, addas i arwain plant i wybodaeth o'r Efengyl. Y mae o bwys nid bychan gael cynlluniau da, canys yr wyf yn dysgwyl y bydd genyf ieuenctyd brodorol, cyn hir, yn gallu eu cyfieithu i'w hiaith eu hunain. Anghofiais ddwyn dim Tonau gyda mi; a byddaf gan hyny yn ddiolchgar os danfonwch i mi gasgliad o'r hen donau Cymreig yn enwedig, gyda rhyw waith ar Beroriaeth a Chynghanedd. Byddaf yn dra diolchgar hefyd os caiff neb o'm cyfeillion ieuaingc yn Nghymru ar ei feddwl fy anrhegu ag ychydig o donau da. Os bydd neb yn dewis anfon darn o *galico* neu gotton, neu fotymau, byddant yn dra derbyniol, gan ein bod yn gorfod rhoi y cyfryw bethau i'r plant tlodion, neu ynte eu cymeryd i'r ysgol yn noethion.

Na feddyliwch fy mod, mewn un modd, wrth wneyd y sylwadau hlaenorol, yn dymuno eich dysgu chwi na'r Cyfeisteddiad, neu fy mod yn tybied fy hun yn India yn rhyw beth amgen nag oeddwn yn Nghymru. Os nad wyf yn camgymeryd, i'r gwrthwyneb y mae; ac os nad wyf yn twyllo fy hun yn fawr, y mae llawer o'r fath chwyn drwg wedi gwywo a marw. Ond y mae genyf galon lawn o bla, a chan hyny, fe ddichon fod rhyw bethau ereill gan waethed, yn barod i dori allan. Etto y mae rhyw beth yn mywyd Cenadwr ac sydd yn tueddu i farweiddio llawer teimlad pechadurus. Nid wyf wedi gallu deall etto pa beth allasai fod dyben Rhagluniaeth yn gohirio ein mordaith, yn enwedig afiechyd dwys fy ngwraig, pan yn dyfod i faes mor addfed i'r cynhauaf. Pa fodd bynag, y mae pob peth perthynol i'r Genadaeth er pan ddaethom i India (oddigerth ein cystudd ni) wedi, ac yn parâu i arwyddo yn dda iawn; ac yr wyf yn meddwl ei bod yn eithaf priodol i mi benderfynu fod eich gweddiau wedi cael eu hateb: a chyn belled ag yr ydym wedi myned yn mlaen, yr ydys wedi cael prawf digonol fod gweithrediadau Cenadol yn alluadwy i'r Methodistiaid Calfinaidd. Yr wyf etto yn hyderu na anghofiwch weddio trosof. Dymunodd un o'r Cassiaid (sef yr hwn yw *Dusan Rai*) arnaf ddywedyd wrth fy holl gyfeillion ei [illegible] yn dra diolchgar i chwi am fy [illegible] Cassiaid i fod yn dda, [illegible] air Duw, ac y mae genyf [illegible]

fod yn gywir, canys ymddengys ei fod yn teimlo gradd o bwysigrwydd pethau dwyfol.

Cynghorwn chwi i gymeryd y cyfleusder cyntaf i dalu diolchgarwch y *Committee* i Mr. a Mrs. Grey, am eu caredigrwydd digyffelyb tuag at fy ngwraig a minau tra buom yn *Calcutta*. Mae'n wir fod Mr. Lewin a'i deulu wedi gwneyd, ac yn parâu i wneyd caredigrwydd mawr â ni, a diau eu bod yn dysgwyl i ni ei deimlo a'i gydnabod;—ond yr oedd yr eiddo Mr. a Mrs. Grey o natur hollol wahanol,—yn gyfryw na fuaswn o'r braidd yn coelio y gallasai y natur ddynol yn ei 'stad syrthiedig byth ei wneyd. Mae pob coffa am dano yn llenwi fy enaid â diolchgarwch. Ni welais, ac nid wyf yn dysgwyl gweled dim yn debyg iddo ond yn nghariad y Gwaredwr; ac yn nesaf ato Ef, dymunwn eu caru hwy. Dylid cofio eu bod yn gwbl ddieithr i ni, o enwad crefyddol gwahanol, ac yn dra selog dros yr hyn sy'n gwneyd y gwahaniaeth rhyngom ni a hwy.

Siomwyd fi nid ychydig trwy fy mod heb dderbyn rhagor o lythyrau oddiwrthych chwi a chyfeillion ereill. Crefaf arnoch ysgrifenu unwaith bob mis o leiaf, a gobeithiwyf nad anghofir fi gan fy nghyfeillion caredig ereill. Nis gallaf addaw ysgrifenu ateb i bob llythyr, oblegyd achosai hyny lawer o draul ar fy amser a'm llogell. Y doll ar lythyr o Loegr i Bombay yw swllt, ac o Bombay i Cherra am *sheet* o bapur teneu o 2s. 9c. i 3s, ac os bydd yn rhagor o bwysau na hanner owns, bydd y doll yn fwy. Gan hyny yr wyf yn gobeithio y denfyn fy nghyfeillion gan leied o bapyr, a chan gymaint o ysgrifen ag a fyddo yn bosibl.

Mae fy ngwraig yn cyd gofio â mi atoch chwi a'n holl gyfeillion. Gadewch i mi wybod pa fodd y mae'r Gymdeithas Genadol Gymreig yn dyfod yn mlaen, pa nifer o ymgeiswyr cenadol sydd genych, a pha bryd y mae'n debyg y caf gyd-lafurwr yma.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

THOMAS JONES.

O. Y. Awst 6ed. Derbyniais lythyr heddyw boreu oddiwrth Mr. Alexander, yn hysbysu ei fod wedi gyru 20 copi o bob un o'r llyfrau ysgol a gyhoeddwyd gan Gymdeithas Llyfrau ysgol Cristionogol Calcutta, gan ddymuno arnaf eu derbyn fel ei rodd ef at fy ysgol; ac y mae hyn wedi'm llôni yn fawr. Nid wyf yn sicr pa faint fydd nifer y llyfrau, ond gwn y bydd yn o fawr, oblegyd y mae'r Gymdeithas grybwylledig wedi cyhoeddi llawer o'r fath lyfrau.

Mae amgylchiadau wedi dygwydd er pan ddechreuais ysgrifenu, a'n gwnaethant yn angenrheidiol i mi gymeryd un o ddau dŷ oedd ar werth yma. T. J.

D. S. Os bydd neb o'r cyfeillion yn dewis anrhegu ein brawd Mr. Jones â rhai o'r pethau a enwir yn ei lythyr, dymunir arnynt eu danfon i ofal Ysgrifenydd y Gymdeithas mor fuan ag y gellir. Byddai yn well hefyd i bob llythyrau a ysgrifener at y Cenadwr gael eu cyfeirio yr un modd, i *No.* 19, *Mount Street*, *Liverpool*.

---

## RHYFEL YN CHINA.

—o—

MAE un o bapurau newyddion yr India, a elwir y "*Bombay Times*," dyddiedig y dydd 1af o Fedi diweddaf, yn rhoi swm y dygwyddiadau yn China; o ba un y tynwyd allan yr hyn a ganlyn:—

Ar y 10fed dydd o Fai diweddaf ymwelodd y Cadben Elliot a Rhaglaw Canton, i'r dyben o gael gwybod eu bwriadau; ac efe a ganfu ar unwaith fod rhuthr arswydus ar droi allan. Yr oedd y Chineaid wedi bod yn brysur iawn, yn ystod yr heddwch a ganiateid iddynt, yn cynnull eu milwyr—yn arfogi eu hamddiffynfeydd, ac yn codi gwarchgloddiau, &c. Pan welodd y Cadben Elliot hyn, efe a alwodd yn ol y gorchymyn a roddes i'r llongau i hwylio i Amoy, ac a archodd iddynt fod yn barod i symud i fynu yr afon at Canton ar yr 18fed.

Parodd y gorchymyn hwn beth cynnwrf yn mhlith y marsiandwyr tramorawl ag oedd yn Canton, ac er mwyn eu llonyddu hwy rhoddes Yu gyhoeddiad allan nad oedd dim perygl yn bod. Ond ar y diwrnod nesaf anfonodd y Cadben Elliot swyddog atynt, i'w rhybuddio i ymadael â'r fan cyn machludiad haul. Ac oddeutu hanner nos y noswaith hòno yr ymosododd y Chineaid ar y llongau blaenaf ag oedd yn hwylio yr afon â magnelau mawrion, a bwrw cludeiriau tân (*fire rafts*) hefyd i'w cyfarfod. Ond er yr holl ddyfeisiau hyn, gwnaeth un o agerddlongau Prydain, a elwir Nemesis, ddifrod mawr â'u magnelau, gan agoryd y ffordd i'r lleill ddyfod yn mlaen; tra yr oedd tair llong ereill yn chwareu eu magnelau yn brysur ar gastell newydd Shaming. Ac ar doriad y wawr cymmerwyd y castell, ac wyth o fagnelau pres gorwych ynddo. Yn y cyfamser, daeth lluaws o longau rhyfel bychain (*war junks*) allan o gilfach ar gyfer lle a elwir Fatee, ond ymlidiwyd hwy yn ol yn fuan gan y Nemesis. Pa fodd bynag pan y gwelsant fod yr agerddlong yn brysur wrth y castell, hwy a anturiasant allan eilwaith, ond cyn gynted ag y canfuant fod eu gelynes ffrochwyllt yn eu gweled, hwy a geisiasant wneyd y goreu o'u ffordd yn ol fel o'r blaen, ond ni lwyddasant. Y Nemesis a rwygodd drwy y tonau ar eu holau, ac yr oedd yn fuan allan o olwg ei chyfeillion, ond cleciadau ei gynau, a'r mwg gwyn yn dyrchafu i'r awyr, oedd yn parhau i hysbysu iddynt ei bod mewn ymdrechfa dost. Ond er hyny, mewn tair awr o amser, bu yn alluog i chwythu nid llai na deugain o llongau y Chineaid: ac yr oedd ei dychwel.

iad yn fawreddus dros ben—wedi ei llenwi â baneran a llumanau y Chineaid—a llawer o'r dwylaw wedi ymwisgo yn ngwisgoedd a chapiau gwychion y *Mandarins* [uchelwyr China] a gwelid rhai o honynt yn ddigrifol iawn â'r gynffon Chineaidd yn hongian ar eu gwarau. Nid oedd yr hafog yn drom yn eu plith am eu bod wedi cael digon o amser i ddianc cyn i'r llongau fyned ar dân.

Ar y 23ain cyrhaeddodd yr holl filwyr ar gyfer dinas Canton, pryd y cynnaliwyd cynnadledd er gywbod pa beth a wneid yn mhellach. Cynnygiodd Syr Hugh Gough am lanio y milwyr oll ar yr ochr gogleddorllewinol i'r ddinas, tra y byddai i Major Pratt, ddwyn sylw y gelynion trwy ymosod arnynt ar yr ochr ddeheuol. Ac yn y cyfamser anfonid y Cadben Belcher allan i chwilio a ydoedd yn bosibl hwylio i fynu yr afon tua'r gogledd. Ymosododd amryw gychod arno yn yr hynt hon, ond ni fuont yn un rhwystr iddo—efe a lwyddodd yn ei orchwyl—ac a ddychwelodd wedi dinystrio wyth-ar-hugain o honynt.

Ar y 24ain daeth y milwyr oll i dir, ac a ddechreuasant yr ymosodiad. Yn ystod y nos hono laniwyd y gynau mawrion, a symudodd yr holl fyddin gydâ'u gilydd yn mhen ychydig ar ol toriad y dydd, (y 25ain.) Wedi iddynt sefyll o fewn tair milltir a hanner i fur y ddinas, canfyddasant fod pob darpariaeth o gadernid wedi cael ei wneud. Am hanner awr wedi naw gorchymynodd y Llywydd iddynt fyned yn mlaen, a chyn pen yr hanner awr yr oedd y gwarchleodd dwyreiniol a gorllewinol yn meddiant y Prydeinwyr, a'r lluoedd erbyn hyn o fewn can llath i furiau Canton. Ond yr oedd saethu prysur yn cael ei ddwyn yn mlaen oddiar y muriau drwy y rhan fwyaf o'r dydd.

Wedi i'r milwyr lanio, a myned yn mlaen tua Canton, meddyliodd nifer fawr o'r milwyr Tartaraidd am gymmeryd yr agerddlong Nemesis, a rhuthrasant hyd at fin y dwfr er mwyn hyny; ond llywydd y Nemesis a adawodd iddynt ddyfod o fewn cyrhaedd ergyd, pryd yr ymarllwysodd gynnwysiad ei gynau arnynt fel y bu dda ganddynt ddianc, a gadael llawer yn feirw ar eu holau.

Ar yr ochr gogledd-ddwyreiniol i'r ddinas yr oedd gwarchawdlu lliosog (oddeutu pedair mil) o'r gelynion, y rhai a ymosodasant yn ffyrnig ar y 49 gadrawd o'r Prydeinwyr. Oddeutu tri o'r gloch prydnawn gwelid gŵr o urdd (*mandarin*) yn dynesu tu ag atynt, a chaed allan mai Yang, y Cadfridawg Tartaraidd ydoedd; a buan y canfyddid fod y Chineaid yn prysur gynllunio ymosodiad newydd, er rhwystro pa un yr anfonwyd y *Major General* Burrell yn mlaen; yr hwn a ddilynodd y gelyn ar hyd ffordd gul, ac a ddinystriodd eu gwarchle—a gwnaed hyn yn wrol iawn gan y byddinoedd 18 a 48, ac ychydig o'r *Royal Marines*, ond nid heb cryn golled, o herwydd eu bod yn noeth i saethu gwyllt oddiar yr ochr gogledd-ddwyrain i'r ddinas. Y gelyn a ddiangodd, a'r gwarchle a roddwyd a'r dân—yr ystorfeydd powdr a chwythwyd i fynu, a'r holl fan a ddinystriwyd. Y llywydd erbyn hyn a benderfynodd gymmeryd y ddinas trwy rym arfau, ac efe a roddes allan y cyhoeddiad parotoawl i hyny, ond erbyn boreu dranoeth yr oedd baner heddwch i'w gweled yn chwyfio ar y mur. Ac wedi gyru Mr. Thom, y cyfieithydd, i holi yr achos, dywedodd un o benaethiaid y Chineaid wrtho eu bod yn awyddus am heddwch. Y Llywydd Prydeinaidd a orchymynodd eglurhau iddo, nad oedd a wnelai efe (fel Pen-llywydd milwyr Prydeinaidd) â neb ond a Phen llywydd y milwyr Chineaidd yn unig; ond y gorchymynai efe attal yr ymosodiad am ddwy awr fel y gallai y Llywydd Chineaidd ei gyfarfod; ond os na dderbyniai efe gyfarfod boddhaol oddiwrtho yn ystod hyny o amser, y gorchymynai ail ddechreu yr ymosodiad drachefn. Ond gan nad oedd y Llywydd Chineaidd yn ympirio aed yn mlaen i wneuthur pob parotôadau.

Ar nos y 26ain yr oedd pob peth yn cael ei wneud yn barod yn ngwersyll y Prydeinwyr. A rhoed gorchymyn allan i agor y magnelfeydd am 7 o'r gloch, a dechreu yr ymosodiad am wyth. Ond ar foreu y 27ain, pan oedd ein milwyr ar ddechreu yr ymosodiad daeth swyddog milwrol i'r gwersyll, yr hwn oedd wedi colli y ffordd, a theithio drwy gydol y nos, a gorchymyn oddiwrth y Cadben Elliot i attal pob ymosodiad, am fod y Chineaid wedi boddloni i roddi iawn am y ddinas. Ac er mor siomedigaethus oedd hyn i feddwl Syr Hugh Gough, efe a alwodd ei orchymyn yn ol.

Penau y cytundeb a gynygiai y Cadben Elliot i'r Chineaid ydoedd y rhai a ganlyn:—

1. Fod i'r holl filwyr oddigerth milwyr y dalaeth, a'r tri Dirprwywyr Breninol, i adael Canton o fewn corph chwe diwrnod, a myned oddiyno driugain milltir o bellder.

2. Fod i chwe miliwn o *ddollars* gael eu talu at wasanaeth coron Lloegr, a dechreu cyfrif o'r 27ain o Fai; ac un miliwn i gael eu talu cyn i'r haul fachludo y diwrnod hwnw.

3. Fod i'r lluoedd Prydeiniol aros yn bresennol mewn meddiant o'r manau ag oedd eisoes ganddynt; ac na byddai i ddim ychwaneg o ddarpariadau rhyfelawl gael eu gwneud gan y naill ochr na'r llall. Os na byddai i'r swm a bennodwyd gael ei dalu mewn saith niwrnod codid ef i saith miliwn; os na thelid mewn pedwar diwrnod ar ddeg wyth miliwn; ac os nad mewn ugain niwrnod naw miliwn. A phan delid y cwbl, dychwela y luoedd Prydeinig o'r tu allan i Bocca Tigris; a Wantong, a phob lle amgaerawl arall ar yr afon i gael eu rhoi yn ei i'r Chineaid, ond nid i gael eu hail arfogi

hyd oni phenderfynir cytundeb rhwng y ddwy genedl.

4. Yr holl golledion a achlysurwyd trwy ysbeilio y gweithdai, a dinystriad y llong Ysbaenig Bilbaino, yn 1839, i gael eu talu yn ystod un wythnos.

5. Rhaid i Kwang-chow-foo gael llawn allu i orphen y cytundeb hwn ar ran y tri Dirprwywyr — Llywydd y Gwarchawdlu Tartaraidd, y Prif-lywydd, a Fooynen o Kwantung.

Am hanner dydd dranoeth (28ain) cynnaliwyd cynnadledd ar fur y ddinas, pryd y penderfynwyd ar i'r milwyr Tartaraidd ymadael o'r ddinas, sef cymmaint oll ag ydoedd yn barod. Ac ar orchymyn Cadben Elliot, caniataodd Syr Hugh Gough iddynt ymadael trwy y porth gogledd-ddwyreiniol; gan gludo eu harfau, &c., ond nid oedd iddynt gael codi eu bauerau, na swnio un offeryn cerdd.

Wedi i Syr Hugh Gough ddeall fod pum miliwn o ddollars o'r arian wedi eu talu—a bod eithaf sicrwydd wedi cael ei roddi i Cadben Elliot am y miliwn arall—a bod 14,500 o'r Tartariaid wedi gadael Canton; a bod 3000 wedi myned ar hyd y môr, a bod y rhelyw yn parotoi i ymadael cyn gynted ag y bydd modd iddynt, efe a gytunodd i ail alw ei luoedd i'r llongau drachefn.

Yn yr ymgyrch hon ar ddinas Canton, o'r 23 hyd 30 o Fai, lladdwyd un swyddog milwraidd, a bu farw un arall o herwydd gormod blinder, &c., a chlwyfwyd pymtheg ereill. A nifer y milwyr a'r llongwyr a laddwyd oedd tri ar ddeg, ac a glwyfwyd oedd ddau ar bymtheg a phedwar ugain.

Dywed y *Calcutta Government Gazette*, dyddiedig Awst 7, mai go anhawdd fyddai ffurfio hanes cywir pa nifer a laddwyd ac a glwyfwyd ar du y gelynion, ond ddarfod i Kwang-chow-Foo addef wrth Syr Hugh Gough fod 500 o'r lluoedd Tartaraidd wedi eu lladd, a phymtheg cant wedi eu clwyfo, ond y mae Syr Hugh Gough ei hun yn barnu y gellir yn hawdd ddyblu y nifer hwn wrth fwrw colled y Chineaid yn yr ymgyrch waedlyd hon.

Fel hyn y mae y newyddion diweddaf a welsom etto o China, ond yr ydym yn dystaw ddysgwyl y bydd i'r rhyfel hwn, pan orpheno, fod yn foddion nid yn unig i agor trafnidaeth rydd rhyngom â'r wlad ëang hòno, ond hefyd i agor drws helaeth i'r Bibl a'r efengyl gael rhwydd rediad i ganol y Chineaid cyndyn a hunanol.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

Wedi ffurfiad y Swyddogaeth newydd, a gofnodwyd yn ein Rhifyn diweddaf, ymgyfarfu dau Dŷ y Senedd yn fuan yn mis Medi. Ond am gryn amser ni wnaed nemawr o orchwylion yn eu plith, heblaw gorphen trefnu pethau tuag at i'r Swyddogion newydd ymaflyd yn eu gwahanol swyddau, ac ychydig o ymryson ynghylch pethau dadleugar. Traddodwyd y fath areithiau gan Syr Robert Peel, ac Arglwydd J. Russel, yn gwbl groes i'w gilydd hefyd; fel yn anfynych y gwelir y fath synwyr, grym rheswm, ac egni talentau, mewn un ysgrif hen na diweddar. Barned pawb drosto ei hun pa un o'r ddau sydd nesaf i'w le yn ei haeriadau, a chywiraf yn ei amcan am wneuthur daioni i'r wladwriaeth.

*Tŷ yr Arglwyddi*, Medi 23. Dyg Iarll Ducie nifer mawr o Eirchion, yn bennaf oddiwrth gynnulleidfaoedd yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr drwy y deyrnas, am gael cyfnewidiad yn nghyfraith yr ŷd. Ac yn eu mysg yr oedd un oddiwrth Eisteddfod o dros 650 o Weinidogion yr Efengyl o bob enwad, cynnulledig yn Manchester. Dywedodd yr Anrhydeddus Iarll fod 700 ychwaneg o Weinidogion y rhai oeddynt yn cyduno a deisyfiad yr Archiad, ac nad allent fod yn bresennol yn yr Eisteddfod; ac felly yr oedd yn cynnwys barn a deisyfiad o yn agos i ddau cant ar bymtheg o weinidogion, o wahanol enwadau o grefyddwyr. Efe a daer ddymunodd ar eu Harglwyddi gymmeryd deisyfiadau yr Archiad at eu hystyriaethau, gan ei fod yn cynnwys barn cynnifer o Weinidogion, fod treth ar ymborth dyn yn gamwedd, nid yn unig yn erbyn ystyr lythyrenol yr Ysgrythyrau Sanctaidd, eithr yn erbyn eu hystyr ysbrydol hefyd.

Gwrandawyd arno; ond nid atebodd neb un gair. Eithr derbyniwyd yr Eirchion ar y bwrdd, a dim yn chwaneg.

*Tŷ y Cyffredin*, Medi 24. Galwodd Mr. P. M. Steward ystyriaeth y Tŷ at Archiad oddiwrth Uchel-faer, Ynadon, a Chyngborfa Paisley mewn perthynas i'r caledi presennol ar amgylchiadau llaw-weithwyr SirRenfrew. Tynodd y gwr anrhydeddus hwn ddarluniad arswydus o sefyllfa angenus trigolion y wlad hòno; ac a geisiodd ddangos drwy reswm y dylai y Llywodraeth yn ddioed ddefnyddio rhyw foddion tuag at gynnal y trigolion lliosog hyn, yn lle tori yr Eisteddfod i fynu am hir amser, heb roddi un gobaith o ymwared iddynt mewn modd yn y byd.

Chwanegodd Mr. M. Gibson a Mr. Parker, gan ddywedyd y dylai y Llywodraeth roi rhyw hysbysrwydd pa beth y maent yn ei fwriadu wneuthur ar y pen hwn, gan dystiolaethu na fydd y bobl ddim yn foddlawn i flaenor y Swyddogaeth barhau yn ei ddystawrwydd ar yr achlysur presennol.

Syr R. Peel a ddywedodd, mai ei farn ef oedd, mai gwell ydyw bod yn ddystaw ar yr achlysur presennol, nag adrodd rhyw gyfran o'r hyn oedd ar ei feddwl ef ei wneuthur. Mae y wladwriaeth yn galw arno ef i drwsio, os oes modd, y dyryswch anferth y dyg Swyddogion diweddar ei Mawrhydi y Wladwriaeth iddo, o ran sefyllfa trefniad y cyllidau. Gan ei fod ef yn y sefyllfa hon, dymunai i'r Tŷ roi ei ymddiried ynddo, a goddef iddo gael amser i olygu holl sefyllfa

y deyrnas. Dywedai hefyd, fod yn hawdd i bawb o Aelodau y Tŷ ganfod y caledi sydd yn y wlad yn gyffredinol, ac ymofidio o'r herwydd. Er hyny, fod o'r pwys mwyaf, fod yr hwn sydd ar ei law i chwilio am foddion gwelliant rhag y wasgfa a'r caledi hyn, i gael peidio ei yru i ddefnyddio moddion byrbwyll at hynyma, ond ei fod yn cael hamdden a phwyll i chwilio i mewn i'r holl achos drwyddo draw, i'r dyben o gael allan feddyginiaeth a atebo y dyben.

Yna y Tŷ a ymffurfiodd yn Eisteddfod i drefnu Cynnorthwy arianol at achos y llywodraeth; ac ar gynnygiad Syr G. Clerk, pasiwyd y penderfyniad fod rhwng deng miliwn ac un-ar-ddeg o filiwnau o bunnoedd yn cael eu rhoddi i unioni cyfrifon y cynnorthwyon a ganiattawyd yn y Senedd ddiweddaf.

Medi 27. Dyg Syr James Graham ei gynnygiad am adnewyddu awdurdod Dirprwyaeth Swyddwyr Cyfraith y Tlodion. Ac ar yr achlysur cynnygiodd Mr. Yorke ddodi hyn i mewn yn y gyfraith hono:—"Na fyddo gan y Dirprwywyr awdurdod i wahanu rhwng gwr a gwraig yn y Gweithdai, oddigerth yn unig y cyfryw ag y byddo y gwr wedi dyfod i'w amgylchiad tlawd oherwydd diogi, meddwdod, ac afradlonrwydd." Ar hyn cododd dadl. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,

| | |
|---|---|
| Yn erbyn y cynnygiad.. | 187 |
| O blaid y cynnygiad.... | 36 |
| Mwy yn erbyn o ...... | 151 |

Cynnygiodd Mr. Crawford am ryw ddiwygiad arall yn y gyfraith hòno; ond collwyd hwnw drwy fwyrif yn ei erbyn fel y llall.

Medi 30. Dywedodd Syr C. Napier ei fod ef yn gobeithio y bydd i flaenor y llywodraeth ddefnyddio rhyw foddion i amddiffyn bywyd McLeod yn America, oherwydd ei fod yn deall ei fod mewn perygl yn barhaus. Atebodd Syr Robert Peel nad oedd efe ddim yn gallu sicrhau yn bresennol y bydd iddo wneud dim yn chwaneg ar yr achlysur hwnw na'r cyfarwyddiadau a roddwyd eisoes yn ei gylch.

Fel hyn nid oes dim achos o bwys yn myned ymlaen yn y Senedd, oddigerth yn unig gorphen passio y Cyfreithiau a'r cynnygiadau a adawyd ar eu hanner yn yr Eisteddfod ddiweddaf; ac yna tynir pen ar yr Eisteddfod hon cyn gynted ag y gellir, fel y galler gohirio y Senedd hyd y flwyddyn nesaf, neu o leiaf hyd ddiwedd y flwyddyn hon.

Hydref 5. Gofynodd Mr. Brotherton i Syr Robert Peel, pa beth a ddaeth o'r Eirchion a'r Cyfarchiadau a anfonwyd at y Frenines, ac a adawyd yn Swyddfa yr Ysgrifenydd Cartrefol i'w dodi yn ei llaw hi, yn y rhai y dymunid ar ei Mawrhydi beidio gohirio y Senedd hyd nes i'r Senedd gymmeryd dan eu hystyriaeth Gyfraith yr Yd a gwasgfeuon presennol y wlad? Atebodd Syr R. Peel y bydd i'r Ysgrifenydd Cartrefol eu cymmeryd hwynt oll y foru a'u dodi yn llaw y Frenines.

### GOHIRIAD Y SENEDD.

Dydd Iau, Hydref 7, gohiriwyd y Senedd hyd Tach. 11. Yna darllenodd yr Arglwydd Ganghellwr Araeth y Frenines yn Nhŷ yr Arglwyddi. A darllenodd y Cadeirydd yr unrhyw Araeth yn Nhy y Cyffredin i oddeutu cant o aelodau, ac yna ymadawsant.

## ARAETH Y FRENINES.

"FY ARGLWYDDI A'M BONEDDIGION,

"Fe'n gorchymynir gan ei Mawrhydi i hysbysu i chwi ei bod yn ymddangos i'w Mawrhydi ei bod yn bryd addas i ddwyn eisteddfod presennol y Senedd i derfyniad.

"Mewn cydffurfiad â chyngor y Senedd, ac mewn canlyniad i hysbysol fwriadau ei Mawrhydi, fe gymmerodd ei Mawrhydi y mesurau angenrheidiol tuag at lunio Gweinidogaeth newydd, ac mae y trefniadau i'r perwyl hyny wedi cael eu cyflawni gan ei Mawrhydi."

"FONEDDIGION TY Y CYFFREDIN,

"Mae genym orchymyn oddiwrth ei Mawrhydi, i ddiolch i chwi am y cynnorthwyon a ganiatasoch i'w Mawrhydi tuag at y cyfryw ganghenau o'r gwasanaeth cyffredin y rhai ni wnaed darpariaethau cyflawn erddynt gan y Senedd ddiweddaf.

"Y mesurau y rhai a fernir yn fuddiol ac angenrheidiol i'w defnyddio i'r amcan o gyfartalu arian derbyniadol y llywodraeth, a'r arian treuliadol blynyddol, yngbyd a'r achosion pwysfawr ereill cydiol â masnach a newidwriaeth y deyrnas, a alwant, o angenrheidrwydd, am eich ystyriaeth yn gynnar ar ol y gohiriad presennol.

"Mae ei Mawrhydi wedi gorchymyn i ni i hysbysu i chwi drachefn, ei bod yn dwys deimlo y caledi yr hwn sydd bellach er's cryn amser yn parhau mewn rhai o'r prif ardaloedd gweithfäol, ac i sicrhau i chwi, y gellwch ymddiried y bydd i'w Mawrhydi gydsynio gyda phob parodrwydd meddwl â'r holl fesurau, a fydd yn ymddangos, ar ol ystyriaeth bwyllus, yn tueddu yn y modd goreu i attal ad-ddychweliad y gyfryw galedi, ac i ddwyn ymlaen amcan mawr dymuniadau ei Mawrhydi,—sef hapusrwydd a boddlonrwydd ei phobl."

Fel hyn, fe roddwyd terfyn ar eisteddfod y Senedd newydd yn swta iawn; a digon tebyg yw na chyferfydd y Senedd ddim drachefn hyd fis Chwefror, 1842, oni fydd rhyw achos yn galw am gyfarfod yn gynt; er fod yr amser yn cael ei enwi i ymgyfarfod yn llawer cynt, yn ol yr hen arferiad, fel y gellir gohirio o dro i dro, hyd yr amser a nodwyd uchod.

# Y DRYSORFA.

RHIF. CXXXII.] RHAGFYR. [LLYFR XI.

## PREGETH

A DRADDODWYD GAN Y DIWEDDAR BARCH. GRIFFITH SOLOMON, YN LLANSAMLET, HYDREF 5, 1839.

HEB. iv. 16.

"Am hyny, awn yn hyderus at orseddfainc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymmorth cyfamserol."

AM hyny, sef, "Am fod i ni Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw." Mae sail yr hyder hwn i'w weled yn adn. 14 o'r bennod hon.

Oddiwrth y testyn cynnwysfawr hwn, nyni a sylwn,

I. Ar yr annogaeth a roddir, "Awn," oddiar y sail o fod i ni Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw, wedi ei demtio ymhob peth ar un ffunud a ninnau, etto heb bechod.

II. Yr agwedd y dylem fyned, "yn hyderus."

III. Y lle yr annogir ni i fyned ato, "gorseddfainc y gras."

IV. Y dyben, "fel y derbyniom drugaredd," &c.

I. Yr annogaeth, "Awn:" nid ewch, fel pe na buasai eisiau myned arno ef ei hun. Na; mae mwy o eisiau myned at yr orsedd ar y rhai sydd mewn swyddau yn nhŷ Dduw na neb arall. Oblegid am y llestr sydd fwyaf mewn gwasanaeth, hwnw fyddwch yn ei olchi amlaf. Hefyd, nid, mi âf fi, deuwch chwi, neu beidiwch; canys nid oedd yr Apostol yn ddiofal am eneidiau ei frodyr; ond "awn," awn oll.

II. Yr agwedd y dylem fyned, "yn hyderus." Cyn y gellir bod yn hyderus, mae yn rhaid cael ffydd. "Megys y rhanodd Duw i bob un fesur ffydd." Fe fesurir y pregethwr, nid wrth ei ddawn, na'i lais, &c. ond wrth fesur ei ffydd. Gofynaf i ti, y dyn a'r pwnc mawr, pa faint o ffydd sydd genyt? Mae ffydd yn gyffelyb fel yr oedd llygaid y bobl yn yr anialwch: yr oeddynt yn gweled pob peth o'u hamgylch; ond gweled y sarph bres oedd yn eu meddyginiaethu. Felly y mae ffydd yn credu pob peth ag sydd yn ngair Duw; ond trwy gredu tystiolaeth Duw am ei Fab y mae bywyd i'w gael.

III. Y lle, "gorseddfainc y gras." Pan oedd Israel yn yr anialwch, fe aeth Moses i gyfarfod â Duw ar fynydd Sinai; ac wrth ddyfod i lawr oddiyno, â llechau y gyfraith yn ei law, fe glywai swn canu gwag yn y gwersyll, a chan ddeall o hono i Israel wneuthur llo aur i'w addoli, efe a'u torodd hwynt yn chwilfriw wrth droed y mynydd, fel pe buasai yn dywedyd, nis oes dim hanner blwyddyn er panddaeth y bobl hyn trwy y môr coch, ac y gwelsant fawrion ryfeddodau Duw yn y dyfnder; beth a wna y fath greaduriaid a hyn â deddfau? Na, meddai Duw, y mae eisiau deddfau ar y bobl; a rhag i ti, yn dy brofedigaeth, dori y llechau etto, gwna i ti arch i'w cadw yn gyfan: ac felly y gwnaed; ac fe osodwyd cerubiaid y gogoniant i gysgodi y drugareddfa ar yr arch. Caead yr arch oedd y drugareddfa, neu y drugaredd-fan, y fan i drugarhau. Ac, medd Duw wrth Moses, "Mi a gyfarfyddaf â thi yno," sef ar "orseddfainc y gras," gysgodol hôno. Felly y mae Duw yn eistedd ar orseddfainc y gras, sef yn y Cyfryngwr, i weinyddu trugaredd i bechaduriaid, a gras yn gymmorth cyfamserol.

IV. Y dyben. "Fel y derbyniom drugaredd," &c. Yr oedd y dyn dall hwnw yn llefain, "trugarha wrthyf;" nid dyro i mi fy ngolwg; cyfrifasai hyny yn ormod hyfra i'w ofyn i wr mor fawr; oblegid trugaredd oedd iddo ef gael ei olwg; trugaredd i'r rhai sy heb haeddu dim sydd yma. Ni chytuna marchnad yr efengyl â neb ond â rhai sy heb ddim. Paul a ddywed, "yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, &c. eithr mi a gefais drugaredd." Ai cablwr wyt

ti etto, Paul? Nage, mi a gefais drugaredd, ac mae hòno wedi fy ngwneyd yn weddïwr. Mi fûm i yn erlidiwr; ond mi a gefais drugaredd; ac yr ydwyf yn awr yn bregethwr, ac mae yr erlidiwyr wedi troi i fy erlid innau. Pan ddel trugaredd i'r cyfiwr hi wna drefn ar y dyn, a phan ddel i'r tŷ, hi wna drefn ar y tŷ. Am hyny awn yn hyderus at orseddfainc y gras, fel y derbyniom drugaredd.—Cyfarfod â Duw mewn heddwch yn Nghrist yw hyny—yna ni a gawn ras yn gymmorth wrth raid, cymmorth yn ol yr angen ar hyd y daith. Amen.

*Llansamlet.* EZEKIEL THOMAS.

## LLOFFION O BREGETHAU.

SICRWYDD FFYDD, 1 Thes. i. 5.—Mae hwn yn llysieuyn na thŷf ymhob hinsawdd (*climate*). Mae llawer o lysiau yn cael eu dwyn o'r gwledydd poethion i'r wlad hon, i'r dyben iddynt dyfu; ond nid oes fawr o lewyrch ar eu tyfiant. Maent megis yn gwywo o dan ddwylaw y rhai sydd yn eu trin, er cymeryd y gofal mwyaf gyda hwynt. Eithr y maent, yn ddiweddar, wedi dyfeisio math o dai brwd (*hot houses*), er cael y gwres i'r un graddau ag yn y gwledydd lle y tyfant yn naturiol; a thrwy hyny, mae y cyfryw lysiau yn tyfu yn rhagorol yn y wlad hon. Felly y llysieuyn hyfryd hwn, "sicrwydd ffydd," rhaid iddo yntau gael gwres y wlad lle y ganwyd ef: plentyn y nefoedd ydyw, a rhaid iddo gael byw llawer yn y nef cyn y gallo dyfu yn dda.

Mae "sicrwydd ffydd," megis wedi ei golli i raddau o'r eglwysi yn y dyddiau hyn. Mae agos yn ddi sôn am dano yn ein mysg. Yr enw cyffredin sydd gan grefyddwyr ar wir grefydd y dyddiau hyn, ydyw "rhyw-beth." Os gofynir i lawer un o honynt, "A ydych chwi yn sicr fod eich cyflwr yn dda rhyngoch a Duw? a ydych chwi yn sicr eich bod yn dduwiol? fod genych hawl i ogoniant?" Yr ateb fydd, "Na; ni allaf fi ddim dweyd fy mod i yn dduwiol; ond mi allaf ddweyd fod yma 'rywbeth'—mae 'rhyw-beth' ynof na ddaeth gyda mi i'r byd." A oes genyt ti yr un enw arno ond "rhyw-beth?" Nid rhyw-beth mo hono; ond "peth," peth mawr. Er nad oes gan y dyn un enw arno ond rhyw-beth, y mae yn beth na chymerai efe mo'r byd am dano. Mae efe yn rhyw-beth na ellir tynu ei lun: mae fel y Shekina gynt: arwydd o bresennoldeb grasol yr Arglwydd ydyw; diolch am y rhyw-beth hwn! Da fy mhobl, gweddiwch am i'r rhyw-beth sydd yn achub pechaduriaid ddyfod i'n hodfeuon; ac fel y delo y "rhyw-beth" yma yn fwy amlwg, fel y gallom roddi enw arno; ïe, fel y gallom ei alw yn "sicrwydd ffydd." Mae hwnw i'w gael ond llafurio am dano; ar dir llafur y ceir ef. "Enaid y diwyd a wneir yn fras—llaw y diwyd a gyfoethoga—ymhob llafur y mae elw." Nid am lafurio chwaith; etto nid heb lafurio y ceir ef. Nid wyf fi yn meddwl fod un fendith dymhorol yn dyfod i ddyn am ei lafur, heb fendith yr Arglwydd ar ei lafur. Ond ni wiw iddo ddysgwyl dim heb lafurio. Felly ni cheir y "sicrwydd" hwn am lafurio, ac etto nid heb hyny; yn y llafur y mae i'w gael. Ac er mai rhad rodd Duw ydyw; er hyny y mae wedi ei gyssylltu â llafur dyn am dano. "Efe a fydd dedwydd yn ei weithred." Iago i. 25. Nid am ei weithred; ond ynddi, ac nid hebddi.

Ond rhag llwfrhau rhyw frawd gwan, mi ddywedaf, fod sicrwydd arall i'w gael, ac mae y sicrwydd hwnw yn anhepgorol angenrheidiol. "A wyt ti, anwyl ddyn, yn sicr dy fod yn bechadur? yn credu hyny mewn gwirionedd! Ac a wyt ti yn gweled digon yn yr iachawdwriaeth fawr yn Nghrist ar dy gyfer? Os ydwyt, y mae genyt gystal hawl am y nefoedd--gobaith am dy fywyd, a'r mwyaf sicr—y mwyaf duwiol. Ond llafuria di, er hyny, a llefa am iddi ddyfod yn fwy golen arnat—am weled dy hawl yn fwy amlwg—ac am i'th brofiad fod yn fwy tebyg i eiddo yr apostol pan mae yn dywedyd, "Canys ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni dŷ, nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd."—*Y Parch. W. Jones, Rhuddlan.*

ETHOLEDIGAETH.--Yr oedd yn Jerusalem gynt lyn, a elwid Bethesda, ac yn arwain iddo yr oedd pum porth, yn y rhai y gorweddai lliaws mawr o gleifion, &c. yn dysgwyl am gynnyrfiad y dwfr. Felly mae yn perthyn i'r efengyl lyn meddyginiaethol, iawn---y ffynon a agorwyd i bechod ac aflendid--gwaed y groes, yr hwn sydd yn iachau pob math o gleifion y cwymp.

Mae yn perthyn i'r llyn hefyd lawer o byrth; ac mae ynddynt luoedd o ddynion yn gorwedd, ac yn dysgwyl am ryw gynnyrfiadau neilldual er eu gorfodi megis i fyned i'r llyn i gael eu hiachau. Enw un o'r pyrth yma yw porth digalondid; ac mae ynddo liaws mawr yn gorwedd ac yn dysgwyl. Un

o'r prif bethau sydd yn digaloni rhai o'r dynion sydd yn y porth yma yw etholedigaeth. Maent yn digaloni oherwydd eu bod heb wybod a ydynt wedi eu bethol i fywyd ai nad ydynt. Dywedaf wrth y rhai hyn, "Mae yn wir fod tyrfa fawr o bechaduriaid wedi eu hethol gan Dduw er cyn seiliad y byd; ac fe gaiff pawb a etholwyd hefyd eu cadw a'u hachub i fywyd tragywyddol. Ond gofynaf hefyd, beth sydd gan ddynion i'w ddweyd yn erbyn yr etholedigaeth hon? Ni wnaeth hi ddim drwg i neb erioed---ni fwriodd hi neb erioed i uffern; ond hi a ddyg fyrddiynau i'r nefoedd---ac fe gaiff Duw y clod byth am ethol. Ond dy ddyledswydd di yw llefain am drugaredd, a chredu yn Nghrist, heb wybod pa un a etholwyd ti ai peidio.---*Yr un.*

CYFOETH Y CRISTION.---"Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth." Mae y Cristion wedi cymmeryd "gair Crist" yn drysor iddo ei hun---gair Crist yw etifeddiaeth y Cristion---mae efe wedi cymmeryd gair Crist yn etifeddiaeth iddo dros byth---gair Crist yw cysur y Cristion ymhob amgylchiad---mae efe wedi cymmeryd gair Crist yn bob peth iddo yn wyneb pob angen ac amgylchiad a'i cyferydd yn y byd---Crist yw ei bob peth ef.--*Y Parch. Ebenezer Richards.*

TRUENUS GYFLWR YR ANNUWIOL.—"Rhaid iddo (Crist) deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed." Nid oes dim trugaredd o dan ei draed ef---os danynt yr âi di, ni chodi di ddim byth oddiyno---ni chynnefini di byth yno, os yna âi di. Yr wyt yn cynnefino yma â chlywed son am y digofaint sydd ar ddyfod---y maglau tân a brwmstan; ond ni chynnefini di byth dano. Clywaist son am draed o brês; ond beth a fydd bod danynt hwy! Ddyn, ystyria hyn cyn y bydd hi yn rhy ddiweddar.---*Y Parch. Moses Jones.*

GAN NEOPHITUS Y GWRANDAWR.

---

## GWEDDILLION YR HENAFIAID.

Y PARCH. EBEN. MORRIS, YN Y BALA, MEDI 18, 1808.

AM 10 yn y boreu. Luc xxii. 32. "Tithau pan y'th droer, cadarnha dy frodyr." Mae dau fath o droi. 1. Troi o gyflwr natur i stad o ras. 2. Troi o syrthiad i adferiad at Dduw---dyma y troi a feddylir yn y testyn.

I. Ystyriwn fawredd y gwaith o droi o gyflwr natur i stad o ras. 1. Y mae troi enaid yn fwy gwaith na chreu y byd. 2. Mae yn fwy gwaith na chynnal enaid wedi ei droi. 3. Mae troi enaid yn fwy gwaith na gogoneddu enaid. Myned o un gradd i'r llall yw gogoneddiad; ond myned o un natur i'r llall yw troi enaid. Rhaid cael y nerth a gyfododd Grist o feirw i droi enaid. Nid oedd dim defnydd i greu y byd; ond nid oedd dim rhwystr chwaith. Ond y mae cestyll cedyrn mewn dyn wrth naturiaeth; a'r rhai hyny yn gwrthwynebu troi: rhaid bwrw y rhai hyny i lawr cyn y gellir troi dyn. 2 Cor. x. 4. Mae y diafol yn llywodraethu ar bawb wrth natur. Mae y diafol, drwy bechod, yn drech na dyn. Mat. xii. 29. Mae pob dyn wrth natur "yn rhodio yn ol helynt y byd hwn." Eph. ii. 2. Wrth rodio yn ol helynt y byd hwn y meddylir, "gwasanaethu chwantau, ac amryw felyswedd." Titus iii. 3. "Gwneuthur ewyllysiau y cnawd a'r meddyliau." Un peth yw bod "yn ol" helynt y byd hwn; ond peth arall yw bod "yn" helynt y byd.

II. Myned dros y gwaith a wnaeth Duw o'r blaen yw adferiad. Gwir yw fod yn anmhosibl i'r dyn, ar ol ei droi, i fyned i'r un cyflwr ag y bu o'r blaen, canys "y mae ei had ef yn aros ynddo ef."

Yn yr adferiad hwn, 1. Mae y dyn yn dyfod i deimlad o'i drueni. 2. Wedi iddo gael ei argyhoeddi o bechod, mae yn gweled ei angen am gael ei olchi. Ps. li. 2. 3. Mae efe o hyny allan yn ofni pechu. Ps. li. 12. 4. Mae efe yn llefain am grefydd gywir. Ps. li. 10. 5. Mae arno hiraeth am weled teyrnas Crist yn myned ymlaen ac yn llwyddo. Psalm li. 18.

III. "Cadarnha dy frodyr." 1. Ni bydd efe ar ol hyn mor hyderus ar ei nerth ei hun a'i zel i allu sefyll, ag oedd o'r blaen. Marc xiv. 29. 2. Fel y teimlodd efe ei hunan yn wan yn wyneb y demtasiwn, felly fe ddichon iddo, o hyn allan, gyd-ymdeimlo â'i frodyr gweiniaid.

Am 2. Psalm lxxxix. 15, 16. "Gwyn eu byd y bobl a adwaenant yr hyfryd lais---yn dy enw di y gorfoleddant beunydd," &c.

I. Am yr hyfrydlais. 1. Mae yr efengyl yn cael ei galw yn hyfrydlais, mewn cyferbyniad i udgorn y jubili, yn udganu ar wyl fawr y cymmod. Lef. xxv. 9.

(1.) Yr oedd blwyddyn y jubili yn flwyddyn o dawelwch mawr. Nid oes dim tawelwch i'w gael i bechadur ond yn Iesu Grist.

(2.) Yr oedd rhyddhad oddiwrth ddyledion i'w gael yn mlwyddyn y jubili; felly y mae rhyddhad a maddeuant o'n dyledion i'w gael drwy Iesu Grist.

(3.) Yr oedd y sawl oedd wedi gwerthu eu hetifeddiaeth i'w chael yn ol ar flwyddyn y jubili. Felly y mae dyn yn cael yr etifeddiaeth a gollodd efe yn y cwymp, yn ol, drwy Grist Iesu.

II. Am rodio yn llewyrch wyneb Duw.

1. Mae wyneb Duw yn arwyddo ei ffafr ef.

2. Mae llewyrch ei wyneb yn arwyddo ei bresennoldeb grasol ef. Ps. iv. 6.

III. "Yn dy enw di y gorfoleddant beunydd." Hyny yw, yn enw yr Arglwydd Iesu.

1. Mae goleuni yn ei enw ef. 2. Mae bywyd yn ei enw. 3. Mae meddyginiaeth yn ei enw ef. 4. Mae diogelwch yn ei enw. "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd." Diar. xviii. 10. Mae tŵr yn gysgod i ddyfod iddo ar amser o galedi a pherygl. Gelwir yr Arglwydd Iesu yn dŵr.

IV. "Yn dy gyfiawnder yr ymddyrchafant." Yn nghyfiawnder Crist, yr hwn yw "yr Arglwydd ein cyfiawnder." Ymddyrchafant, 1. Goruwch y byd. 2. Goruwch uffern. 3. Goruwch ofnau caethiwus yn angeu. 4. Ymddyrchafant i'r nefoedd ymhen draw yr yrfa. Mor ofnadwy yw cyflwr y rhai sydd yn gwrando ar yr hyfrydlais heb ei adnabod ef.---*Ysgrifenwyd gan* Ioan Gwalia.

---

## ABERTH CRIST.

Yn unig ffordd a amlygodd Duw i ddyn syrthiedig i gymdeithasu âg ef ei hun yw, trwy aberth. Ni wna y Jehofah anfeidrol sanctaidd edrych ar adyn euog gydag un gradd o foddlonrwydd ond mewn aberth. Wedi i ddyn droseddu cyfreithiau cyfiawn y nef, nid oedd dim a foddlonai gyfiawnder, ond cael y troseddwr yn aberth tragywyddol i ddigofaint tanllyd y ddeddf, neu ynte gael person anfeidrol i ddyoddef y gosp ddyledus mewn amser terfynol. Gyda golwg ar y dyn o'i ran ei hunan, nid oedd ond tywyllwch dudew wedi ymgau o'i amgylch, heb obaith am ddim ond tragywyddol ddinystr a cholledigaeth. Ond fe amlygodd Duw ffordd o'i drefniad ef ei hun, i ddyfod a dyn eilwaith i heddwch a'i ffafr, trwy i'r ail Berson yn yr Hanfod Dwyfol offrymu ei hun yn aberth ac yn offrwm yn lle a throsy rhai a gredent ynddo. Mor fuan ag yr aeth dyn i lawr, gan fod aberth mewn cyfammod, dacw Dduw yn myned ar ei ol gan alw arno, a dywedyd, "Adda, pa le yr wyt ti? Tydi, yr hwn oeddit mor gyfeillgar a chymdeithasol, mor barod i nesâu ataf bob amser, pa le yr wyt ti yn awr?" Ond yr oedd meddwl y dyn wedi ei lenwi âg euogrwydd, fel na feiddiai wynebu at Dduw; yr oedd ofn wedi meddiannu ei enaid; a lle y bo ofn slafaidd yn teyrnasu, y mae yn anmhossibl fod yno gymdeithas. Ond fe amlygwyd iddo aberth pen Calfaria yn yr addewid o "had y wraig," ac yn yr aberth hwnw yr oedd Duw yn foddlon i gymdeithasu â phechadur; a'r pechadur, yntau, yn gallu nesu yn hyderus i gymdeithasu â Duw. Yr oedd sefydliad yr aberthau o dan yr oruchwyliaeth seremonïol yn gysgodau o aberth anfeidrol yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn ynghyflawnder yr amser a ymddangosodd i ddileu pechod trwy ei aberth ei hun.

Yr oedd aberth Crist, yn I. yn aberth gwirfoddol ac ewyllysgar. Cyn y byddai yr aberthau cysgodol yn aberthau cymeradwy, yr oedd yn rhaid iddynt fod yn aberthau gwirfoddol; yr oedd yn rhaid offrymu â chalon ewyllysgar. Ond er y byddai y rhoddwr yn rhoddi yn rhydd ac ewyllysgar, fe fyddai yn rhaid rhwymo y creadur wrth gyrn yr allor; ac fe fyddai yn ymegnïo wrth ei rwymo i ymryddhau o afaelion yr offrymwyr. A phan fyddai farw, methu byw y byddai. Ond ar Galfaria, fe welwyd aberth, "yr hwn a'i hoffrymodd *ei hun*:" fe aeth i'r lladdfa o'i fodd. Hawdd y gallasai chwythu ei holl wrthwynebwyr mewn moment i ddiddymdra tragywyddol, â'i anadl; ond er hyny, fe roddodd ei fywyd i lawr o hono ei hun; fe aeth i waered i fro angeu, gan gymeryd ei arwain yno gan ei greaduriaid ei hun; fe roddodd ei hun yn dderbynfa i saethau cyfiawnder o'i fodd; fe yfodd gwpan erchyll y felldith a haeddodd pechadur yn ewyllysgar; fe roddodd ei enaid yn nôd i gleddyf cyfiawnder, nes ei dywallt i farwolaeth yn ddirwgnach. Ië, yr oedd fel yn ymhoffi yn, ac yn dysgwyl yn bryderus am yr amser, i ymddangos yn y cnawd i brynu dyn—yn "llamu ar y mynyddoedd, ac yn neidio ar y bryniau; a'i hyfrydwch er tragywyddoldeb oedd gyda meibion dynion." Wrth weled gofynion cyfiawnder, efe a ddywedodd, "wele fi yn dyfod, da genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon; efe a roddodd

ei gefn i'r curwyr, a'i gernau i'r rhai a dynent y blew. Fel oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa." Yr oedd ewyllysgarwch i'w weled yn ei holl fywyd; a phan oedd yn nesâu at ddiwedd ei oes, fe waeddai "Cuddir edifeirwch o'm golwg." Wrth ystyried dros bwy yr oedd efe yn dyoddef y pethau hyn, pwy na ddywedai gyda'r bardd,—

"Diolch iddo,
Byth am gofio llwch y llawr."

II. Yr oedd aberth Crist yn aberth perffaith. Cyfraith berffaith yw cyfraith Duw, ac nid oes dim llai na pherffeithrwydd a wna y tro iddi. O dan yr hen oruchwyliaeth, byddai yn rhaid i'r aberth fod yn berffaith ddianaf, oddiallan ac oddifewn; oblegid os wrth chwilio ei ymysgaroedd y ceid rhywbeth yn ddiffygiol ynddo, byddai yn wrthodedig. Fe fu chwilio manwl ar aberth y groes, gan ddynion a chythreuliaid, a Duw ei hunan hefyd. Fe geisiwyd ei rwydo yn ei ymadrodd; fe saethwyd llawer picell lem ato o uffern, i geisio ei anafu, a'i wneuthur yn anghymeradwy; ond "ni wnaeth ddim allan o'i le," oedd y dystiolaeth am dano wedi y cwbl. "Nid wyf fi yn cael dim bai yn y dyn hwn," meddai Pilat. "Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau," meddai Yspryd y gwirionedd. Ac ar Galfaria, rhwng y lladron, dacw gleddyf cyfiawnder yn deffro, ac yn cael ei ddodi mewn gweithrediad, nes agor ymysgaroedd yr aberth, a digofaint sanctaidd yr Anfeidrol yn treiddio trwy bob rhan o hono—llid yr Hollalluog yn rhedeg fel afon danllyd, nes llenwi ei enaid. Ond wedi ei chwilio i'r eithaf, dyma y penderfyniad, "mi gefais Iawn." Boddlonrwydd; mae yr aberth yn berffaith gwbl. Dacw gyfiawnder yn agor drysau y carchar, a sancteiddrwydd yn dattod y cloiau. Duw oddiar ei orsedd yn gwaeddi, "garcharorion, ewch allan; y rhai sydd mewn tywyllwch, ymddangoswch;" a thrugaredd yn tywallt olew cariad i friwiau y pechadur teimladwy, ac yn ei adloni â phêr ffrwythau angeu'r groes; ac yn rhoddi yn ei enau ganiad newydd o fawl i Dduw a'r Oen.

III. Yr oedd aberth Crist yn un digonol. Nid oedd yr aberthau cysgodol ond "sancteiddio i bureiddiad y cnawd" yn unig. Yr oedd rhyw euogrwydd yn aros yn y meddwl, rhyw dystiolaeth yn y gydwybod nad oedd pob peth yn iawn rhwng yr enaid â'i Farnwr. Yr oedd y ddeddf yn gweiddi gwaed o hyd; ac er cael gwaed y boreu, a gwaed brydnawn, yn ffrydiau parhaus, dyna oedd ei llef ar y pechadur, "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Nid oedd y nefoedd yn cael ei boddloni na chydwybod y pechadur yn cael ei thawelu. Yr oedd eisiau aberth dros eu gwaith yn aberthu. Nid oedd dim perffeithrwydd dan yr oruchwyliaeth hôno; yr oedd cydwybod pechod yn aros o hyd. Pan fyddai yr archoffeiriad yn myned i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf, byddai ganddo waed aberth drosto ei hun, a thros anwiredd y bobl, ac er hyny byddai arswyd yn ei lenwi, rhag ofn mai ei ladd a gai. Canys yr oedd yr anwiredd heb ei dileu o hyd, a'r ddeddf yn llefain yn barhaus, "anmhosibl i waed teirw a geifr dynu ymaith bechodau." Ond un prydnawn, ar Galfaria, dacw yr Archoffeiriad mawr ei hun yn myned ymlaen, ac yn rhoddi ei hun drosom yn aberth ac yn Iawn difai i Dduw, ac wedi talu y gofynion oll, efe a ddywedodd y gair Gorphenwyd, yr hwn a wnaeth i'r glorian bwysfawr droi o ochr dyn.

"Fe dalwyd yno anfeidrol Iawn,
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn."

Fe lanwodd ofynion cyfiawnder, fe atebodd holl *filiau* y ddeddf, fe ddibenodd gamwedd, fe ddilëodd bechod trwy ei aberthu ei hun; fe agorodd ffordd o dramwyfa rhwng nefoedd a daear; fe foddlonodd y nefoedd; a chymmwysiad o hono gan Ysbryd Duw sydd yn tawelu y gydwybod euog, nes—

"Mae Duw a dyn yn gweiddi digon,
Yn yr Iesu'r aberth hedd."

Ddarllenwyr hynaws, a wyddoch chwi am nesâu at Dduw ar sail aberth y groes? Y mae o'r pwys mwyaf. Rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; fe daw angeu yn fuan i wysio yr enaid i'r treial mawr. Ac O, mor ofnadwy fydd ymddangos yno heb yr un dadleuwr; y soflyn sych yn wynebu y tân ysol! Y pren crin a llosgfeydd tragywyddol yn cyfarfod heb gyfryngwr rhyngddynt. Pechadur noeth yn anturio i wyneb y Duw cyfiawn heb gyfiawnder Crist i'w guddio. Y canlyniad fydd, "dyoddef yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." Ofer fydd pob peth yn y dydd hwnw, oni fydd yr enaid wedi ei uno â Mab Duw. Gall proffes fyned yn mhell yn y byd hwn; geill doniau ein codi yn uchel yn y bywyd presennol; ond yn angeu fe ysgubir y cwbl oll ymaith ond yr hyn fydd wedi *passio*

rhwng yr enaid a Duw mewn aberth. Pob noddfa arall nid yw ond noddfa celwydd, ac fe'i hysgubir ymaith o flaen corwyntoedd cyfiawnder, ac fe adewir yr enaid yn agored i'r ystorm ofnadwy a erys ar ben yr annuwiol yn oes oesoedd.

Ond O mor ddedwydd fydd y dyn hwnw a roddodd ei fater i Fab Duw yn nydd gras. Geill edrych ar dragywyddoldeb heb ofni; ïe, edrych yn wyneb Duw mewn cyfiawnder, a threulio oesoedd diderfyn tragwyddoldeb i wledda ar aberth Calfaria, heb ofni iddi fyned yn newyn arno byth.

*Bagillt.* GLAN CHWILER.

---

## RHAGOROLDEB YR YSGRYTHYRAU.

BARCH. SYR.—Pregethodd y Parch. Mr. Hughes, St. Ann, Llandegai, y Sabboth Hyd. 17, ar Ragoroldeb ac Ardderchowgrwydd yr Ysgrythyrau, oddiar Ioan v. 39. Ac ar ei bregeth gwnai y nodiadau hynodol a ganlyn, a chan feddwl y byddai yn ddifyrus gan lawer eu gweled; ysgrifenais hwy i'w hanfon i chwi i'w dodi yn y Drysorfa. D. LLOYD.

"Yn yr wythnos ddiweddaf cynnaliwyd y Bibl Gymdeithas yn yr ardal hon, yn ol yr hysbysiad a roddwyd, a mawr yw ein braint yn y dyddiau hyn fod y fath Gymdeithas wedi ei sefydlu; fel y gellir dywedyd fod Gair y Bywyd yn awr i'w gael, nid am ei lawn bris fel llyfr, ond am y nesaf peth i ddim—ychydig o gydnabod yn unig."

"Beth bynag yw ein meddyliau ni yn gyffredin am air Duw a'i addewidion gwerthfawr, fel y'u cyflawnir yn yr oes hon, etto dywedir fod y duwiolion gynt wedi manwl chwilio a deisyf gweled a chlywed y pethau a welwn ni, ac ni's gwelsant.

"Dywedodd Crist fod Ioan Fedyddiwr yn fwy na'r prophwydi, ac etto fod y lleiaf yn nheyrnas nefoedd yn fwy nag ef. Gwelodd Ioan a'i lygaid yr hyn a fynegwyd mewn rhan am Grist Iesu yr Arglwydd; cafodd yr anrhydedd o'i fedyddio, a chlywed y llais o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab yn yr hwn y'm boddlonwyd." Mawr oedd hyn, etto mwy oedd i'r un diagybl ar ddeg weled y gwyrthiau ar amser y croeshoeliad, a'r wyrth fwyaf o'r holl wyrthiau, sef ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ei dderchafiad i'r nef, a dawn yr Yspryd Glân, yr hyn ni's gwelodd Ioan, yn yr hyn yr oedd ei brofiad ef yn llai na'r lleiaf o'r apostolion, y rhai a welsant yr holl gysgodau wedi cilio, y tywyllwch wedi myned heibio, a'r efengyl yn cael ei phregethu yn ei llawn ddysgleirdeb o dan y *commission* i fedyddio yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. ...d Ioan yr Efengylwr yn dywedyd am ei ddyddiau ef fod y goleuni yn llewyrchu yn y tywyllwch, beth a allwn ni ddywedyd am yr hanesion gwerthfawr sydd genym, fod "Ethiopia yn estyn ei dwylaw yn brysur at Dduw."—Y mae y llywodraeth yn ddiweddar wedi anfon tair agerdd-long i'r afon Niger, yn Affrica, i'r dyben o warciddio y trigolion, ac i efengylu iddynt, y rhai sydd yn awr trwy eu hymladdau a'u rhyfeloedd yn dinystrio eu gilydd, ac yn gwneud masnach o'u gilydd trwy werthu eu cyd-ddynion i fyned yn gaethion i wledydd ereill. Er mai yn wir nad yw hyn yn gyfreithlon, etto y mae y fasnach felldigedig hon yn myned yn mlaen i raddau mawr er gwaethaf pob bygwth a rhybudd a roddir yn erbyn hyny gan Loegr, a gwledydd ereill Ewrop. Y mae miloedd ar filoedd o'r trueiniaid hyn wedi cael eu cipio o dro i dro, fel pentewynion o'r tân, gan lestri ein Brenines, ar eu hynt i wlad eu caethiwed. Pan y'u cipir felly, dygir hwynt i Sierra Leone, yn Affrica, lle y maent o dan lywodraeth Lloegr, yn cael eu cyhoeddi yn rhydd, ac y dysgir rhyw gelfyddyd iddynt. Y mae y Bibl Gymdeithas yn anfon Gair y Bywyd i'r lleoedd hyn yn rhad, a'r Cenhadon yn dra llafurus yn eu mysg yn eu hyfforddio yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Yr oedd un o'r agerdd-longau hyn i fyned i Sierra Leone i gymeryd rhai o'r Cenadon ac amryw o'r bobl dduon gydâ hwynt, oherwydd eu gwybodaeth am natur, dull, arferion, ac ansawdd eu hen wlad a'u hen gartrefydd. Gofynwyd i un dyn a oedd gandèo ef ddim gwrthwyneb i fyned gyda hwynt i'w hen wlad i ddysgu gwell pethau i'r bobl na rhyfela a dinystrio eu gilydd. Atebodd, "Yr wyf yn foddlon i fyned, ac âf yn gyntaf at y dyn a'm rhwymodd draed a dwylaw â chadwyn haiarn i'm gwerthu, nid i ddial arno, nac i amhwyllo wrtho am yr hyn a wnaeth â mi, ond i roddi y Bibl iddo, ac i weddïo drosto, a chydag ef, am iddo yntau ddyfod yn ddoeth i iachawdwriaeth, a chael ei wneuthur yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd bywyd tragywyddol;" dyma ffrwyth rhagorol! Gan hyny glynwn ninnau wrth yr hyn sydd dda, a chynnorthwywn y Bibl Gymdeithas i fyned rhagddi i fwrw cestyll i'r llawr, a phob gwybodaeth sydd yn ymgodi yn erbyn Crist. A dysgwn harddu ein proffes, fel yr African hwn, gan faddeu i'n gilydd, fel y maddenodd Crist i ninnau."

---

## SERYDDIAETH.

### PEN. XI.

#### Y DDAEAR, FEL Y MAE YN YMDDANGOS YN GANOLBWYNT Y GREADIGAETH.

*Parhad o du dal.* 328,

MAE y Ddaear yn troi tuag at yr haul, o'r gorllewin i'r dwyrain, ac felly mae preswyl-

wyr y lleoedd hyny sydd 15 o raddau yn ddwyreiniol i ni yn gweled yr haul awr yn gynt nag yr ydym ni yn ei weled; a phan y mae yn ddeuddeg o'r gloch gyda ni, mae yn un o'r gloch yno: ac felly yn y gwrthwyneb, yn y lleoedd hyny sydd yn 15 o raddau yn orllewinol i ni, mae yn un ar-ddeg o'r gloch.

Mae'r dydd yn amrywio i deithiwr fyddo yn myned tua'r dwyrain, o'r hyn ydyw yn y lle y mae ef yn cychwyn allan. Wedi iddo fyned yn mlaen 30 o raddau, fe wahaniaetha ddwy awr; gwedi myned 60 o raddau, fe wahaniaetha bedair awr; 90 o raddau, chwe awr; 180 o raddau, deuddeg awr; ac yn y blaen hyd 360 o raddau, sef holl amgylchedd y Ddaear, yr hyn sydd yn gwahaniaethu pedair-ar-hugain o oriau, neu ddiwrnod cyfan. Mae yr un peth yn cyfarfod yr hwn sydd yn myned tu a'r gorllewin, gyda hyn o wahaniaeth, bod un yn ennill diwrnod, a'r llall yn colli diwrnod. Gadewch i ni ystyried dau ddyn yn morio o amgylch y Ddaear, un yn myned tu a'r dwyrain, a'r llall tu a'r gorllewin; ac i'r dyben i ni weled y canlyniad yn fwy amlwg, ni a ddychymygwn bod y ddau yn cyflawni eu mordaith mewn blwyddyn, neu 365 o ddyddiau, i breswylwyr y lle hwnw o ba un y maent yn cychwyn, ac i ba le y maent yn dychwelyd drachefn. Mae yr hwn sydd yn myned yn ddwyreiniol, yn cyfarfod a'r haul, ac felly yn myned heibio iddo yn gyflymach na'r hwn sydd yn myned yn orllewinol, oherwydd bod yr olaf yn teithio yr un ffordd a'r haul. Mae awr gan hyny yn férach, ac o ganlyniad mae diwrnod yn fyrach i'r hwn sydd yn teithio tu a'r dwyrain, nac ydyw yn y fan y cychwynodd; pan mae awr a diwrnod yn hwy i'r hwn sydd yn myned tu a'r gorllewin.

Cymerwn, fel esiampl, fod blwyddyn yn cynnwys 365 o ddyddiau yn y lle y cychwynasant o hono, byddai blwyddyn i'r hwn sydd yn teithio tu a'r dwyrain, erbyn dyfod yn ol i'r lle hwnw, yn cynnwys 366 o ddyddiau. Ac i'r gwrthwyneb, ni byddai ynddi yn ol cyfrif yr hwn sydd yn myned i'r gorllewin ond 364. Os byddai yn 31 o Ragfyr, yn ol cyfrif preswylwyr y lle y lanient iddo, byddai yn gyntaf o Ionawr yn ol cyfrif y teithiwr dwyreiniol, ac yn 30 o Ragfyr yn ol cyfrif y teithiwr gorllewinol.

Ond y mae cylchoedd ereill perthynol i'r *globe*, y rhai a elwir y cylchoedd lleiaf, sef y rhai hyny nad ydynt yn tori'r belen (*globe*) megis yn ddau hanner, fel y rhai o'r blaen. Y rhai cyntaf a enwir yma ydyw trofanau y cranc a'r afr, (*tropics of cancer and capricorn*). Trofan y cranc sydd gylch dychymygol, yn gyfochrog a'r cyhydedd, ac yn cyffwrdd a'r rhan hyny o gylch y diffygion yr hwn ydyw y rhan gyntaf o arwydd y cranc, y lle mae'r Haul yn ymddangos i ni pan gyrhaeddo ei uchder eithaf gogleddol ar yr 21 o Fehefin; mae y cylch hwn 23½ o raddau i'r gogledd oddiwrth y cyhydedd. Trofan yr Afr hefyd sydd gylch arall yn gyfochrog a'r cyhydedd, yr un faint o raddau oddiwrtho i'r de ag ydyw yr un blaenorol i'r gogledd, ac yn cyffwrdd a'r rhai hyny o gylch y diffygion sydd yn arwydd yr Afr, dyma'r fan mae'r haul pan gyrhaeddo i'w bellder eithaf deheuol ar yr 21 o Ragfyr, y trofanau hyn gan hyny ydynt rwymynau yr haul bob ochr i'r cyhydedd.

Rhwng y ddau gylch hyn y mae cyfwng, neu randir, yn amgylchu'r Ddaear, yr hwn sydd yn cael ei alw yn gylch poeth, oblegyd ei fod yn cynnwys y lleoedd hyny sydd gyferbyn a'r haul yn ystod cylchdro blynyddol y Ddaear o'i gwmpas. Yr oedd yr henafiaid yn barnu nad oedd y dosparth hwn o'r Ddaear yn cael ei breswylio gan ddynion, oblegid ei wres aruthrol, ond y mae teithwyr diweddar yn cadarnhau mai y rhanau hyn ydyw y mwyaf ffrwythlawn; nid yn unig mewn pethau anghenrheidiol bywyd, ond y pethau hyny ag sydd yn gweinyddu i hyfrydwch a phleser bywyd, pethau ag sydd yn hynod o ddanteithiol, ac yn boddio archwaeth dyn; ac oherwydd hyny, bod y rhanau hyn o'r byd yn cael eu llenwi â thrigolion: y gwledydd sydd yn gorwedd dan y cylch hwn ydynt barthau mawrion o gyfandiroedd Affrica ac America, yn nghyd a llawer o ynysoedd ereill, y rhai yr ydym yn gwybod eu bod yn lluosog o ddynion. Gelwir trigolion y cylch hwn *Amphiscii*, oherwydd eu bod yn cael eu cysgod ganol dydd yn ngwahanol dymhorau y flwyddyn yn taflu allan tuag at y ddau begwn; ond yr amser y mae'r haul yn dyfod yn gymmwys uwch ben iddynt, nid oes ganddynt gysgod o gwbl. Y cylch* gogleddol hefyd sydd gyfochrog o'r cyhydedd, ac yn 23½ o raddau oddiwrth begwn y gogledd; yr enw *Artic* sydd yn tarddu o'r Groeg yn arwyddo Arth: oblegyd pe meddyliem am y cylch hwn fel am y cylchoedd ereill, ei fod yn ymestyn i'r nefoedd serenog, elai trwy y cydser hyny a elwir yr Arth mawr.

Y Cylch deheuol (*Antartic Circle*) sydd hefyd yn tarddu o'r Groeg, ac yn arwyddo can gyferbyn a'r Arth; oblegyd ei fod yn y de, gogyfer yn hollol â'r ser hyny, pa rai sydd yn y gogledd, ac a elwir yn Arth mawr, fel y crybwyllwyd o'r blaen. Mae'r cylch hwn yr un bellder oddiwrth begwn y de ag ydyw'r llall oddiwrth begwn y gogledd. Y rhanau hyny o'r Ddaear sydd yn gorwedd rhwng y trofanau a'r cylchoedd pegynawl sydd yn cael eu galw yn gylchoedd cymedrol, neu dymherus, oherwydd cymedroldeb gwres yr haul ynddynt, mewn cyfeiriad at y cylch poeth, a'r cylchoedd oerion; mae un o honynt yn y de, a'r llall yn y gogledd, yn cynnwys 43 o raddau o led bob un; y gwledydd sydd yn gorwedd

* Artic Circle.

yn y cylch gogleddol, (yn mha un yr ydym ni yn byw,) ydyw y rhan fwyaf o Ewrop, rhan fawr o Asia, a Gogledd America; gelwir trigolion y cylch hwn *Hetroceii*, maent yn cael eu cysgod ganol dydd yn tafiu tua'r gogledd, trwy'r flwyddyn. Y gwledydd perthynol i'r Cylch cymmedrol deheuol, ydynt barthau pellaf Affrica, yn nghyd a dehendir America.

Y Cylchoedd oerion ydynt y dosbarthiadau hyny o'r Ddaear sydd yn gorwedd rhwng y Cylch gogleddol a'r Cylch deheuol, a'r pegynau, y gwledydd sydd yn y Cylch oer gogleddol ydynt y parthau mwyaf gogleddol o'r America, Asia, ac Ewrop, sef Greenland, Nova Zembla, Friesland, rhan o Norway a Lapland, a rhan fawr o Siberia, y rhan fwyaf o honynt yn cael eu preswylio gan ddynion. Mewn perthynas i'r Cylch oer deheuol, dywed y Cadben Cook, nad oes llawer o dir yn gorwedd yn y parth hwn o'r byd, ond ynysoedd ëang o rew yn nofio yn barhaus ar wyneb y dwfr.

Y terfyngylch sydd Gylch arall perthynol i'r Ddaear, ac y mae dau o honynt: gelwir un yn derfyngylch gweledig, oherwydd pan y byddom ar ben mynydd, neu mewn gwastadedd ëang, yr ydym yn ei ganfod o'n hamgylch, megys yn cydio'r nefoedd a'r Ddaear yn nghyd. Y terfyngylch rhesymol, neu wirioneddol, sydd linell yn myned o amgylch hanner tryfesur y Ddaear, ac yn gwahanu yr hanner-gylch uchaf oddiwrth yr isaf: pegynau un ydyw'r *Zenith* a'r *Nadir*, sef y pwnc hwnw sydd yn y ffurfafen, yn gymmwys uwch ein penau, a'r un cyferbyniol iddo dan ein traed. Mae'r terfyngylch yn dangos codiad a machludiad yr haul, y lleuad, a'r ser; y rhai y dywedir eu bod yn cyfodi pan y maent yn dyfod oddiar y terfyngylch, ac felly y maent i'w canfod yr holl amser y maent oddiarno, ac yn machlud pan y maent yn myned islaw iddo, ac yn anweledig.

Gwedi gwneuthur rhai sylwadau fel hyn ar y Ddaear, mewn perthynas i'w maintioli, a'r ymddangosiadau perthynol iddi yn ei gyrfa flynyddol o amgylch yr haul, yn nghyd a'i chwyldröad beunyddiol ar ei hechel: mae etto lawer o bethau i'w hystyried mewn perthynas iddi, fel y mae hi yn dwyn cysylltiad a'r cyrph nefol, y rhai na chawn ni gyffwrdd â hwynt ar hyn o bryd, ond yr unig un peth sef yr amgeniad (*parallax*) yr hwn ydyw'r gwahaniaeth rhwng gwir ac ymddangosol le'r Haul, neu unrhyw gorph arall yn y ffurfafen. Un o achosion y gwahaniaeth hwn ydyw'r awyrgylch, yr hwn sydd yn cyrhaedd 30 o filldiroedd o amgylch y Ddaear; ac y mae yn rhaid i hyn bob amser gael ei gymmeryd dan ystyriaeth, sef y gynneddf hòno perthynol iddo, yr hon sydd, nid yn unig yn tueddu i ëangu gwrthrychau pellenig, yr hyn sydd i'w ganfod yn fynych yn yr haul, pan yn ~~chlud, ac yn y lleuad, pan yn cyfodi, ond hefyd y wybodaeth nas gellir canfod gwrthrychau pellenig yn gywir trwyddo, mewn perthynas i'w sefyllfa, yn gystal a'u maintioli. Pan y mae pelydr y goleuni yn myned ar ogwydd allan o un cyfrwng i un arall o wahanol galedrwydd, megys o awyr i ddwfr, mae yn cael ei blygu allan o'i redfa union syth, yr hyn a elwir yn wrthdoriad.

Mae'r awyrgylch fel hyn yn peri bod yr haul i'w ganfod am bam mynyd uwchlaw y terfyngylch, pan mewn gwirionedd y mae gwedi machlud islaw iddo. Achos arall o'r gwahaniaeth crybwylledig yn sefyllfa y cyrph nefol, ydyw sefyllfa yr edrychydd ar wyneb y Ddaear; y man priodol i sylwi ar unrhyw gorph yn y ffurfafen ydyw canolbwynt y Ddaear; a phe byddai y Ddaear yn dryloyw, gallesid eu canfod yn eu sefyllfaoedd priodol. Ond rhagor am hyn ryw bryd etto. Mewn Rhifynau dyfodol rhoddir rhai traethodau ar y Lleuad, ei mynyddoedd, a'i dyffrynoedd, gwahanol farnau yn nghylch ei hawyrgylch, yn nghyd a llawer o bethau ereill perthynol iddi.

*Llundain.* L. WILLIAMS.

---

## LLYTHYRAU &c.

### YSGOLION RHAD.

BARCHEDIG SYR.—Yn y Drysorfa am Hydref, canfyddaf ysgrif ar y testun uchod, gan "Trefnledydd," yn galw sylw ei frodyr at yr angenrheidrwydd am iddynt wneud ymdrech cyffredinol i sefydlu y fath Ysgolion yn eu plith eu hunain. Yr wyf yn hollol gydfarnu âg ef fod angenrheidrwydd dirfawr am hyny, ac y byddai yn ddoethineb ymaflyd yn y gorchwyl yn ddioed.

Yn ychwanegol at y rhesymau a ddyry "Trefniedydd" dros yr angenrheidrwydd am danynt, y mae un a ymddengys i mi yn bwysig, ac yn bwysig iawn, sef fod athrawiaethau pabyddol a pheryglus yn cael eu pregethu, a'u dysgu, gyda diwydrwydd mawr, mewn rhai o'r manau hyny y mae y plant yn myned iddynt, (sef y manau y rhwymir hwy i fyned iddynt yn Sabbothol, gan reolau yr ysgolion dyddiol y mae eu rhieni yn eu hanfon iddynt.)

Nid cyhuddiad disail yw hyn, yn cael ei daflu allan mewn nwyd, ond gŵyr y rhan fwyaf o'ch darllenwyr ei fod yn wirionedd diymwad. Pwy sydd heb wybod fod egwyddorion o'r fath a ganlyn yn cael eu pregethu a'u dysgu mewn amryw ffyrdd yn y cyfundeb y cyfeiriaf ato? sef fod Urddau Esgobawl yn hanfodol er bod yn wir weinidogion yr efengyl. Nad oes gan bob dyn hawl i farnu drostynt eu hunain mewn pethau crefyddol, ond eu bod i ymostwng i farn yr eglwys (gan olygu yr offeiriaid yn unig): fod traddodiadau yn rheol ffydd ac ymarweddiad yn gystal a'r Bibl. Fod bedydd yn ailenedigaeth—fod yr holl ymneillduwyr yn sismaticiaid—yn rhwygwyr eglwys Crist—nad oes grym yn eu gwaith yn gweinidogaethu

yddu yr ordinhadau, &c. &c. Pa beth yw hyn ond pabyddiaeth? Ië, fel y dywed un o Esgobion America, mae eu cyfundraeth (pe bai gyfundraeth hefyd) fel yr eiddo y pabyddion, yn wadiad llwyr o'r athrawiaeth fawr o gyfiawnhad drwy ffydd, oherwydd eu bod yn ystyried cyflawniad o ryw luaws o ddefodau yn angenrheidiol i wneud i fynu gymeradwyaeth pechadur ger bron Duw. Ai peth dibwys yn ein golwg yw ymddiried ein plant i ofal a thrugaredd y cyfryw yn Sabbothol? A fydd i ni, tra yr ydym mor ofalus am burdeb yr athrawiaeth yn ein pwlpudau fod mor ddiofal a gadael ein plant mewn mantais i gael llygru eu meddyliau tyner â'r fath egwyddorion? Oni fyddem felly yn ymddwyn yn hollol anghyson? byddem, yn ddiau. Gan hyny, hyderaf y gwneir ymdrech dioed i sefydlu Ysgolion Rhad yn ein plith, fel na byddo temtasiwn i'n brodyr a'n chwiorydd tlodion anfon eu plant i'r fath leoedd ag a nodwyd.

Yn awr, a gaf fi ofyn yn ostyngedig i fy mrodyr, oni fyddai Cymdeithasfa diwedd y flwyddyn hon, yr hon a gynhelir yn Rhuthyn, yn fanteisiol i ystyried y mater? Pwy gan hyny a barottoa ryw gynllun, ac a'i dwg ymlaen? Gobeithiaf y cymmer fy mrodyr, ag ydynt yn aelodau o'r Gymdeithasfa, y peth at eu hystyriaeth ddwysaf. Gobeithiaf hefyd y bydd fy mrodyr sydd yn berchen ar lawer o drugareddau y bywyd hwn yn gweled y fath werth mewn addysg gyffredinol, ac yn neillduol y pwys sydd mewn rhoddi addysg grefyddol gywir i'r plant, nes penderfynu rhoddi yn haelionus tuag at gael y cyfryw amcan daionus o amgylch.—Gan obeithio y daw yr amcan daionus hwn i ben yn fuan, y terfyna.

*Rhuthyn.* TREFNIEDYDD ARALL.

---

## LLYTHYR O ZEALAND NEWYDD.

Y LLYTHYR canlynol a ysgrifenwyd gan y Parch. J. F. Churton, yn ddiweddar o Threapwood, a Darlithydd yn Eglwys Gwrecsam (ag sydd yn awr yn trigiannu yn y sefydliad uchod) at Lyfrwerthwr cyfrifol yn y ddinas hon (Caerlleon.)

* * * * * * *

"Fel ag y mae yn hysbys i chwi, daethum allan yn y swydd o Gapelwr yr Eglwys Esgobawl yn y drefedigaeth hon, pan y ffurfiwyd hi gyntaf gan y "*New Zealand Company*," ac a adnabyddir yn bresennol wrth yr enw "*Wellington*;" ac nis gallaf roddi i'r sefydliad hwnw un gair gwell na'i fod wedi hollol fethu.

"Nid oes ynof un amheuaeth nad ydyw yr hanesion cywir wedi cyrhaedd Lloegr yn mhell cyn hyn, a bod y twyll wedi cael ei ddynoethi o'r darluniadau a roddwyd o hono hyd yn hyn o flaen y cyffredin. Yr wyf yn ei gyfrif yn fethiantwch am fod yn anmhosibl cael i weithrediad yn *Port Nicholson*, yr hyn a gynnygiodd ac a ddysgwyliodd y "*New Zealand Company*." Yn y lle cyntaf, nid oes ond ychydig o dir da yn agos i sefyllfod y dref—a'r ychydig sydd, nid yw yn hawdd myned ato—er prawf o hyn, bwriadwyd unwaith (hyd oni roddodd penderfyniad Syr George Gipps ben arno) i roddi terfyn y Sir yn Wargann (dros gan milltir o bellder), neu yn Taranaki, gant a phedwar ugain o filltiroedd o bellder. Drachefn, y mae y gwyntoedd yn ffyrnig ac yn ddibaid, oherwydd fod sefyllfa *Port Nicholson* yn noeth ac yn agored i'r gwyntoedd tymhestlog, y rhai sy beunydd yn "Cook Straits." Mi a fum yn y fan hòno o'r 20fed o Ebrill, hyd y 29ain o Ragfyr, a gallaf gadarnhau yn ddibetrus, na bu yno (fwy nag unwaith) wyth awr a deugain o dywydd tawel—y gwyntoedd ydyw ffiangell y fan hòno, ac yr wyf yn sicr nad oes dim a'u gwrthsafa ac a lwydda. Y mae yma (Port Nicholson) yn awr oddeutu dwy fil o drigolion, ond nid ydynt yn gwneuthur dim—rhai o honynt yn frodorion yn ymddiried i chwedlau y lle, ac ereill ydynt ymfudwyr wedi eu tynu yma gan y "*Company*"—ond y maent ar ymadael, ac ymadael a wnant cyn gynted ag a gallont. Nid yw y llwyddiant, a'r ffyniant, a gogoniant y dref, &c. ond tlysau dychymyg, heb fodoli yn un lle ond ar bapur—y mae Port Nicholson wedi methu.

"Ond na fydded neb yn ofnus o *New Zealand* er hyny: y mae yr hinsawdd, oddigerth yr ychydig anfanteision yn *Port Nicholson*, yn hyfryd ac yn iachus i raddau mawr iawn. Nid oes yn y wlad hon ddim pryfed gwenwynig, na sychdiroedd diffaith—y mae ynddi gyflawnder o ddyfroedd, llysiau bythwyrddion, a thiroedd hyfryd. Yr wyf fi yn awr yn eisteddle y llywodraeth, ac y mae yn lle hawddgar iawn—ïe, yn fan y galliwn yn ddibetrus wahodd pob cyfaill i mi iddo. Y mae yma filoedd o erwi o dir da, yn hollol agored a gwastad, ac yn barod i gael eu hamaethu yn union. Y mae amryw afonydd y gallai cychod lled ysgeifn nofio ar hyd-ddynt i gryn bellder; fel y gellid dwyn y cynnyrch i lawr ag ychydig o draul. Oddeutu pum milldir oddi yma ar hyd y dwfr y mae llwyni o goed *Cowrie;* ac y mae holl randir y dref, a'r tiroedd cyfagos, ynghyd â llawer o'r wlad hefyd yn rhydd oddiwrth goed—y mae yn dir agored hollol, yn orchuddiedig gan brysgwydd mân a rhedyn. Y mae yr hinsawdd yn hyfryd dros ben—y brodorion yn gyfeillgar ac yn gymmwynasgar, yn onest, yn ostyngedig, ac yn ddiolchgar. Y mae yma gyflawnder o ymborth—llawer iawn o bysgod—a rhaid y bydd yn wlad o helaethrwydd mawr a rhadlondeb. Cyfranwyd eisoes swm go fawr tu ag at adeiladu yma Eglwys ac ysgolion; a'r brodorion hefyd, mewn modd hardd iawn, a ddygasant ddeg a'r hugain o ddynion i'w hadeiladu, heb law eludo

defnyddiau, fel eu tanysgrifiad hwythau iddynt.

"Yr ydys yn deall mai amcan y Llywodraeth Drefedigol yw gwerthu yr holl diroedd am y prisiau cyfartal o un bunt yr erw; ac ymadael a hwy yn gyfranau bychain o ugain i gant o erwi, fel y byddai yn agoriad i amaethwyr bychain, a dynion o foddion isel; ac nid oes ynwyf amheuaeth na fydd poblogaeth y fan yn lliosog iawn. Aberth go fawr ydyw gadael bro ein genedigaeth; a dylai yr hyn a'n tuedda i wneuth ur hyny fod yn fawr iawn hefyd; ond os bydd un yn edrych ar lwyddiant ei deulu, a'i gynnydd ei hun hefyd, yn penderfynu ymadael â'i wlad, yr wyf fi yn meddwl y caiff achos i lawenychu os bydd iddo gyfeirio ei gerddediad tuag yma. Meddwl yr wyf fod y rhan hon o *Zealand Newydd* yn cynnwys yr hyn oll sydd ar ymfudwyr ei eisieu, a phob arwyddion o lwyddiant hefyd. Bydd coed tân yn brinion, a rhaid eu dwyn o'r goedwig; ac nid wyf yn gwybod etto am ddim glo yn nes na Cape Farewell, yn yr ynys ganol, lle y mae yn hawdd ei gael, a chyflawnder o hono, ac yn dda iawn hefyd; dygir ef ini yn fwy rheolaidd cyn bo hir y mae'n ddiammeu am fod y coed yn darfod, a'r trigolion yn amlhau. Y mae yma lawer o arwyddion haiarn, y mae y tywod yn llawn o ronynau haiarn; a chlywais am un gwr boneddig a gafodd (wedi ei brofi), bedwar ugain y cant o fettel yma hefyd.

"I lafurwyr a chrefftwyr y mae y drefedigaeth hon yn llawn o fanteision; oherwydd y mae prisiau da am lafur o bob math, a rhaid y bydd y gofyn am hir amser yn llawer mwy na'r cyflenwad, gan y bydd rhanu y tir yn rhanau bychain yn sicr o ddwyn llawer iawn o drigolion ynghyd. Mae ymborth o bob math yn rhad, a rhaid y byddant felly hefyd, am fod mor hawdd eu codi, &c. a'r hinsawdd mor ffafrol i fagu anifeiliaid ieuaingc, a'r tir mor hawdd ei gael. Gwneuthurwyr priddfeini, llifwyr, seiri, ac asiedwyr (*joiners*), a fyddent yn sicr a gael llawnder o waith; ac i fragwr a darllaw-wr, nid oes un man yn cynnyg cystal manteision; y mae yr hin yn oerach ac yn fwy sefydlog nag yn Holland Newydd; ac y mae y tir o rywogaeth fanteisiol iawn i godi haidd o hono, a'r galw am gwrw a fyddai yn fawr dros ben. Yr oeddid yn barnu hyd yn ddiweddar fod hinsawdd *New Zealand* yn rhy laith i ddefaid—ond cafwyd allan i'r gwrthwyneb, a hyny trwy brawf hefyd. Yr un defaid ag a ddygant bedwar pwys a hanner o gnu yn Holland Newydd, a roisant naw pwys wedi eu dwyn i *New Zealand*; a'r cig hefyd, o'r hwn yr ydym yn bwyta yn gyffredin, sydd yn well o lawer.

"Efallai mai manteisiol iawn fyddai dwyn drosodd hadau gwair o Loegr, a hadau drain hefyd at wneuthur gwrychoedd a chloddiau. Ein hunig flinder yn awr yw llnoedd aneirif o geiliogod rhedyn a'r lindys mawr ag sydd yn gorchuddio y wlad; y mae rhai o honynt yn wyrddion, a rhai yn dduon—iawn dair modfedd o hyd, ac o braffder cyfartal; ond yr wyf fi yn barnu y difodir y rhai hyn oll fel yr arloesir y tir i'w ddiwyllio, ac yr wyf wedi sylwi fod yr adar hefyd yn hoff iawn o'r ceiliogod rhedyn—a phe gellid cael y fran a'r aderyn y tô yma, byddent yn ddefnyddiol iawn. Yr hyn a ddistrywient hwy a ad-dalai yn fuan am yr hyn a fwytaent. Y mae yr adar yn brinion iawn; ac am anifeiliaid nid oes genym ddim. Nid oes yma ddim *Porter* ond a ddygir o Loegr, a hwnw yn ddrud iawn. A chyngorwn hefyd bawb i ddwyn gydag ef amlder o esgidiau a botasau, am mai ychydig o gryddion sydd etto yn y trefedigaethau—a'r newyddau hyny yn ddrudion iawn.

"Gwych fydd gan lawer o'r rhai a'm hadwaenant ddeall fy mod i yn mwynhau *New Zealand*—a thra yr oedd fy mywyd yn *Port Nicholson* yn un olygfa o siomedigaethau, ac anhapusrwydd, yr wyf yma yn ddedwydd iawn—mewn hinsawdd hyfryd, ac y'nghanol tir prydferth rhagorol, a than amgylchiadau calonogawl i mi a'm teulu. Ac nid oes arnaf y petruader lleiaf i gymmeradwyo a chanmol y wlad hon fel cartref clyd a dedwydd, i bob un, cyfoethog a thlawd, y rhai sydd ar fedr symud o'r wlad yna i breswylio.—Ydwyf yr eiddoch yn serchus, JOHN FREDERICK CHURTON."

## YSGOLION RHAD.

—o—

BARCHUS GYHOEDDWR.—Wrth ddarllen y Drysorfa ddiweddaf fe'm llonwyd tu hwnt i'm allu desgrifio mewn geiriau, a thu hwnt i'm teimladau allu dal heb waeddi allan o'm calon, "Bendigedig!" yn enwedigol pan ddaethum at lythyr cysurlawn ein hanwyl frawd, Mr. Jones, y Cenadwr; yr hwn, yn ol fy meddwl i, y mae gwên y nef, ac amgylchiadau, a dyrus droion rhagluniaeth, oll yn ymddangos o'i blaid: llwyddiant iddo medd fy enaid.

Ond y peth y dymunwn sylwi arno yn neillduol, (ond yn fyr yn awr), ydyw, "Ysgolion Rhad," &c. A hoff iawn oedd genyf weled fod y peth ar feddyliau rhai o'm brodyr; ac hefyd fod rhai wedi ysgrifenu ar y mater. Llonwyd fi yn fawr wrth weled sylw "Trefniedydd Glan Menai," a "Charwr Rhyddid Cydwybod." Yr wyf innau wedi troi y peth yn fy meddwl er ys amser bellach; ac y mae cynllun (*plan*) yn ymddangos i fy meddwl, a fyddai yn sicr o ateb y dyben, er dwyn y peth yma oddi amgylch yn effeithiol. Os na fydd un gwell i'w gael gan rai o'm hanwyl a selog frodyr, fe allai y bydd imi ei anfon i chwi.*

* Diolchem yn fawr pe yr anfonai Allted i ni ei Gynllun gyda brys. C——R.

Mae pob peth yn galw am i'r peth hyn gymmeryd lle; sef, agwedd y wlad, amgylchiadau, a rhaglunieth; ac hefyd cannoedd o rieni tyner a duwiol, &c.

Ni throseddaf ar eich terfynau yn awr, gan obeithio cael y fraint o helaethach terfynau ar y pwnc y tro nesaf, os caniatewch.
—Ydwyf, &c. ALLTUD O BALDWYN.
*Ll———n.*

---

CYFLWR CYNNORTHWYWYR Y SIOPWYR YN LIVERPOOL.

*Diweddiad Araeth y Parch. H. M'Neile,* *tu dal.* 333.

ERTHYGL III.

Y Parch H. M'Neile, wrth fyned yn mlaen, a ddywedai nad oedd efe yn dadleu am un mesur byrbwyll ac anghymmedrol, ond un a roddai gyfleustra i wellhau cyflwr a sefyllfa y dynion ieuainc hyn—ac yr oedd yn ddrwg ganddo nas gellid eu galw ond yn ieuainc, oblegid y niwed a wneir i'w hiechyd gan y gyfundraeth, a rwystra lawer o honynt i fyw yn oedranus. Yr oedd yn wirionedd galarus yn eu hanes (fel y dangosir yn amlwg yn y llyfryn a gyhoeddwyd dan enw John Tomkins, ac nid oedd efe yn gwybod am y rheswm lleiaf i ammeu geirwiredd yr adroddiad) mai ychydig o honynt a gyrhaeddant 40 mlwydd oed, a bod y rhan fwyaf o honynt yn marw dan 30! Yr oedd yn ymddangos yn ammhosibl iddynt ymryddhau odditan effeithiau cyfundraeth, o dan ba un y buasant fyw yn hir, ac ar unwaith amlygu yr hyn nas gallai fod amgen na chynnyrch diwylliad hirfaith ac amyneddgar. Yr oedd, gan hyny, yr ymarddelwi amser iddynt—pa fodd arall y gallai eu meddyliau gael eu heangu? pa fodd y gallai eu cyfrifoldeb, fel bodau anfarwol, gael ei deimlo a'i sylweddoli? pa fodd y gallai eu sefyllfa mewn perthynas i'r Duw Hollalluog gael ei theimlo ganddynt hwy eu hunain? pa fodd y gallent deimlo eu rhagorfreintiau fel Crist'nogion o dan oleuni crefydd ddatguddiedig, yn ngogoniant y Tad, yr hwn a roddes ei anwyl Fab drostynt? pa fodd y gallai rhagorfreintiau Cristionogion gael eu mwynhau heb amser? rhaid iddynt gael amser i feddwl fel arall. Yn ofer y deisyfa eu rhiaint arnynt fod yn feibion da a chariadus; yn ofer y cynghora eu meistriaid iddynt fod yn onest yn eu masnach; yn ofer y deisyfa eu gweinidogion arnynt, pan ddygwyddai iddynt gael hamdden i chwilio yr Ysgrythyrau—i ddarllen Gair Duw, ac i weddio. Gwatworus fyddai dywedyd hyn oll wrthynt, os nad oedd ganddynt amser i'w wneuthur. Galw arnynt ydoedd gyda llais y gormes-feistr Aifftiaidd i fyned a gwneuthur priddfeini pan oedd defnyddiau i'w gwneuthur yn cael eu nacau iddynt.

Ar y tir yma yr oeddynt yn appelio at y cyffredin, ac yr oedd cyfleustra da yn awr yn cael ei gynyg i ddwyn unfrydedd ymhlith y meistriaid, â pha un yr oedd efe yn ewyllysgar gredu yr oeddynt yn foddlon i weithredu, os gallai gael ei wneuthur gyda thegwch iddynt hwy eu hunain.

Mewn perthynas i hyn, ac yn ddiweddglo, adroddai amgylchiad, er o fewn cylch bychan, a ddengys beth a ellir ei wneud gyda chytundeb. Yr oedd yn cofio amgylchiad a gymmerodd le rai blynyddoedd yn ol, mewn plwyf yn neheudir Lloegr. Canfu'r offeiriad fod yno bedwar masnachwr yn cadw eu Siopau yn agored ar y Suliau. Cadwent hwy yn agored hanner y dydd, a'r bobl dlodion oeddynt yn arfer prynu. Yr oedd efe yn awyddus i roddi terfyn ar yr halogiad hwn o'r Sabbath, a galwodd gyda phob un o honynt i'r dyben hyny. Proffesai pob un yr ewyllysgarwch mwyaf i gau eu siopau os gwnai y tri ereill felly. Wedi cael yr addewid yma yn neillduol gan bob un o honynt, efe a bennododd amser iddynt gyfarfod yn ei dŷ ef, heb hysbysu i'r naill ei fod wedi gwahodd y llall; ac er eu mawr syndod, cawsant eu hunain ar yr amser penodedig, wyneb yn wyneb, yn mhyfyr-gell y Person. "Yn awr," meddai efe, "foneddigion, yr ydych bob un wedi addaw i mi, os cauai y tri ereill y siopau ar y Sabbath, y gwnai pob un o honoch chwithau felly hefyd." Nis gallasant wadu hyny. "Dyma," ebe fe, "bapur a ysgrifenais, yn eich rhwymo i gadw eich siopau yn gauedig ar y Sabboth. Yr wyf yn dywedyd wrthych yn onest fod arnaf eisieu eich pedwar llawnodiad wrtho, a'i osod ar ddrws yr Eglwys y Sabbath nesaf." Edrychasant ar y papur yn lled ammheüus pwy a'i tanysgrifiai yn gyntaf. Dywedai yntau wrthynt, "nid raid i chwi ofalu am hynyna, oblegid mi roddaf i chwi fy ngair, os na thanysgrifia y pedwar ef, ni chaiff un ei danysgrifio ddim!" Yna daeth un ymlaen a thanysgrifiodd y papur; yn ganlynol, tanysgrifiodd y lleill ef; rhoddwyd ef ar ddrws yr eglwys y Sabbath canlynol, ac ni chollodwyd neb wrth hyny—eithr pob un a dderbyniodd les a buddioldeb. Yr oedd anghyfleustra tymmorol yn ymgodi i'r bobl dlodion oddiwrth fod y ffermwyr yn talu i'w llafurwyr ar nos Sadwrn; dygwyd hyn i sylw; gwnaethpwyd appeliad diattreg at y plwyfolion; casglwyd y ffermwyr ynghyd, gyda'r mân siopwyr i gyfarfod cyhoeddus; a phob ffermwr yn y plwyf, oddieithr un dyn bychan cecrus, a gytunasant i dalu i'w llafurwyr ar y nos Wener. Talwyd iddynt ar nos Wener—eu gwragedd a äent i'r siopau ar ddydd Sadwrn—cauwyd y siopau i gyd ar ddydd Sul—a gwisgwyd y plwyf mewn agwedd o ddiwygiad moesol ac ystyriaeth grefyddol, y fath na buasai byth yn bod, ond oherwydd y cytundeb rhwng y pedwar siopwr.

Eisteddodd y Parchedig foneddwr i lawr yngh anol cymmeradwyaeth mawr.

Yna y Maer a roddodd y penderfyniad, yr hwn a gariwyd yn ddiwrthwynebiad.

dylai yr araeth hyawdl a rhagorol hony--yn nhraddodiad pa un y dangosodd y gwyddfodolion eu boddlonrwydd trwy uchel ac aml floeddiadau—gael ei darllen yn fanwl gan bob dyn ystyriol—a gweithredu ar yr egwyddorion a gynnwysa. Yn ein herthygl nesaf rhoddwn ddyfyniadau o areithiau godidog ereill, ac yn eu plith araeth ardderchog y Parch. F. Ould.

Taer erfyniwn ar weinidogion ein gwlad, yn enwedig yn y dref boblogaidd hon, i efelychu y dynion da hyn, trwy weithredu yn eu cylchoedd eu hunain, yn mha rai, yn ddiameu, y mae ganddynt ddylanwad helaeth a galluog. Nis gall geiriau y Parch. F. Ould gael eu hadrodd yn rhy aml, "Ni wnaf fi, na'm teulu, ar ol hyn, brynu dim nwyfau wedi saith o'r gloch." ABMON.

(*I'w barhau.*)

---

GOLYGIADAU

Y DIWEDDAR BARCH. CHRISTMAS EVANS AR GALFINIAETH.

HYBARCH SYR.—Wrth ddarllen Cofiant y diweddar Barch. Christmas Evans (tu dal. 126, 127) yr hwn a fu yn Weinidog defnyddiol gyd â'r Bedyddwyr, sylwais ar y Llythyr canlynol, yr hwn a ysgrifenodd fel atebiad i ofyniad rhyw gyfaill iddo; ac er mwyn y rhai na chawsant y cyfleusdra i weled Cofiant y Gweinidog parchus hwn, ac er mwyn fy nghyfoedion ieuainc, y rhai na chawsant y fantais i wybod beth oedd ei olygiadau ef ar byngciau sylfaenol y grefydd Gristionogol, anfonaf y gofyniad a'r atebiad i chwi i'w rhoddi mewn rhyw gongl o'ch Cyhoeddiad clodwiw.

CALFIN DINORWIG.

Y gofyniad ydoedd, Beth oedd ei farn am Uwch, Is, a Chymmedrol Galfiniaeth? ac o ba un o honynt yr oedd efe?

A'r hyn a ganlyn yw swm yr atebiad, mor belled ag y mae 'n dwyn perthynas â'r pwnc dan sylw.

"1. Yr wyf yn credu na achubir neb ond y rhai a ysgrifenwyd mewn arfaeth yn llyfr bywyd yr Oen.

"2. Mai hwy a roddwyd i Grist i fod yn gorph ac yn eglwys iddo fel Cyfryngwr.

"3. Mai cynnrychioli y rhai hyny yn unig yr oedd; ac mai er eu mwyn hwy yn unig y rhoddodd ei hunan yn aberth cymmodol i ddwyn i mewn iddynt gyfiawnder tragywyddol. Mae Ef yn ben ac yn feichnïydd iddynt, ac yn eiriol trostynt.

"4. A hwy oll a elwir trwy nerthoedd yr Ysbryd Glân, yn ol yr arfaeth dragywyddol. Y rhai hyn yn unig a gredant ac a gyfiawnheir, ac a sancteiddir, ac a ogoneddir, ac ni chollir yr un o honynt.

* * * * * * *

"*Am Galfin cymmedrol*, nid wyf yn ei ddeall yn y cysylltiad hwn. Mewn rhyw gysylltiad, dyn heb fwyta ac yfed llawer ydyw dyn cymmedrol. Os Calfin cymmedrol (*moderate*) yw yr un na chreda yr holl byncian am gadwedigaeth yr etholedigion, o'r rhagluniaethiad i'r gogoneddiad, ond yn gwrthod rhai o honynt, ac yn ammeu rhai, ac yn hanner gredu ereill, os hyny yw Calfin cymmedrol, nid wyf fi wedi dysgu ei gredo o'r Bibl.

"*Am Galfin isel;* mi a ddywedaf pa mor isel wyf fi.

"Yn laf, yr wyf yn credu fod y cyfiawnlad a roddes Crist i'r ddeddf yn berffaith: nad oedd modd cael glanach dynoliaeth, perffeithiach cariad yn ol y gorchymyn, dyoddefaint llawnach i lyncu y felldith, a mwy Person Dwyfol i roddi urddas ar y cwbl, ac yn cyfranu effeithioldeb ynddo i ddwyn yr etholedigion at Dduw, sef y rhai yr oedd efe yn eu cynnrychioli. A phe buasai holl ddynolryw yn cael eu cynnrychioli ganddo ef, fel gan yr Adda blaenaf, y buasai ei un cyfiawnder perffaith ef yn effeithiol yn dwyn holl ddynolryw i gyfiawnhad bywyd, fel ag y gwnaeth anufudddod y cynnrychiolwr cyntaf ddwyn marwolaeth ar bob dyn. Buasai yr un cyfiawnder yn ddigonol i achub pawb, yn gystal a'r rhai a achubir, pe buasai Iesu yn eu cynnrychioli.

"2. Yr wyf yn gostwng i lawr o uchderau mawrion pen-arglwyddiaeth, gyda thystiolaeth gwahoddiadau ac addewid fawr yr efengyl o gadw pawb i fywyd tragywyddol a gredant yn Nghrist. Ffydd ydyw y gras sydd yn rhoddi hawl. 'Am hyny o ffydd y mae fel y byddo yn ol gras.'

"3. Yr wyf yn credu tystiolaeth yr ysgrythyrau, y bydd cadwedig bob enaid a gredo yr efengyl yn ei gwir ystyr. Gwisgir y cyfryw â mantell cyfiawnder Duw: a phob un a edifarhao, trwy edrych yn gredíniol ar Grist, a gaiff faddeuant rhad.

"4. Yr wyf yn credu fod dyledswydd ar bob dyn, ag sydd mewn oed a synwyr, credu ac edifarhau; ac nid yw ei syniad gelyniaethol yn esgusodi dyn, er ei fod yn anorchfygol i bob gallu ond gallu Duw.

"5. Yr wyf yn credu hefyd, ar sail yr un ysgrythyrau, na chredodd, ac nad edifarhaodd un dyn, er cwymp Adda, o hono ei hun; ac na chredodd neb erioed, er eu galw, ie, ddim un, ond y rhai hyny a alwyd yn ol yr arfaeth. 'Yr etholedigaeth a'i cafodd, ond y lleill a galedwyd.' Rhaid derbyn rhoddiad ffydd, ac edifeirwch, a chael modd i'w derbyn yn rasol trwy weithrediad Duw.

"6. Yr wyf yn gweled yn efengyl Crist ras a chyfiawnder sydd yn abl achub pawb a gredant, a hawl ddiwahaniaeth i bob credadyn ynddo ar dystiolaeth Duw.

"7. Mai yr adeiladwyr oedd yn gwrthod y maen oedd fel sylfaen yn ddigon cadarn i'w dala hwy i fynu rhag soddi i dragywyddol golledigaeth.

"8. Yr wyf wedi dysgu, o'r ysgrythyrau,

na ddarfu un pechadur ddyfod at Grist, a chredu ynddo, a bod hwnw yn cael ei wrthod yma neu yn angeu, ac na wrthodir neb o'r cyfryw byth. 'Nid oes derbyn wyneb gyda Duw.' Ond derbyn wyneb, feddyliwyf, fyddai cadw un pechadur yn credu, a gwrthod un arall yn credu yn yr un cyfiawnder, ac yn yr un Gwaredwr. Ond nid derbyn wyneb ynddo yw geni rhai o Dduw, fel y credont yn enw y Gwaredwr, pan y mae ereill yn cael eu gadael yn eu caledwch, eithr gras, neu rad ffafr, ac y mae efe yn ymogoneddu ynddo, yw hyny.

"9. Nid fy ngwaith gymmaint yw cymmodi yr uchder a'r iselder a nodwyd trwy *appelio* at helyntion yn mhlith dynion, ond yr wyf yn eu credu, ar sail gwirionedd Duw, yr hwn sydd yn eu llefaru. Gwaith priodol rheswm dyn yw chwilio a gweled mai Duw sydd wedi llefaru y gwirioneddau, a'i ddyledswydd ydyw gweddio yn wastadol am gymmorth yr Ysbryd i'w ddeall; ac nid gosod *standard* mesurau yn mysg dynion, i brofi pa beth i gredu ac i wrthod o honynt."

SYLW AR LYTHYR Y CADBEN E. LLOYD.

Hybarch Syr.—Trwy gyfrwng eich Cyhoeddiad teledir am y mis diweddaf, gwelais ynddo lythyr bychan oddiwrth eich gohebwr parchus, Mr. E. Lloyd, gan mwyaf yn gyfeiriedig ataf fi, ac am hyny rhoddwch chwithau genad imi wneuthur sylw byr arno.

Gan mai yr ail gwestiwn yn fwyaf neillduol y gweddai i mi yn bresennol ei ateb, dymunwn hysbysu iddo, mai nid talfyriad o lyfr yr enwog Marshall ar Sancteiddhad, ydyw y llyfr yr ysgrifenodd fy nghyfaill Nihil ei gyfieithiad o hono. Argraffiad Llundain yw, o'r fl. 1819, ac y mae o'i flaen ragymadrodd o gymmeradwyaeth gan y gwr duwiol hwnw, y Parch. Mr. Hervey, Weston Favel, yn agos i Northampton. Y mae y wyneb ddalen (*title page*) yn rhedeg fel hyn, "*The Gospel Mystery of Sanctification opened in Sundry Practical Directions, suited especially to the cases of those who labour under the Guilt and Power of In-dwelling Sin, to which are added a Sermon on Justification, and a Table of the Texts Illustrated by the Rev. Walter Marshall, formerly Fellow of New College, Oxford, and afterwards Fellow of Winchester College. To which is added a Recomendatory Preface by the late Rev. Mr. Hervey. London; printed for W. Baynes, 54, Paternoster Row.* 1819."

Rhag blino eich gohebwyr yn mhellach, os dymunai Mr. E. Lloyd gael rhyw wybodaeth ychwanegol yn ei gylch, bydd dda genyf gael yr hyfrydwch o ysgrifenu yn gyfrinachol ato os caf wybod pa fan i gyfeirio.—Gan ddymuno iddo lawer o lwyddiant, y terfyna yr eiddoch,

J. Phillips, (Tegidon.)

*Swyddfa y Drysorfa.*

ATEBIAD.

*Cyfieithiad o Linellau Saesoneg James Montgomery, Ysw. yn Rhif.* 131, *tu dalen* 340.

A wyt ti'n fy ngharu? fy Ngheidwad a ofyn;
O na feddwn allu i ateb *fy mod;*—
Ti, Arglwydd, a wyddost bob peth yn y nefoedd
A daear: adwaenost fy nghariad a'i nôd!
Ond etto, mewn gair, ac mewn gweithred, a meddwl, [ddyn):
Nid wyf yn, nis gallaf dy garu ('r Duw
*Dy* gariad yn unig raid roddi y gallu,—
Yn gweddu it', 'does ond yr eiddot dy hun.
A'r cariad, O Arglwydd, â'r hwn carwyt fi,
Ar led yn fy nghalon, y carwn dydi.

*Llanerchymedd.* Glaslyn.

ADOLYGIAD Y WASG.

"*Picnc Ysgol; sef Cant o Holiadau ac Atebion ar Fedydd.*" Gan Richard Prichard, Llanfair Caereinion.

Ynghorph y flwyddyn hon, anfonodd amryw o'm cyfeillion crefyddol yn Sir Fflint, erfyniad taer ataf, am i mi ffurfio ac argraffu Catecism bychan ysgrythyrol ar Fedydd. A phan oeddwn yn myfyrio ar y pwnc, ac yn dechreu ffurfio Gofynion ac Atebion ar y mater, a chyn i mi roddi fy mhin ar bapur i ddechreu ar y gorchwyl, dyma y cyfryw Gatecism, sef yr un a nodir uchod, yn cael ei drosglwyddo i'm llaw drwy y Llythyrdŷ. Agorais ef, a darllenais ef oll, yn ddioed; ac mi a gefais foddlonrwydd mawr yn ei gynnwysiad. Mae efe yn oleu, cadarn, ac ysgrythyrol iawn; ac wedi ei ffurfio yn y fath ddull tirion ac eglur, fel nad oes ynddo, dybygwn i, ddim a duedda i roi un achos tramgwydd i'r brodyr gwrthwynebol. Gobeithiaf y bydd y Catecism bychan hwn yn foddion, drwy fendith Duw, i ddangos i bawb a'i darlleno, yn enwedig y genedl sydd yn codi, wir feddwl yr Ysbryd Glân am natur, dyben, deiliaid, a dull bedydd. Y Cyhoeddwr.

COFIAINT.

*Byr-gofiant am* Mr. Edward Anwyl, *gynt o Gaerwys.*

Ynghanol amledd eich gohebiaethau, fe allai nad gormod genych roddi byr-gofiant am yr hen bererin duwiol hwnw, Mr. E. Anwyl, gynt o Gaerwys, yr hwn a fu yn flaenor ffyddlon gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghaerwys, ac a fu farw Ionawr 5, 1838, yn 76 mlwydd oed.

Pan yr ydoedd yn bump ar hugain oed, trwy weinidogaeth yr enwog a'r Parch. Mr. Jones, o Ddinbych, y clywodd E. A. lais yr Arglwydd yn galw yn effeithiol arno. Effeithiodd yr hyn a glywodd mor ddwys ar ei feddwl, fel yr aeth i'r dirgel i weddio yn ddioedi—y cododd allor deuluaidd yn ei dŷ, ac wedi hyny i ymgyflwyno i eglwys

Dduw. Mor amlwg hefyd ydoedd llaw yr Arglwydd arno fel y galwyd ef y'mhen blwyddyn i fod yn flaenor yn y lle.

Yn y swydd uchel hon bu yn ffyddlon ac yn ofalus hynod gyda holl drefniadau tŷ Dduw. Yr oedd fel bugail gwyliadwrus, ac athraw llawn o ysbryd dysgu ereill; fel canwyll yn llosgi ac yn goleuo, yn dangos i bawb ei fod yn un o rai rhagorol y ddaear. Mewn gair yr oedd holl rasusau addurniadol y cristion yn dysgleirio ynddo, ac yr oedd yn ostyngedig iawn, ac yn ddiniwaid ryfeddol; yn rasol yn ei eiriau, ac yn gywir yn ei farn.

Yr oedd yn fawr ei hiraeth am weled adfywiad ar grefydd yn ei ddydd, a gwelodd ei Dduw yn dda adael iddo fwynhau dau ddiwygiad neillduol iawn, yr hyn a gododd ynddo syched mawr am weled y trydydd; ac mewn gweddi a dagrau yr ymbiliai am hyny yn ei weddiau.

Wedi iddo lenwi y swydd uchel hon am ddeg a deugain o flynyddoedd, cafodd fynedfa helaeth i fwynhau jubili odidog na fydd terfyn arni byth. Ac yn foreu iawn y pummed dydd o Ionawr, y dygwyd ef gan angylion i fynwes Abraham.

Fe alwyd i fywioli——ei enaid
I unol glodfori
A'r dorf lân hyfrydlan fri,
Ei Dduw da yn ddi dewi.

*Caerlleon.* J. Jones

---

*Cofiant* Mr. William Williams, *un o Athrawon yr Ysgol Sabbathol yn y Tabernacl, yn Aberystwyth, yr hwn a fu farw Gorphenaf 26ain*, 1841, *yn 20 mlwydd oed.*

William Williams, gwrthrych y cofiant canlynol, ydoedd fab hynaf y diweddar Mr. John Williams, Masnachydd cyfrifol yn y dref hon: yr hwn hefyd a fu yn ysgrifenydd ffyddlon yr Ysgol Sabbathol yn y Tabernacl am lawer o flynyddoedd. Ganed W. W. y 1af o Mawrth, 1821. Cafodd o'i febyd ei fagu dan addysgiadau crefyddol ei dad duwiol a pharchus, hyd onid ydoedd ynghylch 16 mlwydd oed, pan, er ei fawr golled ef a'r lleill o'r teulu, y bu farw.

Nid ydoedd y gwr ieuanc hwn erioed ond un lled wan o gyfansoddiad. Rhoddwyd iddo y manteision a ellid eu cael yn y dref hon, er rhoddi gwybodaeth iddo, wedi hyny anfonwyd ef i Lundain, i gael manteision ychwanegol er ei addasu at ei alwedigaeth. Er yn hynod ieuanc dangosodd ei fod yn dra awyddus am ddyfod o hyd i wybodaeth, defnyddiai ei amser, a'i alluoedd meddyliol, pa rai oeddynt hynod gryfion, i chwilio llyfrau buddiol, yn neillduol y rhai hyny a draethant ar Hanesyddiaeth Hynafiaethol, Gwladol ac Eglwysig, yn ddiwahaniaeth.

Ar ol yr amgylchiad galarus a nodwyd eisoes, sef marwolaeth ei dâd ddygwydd; dechreuodd ymarferyd â'r fasnach, er cynorthwyo y weddw dirion, ei fam, a llanwodd ei le yn y fath fodd, ag y cydnabydd pawb o'i gydnabod y gellid cyfeirio y rhai o'r un alwedigaeth ag ef, i'w gymeryd yn esiampl. Ffieiddiai yn fawr y dull dau-eiriog ag oedd gan lawer o'i gyd fasnachwyr wrth brynu a gwerthu, ac ystyriai y fath arferiad yn bechod dirfawr. Ei eiriau ef oeddynt anaml, er hyny yn nerthol; dywedai y gwir yn noeth a syml, heb ei grugliwytho â geiriau segur, pa rai y bydd rhaid rhoddi cyfrif am danynt yn y farn. Rhoddai bob amser le i ni feddwl fod ei olwg ar orchymyn Crist, "Bydded eich ymadrodd chwi, ie, ie; nagê, nagê." Mat 5. 37. Ac O! na fyddai yr agwedd ddymunol hon i'w chanfod yn gyffredinol yn ein gwlad. Gwisgai fel y gweddai i un yn proffesu duwioldeb; ychydig iawn oedd llafur ei feddwl am atebiad i'r gofyniad, â pha beth yr ymddilladaf? yr hwn wag-beth (fel y mae mwyaf y trueni) a lyncai feddwl lluaws o'i gydieuenctid ymron yn gwbl iddo ei hun. Ei gerddediad ydoedd weddus a hardd; llywodraethai ei ysbryd yn dda; addawai a chyflawnai mewn amynedd a phwyll; casahai lwybrau gau; ffieiddiai y tafod ymffrostgar; cariadus a pharchus yn ei olwg ydoedd y rhai a geryddent am fai yn ddiddderbyn wyneb.

Wrth ganfod yr agwedd ddymunol hon arno, gofynodd un o'i gyfeillion iddo, a oedd un rhan o'r Ysgrythyrau erioed wedi effeithio llonder neu ddychryn i'w feddwl. Atebai yntau yn syml fod y gair hwnw wedi dychrynu ei feddwl yn fawr, "A mwg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fynu yn oes oesoedd," &c. Dat. 14. 11. Yn y canlyniad, annogodd ei gyfaill ef i ymgysegru yn fwy llwyr i'r Arglwydd, trwy wneuthur coffadwriaeth o angeu y Cyfryngwr. Croesawodd yntau yr annogaeth, a derbyniwyd ef yn gyflawn aelod pan ynghylch 18 mlwydd oed, a chafwyd arwyddion amlwg wedi hyn iddo gael gan yr "Arglwydd yn ei dŷ, ac o fewn ei fagwyrydd, le ac enw gwell na meibion ac na merched; enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith."

Ei fuchedd o'i febyd oedd ddiargyhoedd: cafodd o'i gryd i'w fedd fod yn yr eglwys, heb gymmaint ag unwaith fod yn wrthrych cerydd. Uchel yn ei olwg oedd y fraint o gael bod yn eglwys Dduw, fel nad oedd gwig o fwyd Esau, deg ar hugain arian Judas, na mantell Babilonig deg Achan, yn ddigon i'w gorbwyso yn ei olwg.

Byddai yn hynod o ymdrechgar, yn enwedig bob nos Sadwrn, i rwyddhau y ffordd, ac i barotoi ei feddwl er mwynhau y Sabbath, a'i dreulio mewn modd teilwng. Gellir dweud am dano, fod y Sabbath yn hyfrydwch iddo, a Sanct yr Arglwydd yn ogoneddus yn ei olwg. Ei hyfrydwch a'i bleser penaf ydoedd yn nhŷ a chyd a gwaith yr Arglwydd: ac y mae yn deilwng o sylw na threuliodd ef nemawr o wasanaethiad o fewn

y tair blynedd diweddaf y bu ef byw, heb fod mewn ymarferiad a rhyw ordinhad grefyddol, naill a'i canu mawl, myfyrio, neu ddarllen y gair, a gweddio. Y mae yr amrywiol rinweddau hyn megys cynnifer o gyfryngau gwych wedi eu sefydlu gan y gŵr ieuanc hwn yn ei fywyd, trwy ba rai y mae ei ymarferion yn llefaru etto.

Er nad ydoedd, fel y soniwyd eisoes, ond lled wanaidd erioed o gyfansoddiad, etto cafodd iechyd gweddol dda, hyd nes yr oedd oddeutu 18 mlwydd oed, pryd yr ymwelodd ei Dad nefol a'r ef â chystudd ysgafn, etto yr oedd yn darfod, bron bob dydd, yngolwg ei gyfeillion, yr hyn a achosai alar trwm iddynt; ond cafodd arbediad y tro hwnw. Rhybydd prydlon ydoedd iddo, fel i Hezeciah gynt, "Trefna dy dŷ, canys marw fyddi." Tua dechreu y flwyddyn hon, dechreuodd ei gorph adfeilio eilwaith: gwywai ei natur fel y glaswelltyn, a thegwch ei bryd a gollai; cydweithredai pob peth megis am ei yru allan o'r byd gofidus hwn. Yn yr olwg hon, iddo ei hun ac ereill, ar ei sefyllfa, perswadiwyd ef i fyned i ffynhonau Llandrindod, gan feddwl y byddai newid awyr yn llês iddo. Arosodd yno bymthengnos, ond yn lle dwyn arno yr effeithiau dymunol, gweithredodd arno i'r gwrthwyneb; ac ar ei ddychweliad, yr oedd yn amlwg i bawb fod ei ddaearol dŷ yn cyflym ymddattod. Erbyn hyn yr oedd ei lais wedi darfod, a'i gorph yn rhy wan bron i gynnal ei hun, a beunydd ar ol hyn â'i yn wanach wanach. Ac er fod angeu, brenin y dychrynfeydd, fel yn tremio yn ei wedd, yr oedd yn hynod dawel a dirwgnach. Dywedai fod crefydd yn fwy pwysig yn ei olwg y pryd hwn nag erioed, ac yn wyneb fod pethau amser yn pallu ei fod yn tynu ei gysuron o addewidion y Bibl. Un prydnawn, pan yr ymwelodd cyfaill âg ef, annogodd ef i ddarllen amrywiol bennodau iddo, a chanu amrywiol bennillion, pa rai fuont yn foddion i ddwyn y nefoedd i'w ysbryd y tro hwnw. Wrth ganu yr hen bennill,

> A gaffo 'nabod Iesu yn frawd,
> Ni welir hwnw byth yn dlawd,
> Pob peth sy'n eiddo ef;
> Caiff ddod i maes o'r cystudd hyn,
> A'i wisgoedd wedi 'u cànu yn wyn,
> A byw 'n dragywydd yn y nef."

Wrth ganu y rhan olaf, dywedodd, â'i lygaid fel dwy ffynon, "O! rhyw fyw rhyfedd fydd cael byw byth gyda'n gilydd yn y nef, y'ngwmni Iesu Grist." Dywedodd hefyd fod yr "Arglwydd, fel Duw trugarog a graslawn, yn creu hyder yn ei feddwl i obeithio ynddo." Y dydd Gwener olaf y bu byw, aeth yn rhy wan i godi o'r gwely, a pharodd i amryw o'i frodyr crefyddol i weddio gyd ag ef yn yr ystafell. Dranoeth ymwelodd amryw frodyr âg ef drachefn, ceisiodd gan un o honynt ganu iddo yr hen bennill hwnw,

> "Mae fy nghyfeillion wedi myned,
> Draw yn lluoedd o fy mlaen," &c.

Gofynodd un arall o'i gyfeillion iddo, "A oedd ganddo un cyngor i roddi i'r rhai oedd yn bresennol. Dywedodd yntau "am iddynt oll ymdrechu cael adnabod y cyfaill a lynai yn well na brawd." Y Sabbath ar ar ol gorphen cyfarfod gweddi fu yno, dywedodd mai yr adnod hòno oedd fwyaf ar ei feddwl, "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab," &c. Boreu dranoeth, y diwrnod olaf o'i fywyd, ymddangosai megis yn fwy adfywiog na'r dyddiau o'r blaen; tua hanner dydd gofynodd un o'i gyfeillion iddo, "Pa un oedd oreu ganddo gael, byw neu ynte farw, y tro hwn?" Atebai, "mai marw, i gael myned at Iesu Grist i'r nefoedd." Y prydnhawn trymhaodd eilwaith, ac oddeutu saith o'r gloch, aeth megis i afael pangfeydd marwolaeth, pan y gwelodd ei fam ef yn ngafael y fath gyfyngder, annogodd gyfaill a safodd ger llaw, i ofyn rhyw beth iddo, gofynodd yntau iddo, "A ydyw Iesu Gristyn gyfaill yn glynu yn awr?" Dywedodd yntau, mewn modd siriol a phwyllog, "O! ydyw yn wir!" Ymhen ychydig ar ol iddo ddywedyd hyn, y rhai oeddynt ei eiriau olaf, ehedodd ei enaid, gan orphwys, fel yr hyderwn, ar aberth iawnol ei Brynwr anwylaf, i breswylio i ardaloedd gwynfyd. Claddwyd ef y dydd Gwener canlynol, Gorphenaf 30, yn ymyl ei dad, yn mynwent Aberystwyth, a mawr alar oedd ac sydd gan ei gydnabod ar ei ol.

*A ysgrifenwyd gan ei Gyfeillion.*

---

*Byr-gofiant Mary Jones, Clwt, Llanrhaiadr Dyffryn Clwyd.*

Er na chafodd yr enethig fechan hon ond 11 mlynedd o amser yn y bywyd hwn, cymmaint oedd gwaith a dylanwadau yr Ysbryd Glân arni, fel y dysgleiriodd mor nodedig mewn crefydd ag y teilynga ei dal allan ger gwydd yr oes hon, os nad yr oesau dyfodol hefyd.

Er yn ieuanc iawn, dangosodd hoffder ma..r yn y Bibl, ac yn yr Ysgol Sabbathol: a chyn bod yn 6 oed, yr oedd yn medru darllen ei Bibl yn dda, ac wedi dysgu rhanau helaeth o hono. Dysgodd holl Lyfr y Salmau, y Pregethwr, Diarhebion, Caniad Solomon, a rhanau helaeth o'r Prophwydi, ynghyd a'r Epistolau at y Rhufeiniaid a'r Hebreaid, a llawer iawn o'r Testament Newydd. Dysgodd y Cyffes Ffydd i gyd oll, ac adroddodd ef ar goedd yr Ysgol, a'r Hyfforddwr hefyd. A chlywyd hi yn adrodd pennodau yn gyhoeddus, nes tynu y dagrau o lygaid y gwrandawyr.

Ar ei dymuniad claddwyd hi yn Ddirwestawl gan dorf luosog alarus; ac y mae ei choffadwriaeth yn fendigedig ar ei hol.

E. ADAMS,
*Ysgrifenydd yr Ysgol Sabbathol.*

# BARDDONIAETH.

## I RAMADEG CERDDORIAETH J. MILLS.

Cyntefigrwydd llwydd er gwellhad—canu,
Ac enyn cyd-gordiad,
Eos ar frig y fiwsig fad,
Siriol a'n dysg i'w siarad.

Gramadeg un chweg ei chwaeth—naturiol
Yn taro nwyf archwaeth;
Gyr i'r fron hoff hinon ffraeth,
I ddarwein y Gerddoriaeth.

Gwawl o foddion y gelfyddyd—freinniol
Wnaeth fryniau'n bro'n hyfryd;
Diosga fai, dysg i fyd,
Elfen alawiaeth eilfyd.

Llesol feirniadol f'ir nodydd—cyson
Yn eeisiaw'n lles beunydd;
Hwn o'i lys dengys y dydd,
A'i frodyr i'w efrydydd.

A——DD.

*Lle'rpwll.*

## HUNAN-FYFYRDOD MEWN AWR O AFIECHYD.

Pa bryd caf deimlo'r hapus ddydd,
Y dof o faith ofidiau'n rhydd?
Pa bryd caf newid poen a chur
Am lawn fwynhad o fywyd pur?

Mae'r dorf ddi rif sy 'Nghanaan fad
Yn codi'm hiraeth am y wlad—
Mae dyrus daith yr anial du
Yn peri im' ofni y collir fi.

A welir fi, bererin llesg,
A'm 'mhen yn rhydd o'r llaid a'r hesg?
A gaf fi ganu'r nefol hymn
O fewn y palas ar y bryn?

A welir fi, 'nol crwydro fyrdd,
Yn rhydd ar feusydd bythol wyrdd;
A glywir fi, bererin gwan
Yn soinio concwest yn y man?

Mae'r hyrddwynt tost, a'r corwynt cry'
'N chwythu i'r hafan tawel fry;
Byr cystudd sy'n odidog iawn
Pan ddwg i mewn ogoniant llawn.

Tawela'th dòn, Iorddonen groch,
Dystawa'th gynnwrf mawr a'th roch—
Gad im' gael clywed adlais hymn
Y dyrfa bur ar Sïon fryn.

Os cedwir fi o'm hing a'm hofn
Yn niphwys ryd Iorddonen ddofn
Mi wn mai'r gallu nerthol hyn,
Fydd aberth mawr Calfaria fryn.

Calfaria fryn—fy enaid cân,
Tawelu'r 'storm wnaeth Iesu glân;
Mi gollais y Gre'digaeth wiw,
Yn harddwch Iechydwriaeth Duw.

Calfaria fryn yw cân y llu,
Ar aur heolydd Gwynfa fry—
Calfaria fryn yw nerth a rhan
Y blin, a thrwm, gredadyn gwan.

Ewch, ewch, deganau'r byd y'mhell,
'Rwyf am fwynhau trysorau gwell;
Mi âf i dreulio dyddiau f'oes
I ben Calfaria at y groes.

TEGIDON.

## ENGLYNION AR FARWOLAETH MRS. ELIZABETH EVANS, MOELFRYN.

I'w gwr cain, ochain uchel—sy', a loes,
I 'Liza a Rahel,
O herwydd, o'u gwydd dan gel
Arosa hi'n dra isel.

Ar ei manol lwybrau mynwch—afael,
Gwir grefydd a geisiwch
'N awr—canys i'r llawr a'r llwch
Diau ar fyr y deuwch.

Os 'run groes,drwy'ch hoes o hyd a- geriwch,
Yr un goron hefyd
Gewch yn dragywydd i gyd,
Ac unfodd fyw mewn gwynfyd.

*Tregaron.* JOHN LEWIS.

## GWIR GREFYDD.

Pur, sanctaidd o anian, a'i thynfa at wynfyd,
Cadernid y Duw digyffelyb ei sail,
Gwirionedd, ffyddlondeb,—cynnaliaeth ei bywyd,
Yw'r *llw* yr *addewid*, a *gwaed* Adda'r ail."

J. M.

## CREFYDD.

Pwy ydwyt ti ar daith mewn gwisgoedd gwael?
Gwir grefydd wyf; o'r nefoedd 'rwyf i'm cael.
Pa fodd 'rwyt ti 'n fath wael ddyeithrol ddrych?
Dirmygai 'r byd a'i frau drysorau gwych.
Beth ydyw 'r llyfr sydd yn dy law yn awr?
Pur ddeddfau 'm Tad a barchaf fi yn fawr.
Pa ham mae'th fron yn noeth ger bron y byd?
Mewn purdeb llon mae pleser bon o hyd.
Pa ham mae croes yn cynnal pwys dy fraich'
'Does ond y Groes a'm deil o dan fy maich.
Pa'm mae i ti 'r fath edyn heirdd ar daen?
A hwy 'r ehêd dyn heibio 'r sêr yn mlaen.
Pa'm mae o'th gylch fath wych oleuni, dwed?
Ysbrydol nos, ymlidia hwn ar led.
Beth ydyw'r ffrwyn sydd yn dy law? A hon
Rheolaf fi wyllt nwydau'r ddynol fron.
Pa ham y sang dy droed ar Angeu du?
Gwel o fy mewn Orchfygydd Angeu 'n gu.

CYF. GWERYDDON.

*Dyffryn Ardudwy.*

# COFNODAU CYMDEITHASFA DOLGELLAU,

*Medi 29 a 30, 1841.*

CYMEDROLWR.—Y PARCH. J. PHILLIPS.

*Cyfarfod y Pregethwyr am 10 o'r gloch, Dydd Mercher, Medi 29ain.*

1. Gofynwyd, Beth sydd i ni feddwl am y rhai a ordeiniwyd yn weinidogion yn y Corff hwn, ac a aethant ymaith i'r Eglwys Sefydledig, gan gymeryd eu hail ordeiniio?

Atebwyd, Gan nad ydynt yn awr gyda ni, nid oes i ni a farnom arnynt hwy; ond ymddengys y gallwn ddywedyd am danynt, "Demas a'm gadawodd, gan garu y byd presennol." Diau mai peth pechadurus yw i weinidog yr efengyl fyned tan ail ordeiniad. Mae yr hwn a gymero ei ordeinio eilwaith yn addef nad oedd ef cyn hyny yn weinidog i Grist, na'r eglwys a'i hordeiniasai yn flaenorol yn eglwys Crist. A phwy a all addef y fath beth gyda chydwybod dyner?

Sylwyd fod rhai gyda ni yn dwyn eu plant i fynu at y weinidogaeth yn yr Eglwys Wladol, heb arnynt ddim arwyddion o dduwioldeb. Y mae hyny yn bechod rhyfygus, ac ni ddylem oddef y cyfryw yn ddi sylw.

2. Ymddyddanwyd â thri o frodyr yn y weinidogaeth ynghylch eu profiadau ysbrydol.

Sylwyd fod pregethwyr i gael gwersi trwy lawer o bethau, heblaw trwy ddysg a llyfrau. Mae gan Dduw lawer ffordd i gyfranu addysg i ni. Wedi i Moses gael ei ddwyn i fynu yn holl ddysgeidiaeth yr Aipht, danfonodd yr Arglwydd ef i'r ysgol drachefn am ddeugain mlynedd i dir Midian, i ddysgu arwain Israel am y deugain mlynedd canlynol. Mae yr Arglwydd yn dysgu rhai o'i weision eto trwy bethau chwerwon i natur. Myfyrdodau, gweddiau, a phrofedigaethau, sydd yn gwneuthur pregethwr, meddai Luther. Mae "gorthrymder yn peri dyoddefgarwch; a dyoddefgarwch, brofiad; a phrofiad, obaith." Mae ein cystuddiau yn cydweithio er daioni i ni, os ydynt yn ein gwneyd yn fwy duwiol ac yn fwy defnyddiol.

Sylwyd y gallwn gael niwed i'n meddyliau oddiwrth bethau cyfreithlawn ynddynt eu hunain, megis amgylchiadau teuluaidd, gwybodaeth gyffredinol, &c. os ydym drwyddynt yn colli blâs ar air Duw, maent yn fagl ac yn nychdod i ni. Mae yn demtasiwn i ddynion o feddwl ymofyngar adael Duw trwy bleserau gwybodaeth, megys y mae rhai eraill yn ddarostyngedig i demtasiynau eraill. Da iawn a fyddai i ni amaethu ysbryd gweddi gyda phob peth: cadwai hyny ni yn ein lle.

Sylwyd fod yn dra angheurheidiol i ni, er dwyn ymlaen dduwioldeb personol, a defnyddioldeb gweinidogaethol, i fyfyrio llawer ar Grist fel y'i gosodir allan yn yr Ysgrythau. Os caiff y diafol ni i rywle o Galfaria, bydd yn hawdd iddo ein gorchfygu. Pan y byddo picellau tanllyd y fall yn ymosod arnom, ammheuon am y pethau mwyaf yn ein haflonyddu, nid oes a'u diffydd ond "tarian y *ffydd*." Ni wna rheswm a syniadau dynol y tro yn yr ymgyrch hwn; ffydd yn nhystiolaeth Duw yn unig a rydd i ni oruchafiaeth. Yn y tystiolaethau am osodiad, person, swyddau, ac aberth Crist, y mae y meddwl yn cael lle i ymhyfrydu yn ddedwydd, i ryfeddu yn barchus, ac i addoli yn sanctaidd. "Duw a ymddangosodd yn y cnawd," "Hwn a osododd Duw yn Iawn." "Marwolaeth ei Fab ef;"—mae y meddwl ar y cyntaf yn barod i ddywedyd, Ai tybed nad yw hyn yn ormod i'w gredu? Megis y dywedodd Solomon. "Ai gwir yw y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear!" Ond y mae ffydd yn derbyn y gwirioneddau hyn yn ostyngedig, ac yn byw arnynt: yn debyg i ffrwd ddwfr yn cael ei rhoddi ar olwyn melin; mae yr olwyn ar y dechreu yn lluchio y dwfr drosodd, ond o'r diwedd fe'i cymer, ac a dry. Wrth fyfyrio ar ddirgelwch duwioldeb, mae y meddwl yn nofio mewn rhyfeddodau: yn gyffelyb i long yn nghanol y cefnfor; ac ni wyddis pa faint o ddyfroedd sydd o'i hamgylch, ond y mae hi yn nofio yn dawel. Yma y mae hapusrwydd dyn: mewn myfyrio ar, a defnyddio tystiolaeth Duw am ei Fab.

Sylwyd y dylem feithrin ofn duwiol yn barâus. Mae ofnau slafaidd yn peri marweidd-dra a deddfoldeb; ond y mae ofn duwiol yn dyfod â ni i deimlo ein peryglon, ac i ffoi oddiwrthynt. "Ymddygwch mewn ofn dros amser eich ymdeithiad." Ofn yn gweithio i lafur yw yr ofn iawn. Dyn yn ofni colli y *packet*, a rêd rhag iddo fod yn ol: pregethwr yn ofni camymddwyn mewn rhyw beth, a fydd yn wyliadwrus iawn gyda y peth hwnw. Dylem fod mewn "gwylder a pharchedig ofn" wrth fyned at Dduw mewn gweddi, ac wrth ymarfer â holl ranau ei wasanaeth. Mae yn berygl yn fynych i'r Arglwydd ddigio wrthym, oblegid ein hyfdra cnawdol, a iechyd ein hysbrydoedd, yn ei waith. Lle y byddo yspryd cariad, y mae yno yspryd pwyll, sef arafwch, sobrwydd, a chryndod sanctaidd. Os cawn ein hysbrydoedd i'w lle, bydd pob peth yn iawn wedi hyny.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 2 o'r gloch.*

1. Hysbyswyd am Gyfarfod a Chym-

deithasiadau dyfodol. [Gweler Cofnodau Cymanfa Bangor.]

2. Adroddwyd cenadwri oddiwrth Gyfeisteddfod yr Athrofa yn y Gogledd. Annogwyd i wneuthur egni at gael tanysgrifiadau a chyfroddion blynyddol, er dysgeidiaeth pregethwyr ieuainc, a rhai a fwriedir fel ysgolfeistriaid, tra y byddont yn yr ysgol.

3. Sylwyd ar weddio, yn benaf gyda golwg ar Gyfarfodydd Gweddiau anghyffredin, i ofyn i Dduw am ymweled â'i eglwys.

Gweddi o ran ei bywyd yw, tywalltiad y galon ger bron Duw—enaid yn llefain—yr ysbryd o'n mewn mewn ymdrech a thaerineb am y fendith. Y weddi na ddaw o galon dyn, nid â hòno i glustiau Duw. Pan y mae yr Ysbryd Glân yn cynnorthwyo gwendid y cristion mewn gweddi, mae yno ryw ocheneidiau annrhaethadwy; rhyw deimlad na ellir ei draethu; rhyw afael diymollwng yn Nuw. "Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." Fel hyn yr oedd y Publican yn gweddio; a dyma agwedd y wraig o Ganaan. Nid yw pob math o weddiau yn rhyngu bodd Duw. Yr ydym yn myned yn uchel iawn wrth ofyn am ymweliadau Ysbryd Duw; dylem ofalu am sylfaenu yn ddigon isel; mewn calon ddiragrith, ac ysbryd gostyngedig.

Dylem hunanymholi, a oes dim mewn ymarferiad genym ni yn rhwystr i lwyddiant ein gweddiau. A ydym yn gwrando ar lais yr Ysbryd yn ei gymhelliadau? A ydym yn peidio myned yn groes iddo, yn ei leferydd wrth ein cydwybodau? Mae yn enbyd os yw ein hagweddau yn tristâu yr Ysbryd, a ninnau yn yr agweddau hyny yn myned i weddio am dywalltiad anghyffredin o hono. A oes argyhoeddiad yn ein meddyliau fod arnom angen am yr Ysbryd Glan? Os oes, beth y mae yr argyhoeddiad hwnw yn ei wneuthur? Os bydd syched newydd ynom am dano, mae hyny yn arwydd fod yr Ysbryd ger llaw. Ni ymedy ef byth nes i'w bobl ei wrthod.

Byddai golygiadau cywir ar ein sefyllfa ein hunain, ac ar gyflwr yr eglwys, y wlad, a'r byd, yn help i ni weddio yn deimladol a thaer, am y nerth o'r uchelder. Y mae genym waith mawr, ac heb Dduw ni allwn wneuthur dim. Gan hyny, "ceisiwn yr Arglwydd a'i nerth; ceisiwn ei wyneb ef bob amser."

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am 8 o'r gloch bore dydd Iau.*

1. Dywedwyd ychydig am y pechadurusrwydd o ymgynghori â'r rhai a alwant eu hunain yn ddewiniaid, ac o fyned at rai hen wragedd i wella y ddafad wyllt a doluriau eraill trwy swynyddiaeth. Mae genym reol ddysgyblaethol sydd yn benodol yn erbyn hyn; ond y mae lle i ofni fod rhai proffeswyr ieuainc, ac ambell i hen broffeswr, heb sylwi arni, neu heb ei hystyried. Mae dweyd rhyw eiriau, ac arfer rhyw ddefodau, heblaw physygwriaeth, tuag at wellau o afiechyd, i'w ystyried yr swynyddiaeth, ac yn un o'r pethau na enwer yn mysg y saint, ac na ddylem ei oddef yn ein haelodau.

2. Awd yn mlaen gyda'r mater a fu dan sylw yn Nghymdeithasfa Chwarterol Bangor, sef, Dyledswyddau yr eglwysi at y plant a fegir ynddynt.

Dylid annog plant yr eglwys i ddyfod i'r cyfarfodydd eglwysig, ac yno gwneuthur sylw caruaidd o honynt; ymddyddan â hwy; eu hyfforddi mewn gwybodaeth; ac yn ol graddau eu hoedran, gwasgu arnynt yr anghenrheidrwydd am brofiad ysbrydol, a chwilio mewn doethineb am hyny. A dylid ymofyn a ydynt yn ymddwyn yn briodol i blant yn meddu y fath freintiau.

Byddai yn ddymunol pe medrem gael y plant i ystyried eu bod yn perthyn i'r eglwys, a bod genym wir ofal am danynt. Mewn ambell fan, gwneir rhyw seremoni fychan gyda y plant i ddechreu, ac yna, meddir, ânt at waith y seiat, fel pe na byddai hyfforddi y plant yn orchwyl eglwysig. Mae yn hawdd gwneyd yr ymddyddan â'r plant yn beth hyfryd i'r hen bobl, ac felly hefyd yr ymddyddan â'r hen bobl yn hyfryd i'r plant. Wedi bedyddio y plant fel hâd yr eglwys, dylid, fel y tyfont i fynu, eu dysgu fel y cyfryw. Mae Crist yn gorchymyn y naill fel y llall: bedyddio a dysgu. Os na ddysgwn y plant, wedi eu bedyddio, ni allwn ddysgwyl presennoldeb Crist yn ol ei addewid. Efallai fod rhy fach o ddangos eu bedydd i'r plant. Mae eisie eu ddwyn ger eu bron yn fynych, iddynt hwy ei selio yn weithredol. Dylid dangos eu dyledswyddau at Dduw, fel Tad, Mab, ac Ysbryd Glân, yn enw yr hwn y bedyddiwyd hwy.

Heblaw eu hegwyddori mewn materion athrawiaethol, dylid hefyd eu hyfforddi yn rheolau moesau da a gweddeidd-dra ymddygiad. Dysger hwy yn enwedig i iawn ymddwyn yn nhŷ Dduw. Mae plant bychain yn dra thueddol i wneuthur rhywbeth â'u dwylaw yn y capel; byddai yn dda eu hymarfer i roddi eu dwylaw yn mhleth, neu rywbeth cyffelyb, wrth eu holi yn yr Ysgol Sabbothol, ac yn yr eglwys. Mae llawer iawn o anhwylusdod yn aml mewn oedfäon, o ddiffyg dysgu y plant i ymddwyn yn addas yn yr addoliad. Nid anhawdd a fyddai eu dysgu ond ymaflyd yn y gwaith. Mae llawer o rai mewn oedran yn dra diffygiol o foesau da yn ein cyfarfodydd addoliadol: dylem ni yn fore fagu y plant i ymddwyn yn wahanol. Yr oedd gan yr hen bobl ffurf dda; yr ydym ninnau, efallai, yn lle dyfod â bywyd i'r hen ffurf, yn ei thaflu heibio o gwbl. Ni byddai yr hen bobl yn myned i'r eglwysdai heb syrthio ar eu gliniau wrth fyned i mewn; ac ni cheid gweled neb o honynt hwy yn rhuthro allan, yn ol yr arfer anfoneddigaidd a welir ar

llawer yn myned o'n hoedfäon ni cyn diwedd yr addoliad. Arwydd drom yw, fod cynnydd ar ymddygiadau anweddus i addoliad y Brenin mawr. Dylid magu y plant i ymddyddan yn barchus am weinidogaeth y gair, ac i siarad yn weddaidd o leiaf am bregethwyr. Yn mhob ymddyddan am bregethwyr a phregethau o flaen plant, mae yn ofynol cymeryd gofal mawr rhag iselu pregethwyr yn eu golwg, a thrwy hyny iselu gweinidogaeth yr efengyl yn eu meddyliau. Weithiau, ni chlywir y plant yn dywedyd enw y pregethwr fel y dylid; yr oeddynt wedi clywed y blaenoriaid, yn nhŷ y capel, yn ei gamenwi.

Y mae anghenrheidrwydd neillduol, yn yr amserau hyn, i'r eglwysi a rhieni crefyddol i attal y plant i fyned yn rhy agos at lygredigaeth yr oes. Dylid eu rhwystro rhag cyfarfodydd llygredig, myned i ffeiriau heb neges, ymawyddu am ddilyn ffasiynau a dulliau gweigion, a chyfeillachu â rhai diofn Duw. Dechreu yn ieuainc gyda hwy, a fyddai yn llawer o fantais i lwyddo yn y pethau hyn. Mae nodweddiad y plentyn yn cael ei ffurfio o'i febyd. Rhaid i blant bychain gael chwareu; ond dylid gwneyd rheol iddynt gyda phwy y cânt chwareua a chyfeillachu. Adroddwyd hanes am blant bychain i wr boneddig crefyddol, mewn *boarding-school*; yr oedd eu tad wedi dodi yn rheol iddynt, na chaent fyned i ymweled âg un teulu lle na chynnelid addoliad teuluaidd. Yn yr ysgol, daethant yn gydnabyddus â chyfeillion ieuainc newyddion; a gwahoddwyd hwy gan rai o honynt i gadw y gwyliau gyda hwy. A ydyw eich tad yn cadw addoliad teuluaidd? meddynt hwythau. Nac ydyw, oedd yr ateb. Wel yn wir, meddynt, ni chawn ni fyned i un tŷ sy heb addoliad i Dduw ynddo. Pa fath effaith fuddiol a ellid ddysgwyl oddiwrth reol ac ymddygiad o'r fath hyna?

Y mae eisiau hefyd i ni ddysgu y plant i weled ynfydrwydd y swynion a'r coelion sydd eto heb ymadael â'n gwlad: awn tan eu gwraidd trwy ddysgu yr oes sy'n codi yn eu herbyn. Mae llawer llances o forwyn eto, na all fod yn hapus ei meddwl, wedi rhoddi y lefain neu y burym yn y blawd heb roddi croes arno, rhag ofn na chyfyd. Mae gweddillion Pabyddiaeth yn aros yn y tir, fel yn dysgwyl am i Babyddiaeth ddyfod yn ol atom. Mae gweddillion Paganiaeth hefyd heb fyned ymaith: edrych ar greadur yn goel o rywbeth, dyna weddillion crefydd yr hen Dderwyddon. Deffrown at ein gwaith; y mae tir lawer iawn eto heb ei feddiannu.

Tuag at ateb y dyben mawr sydd mewn golwg, dylid gofalu am hyfforddi y plant mewn dull serchiadol ac ennillgar. Yr ydym yn fynych yn aneffeithiol yn ein haddysgiadau iddynt, o eisiau ein bod yn arfer dull mwy serchiadol a dengar. Gadawn iddynt ddyfod i'n mynwesau, trwy fod yn rhydd wrthynt, ac yn siriol tu ag atynt. Na fydded iddynt edrych arnom yn y cyfarfodydd eglwysig fel gormeswyr a meistriaid gorfodus, ond fel eu rhieni ysbrydol a'u cyfeillion goreu. Ymdrechwn i'w cael i deimlo, eu bod, pan yn y cynnulliad eglwysig, nid mewn carchar, ond mewn palas, yn cael eu gwledda â'r danteithion hyfrydaf.

Byddwn ofalus hefyd am eu haddysgu mewn iaith a fyddo yn cyfateb i'w syniadau. Yr ydym yn siarad llawer â hwy am bethau crefydd, â hwythau heb eu deall. Ac yn wir y mae llawer o bobl mewn oedran yn arfer amrywiol o eiriau ac ymadroddion heb ddeall eu hystyr, ond yn unig fod y sain yn gynefin iddynt. Ymdrechwn am drosglwyddo yr addysg i'r plant mewn geiriau a dull y byddo yn hawdd iddynt ein hamgyffred. Y mae yn anghenrheidiol am fedrusrwydd nid bychan i gyfranu gwybodaeth i blant, yn ol eu hoedran a'u harchwaethau.

Mae yn ddyledswydd ar yr eglwys i weddio llawer dros y rhai ieuainc. Efallai fod rhai yn dueddol i fod yn fwy diwasgfa i weddio dros y plant, nâ thros rai mewn oedran, oddiar ddychymygu nad yw yr Arglwydd yn gweithio mor fore ar eu meddyliau. Ond y mae genym brofion i'r Arglwydd alw rhai i fod yn saint pan nad oeddynt ond mewn oedran ieuanc iawn. Gymysgwn ein holl addysgiadau â gweddiau.

Mae yr Arglwydd yn gwobrwyo yr eglwysi sydd yn llafurus gyda eu plant a'u pobl ieuainc, â llwyddiant. Y mae elw mawr o'r llafur hwn. Y rhai sydd yn blant yn awr a fyddant yn ddynion yn fuan, ac felly bydd ffrwyth llafur yr oes yma at y plant, yn cael ei arddangos yn yr oes nesaf. "Yr hwn sydd yn hau yn helaeth, a fêd hefyd yn helaeth." R. E.

---

# HANESION CREFYDDOL A GWLADOL.

## CYMDEITHAS GENADOL Y TREFNYDDION CALFINAIDD.

Fy hoffus Gyfaill.—Byddwch mor fwyn a chaniatau i mi ychydig o le yn y Drysorfa nesaf, i gydnabod derbyniad y y miau canlynol at wasanaeth "Cymdeithas Genadol Dramor y Trefnyddion Calfinaidd; sef £22 2s. 3c. o ddosparth dwyreinlol Sir Feirionydd, trwy law Mr. Davies, Fronheulog (casgliadau 1840) £12 10s. 0c. o'r Amwythig; £5 oddiwrth Mr. Williams, Solfach, Sir Benfro; ac £1 10s. 0c. oddiwrth

Capt. Gibson,* Llywydd y llong "Jamaica." Heblaw yr arian uchod, derbyniais ychydig o fân roddion i'n brawd Mr. Jones, ac addewidion o ragor, o amryw barthau o'r Dywysogaeth; a chymeraf y cyfleuster hwn i hysbysu y caiff ein cyfeillion hyd y 15ed o Ragfyr i barotoi eu rhoddion bwriadol; *a dealler na wrthodir dim a all fod yn ddefnyddiol i'r Cenadwr neu i'r Cassiaid;* ond bydd pob peth a anfoner yma ar ol y dydd crybwylledig yn rhy ddiweddar i'w yru gyda'r pethau sydd yn cael eu parotoi yn bresennol. Nid allais lai na llawenychu wrth ddeall fod llythyr Mr. Jones, yr hwn a ymddangosodd yn y rhifyn diweddaf, wedi ennyn brwdfrydedd llaweroedd dros achos ein Cymdeithas; a chwanegwyd fy llawenydd yn fawr trwy dderbyn llythyr oddiwrth hen gyfaill, a brawd yn y weinidogaeth: yr hwn a gynwysa esiampl mor ragorol, fel y crefaf arnoch ei ddodi i mewn yma. Fel hyn y mae y llythyr:—

"Anwyl Gyfaill,—Er yr amser y cefais yr hyfrydwch o'ch gweled a chlywed y newyddion cysurus a dderbyniasoch o Fryniau Cassia, bum yn ystyried yn ddifrifol pa beth a allwn ei wneyd yn bersonol i hwyluso 'r achos cenadol yn ein plith fel Corff o grefyddwyr. Yr wyf yn rhy hen i gynyg fy hun fel Cenadwr, pe amgen, gallaf sicrâu i chwi nad wyf yn ystyried yr aberthiad yn rhy fawr i'w wneyd yn yr achos sydd â dyben mor ardderchog ganddo, sef gogoniant Duw, a daioni penaf dyn, gyda golwg ar ei sefyllfa yn y byd hwn, ac yn enwedig ei 'stâd dragywyddol yn y byd a ddaw. Meddyliais y gallwn, efallai, gynal rhyw fachgenyn tlawd yn yr ysgol gyda Mr. Jones, o dan ei ofal ef a Mrs. Jones; ac os bydd *pum punt yn y flwyddyn* yn ddigon i gynal un, ymrwymaf gyda phleser i gyfranu y swm hwnw. Fe allai y gwyddoch chwi pa faint fydd yn ddigon i gynal bachgen yn y wlad hòno; onide, byddaf yn ddiolchgar os ysgrifenwch at Mr. Jones i ofyn iddo ef. Byddai yn fwy dewisol genyf os gellir cael plentyn amddifad, o bump i ddegmlwydd oed, o fysg y brodorion, ac yn fachgenyn o allnoedd go dda; un yn debyg o fedru cyrhaeddyd gwybodaeth, a'i chyfranu i ereill."

Ni chefais ryddid i gyhoeddi enw yr ysgrifenydd; ond efallai na fydd yn anmhriodol y i mi ddyweyd, pe b'ai yr unrhyw ysbryd ffydd a chariad ac sydd wedi cymhell fy nghyfaill i gyfranu *o'i brinder*, bum punt yn flynyddol tuag at addysgu un o'r Cassiaid, yn disgyn ar ein cyfeillion yn gyffredinol, y clywid llawer un yn dywedyd yn fuan, 'Rhoddaf finau £10 yn y flwyddyn.' Y mae llaweroedd yn Nghymru a *allant* wneyd hyn, *ond pa bryd* y gwnant? yw y pwngc.

Goddefwch i mi grybwyll un peth yn rhagor cyn terfynu y llythyr hwn. Y mae amryw wedi ysgrifenu ataf i ddyweyd y bydd yn anfanteisiol iawn iddynt wneyd eu casgliadau cenadol o hyn hyd ddiwedd y flwyddyn hon, a'u bod yn ofni y bydd ein Cymdeithas ar ei cholled os gorfodir hwy i gasglu cyn Cymdeithasfa Rhuthin; a'r unig atebiad y gallaswn i ei roi i'r cyfryw, oedd, fy mod yn o sicr na feia na Chyfarfod Misol na Chymdeithasfa mo honynt am oedi eu casgliadau, os byddant yn barnu y cânt adeg fwy manteisiol i'w gwneyd o hyn i fis Mai nesaf, pryd y bydd cyfrifon y Gymdeithas yn cael eu gwneyd i fynu am y flwyddyn. Hyderwyf na throseddais wrth ddywedyd fel hyna; a gobeithiwyf hefyd y cofir hysbysu yn mhob man, pan yn casglu at y Gymdeithas, y dysgwylir i bob un a gyfrano ddeg swllt neu ragor, yn flynyddol, roddi ei enw gyda'i rodd, fel y caffo ymddangos yn rhestr y Tanysgrifwyr yn yr Adroddiad blynyddol.—Ydwyf yr eiddoch yn ffyddlon. JOHN ROBERTS.

*Liverpool, Hydref* 16, 1841.

* Cefais lawer o gyfleusterau er pan ddychwelodd y "Jamaica" o Calcutta, i ymddyddan â'r Cadben (yr hwn sydd wr tra chyfrifol, ac o ddygiad da i fynu) a dywenydd nid bychan oedd genyf ei glywed yn datgan ei barch diffuant i Mr. Jones, ynghyda'i rwymedigaeth iddo am yr addysgiadau buddiol a dderbyniodd ganddo. Dywedai fod Mr. Jones yn pregethu bob Sabboth ar hyd y fordaith, ac na chlywodd efe neb erioed yn gosod allan wirioneddau 'r Bibl yn fwy eglur ac effeithiol nag ef; a chyfaddefai mai efe oedd y cyntaf i'w berswadio i chwilio yr Ysgrythyrau drosto ei hun. Pwy wyr beth fydd diwedd hyn? Wrth ddodi y swm uchod yn fy llaw dywedai, 'Os bydd fy nghyfaill Mr. Jones mor ddiwyd a selog i ddysgu a dychwelyd y Cassiaid, ag y cefais i ef bob amser yn amaethu ei feddwl ei hun, yr wyf yn sicr y bydd y canlyniadau yn ddaionus iawn.'

## Y BIBL TAHITAEG.

*Hanes Cyfieithiad y Bibl i'r Tahitaeg, oddiwrth y Parch. John Davies, yn ei lythyr at Mr. John Jones, Llanfyllin.*

ANWYL GYFAILL.—Yr ydych yn gofyn i mi, "Pa ran a fu genyf fi yn nghyfieithiad y Bibl i'r Tahitaeg?" I'r hyn yr atebaf. O'r 66 o Lyfrau y Bibl, fe gyfieithwyd 34 gan y Parch. H. Nott, a 32 gan bersonau ereill, fel hyn:—

| | Llyfrau |
|---|---|
| Gan y Parch. H. Nott .......... | 34 |
| Gan y Parch. Mr. Barff .. ...... | 1 |
| Gan y Parch. Mr. Bourne ....... | 3 |
| Gan y Parch. Mr. Williams ..... | 6 |
| Gan y Parch. Mr. Darling ....... | 9 |
| Genyf finnau .................. | 13 |
| Y cwbl o lyfrau yr Ysgrythyr Lân | 66 |

Y 13 llyfrau a gyfieithais i ydynt, Matthew, Marc, Llyfr y Psalmau, a deg o Epistolau Paul.

Mr. Nott a gopïodd, ac a adolygodd y 27 o Lyfrau y Testament Newydd; yngbyd a 13 o Lyfrau yr Hen Destament, y rhai a argraffwyd yma, o flaen yr argraffiad yn Llundain.

Myfi a ddarllenais yn ofalus, o ddechreu Genesis hyd ddechreu Llyfr Job, gan gydmaru y cyfieithiad â chyfieithiad y Dr. Boothroyd, (yr hwn y mae Mr. Nott wedi ei ddilyn yn benaf,) a'i gydmaru hefyd â'r cyfieithiad awdurdodedig Saesoneg; ac â'r cyfieithiad ardderchog Cymraeg, (yr hwn nid oedd Mr. Nott yn ei ddeall,) a'i gydmaru â chyfieithiad French Mr. Martin; a'r Trinitarian Bibl; ac â'r Bibl Hebraeg. a'r Septuagint Groeg; ac hefyd ei gydmaru â Parkhurst, ac amryw Eiriaduron Hebraeg ereill.

Ac mi a wnaethum amryw nodiadau, a diwygiadau, â pha rai yr oedd Mr. Nott, gan mwyaf, yn cydsynio. Ond ar ddymuniad Dirprwywyr Cymdeithas y Biblau yn Llundain, gwnaeth Mr. Nott rai cyfnewidiadau i'w wneud yn fwy cydymffurfiol â'r cyfieithiad awdurdodedig Saesoneg. Ond ni chafodd Mr. Nott ddim cynnorthwy i adolygu gweddill yn Hen Destament.

JOHN DAVIES.

*Ynysoedd Môr y De.*

---

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### JUBILI YN COED-LLAI,

*Sef Cyfarfod i Bregethu ar yr achlysur o orphen talu dyled y Capel.*

Cyn rhoddi hanes y Cyfarfod rhoddwn yn gyntaf ychydig o hanes ein Capel. Fe'i hadeiladwyd yn y flwyddyn 1822: a dangosodd trigolion yr ardal garedigrwydd nid bychan y pryd hwnw at achos yr Arglwydd, yn eu cyfraniadau a'u llafur gyda'r gwaith. Fe fernir fod yr arian a gasglwyd ar hyd y gymmydogaeth, a chludiad y defnyddiau yn rhad, o ddeutu 60 punt. Ond yr oedd yn aros o ddyled ar y Capel hyny 123 o bunnau. Buwyd yn segur am un mlynedd ar ddeg, heb dynu un geiniog o'r ddyled uchod ymaith, ond yn unig talu y llogau.

Ond o fewn wyth mlynedd yn ol, fe farnodd rhai o honom ein bod yn pechu trwy adael tŷ yr Arglwydd mewn dyled a ninnau yn segur heb wneuthur un ymgais i'w ryddhau o ddyled: a gosodasom y peth ger bron y cyfeillion crefyddol, a'r gwrandawyr yn gyffredinol, a'r canlyniad fu i ni ddechreu ar y gwaith o gasglu i dalu y ddyled; ond lled araf yr oeddym yn myned yn mlaen gyda'r gwaith, nes y daeth yr Arglwyddes Ddirwestol i'n cynnorthwyo; wedi hyny ni buom uwchlaw dwy flynedd heb dalu y cyfan o'r ddyled. Ond yn ebrwydd wedi talu y ddyled barnasom fod ar y Capel fawr eisiau ei adgyweirio, yr hyn hefyd a wnaethom yn 1838, a chostiodd hyny i ni gant a deuddeg ar hugain o bunnau; ac fe dalwyd y swm uchod yn llwyr genym mewn tair blynedd. Yn bresennol mae'r addoldŷ yn rhydd, wedi ei gyflwyno yn gwbl i'r Arglwydd, heb fod gan neb un geiniog i'w gofyn arno.

Ar ddydd y cyflwyniad, sef Awst 16 (yr hwn a alwyd yn ddydd Jubili genym) cawsom gyfarfod pregethu. Am 10 pregethodd y Parch. Daniel Roberts, Lodge, oddiar Col, 1. 21; y Parch. Henry Rees, Liverpool, oddiar 1 Petr 1. 18, 19. Am 2 pregethodd y Parch. John Edwards, Berthen, oddiar Job 28. 28; a'r Parch. John Phillips, Treffynnon, oddiar Jer. 13. 16. Am 6 pregethodd y Parch. John Phillips, oddiar Jer. 13. 16; a'r Parch. Henry Rees, oddiar 2 Cor. 9. 13. Cawsom Gyfarfod rhagorol, a graddau helaeth o foddlonrwydd yr Arlwydd arno.

---

### CYFARFOD YSGOLION ABERGELE.

Ar ddydd Sabbath, Hydref 3, cynnaliwyd cyfarfod Ysgolion Dosparth Abergele yn y Cwm, yr hwn a dreuliwyd yn y dull canlynol:—

Am 9 o'r gloch, Cyfeisteddiad cynnrychiolwyr y gwahanol ysgolion. Am 10 dechreuwyd trwy weddi gan Mr. John Jones, Rhyl, yr hwn, ar ol y gwasanaeth yma, a holodd y dosparth gwerthfawr hwnw yn eiu hysgol, sef y Plant, yn y bummed bennod o'r Rhodd Mam i'w Phlentyn; ac ar ol hyny cawsom Bregeth ragorol ar yr achos o neillduad y dyddiau hyn i weddïau gan y Parch. J. Foulks, Abergele, oddiar Hosea 10. 12. Gwedi hyny cynnaliwyd Cyfarfod neillduol gyd a'r athrawon i drefnu rhyw bethau perthynol i'r cymanfaoedd dyfodol perthynol i'r ysgolion Sabbathol a gynnelir yn y Dosbarth hwn, sef Rhuddlan ac Abergele ar y 1af a'r 2il o Dachwedd; hefyd annogwyd yr holl athrawon i ymarferiad cyson â moddion dirgelaidd a chyhoeddus yn yr amser neillduedig hwn.

Am 2 ar gloch dechreuodd Mr. Robert Hughes, Dyserth; ac ar ei ol holodd Mr. Williams, Rhyl, yr Ysgol yn y Cwm o'r 7 bennod o'r Hyfforddwr; ac wedi hyny pregethodd Mr. John Jones, Rhyl, oddiar Amos 5. 8, yr hwn etto a'u cymhellodd i geisio yr Arglwydd, 1 yn amserol; 2 yn gyson, tarhaus: 4 yn daer; oblegid nad oes neb a all ddyfod â gwawr ar achos pechadur, a dwyn bendithion ysbrydol yn gawodydd ar yr Eglwys, ond efe. Am 6, pregethodd Mr. John Williams, Rhyl, oddiar Heb. 9. 27, gyd a llewyrch a blas.

Yn ol pob arwyddion bydd y cyfarfod hwn yn adnewyddiad i'r achos yn yr ardal yma; oblegid yr oedd arwyddion lled amlwg fod

Duw â'i wyneb arno, ac yn rhoddi bendith i eneidiau ynddo.

Cwm, Hydref 6, 1841. R. NEWTON.

---

CYFARFOD MISOL LLANLLYFNI.

Cynnaliwyd y Cyfarfod hwn ddydd Llun a dydd Mawrth, y 4a'r 5 o Hydref. Dydd Llun ymgasglodd torf o bregethwyr a blaenoriaid o bob parth, ac ymdrinasant ag amryw o fatterion crefydd. Dydd Mawrth Cyfarfod Pregethu. Dewiswyd y milwyr canlynol i sefyll yn gyhoeddus ar du Brenin Seion, G. Hughes, Edeyrn; J. Jones, Tremadoc; O. Thomas, Bangor; J. Hughes, Lleyn; W. Griffith, Pwllheli, a Moses Jones: milwriasant yn ddewr, traethasant yn wrol yn erbyn Satan a'i filwyr, llefarasant nes ydoedd muriau yr hen Jericho yn crynu hyd ei sylfaeni; cyhoeddasant gyda hyawdledd a medrusrwydd ardderchawgrwydd trefn gras: bloeddiasant yn uchel concwest Calfari,a'r daioni deilliedig oddiwrtho i blant y codwm. Coronwyd y cyfarfod gyda gradd o bresennoldeb Arglwydd y gogoniant.

Cafwyd hin gysurus: y gwrandawyr oeddynt yn lluosog iawn. Dangosodd brodorion y gymmydogaeth garedigrwydd nid bychan tu ag at y dieithriaid, trwy gyfranu yn llawen a haelionus at eu hanggenrheidiau. EUBULUS, *Pen-y groes.*

---

AGORIAD CAPEL PEN-Y-MOUNT PWLLHELI, HYDREF 21, 22, 1841.

Mesuriad 72 troedfedd wrth 54.

Am chwech o'r gloch y dydd cyntaf traddodwyd araeth fèr a thra chynnwysfawr ar yr achlysur gan y Parch. William Roberts, Amlwch; hefyd pregethodd oddiar Ioan 12. 31, 32. Am wyth y dydd canlynol ymgynnullodd yr Eglwys ynghyd; dangoswyd yr angenrheidrwydd o ymgadw yn nghwlwm tangnefedd, ynghyd ag undeb a brawdgarwch. Cafwyd graddau o help yn y Cyfarfod hwn. Am 10 y Parch. Richard Humphreys, Exodus 20. 24; a'r Parch. John Phillips, 1 Tim. 6. 19. Am 2, Parch. John Jones, Esay 66. 1, 2; Parch. William Roberts, Preg. 11. 8. Am 6, Parch. Richard Humphreys, Col. 3. 3, Parch. John Phillips. Heb. 10. 38.

Dechreuwyd yr odfaeon gan y Parch. Thos. Prichard; John Owen; Owen Jones; Moses Jones; Griffith Hughes, yr oedd y cyfarfodydd yn lliosog, y pregethau yn rymus ac effeithiol iawn: ac hyderu yr ydym y bydd y canlyniadau yn dda, ac y bydd i'r Arglwydd lewyrchu ar ei achos yn ein plith. Parhaed nawdd ac amddiffyn y nef arnom, a bydded mwy gogoniant y tŷ hwn na'r tŷ cyntaf. RICHARD HUGHES.

---

## AMRYWIAETH.

TAN MAWR IAWN YN LLUNDAIN.

Nos Sadwrn, Hydref 30, am hanner awr wedi deg ar gloch, canfuwyd tân yn dechreu ymgymmeryd yn Nhŵr mawr Llundain. Gwr arfog ar ei wyliedyddiaeth a'i canfu gyntaf; yna saethodd ei wn i roi rhybydd fod perygl yn bod. Yn ddioed, rhedodd holl swyddogion milwraidd y Tŵr allan o'u hanneddau i edrych beth oedd yr achos. Pan ganfuont y tân, yn y fan rhoisant rybydd mwy cyhoeddus, ac ymhen ychydig fynydau daeth holl Warchawdlu y *Scotch Fusiliers*, allan o'r Old Mill Barracks i'r lle; ond erbyn hyn yr oedd y tân yn fflamio yn ddychrynllyd drwy ffenestri y Tŵr crwn. Ammhosibl yw dysgrifio yr arswyd a'r cynnwrf mawr oedd, nid yn unig ymysg y milwyr, ond hefyd ymblith holl drigfanwyr yr amddiffynfa. Curwyd y Tabwrdd mawr i wneud larwm arswydus drwy yr holl gymmydogaeth. Ymgasglodd yr holl wyr meirch, amryw gannoedd o nifer, allan o'u hamrywiol breswylfeydd, rhai o honynt yn hanner noethion, oll i'r fan mewn ychydig amser. Y fynyd y clybu y Milwriad Auckland Eden y larwm, efe a anfonodd air i Uch-Gadpen Elrington, Llywydd y Tŵr. Yn ddioed gorchymynwyd i'r Milwyr ddwyn allan yr holl Ermygau tân ag oedd yn y Tŵr, naw o nifer; ac at y rhai hyn fe gyrchwyd holl Ermygau dinas Llundain. Ond yr oedd y Tŵr mor uchel, fel y buwyd gryn amser cyn gallu gosod yr Ermyg fawr mewn sefyllfa addas i daflu dwfr i mewn dros ymyl y Tŵr i'r wenfflam arswydus oedd yn esgyn allan o hono. Gweithiwyd yr holl Ermygau a allwyd eu cyfleu, a bwriwyd dwfr yn genllifoedd i ganol y tân poeth, nes oedd ffyrnigrwydd yr elfen yn bwrw i fynu gymmysgedd arswydlawn o fflamau a cholofnau mwg i entrych yr awyr.

Erbyn hyn yr oedd miloedd lawer o bobl wedi ymgasglu ynghyd i'r holl gymmydogaeth o amgylch ogylch i edrych ar yr eirias digyffelyb hwn. Ac er yr holl ymdrech a'r llafur i geisio gorchfygu angerdd yr elfen danllyd, erbyn un-ar-ddeg ar gloch yr oedd yr holl Dŵr a'i gyflawnder ar dân, fel nad oedd gwiw arfer dim moddion i arbed hwnw. Gobeithiwyd nad oedd y tân wedi ymledu ddim pellach na'r Tŵr crwn. Ond ymhen ychydig o fynydau fe gafwyd allan fod y tân yn dechreu ennyn yn nhô yr Arfdŷ gerllaw. Bwriwyd pistylloedd o ddwfr am ben y tô; a galwyd ar y milwyr i gludo allan gynnifer ag oedd bossibl o'r arfau, a'u dodi mewn lle diogel, yr hyn a wnaed gyda phob prysurdeb. Eithr y tân angerddol a'u gyrodd allan yn fuan, i ffoi am eu bywyd. Llosgodd y Tŵr arfau ac oll oedd ynddo hyd lawr, cyn pen ychydig iawn o amser. Erbyn hyn daeth ofn mawr ar bawb rhag i'r tân gyrhaeddyd i drysorfa y powdr ag oedd ger llaw; a rhag iddo gyrhaeddyd y Tŵr gwyn, lle yr oedd y Goron a'r perlau gwerthfawr; a rhag iddo gyrhaeddyd hefyd i Swyddfa y Darluniau. Yr oedd 25,000 o barau o arfau rhyfel, yn y Tŵr arfau, y rhai a losgwyd oll, ond oddeutu 400 a

achubwyd, megis drwy dân. Ond er i'r tân barhau i losgi ar hyd y Sabboth, a dydd Llun, a rhan fawr o ddydd Mawrth, ni losgwyd Swyddfa y Darluniau, y Tŵr gwyn, na'r powdr ychwaith. Dywedir fod y golled i'r deyrnas, drwy y tân ofnadwy hwn, *dros filiwn o bunnau.*

Nid yw yn hysbys iawn pa fodd y dechreuodd y tân ymgymmeryd; ond y fan y canfyddwyd ef gyntaf oedd odditan y "Bwrdd crwn," fel y gelwir ef, sef o dan gromen bwäog y Tŵr crwn, yr hwn sydd yn ymyl y Tŵr arfau. Mae yn debygol iddo ymgymmeryd gyntaf o un o'r pibellau gwres yn ystafell y Goruch-Olygwr, (*Inspector's room.*) Ymofynir i fanylrwydd etto am hyn.

---

### "NID RHAID I'R RHAI IACH WRTH FEDDYG; OND I'R RHAI CLEIFION."

ANWYL SYR,—Blinir fi yn dost yn fy aelod gan y Gewynwst, (*Rheumatism*). Yn y gewynon, y naill ochr i ben y glun; ac o ben y glin i lawr hyd y migwrn, y mae y boen. Gewynwst oer ydyw. Teimlwn fy hun yn ddiolchgar iawn os bydd i chwi, neu ryw un o'ch Gohebwyr, roi cyngor a fyddo yn debyg o wneuthur lles i mi, drwy gyfrwng y Drysorfa. Mewn taer ddymuniad am ei gael, y dysgwyliaf yn bryderus.

*Llwyn y Gweision.* ROGER PUGH.

*Sylw ar y deisyfiad uchod.*—Mae hysbysiad ein cyfaill am dano ei hun a'i afiechyd yn rhy fyr ac aneglur i neb allu rhoddi cyngor addas i'w iachau ef o'i boen. Hysbysed gan hyny, yn y Rhifyn nesaf ychwaneg ynghylch amgylchiadau ei afiechyd mewn atebion i'r gofynion canlynol:—1. Beth yw ei oedran ef? 2. Pa bryd y dechreuodd y Gewynwst arno? 3. Beth fu yn achlysur o hono? ai gwlychu? ai aros yn hir mewn dillad gwlybion? ynte, a ydyw efe yn preswylio mewn annedd laith? 4. A fu y Gewynwst arno o'r blaen; neu a ydyw efe wedi bod am ryw hyd yn ddarostyngedig iddo? 5. A oes gradd o dwymyn (*fever*) yn ei ddilyn? 6. A oes dim o natur y *Scurvy* yn y gwaed.

Yn y cyfamser, cynghorem ef i wisgo plyg neu ddau o wlanen yn nesaf i'w gnawd, ar y rhanau poenus.

Cymmered hefyd ychydig o *Cream of Tartar* mewn *Water Gruel*, unwaith yn y dydd, sef cymmaint o hono ag a gadwo ei gorph yn agored: gwnaed hyn bob dydd am wythnos. C——R.

---

### UN O RAGOROL FFRWYTHAU DIRWEST.

ANWYL SYR,—Carwyf weled yr ychydig linellau hyn wedi cael lle genych yn rhyw gongl o'r Drysorfa.

Cyn sefydliad y Gymdeithas Ddirwestaidd yn ein gwlad, byddai'r chwarelwyr yn arfer rhoddi yn fisol gyfran lled helaeth o'u cyflogau am y gwlybyroedd meddwol; ond, ar ol ei sefydliad, wele hwy wedi dechreu mabwysiadu arferion gwell.

Ychydig amser yn ol, ffurfiwyd math o gymdeithas arianol gan ieuenctyd Capel-y-graig, ger llaw Bangor, Swydd Gaernarfon, i'r dyben o gasglu, yn fisol, at adgyweirio y capel, trwy ei baentiaw yn hardd, a gosod ynddo awrlais tra rhagorol.

Yr oedd swm yr arian a gasglwyd yn fawr iawn, wrth ystyried mor ychydig yw nifer yr ieuenctyd sydd yn perthyn i'r lle; ac y maent yn dra chanmoladwy am eu gwaith, ac hefyd yn deilwng o'u hefelychu genym ninnau yn eu hardaloedd cymmydogaethol. —Yr eiddoch, &c. ARFONYDD.

---

### HYNT FORDWYOL I BERFEDDION AFFRICA.

Mae y newyddion wedi cyrhaedd i Brydain am ddiogelwch y Llongau a aethant allan ar hynt fordwyol ar hyd yr afon Niger, i ymchwilio perfeddion Affrica, ac i ymofyn am agoryd masnach a'r trigolion, os bydd yn ddichonadwy. Yn Newyddiadur Liberia (Affrica), daeth yr hanes i Frydain, ddarfod i'r llongau hyn, ar y 5ed o fis Awst diweddaf, gyrhaeddyd yn ddiogel i Monterado Roads, (Trefedigaeth yn Liberia) wedi cael mynedfa lwyddiannus, ar hyd yr holl afon, a pheth sydd fyth yn fwy, mae y Cadben Trotter yn hysbysu nad oedd dim cymmaint ag un dyn yn afiach ar yn un o'i longau. Mewn Newyddiadur cyhoeddedig yn Monrovia, yr hwn a elwir "Africa's Luminary," fe ddywedir fel hyn, "Mae ymddangosiad y llyngesan hon yn ein dyfroedd, yn cael ei gyfrif gan drigolion y wlad, megis prifnod o amser newydd yn ngoror ac afonydd Affrica."

---

### GWIN ANFEDDWOL.

Dyma fo o'r diwedd. "Dyma FFRWYTH Y WINWYDDEN." Marc 14. 25. Fu iawn y buwyd yn dysgwyl, ac aml lythyr a dderbyniasom o'r De, ac o'r Gogledd, oddiwrth ein Gohebwyr Dirwestol, i ymofyn am y "Gwin anfeddwol" hwn. Y gwr nodedig a'i cafodd ef allan yw y Dirwestwr enwog, y Parch. F. Beardsall. Pryd gynted y cawsom brawf o hono, penderfynasom gadw digonedd o hono ar ein llaw, i'w werthu i Ddirwestwyr Cymru. Mae Cyhoeddwr y Drysorfa wedi codi Trwydded, (*License*) i werthu "Gwin Anfeddwol yn unig," Mae pum pwys o'r Grawn yn myned i wneud un Botelaid.

Ni fydd raid bellach roi yn yr Ymrwymiad, "Yr wyf fi yn ymrwymo nad yfaf ddim diodydd meddwol, *ond mewn Ordinhad Sanctaidd.*" Gellir tynu y geiriau Italaidd yma ymaith, neu yn hytrach, peidio eu rhoi i mewn o hyn allan byth, os arferir y "Gwin anfeddwol" hwn yn Swper yr Arglwydd, i'r hwn berwyl y bwriedir ef gan ei awdwr Parchedig, llafurus, a ffyddlawn.

Dywed awdwr y Gwin hwn, "Pe bai dyn yn yfed dwsin o Boteleidiau e hono mewn un diwrnod, na feddwai ddim." Gwel y Cyhoeddiad o hono ar Glawr y Drysorfa am y mis diweddaf a'r un presennol.

---

*Moddion i dynu inc allan o liain.*—Trochwch y fan o'r lliain lle y byddo ysmotiau o inc arno, mewn gwêr pur wedi ei doddi, yna golchwch y gwêr ymaith mewn dwfr, a daw yr inc allan o hono gydag ef, a glân fydd.---*Hereford Journal.*

---

### GENEDIGAETH TYWYSOG CYMRU.

Dydd Mawrth, Tachwedd 9fed, 48 mynyd wedi deg ar gloch y boreu, esgorodd ein Rhadlonaf Frenines Victoria, yn llwyddiannus ar Fab, yr hwn sydd yn awr yn Etifedd Coron Brydain Fawr, yn Dywysog Cymru, ac yn Iarll Caerlleon: ac mae y Fam a'i Mab bychan yn dyfod ymlaen yn llwyddiannus iawn.

Canwyd y clychau drwy holl Lundain ar yr achlysur cysurlawn hwn, a saethwyd y magnelau mawrion yn y Park. Dangoswyd pob arwyddion llawenydd a gorfoledd drwy yr holl deyrnas. Peth nodedig yw, mai ar y dydd y dewiswyd Maerod Dinasoedd a Threfydd Brydain y ganwyd y Tywysog ieuanc.

Gorchymynodd y Cyfrin-Gyngor i Arch-Esgob Canterbury lunio ffurf o ddiolchgarwch i'r Hollalluog Dduw, am waredigaeth y Frenines o gyfyngder esgor, a genedigaeth lwyddiannus y Tywysog ieuanc, i'w harfer yn holl Eglwysydd Brydain.

---

### ESGORODD.

Ar y 19eg o Hydref, esgorodd Mrs. Ann Frederick, Dowlais, ar eneth, yr hon a fu farw ymhen deng mynyd ar ol ei geni. Mae y fam yn gwellhau yn dda.

---

### BU FARW,

Yn y Wyddgrug, Medi 6ed, 1841, yn 27ed, o'r darfodedigaeth, Margaret, unig ferch y diweddar Mr. John Jones, Cefn-y-gader, yn y dref hòno, am farwolaeth yr hon y rhoddwyd hanes yn Nhrysorfa Mehefin diweddaf. Yr oedd hi yn ferch ieuanc o feddwl eang, ac amgyffred cryf, yn arfer darllen a myfyrio llawer; a pheth sydd fwy, yr oedd yn un enwog iawn mewn crefydd. Yr oedd ei henaid yn faes profiad crist'nogol: gwyddai am dywydd y cristion yn ei ofnau a'i ddysgwyliadau, ei ddigalondid a'i hyder. Hawddgar oedd ei gweled yn ferch ieuanc gyfrifol yn ei chadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd; ni roddodd ei meddwl ar uchel bethau, ond yr oedd yn gydostyngedig â'r isel radd. Yr oedd yn ferch ufudd, yn chwaer serchiadol, yn gyfeilles ffyddlawn, ac yn dda i lawer. Yn ei chystudd hirfaith a phoenus, dangosodd yr amynedd a'r tawelwch mwyaf. Yn nechreuad ei hafiechyd, pan na wyddai eto beth a fyddai y canlyniad, dywedai ei bod yn rhoi ei hun yr rhydd i ewyllys Duw, ac na fynai er dim weddio am adferiad iechyd, er fod natur yn dymuno hyny. Ac wedi iddi ddeall ei bod yn marw, ni wnaeth hyny un cyffro arni; yr oedd yn gallu siarad am ei hangeu megys pe na fuasai ond ymdaith o'r naill dref i'r llall. Gellir dysgwyl Cofiant helaeth am dani cyn hir, wedi ei gasglu gan ei [brawd, Mr. Thomas Jones, Gwrecsam (*Glan Alun*), ynghyd a Mr. Roger Edwards, Wyddgrug. Mae llawer iawn o fywgraffiadau boneddigesau duwiol wedi eu cyhoeddi yn yr iaith Saesonaeg, a diau nad oedd nemawr o honynt yn deilyngach i'w coffa na'r chwaer ieuanc dduwiol hon. Ei hathrylith dysglaer, ei llythyrau cynnwysfawr, ei llafur crefyddol, ei phrofiad sanctaidd, a'i marwolaeth ddedwydd, a wnânt ei Chofiant yn anrheg werthfawr i ferched Cymru.

Hydref 30, 1841, yn 17 oed, Mary Hughes, merch William ac Anne Hughes, aelodau gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, yn Nhre Walchmai, Môn. Cafodd Mary ei dwyn i fynu dan ofal Eglwys Dduw, a chafodd arwyddion amlwg na fu llafur yr eglwys a'i rhieni yn ei maethu yn "addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd" yn ofer. Yr oedd ei hymarweddiad, dichlynaidd a'i dull sobr o fyw, yn dangos i'r byd ei bod yn meddu ar rywbeth nad oedd gan ei chyfoedion yn gyffredin. Er ei bod yn gorfod yfed yn helaeth o ddyfroedd chwerwon yr anialwch y blynyddoedd olaf y bu hyw, etto ymddangosai yn hollol foddlawn i'w sefyllfa. Yr oedd hi mor wanllyd, fel nas gallai gerdded ond ychydig latheni heb sefyll, oherwydd diffyg anadl. Ond er ei holl anfanteision, nid oedd neb yn fwy ffyddlon na hi am ddyfod i'r capel. A phan drymhaodd ei chlefyd, fel nas gallasai gyfodi o'i gorweddfa, nid oedd dim yn ei phoeni gymaint a'i hamddifadrwydd o foddion gras. Ond er ei bod yn methu dyfod i dŷ Dduw, etto yr oedd yn mwynhau mynych gymdeithas âg ef yn ei chystudd, ac yr oedd hyny yn ei nerthu i'w oddef yr amyneddgar. Ymorphwysai yn hollol ar Dduw ei hachubydd, a boreu y dydd crybwylledig, ehedodd ei rhan anfarwol at "Dduw yr hwn a'i rhoes ef."

Ofer iawn heddyw yw gwneuthur ymchwiliad,
Am Mary Hughes fwynlon, a gwiwlwys ei gwedd;
Does genym ond isel brudd eilio galarnad,
Ac wylo yn wastad wrth riniog ei bedd.

*Trewalchmai.* THOMAS CHARLES.

---

GWALL I'W WELLA.—Yn Nghofnodau Cymdeithasfa Bangor, tu dal. 342, colofn ail, llinell 13, darllener, i'r efrydedigion, fel elwedigion.

# Y DDANGOSEG.

CAERLLEON, ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY.

